# Y DRYSORFA:

YN CYNNWYS

AMRYWIAETH O BETHAU AR AMCAN CREFYDDOL, YN ATHRAWIAETHOL, ANNOGAETHOL, A HANESIOL,

YNGHYD A

HANESIAETH CENHADOL A GWLADWRIAETHOL,

AC AMRYWIOL GYFANSODDIADAU MEWN

## BARDDONIAETH A PHERORIAETH.

A GYHOEDDWYD DAN OLYGIAD

Y TREFNYDDION CALFINAIDD,

GAN JOHN PARRY.

LLYFR VII.

CAERLLEON: ARGRAFFWYD GAN J. A J. PARRY.

MDCCCXXXVII.

# RHAGYMADRODD:

NEU

## *Lythyr y Cyhoeddwr at ei Gydwladwyr y Cymry.*

GAREDIG GYDWLADWYR.

Wrth gyflwyno y Seithfed Gyfrol hon wedi ei chwbleiddio fel hyn, i'n darllenwyr, nis gallwn lai na chydnabod mawr ddaioni Duw tuag attom, yn bersonol, yn eglwysig, ac yn wladol, yngorph y flwyddyn a aeth heibio. Mae holl drefniadau Rhagluniaeth yr Hollalluog yn ddoeth, yn gyfiawn, ac yn dda. Ac er fod yn fynych gymmylau a thywyllwch yn ymddangos i ni o'i amgylch ef, etto amlwg yw, mai cyfiawnder a barn, neu uniondeb, yw trigfa ei orseddfaingc ef. O'i amgylch y mae y tywyllwch, ond y mae hi yn oleu ar yr Orsedd. Dat. iv. 3, 5.

Fe fu y flwyddyn hon yn un nodedig i Frydain, canys ynddi y bu farw ein Hardderchog Frenin William IV. o barchus goffadwriaeth; ac ynddi gosodwyd arnom Frenhines ieuanc, deunaw oed. Hefyd, digorphorwyd y Senedd Ymerodrol; a dewiswyd o newydd Aelodau Tŷ y Cyffredin.

Ynddi y bygythiwyd newyn tost mewn un dosparth o'r deyrnas; pryd y dangoswyd tosturi, haelioni, ac elusengarwch cristionogaidd a diledrith tuag at y trueiniaid yn eu gwasgfa a'u cyfyngder. Yn nechreu y flwyddyn tarawyd, nid yn unig Brydain, ond cenhedloedd ereill lawer hefyd, â chlefyd yr *Influenza*, yr hwn a laddodd rai cannoedd yn y deyrnas hon, ac a adawodd effaith wanhaol ar ansawdd cyrph amryw sydd yn fyw. Ond yn y pethau hyn oll, cofio trugaredd a wnaeth yr Arglwydd, ac ysgafnhau ei law gospedigaethol, ac adferu i ni iechyd a chysur.

Bygythiwyd ni hefyd, yn nechreu y tymhor, â gwlawogydd oerion a hîn annhymherus, fel yr oeddym yn ofni prinder ymborth dyn ac anifail; ond Duw, yr hwn sydd yn hoffi trugarhau, a drodd ei law yn nghyfnewidiad yr hin, ac agos mewn modd gwyrthiol a barodd i'r ddaear dyfu a dwyn ffrwyth toreithiog iawn. Cawsom hefyd hîn rhagorol o addas i gasglu y cyfan dan dô. 'O na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion.'

Y diwygiad mewn cynnydd cymmedroldeb, ac yn enwedig mewn llwyddiant Cymdeithasau Dirwest sydd wedi enwogi y flwyddyn ddiweddaf. Mae llwyddiant y Cymdeithasau mor gynnyddfawr, fel y mae yn rhaid i bob dyn ystyriol ddywedyd, 'O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni.' Pwy all lai na chydnabod hefyd ddaionus law Duw tuag attom fel cenedl yn yr heddwch cartrefol, a'r llonyddwch gwladol, ydym yn fwynhau drwy holl ororau y Deyrnas Gyfunol.

Mae yn ddigon amlwg fod cynnydd ar wybodaeth a chrefydd yn Nghymru, a'r Efengyl yn llwyddo mewn amrywiol barthau pellenig y byd. Mae yr aml weddiau a'r taerion erfyniau sydd yn cael eu hanfon i'r nefoedd am dywalltiadau helaethach o'r Yspryd Glan yn sicr o lwyddo, canys yn ei iawn bryd y medwn oni ddiffygiwn. Gwrandewir ni yn amser da Duw. Mae yr addewid wedi ei rhoddi i ni; a ffyddlawn yw yr hwn a addawodd, yr hwn hefyd a'i gwna.

Mewn perthynas i'n Trysorfa, gallwn ddywedyd ei bod yn myned yn mlaen yn llwyddiannus, er cynnifer o Gyhoeddiadau misol sydd yn awr yn tramwy drwy y Dywysogaeth. Yr ydym yn canfod arwyddion amlwg fod rhyw awydd adnewyddol yn meddyliau rhai o'n prif Ohebwyr mewn deall a dawn ysgrifenu, am ein cynnorthwyo â'r goreuon Drysorau i gyflenwi ein tu dalenau y flwyddyn ddyfodol.

Cymhellai y cyfryw rai ni, heblaw rhoddi annogaethau cyffredinol ar glawr y Drysorfa, i anfon at y cyfryw a feddynt dalentau buddiawl, yn bersonol, a hyny yn fynych, i erfyn eu cynnorthwy, yr hyn, yn ddinag a wnawn gyda'r awyddfryd mwyaf. Mae gwyr y pum talent yn gyffredinol, os ydynt weision 'da a ffyddlon,' a'u dwylaw yn llawn goruchwyliaeth, a'u hamser yn brin, ac oherwydd hyny, angenrhaid yw eu mynych goffa, a'u taer gymhell i roddi cynnorthwy at orchwyl tebyg i'r Drysorfa.

Dysgwylir drwy hynyma y ceir trysorau gwerthfawr ac addas at lenwi y Drysorfa, er lles cyffredinol i'n darllenwyr lliosog. Ac os gwrendy Gweinidogion yr Efengyl a Henuriaid Eglwysig ar ein dymuniad am ei chyhoeddi ymhob pulpud drwy Gymru, ceir gweled y lliosogir ei derbynwyr a'u darllenwyr yn ddirfawr. Nid ydym yn ceisio hyn ganddynt ond unwaith yn y flwyddyn.

Eich cyfaill diffuant,

JOHN PARRY.

*Caerlleon, Rhagfyr* 1, 1837.

# DANGOSEG.

TU DAL.

---

*Rhestr o'r Ysgrythyrau y sylwyd arnynt yn y Cyfrol hon.*

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXIII.] IONAWR, 1837. [LLYFR VII.

## Y BUCHDRAITH CRISTIONOGOL.

RHIF. I.



## JOHN WICLIFF.

Y DIWYGIWR clodwiw uchod a anwyd yn y flwyddyn 1324, yn agos i Richmond yn mhlwyf Wicliff, Swydd Gaerefrog. Nid ydys yn meddu nemmawr o sicrwydd am amgylchiadau ei riaint yn ei ddyddiau boreuaf ef: ond dilys yw, ei fod ef yn nodedig am ei alluoedd meddyliol pan yn dra ieuanc; a phan nad oedd ond un mlwydd ar bymtheg oed, efe a dderbyniwyd yn ddysgybl o athrofa enwog Rhydychain, lle yr hynodai ei hun drwy ei ymroad at Ddwyfyddiaeth (*divinity*) ac athronddysg Aristotle, y rhanau tywyllaf o ysgrifenadau yr hwn a drysorasai yn ei gof, meddir. Yma hefyd y daeth yn dra chyfarwydd ar y gyfraith wladol ac eglwysig, ac yn hyddysg yn neddflyfrau Lloegr yn gyffredinol: at yr hyn yr ychwanegai ymchwyl manol i'r Ysgrythyrau, ac olrheiniad dyfal ar waith tadau Lladinaidd yr eglwys. Ymhyfrydai yn neillduol mewn myfyrio ar yr Ysgrythyrau, ac ysgrifenai nodiadau, esponiadau, a darlithau ar amryw ranau o honynt, o herwydd paham y'i gelwid *Dr. Evangelicus*, neu yr Athraw Efengylaidd.

Efe a feiai awdurdod ac uchelfrydedd y Pab mor foreu a'r flwyddyn 1356, mewn traethawd ar '*Oes olaf yr eglwys.*' Ac yn y flwyddyn 1360, efe a ymenwogodd yn hynod drwy ei wrthwynebiad doeth a zelog, i drawsder y mynachod cardodawl, ac yn fuan wedi hyny, trwy ddadl ar dlodi Crist.

Yn 1361, efe a ddyrchafwyd i fod yn feistr coleg Baliol, yn Rhydychain, ac anrhegwyd ef a bywioliaeth colegawl, ac yn mhen y pedair blynedd wedi hyny, efe a ddyrchafwyd gan Simon Islip, yr archesgob, i fod yn warcheidwad coleg Caergaint, yr hwn yr oedd ef newydd ei sylfaenu yn Rhydychain Y pryd hyn yr oedd efe wedi ennill parch cyffredinol, ac urddolion penaf yr eglwys a'i carent ac a'i mawrygent. Pa fodd bynag oddeutu y flwyddyn 1370, mewn canlyniad i'w ymddygiad gwrol, ac eofn, ar ryw beth a barai betrusder cydwybod, efe a fwrid o'r swydd olaf a grybwyllid, trwy orchymyn oddiwrth y Pab, yr hyn a chwerwai ei feddwl yn lled dost yn erbyn ei sancteiddrwydd.

Y pryd hyny yr oedd y Pab Urban wedi rhoddi rhybudd i'r brenin Edward, o'i fod yn amcanu ei wysio ef i ymddangos yn ei lŷs, yr hwn ydoedd yn Avignon y pryd hyny, i ateb am ei ddiffyg o gyflawni y gydnabyddiaeth a dalai ei ragflaenor Ioan, i esgobaeth Rhufain, am freniniaeth Lloegr, a llywodraeth yr Iwerddon; ac am ommedd talu y deyrnged arferol i'r esgobaeth hono. Ond y brenin a benderfynai wrthwynebu y cyfryw honiad, a'r senedd a gymeradwyai y penderfyniad, pan feiddiai mynach gymeryd arno amddiffyn y Pab, a haeru bod ei honiad yn eithaf cyfiawn: ond Wicliff a gyfodai yn wrthwynebwr zelog a galluog i'r ysgrifenydd hwnw; gan amddiffyn uniondeb penderfyniad y brenin, trwy yr hyn yr ennillai sylw a ffafr amryw o'r mawrion, yn enwedig John o Gaunt, *Duc Lancaster*.

Yn 1372, efe a roddwyd yn Ddysgawdwr Dwyfddysg, a darllenai ddarlithau cyhoeddus ar dduwinyddiaeth, er hyfrydwch tra mawr yr efrydwyr. Efe a drodd ei feddwl drachefn at y cyfeiliornadau, a'r annrhefn oedd wedi ymlusgo i'r eglwys, gan benderfynu eu dynoethi, gyda'r amcan o gael diwygiad oddiwrthynt; ac yn mhen ychydig flynyddau wedi, efe a gy-

hoeddodd draethawd nodedig, yn yr hwn y cyhuddai y mynachod o goledd hanner cant o heresiau a chyfeiliornadau, y rhai a nodir ganddo yn y traethawd hwnw.

Yr awdurdod babaidd, yr hon a gynnyddasai yn raddol, oedd yn uwch nac erioed yn bresenol, a'r Pab a gyfranai fywiolaethau ac urddasau eglwysig fel y mynai ei hun. Rhoddai y bywiolaethau brasaf i Eidaliaid, Ffrancod, ac estroniaid eraill llwyr ddyeithr i'r iaith Seisnig; yr hyn o'r diwedd a barai i'r Senedd gwyno wrth y brenin yn gyntaf, a thrachefn wrth y Pab. Ond er yr holl gwynion hyn, nid oeddynt yn cael dim ymwared; a'r brenin o'r diwedd a anfonodd genhadon at y Pab Gregor XI. i ddymuno arno beidio ymyryd cymmaint â'r bywiolaethau. Ond ni esgorodd y gennadwraeth hon ar nemawr o ddiwygiad, am hyny y Seneddwyr o Dŷ y Cyffredin, a adnewyddent eu cwyn, 'am gael rhyw foddion diwygiad, priodol i wrthdaro trefniadau y Pab, trwy y rhai y meda efe flaenffrwyth urddau eglwysig, ac felly yn cludo trysor y deyrnas o honi, yr hyn na allent hwy ei oddef.' Ac yn y Senedd dymhor hwnw, cymeradwyid deddf, yn caniattau i'r eglwysi cadeiriol gael mwynhau eu hetholiadau eu hunain, ac na byddai i'r brenin mwyach ysgrifenu yn erbyn y rhai a ddewisid felly, ond yn hytrach ymdrechu i'w cadarnhau, os byddai achos yn galw am hyny. Ond gan fod y cyfryw drefniad yn lled anfoddhäol, awdurdodai y brenin ddirprwywyr i chwilio i'r holl fywiolaethau oeddynt yn nwylaw estroniaid, ac wedi cael allan fod y nifer yn fawr iawn, y brenin a anfonodd genhadon eraill at y Pab, yn y flwyddyn 1374, ar yr unrhyw neges â'r cenhadau a anfonasai efe y flwyddyn o'r blaen; ac yr oedd Wicliff yn un o'r cenhadon hyn. Buwyd tua dwy flynedd yn cynnadleddu ar y neges grybwylledig, a chäai Wicliff fwy i'w wneyd, na'r holl genhadon eraill yn y gynnadledd hon, trwy yr hyn y cafodd lawer o fantais i adnabod balchedd, cybydd-dod, ac uchelfrydedd y Pab yn fwy nac erioed o'r blaen; ac wedi dychwelyd i Loegr efe a ddechreuodd ddynoethi ei ddrygau yn ddiarbed. Efe a ysgrifenodd yn erbyn y maddeuant-lythyrau Pabaidd; a thrwy ei wrthwynebiad zelog i Eglwys Rhufain, efe a ddygwyd i drallodau nid ychydig. Efe a geryddai falchder a chybydd-dod yr offeiriaid yn arw, yn nghyd a'u hesgeulusdra o bregethu efengyl Crist. Yn y fl. 1376, efe a anrhegwyd a bywiolaeth werthfawr Lutterworth, gan y brenin; fel arwydd o'r boddlonrwydd a gawsai ei fawrhydi yn ei ymddygiad synhwyrgall ef ar ei negeswriaeth ddiweddar i lys y Pab. Ond yr oedd ymdrechion diflin Wicliff, i ddiwygio ei oes lygredig, yn cynhyrfu gelyniaeth mewn llawer tuag atto; ac yn fuan ar ol iddo ddechreu gwrthwynebu yr awdurdodau Pabaidd yn ei ddarlithau cyhoeddus, cyflwynid achwyniad i'w erbyn o flaen y Pab, mewn pedair ar bymtheg o erthyglau.

Wedi i'r Pab dderbyn yr erthyglau hyn, efe a anfonodd amryw o'r swyddlythyrau (*Bulls*) i Loegr, gan erchi chwilio i'r peth yn fanol, carcharu Wicliff allan o law, ac os ceid ef yn euog, ei gospi. Eithr cyn i'r llythyrau gyrhaedd Lloegr bu farw y brenin Edward; ond er hyny, yr archesgob ac esgob Llundain, a aethant yn nghylch y gorchwyl o gyflawni eirchion eu meistr; a chan na allent gael gan brif athrofa Rhydychain draddodi Wicliff i'w dwylaw, hwy a anfonasant eu harchysgrif allan at gangellwr y brif athrofa, ac uchel swyddog arall, i erchi iddynt beri iddo ymddangos ger eu bron ar y 19 o Chwefror. Ar y dydd nodedig, aeth Wicliff, yn nghwmni John, Duc Lancaster, a Henry Piercy, Cadflaenor y deyrnas, ac a ymddangosodd o'u blaen yn eglwys St. Paul; ond rhyw ymeiriaeth a gymerai le rhwng y Cadlywydd ac Esgob Llundain, a barai y fath rwystr ar eu ffordd y tro hwnw, fel y rhoid y cyfarfod i fynu, heb wneyd dim mewn perthynas i Wicliff.

Ond yn Mehefin, 1378, eisteddai y dirprwywyr, a Wicliff yntau oedd wyddfodol yn y cyfarfod hwn eto: ond mam y brenin ieuanc, (Richard II.) a anfonai genhadwr i'r llys, i'w gwahardd i roddi unrhyw ddedryd derfynol yn erbyn y diwygiwr.

Yn y cyfarfod hwn, cyflwynai Wicliff bapuryn dyddorol (*interesting*) i mewn yn yr hwn cynnwysid ei resymau cedyrn am

y golygiadau a gefnogai, am y rhai y'i cyhuddid, ac i ateb dros y rhai y gwysid ef i ateb yno: ond y dirprwywyr nid ymfoddlonent ar yr egluriadau hyn, am hyny hwy a roddent orchymyn caeth iddo, na ddysgai y cyfryw olygiadau mwyach yn yr ysgolion, nac yn ei bregethau chwaith.

Yn y flwyddyn hon y bu farw y Pab Gregor XI. yr hyn a roddai derfyn ar awdurdod y dirprwywyr yn achos Wicliff, fel na bu raid iddo ymddangos o'u blaen hwy mwyach. Yn 1378, efe a gyhoeddodd ei lyfr ar Wirionedd yr Ysgrythyrau; ac yn 1379, mewn canlyniad i'w lafur dirfawr, efe a ddaliwyd â chlefyd trwm; a meddylid ei fod ar fin trancedigaeth. Y mynachod a dybient nad oedd well adeg iddynt i geisio perswadio y diwygiwr i alw ei eiriau yn ol, yn enwedig ei gyhuddiadau i'w herbyn hwy, ac i'r perwyl hyny, anfonent amryw o'u prif ddoctoriaid a rhai o Swyddogion y ddinas, at ei glaf-wely; lle y dechreuent ddatgan eu cydymdeimlad âg ef yn ei gystudd, a'u gobeithion am ei adferiad buan. Yna crybwyllent na allai fod yn anhysbys iddo ef y cam a gawsent hwy oddiar ei law, yn enwedig drwy ei bregethau a'i ysgrifenadau eraill; a chan ei fod megys wrth borth angau yn bresenol, barnent ei fod yn meddu teimladau gofidus o'r herwydd; ac am hyny, dywedent eu bod yn gobeithio na chelai ei edifeirwch, ond y byddai iddo alw yn ol pa beth bynag a ddywedasai i'w herbyn, mewn modd amlwg a chyhoedd.

Y diwygiwr cystuddiedig a wrandawai yn dawel ar eu cyfarchiad, ac wedi iddynt ddarfod, amneidiai ar i'r rhai a weinient iddo, ei gyfodi yn ei wely, yna gan dremio arnynt, a gwysio ei holl nerth i weithrediad, efe a floeddiai â llef uchel, 'Ni byddaf farw ond byw, ac eto y mynegaf ddrwg weithredoedd y mynachod.' Y doctoriaid wedi brawychu, a ruthrent allan o'r ystafell, a buan y cawsant weled ei ragddywediad yn cael ei wirio er eu gofid.

Yn 1380, ni a'i cawn wrth ei waith yn dra egniol, yn dynoethi cyfeiliornadau eglwysig Rhufain, a drygweddau yr eglwyswyr, drwy ei bregethau, ei ddarlithau, a'i ysgrifenadau. Ond ei lafur pwysfawrusaf oddeutu y pryd hwn oedd cyfieithu'yr Ysgrythyrau i'r iaith Saesoneg, wrth yr hyn y bu yn ddiwyd am flynyddoedd lawer, ac amryw wyr dysgedig a duwiol yn ei gynnorthwyo. Ond yn lle y diolchgarwch a'r parchedigaeth a haeddasai y fath lafur gwerthfawr, ni chafodd ond ei wrthwynebu a'i wawdio gan lawer, yn neillduol yr offeiriaid Pabaidd, y rhai oeddynt ddigon synhwyrol i ganfod fod cyfieithiad y Bibl i iaith y werin, yn taro ar wreiddyn anwybodaeth a choelgrefydd, ac fel yr Ephesiaid gynt, yr oeddynt hwythau yn crynu rhag myned eu *rhan* hwy i ddirmyg. Ymosodwyd yn erbyn y cyfieithiad hwn, ond Wicliff a'i hamddiffynai yn fedrus; yna ceisiwyd haeru nad oedd gan y werin hawl i ddarllen yr ysgrythyrau, yntau yn ddoeth a amddiffynodd y cyfryw hawl yn gadarn.

Yn y flwyddyn hon a'r un ganlynol, ymroddodd yn egnïol i wrthwynebu yr athrawiaeth Babaidd o draws sylweddiad, a gwir bresenoldeb corph Crist yn sacrament yr allor. Ni ellid dysgwyl y byddai i'w elynion oddef iddo ymosod yn y fath fodd, yn erbyn athrawiaeth a gredasid gan yr eglwys Babaidd dros agos i fil o flyneddoedd, heb geisio ei faeddu a'i flino o'r herwydd; ac felly canghellwr Rhydychain, a rhai o ddoctoriaid y brif-athrofa a gydsynient i'w geryddu yn llym am y fath ymddygiad; a chyhoeddid dedfryd o ysgymundod yn erbyn pwy bynag o aelodau y brif athrofa a ddysgent ei egwyddorion, neu a wrandawent ar resymau o'u plaid. Cludid hysbysiad o'r penderfyniad hwn i Wicliff, tra yr oedd efe ar ganol darlithiaw i'w ddysgyblion; efe a ddystawodd am fynyd, ac yna aeth yn mlaen, gan feiddio ei wrthwynebwyr i ddadleu y mater yn deg; ac ardystiai os cynnygid ei orfodi i dewi, yr apeliai efe am nawdd y Brenin.

Courtney, yr hwn a bennodasid yn archesgob Caergaint yn ddiweddar, a anfonai gyhoeddiad allan yn mis Mai 1382, i alw cymmanfa yn nghyd, i ystyried amryw olygiadau dyeithrawl a pheryglus oeddynt yn ymledu yn helaeth yn mysg bonedd a gwreng Lloegr. Ei gasineb adnabyddus at Wicliff, oedd yn ddigonol sail i ddysgwyl pa amcanion oedd ganddo

mewn golwg. Cynhelid y Gymmanfa yn Llundain, a chyd a'i bod wedi ei chynnull, siglid y ddinas drwy ddaeargryn, yr hyn a barai i amryw o aelodau y Gymmanfa frawychu, a meddwl mai arwydd oedd y ddaeargryn o anfoddlonrwydd y Goruchaf iddynt. Ond Courtney a'u cysurai gan haeru fod y ddaeargryn yn hytrach yn arwyddo glanhad y deyrnas oddiwrth heresiau, yr hyn ni wneid heb ymdrech galed, a chynhyrfiadau mawrion. Nid yw yn ymddangos i Wicliff ei hun gael ei wysio i'r Gymmanfa hon o gwbl; er hyny condemniwyd amryw o'i olygiadau fel heresiau niweidiol, a chyhoeddid ysgymundod dfarbed ar bawb a gefnogent neu a goleddent y cyfryw olygiadau.

Bod llawer o bobl y deyrnas wedi llyncu yr egwyddorion hyn y pryd hyny a welir debygid wrth ystyried fod yr offeiriaid Pabaidd, er llwyddo, i gael gan yr Arglwyddi ffurfio a chymeradwyo cyfraith i erlid Wicliff a'i bleidwyr, a llethu eu hathrawiaeth, methent er pob ymdrechion, a chael gan dŷ y Cyffredin gadarnhau y fath ddeddf, ac un hanesydd cyfoesedig i Wicliff a ddywaid, fod tua hanner trigolion y wlad wedi eu halogi a'i heresiau. Ond yr archesgob a lwyddodd i berswadio y brenin i'w awdurdodi ef a'i gydweithwyr i garcharu, erlid, a blino y diwygwyr; yr hyn a fu yn ddechreuad blinder nid ychydig i garwyr y gwir yn Mrydain Fawr.

Fel hyn y bu Wicliff yn hir yn gwrthsefyll y llifeiriant a ruthrai i'w erbyn; ond o'r diwedd, bu raid iddo adael ei swydd yn y brif athrofa, ac ymneillduo i'w fywioliaeth yn Lutterworth: ond ni bu yn segur yno, ond parhaodd yn ddiflino yn ei ymdrechion i lanhau ei wlad oddiwrth ei llygredigaethau mawrion, ac i wneuthur lles i eneidiau dynion. Yma y gorphenodd efe ei gyfieithiad o'r Ysgrythyrau, ac yr ysgrifenodd efe y nifer fwyaf o'i bregethau a'i draethodau.

Efe a darawwyd â dyrnod o'r parlys cyn pen hir ar ol ymsymmudo i Lutterworth, ond efe a wellhaodd o'r dyrnod hwnw yn fuan, fel y gallai ail ymafael yn ei orchwylion.

Y Pab Urban a'i gwysiai i ymddangos ger ei fron ef, i ateb y cyhuddiadau a ddygid i'w erbyn, ond efe a ddychwelai lythyr o ymesgusodiad, gan ddywedyd fod Crist wedi ei ddysgu i ufuddhau i Dduw yn hytrach nag i ddyn. Ar ol hyn dechreuai ei iechyd waethygu yn raddol, er hyny yr oedd yn parhau i bregethu yn ddyfal, mewn amser ac allan o amser; hyd o'r diwedd, ar ddydd gwyl y gwirioniaid yn y flwyddyn 1384, y cafodd efe ddyrnod eilwaith gan y parlys, pan oedd yn rhanu bara yn y swper sanctaidd (medd rhai) fel y collodd ei deimlad a'i barabl ar unwaith; ac yn mhen y ddeuddydd, ehedai ei yspryd i'r orphwysfa dawel, sydd fry i bererinion Sïon; ac felly y machludodd y seren forau hon, Rhag. 31, 1384.

Yn 1415 archai Cynghor Constance i'w weddillion gael eu cyfodi, a'u bwrw o ddaear gyssegredig; ond ni wnaed hyn hyd y flwyddyn 1428, yn mhen pedair mlynedd a deugain wedi ei farwolaeth, pan barodd y Pab i'w esgyrn gael eu cyfodi, eu llosgi yn lludw, a thaenellu hwnw ar yr afon a lifeiriai gerllaw.

Ei olygiadau athrawiaethol oeddynt dra ysgrythyrol ac efengylaidd ar y cyfan, er fod olion llysnafedd y golygiadau Pabaidd, a ddysgasai yn ieuanc, ar ei farn hyd ddiwedd ei oes.

Gan obeithio y bydd y buchdraith uchod yn ddifyrus ac adeiladol i ddarllenwyr lluosawg y *Drysorfa*, yr ydwyf yn terfynu yn bresenol, gan fwriadu eich anrhegu y mis nesaf etto, â Buchdraith *John Huss*, diwygiwr enwog o *Bohemia*. O. JONES.

*Wyddgrug.*

☞ Daw Buchdraeth Luther yn ei gylch.



**COFFADWRIAETH AM MR. E. GOSLET,**

*Gynt Gweinidog yr Efengyl gyda'r Methodistiaid Calvinaidd yn Sir Fynwy; yr hwn a fu farw yn y flwyddyn* 1828.

Cafodd Edward Goslet ei eni o deulu cyffredin, yn mhlwyf Machen, (nid pell oddi yno y treuliodd ddiwedd ei oes) yn y flwyddyn 1750. Cafodd godiad cyffredin, a'i ddysgu pan yn ieuangc at yr alwedigaeth fel Gof-haiarn i ennill ei fywioliaeth.

Ychydig iawn oedd o ymarferyd â

thoddion crefyddol yn yr amser hwnw. Ië, ac hyd yn bresenol, yn y plwyf y ganwyd ef ynddo. Ond rhyw ffordd neu gilydd yr hyn nis cefais afael arno, denwyd ef i fyned i wrandaw hen wr oedd yn arferol o bregethu yn y Groeswen, amryw filltiroedd o'i gartref. Dechreuodd y gair gael effaith ar ei feddwl, nes ydoedd o'r diwedd yn ammeu cael byw: ac o dan daranau Sinai yn gwaeddi, 'Ha wyr, pa beth a wnaf?' Ond torrodd y wawr arno, fod gobaith yn yr amlygiad fod Iesu Grist yn alluog i achub y pennaf o bechaduriaid. Yna penderfynodd ymuno â'r Eglwys hono yn Groeswen lle yr oedd yr hen wr a nodwyd yn gweinidogaethu; yr hon mae yn debyg oedd Eglwys anymddibynol. Ond nid oedd fawr ddwndwr y pryd hwnw am enwau, a zel bartïol. Byddai Mr. Rowlands a Mr. David Morris, pan ddelent trwy y wlad yn pregethu yno.

Ymunodd â'r Eglwys yma yn y flwydd. yn 1769 pan oedd oddeutu 19 oed. Nid hir y bu yn aelod yn yr Eglwys cyn i ryw beth weithio ar ei feddwl ynghylch gwaith y weinidogaeth, sef cynghori a rhybuddio ei gymydogion ac eraill i ffoi 'rhag y llid a fydd.' Dechreuodd alw hefyd am rai i bregethu yn ei dŷ, a'u cynnorthwyo ar ei draul ei hun, trwy weithio yn galed. Felly fe ymroddodd i gynghori a rhybuddio ei gymydogion fel yr oedd i raddau helaeth yn cyffroi y wlad. Ac wrth ei weled felly, ar ryw noswaith pan mewn oedfa, a'r Pregethwr a gyhoeddwyd heb ddyfod, ymaflodd rhai o'r hen bobl yn ei ysgwydd, gan ddywedyd, 'Mae yn rhaid i ti bregethu *Nedu*,' (felly y galwent *Edward* y pryd hyny.) Yna efe a ymaflodd yn y gorchwyl â'i holl egni, 'heb ymgynghori â chig a gwaed;' drylliwyd y dadleuon, anghofiwyd fod y Pregethwr heb ddyfod, oblegid fod Duw yn amlwg yn y lle. Bu hyn yn y flwyddyn 1776, pan oedd efe oddeutu 26 oed.

Yn fuan wedi hyn symudodd i'r Casbach, trwy iddo gael gweithdy yno, yn ol ei alwedigaeth, ac yno y treuliodd weddill ei oes. Nid oedd y pryd hwnw un achos crefyddol gan un enwad o bobl, am amryw filltiroedd o amgylch y Casbach. Wedi syrthio fel hyn i ganol caddug o dywyllwch, dechreuodd efe a'i wraig grefyddol, (yr hon a briodasai efe oddeutu 6 mlynedd cyn hyn,) i feddwl beth a allent wneuthur yn y wlad dywyll hon. Ond wrth chwilio ac ymofyn cawsant fod dau neu dri o Fedyddwyr ac un neu ddau o Anymddibynwyr yn y rhan hono o'r wlad: cyttunasant ynghyd i gadw cyfarfod *private*. Cynaliwyd y Gymdeithas hon yn Coed-Carnew, oddeutu 2 filldir o'i gartref. Ac yno y daeth Miss B. Evans, sydd yn Llaneirwg, at grefydd. Trwy weinidogaeth Dafydd Morris, Mr. Jones, Langan, ac eraill, y dechreuodd gweithrediadau grymus ar ei meddwl, ac am hyny dywedid mae un o'r Methodistiaid oedd hon: ac yr oedd Edward Goslet hefyd yn tueddu i gynnyg ei hun i'r Methodistiaid. Aml yr ymddiddanai â Miss Evans am ei chyflwr, ond nid ynganai ddim am y duedd hon.

Ond ryw dro, aed i ymddiddan â Miss Evans ynghylch ei derbyniad cyflawn fel aelod yn eu plith; ond gwrthododd gymmeryd ei lle. Ac wedi hyny pan gyfarfu Edward Goslet â hi, gofynodd iddi beth oedd y rheswm am beidio cymmeryd ei lle; i hyn yr attebodd, fod ei bwriad i fyned i Langan am le yno. Yna dywedodd, felly finnau. Yr oeddynt yn aml yn myned i Langan, efe a hithau, ac un neu ddau arall.

Ond o'r diwedd cynnygiodd ei hun i'r Society yn Llangan, a chafodd ei wrthwynebu, a'i drin yn arw iawn gan amryw, oblegid 'treiglo o dŷ i dŷ, drwy ei fod yn ceisio dyfod oddiwrth yr Independiaid at y Methodistiaid; a bod dechreu treiglo yn brawf isel am dano; fe allai, yn nesaf, yr elai at y Pabyddion, neu y Sociniaid.' Yr oedd efe yn dal ei drin yn eithaf amyneddgar: ar hyn gofynodd Mr. Jones, Llangan, iddo, beth a wnai os gwrthodid ef, ei bod hi yn ymddangos yn dywyll iawn ar ei ochr? Attebodd yntau, a'i galon ar dorri, nad oedd ganddo ddim i wneud ond aros wrth y drws, a churo! Yna maeddwyd eu cyndynrwydd, cynneswyd ac agorwyd eu mynwesau, a derbyniwyd

ef yn ewyllysgar ganddynt, i'r frawdoliaeth fel cynghorwr.

Wedi dychwelyd adref, meddyliodd am *Society* ei hunan, a phenderfynodd i gadw un yn ei dŷ ei hun: a phump oeddynt yn cychwyn, efe, a'i wraig, a Miss Evans, a dau eraill.

Dangosodd yr Arglwydd yn fuan ei foddlonrwydd ar y gwaith, trwy tywallt arnynt ei Ysbryd o'r uchelder: ac er nad oedd ond nifer fechan, etto yr oedd grym yr ymweliadau mor fawr, fel yr oeddynt yn torri allan mewn mawl a chlodforedd i Dduw am drefn cadw pechadur. Yn fuan cynhyrfodd y Diafol un o Lywodraethwyr y Tredego fawr, yr hwn oedd wedi gosod y gweithdy a'i dŷ i Edward Goslet, gan fygwth os cadwent y fath swn ag annhrefn a hyn, y cymerai y lle oddiarno! Ar hyn chwiliwyd am le arall, a bu yn anhawdd iawn cael lle i'r Arch i orphwys; ac fe fu arch Duw allan, heb gymmaint a phabell i aros ynddi dros dymmor.

Ond o'r diwedd cafwyd lle yn Llaneirwg, oddeutu 2 filldir o'r Casbach; ac fel hyn y ffurfiwyd achos y Methodistiaid yn Llaneirwg, yr hon yn bresenol sydd Eglwys fawr, a'r Capel er ys rhai blynyddau wedi ei adeiladu. Ac er pob bygwth ar Edward, weithiau yn ddirgel, ac weithiau yn fwy cyhoeddus, yr oedd efe yn myned i gynghori a rhybuddio o dŷ i dŷ, o amgylch amryw blwyfau; a'r Arglwydd yn ei bleidio, fel y bu yn offeryn yn ei law ef i blanu tair o Eglwysi:—un yn y Morfa, un arall yn Llaneirwg, un arall yn ei gartref, y Casbach. Ac er maint oedd ei lafur crefyddol, etto nid esgeulusodd ei alwedigaeth dymmorol er cynnaliaeth ei deulu, yr hwn oedd liosog. Ac yn hyn, efe a ennillodd iddo ei hun enw mewn diwydrwydd a ffyddlondeb, fel y mae y wlad o amgylch mewn cwlwm â'i fab, yn yr alwedigaeth, o barch i Edward hyd y dydd hwn. Mynych ar ol gweithio yn galed trwy gorph y dydd, y cerddai 8, 10, 12 milldir i gynghori, ac yn ol at ei waith yn fore drannoeth fel o'r blaen, megis pe na buasai teimladau dynol ganddo. Llawer gwaith y cerddodd 50 o filltiroedd ar y Sabbath, a phregethu dair gwaith; oblegid na oddefai ei alwedigaeth iddo golli Sadwrn a Llun.

Yn fuan wedi i'r storm gyntaf fyned heibio, wele un arall yn dyfod, ac yn ymosod arno, a hyny am ei fod yn pregethu heb un *Licence*! Bu agos iddo a chael ei gosbi; ond efe a aeth at Gyfreithwr; cymmerodd hwnw ei achos i'r chwarter Sessiwn: hysbysodd y Cyfreithwr i'r Ynadon fod ganddo un yn ymofyn am *Licence* i bregethu. Gofynodd un o'r Ynadon, beth oedd efe, pa un ai ffermwr ai Crefftwr? Attebodd yntau, mae Gôf ydoedd, dywedodd yr Ynad, 'Duw a'i bendithio:' dywedodd Edward ar g'oedd y Cwrt, 'Amen, dy fendith di, a Duw a wna y tro.' Felly, efe a ddiangodd.

Profedigaeth chwerw arall a gyfarfu âg ef, pan ar ei daith yn Sir Frycheiniog yn pregethu; wrth fyned i ymweled âg un o'i geraint yn yr ardal, ar ol pregethu ar noswaith. Ond er ei siomedigaeth, yr ydoedd wedi symud i ardal arall; ac yn y tŷ y pryd hwnw yr oedd un wedi ei ddal am *forgery*! a phan welodd y dyn Edward yn dyfod i'r tŷ, efe a ddywedodd, 'hwn yw y dyn oedd gyd â mi yn cyflawni y weithred o *forgery*!' Ar hyn cymmerwyd ef i'r ddalfa, ac yntau i amddiffyn ei hun, a ddywedodd mai pregethwr tlawd oedd ef, ac ar ei daith yn myned trwy y wlad. Daeth amryw ymlaen i brofi hyn: a'r hen wragedd, pan glywsant fod eu pregethwr mewn dalfa, a ddaethant yno dan wylo, &c. Ond wedi iddynt ddeall mai pregethwr ydoedd, bu iddynt ei ddiystyru a'i ddirmygu yn fwy o lawer; ac wedi iddynt ei wawdio ar hyd y nos, danfonasant ef i'w ffordd boreu drannoeth. Mynnasai llawer eu cospi am y driniaeth a gafodd, ond ef ni wnai.

Fel pregethwr, hefyd, ennillodd barch mawr gan ei frodyr, ac hefyd gan y wlad yn gyffredinol. Nid rhaid nodi ond ychydig am hyn, oblegid y mae y canmoedd a'r miloedd a arferodd wrando llawer arno yn dystion byw o hyn. Wrth i mi deithio gan mwyaf o Ddehau a Gogledd Cymru, pan y deallent mai o Sir Fynwy y byddwn yn dyfod, yna coffaent gyda pharch ac anwyldeb am Edward Goslet.

Fel astudiwr nid llawer a ysgrifenodd,

oblegyd byrdra amser gan amgylchiadau bydol, a'r gwaith caled a ddilynai; ond myfyriai a darllenai lawer. Mae amryw fanau o'i Destament a'i Fibl yn anhawdd eu darllen oblegid y difwyno fu arnynt oddiwrth y tân glo, ac wedi eu tyllu gan wreichion yr efail. 'Ymboenai lawer yn y gair a'r athrawiaeth.' Yr oedd y fath arwydd llafur ar ei bregethau, (ac arddeliad hefyd,) fel y bu i Mr. Jones, Langan, ofyn iddo, Pa le y cefaist ti y bregeth yna, Edward? Oh, meddai yntau, mewn study na fuoch chwi erioed ynddi, Syr. Pa le oedd hyny? Rhwng y morthwyl a'r einion. Dyma y fan yr astudiai ei bregethau! Ni wisgai efe ei bregethau â geiriau pertion, ond gwladaidd, garw, a sathredig iawn.

Un tro, yn pregethu, wrth ddangos gwynfyd yr annuwiol ac adfyd y duwiol yn y bywyd hwn, dywedai, Pa le mae yr ŷch? yn y beudy. Pa le mae y mochyn? yn y twlc. Pa le mae y ci? ar yr aelwyd. Ond pa le mae y ddafad? allan yn y storm. Yr ŷch, y mochyn, a'r ci mewn cysgod, a'r ddafad yn agored i'r ddrycbin.

Mor ofalus oedd am fyned i'w gyhoeddiadau sabbathol, fel y trafaeliodd lawer nos sadwrn, am bellder ffordd, i'w gyhoeddiad erbyn y Sabbath. Pan caffai hwyl wrth bregethu, gwaeddai 'Gogoniant!' nerth ei ben.

Wedi i'r cyfeillion roddi ceffyl iddo, teithiodd lawer trwy Dde a Gogledd. O ran ei oes grefyddol, treuliodd y rhan fwyaf o honi yn agos iawn at Dduw, ac yn lled sicr mewn perthynas i'w gyflwr. Eithr cododd tymestl arno fel y bu agos i'w long ddryllio—cymmylodd ei brofiad, a bu bron ag ammeu y cwbl oddeutu eu gyflwr ei hun; er yn ddiysgog o ran yr athrawiaeth.

Yr oedd ei brofiad yn ei glefyd diweddaf yn anghysurus iddo ei hun, ac yn peri dychryn i'r brodyr a ymwelent âg ef. Yn y cyfamser daeth brawd yn y weinidogaeth o Sir Benfro trwy y wlad, ac i'r Casbach, ac a aeth i ymddiddan ag Edward Goslet yn ei gystudd: nid oedd dim mewn golwg ond yr anghysur mwyaf. Aeth y brawd i Laneirwg y noson hono; ac wrth ddibenu yr oedfa mewn gweddi, daeth amgylchiad anghysurus Edward ar ei feddwl; a dechreuodd waeddi 'am i'r wisg oedd wedi ei gwystlo gael ei dwyn yn ol cyn yr hwyr.' Sylwodd y cyfeillion yno ar neillduolrwydd a thaerineb y deisyfiad, gan ddeall yr achos, fel y mae argraff o hyny yn aros ar feddwl llawer o honynt hyd heddyw. Ond cyn nos dranoeth, yr oedd y weddi wedi ei hatteb, y wisg wedi ei chael, y berthynas yn y golwg, ac arogl peraidd y wlad yn peri iddo waeddi, 'Y mae arnaf chwant i'm dattod:' fod ganddo Brynwr byw; a bod marw yn elw iddo.

Felly, ar ol hir dywyllwch ymadawodd dan ganu, a'r haul wedi codi ar ei babell, yn y flwyddyn 1828, yn 78 blwydd oed. Felly dibenodd ei oes, wedi bod 59 o flynyddau yn crefydda, a 52 o flynyddau yn pregethu. WILLIAM DAVIES.

*Ysgwydd Gwyn.*

## Rhagoriaethau y Bibl.

—o—

### IONAH.

Ionah a brophwydodd yn nheyrnasiad Ieroboam, mab Ioas brenin Israel, o ddeutu pedwar ugain mlynedd o flaen amser Esaia. Testyn llyfr Ionah ydyw anfoniad y prophwyd hwnw i ddinas boblog Ninefeh, prif ddinas yr ymerodraeth Assyriaidd, a'i weinidogaeth lwyddiannus yn mysg ei phobl. Dyben y côf lyfr prophwydoliaethol hwn yw dangos, trwy esampl nodedig y Ninefeaid, ddyoddefgarwch a hirymaros Duw tu ag at bechaduriaid, trwy yr hwn maent yn cael eu harbed ar eu gwir edifeirwch.

Llyfr Ionah sydd wedi ei ranu i bedair o bennodau, yn cynnwys dau o ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn adrodd cennadwri gyntaf Ionah, ei anufudd-dod a'i gerydd, pen. i. ii.

Dos. II. Yr ail gennadwri, a llwyddiant y prophwyd, pen. iii. iv.

Mae pedwar o bethau neillduol o hynod yn llyfr Ionah.

1. Anufudd-dod Ionah i orchymyn Duw, trwy yr ofn o gael ei gyfrif yn brophwyd celwyddog, os edifarhai y Ninefeaid a'r ddinas gael ei harbed.

2. Hanes Ionah yn cael ei daflu i'r môr, a'i lyngcu gan bysgodyn mawr, yr hwn a

ddarparodd yr Arglwydd i'r dyben hwnw.

3. Gwaredigaeth y prophwyd edifeiriol o'i garchar dyfrllyd yn mol y pysgodyn.

4. Effeithiau bendithiol gweinidogaeth Ionah yn mysg y Ninefeaid.

Yn ngwaredigaeth Ionah o garchar y pysgodyn yr ydoedd y prophwyd yn gysgod o adgyfodiad ein Hiachawdwr o'r bedd. O'r braidd mae'n ymddangos yn werth ei goffâu fod rhai dynion yn gwrthddadleu yn erbyn hanes Ionah yn cael ei lyngcu gan bysgodyn; fel mae y prophwyd yn eglur yn dywedyd, fod yr Arglwydd 'wedi darparu pysgodyn mawr i lyngcu Ionah;' a'r cyfryw ddynion ammheüus ac anghrediniol ydynt yn anghofio hollalluogrwydd yr Arglwydd, Creawdwr y byd, a Duw Ionah. Heblaw hyn, amrywiol bysgod anferth o faint o rywogaeth y môrgi gwyn (*shark*) a gawsant eu dal yn ddiweddar, yn nghylla pa rai cafwyd cyrph cyfain dynion, a'u dillad am danynt; ac mewn un esampl, cafwyd milwr a'i addurnau milwraidd am dano a'i arfogaeth.

*Cyfeiriadau yn Ionah*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i 17 | Matt. xii 39—41<br>Luc xi 30—32 | Pen. iii 5 | Matt. xii 41<br>Luc xi 32 |
| —— ii 9 | Heb. xiii. 15 | | |

---

## MICAH.

Micah ydoedd brophwyd yn Iuda, ac yr ydoedd yn arferyd ei weinidogaeth yn amser Esaia. Efe a godwyd i gadarnâu prophwydoliaethau Esaia, yn erbyn yr Israeliaid a'r Iuddewon, y rhai yr ydoedd yn eu gwahodd i edifeirwch trwy farnedigaethau bygythiedig a bendithion addawedig. Llyfr Micah sydd wedi ei ranu i saith o bennodau, y rhai ydynt yn cynnwys tri o brif ddosparthiadau,

Dosparthiad I. Sydd yn cynnwys amrywiol brophwydoliaethau a draddodwyd yn nheyrnasiad Iotham, pen. 1.

Dos. II. Prophwydoliaethau yn nheyrnasiad Ahaz, pen. ii—iv. 8.

Dos. III. Prophwydoliaethau yn nheyrnasiad Hezeciah, pen. iv. 9.—vii.

Llyfr Micah a ystyriwyd y brophwydoliaeth unigol bwysfawrocaf yn yr Hen Destament; a'r mwyaf cynhwysfawr o berthynas i le genedigaeth a nodweddiad personol y Messiah, a bendithion ei deyrnas ar y ddaear.

*Cyfeiriadau yn Micah.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i 3 | Eph. v 16 | Pen. v 2 | Matt ii 6 Ioan i 1 vii 42 |
| 10 | Heb. xiii. 13 14 | vii 6 | x 21 35 36 |
| iii 5 | Matt. vii 15 | 20 | Luc i 72 73 |
| iv 7 | Luc i 33<br>Dat. xi 15 | | |

---

SYLWADAU

AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O

## GANU MAWL.

Gan y golygir, nid heb achos, yr esgeulusdra, y musgrellni, a'r holl annhrefn sydd yn ein plith fel cenedl yn gyffredinol, yn nygiad yr ordinhad oruchel o ganu mawl i Dduw, yn mlaen, nid fel ffrwyth ac effaith anwybodaeth ac annysgeidiaeth mewn cerddoriaeth fel celfyddyd, eithr yn darddiant neu gynnyrch o anwybodaeth ac anystyriaeth o hyn fel y mae yn ddyledswydd o ordeiniad a gosodiad yr Arglwydd, ac hefyd fel y mae canu yn ddawn briodol i ddynoliant. Er mwyn gweithredu ychydig tu ag at symud yr achosion gwreiddiol o'r musgrellni a'r annhrefn y cwynir o'u plegyd, ac er mwyn hwyluso a rhwyddau y ffordd i dderchafu y rhan hon o addoliad yr Arglwydd yn ein plith idd y drefn weddus briodol iddi, ceisiaf sylwi, yn ol y cymhorth a'r arweiniad a gaf, yn

I. Bod canu mawl i Dduw yn ordinhad ddwyfol.

II. Ceisiaf ddangos pa beth ydyw canu.

III. Dangosaf fod y modd neu y moddau y dylid dwyn y gorchwyl pwysfawr o ganu mawl i Dduw yn mlaen, yn ordinhadol.

Ac yn IV. Oddiwrth y cwbl, ceisiaf osod rhai sylwadau addysgawl a chyfarwyddawl, ystyriaethau y rhai y mae iddynt a wnelont a gweithredu yn nygiad y gwaith sanctaidd hwn yn mlaen, yn ei wahaniaethol ranau.

Wrth ddechreu, hawdd im deimlo a chyfaddef fy analluogrwydd i wneuthur dim gyd â hyn mewn modd teilwng a phriodol. Ond etto, y mae ystyriaeth o'r angenrheidrwydd sydd am i'r pethau a nodais uchod gael eu priodol le a'u hargraph ar feddyliau dynion yn cymhell fy meddwl, er annheilynged wyf, i-

i ymaflyd yn y gorchwyl. Y mae hefyd, ystyried y prinder sydd yn ein plith o ddefnyddiad moddion cymhwys er ein haddysgu mewn gwybodaeth am ganu, nid fel celfyddyd, ond fel dawn naturiol mewn dyn, ac fel y mae canu mawl i Dduw yn ordinhad ddwyfol, yn cryfâu fy meddwl i fyned yn mlaen. Amlwg yw, bod arferiad moddion er iawn drefn yn nygiad yr ordinad a'r ddyledswydd hon yn mlaen wedi ei esgeuluso yn fwy nag yr un arall o'r ordinhadau dwyfol.

Cyfarwyddwyd llawer o bryd i bryd yn y ddyledswydd oruchel o lefara yn briodol a gweddus am wrthddrychau ysbrydol. Treuliwyd llawer odfa i addysgu yn y ddyledswydd fanteisiol o wrando. Felly yr un modd am yr holl ddyddyledswyddau eraill. Ond yn ddiau y mae addysg yn y ddyledswydd hon, wedi cael ei esgeuluso i raddau gofidus.

Yr unig ddau Awduron diwinyddol o'r holl rai a ysgrifenasant ar amrai gangenau diwinyddiaeth a dyledswyddau crefydd, y digwyddodd i mi weled eu gwaith a ysgrifenasant ddim i bwrpas ar y ddawn, yr ordinad a'r ddyledswydd hon, oeddynt y Parch. T. Charles, a'r Dr. Jno. Gill. Sylwadau pa rai bwriadwyf ymgynhori â hwynt, a derbyniaf gynhorthwy oddi wrth y naill a'r llall o honynt, yn nghyfansoddiad yr hyn a ganlyn. O ba le ac achos y tarddodd yr esgeulusiad hwn ni chymmeraf arnaf ddeall. Ond os edrychwn i'r Ysgrythyrau, canfyddwn yn eglur na tharddodd oddi wrth yr Arglwydd, nac y rhai hyny o'i weision a ddefnyddiodd idd eu hysgrifenu, gan eu bod mor llawn a chyfoethog o reolau ac addysiadau cyflawn a pherffaith, fel nad oes angenrheidrwydd troi wyneb i un man arall am addysg na chyfarwyddid er cyrhaedd perffeithrwydd yn nghyflawniad y ddyledswydd hon yn ei holl ranau, fel pob dyledswydd arall. Y cyfryw reolau ac addysgiadau ysgrythyrol a gant fod yn sylfaen a rheol yr hyn a ganlyn.

O herwydd pa ham, er efallai y chwydda fy sylwadau hyn i fwy o faintioli nag y dymunaf, ac hefyd, nag y golyga rhai yn angenrheidiol, etto gobeithaf y goddefir im am unwaith. Bwriadwyf ymgadw yn ddiymmod oddiwrth ysgrifaw ond pethau hollol sylweddol, yn tueddu at adeiladaeth fuddiol, tra ar yr un pryd dymunwyf nad adawyf y pethau llwyr angenrheidiol heb eu dwyn ar gof.

I. Sylwaf bod canu mawl i Dduw, yn ordinhad o drefniad a gosodiad yr Arglwydd ei hun, ac felly yn ddyledswydd neillduol ar ddyn.

1. Mae bod yr Arglwydd wedi cynnysgaeddu dyn â dawn canu, yn brawf eglur ei fod wedi ordeiniu bod i y dawn hwn, fel pob peth arall a wnaeth, gael ei ddefnyddio er ei ogoniant ef. 'Yr Arglwydd a wnaeth bob peth ar ei fwyn ei hun.' Gellir dywedyd am yr holl bethau a wnaeth yr Arglwydd, mai idd ei ogoniant y crewyd, y lluniwyd, ac y gwnaethpwyd hwynt. Diar. 16. 4. Esa. 43. 7,

2. Mae y tuedd greddfol sydd mewn dyn wrth natur i ganu mawl i yr hyn a ystyria efe fel Duw iddo, yn profi yn amlwg, bod canu mawl i y gwir Dduw yn ordinhad o'i drefniad a'i osodiad ef.

Fel y cyfarwyddir dynion gan oleuni natur i alw ar Dduw pan mewn caledi a chyfyngderau (Ionah 1. 5, 6.), felly trwy yr unrhyw oleuni cyfarwyddir hwynt i ganu ei fawl, am ei aml drugareddau, a'i liosog waredigaethau iddynt o'u cyfyngderau. Ps. 107. 17—22,

Yn gyfatebol neu yn ol y tuedd naturiol hwn y gweithreda y cenedloedd eilunaddolgar pan y canant fawl idd eu gau dduwiau. Yr hyn medd hanesyddion, sydd arferiad cyffredinol yn mlith holl genedloedd eilunaddolgar y byd. Sylwa Louth, pa mor wahanol bynag y bu crefyddau, o ran eu harferion, etto eu bod oll yn gydunol yn hyn, sef mewn mawl a chaniadau, yn holl oesoedd y byd. Trwy hymnau y cyfansoddodd Homer idd y duwiau yr ennillodd iddo ei hun, medd rhai, y canmoliaeth a'r enw sydd iddo. Ac y mae ei Hymn i Appollo ar gael yn ei waith, hyd y dydd hwn, megis ag y mae yr Hymnau a gyfansoddodd Orpheus idd yr amrywiol dduwiau o'i flaen ef, yr un modd. Dywed Plutarch, y defnyddiai yr hen Roegiaid yr holl gelfyddyd o beroriaeth yn ngwasanaeth eu duwiau. Tystiolaetha Porphyry, a Clemens o

Alexandria y byddai un rhan o addoliad crefyddol yr Aiphtiaid yn gynnwysedig o hymnau cyfaddas i anrhydedd y duwiau, y rhai a ganent foreu a hwyr, a chanol dydd. Treuliai yr Indiaid y rhan fwyaf o'r dydd a'r nos mewn gweddiau, a hymnau idd y duwiau. Nodedig iawn yw geiriau Arianus y Philosophydd Stoicaidd, 'Os creaduriaid deallawl ydym,' medd efe, 'pa beth a ddylem ei wneuthur yn gyhoedd a dirgel, yn hytrach na chanu hymn i'r Duwdeb ?—Pe eös a fuaswn, gweithredaswn fel eös, a phe alarch megis alarch, ond gan mai creadur rhesymol wyf, dylwn foliannu Duw, ac i'r un a'r unrhyw gân yr annogwyf chwithau. Hyn yw fy ngwaith pan yr wyf fyw, canu hymn i Dduw pa un bynag a'i wrthyf fy hun, ai yn mhresennoldeb un neu lawer y byddwyf.'

Oddi wrth yr anghreifftiau hyn ac ychwaneg a allesid eu coffau, gwelwn, bod y cenedloedd eilunaddolgar yn dangos yn amlwg yn hyn, weithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau. Ac er bod dyn trwy ei bechod a'i gwmyp, wedi colli gwir wrthddrych addoliad, a phob adnabyddiaeth gywir o hono, yn nghyd a phob dawn a chymhwysder sanctaidd ac ysbrydol i addoli, etto ni chollodd y tuedd naturiol i addoli a roddwyd ynddo yn ei greadigaeth, eithr ei fod fel y mae yn greadur yn feddiannol ar gynneddfau ac offerynau addoliad, er ei fod fel y mae yn farw mewn camwedd a phechod, yn dywyll ac anwybodus, yn annghyfiawn a hologedig mewn egwyddor a gweithrediad ynddynt oll. A thrwy hyn gwelwn bod canu mawl i Dduw yn rhan hanfodol o grefydd ymarferol gyntefig dyn, yn ddyledswydd gynnwysedig yn neddf natur, ac yn ddysgeidiaeth a addysgir gan oleuni natur, ac felly yn un o ordinadau ansigledig yr Arglwydd, ac yn ganlynol yn ddyledswydd foesol, sefydlog a pharhaus ar bob dyn.

3. Mae bod canu mawl wedi bod, yn bod, ac i fod yn arferiad cyffredinol fel rhan o addoliad yn mhlith addolwyr y gwir Dduw, ac yn cael ei gymhell a'i annog gan yr addolwyr mwyaf ysbrydol a difeli, yn brawf eglur ei fod o ordeiniad yr Arglwydd.

Canodd Moses, Miriam, a holl gynnulleidfa meibion Israel yn beraidd ar lan y môr coch, ar ol y waredigaeth ryfedd a gawsant, a'r oruchafiaeth fuddugoliaethus ar Pharao a'i lu. Canodd Deborah a Baruch wedi hyny am y waredigaeth a gafodd Israel o ddwylaw Jabin brenin Canaan, a'r oruchafiaeth drwyadl a gafwyd arno. Ecs. 15. Barn. 5. Ps. 68. 25. Yr oedd canu mawl i'r Arglwydd yn rhan ardderchog o'r addoliad dwyfawl yn nyddiau Dafydd, Brenin a pheraidd ganiadydd Israel, yr hwn a ddygodd y rhan hon o'r addoliad, i odidocach trefn, nag y buasant (tebygol) yn flaenorol idd ei ddyddiau ef. 'Pryddodd dalm o ber Psalmau idd eu canu yn addoliad yr Arglwydd, yn y rhai y mae yn galw ac yn annog holl drigolion y ddaear i undeb a chydgordiad yn y gorchwyl goruchel hwn, yr hyn a brawf mai nid ordinhad berthynol i'r hen oruchwyliaeth yn unig, ac mai nid rhan o'r addoliad Leviticaidd ydoedd canu mawl i Dduw, ond ordinhad naturiol a moesawl, briodol i bawb fel eu gilydd, yn mhob man, a phob amser. Felly hefyd yr un modd, yr oedd yn arferiad cyson yn nyddiau ei olynwyr, Solomon, Jehosaphat, Hezeciah, Ezra, Nehemiah ac eraill, y rhai a gerddasant ei lwybrau, ac a ddilynasant ei esamplau. Ac y mae yn nodedig, pan y byddai diwygiad mewn crefydd yn cymeryd lle yn mhlith y genedl o ddyddiau Dafydd hyd ddyddiau y Messiah, y byddai diwygiad ac adfywiad yn y rhan hon o'r addoliad yn cydfyned yn wastadol â hyny. 1 Cron. 16. 7—42. a 22. 2—30. a 25. Ezra 3. 11—13. Neh. 12. 27—29. 45—47.

Yr oedd canu mawl yn yr oes apostolaidd yn cael ei arfer fel rhan o'r addoliad dwyfol. Gwaith Paul a Silas yn y carchar, ynghyd a gorchymynion ac annogaethau yr Apostolion i'r eglwysi mewn perthynas i hyn, a'i prawf. Ac y mae, y byddai eglwys Corinth yn canu Psalmau, yn rhoddi sail gref i olygu, y byddai yr eglwysi eraill yn gwneuthur yr unrhyw. Act. 16. 25. 1 Cor. 14. 26. Ephes. 5. 19. Iago 5. 13.]

Ar ol yr oes Apostolaidd yr oedd hyn yn arferiad cyffredinol yn yr holl eglwysi,

'Yn niwedd y ganrif gyntaf neu ddechreu yr ail, ysgrifenodd Pliny lythyr at yr Ymerawdwr Trajan yn hysbysu iddo, mai sylwedd yr achwyniad yn erbyn y Cristionogion oedd, eu bod yn cyfarfod â'u gilydd ar ryw ddydd neillduol, cyn dydd, i ganu cân i Grist fel Duw. Coffâ Tertullian yn nechreu y drydydd ganrif, am ddarllen yr Ysgrythyrau, canu psalmau, pregethu a gweddio, fel rhanau o'r addoliad cyhoeddus. Eglur yw hefyd oddi wrth waith Origen (ychydig yn ddiweddarach yn yr un ganrif) yn sylwi ar yr angenrheidrwydd am Ysbryd Duw i gynhorthwyo yn y gwaith o ganu Psalmau, ei fod yn arferiad yn ei ddyddiau ef.

Fel y cynnyddodd llygredigaeth yn yr eglwys trwy gyfodiad anghrist, llygrwyd yn y ddyledswydd hon hefyd, ac ymadawwyd â'r dull syml y'i dygid ymlaen yn oesoedd cyntaf cristionogaeth. Ond yn y diwygiad Protestanaidd adferwyd yr ordinhad yn ol idd ei threfn a'i dull rheolaidd a phriodol. Bwriwyd allan o'r gerddoriaeth gan Luther a Calvin, bob peth ond peroriaethau hawdd, sobr a syml. Rhanwyd y Psalmau yn ddosparthiadau bychain, ac a'u gosodwyd idd eu canu yn drefnus a rheolaidd yn y cyn'lleidfaoedd yn gyffredinol. Ac amlwg yw oddi wrth y Peroriaethau a'r amryw gyfieithiadau o'r Psalmau ar gân yn ngwahanol ieithoedd Ewrop, y rhai a arferid y dyddiau hyny, ac ydynt ar gael heddyw, bod y diwygiad hwn mor helaeth yn ei ledaeniad â'r diwygiad Protestanaidd. Bod canu mawl i Dduw wedi bod o hyny hyd heddyw yn arferiad cyffredinol ymhlith pob canghen grefyddol o Brotestaniaid, a ystyrient orchymynion a gosodiadau yr Arglwydd yn ei Air, fel rheol a chyfarwyddid eu haddoliad, sydd hysbys i bawb. Ac y bydd canu mawl yn ddefod barhaus yn yr eglwys hyd ddiwedd amser, ïe, y parâ i dragywyddoldeb yn y nefoedd, sydd eglur yn y prophwydoliaethau a gerddasant o'r blaen am hyn.

Bydd diwygiad mawr etto yn y rhan hon o'r addoliad dwyfol yn y llwyddiant rhagorol a fydd ar grefydd yn y Mil blynyddoedd. Bydd yn ddiwygiad cyflawn a thrwyadl, yn cyrhaedd trwy ei holl ranau. Bwrir allan o'r cynnulleidfaoedd yr holl ganiadau gweigion, dychmygol, anweddus a chyfeiliornus, a lusgir yn ddirgel i mewn o bryd i bryd gan ddynion o feddyliau llygredig, anngharaff ac anegwyddorol, y rhai yn aml a flinant lawer o feddyliau puraidd a syml, ac â achlysurant, weithiau yn ein dyddiau ni, megis annghydfod rhwng ffurf o athrawiaeth a mawlgerdd yr eglwys! Ac adferir yn eu lle y psalmau, yr hymnau, a'r odlau ysprydol, a ordeiniwyd i addoliad yr Arglwydd.

Y pryd hwnw, 'Dy wylwŷr a ddyrchafant lef; gyda'r llef y cydganant; canys gwelent lygad yn llygad,' Esaiah lii. 8. Bydd y fath gysondeb a chydgordiad hyfrydlawn rhwng llef y gwylwyr, sef gweinidogaeth fawr yr efengyl, a llais mawlgan yr eglwys, fel na bydd y naill ond megis atebsain i'r llall, neu adlais o honi. Yn cyfateb yn hyfryd a'r disgrifiad gweledigaethol a geir o'r eglwys yn ei haddoliad yn Dat. iv. a v. lle y canfyddwn yr eglwys fel yn gynddrychiol mewn pedwar henuriaid ar hugain, wrth waith y pedwar peth byw yn rhoddi gogoniant, anrhydedd, a diolch i'r hwn sydd ar yr orseddfaingc, yn syrthio ger bron yr hwn sydd ar yr orseddfaingc, ac yn addoli yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd. Ac yn ganlynol, ar waith yr Oen yn cymmeryd y llyfr o ddeheulaw yr hwn oedd yn eistedd ar yr orseddfaingc, gwelwn y pedwar peth byw a'r pedwar henuriaid ar hugain yn cyd syrthio i lawr ger bron yr Oen, ac yn canu caniad newydd, gan ddywedyd, 'Teilwng wyt ti i gymmeryd y llyfr ac i agoryd ei seliau ef, oblegyd ti a laddwyd ac a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed,—ac a'n gwnaethost ni yn freninoedd ac yn offeiriaid, ac ni a deyrnaswn ar y ddaear.' Ac wedi hyny ar waith angylion lawer yn nghylch yr orseddfaingc, yn dywedyd â llef uchel, 'Teilwng yw yr Oen;' ac ar waith pob creadur a'r sydd yn y nef, ac ar y ddaear, a than y ddaear, a'r pethau sydd yn y môr ac oll ar sydd ynddynt, yn dywedyd, 'I'r hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc ac i'r Oen y byddo y fendith a'r anrhydedd a'r gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd,' y mae y pedwar peth byw yn dywedyd, 'Amen,' a'r pedwar henuriaid ar hugain yn syrthio i lawr ac yn addoli yr hwn

sydd yn byw yn oes oesoedd. Yn yr hyn oll gwelwn yn amlwg, yn nghyd a lliaws o bethau mawrion a goruchel ereill, undod a chymmundeb swyddogion ac aelodau yr eglwys, yn nghyd a chymdeithas a chydgordiad perffaith yr holl eglwys trwy nefoedd a daear, mewn athrawiaeth, addoliad, a mawl.

Mae yn dda genyf gael y fraint o ddwyn sylwedd y sylw hwn, yn hollol ddiragfwriad, ar gof. Yr hyn hefyd a achlysura i mi nodi un prawf ychwanegol o ddwyfoldeb yr ordinhad o ganu mawl, ynghylch yr hwn, wrth ddechreu ysgrifenu, ni fwriedais ynganu cymaint a gair: sef,

4. Mae y gwaith o ganu mawl i Dduw nid yn unig yn briodol i ddynion, ond hefyd i'r angylion sanctaidd. Cadarnheir hyn trwy yr hanesion sydd genym am danynt yn cyduno deirgwaith mewn modd neillduol yn y gorchwyl hwn; sef, pan osodwyd conglfaen y ddaear. Pan anwyd Ceidwad dynion; a phan y derchafodd oddiar fynydd yr Olewydd, ac yr esgynodd goruwch yr holl nefoedd. 'Derchafodd Duw â llawen floedd, yr Arglwydd â sain udgorn.' Ac y maent yn barhaus yn cyduno â'r eglwys o amgylch yr orseddfaingc i ddywedyd â llef uchel, 'Teilwng yw'r Oen.' Ac ni a wyddom fod eu holl waith hwynt yn gymeradwy gan yr Arglwydd, ac nad oes dim yn dderbyniol gydag ef mewn ffordd o addoliad, ond y sydd o'i drefniad a'i osodiad ei hun. Gan hyny, y mae yn amlwg oddiwrth hyn, bod canu mawl o'i drefniad a'i osodiad ef. Psalm xlvii, 5. Dat. v, 11, 12. Iob xxxviii. 7. Luc ii. 13, 14.

*(I'w barhau.)*



### MARWOLDEB DYN

#### YN GYMHELLIAD I DDIWYDRWYDD.

"Cyfrifir fod y ddaear yn cael ei phreswylio gan oddeutu mil miliwn o ddynion, a bod 33 o flynyddoedd yn gwneud cenhedlaeth; mae'n canlyn, gan hyny, yn yr yspaid hwn o amser, (33 ml.) fod mil miliwn o ddynion yn meirw. Ac felly, y mae yn marw—

| | |
|---|---|
| Bob blwyddyn .... | 30,000,000 |
| Bob dydd ........ | 86,400 |
| Bob awr .......... | 3,600 |
| Bob mynud ...... | 60 |
| Bob moment ...... | 1 |

Y mae'r cyfrif hwn yn dra chyffrous! Os yw marwoldeb gymmaint bob blwyddyn, ie, hyd yn nod bob dydd; onid yw yn dra thebyg y gallaf fi fy hun, yn fuan, fod yn un i wneud i fynu y rhif y'nghofrestr marwolaeth! O'r hyn lleiaf, y mae yn sicr y dylai yr ystyriaeth yma fy arwain bob awr i adfyfyrio yn y modd mwyaf difrifol. Y moment hwn, ymadawodd un o'm cydgreaduriaid a'r byd hwn; a chyn yr el awr heibio, mwy na 3000 o eneidiau fyddant wedi myned i dragywyddoldeb."—*Sturm.*

Ddarllenydd! a wyt ti a minnau mewn cyflwr parod i fyned 'ffordd yr holl ddaear?' a ydyw 'marw unwaith' yn debyg o fod i ni yn elw? Hefyd, a ydym ni yn gwneud yr hyn a allem er aflonyddu'r byd ag sydd yn eistedd ac yn llonydd—y byd sydd yn gorwedd mewn drygioni? Cofiwn fod y nos yn dyfod! PRYDERUS.

*Iwerddon.*



### GWRTHGILIAD.

(Parhad tu dalen 354)

Mae gwrthgiliad yn mhob rhyw amgylchiad yn ddrwg arswydus annrhaethol. Nid oes un iaith a all ddarlunio ei niwed, a phan yn wirfoddol a pharhaol, nid oes eiriau a allant osod allan ei erchylldod.

Gelwir y mawr ddrwg hwn yn gyffredin yn ddrwg graddol; ychydig ydynt yn myned yn wrthgilwyr ar unwaith; ond pan y mae gwrthgilwyr yn cefnu ar Dduw a dedwyddwch, y maent yn gyffredin o gam i gam, nes syrthio ymaith yn hollol o'r diwedd, a suddo i bydew colledigaeth dragywyddol. Mae y cariad cyntaf at y Gwaredwr a chrefydd yn marweiddio yn eu calonau; ac fel y mae y cariad hwn yn lleihau mae eu casineb at bechod yn dyfod yn wanach, a'r byd yn ail ennill ei ddylywiad (*influence*) ar y dyn; ac yna y mae rhai yn ymroddi i ysbryd balch, gwag, a hunandybus; ac eraill yn cael eu llyncu gan fydolrwydd: caiff hyn fod yn brysur gyda hwy yn eu hystafellau dirgel, ac yn nhy Dduw, ac

o radd i radd, maent yn esgeuluso cymmundeb dirgelaidd gyda Duw; ychydig hyfrydwch y maent yn ei gael mewn ymarferion crefyddol, a'r weddi ddirgel a esgeulusir yn achlysurol ar y dechreu, ac o'r diwedd yn arferol.

Nid oes un cam yn ngyrfa y gwrthgiliwr tua distryw, yn nodi ei gyflwr yn amlycach nac esgeulusdra o weddi. Nid yw proffes o grefydd heb yr arferiad o weddi, ddim ond *rhagrith ffiaidd. Byddai can debyced i grefydd fyw yn nghalon y diafol, ag yn nghalon y dyn hwnw sydd yn byw heb weddi.* Pe ysgrifenai Duw ar dalcen rhyw un mewn llythyrenau eglur, 'Mae y dyn hwn yn etifedd uffern,' ni byddai yn ddim sicrach fod y truan hwnw yn prysuro i golledigaeth, nac ydyw fod pob dyn diweddi, pa un bynag fyddo a'i proffeswr crefydd ai peidio, yn cyflymu yno. Ni all crefydd fod ar un cyfrif heb weddi. Can gynted ag y dechreuir teimlo ei gallu, mae yr edifeiriol yn dechreu gweddïo; ac y mae esgeulusdra o weddi neu gyflawniad ffurfiol yn unig o honi, yn gyffredin yn nodi gyrfa y rhai ydynt yn gadael llwybrau heddwch. Pe geliid gofyn i lawer gwrthgiliwr truan, sydd wedi ei gloi yn ngharchar tanllyd y colledigion, Pa bryd y dechreuaist ti adael llwybr y nef, ac y dechreuaist gyfeirio dy gamrau tuag uffern? Gallai yr atteb fod, pan ddechreuais esgeuluso gweddi.

Llawer gwrthgiliwr a glywwyd yn cyffesu, mai gyda'u hesgeulusdra o weddi, y dechreuodd eu hymadawiad â Duw ac â Christ. Mewn gair, y mae geiriau hyny, ydynt mor werthfawr i'r Cristion, 'Gofynwch, a rhoddir i chwi, ceisiwch, a chwi a gewch, curwch ac fe agorir i chwi;' yn cynnwys casgliad cryf, oni ofynwch na dderbyniwch, oni cheisiwch, na chewch, ac oni churwch nad agorir i chwi. Llawer a briodolant eu dystryw amserol a thragywyddol i'w hesgeulusdra o weddi. Ni ofynasant, ac felly ni dderbyniasant. Llofrudd truan pan oedd yn myned i'w ddibenyddio am ei drosedd, a ddywedai yn ei fynydau olaf, 'O; pe buaswn yn myned i weddïo y boreu y cyflawnais y gyflafan am yr hyn yr wyf yn myned i farw yn bresenol, O Arglwydd Dduw, yr wyf yn credu y buasit ti yn cadw fy nwylaw yn ol rhag y pechod hwnw.'

Yr un ysgrifenydd ag a nodai y ffaith uchod, a grybwylla un arall, yn dangos, nid yn unig yr effeithiau arswydus o esgeuluso gweddi, ond y canlyniadau chwerwon o flino arni am na cheid rhyw hoff beth a geisiodd. Henafgwr a fuasai yn aelod cymeradwy yn yr eglwys am flyneddau lawer, a aeth yn feddwyn o'r diwedd, ac a ysgymmunwyd, a bu farw dan amgylchiadau tra arswydus. Rhai o'i eiriau olaf oedd y rhai hyn. 'Bum yn gweddio am ryw drugaredd gan Dduw lawer gwaith, yr hon a ommeddai efe i mi yn barhaus. O'r diwedd dechreuais ymddigio wrtho; ar yr hyn y dechreuais ymddïofalhau yn fy nghymdeithas â'r Arglwydd; ac er y pryd hyny y mae efe wedi fy ngadaw yn arswydus, ac mi a wn nad oes ganddo un drugaredd i mi yn bresenol.'

Gellir casglu fod gelyn mawr Duw a dyn yn ddigon cyfarwydd o dueddiad esgeuluso gweddi i ddystryw yr enaid, oddiar y temtasiynau â'r rhai y ceisir llithio y Cristion i esgeuluso y rhagorfraint fawr hon. E ddichon nad oes neb heb brofi mwy neu lai o'r temtasiynau hyn. Oni theimlasoch chwi, ar yr awr weddi, rai amserau, y naill beth neu y llall, gwag ynddo ei hun e ddichon hefyd, yn cael ei wthio i'ch meddwl gyda grym annorchfygol o'r bron, gyda bywiogrwydd ac aidd a lwyr ddystrywiai holl gysur gweddi; ac wedi i chwi godi oddiar eich gliniau, diflanai y cyfryw wrthddrych, ac ni flinai mo honoch mwy?

Onid yw yn rhesymol i mi gredu, mai ymdrechion yr un drwg ydyw y cyfryw hudoliaethau ar y meddwl, yn ei lafur caled i aflonyddu yr enaid yn ei fynydau gorau, a'i luddias i ennill bendithion gweddi? Ac efallai, ar amserau eraill, pan yn analluog i fwynhau y dyddanwch a ddymunech mewn gweddi, y bydd rhyw gyhuddiad felly yn cael ei weithio i'ch meddwl; 'Mae gweddïau o fath yr eiddoch chwi yn waeth na dim; byddai yn well i chwi fod heb weddio oll, na gweddïo fel yr ydych.'

O fy nghyfaill, golyga demtasiwn o'r fath uchod fel un yn dyfod oddiwrth dy elyn mawr. Os ymroddi iddi, ti a ganfyddi yn fuan y bydd efe yn cael ei amcan arnat ti drwy hyny; dy enaid a farweiddia fwy fwy; ac fe â gweddïo yn fwy o faich o hyd. Yn lle gwellau drwy hyn, fe â eich cyflwr yn waeth, bydd tuedd eich calon at weddi yn llai lai, ac ansawdd eich meddwl i hyny yn fwy fwy annghymwys. Gan hyny, gweddïa, a bydd yn ddyfal mewn gweddi. Gweddïa er y mynai y byd a'i ofalon dy luddias i hyny: gweddïa, er y mynai y diafol a llu o demtasiynau, dy attal i hyny. Glŷn mewn gweddi, a Duw a glyw; a phan yn methu gweddïo fel y *dymunit*, gweddïa am fodd i weddïo yn well.

Nid yw gyrfa y gwrthgiliwr tua choll-edigaeth, yn diweddu gyd a'i esgeulusdra o grefydd yn y dirgel. Os yw yn benteulu, mae yr addoliad teuluaidd yn cael ei ollwng i lawr; ac y mae ei wrthgiliad yn effeithio ar ei ymarferiad â dyledswyddau cyhoedd yn fuan. Mae yn fwy diofal am dŷ Dduw, yn golygu gwasanaeth y cyssegr yn faith a blinedig, ac yn esgeuluso y naill i ddechreu, a'r llall drachefn, yn fuan. Mae yn dibrisio bwrdd yr Arglwydd, ac o'r diwedd yn rhoi y cyfarfodydd gweddïo, a'r cyfarfodydd eglwysig heibio yn hollol. Mae ei dueddfryd yn cael ei droi ffordd arall; a rhwyddach y treulia ddwy awr yn dydd mewn ymddiddanion gweigion, nac y treuliai hanner awr yn yr wythnos i geisio ymgeledd ysbrydol. Mae yn myned yn fwy fwy blinedig ar fanolrwydd crefydd, ac o radd i radd yn colli blas ar ei phleserau. Ymwrthyd a'i gyfeillion cristionogol, blina ar ei wir gyfeillion, a boddheir ef ar rai gau; fel yr Israeliaid gynt, y rhai a foddheid ar adroddiad y deg yspiwyr, ond a gyfrifent Caleb a Josua, fel eu gelynion; ffurfia gyfeillachau newyddion, neu adnewydda hen rai, â'r cyfryw ydynt ddyeithriaid i ffordd tangnefedd. O'r diwedd, y mae yn myned yn fydolddyn trwyadl a'i ymarweddiad yn gyffredinol a gydwedda a'i gyflwr cwympedig. Os cyfeillion cristionogol y gwrthgilwyr a geisiant eu hattal yn eu gyrfa i ddystryw, cynhyrfir teimladau poenus mewn rhai, dara ffurfir penderfyniadau i ddywygio; ond y cwbl a ddiflana yn fuan drachefn, a hwythau a ddilynant eu hen lwybr o ddirywiad eilwaith. Eraill a wawdiant gynghorion cyfeillach gristionogol, ac a ânt rhagddynt heb ganfod eu hynfydrwydd, nac ystyried eu heuogrwydd.

'Nid wyf fi yn gweled fy mod wedi colli mewn dim,' medd y proffeswr claiar. Adyn annedwydd! Pa fodd, ynte, y mae pawb eraill yn gweled hyny? Pa fodd y mae dy le yn nhy Dduw mor aml yn wâg? Pa ham yr wyt ti yn esgeuluso ymarferion crefyddol gyd a'th gyfeillion cristionogol? Pa ham y dibrisir bwrdd yr Arglwydd genyt? Pa ham yr wyt ti mor ddiofal am lwyddiant achos y Gwaredwr? Paham yr ydwyt mor wahanol i'r peth oeddit unwaith? O medd yr hunandwyllwr, 'Yr ydwyf fi yn cael fy anfoddloni, nid yw y gweinidog yn pregethu fel yr arferai, na'r cyfeillion crefyddol yn ymddwyn fel yr arferent ymddwyn gynt.' Y cyfryw ydynt esgusion a chwynion llawer gwrthgiliwr. Drueiniaid annedwydd! Maent yn gyffelyb i ddyn a fyddai wedi colli ei olwg, yn beiaw ar yr haul yn lle ar ei lygaid, gan ddywedyd am y goleuad dysglaer hwnw, ganol dydd, 'Nid yw yn tywynu fel yr arferai.'

Un o'r gorsafau (*stages*) olaf yn ngyrfa y gwrthgiliwr tua dystryw tragywyddol, ydyw ei waith yn cofleidio cyfeiliornadau a'i süant i gysgu yn ei bechodau. Rhai a ymberswadiant fod cydffurfiad a'r byd yn ganiattäol, fod eu golygiadau blaenorol ar grefydd yn fanylach nac y dylesid; ac os na byddai drygau amlwg yn nodi eu hymarweddiad, y byddai eu moesoldeb yn ddigon i ddiogelu eu dedwyddwch. Eraill a redant i dwyll Antinomiaeth, ac a ymwenieithiant iddynt eu hunain eu bod hwy yn anwyliaid y nef, tra mae holl nodau marwolaeth dragywyddol arnynt. Ymhonant eu bod yn meddu zel dros athrawiaethau efengylaidd, ond nid yw eu hadnabyddiaeth o'r efengyl ddim amgen na'r eiddo Satan, yr hon er pob peth, sydd yn ei adael yn ddïafol. Rhai a gofleidiant y gyfundraeth Undodaidd,

a thrwy ei golygiadau rhydd, y maent yn cyfodi gwrthglawdd yn erbyn cyhuddiadau cydwybod; tra mae eraill yn myned yn mhellach fyth, ac yn ceisio credu nad yw cristionogaeth ei hun, ddim ond cyfrwys chwedl-ddysg. Gwrthgiliwr ieuanc o'r fath uchod; balchder yr hwn a'i handwyasai gyda golwg ar y byd hwn a'r hwn sydd i ddyfod, a addefai wrth yr awdwr unwaith, *ei fod ef yn erbyn y Bibl, am fod y Bibl yn ei erbyn ef.* Ychydig sydd yn ddigon gonest i wneyd yr addefiad yma, er fod yn ddilys mai dyma yr achos o bob anffyddiaeth.

Yr hanes effeithiol ac addysgiadol a ganlyn a adroddir gan Baxter yn hanes ei fywyd. 'Gwelodd Duw yn dda roddi i mi un cydymaith, yr hwn a fu o'r defnyddioldeb mwyaf o bawb erioed, i'm gwneuthur yn ddifrifol mewn crefydd, ac ydoedd megys gwyliedydd gwastadol dros fy enaid. Cyd-rodiem, cyd-ddarllenem, cyd-weddiem, a phan allem hunem yn nghyd hefyd. Ac fel yr oedd efe wedi ei ddwyn o gyfyngder mawr i lwyddiant, a'i dymherau yn frwd, er nad oedd ei wybodaeth ond bechan, byddai yn fy'annog I i zel a diwydrwydd beunydd; ac hyd yn nod yn y nos, efe a gyfodai i fynu i weddio a moli Duw; ac a ryfeddai pa fodd y gallwn I gysgu felly; na buasai yr ystyriaeth o drugaredd Duw yn peri i minnau hefyd wneud megys y gwnai yntau. Yr oedd efe yn ddiflino yn darllen pob llyfrau difrifol ar grefydd ymarferol, yn enwedig Perkins, Bolton, Preston, &c. Efe oedd y cyntaf erioed a glywais I yn gweddio yn ddifyfyr o'r areithfa, a hyny a'm dysgodd innau i weddio felly. Ei gariad hefyd a'i haelfrydedd oedd yn gyfattebol i'w zel; ac felly ei gwnaed gan Dduw yn offeryn o les mawr i mi, yr hwn oedd genyf wybodaeth helaethach, ond calon oerach nac efe.

'Ond cyn pen dwy flynedd o'n cydnabyddiaeth, efe a gwympodd unwaith, ac eilwaith, i radd o feddwdod, yr hyn a barai iddo ddychrynu i'r fath raddau, yn enwedigol wedi yr ail dro, fel yr oedd ar fin anobaith; ac efe a aeth at weinidogion da, ac a gyffesai ei golliadau wrthynt mewn dwys dristwch. Wedi i mi adael y tŷ a'i gyfeillach, efe a gwympodd iddo drachefn a thrachefn, nes iddo fyned i'r fath amgylchiad, *na allai ei gydwybod gael ymwared nac esmwythdra ond trwy newid ei farn, a diarddel y dysgawdwyr a'r ddysgeidiaeth hono a wasgai arno rhag porthi ei chwant.* A hyny a wnaeth efe yn y modd canlynol; yr oedd un o'i uwchraddion, ar yr hwn yr oedd efe yn ymddibynol, yn wr tra sobr a chymedrol, a chrefyddol iawn yn ei ffordd ei hun, ond yn dra phoethlyd yn erbyn yr anghydffurfwyr, ac yn arferol a siarad yn y modd chwerwaf yn eu herbyn, ac heb ddarllen ond yn unig y llyfrau a'i calonogai yn yr ymddygiad yma. Trwy gymdeithasu a'r dyn hwn, llithiwyd fy nghyfaill i oeri yn ei gariad at yr anghydffurfwyr, ac yna i siarad yn wawdus am danynt; ac yn nesaf i hyny, i gashau pawb a ddeuent yn agos attynt, a dywedyd fod Bolton a'i gyffelyb yn rhy lym, ac yn ddigon i wneyd dynion yn wallgofiaid. Yr hyn a glywais I am dano ddiweddaf oedd, ei fod wedi ymroi yn feddwyn, ac yn wawdiwr crefyddwyr manol eu hymarweddiad; ond pa un a adferwyd ef gan Dduw, ai pa beth a ddaeth o hono nis gallaf ddywedyd.'

*(I'w barhau.)*

☞ Yn y Rhifyn nesaf rhoddir llythyr tra dyddorol (*interesting*) i fewn, yr hwn a ysgrifenid at ferch ieuanc wrthgiliedig, ar euogrwydd a niweidiolrwydd gwrthgiliad. O. JONES.

---

## Y SABBATH CRISTIONOGOL.

*Parâd rhwymedigaeth cyfraith y Sabbath yn gydweddawl a newidiad dydd ei gadwraeth.*

I. I'n Harglwydd Iesu Grist y perthynai cyflawn awrdurdod i weithredu cyfnewidiad yn nydd y Sabbath.

II. Rhoddodd ein Harglwydd i'w apostolion gyflawn awdurdod i rëoleiddio y ffydd, y ddisgyblaeth, a'r gosodiadau y rhai oeddynt yn angenrheidiol er lles ei eglwys.

III. Mae arferiad yr eglwysi cyntefig dan gyfarwyddyd yr apostolion, fel ei ceffeir yn y Testament Newydd, yn o gymaint mewn gwerth ac awdurdod â gorchymyn pendant.

IV. Yr eglwysi cyntefig yn amser gweinidogaeth yr apostolion, oeddynt yn cadw y dydd cyntaf o'r wythnos fel dydd

eu haddoliad sanctaidd a'u gwasanaeth crefyddol mwyaf arbenig.

V. Cymmeriad gogoneddus a chanlyniadau pwysfawr y weithred yr hon mae y dydd cyntaf o'r wythnos wedi ei fwriadu i'w choffâu, ydynt yn rheswm digonol dros symmudiad y Sabbath o'r seithfed dydd o'r wythnos i'r dydd cyntaf.

VI. Arferiad eglwysi Crist, er dyddiau yr apostolion, ydoedd cadw y dydd cyntaf o'r wythnos fel y Sabbath Cristionogol.

VII. Mae'n beth i'w sylwi fod Duw wedi gweled bod yn dda gyssylltu bendith neillduol â chadwraeth dydd yr Arglwydd.

Oddiwrth yr ystyriaethau uchod profir yn eglur ddarfod i'r Arglwydd ei hun gyssylltu a'r dydd cyntaf y sancteiddrwydd a'r fendith ag oedd yn ddechreuol yn gyssylltedig a'r seithfed dydd; ac hefyd fod parâd cyfraith y Sabbath yn hollol gydweddawl â newidiad dydd ei gadwraeth. *Athraw.*

---

SYLWEDDAU

## TAIR O BREGETHAU

*Y diweddar Barchedig* PETER ROBERTS *o Lansannan; a adysgrifennwyd o'i Ysgrif-lyfrau wedi ei farwolaeth, gan E. R.*

'I ddarparu i'r Arglwydd bobl barod.' Luc i. 17.

Gwelwn oddiwrth y testyn hwn, yn

I. Fod pob dyn wrth natur yn anmharod i'r Arglwydd, eithr yn hollawl barod i Satan.

II. Yr hyn sydd yn gynnwysedig yn y darparu sydd ar ddynion i'r Arglwydd.

III. Yn barod i ba bethau, y mae pobl barod i'r Arglwydd.

I. Y mae pob dyn wrth natur yn dangos rhyw anmharodrwydd i wrando yr hyn y mae Duw yn ei ddywedyd, i ufuddhau i'w orchymynion, i weithio ar ei faes, &c.

II. Darparu, Sef, trin dynion â thriniaethau nerthawl y gair, eu hargyhoeddi, eu goleuo, eu deffroi; fel *Saul*, ceidwad y carchar, y tair mil, &c. Trin dyn yn barod i drugaredd, fel yr *afradlon, a'r publican, Zaccheus, &c.* Trin dyn, megis trin tir i dderbyn yr hâd; megis, trin y *metal* i dderbyn delw y *stamp* arno; megis trin y claf, i dderbyn y *cordial.*

III. 'Yn bobl barod.' Yn 1af Yn barod i gymeryd eu hachub yn nhrefn Duw.

Yn 2il Yn barod i wneuthur pob peth y galwo Duw hwy i'w wneuthur; *dioddef, rhyfela,* gweithio yn ei *winllan,* &c.

Yn 3ydd Yn barod i *farw*; dyma le anwyl, yn *barod* i *farw.*

Achubwn amser a moddion parotoi; edrychwn yn aml, a ydym yn cyd-ddwyn a'r driniaeth; edrychwn a ydyw ei hol i'w gweled yn fwy amlwg arnom, o ddydd i ddydd? Amen.

---

'Canys Mab y dyn a ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid.' Luc xix. 10.

Sylwaf ar 3 pheth oddiwrth y geiriau uchod; yn

I. Y Cyflwr y mae dyn ynddo wrth natur, *Colledig.*

II. Y Ceidwad, *Mab y dyn.*

III. Y gwaith a wna y *Ceidwad* ar y Colledig, *ei geisio a'i gadw.*

Yn I. Y cyflwr, *Colledig.* Nid yn unig colledwyr, ond *colledig.* Y mae dynion yn golledwyr mawr; y maent wedi colli pob daioni oedd ganddynt yn eu cyflwr crëedigol; hyfrydwch gardd Eden, delw Duw, cyfiawnder, gwybodaeth, a sancteiddrwydd &c. Ond y mae dyn yn golledig: wedi colli ei huuan, colli ei fywyd, yn agored i gael ei ddamnio byth dan lid Duw.

II. Y Ceidwad, *Mab y dyn.* 1. Yr unig Geidwad. 2. Yr unig ddigonawl Geidwad. 3. Yr unig, addas a chymwys Geidwad. Llwyr gadw a wna hwn, yn gyfiawn, yn anrhydeddus, i Dduw, iddo ei hunan, ac i'r cadwedigion.

III. Y gwaith, *ceisio a chadw.* Ceisio trwy fyned ryw ffordd bennodol nes cael gwrthddrych ei gais, ac yna ei gadw.

---

'O Dduw bydd drugarog wrthyf fi bechadur.' Luc xviii. 13.

Yma, gwelwn agwedd dyn, a'i iaith, pan yn *deimladwy* o'i gyflwr ysbrydol.

I. Yr hyn y mae yn ei gydnabod ei hunan, *Pechadur.*

II. Y gwaith y mae e wrtho, Gweddio,

III. Yr hwn y mae yn gweddio arno. Sef Duw.

IV. Yr hyn y mae yn gweddio am dano; *Trugaredd.*

V. Y wasgfa yr ydoedd ynddi, sef, Trugarhau wrtho ef.

I. Pechadur; sef troseddwr o *Gyfraith* Duw; un wedi gwnethur peth croes i egwyddor y *gyfraith.* Y mae dyn yn bechadur, yn

1. Gwreiddiol yn Adda. 2. Yn dufewnol, sef a thuedd *anianol* ynddo i bechu. 3. Yn weithredol; yn ymarfer a phechu, yn ei fywyd cyffredinol. 4. Golwg ar bechadur teimladol; Y mae yn credu ei gwymp yn Adda; yn profi er ei ofid ei duedd *naturiawl* i bechu; yn galaru ac yn edifarhau am ei bechodau; yn galaru yn *drwm* o herwydd ei lygredd; ei bechod yn faich *trwm* iddo; yn deimladwy o ddrwg pechod yn ei *euogrwydd,* a'i halogrwydd, yn y meddwl, y geiriau a'r gweithredoedd.

II. Y gwaith y mae ef wrtho, sef, *Gweddio.* Canfyddir tri pheth mewn gwir weddi; 1af. Teimlad o'r angen,

2. Golwg ar wrthddrych i dori yr angen.
3. Yr iawn ffordd i nesu ato, a chael y pethau ganddo a lenwa'r angen.

III. Yr hwn y mae ef yn gweddio arno; sef Duw. Ar Dduw *Dad*, Yn *enw* Duw Fab, yn *nghynnorthwy* Duw Ysbryd Glan.

IV. Yr hyn y gweddia am dano, sef, *Trugaredd*; Yn ei holl gyflawnder, Y mae pob peth a gyfrenir i bechadur yn deilliaw o drugaredd, yn nhrefn trugaredd, i wrthddrychau trugaredd; y mae *arogl* trugaredd ar yr oll o'n hiachawdwriaeth.

V. Y wasgfa yr ydoedd ef ynddi; Trugaredd iddo fe. Trugaredd iddo yn y profiad o'r wasgfa hon. Y mae dyn teimladwy o'i angen, yn methu a byw yn llonydd nes y profo ei fod wedi derbyn trugaredd; megis, dyn mewn newyn, eisiau bara; dyn sychedig, eisiau dwfr.

Yr Arglwydd a'n dygo ni i'r profiad hwn oll. Amen.

---

# Llythyrau, &c.



*Trydydd Llythyr oddiwrth Hen Weinidog at ei Fab yn y Weinidogaeth.*

Fy mab caredig a hoff,

Gwyddost iad un o'r pethau lleiaf eu pwys mewn tŷ yw'r addysg a'r hyfforddiant a gyfrenir; oblegyd yr addysg yma a lyn wrth y deiliaid, a phryd bynag y try un o deulu i olwg gwlad, rhydd ddysgrifiad lled gryno o'r addysg gartrefol; ac o ryw deuluoedd neu gilydd y ceir y gwyr mwyaf cyhoeddus mewn teyrnasoedd. Felly Crist, hefyd, o'i dy a'i deulu ei hun y mae yn gwneuthur *Offeiriaid i Dduw a'i Dad ef.* Ac *y mae Tywysogion Seion i fod o honynt eu hunain;* na feddwl mai estroniaid y mae Crist yn eu dewis i fugeilio ei braidd, nac i ymgeleddu ei blant: na, hen grefft satan yw ymwthio ac ymrithio yn rhith angel y goleuni, ac felly mae ei eppil satanaidd o dad i fab, yn ymwthio ar ol eu gilydd i eisteddleoedd ynghyssegroedd Duw. Ond y mae diwrnod chwythig i'w meddwl yn mlaen, y trosglwyddir eu cadeiriau, ac y dymchwelir eu byrddau arian.

Ond yn y matter yma etto, nid wyf am gyffhwrdd ond yn lled anaml â'r pethau mawrion y sylwyd arnynt eisoes gan Dduwinyddion enwog dy lyfrgell, ond â rhyw bethau bychain, ag (fe allai) sydd isaw eu sylw, ac etto o niwed nid bychan, ac achos ysgwyd pen mewn dirmyg ar eglwys Crist o'u herwydd. Mae eisiau crfarwyddyd ymhob peth ar deulu Crist, oblegyd dyma berlau y ddaear a'r nefoedd, a gresyn iddynt gael eu llychwyno; am hyny dylai eu gweinidogion fod yn hynod o feddus, fel y gallont droi atto am addysg; ni ymddiried neb doeth ei berlau i hurtyn. Yr oedd Crist yn rhoi gofal ei braidd i Pedr, ac y mae Pedr etto yn byw yn nes i Frydain na'r *gwr o Rufain* hwnw, ac ymddiried mawr gan y Pen bugail iddo. Ac mae yn rhaid i ti ofalu am eu hachosion perthynasol, tymhorol, ac ysprydol; ac mae y ddau flaenaf i fod a'u gogwyddiad yn hollol wrth reolaeth yr olaf.

Mae yn debyg mai gyda 'r bobl ieuainc y dechreuaf etto, a'r rheswm o hyny yw, am fod pob methiantwch yn fy aelodau, pob crebychiad yn fy nghroen, pob blewyn gwyn sydd yn fy mhen, yn mynych gofia im', mai'r bobl sydd ieuainc yn awr fydd cyn hir yn llenwi'r swyddau, ac yn sengi y pulpudau yr wyf fi a'm brodyr yn cael y fraint o fod ynddynt yn bresennol. Cynghor tra theilwng i ieuengctyd yw hwnw. 'Chwantau ieuengctyd ffo oddiwrthynt:' nid wyf yn cofio am un gelyn na themtasiwn na orchymynir i ni ymladd â hwynt, a'u gwrthwynebu, ond hwn yn unig. Mae'n debyg fod y caniattâd hwn o ffoi, oblegid fod y demtasiwn a chymaint o dderbyniad a chymeriad iddi yn ein natur, ac hefyd fod anghynefindra pobl ieuainc âg ymladd yn fawr: gwyddai Saul hyn, 'Bachgen wyt ti,' medd efe wrth Dafydd: a chyda hyny, fod colli tir yn nechreu y daith yn debyg o'i hachosi yn anghysurus a galarus ar ei hyd.

Ond, un drwg y dylit rybuddio pobl ieuaingc i'w ochelyd yn ofalus yw, angyfreithlondeb ac anweddeidd-dra yn eu rhag-gyfeillach i'r sefyllfa briodasol. Er fod rhai yn barod i haeru dros gymmysgedd, a chyfreithlondeb mewn ieuo yn angymarus, gan dybied y bydd i hyny demtio Duw i beri i wraig ddigred gael ei hennill trwy ei gwr. Ond mae deddfau Duw yn eu herbyn, rheolau eglwys Crist ymhob oes dan eu troed, addewidion grasol Iehofah yr ochr arall i'r muriau, ac esamplau hen dduwiolion y Bibl allan o sylw, er fod rhai a lithrasant wedi eu gosod yn gofarwydd i ochelyd eu llwybr. Ond pe byddai hyn oll yn ddistaw, mae y gwaelaf a gaffo ei gadw a gofal arno i fod yn ddifrychau o fewn i furiau Seion, yn llawer gwell na'r goreu o bobl y tir cyffredin.

Mae aflwydd o ddrwg yn dirwyn yn menyddiau rhai rhieni yn hyn, eu tegan, a nôd eu hymdrech wrth ieuo eu plant yw, sefyllfa a mantais fydol, ac aed y fuchedd a'r breintiau crefyddol i byllau eu tommenau o'u rhan hwy. Oh na chofiai y cyfryw, fod torri rheolau Duw yn ei air, a rhwymo un o blant y deyrnas, âg un o gŵn annwn o dan yr un iau, yn llwybr digon rhyfedd i gymmell bendith Duw ar eu hiliogaeth! Bydd diwyrnod y priodi, a chyfrif y gwaddol, wedi myned drosodd mewn llai nag oes lleuad; ond mae byw yn yr un tŷ, yn berchen ar ddwy anian wrthwyneb, magu yr un

plant, ceisio llwyddiant yr un teulu, golygu gwasgfeuon gwely angau, cyfarfod â Duw mewn barn, bod y ddau lwch yn ffarwelio a'u gilydd wrth godi (o bossibl) o'r un bedd, a pheth mwy fyth, y blaid dduwiol yn dweud, Amen, gyda chondemniad y llall i dragywyddol waeau, yn bethau hynod o sobr i'w golygu y noson cyn priodi.

Ac ychydig iawn gwell yw fod dau o wahanol opiniynau crefyddol yn ymuno mewn priodas; nid da y cydorwedd dwy ffydd ar yr un gobenydd am oes priodas: beth pe yr âi yn ddadleu? A pha fodd fydd rhanu y plant?

Hwyrach, gan i mi gyffwrdd a hyn, nad anfuddiol fyddai nodi trawsarglwyddiaeth rhai meistradoedd ar gredo craill, byddant mor zelog a'u plaid a'u hopiniwn, fel na chaiff yr un y gallant eu rhwystro fyned at y blaid y bo eu hewyllys a'u serch yn tueddu. Beth pe bai y cyfryw feistradoedd a'u cyrn yn hwy, byddai pen buan ar ryddid crefyddol ein gwlad? nid fel llusgo ci i'w grogi, y mae trin dynolryw; rhaid gorchfygu eu barnau â grym rhesymau, ac nid â nerth rhaffau. Ond mae y rhai a nodwyd, yn berchen ar fwy o zel nag o gariad; mwy o sicrwydd hunanol, nag o gydymdeimlad.

Ond hefyd, yn achos y priodi, mae modd fod cyfreithlondeb personau, ac anaddasrwydd agweddau yn y rhag gyfeillach. Rhybuddia lawer, a cherydda yn llym, o achos hyn. Pechadurus yw dilyn siamplau plant Belial, ac hefyd cymeryd eu cyfarfodydd llygredig yn faintais rhagyfeillach, na bod amser eu hymweliad yn cael ei ddewis, gefn nos, yr hyn sydd fwy priodol i rai anniwair; nag ar un cyfrif ar Sabbathau Duw; na bod cyfleusderau cyrchu i mewn ac allan o foddion gras yn cael ei ddefnyddio i'r perwyl yma er dim. Dyma laid ag mae gelynion crefydd yn ei daflu i wynebau proffeswyr, ac sydd yn glynu yn gymwys yn eu cywilydd y dyddiau yma. Mae sobrwydd yr Efengyl wedi colli, cyfle mater enaid yn cael ei droi o'r gamlas briodol, ac annuwiolion yn estyn bys mewn gwawd ar grefydd.

Nid wyf o'm rhan i, yn hollol foddlawn weled pobl ieuaingc bron yr un oed, er iddynt fod o'r un rhyw, yn ymarfer cyfeillachu a chydrodio llawer â'u gilydd ar y Sabbathau, canys mae y rhai digrefydd yn barnu fod eu hymddiddanion yn llygredig a chnawdol, gan fesur pawb wrth eu llathen eu hunain, 'Ymgedwch oddiwrth bob rhith drygioni.'—Hefyd, cymer ofal mawr am yr ieuengctyd dieithrol sydd yn mynych ddyfod yna o achos eu galwedigaeth; mae cael crefydd i ddal newid y *climate* yn fwy nag a fedd llawer. Mae rhai o honynt yn dyfod o le cynnes gyda chrefydd, ac un yn symud o le cynnes i le oer, geiff yr anwyd gyntaf.

Ymhellach, mae treulio amser hir a maith yn rhagyfeillachu, yn anweddus ac yn yspeilio llawer o bleserau a mwyniant y stad briodasol trwy gynefindra a'u gilydd. Byddaf yn hoffi rheolau y blaid ag sydd yn gorchymyn i'r achos yma gael ei ddwyn ymlaen tan arolygiad Henuriaid eu heglwys; ond ar yr un pryd yr wyf yn ei gwel'd yn lled gaeth. Er hyny arwydd o barch mawr i'w gweinidog sydd mewn Eglwys a adwaen i, y gellir cyfrif llawer iawn o briodasau ynddi, ag yr oedd y stad mor barchus yn eu golwg, fel y galwasant heibio i ddrws eu gweinidog y cam cyntaf, i ofyn ei help a'i gyfarwyddyd.

Rhaid im' brysuro, peth arall yn achos aelodau dy Eglwys ag sydd yn galw dy fanwl ystyriaeth a'th farn ddiduedd, yw, eu hachosion tymhorol a gwladol, y funud y bo chwantau ieuengctyd yn cefnu, mae gofal y byd yn nesu; a mawr yw ystryw Satan i geisio drygu crefydd ymhob sefyllfa. Yr wyf fi yn meddwl fod clawdd terfyn Sïon, muriau Ierusalem, mor isel yn yr achos yma ag yn un peth. Mae y gwahaniaeth yn fychan rhwng byd ac Eglwys: mae'r naill bron morgybyddlyd a bydol a'r llall. Oh, hen Saint, cyn myn'd i'ch beddau, cyn tewi yn yr angau, deuwch i gerdded yr ymylau, i ddangos y terfynau mewn santeiddrwydd yn yr achos yma: mae yn anhawdd i'r bobl ieuaingc wybod pa le mae'r terfyn, canys mae bydolrwydd yr hen broffeswyr wedi ei sathru mor isel. Ymlwythir gyda negeseuau y bywyd hwn, nes y mae byd arall yn hollol allan o'r *stori*; a hynod yr ystumiau a wna llawer crefyddwr i geisio cyttuno y ddau fyd: a mawr yw doethineb hwnw, a fedr 'arfer y byd, heb ei gam arfer.'

Un ffordd i'w gamarfer, yw bod yn ddiofal yn ei gylch. Yr wyf yn dechreu yn ddigon chwithig, newydd fod yn son am ormod trafferthion; wel nid y bobl hyny yw y rhai'n, mae y rhai'n yn ei methu yr ochor arall, a bod 'heb ofalu am y teulu, sydd wadu'r ffydd.' Segurdod yw un camarferiad: anhawdd genyf feddwl fod dyn *duwiol* yn segur a diog; ac os oes y cyfryw nid hawdd yw bod yn rhy lym tu ag attynt. Ond dichon i dduwiolion gael eu cwrdd â thlodi, 'fel ymdeithydd, a'u hangen fel gwr arfog,' o herwydd triniad annoeth ar y byd, neu fechniaeth; neu er llawer o lafur a diwydrwydd, fod rhagluniaeth yn cau ei llaw; gyda'r cyfryw bydd dra thyner, oblegid mae eu briw yn wastad yn agored.

Ond, yr ochor arall, mae'r bobl dewion eu tonnen, a dideimlad o gerydd a chyngor, maent hwy yn rhwyfo mewn gormodaeth a thrafferthion, a hwylwynt cyfoeth yn eu hyrddio, nes prin y mae neb o honynt yn diangc heb 'foddi mewn dinystr

a chollcdigaeth.' Mae'r goflaid fawr, a'r lledu dwylo, a'r amrywio mewn masnach, a phethau eraill, yn wrthuni pechadurus mewn crefyddwyr, yn enwedig pan y byddo barn ddiduedd eu cydwybod yn gweled y gwna llai y tro. Dichon fod drws rhagluniaeth yn ehangu weithiau megis yn annisgwyliadwy, ac annocheladwy; ond byddaf yn meddwl y gofid a fyddai hyny yn beri i Mr. Whitfield dduwiol, nes y byddai yn tori allan, gan waeddi, *Oh 'Nhad, a wyt ti am roi'r byd yn lle'r nefoedd i mi!*

Ac o'm rhan fy hun, dymunol fyddai i grefyddwyr na byddo i'w coelbren byth ddisgyn ynghanol y gormodaeth trafferthion. Hynod mor esmwyth a diniwed yr esponir yr adnod hono, ' Gwae y rhai sy yn cyssylltu tŷ at dŷ,' &c. ond mae esponiad cywir arni yn Micah 2, a'r tair adnod cyntaf. Ac yr wyf yn meddwl y cynwysir ynddi fwy hefyd na *thrais* a *gorthrwm*: gwrthododd Abraham gynygiad Brenin Sodoma o'r yspail, er ei fod yn gyfiawn iddo ei gael: faint o grefyddwyr wnai hyny yn awr? Ond mae'r ymddygiad chwantus yma yn arwydd a phrawf eu bod yn amddifaid o gariad Duw, yn ddiymddiried yn ei ragluniaeth dyner, yn condemnio ei awdurdod yn ei air, ac yn arwyddo fod eu calonau wedi eu llyngcu i fyny gan fydolrwydd, a'u bod yn greulon a gorthrymus tu ag at eu brodyr, at lwyddiant pa rai y maent yn hollol anystyriol. ' Bydded eich ymarweddiad yn ddiariangar,' &c. Ond mae Duw yn dweud y *secret* weithiau yngblust ei blant, o aflwyddiant y fath ymledwyr.

*(I'w barhau.)*

CYMMWYSDERAU ANGENRHEIDIOL YN ATHRAWON YR YSGOL SABBATHOL.

1 Gwir dduwioldeb. 2 Tosturi.
3 Cymmwynasgarwch.
4 Brwdfrydedd. (zel).
5 Purdeb egwyddor.
6 Gwybodaeth gyffredinol.
7 Manylrwydd. 8 Diwydrwydd.
9 Tiriondeb. 10 Gostyngeiddrwydd.
11 Amynedd. 12 Doethineb.
13 Dianwadalwch.
14 Hunan-ymwadiad.
15 Dyoddefgarwch. 16 Gwroldeb.
17 Callineb. 18 Penderfyniad.
19 Gwabaniaethiad. 20 Symlrwydd.
21 Parhad.
22 Cydnabyddiaeth helaeth â'r ysgrythyrau.
23 Golygiadau cywir ac ehang ar wirioneddau dwyfol.
24 Parodrwydd i gyfranu addysg.
25 Yspryd crefyddol.
26 Ymroddiad i'r gwaith.
27 Ymddiried hollol ar yr Yspryd.
28 Ffydd yn yr addewidion.
29 Cof cyunwysgar.
30 Gradd o gydnabyddiaeth â galluoedd a gweithrediadau y meddwl.
31 Arferiad o hunan-ymholiad.
32 Cysondeb ymddygiad.
33 Difrifwch ymarweddiad.
34 Agwedd ynnillgar.
35 Tueddiad heddychlon. ATHRAW.

## Gofynion, &c.

Pa fodd yr oedd Crist yn disgwyl cael ffrwyth ar y ffigysbren gynt, a hithau heb fod yn amser ffigys? A phaham y darfu iddo ei melldithio am na chafodd ddim arni? Marc xi. 13, 14. IOAN.
*Abergwaun.*

Pa sawl rhyw o Aberthau, ynghyd a'u henwau, oedd dan y gyfraith seremoniol? DIDIMUS.

☞ A fydd rhyw Ysgol Sabbathol cystal ag anfon atteb i'r Gofyniad hwn?

Barch. Olygydd,—Darllenais yn Rhif. 69 o'r Drysorfa beth buddiol a phriodol iawn, am yr agwedd a ddylai fod ar ein ysprydoedd wrth ganu mawl i Dduw yn gyhoeddus. Ond y peth sydd arnaf eisiau ei wybod etto yw, Pa fath agwedd a ddylai fod ar ein cyrph wrth gyflawni y gwasanaeth pwysfawr hwn? pa un ai eistedd ai ynte sefyll? Mewn rhai manau ceir gweled y naill hanner o'r gynulleidfa yn eistedd, tra y mae yr hanner arall yn sefyll, pan mae y gwasanaeth uchod yn cael ei gyflawni; y mae yn anhawdd genyf benderfynu pa un o'r ddau agwedd hyn gaiff ei gymeradwyo. Ychydig o sylwadau ar hyn sydd eisiau yn fawr. ATHRAWES.
*Ysgol Sabbathol Tŷ Ddewi.*

Syr,—Gan fod cymmaint o son am y Rechabiaid gan y Dirwestwyr y dyddiau hyn, mi droais i Ier. xxxv. ac a'i darllenais; lle y dywedant wrth Ieremiah 'Nid yfwn ni ddim gwin; oherwydd Ionadab mab Rechab ein tad a roddodd i ni orchymyn, gan ddywedyd, Nac yfwch win, na chwychwi na'ch plant, yn dragywydd,—fel y byddoch chwi byw ddyddiau lawer ar wyneb y ddaear.'

Beth a allasai fod yn achlysur i beri i Ionadab roi y fath orchymyn i'w feibion? Eglurhad ar hyn a foddhai eich diwyd ddarllenydd, T. JONES.
*Dinbych.*

Syr,—A ellir dywedyd, ar bob golygiad, i Dduw yn y dechreuad greu y diafol? B. EVANS.

Syr,—A ydyw yn bechod i Felinyddion falu ar y Sabbath? Didymus.

*Atteb.* Ydyw: 'Cofia y dydd Sabbath, i'w sancteiddio ef, chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith. Ond y seithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw; na wna ynddo ddim gwaith.' Ecsodus xx. 8—10. *C——r.*

## Attebiad.

Syr,—Hawdd fyddai rhoddi attebiad i'r *Ymholydd* (Rhif. 71.) ynghylch nifer Capelydd y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru, pe byddai i ryw un adnabyddus yn mhob Sir gymeryd y drafferth o anfon hyspysiad i chwi i'w gyhoeddi yn y Drysorfa, yr hyn a barai ddywenydd i lawer heblaw Ymholydd—ac wele i chwi gyfrif o Sir Ddinbych.

Nifer y Capelydd ydynt 56, wele Restr o honynt:—

| | |
|---|---|
| Conway. | Tan y bwlch. |
| Henefail. | Roewen. |
| Llwyngwayw. | Talbont. |
| Ardda. | Trefriw. |
| Bethel. | Llanrwst. |
| Carmel. | Pandy. |
| Salem, | Pwllterfyn. |
| Bryndionyn | Moriah. |
| Llansantffraid | Llandudno. |
| Bryn | Mochdre |
| Llanelian. | Llysfaen. |
| Bettws. | Abergele. |
| Towyn. | Brynllwyni. |
| Rhuddlan. | Rhyl. |
| Cwm. | Diserth. |
| Prestatyn | Llanelwy. |
| Cefnmeriadog | Green. |
| Henllan. | Dinbych. |
| Pentref, | Prion. |
| Saron. | Cyffylliog. |
| Bont uchel | Clawddnewydd. |
| Llanelidan. | Rhiw. |
| Pentre celyn. | Rhuthin. |
| Nantglyn | Groes. |
| Tanfron. | Llansannan. |
| Llanefydd. | Llanfairtalhaiarn |
| Cefn Coch. | Garnedd. |
| Gwytherin. | Llangerniw (yn cael ei adeiladu.) |

*Llan-t.* H.

## Cofiant

***Mrs. Sarah Price, gwraig Mr. Edward Price, Pregethwr perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nghroes oswallt.***

Sarah Price oedd ferch i John o Margaret Jones, Tynyffordd, Glyn-dyfrdwy, yn Mhlwy Corwen. Bu farw ei thad pan oedd hi oddeutu dwy flwydd oed. Nid oedd ei Mham yn proffesu gydag un blaid o grefyddwyr; ond byddai arferol o fyned i wrando weithiau i'r Eglwys, ac weithiau i leoedd eraill, gan gymmeryd Sarah gyda hi, yr hon yn fynych a fyddai yn edrych yn lled drist ar ol d'od adref; a byddai ei mham yn gofyn iddi yr achos o ei thristwch, byddai hithau yn dyweud mai felly y dylasai fod os oedd y Pregethwr yn dyweud y gwir.

Pan oedd Sarah yn nghylch tair ar hugain oed, daeth i Groesoswallt i fyw; a byddai yn arfer myned i'r Capel cymreig i'r Odfäon, a'r Ysgol Sabbathol; a mynych yr adroddai i'w gwr (ar ol priodi) y terfysg fyddai ar ei meddwl yr amser hwnw. Ac yn enwedig byddai yn son am ryw noswaith y daeth y geiriau hyny i'w meddwl yn ei gwely, 'Oddieithr geni dyn drachefn ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.' Terfysgwyd ei meddwl i'r fath raddau fel y methodd aros yn ei gwely, am na wyddai beth oedd *ail eni*; ac aeth ar ei gliniau i ofyn i'r Arglwydd ei *hail eni hi beth bynag oedd hyny*, gan y gwyddai ef beth oedd, ac y cai hithau wybod os gwnai ef y drugaredd hono â hi.

Yn fuan wedi hyny ymunodd â'r Eglwys oedd yn arfer ymgynnull yn y Capel Cymreig, a bu yn hynod o'r diwyd yn dilyn pob moddion o ras tra yr arhosodd yn y dref, yr hyn ni bu nemmawr o amser, gan iddi ddychwelyd yn ol yn lled fuan i Glyn dyfrdwy. Wedi ei dychweliad adref, bu yn hynod o ymdrechgar i fyned bron i bob moddion i Gorwen, er fod ganddi bum milldir o ffordd, a'r rhan amlaf heb neb yn gwmpeini.

Yn y flwyddyn 1828, Priodwyd hi â Mr. Edward Price, a symmudodd drachefn i Groesoswallt i fyw, lle y bu yn aelod ffyddlawn a diwyd o Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd tra y parhaodd ei gyrfa yn y byd. Parhaodd yn nodedig am gyflawni y dyledswyddau perthynol iddi fel gwraig, mam, a chymmydoges; ac yn enwedig fel gwraig pregethwr, ac hwyrach y byddai yn dda i lawer un ddilyn ei siampl yn hyny. Dywed ei phriod y byddai yn arferol o'i gynghori ef i beidio a rhoddi cyhoeddiad heb ystyried yn ddifrifol a allai gyflawni ei addewid, gan ddyweud y gallai wneud niwed mawr wrth ei dori. Cynghorai ef hefyd i ymdrechu pregethu yn eglur, gan fod llawer o'r gwrandawyr yn anwybodus. A phan y byddai wedi rhoddi ei gyhoeddiad, annogai ef bob amser i fyned iddo, os byddai yn iach, pa rwystrau bynag fyddai ar y ffordd.

Yn mis chwefror diweddaf cafodd anwyd trwm, yr hwn yn fuan a drodd yn ddarfodedigaeth arni, fel na allodd dd'od i'r Capel. Ar ol mis Mawrth, ac yn ei chaethiwed, nid oedd ganddi fawr o flas ar son am ddim ond matter enaid; a chan nad oedd yn gallu do'd i'r moddion cy-

hoeddus dymunodd gael cyfarfod gweddi yn y tŷ; yr hyn a gafodd yn ebrwydd.

Ar ol i'r cyfarfod fyned trosodd, a'r cyfeillion ymadael, gofynodd ei gwr iddi, pa beth a gawsai yn y cyfarfod; a'r atteb a roes oedd, 'Nid cymmaint ag oeddwn yn ddysgwyl, nis gwn I pa beth oeddynt yn ei feddwl oeddwn I; nis gallaf fi feddwl am danaf fy hun fel yr oeddynt hwy yn dyweud wrth yr Arglwydd am danaf. Yr oeddwn I yn dysgwyl iddynt weddio am i mi gael maddeuant, a'm gwneud yn barod i farw, a chael cymmorth i ddyoddef cystudd heb rwgnach; ond nid oeddynt yn son am hyny.' Hwyrach y byddai yn dda i lawer gymmeryd addysg oddiwrth hyn pan elont i weddio gyda'r cleifion, i gofio mai pechaduriaid mewn angen am gymmorth yw y rhai goreu tra ar y ddaear, a bod Crist yn derbyn pechaduriaid. Aeth yn rhy wan i oddef yr un cyfarfod arall.

Y noswaith olaf y bu byw, yr oedd y brawd, Foulk Parry, wrth erchwyn ei gwely; a rhyw dro ganol nos dywedodd wrtho, 'amser sobr yw hwn; ond er hyny mi allwn I ganu yn awr, pe bawn yn gallu hefyd, mae genyf fi destyn i ganu yn iawn, ac yno ymdrechodd i ganu:—

'Yn angau'r groes yn unig
Mae'm Iachawdwriaeth lawn,
Ac am y groes mi ganaf
O foreu byd brydnawn,' &c.

Ac ychydig cyn ehedeg ymaith, dywedai wrth ei phriod, 'Bum yn meddwl lawer gwaith y buasai yn aomhossibl i mi eich gadael chwi a'm plant bach; ond nid yw hyny yn anhawdd yn awr i mi, ac ni bydd yn golled i chwithau. Y mae Tad yr ymddifaid a Barnwr y gweddwon gyda chwi, ac y mae genyf finau Brynwr byw—y mae pob peth yn dda.' Ac felly gorphenodd ei gyrfa mewn tangnefedd foreu y 7 dydd o Mehefin 1836, yn y 39 flwyddyn o'i hoedran. W. R.

*Croesoswallt.*

---

### MARWOLAETH.

Anwyl Frawd,—Nos Sabbath, Medi, 18, 1836, anfonwyd brenin y dychryniadau i'm teulu! a chymmerodd ran ysbrydol fy anwyl briod o'n cymdeithas ni, i fwynhau cymdeithas llawer mwy ysbrydol, a chyfathragywyddol â Duw a'r Oen, ymysg y rhai a berffeithiwyd; yr hyn oedd yn elw mawr iddi hi, wedi bod mewn ystormydd mawrion o gystudd, a gwaeledd, am oddeutu 12 mlynedd. Etto yr oedd yr Arglwydd yn dirion iawn o honi, yn ei chynnorthwyo i ymostwng; ac yn rhoi llawer o achos ac awydd i ganu y nos.

Bu angau yn brysur iawn yn ei waith trwy yr wythnos olaf iddi: oblegyd Sabbath lleg. cymmerodd cystudd trwm afael ynddi, a'r Sabbath canlynol ehedodd yr enaid i ddechreu Sabbath heb un dydd llun trafferthus ar ei ol, ac i fysg ei hen gyfeillion, lle ni ddywed neb claf ydwyf—ac oll 'Yn canu am glwyf Calfaria fryn.' Ac er trymed fy maich, a maint fy nghofid, yr oedd yn gysur mawr i mi fod gartref yn ei gweled, a'i chlywed yn dyweud y gair olaf yn y byd, sef, 'Iesu anwyl, gollwng, gollwng, gollwng.' Ac yn fuan gyda hyny cyrhaeddodd i'w hafan ddymunol; wedi ei dryllio yn erbyn creigiau, ac wedi ei maeddu gan y don.

Dydd iau canlynol daeth lliaws mawr iawn o'r cyfeillion a'r cymmydogion i'w hebrwng i dŷ ei hir gartref.

Pregethodd y Parch. John Edwards yn y tŷ yn briodol, ac effeithiol iawn, oddiar Dat. xiv. 13. Er y gallwn roi hanes helaethach o lawer; etto rhag meithder y terfyna eich cyfaill galarus!

*Llangollen.* JOHN HUGHES.

---

## Y Dysgawdwr Cyffredinol.

### III.

*Am Amaethyddiaeth neu Hwsmonaeth.*

23. Y cam cyntaf o fywyd anwâr i un diwygiedig yw caffaeliad, amddiffyniad, a chydnabyddiaeth o berchenogaeth mewn tir. Mewn oesoedd boreuol, nid oedd hyn yn gynnwysedig ond yn unig yn yr hyn oedd yn anhepgorol at angenion uniongyrchol dynion, a'r tir fel yr awyr ydoedd berchenogaeth gyffredin i bawb.

24. Yr eiddo cyntaf ydoedd gynnwysedig o ddefaid, geifr, ac ychen; a'r llafurwyr cyntaf oeddynt fugeiliaid, y rhai oeddynt yn gwylio eu diadellau, ac yn eu harwain heb attaliad o'r naill le i le arall i borfâau.

Syl. Mae genym ddarlun neillduol o fywyd bugeilaidd yn Llyfr Genesis; Abraham, Isaac, Iacob, a'u teulueodd, oeddynt fugeiliaid, neu lafurwyr yn yr oesoedd boreuaf. Gwelir fod eu cyfoeth yn gynnwysedig yn eu diadelloedd a'u da byw; a'u bod yn crwydro ar hyd y wlad i geisio porfa i ba le bynnag yr ewyllysient.

25. Yn yr oesoedd bugeilaidd o lafurwriaeth, nid oedd dim perchenogaeth mewn tir, yr oedd yr holl wlad yn agored ac yn gyffredin i unrhyw feddianydd; ac nid oedd neb yn cymmeryd iddo ei hun feddiant yn y ddaear, nac yn ystyried cynnyrch unrhyw lannerch fel ei eiddo ei hun.

26. Yn Affrica, ymhlith yr Americaniaid brodorawl, ac yn y rhan fwyaf o barthau Asia, nid oes, hyd y dydd hwn, ddim perchenogaeth mewn tir; yn ganlynol, yn y gwledydd hyny ni lafurir ond ychydig, ac er ffrwythlonrwydd y

ddaear, a chymmeriad tymherus yr hinsoddau, nid yw cynnaliaeth ond ansicr.

27. Cydnabyddiaeth a diogeliad o feddiant mewn tir, ydynt gan hyny seiliau diwydrwydd, llawnder, a chynnydd cymdeithasol. Bod i ddyn allu i alw llannerch o dir ei eiddo, ac i fwynhau ei gynnyrch a'i wellâd, sydd gan hyny yn un o'r camrau mwyaf pwysfawr yn y mynnediad o gyflwr anwâr i un diwygiedig.

28. Cyn gynted ag y gallai dyn honi ei hawl neillduol ei hun mewn darn o ddaear, a sicrâu i'w deulu y cynnyrch o hono, yna yn ofalus efe a'i llafuriai, a'i heuai, ac a'i planai; gan wybod y cai fedi gwobr ei lafur yn nhymmor cynhauaf.

29. Gwledydd yn gyffredinol ydynt yn gorwedd yn agored, heb ddim ond bryniau a ffosydd i wahanu tiroedd llafurwyr; eithr yn Lloegr mae pob tyddyn neillduedig yn cael ei wahanu oddiwrth eraill gydâ gwrychoedd a chloddiau; a'r tyddynod eu hunain, ydynt, er buddioldeb yn gystal a harddwch, wedi eu rhanu yn ddosparthiadau llai a chauedig.

30. Yn Ffrainc, yr Almaen, Ital, a'r Hispaen, a'r rhan fwyaf o deyrnasoedd eraill, mae y tiroedd yn aros yn barhaus yn faesydd mawrion agored digauedig; a'r gwledydd hyny, o ganlyniad, ydynt yn rhoddi golygfa anhardd; pan mae maesydd cauedig yn gwneuthur Lloegr megis gardd y byd.

31. Caeadleoedd ydynt yn mawr wellâu hinsawdd gwlad, trwy ei hachlesu oddiwrth wyntoedd gerwin; maent yn hyfryd yn adranu llafur-waith y tyddynwr; a thrwy attal ymarferiad anifeiliaid, yn peri iddynt fyned yn dewion yn gynt.

32. Ffarmwyr neu dyddynwyr a elwir yn *arddwyr*, pan mai eu gwaith penaf yw codi ŷd; ac yn *dyddynwyr porfaawg*, neu *borthwyr*, pan mai eu gwaith yw magu a phesgi defaid, a da byw eraill.

33. Tyddynod ydynt yn amrywio yn eu maintioli, o ddeg a deugain hyd fil o acrau. Y tyddynod arddadwy ydynt yn gyffredinol yn llai na'r rhai a arferir i borfâau neu borthi anifeiliaid, o herwydd eu bod yn gofyn mwy o lafur. Y rhai hyny, o ddau i bedwar cant o acrau, ydynt y mwyaf buddiol i'r perchenogion a'r cyffredin.

34. Tiroedd a renir yn gleiog, marlaidd, pridd-galchog, tywodlyd, grianog, mawnog, a chorslyd. Y rhai cleiog a marlaidd a elwir yn diroedd anystwyth a chryf; a'r tywodlyd a'r graianog yn diroedd ysgeifn.

35. Mae tiroedd yn ddiffrwyth pan fyddont yn gynnwysedig o ormod o un math o ddefnydd, heb ddal digon o leithder, neu yn rhy fâs: ac maent yn ffrwythlon pan f'ont yn cynnwys cynnwysgedd dyladwy o ddaear wreiddiol amrywiedig gyd â gweddillion planhigion a defnydd anifeilaidd.

Syl. Mae ein byd ni yn gynnwysedig o fwyn, pridd, llysiau, a sylwedd anifeilaidd. Y mwyn trwy weithrediad yr awyr sydd yn myned yn ddaear; y ddaear trwy weithrediad yr awyr yn cenhedlu llysiau; a llysiau ydynt barotöad naturiol o ymborth anifeiliaid. Y rhai hyn drachefn ydynt yn dychwelyd eu rhanau a'u cyrph i'r ddaear, lle maent yn cynnyrchu llysiau, y rhai a wasanaethant yn ymborth i genhedlaethau newydd o anifeiliaid, ac fel hyn mae cylch o hanfodaeth yn bod, mor hardd ag ydyw o ryfedd. Awyr, neu *gas*, ydyw yr achos effeithiol yn mhob sefyllfa.

36. I wneuthur tir diffrwyth yn ffrwythlawn, dylai yn aml gael ei droi i'r awyr, a'i gymmysgu â gwrtaith o dom anifeiliaid, llysiau braenedig, calch, marl, ysgubion hëolydd, &c.

Syl. Mae y gallu ffrwythlonawl, neu naturiaethau llysieuawl, pob math o dir, yn cael ei dreulio yn fawr gan gnydau dilynol; a llafur defnyddiol dyn yw dychwelyd at y tir mewn amrywiol ddulliau o wrteithio, yr hwn a ddygwyd ymaith a'r hwn sydd yn cydgyfarfod mewn gwrtaith priodol. Er hyny nid yw trefydd mawrion yn dychwelyd cymmaint ag maent yn ei ddifa, ac am hyny mae moddion celfyddydawl yn angenrheidiol i gadw i fynu ffrwythlondeb gwlad: ac esgeulusdod neu anwybodaeth o'r ddyledswydd hon a ddarostyngodd y gwledydd mwyaf ffrwythlawn yn yr hen amserau yn ddiffeithwch diffrwyth.

37. Wrth droi y pridd i fynu, prif offerynau y Garddwr ynt y rhaw, yr *hoe* a'r *fattock*; a rhai y Tyddynwr ynt yr aradr, yr ogeid, y rhol, y bladur, a'r crymau.

38. Fel y mae dilyniad o'r un cnwd yn tueddu yn fuan i dlodi y tir, mae gwahanol gnydau yn eu cylch wedi eu profi yn ddefnyddiol. Cloron, ŷd, a chnydau gwynion ydynt waghâol; ond, ar eu hol, fe wellheir y tir gan efrau, maip, a chnydau gwyrddion neu blanedig.

39. Mewn tiroedd anystwyth, clofer, ffa, gwenith, bresych, a cheirch a ellir eu hau yn olynol; ac mewn tiroedd ysgeifn, cloron, maip, pŷs, ceirch, a haidd, a allant ddilyn eu gilydd. Y rheol gyffredin yw, *un cnwd i ddyn ac un i anifail.*

Syl. Y dull hwn o amrywio y cnydau sydd beth newydd a gafwyd allan. Gynt byddai tir yn aml yn cael ei adael yn fraenar; hyny yw, heb ei weithio bob tair neu bedair blynedd; ond yn bresenol, trwy amrywio y cnydau, mae yn arferol cael dau, tri, neu bedwar o gnydau yn y flwyddyn o'r un tir, heb iddo gael ei waghâu; yn ganlynol braenaru sydd wedi myned yn afreidiol.—Gwel *Young's Invaluable Farmer's Calender.*

40. Gwenith yn gyffredinol a heuir yn

Medi neu Hydref; ond yr hwn a elwir gwenith y gwanwyn ni heuir hyd Mawrth. Mae yn addfedu, yn ein hawyrgylch ni, yn Awst a Medi, pan y medir, y tŵir, ac y dyrnir ef. Ar ol ei falu yn y felin, a'i ogryn, mae yn dyfod yn flawd; a'r blawd wedi ei gymmysgu a dwfr, wedi rhoddi burym ato, a'i grasu yn y ffwrn, sydd yn gwneuthur Bara.

41. Haidd a heuir yn Ebrill a Mai, ac a wneir yr Frâg, trwy ei boethi i radd o Flaendarddiad, ac yna ei dorri mewn melin. Os bydd y Brâg wedi ei fwydo mewn dwfr poeth, y mwydiad, gyda chwanegiad o hopys ato, a ellir ei weithio gyda burym i fir, cwrw, neu borter.

42. Ceirch a heuir yn Chwefror a Mawrth; wedi ei falu mae yn gwneuthur blawd ceirch, a'i gymmysgu â dwfr mae y blawd yn dyfod yn fara ceirch; ond heb ei falu mae ceirch y bwyd hoffaf gan geffylau.

43. Mae rhywogaethau ereill o rawn yn cael eu meithrin yn Lloegr, megis Rhŷg, Pŷs, a Ffâ. Y cyntaf sydd yn gwneuthur bara du, a'r olaf ydynt ddigon adnabyddus fel bwyd danteithiol a iachusol. *Rice*, grawn hynod o faethlon, a feithrinir yn fawr mewn hinsoddau cynnes, ac a ddewisir o flaen grawn eraill er ymborth i ddyn.

*(I'w barhau.)*

## Cyfarchiad at bobl ieuainc.

Hybarch Olygydd,

Ar ol hir osteg, cefais ar fy meddwl anfon y cyfarchiad canlynol, i chwi i'w ei gyfleu yn rhyw gongl o'ch cyhoeddiad clodwiw os barnwch ef yn addas,—sef rhai sylwadau ar y perygl a thrueni y bobl ieuaingc hyny o'r Ysgol Sabbathol, sy'n cael eu gadael yn y dyddiau diweddaf hyn, heb eu dal yn rhwyd yr Efengyl.

O bobl ieuaingc, amser ieuengctyd yw eich amser euraidd, sef blodau eich dyddiau, ac mae Duw yr hwn a'ch lluniodd, ac a'ch cynhaliodd yn galw am danoch gan roddi gorchymyn neillduol i chwi ar eich penau eich hunain, 'Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuengctyd, cyn dyfod y dyddiau blin, a nesau o'r blynyddoedd yn y rhai y dywedi, nid oes i mi ddim diddanwch ynddynt.' A pha rai bynnag o honoch, O ieuengctyd, a adewir i fyw a marw mewn anufudd-dod i'r gorchymyn hwn, heb glywed llais Mab Duw i'ch gwneuthur 'yn ewyllysgar yn nydd ei nerth.' Mae dyddiau blin yn eich aros, y fath na welodd eich llygaid, ac ni clywodd eich clustiau, ac ni ddaeth i'ch calonau erioed feddwl pa fath ydynt. 'Yn gymmaint ag i mi eich gwahodd ac i chwithau wrthod; i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried; ond diystyrasoch fy holl gyngor i, ac ni fynnech ddim o'm cerydd. Minnau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi, mi a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni; pan ddel arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni megis distryw, ac y dêl eich dialedd arnoch megis corwynt, a dyfod arnoch wasgfa a chaledi:' 'Yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf; yn foreu i'm ceisiant, ond ni'm cant.'

O bobl ieuaingc, bobl ieuaingc, mae Duw yn y dyddiau hyn yn daer, ac mewn modd difrif yn galw ar eich ol, a gwae, gwae, gwae chwi os yn ol y byddwch! Mae wedi rhoddi a danfon attoch ei weision, sef Athrawon yr Ysgol Sabbathol, i'ch dysgu a'ch gyfarwyddo yn ngair y gwirionedd. Mae'n danfon ei weision sef ei genhadon, i'r prif ffyrdd a'r caeau. Hefyd, mae'n danfon trugareddau, breintiau, ac aml genhadau, ac fe allai fod ei Yspryd, rai prydiau, wedi bod yn ymryson â chydwybodau rhai o honoch.

O bobl ieuaingc, tu ag attoch chwi y mae ei lef a'i ddymuniad. Mae Mab Duw, cyfaill pechaduriaid, yn llefain ar eich hol. O gwrandewch ar ei lef, rhag i'r Oen droi yn Llew, a dywedyd fel wrth y rhai gynt, 'Ni chaiff y rhai a wahoddwyd brofi o'm swpper.' O bobl ieuaingc, y rhai a ddaethoch i'r byd ar ganol dydd, pan oedd haul yr efengyl yn ei wres, a'i oleu yn tywynu trwy'r gwledydd: na fyddwch fel ynfydion yn segura yn amser y cynhauaf, rhag bydd gorfod i chwi dd'weud mewn chwerwder a chyfyngder ysbryd, 'Y cynhauaf a aeth heibio, darfu'r haf, ac nid ydym ni gadwedig.' O, na thwyller chwi, ni watwarir Duw. O ieuengctyd, Duw yr hwn y mae pob gallu yn ei law, ac sydd yn trugarhau yn rhad wrth rai yn eu gwaed, a'ch gwaredo rhag tynnu gwasgfa ar eich heneidiau.

Chwi blant a phobl ieuaingc sydd yn mwynhau y fath fanteision o gael dysgu gair Duw, a'i drysori yn eich cof, ewch at Dduw yn aml i ofyn am i'ch calonau gael eu braenaru, ac i'r gair gael gwreiddio ynoch, a ffrwythloni, canys fe a ddichon gadw yn fyw yr enaid i fywyd tragywyddol. Os yn ol y byddwch heb gael gras cadwedigol, a'ch gwir ddychwelyd at yr Arglwydd Iesu (yn wyneb y breintiau a'r manteision sydd yn eich dwylaw) chwi a fyddwch yn sicr yn fwy diesgus na neb yn y farn fawr! O pa fodd, gan euogrwydd fel mynyddau duon, y gellwch chwi godi eich pennau pan ddelo Mab Duw ar y cymmylau?—Pa mor ddiesgus a fyddwch chwi y pryd hyny?. pan y byddoch yn cael dannod i'ch wynebau eich bod wedi bod megis ynghanol afonydd gras, ond fel barilau wedi eu corcio, na chae dyferyn le i fyned i mewn i chwi; er bod y llif o'ch deutu.—Oni welsoch

chwi rad ras yn achub rhai o'ch gyfeillion o'ch plith? ac yn eu galw i'r cerbyd, ac yn eu darostwng ynghanol eu gelyniaeth?

Gyda diesgus, mawr fydd y cyfrif a fydd raid i chwi roddi yn y dydd hwnw, sef ieuengtcyd yr oes hon yn neillduol, y rhai a geir yn fyr o ras cadwedigol. O! pa gynnifer o bregethau, pa gynnifer o byngciau sylfaenol y grefydd Gristionogol a adroddasoch? Yr aml rybuddion a chyngorion a gawsoch? pa gynnifer cennad a chennadwri a anfonodd Duw attoch, gan geisio eich gyrru, neu eich tynu at yr Arglwydd Iesu? O gynnifer gwaith y mae Mab Duw wedi bod yn sefyll, ac yn curo wrth eich drysau!—Pa sawl gweddi a weddiwyd ger bron Duw ar eich rhan?—A gaiff yr holl bethau hyn i gyd fod yn foddion i'ch gwneud yn fwy truenus?—Am hyn oll, a llawer mwy, y bydd raid i chwi atteb am danynt yn nydd mawr y farn. Awelon fy nef a chwytho arnoch.—A'r hwn a ruddfanodd, ac a lefodd â llef uchel uwch ben bedd Lazarus, a lefo yn effeithiol arnoch chwithau; deffrowch, dihunwch, deuwch allan, O ieuengctyd: a boed i chwi glywed ei lais a byw byth, yw gwir ddymuniad eich ewyllysiwr da yn y peth goreu,

*Woodstock.* ATHRAW O YSGOL.

---

## CERDDORIAETH EGLWYSIG.

Syr,—Llawen iawn oedd genyf weled hysbysiad yn eich Trysorfa am mis Medi diweddaf, fod yr hyglod beroriaethydd Mr. Isaac Williams o Dreffynnon, yn bwriadu cyhoeddi llyfr tonau o'i waith; os caiff annogaeth digonol gan ei gydwladwyr.

Er cymmaint o wybodaeth a feddiennir gan genedl y Cymmry yn y dyddiau hyn, ac er fod cynnydd a gwellâad ar y celfyddydau yn eu plith; y mae lle i ofni fod *Cerddoriaeth eglwysig* i raddau, yn cael ei hesgeuluso ganddynt. Yr oedd cerddoriaeth, yn mhlith y genedl Iuddewig, yn cael ei hystyried yn gelfyddyd gyssegredig: yr oedd caniadau Sïon, a pheroriaeth y cyssegr mewn bri a chymeriad uchel yn llysoedd y pendefigion dwyreiniawl; ac yr oedd *per ganiedydd* Israel, nid yn unig yn cyfansoddi *geiriau* ei odlau ysprydol, ond hefyd, yn ol dull yr hen delynorion Groegaidd, yn cyfansoddi y *beroriaeth* iddynt hefyd; yr hyn a'u gwnaent yn odidog ragorol.

Hefyd y mae ein cymydogion y Saeson yn mhell o'n blaen ni, gyda golwg ar y gelfyddyd ardderchog hon. Pe bai llawer Cymmro, o blith mynyddoedd Gwyllt Walia, yn myned i rai o addoldai y Saeson, yn Llynlleifiad neu Lundain, pan y byddont yn pereilio moliant i'r Goruchaf, efe a ddychymygai fod ei glust wrth borth paradwys yn clywed plethiadau telyn Gabriel, neu seiniau perlewygawl tannau Uriel; ie tybiai ar unwaith ei fod fel Ioan gynt wedi cael ei gipio i'r drydedd nef, i glywed y côr nefolaidd yn canu cân Moses a chân yr Oen, 'draw i'r llen mewn llawen floedd.' Tra y mae y Saeson yn dadsain moliant eu Creawdydd, mewn dull mor fawreddog a goruchel, nes llenwi meddyliau y gynnulleidfa â syndod ac â pharchedig ofn, yr ydym ni y Cymry, mewn llawer man, yn ymfoddloni ar ryw gauu marwaidd a hwyr-drwm, mwy cymhwys i suo'r gynnulleidfa i gysgu, nac i fywiogi eu tymherau, ac i addasu eu meddyliau i aberthu moliant i'r Arglwydd.

Y mae y rhan fwyaf o hil Gomer fel pe baent wedi crogi eu telynau ar yr helyg; pa rai sydd wedi bod yno cyhyd fel pan dynir ambell un o honynt i lawr, y dywed rhai o swyddogion y cyssegr, mai eiddo'r Babiloniaid ydynt; ac nad ydyw canu rheolaidd a *rhodresgar* (fel y'i galwant) yn addas i addoliad yr Arglwydd. Ond er fod y telynau hyn wedi bod cyhyd ar yr helyg, nes y mae eu tannau wedi rhydu; pan y can't eu tynu i lawr a'u hadgyweirio, ceir clywed meibion y gaethglud yn dadseinio caniadau Sïon eto mor beraidd ag erioed.

Ond mewn perthynas i lyfr Peroriaeth Mr. I. Williams, nid oes genyf ond dweyd fod enw ei awdwr yn ddigon o ganmoliaeth iddo, gan y rhai hyny sydd yn gwybod am ei dalent odidog, a'i fedrusrwydd cywreinwiw yn y gelfyddyd ardderchog o gerddoriaeth; yn nghyd a'i lafur diflino o'i fabandod hyd yn awr i feithrin y cyfryw. Ië, nid oes genyf un petrusder i ddweyd, fod ei Anthemau rhagorol ar yr 8fed a'r 100fed Psalm, yn teilyngu y cefnogaeth mwyaf i'w lyfr, ac yn galw sylw neillduol meibion *Orpheus* yn enwedig.

Yr oeddym ni, y Methodistiaid Calvinaidd, yn sefyll mewn mawr angen am gasgliad o dônau cyfaddas i gyfatteb i lyfr hymnau Mr. M. D. Llanfyllin; a chan fod y cyfryw gasgliad, wedi ei gyfansoddi i'r perwyl, yn ymgynnyg i'n sylw yn bresennol, ac wedi ei gymeradwyo gan feirniaid medrus yn y gelfyddyd, y mae yn ddiammau mai tra phriodol a fyddai i'r Corph crybwylledig roddi ei gefnogaeth tuag at gael y llyfr uchod allan o'r wasg. Pe bai pob capel sydd yn perthyn i'r corph yn cymeryd un o honynt, diammau y galluogid yr awdwr i'w gyhoeddi.

Pur eirian yw Peroriaeth—I. Williams,
Prif eilydd ein talaeth:
Wele ffrwd o alaw ffraeth,
Y caniedydd cain odiaeth.

Ydwyf, Syr, yr eiddoch, &c.

QUIDAM.

## Hanesiaeth Cenhadol.

VIZAGAPATAM YN YR INDIA DDWYREINIOL.

Dodwn yma ran o ddyddlyfr y Parch. J. W. Gordon, y Cenhadwr sydd yn llafurio yn Vizagapatam, ar ochor orllewinol i Bay of Bengal.

Medi 21. Yn y prydnawn, galwodd tri o Offeiriaid yr eilynod arnaf, y rhai a elwir yn y wlad hon, Brahminiaid, i ymofyn am Fiblau. Yn yr hwyr bu dadl faith rhyngof a Mahometan parchus, yn nghylch aberth Crist. Taerai efe, nad oedd dim possibl i Iesu Grist ddyoddef, ac na ddirfu iddo ddim dyoddef chwaith: mai rhyw un arall oedd yn dyoddef, rhyw ddyn neu yspryd. Mi geisiais, ond yn gwbl ofer, ddangos iddo drwy brophwydoliaethau yr Hen Destament, mai Iesu Grist oedd yn dyoddef ar y groes, ac nid neb arall. Fod gwir angenrheidrwydd am iddo ddyoddef a marw; ac nad oedd bossibl i ni gael iachawdwriaeth heb iddo ef ddyoddef a marw fel Mechnïydd drosom ac yn ein lle. Nid ellais berswadio y truan ddyn twylledig, i gydsynio â'r athrawiaeth ddyddanus hon, er ymgais o honof hyd y gellais.

Hydr. 3. Boreu heddyw daeth dau ddyn o'r wlad attaf i ymddyddan â mi ynghylch crefydd, ac i ymofyn am Fiblau, ac am Draethodau yn iaith Telugu. Yr oedd y dynion hyn yn nodedig o ddiddichell a hawdd siarad a hwynt, yn hynod o rydd oddiwrth y rhagfarn, ag sydd yn gyffredin i'w ganfod yn y bobl sydd yn trigfanu mewn trefydd mawrion a phoblog. Yr oeddynt yn cydnabod ardderchogrwydd y grefydd gristionogol, ac yn cyfaddef mai twyll oedd eu crefydd hwy a'u duwiau. Hwy a wrandawsant gydag amynedd mawr a boddlonrwydd ymddangosiadol ar y gwirioneddau a ddywedais wrthynt. Myfi a'u gwahoddais hwynt i ddyfod i'n haddoliad brydnawn Sabbath, y cânt gyfleusdra i glywed chwaneg o efengyl eu hiachawdwriaeth. Yr Arglwydd a oleuo eu meddyliau, ac a'u dychwelo atto ei hun drwy nerth gair ei ras. Yn y prydnawn, cyfarfum â'r Athraw Ysgol fel arferol.

Hydr. 17. Y prydnawn hwn daeth attaf wr ieuanc o'r wlad i ymofyn am Fiblau a Thraethodau. Efe a arweiniwyd yma gan un o'r Athrawon; yr oedd yn hollol ddyeithr i'r lle hwn. Ar ol ymddyddan ag ef, mi a roddais iddo gopi o'r Epistolau, a phump o Draethodau, am y rhai yr oedd yn bur ddiolchgar. Fel hyn y mae ein llyfrau crefyddol yn cael eu taenu ar led o ddydd i ddydd, ïe i lawer man, lle nad oes modd yn bresennol i'r Cenhadon fyned.

Hydr. 18. Pregethais yn ol fy arfer yn ein Capel bach yn y dref. Fy nhestyn oedd dammeg y goludog a Lazarus. Cefais gynnulleidfa liosocach nag arferol, ac yr oeddynt yn hynod o astud yn gwrando arnaf. Arosodd amryw hyd ddiwedd y cyfarfod, ac yn niwedd y gwasanaeth derbyniasant ychydig o Draethodau gan Enock Knill, yr hwn oedd yn dygwydd bod yn bresennol. Yr oedd amryw yn gogwyddo eu penau, yn arwyddo eu cydsynied a'r gair a leferid. Ar ganol yr addoliad aflonyddodd un dyn y gynnulleidfa drwy ofyn yn gyhoeddus, A oedd Duw yn preswylio yn nghalon y dyn a fyddai yn myfyrio arno? Tua diwedd yr odfa clywais rai yn murmur, ac yn myned allan. Bendithied Duw ei air er lles eu heneidiau.

Hydr. 22. Yn y prydnawn galwodd tri o'r Brahminiaid gyda mi. Eu dyben oedd ymofyn am gopïau o'r Ysgrythyrau. Cefais hamdden i ymddyddan yn hir âg un o honynt mewn perthynas i addoliad eilunod. Yr oedd ei resymiadau o blaid hyny yn eithaf disail ac ynfyd. Dangosais iddo gyfeiliornad y grefydd Hindooaidd, ac a daer ddymunais arnynt oll ddarllen ein llyfrau sanctaidd ni, a barnu drostynt eu hunain, fel y caffont afael ar wir ddoethineb. Wedi maith ymddyddan, mi roddais iddynt yr hyn a geisiasant, a hwy a ymadawsant, gan adael ar fy meddwl argraff dwys am anwybodaeth a dallineb dychrynllyd meddyliau yr Indiaid am bethau crefydd.

Hydr. 28. Yn y prydnawn galwodd dyn ieuanc gyda mi am gyfran o'r Ysgrythyrau. Rhoddais iddo Lyfr Genesis yn iaith Telugu. Hefyd, ymddyddenais âg un Hindoo genedigol a pharchus yn nghylch natur Duw. Efe a geisiodd ei amddiffyn ei hun drwy ddal na byddai yr hyn a ystyrid yn bechod mewn dyn, ddim yn bechod yn Nuw; y gallai efe wneud y peth a fynai. Nid ellais i wneud dim o'r dyn tywyll hwn; yr oedd efe yn rhy ddysgedig yn ei olwg ei hun, ac yn rhy hunandybus i wrando ar rym rheswm eglur.

Hydr. 29. Treuliais holl foreu y dydd hwn yn y wlad yn Ysgol Malkapoor, yn holi yr ysgolheigion. Ac wedi darfod, ymddyddenais ag amryw o bobl, y rhai a ddaethent ynghyd ar yr achlysur. Yr oeddwn yn eu cael hwynt yn resynus o anwybodus. Cyfrenais iddynt amryw Draethodau. Un gwr ieuanc o honynt, yr hwn oedd yn ymddangos yn fwy deallus na'r lleill, a fynai i mi gredu, fod un o'r colofnau ar yr hwn yr oedd pen yr Ysgoldy yn sefyll, ac ar yr hwn yr oedd efe ei hun yn llechweddu, yn Dduw. Wrth glywed hyn, attebodd un o'r ysgolheigion, 'Nid oes ond un gwir Dduw.'

Mi geisiais ddangos i'r dyn truan ynfydrwydd y fath ddychymygion, gan dystiolaethu mai yr unig wir Dduw a wn

aeth bob peth. Yr oedd y trueiniaid hyn yn ymddangos yn gwrando yn astud ar yr hyn a ddywedwn. Hefyd, mi gyfarfyddais âg amryw wragedd wrth yr Ysgol, ac mi a ymddyddenais â hwy am yr angenrheidrwydd o anfon eu genethod i'r Ysgol. Un o honynt, a ddyrchafodd ei llef, ac a ddywedodd, 'Ho, mae arnom ni ofn gwneud hyny; canys yr ydym yn clywed, os anfonwn ni ein plant attoch chwi i gael eu dysgu, y bydd i chwi, pan gynnyddont i faintioli, eu hanfon hwynt mewn llongau, dros y mor i wledydd ereill, ymhell oddiwrthym, fel na welwn ni byth mo honynt mwy.'

## Hysbysiadau Crefyddol.

*Hanes dechreuad a chynnydd, ynghyd ag agwedd bresennol crefydd yn mhlith y Methodistiaid Calvinaidd yn Llysfaen.*

Ar y 12fed dydd o fis Tachwedd, 1834, agorwyd Capel Bethel, plwyf Llysfaen, Sir Gaernarfon, ond perthynol i Gyfarfodydd Misol Sir Ddinbych.

Hwn ydyw y capel cyntaf a adeiladodd y Trefnyddion Calvinaidd yn y lle hwn. Dywedir fod rhyw son am gapel wedi bod yma ers blynyddau yn ol; fe allai cyn i Mr. Thomas Edwards, gynt, ymadael o'i fro enedigol i Liverpool.

Yr oedfa gyntaf a ellais gael hanes am dani yn yr ardal hon ydoedd, ers ynghylch deugain mlynedd yn ol, yn ymyl y ffordd, yn agos i Landulas, Mr. Evan Lewis oedd yn pregethu. Ar ol y bregeth eisteddodd i lawr, eisteddodd y gwrandawwyr o'i amgylch; a bu yn dywedyd ychydig wed'yn iddynt o'i eistedd: yna daeth un o honynt atto, gan ddywedyd, Os deuwch gyda mi i'r tŷ, mi r'of i chwi beint o ddiod. Felly fe aeth ef a rhai o'r cyfeillion a ddaethai gyd ag ef o'r Bettws, i fwynhau yr arwydd yma o'i garedigrwydd.

Bu pregethu ar amserau, ac Ysgol Sabbathol hefyd, yn cael eu cynnal wedi hyn yn yr ardal oddiamgylch mewn amryw fanau. Tu a'r flwyddyn 1811 y dechreuodd pregethu ac Ysgol Sabbathol yn sefydlog genym yn y gymydogaeth hon, mewn lle a elwir y Geuffos, plwyf Llanddulas, ac yn Bryn y Fran, plwyf Llysfaen: wedi hyny bu pregethu hefyd dros dro mewn lle a elwir Rhyd-y-foel, ac yn Cefn-y-castell. Wedi hyny symudodd oddiyno i Pen-y-cefn, yn y cwr arall i blwyf Llanddulas. Fel hyn y byddai yr achos crefyddol yn ein plith yn cael ei symud trwy ryw achlysuron, o'r naill fan i'r llall, fel y babell gynt yn yr anialwch, hyd oni ddangosodd yr Arglwydd 'y lle a ddewisodd EFE i osod ei enw yno;' a hyny mewn modd annisgwyliadwy, trwy symudiad teulu o Gonwy i Lysfaen i breswylio, y rhai a gawsant addewid o le i adeiladu capel. Gwnaed y peth yn hysbys i Gyfarfod Misol y Sir; yna anfonwyd dau oddiamgylch i ofyn boddlonrwydd y gymydogaeth, ac i edrych pa gynnorthwy a gaid at y gwaith. Wedi gwybod eu parodrwydd, pwrcaswyd y tir, 20 llath o hyd, a 12 o led, yn etifeddiaeth oesol i gorph y Trefnyddion Calvinaidd.

Dechreuwyd pregethu eilwaith yn Bryn y Fran; symudwyd oddiyno i Ty'n y coed (am fod y lle yn helaethach) tra yr adeiladwyd y capel. Cyflawnodd y cymydogion eu haddewidion tu hwnt i'n disgwyliad, i gludo defnyddiau yn rhad at y gwaith. Maint y capel yw 11 llath with 9 tu mewn, yn cynnwys 33 o eisteddleoedd. Y cyntaf a bregethodd ynddo oedd Mr. David Elias, ar Zec. iv. 6. 'Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd.'

Tach. 11 a'r 12, pryd yr agorwyd y capel, pregethodd y brodyr parchedig canlynol:—Nos Fawrth, John Roberts, Brynllwyni, ar Preg. v. 1. a Moses Parry, Dinbych, ar 1 Cor. iii. 9. Dydd Mercher, am 10. William Morris Carmel, ar Act. v. 31. a William Jones, Rhuddlan, ar Heb. ii. 4. Am 2, William Morris ar 1 Ioan i. 7. a Daniel Jones, Llanllechyd, ar 1 Bren. ix. 3. Am 6, David Prichard, sir Gaernarfon, ar Matth. xi. 5. a Daniel Jones ar Act. ii. 37. Cawsom yr hin yn hyfryd, ac yr oedd y gwrandawyr yn lluosog iawn, ac arwyddion fod yr Arglwydd yn gwrandaw ein gweddiau a'n deisyfiadau,—a chyssegrwyd y tŷ yma a adeiladasom, i osod ei enw ynddo byth, &c. gwel testun Mr. D. Jones.

Y Sabbath canlynol, symudodd yr Ysgol Sabbathol o Pen y Cefn i'r capel; ac mae yn debygol mai dyma yr Ysgol Sabbathol gyntaf a gynaliwyd gan y Trefnyddion Calvinaidd yn Llysfaen: ei nifer yn bresennol ydyw o 60 i 70. Yr ydym wrth y gorchwyl o adeiladu tŷ a stabl wrth y capel, yr hyn yn ddiau a fydd yn dra chyfleus yn y lle hwn pan ei gorphenir.

Mae yma hefyd gynulleidfa fechan, yn nghylch 20 o nifer, heblaw plant; rhai wedi dyfod o'r eglwysi cymydogaethol, ac ambell un o'r newydd wedi dyfod attom, er tystiolaeth nad ydyw llafur gweision yr Arglwydd yn hollol ofer ac aneffeithiol yn ein plith. Yr ydym wedi ein neillduo yn gangen eglwys i gynal yr achos ar ein traul ein hunain, mewn undeb a thaith Sabbathol y Bettws a Llanelian. Er fod ein nifer yn fychan, a'r achos yn isel a gwael, mae yn ymddangos yn hynod o siriol, er cyfarfod a gwrthwynebiadau o amryw fath.

Yr hyn sydd yn tarfu y gwrandawyr fwyaf, ac yn ein digaloni ninau gyda 'r

gwaith yn nesaf at ein camymddygiadau fel crefyddwyr, ydyw prinder pregethwyr, gan hyny yr ydym yn deisyf ar ein brodyr yn y weinidogaeth ymweled â ni mor fynych ag y gallant: canys trwyddynt hwy yr ydym yn disgwyl cael ein hadeiladu. Ydwyf, eich ewyllysiwr da,

GLAN DULAS.

Hydref 21, 1836.

## Helyntion yr Amseroedd.

### CYFRAITH NEWYDD PRIODAS.

Mae amryw yn dysgwyl ac yn dymuno cael ychydig o eglurhad ar y 'Gyfraith newydd am briodi,' yr hon a wnaed ac a gadarnhawyd yn Eisteddfod ddiweddaf Senedd Brydain, yn gyffelyb i'r hyn a wnaethom ar 'Gyfraith newidiad y Degwm.'

Mae Cyfraith newydd Priodas yn perthynu yn unig i Loegr a Chymru, ac i fod mewn grym ar yr ail dydd o fis Mawrth nesaf.

Yr oedd tair ffordd i briodi yn Lloegr a Chymru o'r blaen; ac o hyny allan bydd pump, canys fe chwanegwyd dwy ffordd o briodi at y tair ag oedd o'r blaen.

Y tair ffordd oedd o'r blaen oeddynt,

1. Yn ol trefn yr Eglwys wladol.
2. I'r Iuddewon, yn ol eu trefn Iuddewaidd hwy.
3. I'r Crynwyr (*Quakers*) yn ol eu trefn hwythau.

Y ddwy ffordd ereill o briodi yn ol y gyfraith newydd fyddant:—

1. Mewn Capel neu dŷ addoliad Ymneillduwyr,
2. Yn nhŷ y Cofrestrydd.

Ac mewn perthynas i'r ddwy ffyrdd hyn o briodi y mae eisiau eglurhad.

I. *Sylwn ar y lle i briodi ynddo.* Ni cheir priodi ymhob Capel, nac mewn un math o dŷ addoliad, ond yr hwn a fyddo wedi ei gofrestru yn lle cyfreithlawn i briodi ynddo.

Pan fyddis am gael cofrestru tŷ addoliad yn lle cyfreithlawn i briodi ynddo, y peth cyntaf i'w wneuthur fydd hyn:—Rhaid i berchenog y tŷ addoliad,, neu un o'r Ymddiriedolwyr (*Trustees*), ysgrifenu Llythyr hysbysrwydd (*Certificate*), a bydd raid i ugain, o leiaf, o benau teuluoedd ei lawarwyddo, gan dystiolaethu ynddo eu bod hwy yn arferol o ddefnyddio y tŷ addoliad hwnw yn lle cyffredinol o addoli ers blwyddyn neu chwaneg, a'u bod yn dymuno fod y cyfryw dŷ addoliad i gael ei gofrestru yn lle cyfreithlon i briodi ynddo. Ac mae yn rhaid ysgrifenu *dau* lythyr felly, wedi eu llawarwyddo yr un modd a'u gilydd, ac mae yn rhaid i'r Perchenog neu yr Ymddiriedolydd eu llawarwyddo hwynt. Yna aed a'r ddau bapurau hyn i dŷ y Cofrestrydd fyddo ar y Dosparth hwnw o'r wlad lle y byddo'r Capel ynddo, ac a dâl iddo y swm o dair punt, yr hyn a gynnwysa yr holl gôst.

Y Cofrestrydd a enfyn y ddau i fynu i Lundain i'r Swyddfa Cofrestraeth Cyffredinol sydd yn Downing Street, fel y gallo y Cofrestrydd Cyffredinol T. H. Lister, Ysw. eu nodi yn ei lyfr yr hwn sydd ganddo i'r perwyl. Yna efe a geidw un o'r ddau yn ei Swyddfa, ac a enfyn y llall yn ol i Gofrestrydd y Dosparth, ac yntau a geidw hwnw, ac a rydd sicrwydd i'r Perchenog neu yr Ymddiriedolydd ar ddarn o femrwn, yr hwn a geidw efe yn ei feddiant. Y Cofrestrydd a bair gyhoeddi y peth yn Mhapur newydd Llundain, ac mewn Papur newydd arall hysbys yn y Dosparth.

Bydd raid gosod y geiriau hyn i fynu yn y Capel, mewn lle amlwg a chyhoeddus,

'GELLIR GWEINYDDU PRIODASAU YN Y CAPEL HWN.'

II. *Gweithrediadau y rhai a ewyllysiont briodi yn y lleoedd hyny.* Rhaid iddynt ddangos Ysgrif-dyst (*Certificate*) o dan law Cofrestrydd arolygol y Dosparth, yr hwn a geir yn y dull canlynol:

Rhaid i'r mab neu'r ferch a fyddont yn bwriadu ymbriodi roi rhybudd o dan ei law ef neu hi i Gofrestrydd y Dosparth, yn dangos ymha Ddosparth, y mae y ddau yn byw ac wedi byw y saith niwrnod olaf o leiaf. Ac os bydd y ddau mewn gwahanol Ddosparth,* rhaid rhoi y cyffelyb rybudd i'r ddau Gofrestrydd. Rhydd y Cofrestrydd bapur iddynt i'w lenwi yn ol y rheol, sef enw a chyfenw pob un o'r ddau, eu cartrefleodd, &c. &c. ac ymha le y maent yn bwriadu priodi, &c.

Rhaid i bapur y Rhybudd hwn gael ei ddarllen yn nghyfarfod Nawddwyr (*Guardians*) y tlodion mewn tri chyfarfod wythnosol olynol, naill ai gan y Cofrestrydd arolygol neu gan ysgrifenydd y cyfarfod; ac oni bydd cyfarfod wythnosol gan y Nawddwyr, mewn unrhyw gyfarfod o'r eiddynt ynghorph un diwrnod ar hugain wedi dynodiad y Rhybudd yn llyfr y Cofrestrydd. Ac os na bydd un rhwystr cyfiawn, bydd i'r Cofrestrydd roi yr Ysgrifdyst i'r cyfryw ar eu hymofyniad am dano. Y darlleniad hwn sydd i fod yn lle 'gostegion priodas' yn yr Eglwys wladol.

III. *Y drefn o briodi.* Wedi i'r naill neu y llall o'r personau a fyddont yn bwriadu priodi gael yr Ysgrif-dyst uchod, hysbyser i'r Cofrestrydd yn y ddosparth ymha Gapel, ac ar ba ddiwrnod y byddant yn bwriadu priodi.

* Bydd yr holl wlad yn cael eu rhanu yn Ddosparthiadau, a gosodir Cofrestrydd Arolygol ymhob Dosparth.

Yna caiff y Gweinidog, neu bwy bynag a bennoder gan y gynnulleidfa perthynol i'r Capel, briodi y cyfryw yn y Capel a fyddo wedi ei gofrestru fel y crybwyllwyd uchod, yngwydd y Cofrestrydd, a dau neu chwaneg o dystion addas, ar unrhyw amser o wyth ar gloch y boreu hyd hanner y dydd, a'r drysau yn agored.

Caiff y neb fyddo yn priodi deuddyn ynghyd mewn glân briodas gymmeryd y drefn a fyno, drwy weddio, darllen, cynghori, &c. ond bydd raid bob amser fod y geiriau canlynol yn cael eu hadrodd gan y mab a'r ferch yn rhyw ran neu gilydd o'r drefn:—

'Yr wyf fi yn tystiolaethu yn ddifrifol na wn I am un rhwystr cyfiawn nad allaf fi A. B. ymuno mewn priodas â C. D.'

Wedi hyny rhaid i'r naill a'r llall ddywedyd wrth eu gilydd, fel hyn:—'Yr wyf fi yn galw ar y personau sydd yma yn bresennol i dystio fy mod I A. B. yn dy gymmeryd di C. D. i fod y gyfreithlawn [wraig neu yn wr] priodasol i mi.' Os na fydd rhyw rwystr cyfiawn, fel y crybwyllwyd uchod.

IV. *Cofrestraeth y briodas.* Bydd raid i'r Cofrestrydd gwyddfodol ddodi coffadwriaeth o'r briodas yn ei Gof-lyfr, yn y fan; ac mae yn rhaid i'r mab a'r ferch a briodir lawarwyddo y llyfr; ac hefyd y gwr a'u priododd hwynt, a'r Cofrestrydd, a dau o dystion credadwy, yn y fan a'r lle y priodwyd hwynt.

Mae dirwy drom a chosp llym ar bwy bynag a wnelo unrhyw dwyll mewn un ran o'r oruchwyliaeth hon.

Os trwy Drwydded (*Licence*) y byddis yn bwriadu priodi, gellir cael priodi ymhen y saith niwrnod wedi rhoi y Rhybudd; ond os heb Drwydded ni ellir hyd pen un diwrnod ar hugain. Hefyd os priodir drwy drwydded, rhaid i'r neb a brioder dalu deg swllt i'r Cofrestrydd; ac os heb drwydded, nid rhaid talu ond pum swllt.

Gall y rhai a ewyllysiont, wedi cael yr Ysgrif-dyst (*Certificate*) gan y Cofrestrydd, fel y crybwyllwyd uchod, gael eu priodi yn yr Eglwys wladol, ar ddangosiad y cyfryw Ysgrif-dyst i Weinidog y plwyf.

Mae gan y Cofrestrydd hawl i roddi allan Drwydded (*Licence*) am yr hon mae yn rhaid talu tair punt heblaw gwerth y Stampiau.

*Yr ail drefn newydd o briodi.* Yn ol y drefn hon, os bydd rhyw rai yn ewyllysio, hwy a allant gael eu priodi yn Swyddfa y Cofrestrydd Arolygol. Ond mae yn rhaid iddynt roi Rhybudd, a chael Ysgrif-dyst (*Certificate*) yn ol y drefn a grybwyllwyd uchod. Yna aent i Swyddfa y Cofrestrydd, a hwy a briodir yno heb un math o seremoni grefyddol; ond yn unig cyflawnir y ddefod gyda'r geiriau a nodwyd o'r blaen, fel cyttundeb gwladol, yngwydd y Cofrestrydd Arolygol, a Chofrestrydd arall o'r Dosparth, ac yngwydd dau dyst, ar yr amser a enwyd o'r blaen a'r drysau yn agored.

Tebyg i hyn, hyd y gallwn ddeall, yw y drefn newydd o briodi, ynghyd â'r rhan fwyaf o'i hamgylchiadau. Mae amryw bethau ereill yn y Gyfraith, rhy faith eu henwi yma. Nid yw yr *Act* yn gyflawn ond gwerth 10 ceiniog.

---

### CYFRAITH COFRESTRAETH.

Mae y gyfraith newydd hon wedi ei gwneuthur, a'i sefydlu, yn Eisteddfod diweddaf y Senedd: sef, 'Trefn o Gofrestraeth Genedigaethau, Marwolaethau, a Phriodasau yn Lloegr a Chymru.' Mae Swyddfa Cofrestraeth Cyffredinol wedi cael ei sefydlu yn Llundain, lle y mae coffadwriaeth i'w gadw o bob priodas, o bob un a enir, ac o bob un fyddo farw. Ac mae Cofrestrwyr i gael eu sefydlu ymhob Dosparth o'r wlad i gofrestru y rhai hyny, ac i ddanfon copi o'r Cofrestraethau i Lundain i'r Swyddfa Cofrestraeth Cyffredinol.

Yr ydym eisoes wedi sylwi ar Gofrestraeth priodasau. Sylwn yn awr ar Enedigaethau, a Marwolaethau.

---

### I. COFRESTRAETH GENEDIGAETHAU.

I. *Dyledswyddau a gweithrediadau mewn perthynas i bob plentyn a enir, ar ol y dydd cyntaf o Mawrth nesaf.*

Mae y tad neu fam unrhyw blentyn a enir, neu benteulu unrhyw dŷ lle y ganwyd plentyn, i hysbysu y Cofrestrydd fod y cyfryw blentyn wedi ei eni, a hyny o fewn y dau ddiwrnod a deugain ar ol ei enedigaeth ef. Dyledswydd y tad neu'r fam yw hyn; ond os byddant hwy wedi meirw neu yn gleifion, ac heb allu myned, dylai y neb a fyddo yn dal y tŷ fyned a'r hysbysiad, sef enw y plentyn, (os bydd enw arno), pa un ai bachgen ai geneth; amser ei enedigaeth; enw y tad a'r fam, ynghyd a'u cyfenw hwynt; a sefyllfa neu alwedigaeth y tad, er mwyn ei gofrestru ef yn y llyfr.

Dylai y neb a ddygo yr hysbysiad uchod lawarwyddo y llyfr â'i enw, ei alwedigaeth, a'i breswylfod. Ac oni wneir hyn ni ettyb y Cofrestraeth fel tystiolaeth mewn cyfraith. Nid oes dim i'w dalu am gofrestru genedigaeth y plentyn.

Os na wneir hyn o fewn dau ddiwrnod a deugain ar ol geni y plentyn, ni ellir ei wneud wedi hyny, oud trwy i'r neb a ddygo yr hysbysiad wneud math o lw neu ardystiad o'r holl bethau a grybwyllwyd uchod, a hyny yngwydd y Cofrestrydd Arolygawl; ac yna bydd raid talu i'r Cofrestrydd Arolygawl 2s. 6c. ac i'r Cofrestrydd 5s. Mae hyn fel dirwy am yr esgeulusiad.

Nis gellir am bris yn y byd gofrestru

genedigaeth plentyn ar ol chwe mis wedi ei eni ef, (oddigerth yn unig, plentyn wedi ei eni ar y môr.) A phwy bynag a roddo hysbysiad twyllodrus, neu heb fod yn gydunol a'r rheolau hyn, os bydd efe yn gwneud hyny trwy wybod, rhaid iddo dalu dirwy o 50 punt.

II. COFRESTRAETH MARWOLAETHAU.

2. *Dyledswyddau a gweithrediadau mewn perthynas i bob yn a fyddo farw ar ol y dydd cyntaf o Mawrth nesaf.*

Pan fyddo mab neu ferch farw, dylai y neb a fu yn bresennol ar ei farwolaeth ef, neu y neb a fu yn ei wasanaethu ef yn ei glefyd, neu os bydd y cyfryw yn analluog, dylai y penteulu; neu os y pen teulu a fu farw, dylai rhyw un arall o'r teulu o fewn y pum niwrnod ar ol iddo farw, hysbysu i Gofrestrydd y Dosparth y cyfryw farwolaeth. Yn yr hysbysiad hwn, rhaid rhoi enw a chyfenw yn hwn a fu farw; pa un ai mab a'i merch; pa bryd y bu farw; ei oedran, ei sefyllfa neu ei alwedigaeth; ynghyd a'r achos o'i farwolaeth. Mae yn *rhaid* gwneud hyn, os gofynir am hyny gan y Cofrestrydd o fewn yr wyth niwrnod ar ol y cyfryw farwolaeth.

Rhaid i'r neb a roddo yr hysbysiad hwn lawarwyddo yr hysbysiad yn llyfr y Cofrestrydd, gan roi ei enw a'i gyfenw, ei breswylfod, a'i alwedigaeth; ac oni wneir hyn ni saif y Cofrestraeth ddim yn dystiolaeth mewn cyfraith. Nid oes dim i'w dalu am gofrestru marwolaeth neb.

Pwy bynag a gladdo un marw, neu a ddarlleno unrhyw drefn claddedigaeth, neu a arfero unrhyw ddefod grefyddol ynghladdedigaeth un marw, heb fod ganddo Ysgrif-dyst o dan law y Cofrestrydd, (neu ar achos rhaithchwiliad, o dan law y Swyddog,) ac ni roddo rybudd i'r Cofrestrydd ynghylch marwolaeth y cyfryw, a ddirwyir i ddeg punt.

Am hyny y mae yn fatter o bwys mawr, fod hysbysiad o farwolaeth pob mab a merch a fyddo farw yn cael ei roi i'r Cofrestrydd yn ol y cyfarwyddyd uchod, fel y gallo efe roddi ysgrif-dyst i'r neb a fyddo yn edrych ar ol claddedigaeth y marw.

Mae pob anufudd-dod i reolau cyfraith y tir yn cael ei gyfrif yn drosedd, ac felly yn gospadwy.

Pwy bynag a ddygo gam-dystiolaeth, yn wybodus, o'r un o'r hysbysiadau uchod sy ddarostyngedig i gosp.

☞ Cyn dybenu gyda'r egluriadau hyn, dymunem hysbysu i'n darllenwyr, fod genym sail i obeithio y bydd i'r Cofrestrau (*Registers*) Genedigaethau, a Bedyddiadau a gedwid gan amryw bleidiau o Ymneillduwyr, gael eu derbyn yn dystiolaeth gyfreithlawn.

Ychydig fisoedd yn ol, rhyngodd bodd i'r Brenin bassio braint lythyrau o dan y Sêl Fawr, yn enwi, yn gosod, ac yn appwyntio y personau canlynol i fod yn Rhaglawiaid i chwilio i mewn i ansawdd Cofrestrau genedigaethau, marwolaethau, a phriodasau, y rhai nad ydynt yn Gofrestrau plwyfawl yn Lloegr a Chymru, sef Joseph Phillimore, D. C. L.; H. William Tancred, Ysw; Edgar Taylor, Ysw; y Parch. Thomas Rees, Ll. D.; J. Bowring, Ysw; John Nicholl, D. C. L.; Robert Winter, Ysw.; Samuel Gale, Ysw.; John Parker, Ysw.; Samuel March Phillips, Ysw.; Thomas Henry Lister, Ysw.; a John Shoveller, Ll. D.

Gwyddom fod y boneddigion hyn wedi dechreu gweithredu fel Rhaglawiaid, ac y bydd iddynt yn fuan anfon cylch-lythyrau at Weinidogion yr Ymneillduwyr drwy y deyrnas, i'r dyben o gael allan ansawdd, cadwraeth, a gwiredd eu Cofrestrau, ac hefyd i wybod ymha fodd y gellir eu cael ynghyd, eu rheoleiddio, eu diogelu, a'u cadw; ac hefyd pa fodd y gellir eu gwneud yn dystiolaethau derbyniol a chyfreithlawn mewn llysoedd gwladol. Dyma un o weithredoedd tirion a chlodwiw ein Grasusaf Freniu.

Dymunir ar bob Cymdeithas grefyddol drwy Gymru, yn ddioed ofalu am gyflenwi Cofrestrau (*Registers*) bedyddiadau plant y rhai a gedwir ganddynt. Mae y Dirprwywyr uchod wedi anfon eisoes, lythyrau at amryw weinidogion ar yr achlysur crybwylledig. Mae arnom ofn mai afler a didrefn yw amryw o'r *Registers*, oherwydd diofalwch y rhai sydd yn eu cadw, a mawr esgeulusdra rhieni y plant a fedyddiwyd. Gan fod y llywodraeth mor dirion a gwneud y fath ymgais am wneud ein *Registers* ni yn gyfreithlon dystiolaethau mewn llysoedd gwladol, dylid cyhoeddi yn mhob Cymdeithas wythnosol (*Society*) am i dadau a mamau plant yn ddioedi hefyd, ddyfod ymlaen at geidwad y *Register*, i edrych yn ofalus ar fod enwau eu plant a fedyddiwyd mewn Capeli ac mewn tai, yn cael eu dodi i lawr yn drefnus yn ol y rheol argraffedig. Nis gallwn fod yn rhy daer am hyn; canys ni wyddis pa bwys a all fod ar yr achos yma yn oes ein plant neu blant ein plant yn yr oesoedd dyfodol. Ni wyddom beth a allant golli oherwydd ein diofalwch ni.

---

*Dracht i bregethwr ar ol pregethu, yn lle Gwirod neu ddiod gref.*—Mae aml breswylydd tŷ'r Capel yn wyneb llwyddiant anghyffredinol Cymdeithasau Dirwest mewn gwlad a thref, yn methu gwybod beth i'w gynyg i bregethwr ar ol ei lafur yn y Pulpud.

'Cymmerwch ŵy, a thorrwch ef i lestr, a churwch ef yn dda, yna tywelltwch ddwfr cynnes am ei ben ef, a dodwch ynddo siwgr, ac ychydig o sinsir. Os bydd y llefarwr yn sychedig dodwch chwaneg o ddwfr, ac os na fydd dodwch

lai. Bydd y ddiod hon yn beraidd ei blas, yn faethlon ei natur, ac yn iachaol i'r ysgyfaint a'r cylla: yn gystal ag yn disychedu y lluddedig.'

*Euphrates.*—Dywedir fod y Llywodraeth wedi rhoi i fynu yr ymgais am dramwyo yr Afon fawr Euphrates, a'u bod wedi gwerthu yr Agerdd Long i Fasnachwyr yr India Ddwyreiniol.

*Marwolaeth.*—Nos Sabbath, Rhag. 11. yn Nghapel yr Anymddibynwyr yn Nghaerlleon, pan oedd y Gweinidog, y Parch. S. Luke, newydd ddarllen ei destyn, syrthiodd gwr o'r enw Twerold, i lewyg yn ei eisteddle. Codwyd ef i fynu, a dygwyd ef allan, a cheisiwyd Meddyg atto yn ddioed; ond yn ofer, canys yr oedd ef yn gwbl farw, ymhen ychydig o funudau! Nos Sabbath canlynol, pregethodd Mr. Luke ar yr achlysur, ar y testyn 'Bydd barod Israel, i gyfarfod â'th Dduw.' Gwnaed casgliad o 23 punt, yn niwedd yr odfa, tuag at gynnaliaeth ei weddw ef a'i blant bach.

*Esiampl deilwng o'i dilyn.*—E. D. Davenport, Ysw. o Calveley, yn Sir Gaer, ar ddydd derbyniad ei ardrethion, a drodd yn ol i'w ddeiliaid 10 punt y cant.

*Priodas Brenin Groeg.*—Tachwedd 22, priodwyd Otho, Brenin y Groegiaid, â'r Dywysoges Amelia o Oldenburgh, yn y Llŷs yn Oldenburgh. Priodwyd hwynt yn gyntaf yn ol trefn y Protestaniaid, gan Dr. Bockel; ac wedi hyny, yn ol trefn y Pabyddion, gan Esgob Munster.

*Y Senedd Ymerodrol.*—Bwriedir agoryd Senedd Brydain Ionawr 31, sef y dydd olaf o'r mis hwn.

*Dannedd glân,*—Cymmerwch *Mastic* a *Myrrh*, dwy ddram o bob un, *Cassia*, un dram. Malwch hwynt yn fân, a chymmysgwch hwynt ynghyd. Mae y powdr hwn yn nodedig i lanhau y dannedd, ac i'w cadw rhag llygru; ac efe a bar i gig y dannedd fod yn iachus a chaled.—*Doctor.*

*Cynghor Meddygol.*—Rhag y ddannodd. Cymmerwch gnap bychan o garreg galch wedi ei llosgi, a thoddwch hi mewn llonaid cwpan de o ddwfr mewn llestr. Cymmerwch y dwfr hwn oddiar y calch, a daliwch ef yn eich genau am ychydig amser, a'r gwayw a baid; ac os dychwel y boen, gwnewch drachefn oni pheidio. Ac os na ettyb hyn y dyben, gwnewch y dwfr calch yn gryfach.—*New York Evening Post.*

*Ffair Amwythig.*—Ar y ffair hon, Rhag. 21, yr oedd defaid tewion yn gwerthu o 6c. i 6½ y pwys. Moch tewion o 5c. i 5½c. y pwys. Gwartheg tewion da o 6c. i 7c. y pwys—Y caws goreu o 60s. i 68 y cant. Ymenyn mewn potiau, o 11¼c i 12½c. y pwys. Ac yn gnapiau o 11c. i 11½c. y pwys. Cig moch (*Ham*) o 8c. i 9c. y pwys. Halltgig moch (*Bacon*) 7c. y pwys.

*Tanau mawrion a difaol.*—Boreu ddydd sadwrn, Rhag. 17, bu tân mawr yn Manchester, a llosgodd Weithfa cottwm Mri. Faulkner & Owen yn Jersey Street, yr hwn a'u colledodd hwynt oddeutu deuddeng mil o bunnau! Hefyd, yn Preston Brook, ar yr un boreu, yn Ngweithfa Mr. Amery, y Barcer, yr hwn a'i colledodd ef o dair mil a hanner o bunnau. Oni ddylai dygwyddiadau fel hyn beri i ni 'drysori i ni drysor yn y nef,' lle ni ddaw un dygwyddiad i'w ddrygu byth.

*Spaen.*—Mae y rhyfel yn parhau yn y wlad annedwydd hon o hyd, haf a gauaf. Fe fu yno yn ddiweddar iawn ymladdfa waedlyd rhwng byddinoedd y Frenhines, a byddinoedd ei hewythr Don Carlos. Nid oes dim yn debyg yn ymddangos yn bresennol y bydd i un blaid fod yn drechaf, fel ag i beri i'r llall roi arfau i lawr. Mae Lloegr yn ddiweddar wedi anfon cynnorthwy cryf i wyr arfog y Frenhines; ond beth er hyny, y mae teyrnasoedd ereill yn cynnorthwyo y blaid wrthwyneb âg arian ac arfau.

*Ffrainc ac Affrica.*—Bu brwydr dost rhwng byddinoedd ffyrnig yr Affricaniaid a milwyr dewrion Ffrainc yn ddiweddar, a dywedir mai gwyr Affrica a orfuant. Mae rhai o'n darllenwyr yn cofio ddarfod i Ffrainc gymmeryd Algiers a'i chadw yn ei meddiant ers rhai blynyddoedd. Mae yn debyg mai dyma bwnc y ddadl, a thestyn y cweryl. Os Ffrainc a gollodd y frwydr, nid oes le i ddysgwyl llai na cheir clywed yn fuan am frwydr arall; canys rhai anhawdd ganddynt gymmeryd eu gorchfygu yw y Ffrancod.

---

# BARDDONIAETH.



## CWYN YR UNIG.

*Myfyrdod ystyriol yr unig ferch sy'n fyw o deulu y diweddar Barch. John Humphreys o Bodffari, ar ei dychweliad o gladdu y ddiweddaf o'i chwiorydd, Mai 2il,* 1836.

Eisteddaf ronyn dan y cysgod,
I'm teimladau rhof ollyngdod;
Myfyrio wnaf yn gystuddiedig
Ar fy ngyflwr gwael ac unig.

Gyfeillion tirion sydd brofiadol
O alaru'n achlysurol,
Rhoddwch genad imi gwynfan,
'Rwy' wedi cael fy ngado'm hunan.

Doe, rwy'n cofio'm cartref tirion,
Pawb o'r teulu yn hyfrydlon,
Rhieni a phlant, yn hoff a diddig,
Heddyw, ces fy ngado'n unig.

Yn wyneb duon ragluniaethau,
Cyd ddioddef wnaem bob gorthrymderau,

Ymgynghorem bawb yn bwysig;
Ond erbyn heddyw'r ydwy'n unig.

Caem ofal mam ymhob peryglon,
A chyngor tâd, dan bob trallodion,
Cydgordiad brawd a chwaer, mae'n chwithig,
'Rwy erbyn heddyw'n eithaf unig.

Doeth ragluniaeth a'n gwasgarodd,
Draw ac yma y'n hebryngodd,
Terfynodd hyny bob yn 'chydig,
I'm gadael innau'n ddigon unig.

Yn y chwalfa draw ac yma,
Mawr yw'r ing, fe fedrodd anga,'
Roi dyrnodiau, tra nodedig,
Er fy ngadaw innau'n unig.

Jane fy chwaer yn Nghaer sy'n gorwedd
Er ymhell dros ugain mlynedd;
Ond er cymmaint, hyn oedd gynig
At fy ngwneuthur innau'n unig.

Thomas 'benodd ei daith boenus,
Yn y Bala, mae'n helbulus
Iddo ngadael i'r enethig,
Ar ei ol i wylo'n unig.

Richard yntau, a anturia'
Dros y môr i Demerara;
Yn Madras, mewn bro bellenig,
Huunodd yno, a mi sydd unig.

Pedr dyner impyn gwiwlwys,
Gorwedd mae yn mynwent Caerwys,
Nol byrr dro, diangai'n ddiddig
I wlad yr hedd, wel, 'rydwy'n unig.

Maria anwyl, p'odd y'th enwi,
Yn mynwent Caerwys y gorweddi,
Lle y gorphwys y lluddiedig,
Minau ge's fy ngado'n unig.

Ond er i'm enwi rhestr hynod,
'Rwy heb gyrraedd pwys y gawod,
Mae mudandod 'nawr mae'n debyg,
Am roi pen i'm cyflwr unig.

O! fy nhad, fy nhad, rwy'n cofio,
Am fy nhad mae dagrau'n hidlo!
O fy nhad, pwy mor garedig?
Aeth fy nhad, 'rwyf inau'n unig.

I fy mam bu'n brïod hynod,
I minau'r plant, o dan bob cawod,
Cawsom loches, ond un lithrig,
Cwympo wnaeth; 'rwyf inau'n unig.

Bum yn eistedd lawer dengwaith,
Do, o dan ei weinidogaeth:
Ei athrawiaeth fel rhyw *fiwsig*:
Mae wedi tewi, 'r ydwy'n unig.

Yn Eglwys Crist, rwy'n dyst i'w eiria'
Fod yn gymorth i'r rhai gwana'
Gwasanaethodd dymor pwysig,
Fe'm gadawodd inau'n unig.

Edrych dros ei 'sgrifeniadau
Eheiaeth ar yr Ysgrythyrau,
Golygu ei lafur sydd flinedig,
Mae'n dwyn ar gof im pwy sydd unig.

Yr olaf un o bob cymwynas
Ei gorph i Gaerwys a hebryngais;
Rhoi coffa am dano, ar lechau cerrig
A dychwelais adre'n unig!

Os darfu i Seion sychu ei dagrau,
Pregethwyr Fflint a Dinbych, hwythau,
Ar ol eu brodyr tra nodedig,
Mae wylo'n rhan i minau'r unig.

Ymhen o ddeutu deugain wythnos
John fy mrawd oedd agos, agos,
Rowd dan glo rhwng pridd a cherig
Yn ei ymyl, 'r ydwy'n unig!

Yn y bedd 'run wedd a hwythau
Y rhowd fy mam mhen tair o flwyddau,
O'r un tŷ i'r tŷ llygredig
I'r un fan; 'rwyf inau'n unig.

El's'beth Roberts o'r tŷ isaf,
Yn ei gwaeledd mwy nis gwelaf,
R'ol bod yn hir yn gystuddiedig,
Ffarwelodd hon, i'm gado'n unig.

Marg'ret Winter, gynt o'r Dyffryn,
Fu fel mamaeth yn fy meithrin,
Yn Llandyrnog mae'n gladdedig,
Mewn graian oer, a minau'n unig.

Sarah Roberts y ddiwedda'
A adawodd y byd yma,
A hebryngais yn lluddiedig
I fynwent Nantglyn, 'nawr 'rwy'n unig!

Gadawodd fabi bychan egwan
Ychydig dros ddeng mis o oedran,
Hwn sy'n awr tan nawdd estronig,
Tyner galon, medd yr unig.

Un fechan arall dyner, dyner,
Ychydig hŷn na dwy a hanner:
Gofynais iddi, Ple mae mami?
'Mami bach,' (medd hithau) ''n cysgu.'

A'r rhai hyn oll o'r bron, rwy'n credu
A hunasant yn yr Iesu!
Mi allaf dystio yn ostyngedig,
Nad hwynthwy, ond fi sydd unig.

Gadawsant weddwon ac amddifaid
I alaru am eu colled,
Gyda chalon gystuddiedig
Ar eu hol, a mina'n unig.

Wel, fy anwyl briod, cofia,
Dydd sy'n d'od y byddi ditha'
'Rol rhoi nghorph rhwng pridd a cherrig
Yn edrych tu ag adre'n unig!

Ond cyn dibennu hyn o gwynfan,
'Rwy'n cael fy nhrechu i waeddi allan
Mae mhwys ar Iesu bendigedig,
Byth ni welir mona'i 'n unig!

Iesu'n Gâr, a Iesu'n Gyfaill,
Iesu'n Briod nes nag eraill;
Amen, Amen, mae yn ddymunol,
Ni byddaf unig yn drag'wyddol!

ANNE JONES.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXIV.] CHWEFROR, 1837. [LLYFR. VII.

## Y BUCHDRAITH CRISTIONOGOL.

RHIF. II.



## JOHN HUSS.

GANWYD yr enwog John Huss yn agos i Prague, yn Bohemia, tua'r flwyddyn 1376, mewn pentref a elwid Hussinez, ar gyffiniau y Goedwig Ddu. Nid oes genym un sail i gasglu fod ei riaint yn rhestredig yn mysg goludogion daear; ond y mae yn eglur fod ei dad yn wr call, ac iddo gymeryd gofal mawr am gynnysgaeddu ei fab John â digonedd o fanteision dysgeidiaeth, costied a gostiai; ac yntau a wnaeth ddefnydd tra rhagorol o'r manteision hyn, trwy gyssegru ei alluoedd meddyliol cedyrn, i efrydiaeth ddiflin, ar amryfal gangenhau dysg, yn Mhrif Athrofa Prague, lle yr ennillodd y radd o Wyryf yn y Celfyddydau yn y flwyddyn 1393; Athraw yn y Celfyddydau yn 1395; a Gwyryf mewn Dwyfddysg, yn 1408. A thra ydoedd yr urddau Athrofäol hyn yn cael eu pentyru arno, efe a gafodd fywioliaeth eglwysig. Un o ddinaswyr goludog Prague, John Mulheym, a adeiladodd gapel, ac a'i galwodd Bethlehem; ac wedi ei waddoli yn dda, efe a bennododd Huss i fod yn weinidog ynddo. Y pryd hyn yr oedd Huss yn babydd trwyadl, heb weled goleuni gwawr y diwygiad, yr hon oedd wedi tori allan trwy Wicliff yn Lloegr, ac yn ymledu trwy wladwriaethau y Cyfandir, ond oedd hyd yma heb gyrhaedd Bohemia. Ond tua'r flwyddyn 1382, efe a gafodd afael ar rai o ysgrifenadau Wicliff, drwy ryw bendefig ieuanc o Bohemia; ac wrth eu darllen gadawsant y fath argraff argyhoeddiadol ar ei feddwl, fel y dywedai am Wicliff byth wedi hyn, mai angel a anfonasid o'r nef i oleuo dynion ydoedd; a mynych ei clywwyd yn mysg ei gyfeillion, yn dywedyd am ei gyfarfyddiad âg ysgrifenadau y diwygiwr hwnw, mai tro mwyaf ffawdus ei oes ydoedd.

Ni bu Huss yn hir wedi dechreu ymgydnabod âg ysgrifenadau Wicliff, heb ymroddi a'i holl egni i ddynoethi llygriadau, a dychanu drygweddau yr offeiriaid o'r gwahanol raddau, dospeirth, ac urddau. Cyfeiriai sylw y bobl gyda hyawdledd a dewrder carwr cyfiawnder, at gam lywodraeth yr eglwys, a cham fucheddau yr eglwyswyr: a gresynai wrth gyflwr truenus ei gydwladwyr oeddynt dan lywodraeth y naill, a dylanwad y llall.

Mae yn ddiddadl fod ansawdd crefydd yn isel iawn yn Bohemia tua'r pryd hwn; a chyda phriodoldeb mawr y gellid cymhwyso cwyn yr Arglwydd, yn erbyn bugeiliaid drwg, at weinidogion crefydd yn Bohemia, 'Y bugeiliaid a'u porthasant eu hunain, ac ni porthasant fy mhraidd,'—Gwel Ezec. xxxiv. 1, &c. Bywiolaethau eglwysig a brynid ac a werthid fel maesydd neu dai; a gwneid masnach o grefydd ei hun, a'r pethau a alwent ar enw *doniau* Duw, a werthid am arian: gan hyny, nid oedd mor ryfedd i Huss dynu sylw cyffredinol, a chael gwrandawiad ystyriol yn y dref a'i hamgylchoedd, tra yr oedd yn ymosod yn erbyn y fath annhrefn a hyn; ac felly y gwelwn ef yn fuan yn ben plaid gref, ac amryw o ddysgedigion y Brif Athrofa yn ddylynwyr iddo.

Cyfieithiwyd cyfansoddiadau Wicliff i dafodiaith y Sclafoniaid gan Ierome o Prague, tua'r pryd hwn, a'r llyfrau hyn a ddarllenid gyda'r awyddfryd mwyaf drwy holl fröydd Bohemia. Mae yn debyg i Ierome gael cydnabyddiaeth âg ysgrifau Wicliff, tra fu yn mhrif athrofa Rhydychain; ac wedi dychwelyd yn ol i Prague, efe a'i cyhoedd-addefai ei hun yn bleidiwr i'r Diwygwyr Bohemiaidd, ar y rhai

yr oedd Huss fel pen, neu flaenor. Cyn gynted ag yr esgynodd *Alexander y Pummed i'r orsedd Babaidd, efe a sylwai fod egwyddorion ae ysgrifenadau y Diwygwyr yn ymledu yn gyflym o Prague, fel ffrydiau o ffynnon gref; am hyny efe a anfonodd lythyr awdurdodawl at Archesgob y ddinas, i erchi iddo gynnull holl ysgrifenadau Wicliff, a dala a charcharu ei holl ddylynwyr. Felly yr archesgob yn llawen a gondemniodd ysgrifenadau Wicliff, ac a ddechreuodd gospi pedwar o ddoctoriaid, am ommedd rhoddi eu heiliadon o'r ysgrifeniadau dywededig i fynu; ac a waharddodd iddynt bregethu. Huss, ac eraill o aelodau y brif athrofa, a wrthdystiasant yn erbyn y fath ymddygiadau; ac ar y 25ain o Fehefin, 1410, a wnaethant appeliad newydd oddiwrth ddedfryd yr archesgob. Erbyn hyn, yr oedd Alexander wedi marw, a chreadur hynod o ddiegwyddor, o'r enw Balthasar Cossa, wedi ei godi i'r gadair Babaidd, dan yr enw Ioan XXIII. Y cynghaws hwn gan hyny a ddygid o flaen Ioan, yr hwn a ganiattai awdurdod i wysio Huss i ymddangos yn bersonol, ger ei fron ef yn Rhufain, i atteb i'r cyhuddiadau a roddid i'w erbyn; ond Huss a ddymunai gael ei esgusodi rhag ymddangos yno yn bersonol; ac mewn canlyniad, ymddangosodd tri o ddirprwywyr drosto, o flaen Cardinal Colonna, yr hwn a etholwyd yn Bab tua'r flwyddyn 1417, dan yr enw Martin V. Y dirprwywyr a gynnygient esgusodi Huss am ei absenoldeb, ac a ardystient eu parodrwydd i atteb drosto ef: ond y Cardinal Colonna, a farnai fod Huss yn wrthnysig, ac am hyny a'i hysgymunai. Yna y dirprwywyr a appeliasant at y Pab; ac yntau a bennodd ryw nifer o gardinaliaid i chwilio i fewn i'r holl gynghaws, a rhoddi barn; a hwythau a gadarnhasant ddedfryd Colonna, ac a ychwanegasant ysgymuno, nid yn unig Huss, ond ei holl ganlynwyr a'i ddysgyblion hefyd.

Ond er llymed y driniaeth hon, ni thueddodd yn y radd leiaf i leihau dim ar boblogrwydd Huss; eithr yn hytrach i'r gwrthwyneb; canys i ganlyn ei ddyoddefiadau, cynnyddai ei ddylywiad, (*influence*) a lluoedd o bob graddau, a brysurent ymrestru yn ei achos, naill ai o ddiolchgarwch iddo, neu dosturi atto. Wrth gael ei gefnogi fel hyn, efe a safai yn wrol yn wyneb yr holl ystorm; ac er ei wahardd i bregethu, efe a gyflawnai bob rhan arall o'i swydd fugeilaidd; ac yn mysg cynlluniau eraill a arferai, rhoddai holion cyhoeddus i'r bobl, gan eu hannog i ymresymu arnynt yn eu plith eu hunain yn gyfrinachol, ac os byddai rhyw anhawsderau a dyryswch yn ymddangos iddynt, am ddyfod o honynt i ymgynghori âg ef ar y cyfryw bethau.

Pan welodd yr archesgob ei siommi fel hyn yn ei ymgeisiadau i ddarostwng y diwygiad, efe a wysiodd gynghor o ddoctoriaid, y rhai a dynasant res o gyhuddiadau yn erbyn Huss a'i ganlynwyr, ac a'u cyhoeddasant; ond efe a ysgrifenodd atteb call ac effeithiol iddynt hwy.

Yn fuan ar ol hyn, darfu i Huss gyhoeddi Traethawd arall, yn erbyn gormesau llys Rhufain, yr hwn a attebwyd gan yr archesgob a'r Cynghor; ond ni buont yn hir yn foddlawn ar ysgrifenu yn unig, ac am hyny hwy a appeliasant at y Pab am gymmhorth, yr hwn ni wnaeth namyn dymuno ar frenin Bohemia gymeryd y peth dan ei sylw.

Y llythyrau a ysgrifenai Huss tua'r

* Ni byddai yn anfuddiol i'r darllenydd sylwi yma, fod ymraniad wedi cymeryd lle yn yr eglwys Babaidd er's tro cyn hyn, a bod *Angeli Corrario*, dan yr enw Gregori XII. yn Bab yn Rhufain ar un blaid, a Benedict XIII. yn Bab i'r blaid arall, ac eisteddle ei lywodraeth yn Avignon. Yn y flwyddyn 1408, gwarchaeodd brenin Ffrainc ar Benedict XIII. yn Avignon, ac yntau a achubodd ei fywyd drwy ffoi yn lladradaidd i Catalonia i ddechreu, ac oddiyno i Periguan. Pan welodd y Cardinaliaid, o'r rhai yr oedd wyth neu naw yn ymlynu wrth ei aches ef, fod eu Pab wedi eu gadael, hwy a enciliasant yn gyhoeddus at Gardinaliaid Gregori XII. a chyttunasant i alw cynghor mawr yn Pisa, ar y 25ain o Fawrth, 1409, i'r dyben o geisio gwellau clwyfau yr eglwys, a heddychu y pleidiau ymrysongar. Ond ar y 5 o Fehefin, cyhoeddid dedfryd drom gan y Cynghor hwn, yn erbyn y ddau Bab ymrysongar, a dewiswyd *un* Pab yn lle y ddau, sef Pedr o Candia, a adwaenir yn rhestr y Pabau, wrth yr enw Alexander V. Ond gan fod y Pabau eraill, bob un yn honni ei hawl, yn lle gwneyd *un* blaid o'r ddwy, gwnaed *tair*.

pryd hyn ydynt dra lluosawg; ac heblaw hyny, efe a ysgrifenodd tua'r un amser draethawd amddiffynol i lyfr Wicliff ar y Drindod, ac amddiffynai nodweddiad y diwygiwr hwnw, yn erbyn cyhuddiad o anufudd-dod, a ddygasid i'w erbyn gan un o'r enw Stokes, ac eraill. Hefyd, ysgrifenai lawer o bregethau, yn erbyn athrawiaethau *neillduol* yr eglwys Babaidd.

Oddeutu y pryd hyn y bu orfod i Pedr o Dresden, ffoi o Saxoni, a cheisio nodded yn Prague, lle yr annogodd efe offeiriad perthynol i gapel St. Michael, i bregethu o blaid yr arferiad o win yn y cymmun: y syniadau hyn a goffeidiwyd yn fuan gan Huss, o herwydd pa ham yr erlidiwyd ef yn dost; ond o'r diwedd cafodd yr Hussiaid ganiattad i fyned rhagddynt i bregethu, a chafodd eu syniadau eu derbyn yn dra chroesawus a chyffredin, drwy y wlad.

Oddeutu y flwyddyn 1412, yr oedd y Pab Ioan XXIII. yn cyhoeddi ei ysgymmun-lythyrau yn erbyn brenin Naples, ac annogai y cristionogion i wneyd ymgyrch rhyfelgar i'w erbyn, gan ganiattau maddeuant-lythyrau i'r rhai oll a ufuddhaent i'w eirchion: ond Huss a dystiai yn groch yn erbyn y cyfryw ysgymmun-lythyrau, rhyfelgyrchoedd, a maddeuant-lythyrau. Y werin a goffeidient syniadau Huss, a'r swyddogion a'u carcharent ac a'u herlidient; a chryn laddfa a fu y canlyniad, ond trwy yr holl derfysg, efe arweddodd ymddygiad canmoladwy a gwir gristionogol. Prysurodd Huss i encilio i'w bentref genedigol yn ddïoed wedi yr amgylchiad uchod; ac yno y bu dros yspaid, yn llechu dan aden rhai o wyr mwyaf y wlad. Yno yr ymgynnullai rhai o wyr enwocaf y gwledydd i ymofyn ei gynghor, ei gymmhorth, a'i addysg. Yn ystod ei ymneillduaeth yn Hussinez, efe a dreuliodd lawer o'i amser i ysgrifenu. Yma yr ysgrifenodd efe ei draethawd ar '*Yr Eglwys*;' ac un arall a alwai 'Y chwe chyfeiliornad,' yr hwn a annelai yn erbyn maddeuant-lythyrau, Simoniaeth, ysgymmundod, &c. Cyfodid llawer o wrthwynebiadau i'r Traethodau hyn, ond Huss a'u hamddiffynai yn bybyr yn erbyn y gwrthddadleuwyr. Ond nid hir y goddefai ysbryd gweithgar Huss iddo lechu yn mhentref anghyoedd Hussinez; ac yn fuan nyni a'i gwelwn wedi dychwelyd i Prague drachefn, ac yn cefnogi achos y diwygiad â'i holl galon. Y pryd hwn yr oedd Cynghor hygof Constance* yn cael ei gynnal, yn yr hwn y penderfynid fod diwygiad yn angenrheidiol; a'r Pab Ioan a ddiswyddwyd ac a garcharwyd. Ond yr oedd gan y Cynghor eu taranau i'w rhuo yn erbyn Huss hefyd, yr hwn a wysid i ymddangos ynddo fel y glanhai ei hun oddiwrth y cyhuddiadau a'r cwynion a roddid i'w erbyn.

Yn y Cynghor hwn hefyd y gwaradwyddid coffadwriaeth Wicliff, y llosgid ei ysgrifenadau, ac yr erchid codi ei esgyrn o'r beddrod, i'w llosgi. Huss a deithiai yn wrol tua Chonstance, gan benderfynu amddiffyn ei egwyddorion, a dadleu dros y gwirionedd yno. Cafodd dderbyniad croesawus mewn llawer o barthau y Cyfandir ar ei daith tuag yno, yn nghanol bonllefau y rhai a'i mawrygent ef, ac a garent ei syniadau; ac yn mhen tair wythnos, cyrhaeddodd Constance. Dygwyd ef i sefyll ei brawf mewn enw o flaen y Pab a'i Gardinaliaid; ond ni chafodd le mewn gwirionedd i'w amddiffyn ei hunan. Y Cynghor a'i traddododd i ddwylaw Esgob Constance yn fuan, yr hwn a'i hanfonodd i gastell yr ochr arall i afon Rhine, ac a'i cauodd i fynu mewn tŵr yno â llyffetheiriau trymion am ei draed, fel mai prin y gallai gerdded dim yn y dydd, a'r nos efe a gadwynid wrth resel gerllaw ei wely.

Yn y cyfamser yr oedd ei gyfeillion yn Bohemia yn hynod fywiog yn ei achos, a'r holl deyrnas oedd mewn cyffro o'i

* Gan fod amryw o ddarllenwyr y Drysorfa yn lled anghyfarwydd mewn hanesiaeth Eglwysig, e ddichon na byddai y darluniad canlynol o'r Cynghor uchod yn annerbyniol ganddynt;—Archesgobion ac Esgobion, 346; Abadau ac Athrawon, 564; Tywysogion, Duciaid, Ieirll, Marchogion, Ysweiniaid, 16,000; heblaw merched cyffredin a berthynai i'r unrhyw gynghor, 450; Eillwyr, 600; Clerwyr, Cogyddion, a Difyryddion, 320. Fel y cyfrifid bod yr holl gynnulleidfa oedd yn Constance yn achos y Cynghor, oddeutu triugain mil a hanner.

herwydd. Cenhadon oeddynt ar garlam o'r naill dalaeth i'r llall; a phob peth yn ymddangos fel pe bnasai chwyldröad mawr wrth y drws. O'r diwedd anfonid eirchiad *(petition)* trwy yr holl deyrnas, yr hwn a law-nodwyd gan agos i holl bendefigion a boneddigion Bohemia. Dyddid ef yn mis Mai, 1415, a chyfarwyddid ef at y Cynghor yn Constance. Yn yr eirchiad hwn, wedi adgofio iddynt, yr addewid o fynedfa a dyfodfa ddiogel a ganiattesid i Huss, cwynid oblegid y driniaeth ddigyffelyb a gawsai efe, drwy gael ei daflu i garchar cyn clywed ei amddiffyn; ac attolygent ar i derfyn buan gael ei roddi i'w ddyoddefiadau, trwy ganiattau gwrandawiad iddo can gynted ag y gellid. Sicrheid y pendefigion a gyflwynent yr eirchiad dywededig, na wneid un cam a'u cydwladwr. Etto ar y 5ed o Fehefin, penderfynai y Cynghor ddwyn y cyhuddiadau a roid yn erbyn Huss yn mlaen, ac wedi eu darllen ar gyhoedd y Cynghor, yn absenoldeb y cyhuddedig, ei alw yntau ger bron, a'i gollfarnu: ond rhyw ysgrifenydd o'r enw Madonwitz, yr hwn oedd yn wyddfodol ar yr achlysur, gan ffieiddio y fath ymddygiad bradwrus, a frysiodd i hysbysu y peth i'r cenhadon Bohemiaidd, y rhai a brysurasant i daenu eu cwyn o flaen yr amherawdr Sigismund; yntau pan glywodd, a ffieiddiai y cyfryw amcan dros ben, ac anfonai gennadwri led bendant at y Cynghor, gan ddywedyd na fyddai dim a wnelont ag achos Huss ond yn ei wyneb. Y gennadwri hon a gafodd yr effaith briodol, a thranoeth, efe a wysid i ymddangos ger bron y Cynghor, ond ni chafodd ddim byd yn debyg i gyfiawnder ar ei brawf; oblegyd wedi darllen y cyhuddiad cyntaf, a gwneuthur rhyw holiad lledrydd ar rai o'r tystion, pan ddechreuai Huss ar ei ymddiffyniad, dechreuai gwyr y Cynghor gynhyrfu, trwstio, a dadwrdd, fel nad oedd bossibl clywed *neb*, gan fod *pawb* yn cyd-siarad. Luther a ddarluniai y gynnulleidfa afreolaidd hon, yn yr iaith gref a ganlyn. 'Yna y cyfan, fel cynnifer o faeddod gwylltion, a ddechreuent rhuo, cyfodi eu gwrych, cuchiaw, ac ysgyrnygu eu dannedd arno.'

Y rhai canlynol oeddynt yn mysg eraill o'r opiniynau, am ddal y rhai ei collfarnid;—'Nad oedd dim angenrheidrwydd anhebgorol am ben gweledig i'r eglwys; bod yr eglwys yn cael ei llywodraethu yn well yn nyddiau yr apostolion, heb y cyfryw ben; bod yn anmhriodol rhoddi y cyfenw '*Ei Sancteiddrwydd*,' i ddyn; na allai Pab drwg, fod yn rhaglaw i Grist, a gwadai yr awdurdod oddiar yr hon yr honent eu bod yn gweithredu; mae un o iawnderau naturiol pob dyn ydyw rhyddid cydwybod; nad oes sail ysgrythyrol i'r cyfryw geryddon eglwysig ag a beryglai fywyd dyn; y dylai fod terfyn i ufudddod eglwysig; na ddylai unrhyw gymmundod pabaidd, attal offeiriad i gyflawni ei ddyledswydd; bod pregethu yn cael ei ofyn gan weinidog crefyddol, fel cyfrannu elusenau gan y goludog; ac na allai y naill mwy na'r llall, guddio ei dalent yn y ddaear, heb dynu gwg Duw yn ei ben.'

Tra fu yn y carchar crybwylledig ar lannau y Rhine, efe a gyfansoddodd amryw draethodau rhagorol, megys 'Esponiad ar y Deg Gorchymyn;' arall ar 'Weddi yr Arglwydd;' arall, 'Ar adnabyddiaeth o Dduw, a chariad atto;' ac un arall, 'Ar dri gelyn mawr dynolryw.'

Collfarnwyd ef ar y 6ed dydd o Fehefin, ond caniatteid iddo fis o amser i alw ei ddaliadau yn ol; eithr mor ddiofal oedd y Diwygiwr dewrfryd am hyny, fel y treuliai y mis hwn i ysgrifenu llythyrau at ei gyfeillion, y rhai a gludid yn ddirgelaidd o'r carchar, gan y pendefigion Bohemaidd a ymwelent ag ef yno. Yma y gwelir eiliad o un o'r cyfryw lythyrau, yn yr hwn y mae yn amlwg fod ei feddwl yn llawn duwiolfrydedd tawel dan ei holl ddyoddefiadau.

'Anwyl gyfeillion, Caniattewch i mi eich cynghori i beidio ymddiried mewn dim sydd isod, ond i ymroddi yn hollol i wasanaeth Duw. Mae i mi awdurdod dda i'ch cynghori i beidio ymddiried mewn tywysogion, na rhoddi eich hyder mewn neb o blant dynion, canys nid oes gynnorthwy ynddynt. Duw yn unig sydd yn aros yn ddiysgog: y mae efe yn sicr o gyflawni yr hyn oll a addawodd efe. Am danaf fy hun, ar ei addewid rasol ef yr

ydwyf fi yn ymorphwys. Wedi ymdrechu i fod yn was ffyddlawn iddo, nid wyf yn ofni y gedy efe fi. 'Lle yr wyf fi,' medd yr addawwr graslawn, 'yno y bydd fy ngwas hefyd.' Boed i Dduw y nefoedd eich cadw!—Mae yn debyg mai dyma y llythyr olaf a allaf fi ei ysgrifenu. Mae genyf le i gredu y gelwir fi yfory, i atteb gyd a'm heinioes.—Ymddygodd Sigismund yn dywyllodrus yn mhob peth, maddeued Duw iddo! Chwi a glywsoch am y iaith lem a arferodd efe am danaf fi.'

Wedi i'r mis crybwylledig ddyfod i fynu, efe a ddygid ger bron y Cynghor drachefn ar y 7ed. o Orphenaf, ac wedi datgan ei fod yn wrthnysig ac anhydyn, erchid ei ddiraddio o'r Offeiriadaeth, llosgi ei lyfrau yn gyhoeddus, a'i draddodi yntau i'r awdurdod wladol. Gwrandawai y ddedfryd yn ddigryn, a chan gynted ag y darfyddid ei thraddodi, cwympai ar ei liniau, a gweddiai am faddeuant i'w elynion. Yr esgobion pennodedig gan y Cynghor, a'i dyosgasant o'i wisgoedd offeiriadol, a rhoisant feitr papur ar ei ben ef, ar yr hwn y lluniasid cythreuliaid, gyd a'r ysgrifiad canlynol, '*Arweinydd Hereticiaid.*' Yr esgobion a'i traddodasant i'r Amherawdwr, ac yntau a'i rhoddes i ddwylaw Duc Bafaria, yr hwn a arosodd i swyddog ofalu am ei weled ef a'r hyn oll a berthynai iddo yn cael ei losgi yn ddioed: felly efe a gludwyd yn gyntaf hyd at borth y llys esgobawl, lle y llosgwyd ei lyfrau yn ei wyddfod ef: oddiyno efe a arweiniwyd at y cyff dioddef, lle y gweddiai gyd a'r fath daerni ffyddiog, fel y tystiai lliaweroedd a ddaethent yno yn llawn rhagfarn tuag atto, 'Pa beth a ddywedodd y gwr hwn yn gyfrinachol nis gwyddom; ond yn ddiau, y mae efe yn gweddio fel Cristion.'

Yna efe a gadwynwyd wrth y cyff, a chylchynwyd ef â ffagodau: ond cyn rhoddi tân ynddynt, marchogai Duc Bafaria ato, gan ei gynghori unwaith yn rhagor i alw ei gyfeiliornadau yn ol; yntau a attebai, 'Ni feddaf gyfeiliornadau i'w galw yn ol; myfi a ymdrechais i bregethu Crist ag eglurder apostolaidd, ac yr wyf yn barod i selio fy athrawiaeth heddyw â'm gwaed.' Pan oleuwyd y ffagodau, dechreuai ganu emyn â llais mor hyglyw, a siriol, fel ei clywid yn eglur drwy holl drwst y ffagodau llosgedig, a'r gynnulleidfa. Ac o'r diwedd, clywid ef yn gwaeddi, 'O Iesu, tydi Fab y Duw byw, trugarha wrthyf!' Wedi ei losgi, ni allai cynddaredd ei elynion adael ei weddillion yn llonydd, ond casglasant ei ludw, ac a'i bwriasant i'r afon Rhine. Yr oedd Huss yn eglwyswr ffyddlawn, a Christion cywir; yn addfwyn a thyner o opiniynau rhai eraill, eto yn ddewrfryd a diysgog dros ei egwyddorion crefyddol ei hunan. Ymdrech fawr ei oes oedd yn erbyn drygioni, llygredigaeth ac annhrefn. Ei wroldeb oedd anorfodawl; a'i ymarweddiad moesol, a chrefyddol, a ganmolid yn fawr iawn, gan y rhai oll a'i hadwaenent.

---

## Rhagoriaethau y Bibl.

### NAHUM.

Nahum ydoedd briodor o Elcos, yn Galilee; a thybir ei fod yn gydoeswr ag Esaia. Prophwydoliaeth Nahum sydd un bryddest ddiranedig, yn awr a ddosperthir i dair o bennodau: amcan y llyfr hwn ydoedd,

Yn gyntaf, I weinyddu diddanwch i weision Duw, trwy draddodi iddynt amrywiol addewidion efengylaidd, pen. i.

Yn ail. I gyhoeddi dinystr diweddaf ac anocheladwy y ddinas orwych Ninefeh, o achos i'w phobl ddychwelyd at eu drygioni blaenorol, ar ol anfoniad Iona, pen. ii. iii.

Dinystr nesâol y ddinas fawr Ninefeh, a'r mesurau parrottoawl at gyflawniad y dystryw arswydus hwnw, ydynt yn cael eu darlunio gan y prophwyd Nahum gyd âg ardderchogrwydd a mawrwychedd ofnadwy. Mor berffaith y cyflawnwyd y prophwydoliaethau hyn, fel nad yw hyd yn nod ôl adfeiliau Ninefeh prin i'w canfod gan y teithwyr mwyaf ymofyngar. Oddiwrth ddinystr y wlad hon, ar ol gweinidogaeth Iona, yr ydym yn dysgu pa mor beryglus yw cellwair gyd a rhybuddion Duw.

*Cyfeiriadau yn Nahum.*

Pen. i. 15. Rhuf. x. 15 | Pen. iii. 4. Rhuf. xviii. 2, 3.

### HABACCUC.

Habaccuc a brophwydodd yn amser Ieremia, yspaid byr o flaen gwarchae a dinystr Ierusalem.

Llyfr Habaccuc sydd ranedig i dair o bennodau, y rhai sydd yn gwneuthur dau ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn cofnodi math o brophwydoliaeth ymddiddanawl rhwng Duw a'r prophwyd, ynghylch drygioni yr Iuddewon, a'u cospedigaeth sicr gan fyddin greulon y Caldeaid. pen. i. ii.

Dos. II. Myfyrdod neu Hymn y prophwyd, yn yr hon, gyd â dillynder pryd-ferthaf iaith, mae yn calonogi y duwiolion yn mhlith yr Iuddewon, etto i ymddiried yn Nuw eu hiachawdwriaeth.

Yn Habaccuc ni a welwn arddangosiad godidog o wir gristion, yn byw trwy ffydd ar Iehofah fel ei Dduw cyfammodol a'i Iachawdwr.

*Cyfeiriadau yn Habaccuc.*

Pen. i. 5. Act. xiii. 41 | Pen. ii. 4. Rhuf. i. 17, Heb. x. 37. 38.



SYLWIADAU

AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O

### GANU MAWL.

(Parhad tu dalen 12.)

5. Mae bod yr Arglwydd yn gorchymyn canu mawl yn ei air, yn profi yn hollol amlwg bod hyn yn ordinhad o'i eiddo ef ei hun, ac felly yn ddyledswydd neillduol ar bob dyn. 'Cenwch i'r Arglwydd ganiad newydd, a'i foliant ef yn nghynnulleidfa'r saint. Dadgenwch ogoniant ei enw, gwnewch ei foliant ef yn ogoneddus,' Psa. 149. 1.

Ni byddai nodi amledd o'r lliosogrwydd o orchymynion perthynol i hyn a geir yn yr ysgrythyrau sanctaidd, ond afreidiol i mi, gan y golygir holl ddarllenyddion y Drysorfa fel meddiannyddion a darllenyddion Gair yr Arglwydd. Ein cael ni i gofio, i ystyried, a gwneuthur y gorchymynion, sydd bwysig a gwerthfawr, dymunol ac adeiliadol iawn.

6. Mae yr amlygiadau lliosog a roddodd yr Arglwydd o'i foddlonrwydd idd ei bobl yn nghyflawniad y ddyledswydd oruchel o ganu mawl iddo, yn profi yn eglur mai ordinhad o'r eiddo ef ydyw.

Yn nghysegriad y Deml yn Ierusalem, fel yr oedd yr udganwyr a'r cantorion megis un i seinio un sain i glodfori ac i foliannu yr Arglwydd, gan ddywedyd, 'Canys da yw, ac yn dragywydd mae ei drugaredd ef,' llanwyd y ty â chwmmwl, fel na allai yr offeiriaid sefyll i wasanaethu gan y cwmmwl, o herwydd gogoniant yr Arglwydd a lanwasai dŷ Dduw. Yn nyddiau Iehosaphat, meibion Moab, a meibion Ammon ac eraill gyd â hwynt, a ddaethant yn dyrfa fawr i ryfel yn erbyn Iuda. Pan fynegwyd hyn i Iehosaphat, efe a ofnodd ac a ymroddodd i geisio yr Arglwydd, ac a gyhoeddodd ympryd, ac a weddiodd ger bron Arglwydd Dduw ei dadau. Ac efe a ymgynghorodd a'r bobl, ac a osododd gantorion i'r Arglwydd, a rhai i foliannu prydferthwch sancteiddrwydd, pan aent allan o flaen y rhyfelwyr, ac i ddywedyd, 'Clodforwch yr Arglwydd o herwydd ei drugaredd a bery yn dragywydd.' Ac yn yr amser y dechreuasant hwy y gân a'r moliant rhoddodd yr Arglwydd gynllwynwyr yn erbyn meibion Ammon, Moab, a thrigolion mynydd Seir, a hwy a laddasant bawb eu gilydd. Felly rhoddodd yr Arglwydd waredigaeth drwyadl i Iehosaphat a Iudah, heb orfod iddynt ymladd yn y rhyfel hwnw. Gwelsant ei fawr ymwared iddynt, a chanasant drachefn ei fawl ef. 2 Cron. v. 11—14. a xx. 1—30. Paul a Silas wedi eu curo â llawer o wialenodiau, eu rhoddi yn y carchar, eu traed mewn cyffion, oeddynt ar hanner nos yn gweddio ac yn canu mawl i Dduw, a'r carcharorion a'u clywsant hwy. Ac yn ddisymwyth y bu daeargryn mawr, hyd oni siglwyd seiliau y carchar, ac yn ebrwydd yr holl ddrysau a agorwyd, a rhwymau pawb a aethant yn rhyddion. Ac mewn canlyniad i hyn, achubwyd ceidwad y carchar ag iachawdwriaeth dragywyddol.

Yr oedd yn hyn oll arwyddion neillduol o foddlonrwydd yr Arglwydd idd ei weision, a'i gymeradwyaeth o'u gwaith yn ymarfer a'i ordinhadau. Yr un ydyw yr Arglwydd yn wastadol yn ei ddaioni i ei bobl. Y mae beunydd yn dwyn tystiolaeth idd ei holl ordinhadau yn yr iawn arferiad o honynt. 'Y Brenin sydd wedi

ei rwymo yn ei rodfeydd.' Un o rodfeydd y Brenin ydyw yr ordinhad anrhydeddus o ganu mawl i Dduw.—Mae yr Arglwydd yn cyfanneddu yn moliant Israel, ac yn ei ddatguddio a'i egluro ei hun yn aml idd ei bobl yn eu hymarferiad a'r ddyledswydd oruchel hon. Cyfarfyddodd a hwynt yn fynych, rhoddodd ei gymdeithas iddynt, tywalltodd ei gariad yn eu calonau, taniodd eu serchiadau mewn cariad tu ag atto, derchafodd eu bryd a'u serch oddi ar wrthddrychau darfodedig y llawr, gan eu sefydlu ar y pethau tragywyddol sydd uchod, a llanwodd hwynt lawer gwaith â chysuron a gorfoledd yr iachawdwriaeth. Gwna felly etto iddynt. A diamhau, pe rhoddem ein hunain i fynu yn llwyrach o'n mympwy a'n rheolau ein hunain, idd ei reolau a'i dywysiad ef, yn ein hymarferiadau â'r ddyledswydd hon fel pob dyledswydd arall, y canfyddem yn fuan arwyddion helaethach o'i foddlonrwydd arnom, ac y profem yn fwy bywiog y llesâd a'r bendithion cysylltiedig â'r iawn arferiad ag ordinhadau yr Arglwydd, Act. xvi. 19—34. Can. vii. 5. Ps. xxii. 3.

7. Mae gwaith yr Arglwydd Iesu yn canu mawl gyd â'i ddysgyblion ar ol y swpper sanctaidd, yn brawf o'r cadarnaf, bod canu mawl i Dduw yn ordinhad ddwyfol.

Byddaf fi (er nas gwn am neb arall) yn golygu ddarfod i'r Arglwydd Iesu yn ei waith yn canu mawl gyda'i ddysgyblion yn yr amgylchiad rhyfedd hwnw, weithredu nid yn unig fel yr oedd yn ufuddhau ac yn cyflawni pob cyfiawnder, fel yr oedd yn neddfle ei bobl, ond hefyd fel Pen ac Arglwydd ei eglwys, yn yr un modd a chyd â'r unrhyw awdurdod perthynol iddo fel y cyfryw ag y gweithredodd yn ei sefydliad o'i swpper sanctaidd. Mae yn wir nad oes genym hanes, ac nad oedd angenrheidrwydd i'r Arglwydd orchymyn hyn mewn modd penodol, fel yr ydoedd ac y gwnaeth am y swpper sanctaidd; oblegyd yr oedd canu mawl i Dduw yn ddefod arferedig yn yr eglwys, (tebygol) er ei dechreuad cyntaf yn nheulu Adda. Ond ordinhad newydd, nad ydoedd yn ddyledswydd ac na buasai mewn arferiad yn flaenorol i hyn ydyw swpper yr Arglwydd.

Heblaw hyn hefyd, yr ydoedd yn cael ei ddwyn i mewn i'r eglwys i gyflawni lle a dyben ordinhad arall a fwrid allan y pryd hwnw, sef ordinhad oen y pasc. Ni bu yr arferiad o oen pasc ar ol y noswaith hono, byth yn ordinhad nac yn ddyledswydd o fewn muriau eglwys Dduw. Ond yr oedd gwaith yr Arglwydd Iesu yn canu mawl yn nghanol ei ddysgyblion, fel eu Pen a'u Harglwydd, a Phen, Arglwydd, a Brenin ei eglwys yn gyffredinol, yn ddangosiad hollol amlwg o ddwyfoldeb a moesoldeb yr ordinhad, ac ei bod i barau yn ddyledswydd sefydledig yn yr eglwys hyd ddiwedd amser. Ac hefyd yr oedd yn cynnwys ac yn dwyn ynddo, yr unrhyw awdurdod i rwymaw ei holl ganlynwyr i sylwi ar, ac i ufudd-dod idd yr ordinhad, yr un modd a phe buasai yn gorchymyn hyny mewn ymadroddion pendant, yn llefariad y ddeddf oddi ar fynydd Sinai. Ond os golygir nad oedd efe yn gweithredu yn hyn, ond yn unig fel yr oedd yn cyflawni pob cyfiawnder, y mae ei waith yn canu mawl yn nghanol ei ddysgyblion, a'i ystyried yn y golygiad hwn yn unig, yn brawf eithaf cadarn o ddwyfoldeb yr ordinhad. Ac os ystyriwn yn fanwl yr amser a'r amgylchiadau y gweithredodd efe felly ynddynt, yr hyn a'm harweiniai I yn bresennol i ormod meithder, canfyddwn ei fod yn brawf eithaf eglur o foesoldeb a pharhad yr ordinhad, ac yn gosod y rhwymedigaethau cryfaf ar yr holl rai hyny a gymerant arnynt ymostwng ac ufuddhau iddo, i wneuthur megis ag y gwnaeth ef, yr hwn a roddodd i ni esampl fel y canlynem ei ol ef, Ioan xiii. 15. 1 Pedr ii. 21.

Weithian, os ystyriwn y profion uchod, canfyddwn yn amlwg ddwyfoldeb yr ordinhad o ganu mawl i Dduw. Buasai un o honynt yn ddigon i brofi hyn, ond yn amlder tystion a chynghorwyr y mae grym. Y dyben o nodi cynnifer, ydoedd, i edrych a effeithient ar feddyliau dynion, er eu dwyn i iawn syniad am yr ordinhad. Fel y mae anwybodaeth ac anystyriaeth o ordinhadau yr Arglwydd yn annghymwys, yn niweidiol a phechadurus i ddyn.

ion yn eu hymyraeth a holl ranau ei waith, felly, yn y gwrthwyneb, y mae gwybodaeth a syniadau cywir ac uniawn ŷn hollol angenrheidiol a buddiol er eu dwyn i weithredu yn addas a theilwng gyd ag ordinhadau Duw.

Oni bydd genym wybodaeth a syniad addas am yr ordinhad o ganu mawl fel ordinhad ddwyfol, pa fodd y gwybyddwn fod hyny yn ddyled arnom? A pha fodd y gwnawn hyny mewn ufudd-dod i Dduw? Felly hefyd yr un modd am yr holl ordinhadau a'r dyledswyddau ereill. Fel y mae esgeuluso ymarfer ag ordinhadau Duw a dyledswyddau crefydd yn bechod, y mae yr ymarferiad a hwynt fel defodau arferedig wedi eu dysgu yn draddodiadol y naill oddi wrth y llall, heb y parch a'r gwylder perthynol iddynt, fel ordinhadau Duw, yn bechadurus yr un modd. Gwelwn gan hyny yr angenrheidrwydd am, yn nghyd â buddioldeb a'r llesad sydd yn gysylltiedig ag iawn wybodaeth, a syniadau cywir am yr ordinhad hon. Mae y wybodaeth hon, yn angenrheidiol i ddangos i ddyn ei ddyledswydd, yn nghyd a'r pechod o'i esgeulusiad o honi. Mae hefyd yn fuddiol i ddefro y cysglyd, y difraw, a'r musgrell at ei ddyledswydd, yr hwn er ei fod mewn rhan yn ei gwybod, etto yn rhy farwaidd i ymaflyd yn egniol a theilwng ynddi. Y mae hefyd yn llesol iawn i gryfau a chalonogi y gwan a'r llesg i fyned yn mlaen yn llwybr gorchymynion yr Arglwydd a'i ddyledswyddau ei hun.

Bu ystyriaeth briodol am ordinhadau yr Arglwydd yn fuddiol yn aml i nerthu llawer o rai digalon a llwfr i fyned yn mlaen yn ffyrdd eu dyledswyddau, a thrwy hyny i weithredu er atteb dybenion mawrion a lliosog yn dymhorol ac ysbrydol. Ymddengys yn mhellach y llesâd o gywir wybodaeth am yr ordinhad hon (fel am yr holl ordinhadau ereill) yn y ffrwythau o honi, os ystyriwn y dybenion goruchel sydd yn cael eu cyflawni, y bendithion mawrion sydd yn cae eu cyfranu, a'r effeithiau daionus sydd yn gysylltiedig â yr iawn arferiad o honi.

Gormod gorchwyl, ïe rhyfyg a fyddai i mi na neb arall, geisio mesur â'n rhychwantau bychain, y daioni perthynol i'r ordinhad. Yr un mor annghymwys a fyddem i wneuthur hyny, ag ydym i fesur amcanion a dybenion yr Arglwydd yn ei sefydliad o honi! Ein doethineb, ein dyledswydd a'n braint ni ydyw edrych ar ogoniant yr ordinhad, fel y mae yn ordinhad Duw, ac felly yn sicr o atteb dyben ei gosodiad. Ac ymddarostwng i wneuthur a allom er cydymagweddiad a'r ordinhad sanctaidd.

Rhodded yr Arglwydd i ni wybodaeth a deall da yn mhob peth.

TALMID.

*Diwedd y rhan gyntaf.*

---

## Llythyrau, &c.

*Trydydd Llythyr oddiwrth hen Weinidog at ei fab yn y weinidogaeth.*

(Parhad tu dalen 19.)

Ystryw arall sydd gan Satan i gyfyngu ar grefydd yw, ymgymeryd â masnach neu orchwyl bydol ag a fo'n gormesu ar ryddid, breintiau, a rheolau crefyddol; megis bod yn gaeth ar Sabbathau, ac mewn lleoedd na cheir dim o freintiau crefydd deuluaidd, &c. Dylai fod gocheliad mawr mewn crefyddwyr yn hyn, ac hyd y mae ynddynt wneud cydwybod o'u rhyddid, ac na bo'r fantais o ennill ychydig ychwaneg o elw ei lindagu.

Mae creulondeb sarphaidd mewn rhai meistradoedd, yn ceisio manteisio yn nghyflog eu gweinidogion trwy esgus o oddef a chaniattau iddynt ryddid crefyddol, dyna gymeryd crefydd yn wrthafl i farchogaeth i gyraedd cefn cyfoeth.

Ond yma, nid anfuddiol fyddai crybwyll am y masnachwr y soniaist wrthyf, sy'n cadw Tafarn. Nid wyf yn ameu cyfreithlondeb a lles Tafarndai, a da fyddai pe bai holl Dafarnwyr Brydain yn dduwiolion syml: mae'n debyg y byddai hyn yn drugaredd fawr i lawer meddwyn. Ond gwaith anhawdd yw bod yn agos at Dduw mewn cymdeithas, ac ar yr un pryd yn agos i'r *Selar* mewn masnach. Deallaf fod y Tafarnwr yn cyfreithloni ei hun â llawer esgus, megis, 'mai dyna ei alwedigaeth ef;' ond cofied hefyd mai gwir grefydd yw ei iechydwriaeth ef, a thra bo galwedigaeth ac iechydwriaeth yn gwthwynebu eu gilydd, dewised y

fwyaf manteisiol i'w ddedwyddwch. Hefyd, 'fod llawer cystal ag yntau yn cael bywioliaeth trwy'r fasnach yna,' gwir, hefyd mae llawer *ffidler*, ïe, a phutteiniaid yn medru sugno bywioliaeth frâs trwy eu celfyddyd. Esgus arall, 'os bydd iddo ef attal ei ffrydlif yn brydlon, fod eraill yn rhoi'r argae yn agored.' Nid esgidiau pobl *eraill* fydd am ei draed ef yn y farn; na phechodau pobl eraill fydd yn 'gorwedd ar ei esgyrn yn y bedd.' Ymhellach, 'nas medr ef fyw yn gysurus pe rhoi y dafarn i fynu.' Cwestiwn digon priodol bob yn ail, fyddai, pa fodd i farw yn gysurus trwy hyny? Nid sothach a dry ymresymiad Barnwr pawb ymaith yn y dydd olaf! Ac nid anrhydedd mawr yw i Gristion i feddwl, mai gan ei gwsmeriaid ef mae'r holl drwynau braenllyd, y llygaid cochion, a'r aelodau gwywedig, a'r cefnaeroen llymion, a'r gwragedd carpiog, a'r plant troednoeth, sydd ar hyd y dref. A bod ei annedd ef yn fwy tymhoraidd trwy eu llymhau hwy, nid yw yn gloywi ond ychydig ar ei achos. Fe fedrodd y llances â'r ysbryd dewiniaeth ynill elw mawr i'w meistriaid trwy swyno; ond 'gwae yr hwn a elwo elw drwg i'w dŷ.'

Drwg arall gofidus i'w enwi ag y mae crefyddwyr yn euog o hono, yw, anfon allan eu plant i sefyllfaoedd, nid yn unig yn anfanteisiol, ond hollol yn wrthwynebol i un fantais ysbrydol ddigwydd iddynt byth, oni ddaw mewn modd gwyrthiol; megis i sefyllfaoedd llongwriaeth, rhyfelwriaeth, neu fasnachwriaeth mewn gwledydd tramor, &c. Twyll cyfoeth yw yr annwgaeth i'r cyfryw rieni i chwarae rhan yr Estrys gyda eu plant: iawn y gall yr Arglwydd achwyn ar y cyfryw am gymeryd y plant y rhai ydynt eiddo ef, a'u haberthu i'w heulunod, Ezec. xvi. 20. Mae'r amser etto heb wawrio i *longau Tarsis fod yn benaf yngwasanaeth Duw*: dyna'r pryd y bydd y môr fel y tir yn deml i *Dduw*.

Mae addysg etto, ysbrydol a chrefyddol, i'w hymarfer; am egwyddorion crefydd; yr wyt eisioes yn ystyried hyny yn ddyledswydd arbenig arnat. Dylai proffeswyr crefydd hefyd, fod yn esamplau i eraill yn eu holl ymdrin â moddion crefyddol; gwrthyn yw bod yn hŷf ac anystyriol yn eu dyfodiad i dŷ Dduw. Arferiad pawb agos mewn adnabyddiaeth o Dduw, yw siarad am ac ymddwyn yn barchus yn ei dŷ. Yr oedd Moses yn diosg ei esgidiau wrth nesâu at Dduw; anweddaidd iawn ynte yw gwisgo *pattens* wrth sengi'r cynteddoedd. Rhydd Paul gyfarwyddyd i ni ynghylch ein penau yn addoliad Duw; ac arwydd bod yn hŷf ar y cyssegroedd yw bod yn ddisylw am gyfarwyddyd. Croes i ddiben cyntedd allanol y Deml a hen arferiad y duwiolion gynt, yw'r ymddygiad ystyfnig a phen uchel sy'n bresenol. O na byddai i grefyddwyr ddyfod 'i dŷ Dduw yn amlder ei drugaredd, ac ymgrymu (yn gyntaf dim) tu â'i deml sanctaidd yn ei ofn ef.' Ond iddynt hwy ddechreu hyn mewn siampl, dilynid ef yn fuan mewn arferiad, a byddai hyn yn rhan fawr mewn diwygiad ar weddeidd-dra, a bod y dull trwy'r amser yn addas i'r gyfran o'r addoliad a gyflawnir. Ymdriniwch a rhybuddiwch lawer am y pethau uchod yn eich cyfarfodydd neilluol.

Ond y mae mathau ereill o anweddeidd-dra mwy amlwg, i'w gochelyd gan y rhai sydd yn ymdriu yn gyhoeddus â llestri'r cyssegr; bydd yr arferiad o honynt yn brifo fy meddwl weithiau; a phryd arall y byddaf yn eu cyfrif i'w hannoethineb. Gwelir y fath ddiofalwch weithiau wrth ddarllain gair Duw yn gyhoeddus, fel y bydd yn hawdd dirnad nad gwaeth ganddynt pwy a sylwo arno; ac nad yw y darlleniad o hono ond rhyw beth i fwrw yr amser heibio, tra y byddo'r gwrandawyr yn pesychu, ac yn gwneud eu hunain yn gysurus i wrando ar y gwr pan yr elo at ei bethau ei hun.

Ac erchyll hefyd fel y cam dadogant yr Ysgrythyr lân, dywedir mai rhyw bennod o 'Efengyl Mathew' fydd ganddynt, pan mewn gwir mai 'Efengyl Iesu' ydyw, er ei hysgrifenu gan ei was ef, *Mathew*; a phryd arall ceir pennod briodol i ddysgu sillebu, mewn cwrdd gweddi.

Rhan arbenig arall sydd yn cael cryn gam yw y canu. Mae rhai tymhorau ar Eglwys Crist, y canu, a'r canu newydd, fydd y cwbl; a'r holl ymddiddan fydd am fwynder y canu. Mae teyrnas Dduw yn myn'd yn ganu i gyd, a hyny yn llawer

cynt na'r amser. Ac os creffir, nid ysbrydolrwydd y canu fydd nod y gamp, ond ei fwynder a'i drefn. Yr wyf yn dra serchog o'r canu, a phob diwygiad fo arno, gan hyderu y caf eyn hir delyn dynion dannau i ganu heb dewi mwy. Oh, henffych i'r boreu, mae fy enaid yn hiraethu am dano, pan y byddaf heb y frest fregus, a'r pibellau caethion yma; byddaf inau yr amser hwnw yn llawn cyhyd fy nghân a neb o blant y côr, er fy mod yn colli ngwynt o'u blaen o ddigon yn bresennol.

Ond, a dweud y gwir, pobl lled nebel feddwl yn gyffredin yw llawer o'r bobl mawr eu medr gyda'r canu. Pwngc mawr mewn addoliad yw fod y dôn yn addas i'r gwaith; nid felly mae pob un a genir: ambell un mae ei bywiogrwydd yn ysgafnder; ac eraill eu harafwch yn annibendod; a'r lleill eu troelliadau yn myn'd yn ddyryswch; a hynod yr helynt fydd ar y cantorion eu hunain yn dilyn y llwybr, ac am bawb eraill ni waeth iddynt roi eu cerdd yn y gôd ar ddechreu'r gân.

Byddaf yn canmol trefn Eglwys Mr. H—y, mae ganddynt hwy eu heisteddfod o henuriaeth i farnu pob tôn cyn ei chyfreithloni i'r addoliad cyhoeddus. Ymofynir am ei hysbrydolrwydd a'i gweddeidd-dra, ac a fydd tebygolrwydd i'r dorf ymgymeryd yn fuan i'w chydganu: bydd y cantorion wedi ymofyn am eu chysondeb â'r rheolau.

Y gweddïwyr cyhoeddus etto, sydd a mawr angen eu hyfforddi. Rhyfeddol mor anhwylus a diaddurn ydym gyda phob rhan o waith ac achos Crist. Ond Oh, mor ogoneddus a deheuol y bu efe gyda'n hachos ni; 'dy gyfraith sydd o fewn fy nghalon—deddf ei Dduw oedd yn ei galon.' Sicr felly ynte ei fod yn ei dilyn yn gywir! Y rhinwedd cyntaf mewn gweddïwr cyhoeddus, yw profiad, a buchedd addas. 'Ymlanhewch, y rhai a ddygwch lestri'r Arglwydd.' Gyda eu bod yn rhai bucheddol, angenrhaid yw mewn llawer man y dyddiau yma, eu bod yn lled ddoniol hefyd, er mai nid y penaf peth yw hyn. Pan y byddo cynnydd ar grefft, nid y mwyaf anghelfydd ynddi, yr ymofynir amlaf am dano. Felly hefyd, mae cylla gwrandawyr yn lled foneddig, ac nis gwn faint o addurn i bethau mawrion Duw ydyw, gosod rhai hynod o fusgrell mewn lle mor gyhoeddus, pan y ceir eu gwell, ac y teilyngai'r gwaith ein goreuon. Ond er cysur i'r gwael a'r diddawn, mae ganddynt hwy'r un hawl yn Nghrist ag eraill, ac hefyd yn rhagoriaethau eu brodyr; er eu bod yn anamlach yn cael eu mesur a'u pwyso na'r lleill; a'u temtasiynau hefyd yn wanach, a'u perygl yn llai o fod yn rhagrithiol. Ac hefyd fod bys bach y troed, er ei fod y lleiaf, ac o'r golwg hefyd, etto mae yn aelod o'r corph, a dylai afaelyd wrth gerdded.

Ond mae ar y gweddïwyr goreu eisiau eu haddysgu. Hynod yr helynt fydd ar rai wrth weddio yn ceisio cyrchu eu hanadl; digon i beri i ddyn amen fod yno ryw greaduriaid crawclyd yn eu gyddfau. A chlywais fod un lled anwybodus yn tybied 'mai'r pechod gwreiddiol fyddai y rhwngc yma;' ac nis gwn inau am fawr gwell esboniad i roi arno. Sicr genyf fod arferiad o'r fath ystum yn *bechod*; ac ofni 'rwyf ei fod wedi *gwreiddio* hefyd, onide fe ddeuai oddi yno gyda'r fath ymdrech a fydd wrtho. Ac os yw eu tyb hwy, 'fod hyny yn gwneud y weddi yn fwy derbyniol,' y maent yn gyfeiliornus iawn, oblegid un yn llefaru yn gnyw oedd Moses a Duw yn farnu yn oreu i fyn'd at Pharaoh.

Drwg arall sydd yn andwyo llawer gweddïwr yw, mynych enwi gwrthrych ei weddi; diffyg parch iddo 'rwy'n ofni yw hyn. Cymeryd ei enw bendigedig fel i lenwi sillgoll, o ddiffyg cael geiriau. Gwir fod y Salmydd yn ei aml arfer, ond bob tro mae 'fel afalau aur, mewn gwaith arian cerfiedig.' D'wedodd hogyn diriad wrthyf, iddo gyfrif mewn llai na hanner awr o weddio, un yn enwi'r Creawdwr fwy na hanner cant o weithiau! Nid oedd y bachgen yn ei gyfrif fawr well na chablu yr enw rhagorol.

Gormesir eraill gan boethder zelog nes dyrysu yr ymadrodd a'r rheswm. Eglur yw fod tanbeidrwydd santaidd weithiau yn gorchfygu holl natur y gweddïwr. Ond mi adwaen rai y mae eu tymherau mor ddrylliog i ganlyn eu dawn a'u pethau,

nes eu gwneud yn boenus a diles i bawb a'u gwrandawant.

Ereill hefyd o weddïwyr mawr, sydd a'u hymddygiad a'u dull yn nechreu eu gweddi, fel y gallech feddwl eu bod yn yr olwg ar fawredd a santeiddrwydd Duw, nes ydynt a'u genenau yn y llwch mewn mudandod, nas gallant anturio i'w wyddfod gan danbeidrwydd yr olwg a gânt; ond cyn hanner y weddi bydd yr un rhai wedi codi eu meddyliau a'u syniadau, nes y maent mor hŷf ar ei Fawrhydi a phe yn gwneud masnach a rhyw un o'u cydradd ar ben heol y farchnad. Gobeithiaf mai nid rhagrith oedd dechreu y weddi, ond ofnaf fod llen wedi myned rhyngthynt a'r olwg ysblenydd cyn ei diwedd! Mae drws hyder yn cael ei agor i'r saint mewn gweddi, ac mae amnaid o estyn llaw wywedig yn derbyn grym a nerth digonol i'w hestyn allan yn iawn cyn terfynu; ond po agosaf i'r Haul bydd y goleu yn fwy gystal a'r gwres.

Etto, mae rhai gyda'r gwaith yma o weddio heb na gwres na zel ganddynt o fath yn y byd, mor ddi daro ynddo, heb un math o gyffroad, mor gynnefin a'r saer gyda'r llif, a'r swn ddim llawer gwell na phe baent yn hogi'r erfyn hwnw. Hwyrach fod gan y rhai hyn eithaf balastr, ond nis gwn p'le mae'r hwyliau, a phe bai awel o Gaersalem yn chwythu, nid oes ganddynt ddim i'w ddal.

Rhaid i'm ddibenu gyda'r gofyniad, 'pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?' Dy dad serchoglawn, PASTOR SENIOR.

---

"CYSSYLLTU TY AT DY, A CHYDIO MAES WRTH FAES."

Syr,—Clywais gyfaill parchus yn beio ar y sylw a wnaed yn y Drysorfa ar sylw William Williams ar Esa. v. 8. Ac hefyd yn beio ar Olygydd y Drysorfa am roddi lle i un sylw ar yr achos, nes i Edward Ellis roddi attebiad i Ofynion Mr. Richard Jones yn Rhif. 64. tu dalen 110. Y mae y cyffredin yn deall nad oes modd i ddyn mewn swydd dros wlad nac eglwys foddio pawb; ac mae yn debyg fod hyny yn fwy gorchwyl na chael mynedfa trwy foroedd y pegwn gogleddol i'r môr tawelog. Methodd y Cadpen Parry gyflawni y naill; ac mae yn debyg na ddichon i un Parry arall gyflawni y llall.

Digwyddodd i mi un tro fod yn Nhŷ y Cyffredin yn gwrando ar Areithiwr hyawdl yn ymosod yn llym ar Swyddogion y Brenin; ïe, yn bersonol ar y swyddog yn y Tŷ hwnw. Cododd y swyddog ar ei draed yn foneddigaidd, a dywedodd, 'Yr wyf yn ystyried ei bod yn ddyledswydd arnaf fel swyddwr dros fy Mrenin, a'm gwlad, i fod yn aml a'm bysedd yn fy nglustiau, a'm llygaid ynghauad hefyd, oherwydd fy swydd: yr wyf yn pasio heibio yr hyn a ddywedwyd am danaf yn bersonol, ond am yr hyn a ddywedwyd yn erbyn y llywodraeth, ymdrechaf i roddi boddlonrwydd i'r Tŷ. Er mwyn ymddiffyn y Drysorfa ymdrechaf finnau i atteb gofyniadau R. Jones.

*Gof. Cyntaf.* 'A ydyw dyn fydd yn cadw Shop mewn tri o amrywiol leoedd, saith milldir oddiwrth eu gilydd, yn cyssylltu tŷ at dŷ?'

*Atteb.* Ydyw; ac nid yn aml y mae dynion o'r fath drachwant yn cael myned yn ddigerydd. Gwelwyd lawer gwaith y byddai gweision y cyfryw, yn troi yn dwyllodrus; neu ynte fe fyddai y gymmydogaeth yn ffieiddio y cyssylltiad, ac yn cilio oddiwrth y cyfryw ddyn (fel y dylai pob dyn sydd yn meddu ar gariad eu cyd ddynion,) nes gwelwyd llawer yn cymmeryd hwyliau i lawr, neu redeg y llong ar graig, a myned yn ddrylliau! Y mae bron bob tyddynwr yn beio ar wyr urddasol am wasanaethu plwyf trwy was; yr wyf fi yn ffaelio deall pa ham y mae hyn i'w feio yn fwy na'r Shopwr crybwylledig; o'm rhan i yr wyf yn gweled y ddau yn debyg o syrthio i'r un ffos o gyssylltu tŷ at dŷ.

*Yr ail ofyniad.* 'Pe b'ai dwy neu dair o ffermydd ers llawer o flynyddoedd yn ol, a'u bod yn awr yn cael eu dal gan un gwr, a'i fod yn ymadael a hwynt y flwyddyn hon, a minau yn eu cymmeryd i'w dal fel y maent ganddo ef, ac fel yr oeddynt cyn iddo ef eu cael; a ydwyf yn cydio maes at faes?'

*Atteb.* Nag wyt; ond cymmeryd ffarm fel ag yr oedd gynt, ac nid yn cydio maes wrth faes, at y ffarm: yr wyf yn ffaelio deall pa ham y gofynwyd y fath gwestiwn, Yr wyf yn cofio am wr yn meddu ar lawer o arian, yn byw mewn tref yn Nghymru,

ac yr oedd arno eisiau palas yn y wlad; medrodd gael troi amryw deuluoedd o'u tyddynod, a phrynu, a gwneud palas yn y lle: ond mae y palas a'r tir wedi myned o feddiant ei blant a phob perthynas iddo: ac yn gyffredin y mae y palas heb drigianydd!

*Y Trydydd Gofyniad.* Bwrier fod tyddynwr a'r teulu yn lliosogi, fel na byddai ganddo ddigon o waith iddynt oll ar y tyddyn lle mae yn byw: ac yntau yn hoffi eu cael dan ei olygiad, a'i lywodraeth ei hun, yn hytrach nag iddynt fyned i wasanaethu, un yma, a'r llall draw, ac felly efe a gymmerodd dyddyn arall, &c.

*Atteb.* Nid wyf yn gweled dim rhagor rhwng hwn a'r Siopwr, ond fod un yn trachwantu trwy was, a'r llall trwy fab. Y mae yn y Gofyniad hwn edef fain wedi ei nyddu, dan fantell o serch at ei blant, a gofal am danynt. Fe allai pe buasai gan y tyddynwr fodd i'w cyfodi yn Feddygon, yn Siopwyr, neu yn Gyfreithwyr, &c. y buasai yn barnu y gallasai fod cystal dynion ag yntau yn y byd, ac y gallasai ei blant gael cystal esamplau ac addysgiadau a chartref; a bod o fwy o ddefnydd yn y byd: a thrwy hyny eu mentro oddi cartref, yn gystal ag mae eraill yn mentro eu plant iddo yntau. Ond fe allai mai y gwir ydyw, y mae y tyddynwr yn cael dynion i weithio iddo ef am gyflog, na ddymunai efe i'w blant am wasanaethu neb arall: am hyny ei fod yn gwneuthur yn gall wrth 'gydio maes wrth faes.'

Clywais am ddyn sydd yn byw yn Nghymru, os gwir yw, yn meddu ar ddwy neu dair o ffermydd, yn Siopwr, yn Felinydd, yn Fasnachwr, yn Droliwr, yn Gloxiwr, yn Saer, yn Bobydd, yn Of, &c. &c. Y mae yn resyn nad âe y fath ddynion sydd a chymaint o gymwysderau i drin y byd, i New Holand, o herwydd mae yno un myrddiwn o erwau o dir da, a dim ond can mil o ddynion; ond yn Lloegr dim ond deng mil a deugain pump cant ac ugain o erwau, a thair miliwn ar ddeg o ddynion; felly mae yn angenrheidiol i'r Saeson fyw, a gadael i eraill fyw hefyd.

Fe allai mai ychydig o foddlonrwydd a rydd fy sylw i'm cyfaill parchus; etto yr wyf wedi boddloni fy hun. E. LL.

CYHOEDDI Y DRYSORFA.

Syr,—Gwelaf yn eich cyfarchiad caredig yn mis Rhagfyr, annogaeth i gyhoeddi y Drysorfa ymhob pulpud, gan annog y bobl i'w derbyn a'i darllen, &c. Fe allai fod yn angenrheidiol hefyd mewn cyfarfodydd misol i annog Blaenoriaid Eglwysig i'w derbyn, oherwydd mae y bobl a'u llygaid ar eu Blaenoriaid. Digwyddodd i mi fod mewn ardal yn ddiweddar, lle nad oedd yr un blaenor yn ei derbyn, a dim ond un dyn arall yn ei derbyn yn y gymmydogaeth. Fe fu amser yn y gymmydogaeth hono pan oedd pregethwr ffyddlon yn byw yno: yr oedd naw yn cael eu derbyn a'u darllain, bob mis: ond mae lle i ofni ar ei ymadawiad ef, bod ysbryd darllain wedi ymadael hefyd; wrth hyn gwelwn fod colli gweinidog ffyddlon o gymmydogaeth yn fwy peth nag y mae llawer yn ei ystyried. Hefyd, fe allai pe buasai y gymmydogaeth hono yn parhau i dderbyn y Drysorfa, gan fod cymmaint o ddywedyd ynddi y naill fis ar ol y llall yn erbyn meddwdod, ac o blaid cymmedroldeb a dirwest, na fuasai ganddynt gymmaint gwrthwynebiad i Gymdeithas ddirwestawl, ag sydd wedi ymddangos yn eu plith. E. LL.

## HUNAN.

Yr oedd dyn yn ei ddechreuad cyntefig a'i holl weithredoedd yn dyrchafu at Dduw fel mwg arogl darth, ac yn esgyn yn naturiol mal y wreichionen i fynu; a'r dyben penaf yn ei olwg ydoedd gogoneddu Duw. Ond yn ei gwymp alaethus, collodd dyn ei egwyddor uniawn hon, a gwreiddiodd pregeth wenieithus y gelyn diafol yn ei galon ef, fel nad oes dim yn bresennol a'i boddia, ond yn unig yr hyn a ddyrchafa ei *hunan*; a thyma y nod y mae yn cyrchu atto bob amser.

Y mae *hunan* yn fath o chwydd gwenwynig, yn magu yn y meddwl: y dyn yn meddwl 'ei fod yn rhywbeth, ac yntau heb fod yn ddim;' ei feddwl yn mhen rhyw fynyddoedd uchel, pan ar yr un pryd o ran ei gyflwr yn gorwedd yn y pwll isaf. Yr *Hunan* hwn ydyw yr unig fwyd blasus a wna y tro gan archwaeth yr enaid dirywiedig; ac y mae'r gwenieithwr hwn yn perswadio'r dyn i ddychymygu

y dylai pob dyn roi iddo ef y deyrnged ddyledus o anrhydedd, ac nad oes un mawrhydi yn bod nad ydyw ef yn ei deilyngu. Barnaf mai balchder a genhedlodd yr anghenfil hwn, ac hefyd sydd yn ei fagu a'i feithrin mor ofalus a'r fam dyneraf; mor fawr yw eu gofal am eu gilydd, fel na thrig y naill yn un man heb y llall: y maent o'r un feddwl, yr un farn, a'r un ysgogiad. Yr hyn a ddifria y naill, a friwa y llall; niweidio y cyntaf a bair glwyf i'r ail. Y mae y fath gydfod rhwng balchder a hunan fel y mae eu holl weithrediadau a'u dibenion yr un bob amser. Dyben y ddau ydyw gyrru y dyn i golli adnabod arno ei hun; ei lenwi â rhyw feddwl uchel, a gosod ei drigfa yn y nefoedd, ac a ddringa oddiar ser Duw.

Y Creadur druan, pan wedi dringo, o ran ei feddwl yn uwch na'r cymylau a thebyg i'r Goruchaf, etto o ran ei sefyllfa megis yn uffern, ac yn gorwedd yn ystlysau y ffôs! Esay xiv. 13, 14. Diameu mai dyn heb ei adnabod ei hun ydyw yr *hunanol* bob amser, pan edrychai ar y fath delpyn ffiaidd ag ef ei hun gydag un ymffrost a balchder, oblegyd pe byddai ganddo iawn adnabyddiaeth o hono ei hun gwelai mai achos gostwng pen a chywilyddio a gai o bob man. Nid oes yn y dyn ond pob gelyniaeth yn erbyn y Duw doeth a da, a phob tueddiad i ddianrhydeddu ei ddeddf uniawn ef. Ac os edrych efe arno ei hun, i feddwl dyfod yn rhydd o afael y trueni hwn, gall waeddi, 'anmhossibl yw hyn!' Gan hyny pa reswm sydd gan adyn o'r fath i ymogoneddu ynddo ei hunan?

Y mae *hunan* yn beth cuddiedig iawn, y mae mor ddirgel a 'delwau Rahel yn y babell,' yn rhywle megis o dan y dyn, hyny ydyw yn neuadd ddirgelaidd y galon; er chwilio mewn amheuaeth, nis gellir ei gael allan: fe ymgudd fel Saul brenhin Israel, 'ymysg y dodrefn' harddaf a fedd y dyn. Os bydd ynddo ryw ragoroldeb, yn gyffredin iawn bydd yno ryw loches gan *hunan*: anaml y gwelir blodeuyn rhinwedd yn tyfu ar bren moesoldeb, na bydd yno lindys *hunan* i'w ddifa (oddieithr ar y rhai a impiwyd yn y wir winwydden).

Mae y dyn hunanol yn llawn hocced a thwyll; canys pan wnelo efe ryw ddaioni neu gymmwynasgarwch, nid lles y gwrthrych na thrugaredd i'r truan fydd yn ei olwg, ond cael ennill rhyw beth iddo ei *hunan*; fe allai pan ymddengys fwyaf hunanymwadol, y bydd y ddichell lawnaf yn ei galon. Gallasai un feddwl mai cynnorthwyo ei dad parchus yn ei henaint a'i fethiantwch, oedd y dyben yngolwg Absalom pan 'eisteddai yn ffordd porth y Brenhin i farnu Israel,' ond cyn pen nemawr o ddyddiau daeth ei ddiben i'r amlwg, fel y canfuwyd ei galon ef gan holl Israel. Hudo calonau y bobl i'w dwyn ar ei ol er mwyn cael y frenhiniaeth iddo ei *hunan*, oedd yn ei olwg ef. Rhydd *hunan* y fath addurn a thrwsiad ar ei wrthddrych fel nas gellir amheu y cywirdeb mewn un modd, na gwybod pa le y bydd ysbryd y gwirionedd nac yspryd y cyfeiliorni.

Gellid meddwl wrth weled llawer milwr dewr yn ymladd brwydr gorchestol ar faes y gwaed, mai heddwch ac ymddiffyniad y Brenin a'i ddeiliaid fyddai y dyben penaf yn ei olwg: ond erbyn chwilio ac edrych yn ol a dilyn y ffrwd, ceir gweled mai clod ac enw ac elw iddo ei *hunan* ydyw y ffynnon o ba un y tarddai y cwbl.

Y mae'r dyn *hunanol* yn adeiladu rhyw dŷ hardd, castell cadarn, ac adeilad brydferth, fel tŵr Babel gynt, 'a'i nen hyd y nefoedd,' ond ei sylfaen yn ddrwg er hardded ei lun, ac am hyny mae yn methu sefyll, 'fel magwyr ogwyddedig neu bared ar ei ogwydd.' Y dyben yn ddrwg yn y sylfaen, ac yna o angenrheidrwydd yr oruwch adeilad yn sigledig—y gwreiddyn yn bwdr, ac yna o ganlyniad y pren yn grin—dyben gau yn esgor ar weithred ffuantus—ychydig lefain yn effeithio ar y clamp toes, nes suro y cwbl. *Hunan* yn y serch a ymddwyn yn y dychymyg, a'r dychymyg yn ei amser a esgor ar weithrediad, a pha ddrych bynag fydd arno yn ei berffeithiad, *hunan* fydd efe er hyny, a mab i'w dad balchder; nis gall pren drwg ddwyn amgen na ffrwyth drwg.

Clywais son am yr anweledigion, ond yr ydwyf yn meddwl os bu y fath rai, bod

*hunan* yn un o honynt, yr hon sydd mor ddirgel nas gall neb ond chwiliwr y galon ei hadnabod. Y mae mor gyffredinol hefyd fel nad oes nemawr enaid heb ei choleddu i ryw raddau. Y mae ei hadau gwenwynig ymhob calon dan y ffurfafen, ond ei fod yn wahanol yn y Cristion; nid ydyw ynddo ef yn amgen na'r Gibeoniaid yn Israel (sef dan gaethiwed); ond yn y diadgenedledig efe biau yr orsedd yn gwbl, fel nas gall ysgogi yr un cam mewn gweithrediad, ond wrth orchymyn a goddefiad *hunan*: a beth bynnag a foddia *hunan*, bydd yr ewyllys yn barod i'w wnenthur, er pob rhwystrau.

Mae llawer o adeiladau mawrion a gweithydd gorchestol yn cael eu dwyn ymlaen yn y byd, yn unig i foddio *hunan*. Gwneir tai, trefydd, a thyrau heirdd a godidog, ar amryw ddulliau, o'r cyfansoddiad rhagoraf a ellid ei gael allan, defnyddir cywreinrwydd y rhai mwyaf celfydd yn y wlad i ddwyn yr amcan gorchestol i ben, a'r diwedd o'r cwbl yn ddim amgen nag ymborth i gylla *hunan!* Hwylir i fordeithiau pellenig y byd ryw filldiroedd lawer o wlad eu genedigaeth; mordwyir i wlad yr Iä, dioddefir yr oerni calettaf, i chwilio allan ynysoedd a broydd anghyfanneddol; rhyfygir i blith y bwystfilod rheibus, a chwilir eu hansawdd drwy anialwch erchyll; gosodant eu bywydau mewn perygl wrth chwilio allan ganfyddiadau newyddion, na welwyd erioed o'r blaen; troir o amgylch y ddaear gwmpasog mewn hyntiau mordeithiol, drwy dymhestloedd a dryghinoedd geirwon, a'r dyben i gyd yn yr holl weithredoedd gorchestôl hyn, y drafferth a'r perygl yn myned drwyddynt, fydd derchafu yr eilun dduw *hunan*. Cyfrenir elusenau daionus i ddiwallu angen y tlawd, agorir llaw y cyfoethog i ddylifo yn haelionus, roddion i'r anghenog; cyfrana ymborth i'r newynog, a dillad i'r noeth, a rhydd iddynt anrhegion helaeth, a chardodau heirdd; yr hyn yn ddiamen sydd yn llesol i'r tlodion a'r angenus; ond etto er gwyched y rhoddion a haeled y cyfraniadau, y mae drwg yn y dyben, ei amcan yn unig fydd ei dderchafu ei *hunan*; ei weled gan ddynion er mwyn cael gwobr i'w *hunan*: felly er cyflawni y fath ddyledswydd ragorol, foesgar a dymunol ynddi ei hun, y mae ei ddyben ef yn ei gweithredu mal lefain yn rhoi surni ar y cwbl, ac mal clwyf yn y gwaed yn cerdded dros yr holl gorph.

Hefyd, cyfansoddir llyfrau helaeth a chyfrolau lliosog o'r defnyddiau goreu a ellid eu cael mewn iaith, yn y dull cywreiniaf a ellid ei ddyfeisio, poenid y meddwl â dychmygion ehediadol, er rhoddi allan fedrusrwydd yr awdwr, ac etto heb amgen testyn mewn gwirionedd na chanmol mawredd ei *hunan*! Astudir areithiau cywrain, yn llawn clymiadau ymadrodd, wedi eu gweithio ymlaen a chyffelybiaethau priodol, eu haddurno â hyawdledd a bywiogrwydd; ond y cwbl yn myned yn aberth i'r eilun dduw *hunan*!

Mae llawer yn ymyraeth â'r Farddoneg, yn llawn cynnwrf i ddysgu ei rheolau i'r perffeithrwydd manylaf, ac yn arfer eu meddwl mewn myfyrdod i genhedlu yr Awen, yn ceisio ymollwng i fôr drychfeddyliau, a nofio am goflaid o dawdd eiriau i gylymmu cynghanedd â chydgordiad rheolaidd, a'r dyben o'r cwbl yn ddim amgen na derchafu eu *hunan*.

Mae rhai hyd yn nod yn esgyn i bulpudau heb amgen diben ganddynt wrth ddringo i'r fath le ofnadwy ond ceisio dyrchafu eu *hunain*; ac yn eu holl bregethau nid dangos Crist croeshoeliedig y byddant, ond cyfodi *hunan* i fynu. A dyma swm crefydd aml un, cael rhyw beth iddo ei *hunan* trwy hynny. Gellir cael llawer o ddisgyblion y torthau yn Nghymru y dyddiau hyn, a gymerant lawer o boen a thrafferth, ac a wnant lawer o bethau da, a chrefyddol, a hyny yn unig er mwyn cael tamaid o rywbeth i'r *hunan*; heb fyth chwant na dymuniad i lafurio am nac i brofi o'r bara ysbrydol (unig gynhaliaeth enaid y gwir ddysgybl). Bydd ganddynt hwy ryw barch neu anrhydedd yn eu golwg; neu ynte fywioliaeth gysurus mewn gafael. Er i hunan newid ei wisg yn fynych, a dyfod yn rhith gostyngeiddrwydd, a goleuni newydd, cymeryd arno brudd-der neu lawenydd, zel i losgi'r cnawd, a dymuniad i fyw yn ysbrydol, etto *hunan* fydd efe

ymhob gwisg. Ei ewyllys ei hunan a wna, ei feddwl ei hunan a fyn, ei synwyr ei hun a'i harwain—cyflawna ei holl ddyledswyddau crefyddol fel y Pharisead, yn unig 'er mwyn cael ei weled gan ddynion,' fel trwy hyn yr enillo ryw anrhydedd iddo ei *hunan*. Os llefaru, darllen, gweddio, &c. y bydd, ei ddiben penaf yn y cwbl fydd arddangos ei *hunan* bob amser; heb son am dano yn ymddiried ei enaid ar y sail dywodlyd *hunan*, ac yn wynebu tragywyddoldeb ar y peth a welodd o hono ei *hunan*, ond 'pan bwyso arno (cofied) ni saif.'

Bydd llawer o'r proffeswyr cnawdol hyn yn gwaeddi wrth ddrws trugaredd wedi ei gau; 'Arglwydd, Arglwydd, agor i ni;'. ond eu *Ni* fawr yn rhy fychan, er ymddadleu eu swyddi a'u gweithredoedd enwog, gan ddywedyd, 'Oni phrophwydasom yn dy enw di?' &c. adroddir y ddedfryd gloedig uwch eu pennau, 'Nid adwaen chwi!'

Rhy faith fyddai sylwi arno fel peth croes i yspryd yr efengyl a gwrthwyneb i reolau a nodau y gwir ddisgyblion; pa rai sydd yn cael eu galw i ymwadu a hwy eu hunain, i godi eu croes beunydd, a'i ddilyn Ef. Da fyddai gweled mwy o hunanymwadiad ymhlith dynolryw, a gweled mwy o ddrwg *hunan*, yn enwedig yn ffynhonell y galon o'r lle y mae yr holl ffrydiau gwenwynig yn tarddu, Math. 7. 14.

ALLTUD O EIFION.

## COFNODAU

### CYMDEITHASFA'R BALA, MEHEFIN, 1836.

Am 8 y dydd cyntaf, Yngbynulliad y llefarwyr, Sylwyd fod dau berygl arnom; Un ydyw dirmygu Crist; a'r llall ydyw dirmygu'r Ysbryd Glan, sef, son am allu a dyledswydd dyn, mewn dull fyddo yn cymylu gwaith yr Ysbryd Glan: ac y maent yn deilwng o'r symlrwydd mwyaf. Mae yn debyg mai diffyg ystyriaeth syml o hyn ydyw y camgymeriad sydd wrth son am hyn, sef cymeryd cynneddfau a'r gallu yr un peth; yn lle golygu y cynneddfau yn un peth, a'r gallu yn beth arall. Y mae symlrwydd yn angenrheidiol gyda phob cangen o'r weinidogaeth, ac yn y cyflawniad o'r holl waith, a'r meddwl am y testyn y aen trwy yr holl draddodiad ar y gennadwri. Gwelir fe allai weithiau ddiffyg o hono yn y defnyddiad o'r testyn, sef fod y testyn a ddarllenir yn cynnwys y peth yma, a'r bregeth arno yn cynnwys peth arall, nes gellid dywedyd am lawer testyn fel y dywedwyd am yr Iesu yn ei esgyniad i'r nef, 'A chwmwl a'i derbyniodd ef allan o'u golwg hwynt.'—Cynllun perffaith i ni oll mewn symlrwydd oedd yr Athraw mawr; byddai ef yn dyfod a phethau uchel teyrnas nefoedd yn agos at y rhai byraf eu deall yn y fan, a hyny dan arwyddion amlwg o awydd sanctaidd am eu lleshad.

Yna ymhelaethwyd ychydig, yn laf, Ar bregethu Crist Iesu yr Arglwydd. Tybia rhai fod yn anmhossibl pregethu Crist heb arfer ei enw yn aml. Mae yn wir fod yn rhaid wrth ei enw cyn y gellir ei bregethu, ond y mae yn bossibl ei enwi ef yn aml heb ei bregethu; a phossibl ei bregethu ef yn rhagorol, heb wneyd arferiad mor fynych ac uniongyrchol o'i enw ef.

Pregethu Crist ydyw, pregethu ei berson ef, yn ei ddwy natur ogoneddus. Pregethu ei osodiad tragywyddol, ei swyddau cyfryngol ef; ei addasrwydd perffaith ef fel Cyfryngwr yn y swyddau gogoneddus hyny; digonolrwydd ei aberth ef; a'i gyflawnder ar gyfer angen pechadur; ei ewyllysgarwch a'i barodrwydd anfeidrol i dderbyn ac amgeleddu pechaduriaid; pregethu holl gynghor Duw am drefn achub, a hyny yn ol y gwelodd efe ei hun yn dda ei ddatguddio yn ei air.

2il, Sylwyd ychydig am bregethu yr Ysbryd Glan, a'i waith. Y mae perygl i ni golli yr Yspryd trwy bregethu rhy fach ar Grist, a dirmygu Crist a'r Yspryd trwy son rhy fychan am yr angenrheidrwydd am yr Ysbryd. Fe allai fod rhy fach o son am yr Yspryd oblegid diffyg triniaethau yr Yspryd Glan ar y meddwl, a chnawd a hunan yn tyfu yn rhyfeddol. Y mae rhyw driniaethau ysprydol tebyg i'r rhai fyddai gan Dduw ar Ezeciel, sef gorwedd ar yr ystlys yma, ac ar yr ystlys arall, &c. i'w gymhwyso i'r gwaith y byddai i ymaflyd ynddo. A gwersi yr *Academy* fawr yn Mathew 5ed, gan Grist oi

hunan, os na bydd hyny yn barhaus ar ysprydoedd gweinidogion y gair, bydd gwaelu buan gydag yspryd, a matter, a phwys y weinidogaeth. Dylem gofio cynghor Paul, 'Os prophwydo a wna neb, gwnaed yn ol cyssondeb y ffydd,' Rhuf. 12. 6. 'Cyssondeb y ffydd,' yw cyssondeb holl gorph athrawiaeth y Bibl. 1af. Am Grist. 2il. Am waith yr Yspryd Glan. 3ydd. Am holl ddyledswydd dyn. Felly, pregethu Crist heb gymylu y gwaith a berthyn i ddyn; ac egluro gwaith yr Yspryd heb gymylu dim ar ddyledswydd dyn. Y mae yn angenrheidiol fod pregethu y pethau hyn mewn llwybr a dull fyddo yn rhoddi goleuni y naill ar y llall, a'r holl son am ddyledswyddau dyn bob amser ar dir yr efengyl, a hyny yn y teimlad syml a phwysig sydd yn gweddu i holl bethau yr efengyl. Gwaith ydyw gwaith y weinidogaeth y dylem fod ar wyliadwriaeth wastadol rhag hunan a balchder, a hyny ymhob ystum arno; a'r feddyginiaeth oreu rhagddo ydyw bod yn fynych yn y gymdeithas â Duw am gennadwri, ac ymchwiliad gyda difrifwch mawr i'r matter rhyngom a Duw.

3ydd. Sylwyd fod dau beth angenrheidiol iawn i fod yn y pregethau y dyddiau hyn, ar ol: sef, Ailenedigaeth—a'r gwahaniaeth rhwng gau a gwir ddychweliad. Ychydig mewn cydmariaeth yw llwyddiant y weinidogaeth y dyddiau hyn, ac ychydig o eneidiau sydd yn wobr gan y gwir weinidogion. Pa ham y mae felly, ddylai fod yn ymofyniad pwysig iawn rhyngom a Duw. Dylem fod yn ofalus iawn i ystyried a ydyw y pregethau y fath mewn pwysigrwydd a dwyster, ac y gallwn ddisgwyl llwyddiant arnynt. Dywedai un fod tri math o bregethau: y cyntaf fel ebran pur heb un gair ynddynt i fyned gyda'r gwynt. Yr ail fel ŷd yn ei ûs; ŷd da lawer ond fod eisiau ei nithio. Y trydydd math yn ûs i gyd, a elai i gyd gyda'r gwynt pe nithid hwynt. Y peth goreu i ni oll yn ein gwaeledd ydyw ymdreiglo at draed y meddyg Iesu; ac er nad ydyw ef yma, y mae ei *Lectures* ef yma gyda ni etto.

Dylai fod bod yn ddefnyddiol ar y ddaear yn awydd mawr ar ein meddyliau yn wastad; felly yr oedd Paul, gellid meddwl fod bod o ryw les ar y ddaear yn fwy pwysig ar ei feddwl, nag oedd ganddo gael mwynhau dedwyddwch y nef, Phil. 2. Heb hyny byddwn yn debyg i'r figysbren hwnw na chafodd Crist ond dail yn unig arno, yn tynu melldith arnom, a chrino o honom o radd i radd, nes crino yn gwbl cyn diwedd yr oes.

Yn y cyfarfod am 11eg. Neillduwyd y brawd Richard Jones, Llanllugan, i waith y weinidogaeth yn gyflawn. Cyflawnwyd yr amrywiol orchwylion yn y neilldaad fel y canlyn:—

Ymofynwyd am reoleidd-dra y dewisiad gan y Parch. J. Hughes, Gwrexham. Attebodd Mr. William Jones, Rhiwedog, yn gadarnhaol er boddlonrwydd. Gweddiodd y Parch. E. Richards, Tregaron. Traethodd y Parch. C. Williams, Mon, ychydig am Eglwys yn ei hundeb â'i threfn; ynghyd a'r swyddau eglwysig, a'r dewisiad iddynt. Gofynwyd barn y Brawd ar yr athrawiaeth gan y Parch. H. Rees. Rhoddwyd y cynghor i'r Brawd gan y Parch. J. Elias. Dibenwyd gorchwylion y cyfarfod gan y Parch. J. Davies, Nantglyn.

Sylwodd y Parch. C. Williams, fod y gair Eglwys yn arwyddo harddwch a phrydferthwch; felly y mae hi yngolwg ei pherchen, ac felly y mae 'hi oll yn ogoneddus o mewn,' ac felly y bydd i dragywyddoldeb. '*Un* ydyw hi fy ngholomen,' er fod llawer o gangenau eglwysi, etto nid oes ond *un* eglwys; ac un y rhaid ei bod; am nad oes ond un pen; ni all fod ond un corph, er fod aelodau lawer. Gwnaed eglwys o foncyff Abraham am lawer o flynyddoedd; ond yn awr y mae yr eglwys yn llawer o ganghenau neu aelodau ond nid oes ond un corph. *Un* sylfaen, ac *un* adeilad. *Un* Brenin, ac *un* Deyrnas. Arferir llawer o gydmariaethau i ddangos y pethau ysprydol a berthynant iddi. Un ydyw tŷ. Y mae diben mawr i dŷ, a mawr yn arbenig i'r tŷ hwn, sef i ddangos mawredd Duw mewn pethau na allasid eu dangos mae yn debyg un ffordd arall; ie, rhagorol fawredd nerth a gogoniant Duw. Tŷ, lle preswylfod,—tŷ, lle i fagu a meithrin ei blant. Colofn a sylfaen y gwirionedd y gelwir hi hefyd; mae yn dal holl athrawiaeth yr efengyl yn amlwg yn y byd. Dinas frenhinol Crist ar y ddaear ydyw hi. Bu yr Arglwydd yn pabellu gydag Abraham—wedi hyny yn amlygu ei hun ar Sinai; yna yn y Babell; wedi hyny yn y Deml; ac oddi yno i'r ddinas hon yr hon y bydd ei henw bellach, 'Yr Arglwydd sydd yno.'

Y mae yn perthyn i'r ddinas hon swyddogion, y rhai a elwir Bugeiliaid, Athrawon, Ser, Canhwyllau, &c. Enwau ydyw y rhai hyn y mae yn rhaid eu llenwi hefyd. Bellach gan hyny, y mae yn bryd gofyn yn synedig, fel Paul gynt, 'Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?' sef i ehedeg ynghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddynt. Dwy swydd, fe allai, sydd i fod yn yr eglwys; ac fe allai pe deuai corsen Duw i'n mesur, y daliem ei mesuriad cystal ag un enwad crefyddol yn y byd. Duw sydd i osod y swyddogion, efe sydd i'w dangos i'r eglwys, ac iddo ef y maent yn gyfrifol, a'r peth mwyaf i fod ar eu meddyliau ydyw ffyddlondeb dros eu holl dymor.

Y Parch. J. Elias, wrth roi y cynghor a sylwodd, y 'Dylai fod amcan gwastadol

ynom i lanhau dodrefn y tŷ, ond fod yr ystafelloedd i'w gadael genym fel y gosododd Duw hwynt, a'r hen derfynau hyny i fod yn ansymudadwy. Yr oedd yn dda genyf glywed eich golygiadau, anwyl frawd, ar fedydd a swpper yr Arglwydd, oddiar ofn fod rhai yn rhy ysgeifn gyda hwy; ond gobeithio y byddwch etto wrth eu gweini, yn derbyn amlygiadau mwy disglaer o'u gogoniant i'ch meddwl. Y mae dyn wrth fwrdd yr Arglwydd mewn lle ac amgylchiad y gall ddywedyd fel Iacob, 'Mor ofnadwy yw y lle hwn!' Diau y gellir meddwl fod eu mawredd yn fwy o'r golwg, eu gogoniant yn fwy dan len, a phethau hynod iawn yn y gweinyddiad o'r Sacramentau yn brinach na dyddiau a welwyd.

Cenhadau dros Grist ydyw gweinidogion yr efengyl, myned i'r pulpit yn *lle* Crist. Lle Crist ydyw y pulpit, ond y mae ef wedi myned adref tu draw i'r llen; a gall y gweinidog ddweud, dyma fi yn lle Crist i ddywedyd y neges drosto ef.

Dylem ni sydd yn y weinidogaeth ragori mewn duwioldeb y cam cyntaf; sef, bod yn rhydd oddiwrth yr euogrwydd a'r felldith, rhag bod o honom ni dani: ac wrth gymell eraill i ffoi at Grist, ein bod ni ein hunain yn sefyll yn ol; ac wrth gymell eraill i'r Arch, yn sefyll allan ein hunain ynghyraedd y ddrycin; gwahodd at fwrdd llawn, a newynu fy hun. Peth mawr yw bod yn oleu am ein matter ein hunain rhyngom a Duw, nes bod y difrifwch a'r symledd a weddai yn goron ar ein holl lafur gweinidogaethol ymhob man.

*Dylem* ragori ar bawb mewn gwybodaeth, nid bod fel y Parot yn siarad yn unig, ond bod yn oleu *brofiadol* yn y gwirioneddau pwysig a draddodir genym i eraill, rhagor y rhai sydd yn gwrando arnom. Dylai gweinidogion yr efengyl fod ar y blaen mewn gwybodaeth a phrofiad, ac nid hyny yn unig, ond yn blaenori hefyd mewn cymmwysderau i amddiffyn purdeb yr efengyl yn wrthwyneb i bob cyfeiliornadau a ddygir i'w herbyn. Ymddiriedwyd i chwi am yr efengyl, gofalwch chwithau fod ei holl wirioneddau ar gael, fel perlau coron Frenhinol heb i ladron ei hyspeilio, yna bydd y goron yn daclus uwch ben eich gwely pan fyddoch chwithau yn marw. Bydded ynoch yn wastadol gariad gwresog at les pechaduriaid, ac yspryd gostyngedig, a thangnefedd helaeth hyd angau, fel pan ddelo amser eich symudiad, y byddo yn symudiad i'r bedd o fynwes eich holl frodyr, er galar hir am danoch ar y ddaear, pan fyddo eich llwch yn y ddaear. A'r Arglwydd fyddo gyda chwi hyd ddydd eich ymddattodiad. Amen.



## ADDOLI YR ARGLWYDD.

*Y matter hwn a drinwyd yn Nghymdeithasfa Llanfair, ac yn y Bala*, 1836.

Sylwyd yn, I. Mai Duw yw y gwrthrych addoliad. Y mae y tri phersonau yn y Duwdod i'w haddoli, am fod pob un o'r Personau yn Dduw. Pa fodd y mae y naill Berson a'r llall yn bod yn y Duwdod, ni wyddom ni, am na welodd Duw yn dda amlygu dyfnderoedd y dirgelwch, ac am hyny dylem fod yn ochelgar ac arafaidd wrth son am hyny, a chymeryd tystiolaeth eglur Duw am hyny, fel am bob peth arall. Môr rhy arw ydyw hwn i ein cychod bychain ni anturio ymhell iddo; gwell i ni droi yn ol, nag anturio yn rhy ryfygus iddo. Y mae o bwys neillduol i ni ochelyd y golygiadau hyny sydd yn tueddu at osod y Personau dwyfol yn yr un sefyllfa ag eulynod. 'Y mae duwiau lawer, ac arglwyddi lawer, eithr i ni nid oes ond un Duw, y Tad o'r hwn y mae pob peth, a ninau ynddo ef; ac un Arglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn y mae pob peth, a ninau trwyddo ef,' 1 Cor. vi. 6. Dywedodd Paul hyn am y Personau dwyfol, mewn cyferbyniad i eulynod mudion. Y mae yn amlwg iawn yn yr Ysgrythyrau, fod addoliad dwyfol yn deilwng i yr ail Berson yn y Duwdod, fel y Personau eraill, 'Fel yr anrhyddedai pawb y *Mab* fel y maent yn anrhydeddu y *Tad*.'

Galwodd Stephan arno fel y cyfryw, 'Arglwydd Iesu derbyn fy yspryd,' Gwel Dat, v. 8—13. a vii. 10, a xxii. 21. Heb. i. 6. Nid cymmaint o ofal a arferwyd yn yr Ysgrythyr am ddim ynghylch hyn, ag a arferwyd am eglurder dysyml, 'Deuwch gwelwch y fan y gorweddodd yr Arglwydd,' ac wrth y dyn arall, 'A welaist ti Fab Duw.' Peth peryglus iawn ydyw i ni feddwl na son am y Personau dwyfol, fel pe byddent *fodau gwahanol*; *Un Duw ydynt*. Ac wrth addoli pa *un* bynag, yr ydym yn addoli Duw. Y 'mae tria pethau Duw wrth oleuni rhyw beth a elwir yn rheswm, yn arwain i dywyllwch; ac y mae yn ymddangos i'r dyn hwnw, y bydd ei reswm yn ei le yn syml, mai y rhesymoldeb mwyaf i ni greaduriaid anwybodus, ydyw ymlonyddu ar dystiolaeth y Duw anamgyffredadwy am dano ei hun, yn rheol yr holl farn a'r penderfyniadau am dano. 'Fy Arglwydd a'm Duw,' ebe Thomas, yn y goleu. 'Rhoddwyd i mi,' ebe Crist ei hun, 'bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear:' pwy a faidd feddwl yn wahanol i hyn yn wyneb yr Ysgrythyrau Sanctaidd?

II. Sylwyd, Beth yw addoli. Sylwyd nad oes un gair yn y Bibl, nac mewn un iaith, yn arwyddo ymostyngiad mor fawr, a'r gair a gyfieithir addoli. Arwydda,

Ymostwng hyd lawr, ymdreiglo wrth draed. Ymostyngiad i ddim pe byddai bossibl. Addoliad ydyw ymostyngiad y meddwl i Dduw, a cher ei fron, yn yr olwg ar ei fod a'i briodoliaethau gogoneddus, ynghyd a'i oruchwyliaethau rhyfeddol, doeth, a da. Yr oedd agwedd Moses wrth y berth ac ymddiddan yr Arglwydd ag ef, yn rhoi mantais fawr i ni ddirnad rhyw beth am addoli. Gweledigaeth fawr! . Daear sanctaidd! Diosg yr esgidiau, a syrthio ar y ddaear hefyd. Agwedd ryfedd oedd ar y Prophwyd Esay pan welodd Arglwydd y lluoedd, a'i odrau yn llenwi y Deml, Esay vi. 5. Exod. iii. 3—5.

Cydnabyddiaeth o fawredd Duw, ei berffeithiau gogoneddus, a'r rhwymedigaethau sydd arnom ninau iddo ef o herwydd mai efe a'n gwnaeth, ac yw ein cynhaliwr, ac mai efe hefyd yw Duw ein iachawdwriaeth.

1. Y mae adnabyddiaeth o Dduw yn hollol angenrheidiol i'w addoli. Ni ellir ei addoli heb ei adnabod. Goleuni datguddiad yr Yspryd Glan o hono yn wyneb Iesu Grist, a hwnw hefyd yn oleuni ysprydol yn meddwl y pechadur am bob peth arall, ac yn ei ddwyn yn briodol i'r agwedd hon ger bron Duw. Y mae y goleuni hwn yn oleuni ynddo nid yn unig am fawredd a gogoniant Duw, ond hefyd am ogoniant ei ddeddf sanctaidd, a drwg a ffieidd-dra pechod, ynghyd a'i waeledd ei hunan, nes bydd yn fraint ganddo addoli'r Arglwydd. Dedwyddwch tragywyddol y saint fydd hyn, adnabod yn berffaith, ac addoli yn berffaith i dragwyddoldeb.

2. I addoli, y mae yr holl enaid yn weithgar a bywiog, a gras yr Yspryd Glan yn yr enaid mewn llawn weithrediad, heb hyny, ni bydd dim addoli Yn yr adenedigaeth y mae yr yspryd hwn yn cael ei adferu i bechadur, yr hwn a gollodd ef yn llwyr yn y cwymp mawr, ac y mae yn adferiad pob gras, ac ar bob cynneddf, nes bydd greddf addoli Duw ynddo, yn cyfarfod a phob amlygiad o eiddo Duw o hono ei hun; ac i ymarfer a phob moddion ac ordinhadau sydd o'i osodiad ef i'w ddatguddio ei hun, ac i amgeleddu ei bobl.

3. Y mae addoli Duw i fod yn yr ymarferiad o'i ordinhadau, yn bersonol, teuluaidd, a chyhoeddus. Mae'n debyg mai mewn *gweddi*, a *mawl* yn fwyaf uniongyrchol; er y dylai fod wrth ymarfer a'r *holl* ordinhadau eraill. Y mae yr enaid wrth ymarfer a'r ordinhadau, yn derbyn amlygiadau adnewyddol o Dduw a phethau ysbrydol, nes byddo adnewyddiad ar yspryd addoli, a chryfhad ar uwyddfryd a grym yr enaid at hyny.

Gellir myned trwy holl gylch yr ordinhadau heb ddim o addoli, a gellir bod dan ddylanwadau cryfion o fraw a dychryn, &c. heb fod yn addolwyr y Tad, mwy na'r cythreuliaid, Iago ii. 19. neu Felix, Act. xxiv. 25. Dylem gadw golwg o hyd mai amcan mawr y meddwl wrth ymarfer a'r holl ordinhadau ydyw addoli; a chadw golwg hefyd ar y perygl o fod mewn agweddau cyffredin, ac islaw hyny gyda hwy. Hyn a barodd i Dduw ffieiddio ebyrth a gwasanaeth y rhai hyny yn Esay 66. 3. Gellid meddwl fod gwir addoli yn isel yn y wlad, a pherygl iddo waelu mwy etto. Trwm iawn ydyw edrych ar yr annhrefn a'r gwylltineb o amgylch tai addoliad. Y rhuthro i mewn ac allan—agwedd hyfach yn dyfod i dŷ yr Arglwydd, nag i dai dynion—eistedd yn lle penlinio wrth weddio—ac fe allai y gellid canfod y diffyg o yspryd addoli weithiau, hyd yn nod mewn rhai tonau a genir; y rhai o bossibl sydd yn effeithio mwy ar lygredigaeth dynion, nag ar y gras sydd ynddynt. Byddai yr hen ddiwygwyr yn ofalus iawn gynt, am hyn hefyd, ac yn llafurio i gael y rhan hon o'r addoliad yn bur. Fe allai fod diofalwch yr eglwysi am y rhan hon yn un achos o'r gwaeledd yn hyn, trwy adael iddi fyned yn ormodol dan olygiaeth rhai amddifaid hollol o yspryd addoli Duw. Rhy brin y gellid meddwl fod offer cerdd yn briodol i addoliad cyhoeddus; hwyrach y gall fod o ryw gynnorthwy teuluaidd.

4. Sylwyd hefyd ar amryw bethau sydd yn dyrysu ysprydoedd y saint gyd ag addoliad yr Arglwydd. Nodwyd yn (1) Fod diffyg cariad a thangnefedd yn ddyryswch mawr yn hyn. Fe allai fod manau yn y wlad, a bedyddio, cymmuno, a gweddio ynddynt trwy'r flwyddyn, a rhagfarn a thramgwydd yn ei nerth; dyrchafu dwylaw ansanctaidd, mewn dicter a dadl trwy flynyddoedd meithion. Rhaid bod balchder y dyn hwnw, neu y dynion hyny yn fawr, a'r addoli yn ddim. Dywedodd Paul gynt am agwedd anaddas rhai yn Corinth yn dyfod at fwrdd yr Arglwydd, 'Nid bwyta swpper yr Arglwydd yw hyn,' felly gellid dywedyd am gyflawniadau crefyddol dynion mewn yspryd oer a thramgwyddedig, '*Nid addoli ydyw hyn.*' Y mae oerni a thramgwydd, yn cenhedlu chwerwder tymer ac ymddygiadau bron bob amser, a pheth croes iawn i addoli ydyw hyn. Dylem ymgyfamodi â ni ein hunain yn erbyn chwerwder. Dylem fod yn ambarod i roi tramgwydd, ac i gymmeryd tramgwydd. Mae eisiau ein 'troi a'n gwneuthur fel plant bychain.' Diniwaid a maddeugar ydynt hwy, felly y dylem ninau fod yn wastadol. Ffydd a chariad sydd i flaenori ryw fodd yn yr holl wasanaeth dwyfol; a lle y byddo y rhai hyn yn gryfion a bywiog eu gweithrediadau; y mae anwyldeb, hedd, ac undeb yn addurniadau gogoneddus yn yr holl gymdeithas, a'r holl wasanaeth i gyd.

Aphan lithro y meddwl i ryw raddau oddiwrth hyn, dylai fod braw arnom rhag nesu at Dduw, yn y fath agwedd a hon. Tywallted yr Arglwydd ei Yspryd arnom, ac ar y wlad.

JOHN FOULKES,* YSGRIFENYDD.

———o———

ELUSENGARWCH.

Hybarch Olygydd. Tebygaf fod yr hyn a ganlyn am Mr. David Lewis, o Aberystwyth, Bragwr, yn deilwng o sylw, ac efelychiad, gan bob dyn, yn ei haelioni a'i elusengarwch i'r gweddwon a'r ymddifaid tlodion.

Yn nechreu y tywydd rhew diweddaf, gorchymynodd Mr. D. Lewis i wr o un tŷ, a gwraig o dŷ arall yn Llanon, Ceredigion, i fyned gyda'u gilydd trwy y pentref mawr hwnw, a'i amgylchoedd, i edrych sefyllfa ac amgylchiadau y tlodion yno; a chafwyd fod llawer o honynt yn dlodion iawn, yn enwedig yn eu gwelŷau, ac hefyd er eu mawr syndod, cafwyd yno dri theulu heb gymmaint ag un sill o air Duw o fewn eu magwyrydd! Gresyn orfod credu hyn hefyd, am wlad mor lawn ei breintiau: ond dyna y gwirionedd.

Yna gwnawd llechres o'r rhai mwyaf tlodion, ac a'i dodwyd i Mr. David Lewis. Ac ar y 29 dydd o Ragfyr diweddaf, tu ag at ddiwallu graddau o'u hangenion, cyfranodd yntau iddynt yn rhad roddion, yr hyn a ganlyn,

| | | | |
|---|---|---|---|
| 18 o Wrthbanau newyddion 7s. yr un | £6 | 6 | 0 |
| 12 o Gwiltau neu (*Counterpanes*) 4s. yr un | 2 | 8 | 0 |
| 12 o Lenni Gwelyau (*Sheets*) 2s. yr un | 1 | 4 | 0 |
| 2 Napcyn 1s. 2c. 3 Testament Cymraeg 7c. | 0 | 4 | 1 |
| | £10 | 2 | 1 |

Gobeithio y bydd i lawer etto i ddilyn y siampl ragorol hon, a chofio geiriau y doethaf o ddynion a fuodd ar y ddaear erioed, 'Yneb a gymmero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd, a'i rodd a dâl efe iddo drachefn.'

Yr eiddoch, B. EVANS.

———

## Afonydd y ddaear.

Mae yr afonydd yn un o brif ryfeddodau'r ddaear, gan ba rai y bylchir hi bob ffordd. Maent yn lluosog iawn, ac ymddengys eu bod yn rhan hanfodol o gyfansoddiad y ddaear, megys y mae'r mynyddoedd o ba rai y tarddant, a'r môr i ba un y rhedant. Cyfrifir fod ar yr hen Gyfandir tu a 430 o afonydd, y rhai a ymarllwysant i'r moroedd cylchynol: ond ar y Cyfandir newydd, America, ni wyddys etto fod dros 145, y rhai hyny hefyd a ddylifant i'r moroedd. Yn y cyfrifiad hwn, ni chyfrifir ond yr afonydd mawrion, megis Thames, Danube, Wolga, a Rhone. Heblaw y rhai hyn, y mae miloedd lawer o rai bychain, llai eu maintioli, yn tarddu o'r mynyddoedd, ac yn dirwyn bob ffordd, hyd onid ymarllwysant i afonydd mwy neu i'r môr.

Yr afonydd mwyaf yn Ewrop ydynt, y Wolga, yr hon a gyfyd yn ngogledd-barth Rwssia, ac wedi rhedeg tua dau cant ar bymtheg o filltiroedd, a ymarllwys i fôr Caspia. Danube, rhedfa pa un sydd 1300 o filltiroedd, o fynyddoedd Swiss i'r môr du. A'r Don, yr hon a red ysbaid 1200 o filltiroedd.

Yr afonydd mwyaf yn Asia ydynt, yr Hoanho, yn China, hyd pa un sydd 2400 o filltiroedd. Boorhampooter, yr Euphrates, a'r Ganges.

Yr afon fwyaf yn Africa yw'r Nilus, rhedfa pa un a dybir fod tu a 2000 o filltiroedd o hyd.

Ar gyfandir America, y mae yr Amazons, yr afon fwyaf ar y ddaear, yr hon a red ar draws deheudir America tu a 3000 o filltiroedd, hyd onid ymarllwys i fôr mawr yr Atlantic, yn 150 milltir o led. Y nesaf i hon yw afon St.Lawrence, yr hon sydd dros 2400 milltir o'i tharddiad i'w hymarllwysiad. Afonydd La Plata, a Mississipi hefyd, ydynt tu a 2000 milltir o hyd. Pan ystyriom rifedi a helaethrwydd y ffrydiau mawrion hyn, ymddengys fod cyflawnder dirfawr o ddifroedd yn ymdywallt yn barhaus i'r moroedd o bob tu. Oddiwrth sylwadau a wnawd ar yr afon Po, yr hon sy'n rhedeg trwy Lombardy, ac yn dyfrhau gwlad 380 milltir o hyd, a 120 o led, cafwyd ei bod yn rhedeg yn ol 4 milltir yr awr, a'i bod yn fil o droedfeddi o led, a deg o ddyfnder, ac o ganlyniad, mae yn arllwys 5068 o filiynau o droedfeddi chwe cyfochrog (cubical) o ddwfr yn y dydd i'r môr, neu filltir chwe cyfochrog mewn 29 o ddyddiau! Oddi ar y dybiaeth fod y mesur o ddyfroedd a dywallt afonydd pob gwlad i'r môr, yn gyfartal i'r hyn a wna eiddo y wlad hon, mae yn canlyn, fod y mesur o ddyfroedd a redant i'r moroedd dros yr holl ddaear yn 1083 o weithiau yn fwy nag a rydd yr afon Po i'r môr (wrth ystyried y sychdir yn 49 miliwn o filltiroedd ysgwâr,) ac yn tywallt i'r moroedd 13,630 milltir chwe' cyfochrog o ddyfroedd yn y flwyddyn. Yn awr, gan yr ystyrir y moroedd oll yn cynnwys 296 miliwn o filltiroedd chwe cyfochrog o ddyfroedd, pe dosberthid y rhifnodau olaf hyn a'r rhai blaenorol, gwelid fod yn gynnwysedig yn 21,716. Oddiwrth hyn ymddengys, pe llwyr ddyhysbyddid y moroedd oll, y byddai y dyfroedd dros ugain mil o flynyddoedd cyn cyflawn lenwi yr eigion mawr drachefn, yn ol dyllifiad presennol yr afonydd oll drwy'r byd.

Yna y mae dan efyniad yn dyfod i mewn yn naturiol—O ba le y derbyn yr afonydd gyflawnder parhaus o ddyfroedd? A pha ham na buasai y moroedd mawrion er ys talm wedi gorlifo y sychdir, gan fod y fath ddirfawr gyflawnder o ddyfroedd yn parhaus ymarllwys i'w eigion? Bu hyn yn dyrysu philosophyddion am oesoedd; ond cafwyd allan i foddlonrwydd, wrth ystyried effeithiau mygdarthiad. Tynnir gronynau dwfr o'r môr, gan wres yr haul i'r awyrgylch; gyrrir hwynt gan y gwynt, ar ddull cymmylau neu darth, dros wyneb y tir; yna ymgasglant a disgynant ar bennau ac ochrau mynyddoedd, y rhai, wedi ymsuddo trwy agennau a geudyllau y mynyddoedd, a darddant yn ffynnonau; llawer o ba rai, wedi cyfarfod yn yr un dyffryn, a wnant nant neu ffrwd; llawer o'r rhai hyn eilwaith a wnant afon fawr, megis y Thames, y Danube, y Rhine. Bod mygdarthiad yn ddigonol i effeithio hyn, a gafwyd allan trwy lawer o brofion a chyfrifiadau. Profwyd fod 5,280 miliwn o dunelli o ddwfr yn cael ei dynu bob dydd, trwy fygdarthiad, o fôr y Canoldir, yr hwn sydd yn 762,000 milltir ysgwar arwynebol, tra na rydd yr afonydd a ymarllwysant iddo ond 1827 miliwn o dunelli, yn yr un ysbaid, felly tynnir, o fôr y canoldir, trwy fygdarthiad, yn mron cymmaint o ddwfr dair gwaith, ag a red iddo.

Syrth y drydedd ran o hwn ar y môr cyn cyrraedd tir; a'r llall ar isel-diroedd, er maeth llysiau; ac y mae'r gweddill yn llawn ddigon i gyflenwi yr afonydd a redant i'r môr. Mae hyn yn hollol gydsefyll â'r hyn a ddywedir gan Naturiaethwr sanctaidd: 'Yr holl afonydd a redant i'r môr, etto nid yw y môr yn llawn: o'r lle y daeth yr afonydd, yno y dychwelant eilwaith.'

Ettyb yr afonydd ddybenion pwysfawr yn nhrefniadaeth ein daear ni. Dygant ymaith y gormodedd o ddyfroedd a syrth trwy'r gwlawogydd, neu a dardd o'r ffynnonau, y rhai, oni bai hyny, a safent yn llynwynau drewedig; cyflenwant y môr, i'w ddigolledu, a'r hyn a gyll trwy fygdarthiad beunyddiol; oerant yr awyr, a pharânt iddi gylchrediad arafaidd; ffrwythlonant y gwledydd y rhedant trwyddynt; rhydd eu dyfroedd ddiod iachus, a'u pysg ymborth moethus i ddyn; rhwyddhant fasnach, trwy gludo cynnyrch natur a chelfyddyd o ganol gwledydd i'r môr; ffurfiant allnoedd celfyddol i yrru peirianwaith o amryw fath; adfywiant ac amrywiant olygfa y gwledydd y rhedant trwyddynt; aml raiadr hefyd ffurfiant, yn enwedig yr un aruthrol hono sydd rhwng llynoedd Ontario ac Erie, yn Ngogledd America, 150 troedfedd o uchder. Clywir ei swn 30 neu 40 milldir o ffordd; felly mae pob rhan o gyfansoddiad natur wedi ei drefnu i fod yn fuddiol ac yn hardd.—*Thomas Dick's Christian Philosopher.*

*Llanbedr.* Cyf. D. Evans.

## Y Dysgawdwr Cyffredinol.

(Parhad tu dalen 23.)

44. Mewn sylw diweddar fe gafwyd allan fod yn agos i gant o amrywiol fathau o laswellt, o ba rai mae dau brifddosparthiad, glaswellt naturiol, a glaswellt celfyddydol; ac fe ddichon i'r amrywiol rywogaethau gael eu hau a'u meithrin naill ai ynghyd, neu ar wahân; yn ol natur y tir, neu amcan y meithrinwr.

45. Y glaswellt naturiol ydynt yn dra lliosog yn eu rhywogaethau; ac fe'u dewisir yn hytrach i diroedd a fwriedir eu cadw i borfâau. Y glaswellt celfyddydol ydynt, y *ray-grass*, *clover* coch, *trefoil*, *sanfoil*, *lucern*, efrau, *yarrow*, *turret*.

46. Ar lawer o dyddynod mae gwartheg yn cael eu cadw o herwydd y llaeth maent yn ei roddi, i'r dyben o wneuthur ymenyn a chaws. Ymenyn a wneir o hufen wedi ei gorddi mewn buddai; a'r rhan olewaidd o'r hufen ydyw, neu fath o olew caled. Caws a wneir o laeth wedi ei geulo efo caul; ac wedi ei geulo mae yn cael ei wasgu, ei lunio, a'i sychu.

Syl. Caul a ddarperir o gylla llo, yr hwn ar ol ei gyffeithio i'r dyben, a sychir, ac wedi hyny a fwydir mewn dwfr am ychydig oriau. Y dwfr hwn wedi toddi math o *acid* ynddo, a gymmysgir a'r llaeth yr hwn mae yn ei geulo yn fuan. Mewn masnach y cyllâau hyn a elwir *vells*. Byddai pob caws yn wyn oni bai ei fod yn flaenorol yn cael ei liwio âg annatto Yspaenaidd, neu ryw un arall. Y tyddynod caws mwyaf ydynt yn Siroedd Caerlleon a Dinbych; ac mewn rhai o'r rhai hyn cedwir 500 o wartheg llaeth.

47. Yn Lloegr, ers ychydig flynyddoedd yn ol, fe wnaethpwyd detholiadau o rywogaethau gwartheg, defaid, &c. o blith y rhai hyny sydd yn tewychu gyntaf, y rhai mwyaf blasus eu cig, y gwlan goreu, y ffurfiau harddaf, &c.

48. Yn mhlith ychen, y rhai sydd yn cael y blaenoriaeth, ydynt y canolgorniog neu rywogaeth *Devonshire*, am weithio: y byr-gorniog, y brithion, a rhai Alderney, am laetha.

Yr hir-gorniog, yr ychen Cymreig, y Kyjeloeaidd, a rhai Fifeshire, sydd ganddynt hefyd eu gwahanol ddybenion a'u canmoliaethau.

49. Yn mhlith rhywogaethau diwygiedig y defaid, y rhai mwyaf dewisol yw rhai South Down; ond rhywogaethau Teeswater, Dartmoor, a Romney-marsh, ydynt y rhai mwyaf; defaid Leicester newydd Lincoln a ydynt y nesaf; ac mae

ma un o ddefaid Lincoln yn pwyso 11lb. Y defaid a'r gwlan meinaf, ydynt rai Merino, Ryeland, a Shetland, ond nid yw eu cnu yn pwyso ond yn unig o 2 i 3lb.

50. Y gwrryw o'r defaid a elwir *hwrdd* neu *maharen*; a'r fanyw, *dafad* neu *famog*. Maent yn gyffredin yn cael eu cneifio yn mis Mehefin; ac fe'u gelwir defaid un-cneif, dau gneif, neu dri-chneif, yn ol eu hoed.

Syl. Gan fod Lloegr heb ddim bleiddiaid a chreaduriaid ysglyfaethus eraill ag sy'n dyfetha defaid, mae yn mwynâu manteision neillduol uwchlaw teyrnasoedd eraill yn mha rai mae gwyliadwriaeth gwastadol ar y praidd yn angenrheidiol. O ba herwydd mae gwlan yn un o gynnyrchiadau sefydlog y wlad, a'i wneuthuriad i frethynau, gwlaneni, hosanau, &c. ydyw prif wreiddyn cyfoeth y wlad.

51. Ceffylau a ddosparthir yn rhedegfeirch o waed neu rywogaeth Arabiaidd; ceffylau llog neu marchogaeth; cerbydfeirch; gwineuon Cleveland; byrion Suffolk; y Clydesdaliaid; a duon Bakewell; pob math o honynt wedi eu cymmwyso i wahanol ddybenion o ddefnydd a llesâd

52. Moch ydynt yn wahanredol o rywogaethau Berkshire, Hampshire, a Siroedd Amwythig a Chaerloyw, y Chineaid gwynion, a'r cynffonau chwyfiadol; oll yn wahanol yn eu dulliau a'u cymmeriadau.

53. Amrywiol greaduriaid cynnyrchiadol eraill ydynt hefyd wrthrychau gofal yr amaethwr; megis dôf-adar er cael wyau; gwyddau, hwyaid, *Turkeys*, adar Guinea, a cholomenod; gwenyn i gael mêl; a physgod wedi eu cau mewn llynoedd. Amaethwyr ydynt hefyd yn tynu *cider* o afalau, *perry* o gellyg; ac amryw fathau o win Brytannaidd hefyd o wahanol ffrwythau.

Syl. Yn Ffrainc, Portugal, &c. lle mae grawnwin yn aeddfedu yn yr awyr agored, gwinllanoedd, neu feusydd o winwydd yn tyfu fel planhigion o eirin Mair, (*gooseberries*) neu diroedd *hops*, ydynt wrthrychau mwyaf enillfawr y gorchwyl amaethyddawl, a thymmor cynhauaf y gwin, neu gasglu i mewn a gwasgu y grawn, ydyw y tymmor prysuraf yn y flwyddyn.

54. Mae pob amaethdŷ wedi ei ddarparu â chegin-ardd, er meithriniaeth llysiau a ffrwythau: ac mae y gelfyddyd o Arddwriaeth yn ffurfio hefyd un o'r cangenau mwyaf defnyddiol a hyfryd o alwedigaeth wladol. Heblaw cegin-erddi i fagu llysiau, mae hefyd erddi-ffrwythau, neu perllanau, blodauerddi, a gerddi difyrwch.

55. Trwy y gelfyddyd o arddu, mae ffrwythau un rhan o'r byd yn cael eu cynnyrchu a'u meithrin gyd â llwyddiant mewn hinsoddau eraill, i ba rai maent yn ymddangos yn anghymmwys.

Syl. Felly, yn Lloegr, y prif ffrwythau naturiol ydynt *wortleberries*, y mefus, y cryglys, rhyw fathau gwaelion o eiryn, cnau cyll, y mês, y mwyar, ffrwyth yr ysgaw, (*the elder-berry*), yr egroes, a'r ogfaen; ond yn bresenol mae genym eiryn Mair, (*gooseberries*) grawn Corinth, (*currants*), afalau, gellyg, math rhagorach o eiryn, bricyll, (*apricots*,) afalau pïatus, (*peaches*) eiryn pïatus, (*nectarines*) pompiwn, (*melons*), y pinwydd, (*pines*), a grawnwin—y rhan fwyaf o honynt o wledydd dieithr, ac a feithrinwyd gyntaf yn Lloegr o fewn tri chan mlynedd.

56. O fewn y saith mlynedd diweddaf cafodd y pren bara ei symmud o ynysoedd mor y dê, a'i adblanu yn yr India orllewinol; a'r holl bêr-lysiau, priodorion yr India ddwyreiniol, ydynt yn awr yn cael eu meithrin yn yr India Orllewinol, a deheudir yr America. Hyd yn nod y pren *te*, yn hir a edwicid gan y Chineaid, yn awr a feithrinid yn Brazils.

57. Y cloron, (*potatoes*), ag sydd yn gyfran mor helaeth a iachusol o'n hymborth, ydoedd yn anadnabyddus yn Ewrop o ddeutu dau can mlynedd a aeth heibio, ond a ddygwyd o'r America gan Raleigh. Yr amser sydd mewn coffa 500 mlynedd cyn Crist, pan y dygwyd y gwenith cyntaf i Ewrop o Asia Leiaf. Hyd yn nod pŷs, ffa, a phob grawn blodiog eraill ydynt estronol yn Lloegr.

58. Y cyfryw, hefyd, yw celfyddyd dyn, fel y mae yn gwellâu pa beth bynnag a fyddo yn ei feithrin. Trwy impio blagur o ragorach ffrwythau ar foncyffiau cyffredin coed, mae yn gwellau, ac hyd yn nod yn newid, cynnyrch naturiol y pren; a thrwy drin a dethol ei hadau, mae yn gwellau ac yn helaethu pob cynnyrch llysieuol.

Syl. I chwanegu at effaith anturiaethau personau unigol, ni a gawsom yn ddiweddar Gymdeithasau Amaethyddawl a Garddwriaethol, (*Agricultural and Horticultural Societies*,) a'r cynnydd maent hwy wedi ei wneuthur, ac yn ei wneuthur, sydd yn rhagori ar ddim a welodd ein henafiaid.

59. Trwy y gelfyddyd o arddwriaeth geill dau, tri, neu bedwar o bobl, gael cynnaliaeth helaeth oddiwrth bob erw (*acre*) o dir mewn meithriniad; ond nid oes, mewn un wlad heb feithriniad, uwchlaw un trigianydd dynol i ddwy filldir ysgwâr, neu 1280 o erwau. Ac hyd yn nod ar y darn helaeth hyny, nid yw cynnaliaeth i'w gael ond gyd ag anhawsder; y cyfryw yw goruchafiaeth celfyddyd ar natur, a'r cyfryw i'w gwerth gwybodaeth!

60. Yn Lloegr a Chymru mae *tair mil-*

*iwn ar ddeg* o drigolion, a *dwy filiwn ar bymtheg ar hugain* o erwau o dir; o ba rai mae yn agos ddeg miliwn ar hugain yn cael eu llafurio, neu yn cael eu defnyddio i borthi anifeiliaid: y saith eraill ydynt ddiffeithdir, neu heb fod yn addas i'w llafurio. Mae yn bod, o ganlyniad, erw a hanner o dir llafur i bob person.

Syl. Mae wedi ei sicrâu, y bydd i erw o dir a'i ddefnyddio fel gardd, gynnyrchu cynnaliaeth reolaidd i bedwar o bobl; mae yn canlyn, pe byddai i'r tir yn Lloegr gael ei drin *felly*, byddai iddo gynnal poblogaeth o 120 miliwn; ac, gyda'r amrywiol oddefiadau, o leiaf 100 miliwn, neu wyth gymmaint a'r nifer bresenol.

61. Mae pob un o'r bobl yn difa mewn blwyddyn, un *chwarter* o wenith, sef cynnyrch hanner erw; tri *bwshel* o haidd mewn *cwrw*, sef yr hyn a dŷf ar yr wythfed o erw; un ddafad, yr wythfed ran o ŷch, y drydydd ran o oen, llo, a mochyn, yr hyn sydd yn gynnyrch dwy erw; ac mewn llysiau a ffrwythau, cynnyrch yr wythfed ran o erw; yn gwneuthur ynghyd yn agos i ddwy erw.

Syl. Yn awr, gan fod 13 miliwn o drigolion, ac yn unig ond 30 miliwn o erwau llafuriedig, a phob un yn difa cynnyrch tair erw, mae yn amlwg fod yn rhaid i'r dull o fyw gael ei newid, neu bydd yn rhaid i dair miliwn o bobl newynu. Hyd yma fe wneuthpwyd y diffygion i fynu trwy golledion y tlodion gweithyddol, trwy ddygiad i mewn o wledydd tramor flawd, gwenith, rice, a thrwy bysgod ac ymborth Gwyddelig; ond gan fod pob dyn ag sydd yn bwyta cig yn treulio yn hyny yn unig gynnyrch dwy erw, mae yn rhaid i'r drefn gael ei chyfnewid, neu golledion mawrion eu goddef.

62. O'r deng miliwn ar hugain o dir llafur mae naw miliwn yn cael eu defnyddio mewn amaethyddiaeth aredigol; pymtheg miliwn i borthi anifeiliaid; un miliwn a hanner mewn coedwigoedd a gwrychoedd; un miliwn a hanner mewn ffyrdd, dwfr, ac adeiladau; ac un miliwn caeadoedd hopys, gerddi, a thiroedd dyfyrwch; a'r ddwy filiwn weddill yn gorwedd yn fraenardir.

Syl. Y saith miliwn o ddifeithdir ydynt gynnwysedig gan mwyaf o gyttiroedd a rhosleoedd, ac fe gyfrifir fod pedair miliwn o honynt yn gymmwys i ddwyn amryw fathau o gynnyrch; y tair eraill ydynt fynyddoedd, neu heb ddyfnder tir tyfadwy.

63 Y nifer o ychen a leddir, yn flynyddol yn Lloegr a Chymru, ydyw o leiaf filiwn; o ddefaid, naw miliwn; o wyn, lloiau, a moch, naw miliwn; heblaw deng miliwn ar hugain o ddofednog a helwriaeth; aneirif o fan adar a physgod.

Syl. Nifer y ceffylau sydd yn agos i ddwy filiwn; o ba rai mae miliwn a hanner yn cael eu defnyddio mewn amaethyddiaeth a masnach. Fe gyfrifir fod ceffylau yn difa y bymmed rhan o holl gynnyrch y tir; h. y., cynnyrch pedair erw y ceffyl ar yr oll o'r tir neu ddwy erw bob un o'r naw miliwn hyny a ddefnyddir i godi ŷd.

64. Ar amcaniaeth, mae pob gwr, gwraig, a phlentyn, yn difa deng owns, y dydd, o ymborth anifeilaidd, neu 220lb, yn y flwyddyn; yr hwn, mewn ymborth anifeilaidd, sydd gynnyrch blynyddol dwy erw o dir.

Syl. Mae wedi ei gael allan, pa fodd bynnag y bydd i'r unrhyw ddwy erw wedi eu planu â chloron, gynnyrchu, ar amcaniaeth uwchlaw deng tunell yr erw, neu ddeugain mil a phedwar o bwysau; ac, yn ganlynol, roddi un cant ac ugain pwys o gloron bob dydd ar hyd y flwyddyn!

65. Pe byddai iddynt gael eu hau â gwenith, cynnyrch yr unrhyw ddwy erw, (yr hwn gynnyrch ni fyddai ond 220 pwysau o ymborth anifeilaidd), a ddygai 4000 pwysau o rawn; neu ddeg pwys o wenith yn y dydd, a gadael digon at hadyd. Os mewn pŷs neu ffa, y ddwy erw a ddygent yn yr un cyfatebolrwydd. Maip a moron cochion ydynt mor gynnyrchiol a chloron; ond moron gwynion yn sicr ddwywaith pwysau cloron.

Syl. Da y sylwa Mr. Middleton, 'y bydd i bob erw gynnal un dyn yn dda, ar ymborth *llysieuol*: ond,' meddai efe, 'bydded iddo newid ei luniaith yn unig, i un pryd yn y dydd o ymborth anifeilaidd, a bydd yn angenrheidiol iddo gael cynnyrch pedair o erwau!' Sylwa yr un awdwr hefyd, 'fod y sŷth, neu y maeth sydd mewn cloronen yn bedwaredd ran o'i chyflawn bwysau; ac fod swm y sŷth neu y magwraeth, sydd ar erw o gloron, yn gymmaint bedair gwaith' [neu, ½ yn fwy bedair gwaith'] 'nag mewn erw o wenith!' Y rhai sydd am ymofyn ychwaneg o wybodaeth ar destynau amaethyddol, a ddylent ymgynghori â *Young's Farmer's Kalendar*; gwaith a ddylid ei gael yn mhob ty amaethwr a theuluoedd gwladol.

## Adolygiad y Wasg.

"TRYSORFA YR ATHRAWON."

Ysgrifena y Parch. Thomas Phillips, (Cenadwr y Gymdeithas Feiblaidd dros Gymru) fel hyn:—'Mor belled ac y darllenais y Llyfr bychan a elwir '*Trysorfa yr Athrawon*,' cefais le i farnu ei fod yn atteb idd ei enw. Mae yn cynwys llawer o wybodaeth mewn ychydig o le, ac am ychydig o bris. Meddyliwyf y bydd yn neillduol o ddefnyddiol i athrawon ein Hysgolion Sabbathol i wasanaeth pa rai

y bwriadwyd ef, yn benaf; ac nid iddynt hwy yn unig, ond dichon fod o fawr ddefnydd i Rieni duwiol sydd yn arfer hyfforddi eu teuluoedd gartref, ac yn gynnorthwy nid bychan i bwy bynnag sydd a'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos.' T. PHILLIPS.

*Llundain, Rhag.* 14, 1836.



"CANAU DUWIOL I BLANT."

Am y Llyfr hwn, dywed awdwr yr Esponiad ar y Testament Newydd, fel hyn:—'Wele o'r diwedd delynau bach Cymreig i blant yr Ysgolion Sul yn Nghymru, er cymmaint ac er amled eu breintiau drwy y blynyddoedd, ni chawsant ganiadau moesol a chrefyddol addas i'w hoedran meddylgar hyd yn bresenol. Gwyr pawb fod Caniadau y Dr. Watts, yn enwedig ei ganiadau i blant yn rhagori ar bob peth a gyfansoddwyd i'r perwyl hwnw yn yr iaith Saesoneg erioed. A phwy bynag a gymharo y cyfieithiad hwn a'r gwaith cysefin, a wel fod y cyfieithydd wedi cystadlu, os nid rhagori ar yr Awdwr clodfawr a chlodwiw drwyddo oll. Ac fel y cyfryw, dymunwn ei gymbell i sylw a gwasanaeth holl Athrawon ac Athrawesau yr Ysgolion Sabbathawl yn mhlith pob enw o grefyddwyr drwy y Dywysogaeth. Ydwyf yr eiddynt oll yn ddiffuant. 'JAMES HUGHES.'

Mae y ddau Lyfr uchod ar werth gyd a'r Llyfrwerthwyr ymhob tref yn Nghymru, fel y gwelir ar Amlen y Drysorfa am y mis diweddaf, Ionawr.

---

## CYNNORTHWY

I'R MYFYRIWR YSGRYTHYROL.

*Sef Mynegai cyflawn a Geiriadur cryno o'r Bibl Sanctaidd.*

Mae y llyfr hwn yn cyfatteb yn gyflawn i'w enw, ac ymhob golygiad yn debyg o atteb dybenion ei Awdwr a'i gyfieithydd, sef 'i fod yn gynnorthwy i laweroedd i iawn ddefnyddio gair Duw mewn modd buddiol iddynt eu hunain.'

Mi ddarllenais y llyfr ar amryw eiriau yma ac accw, a hyd y gwelais i, a chyn belled ag yr wyf yn gallu barnu, y mae ef yn eglurhau y geiriau gyda chymmwysder ac amlygrwydd mawr iawn, fel y mae yn anhawdd cael mewn un llyfr o'i faintioli gymmaint cynnorthwy i'r neb a ewyllysio ddeall meddwl a gwir ystyr geiriau yr Ysgrythyr lân. Y mae hefyd yn nodedig o gyflawn a chryno: mae yn cynnwys llawer iawn mewn ychydig eiriau.

Gobeithio a hyderu yr wyf, y bydd i amryw o Athrawon yr Ysgol Sabbathol, a llawer o'u hysgolheigion, ei bwrcasu a'i ddarllen, er eu mawr fuddioldeb. Gwel Amlen y Drysorfa y Rhifyn hwn.

CYHOEDDWR Y DRYSORFA.

---

## Gofynion.

---

Barchus Olygydd,—A wnewch chwi, neu un o'ch Gohebwyr deallus, ddangos pa fodd y mae dirnad a chysoni yr hyn a ddywed Luc ix. 28. A'r hyn a ddywed Math. xvii. 1. a Marc ix. 2. Mae Mathew a Marc yn dywedyd, mai 'wedi chwech diwrnod' ar ol yr ymddiddan y bu hyn; ond mae Luc yn dywedyd mai 'ynghylch wyth diwrnod' wedi y geiriau hyn y gwedd-newidiodd Crist. Eglurhad ar hyn a fawr foddlona eich cyson ddarllenydd, PHERCONTATOR.

*Woodstock, Rhag.* 17, 1836.

---

Syr,—Pa fodd y gellir dywedyd fod ein Iachawdwr 'dridiau a thair nos' yn y bedd, pan na bu ond darn o ddau ddydd, ac un dydd cyfan rhyngddynt? Eglurhad ar hyn a fawr foddlona eich cyson ddarllenydd, PHERCONTATOR.

---

Syr, Byddaf yn rhyfeddu wrth weled fy mod mor anwybodus, yn enwedig pan welwyf yr Eglurhad sydd yn cael eu rhoddi yn fynych yn y Drysorfa ar ranau dyrys o'r Ysgrythyrau, neu adnodau a fyddont yn ymddangos megis yn groes i'w gilydd. Yn wyneb yr eglurhad, synwyf na buaswn yn gallu gweled felly o'r blaen, a'r peth mor eglur ond ei agor yn iawn.

Mae Ysgrythyrau etto yn ymddangos megis yn groes i'w gilydd, ac na wn i yn y byd pa fodd i beri iddynt ymddangos yn gyson. Ond mae genyf yn awr gynnifer o brofion, fel y gallaf yn hawdd gydnabod mai ynof fi y mae y tywyllwch, ac nid yn yr Ysgrythyr lan.

Dymunaf gan hyny gael gwybod drwy gyfrwng y Drysorfa pa fodd y mae eglurhau cyssondeb Ecs. xii. 41. Gen. xv. 13. Act. vii. 6. Gal. iii. 17.

ANWYBODUS.

---

## Attebion.

*Attebion i Ofyniadau Ioan Abergwaun yn nghylch Crist yn melldithio y ffigysbren, Rhif. 73. tu dalen 19.*

1. Gofyniad, Pa fodd yr oedd Crist yn dysgwyl cael ffrwyth ar y ffigysbren, a hithau heb fod yn amser ffigys? Marc xi. 13, 14.

Mi dybygwn fod yr anhawsdra i ddeall yr ymadrodd yn sefyll yn hyn, sef dysgwyl cael ffigys ar y pren ar amser anaddas. Ond erbyn sylwi yn fanwl, nid oedd hi yn amser anaddas, ond yr oedd yn am-

ser mwyaf addas, 'canys' medd yr Efengylwr, 'nid oedd amser ffigys;' hyny yw, 'nid oedd yn amser casglu ffigys,' neu 'nid oedd hi etto yn gynhauaf ffigys.'

Yr oedd hyn cyn belled oddiwrth fod yn rheswm yn erbyn dysgwyl ffigys arno, a'i fod yn rheswm cryf paham y dysgwylid ffigys arno. Canys pe buasai hi yn amser cynhauaf casglu ffigys yn Ngwlad Canaan y pryd hyny, fe allasai fod ffrwyth toreithiog ar y pren y dydd o'r blaen, a bod rhywun wedi casglu y ffrwyth oddiarno; ond gan fod amser casglu yn agos, ac etto heb ddyfod, os byddai dim ffrwyth ar y pren y flwyddyn hono, dyna yr amser goreu o bob tymmor ar y flwyddyn i ddysgwyl cael ffrwyth; am nad oedd neb wedi eu casglu oddiarno, 'canys nid oedd amser ffigys' wedi dyfod.

2. Gofyniad, Paham y darfu i Grist felldithio y ffigysbren?

1. Am ei fod yn bren diffrwyth, ac felly yn ddiles.

2. I ddangos ei allu a'i Dduwdod, canys dywedir yn Matt. xxi. 20. 'A phan welodd y dysgyblion, hwy a ryfeddasant, gan ddywedyd, mor ddisymwth y crinodd y ffigysbren!'

3. I ddangos fod ganddo awdurdod ar bob peth i wneuthur fel y myno ei hun.

4. I brofi gwerthfawrogrwydd ffydd, a'r angenrheidrwydd o honi, fel y gwelwn yn yr ymddyddan a fu rhyngddo a'i ddisgyblion ar yr achlysur, Matth. xxi. 21, 22. Marc xi. 20—26.

5. I fod yn rhybudd i ni, rhag i ninau fod yn ddiffrwyth i Dduw, ac i ninau gael ein melldithio. CYHOEDDWR.

---

## HANES Y RECHABIAID,

*Mewn ffordd o Atteb i Ofyniad T. Jones, Dinbych, yn Rhif. 73. tu dalen 19.*

Y Rechabiaid a breswylient ymysg yr Israeliaid, er na pherthynent i yr un o'u llwythau; canys Ceniaid oeddynt, fel yr ymddengys yn 1 Cron. ii. 55. lle y dywedir fod y Ceniaid 'wedi dyfod o Hemath tad tylwyth Rechab.' Y Ceniaid hyn, wedi hyny a alwyd yn Rechabiaid, oeddynt o deulu Iethro, yr hwn hefyd a elwid Hobab, merch yr hwn a gymmerodd Moses yn wraig iddo; canys meibion Ceni, chwegrwn Moses, a aethant i fynu o ddinas y palmwydd, gyda meibion Judah—a hwy a aethant, ac a drigasant gyd â'r bobl. Barn. i. 16. Ac yr ydym yn darllen am Heber y Cenead, o feibion Hobab, chwegrwn Moses,'ddarfod iddo 'ymneillduo oddiwrth y Ceneaid,' sef oddiwrth gorph y genedl y rhai a ymsefydlasant yn llwyth Judah, 'ac a ledodd ei babell yn ngwastadedd Zaanaim,' Barn. iv. 11.

Mae yn ymddangos ddarfod i'r Rechabiaid ddeilliaw o Midian, mab Abraham o Ceturah, Gen. xxv. 2.; canys gelwir Jethro, o'r hwn y disgynasant, yn Midianiad, 'A dywedodd Moses wrth Hobab, mab Reguel, y Midianiad, &c.' Num. x. 29. Y Jethro hwn a wahoddwyd gan Moses, ei fab yngbyfraith, i adael ei wlad, ac ymsefydlu yn ei deulu ef, ymysg yr Israeliaid. Ar y cyntaf, efe a wrthododd, adn. 30; ond wedi hyny, drwy fod yn daer arno, mae yn ymddangos ddarfod iddo gydsynio, adn. 31, 32. canys ni a welwn fod ei hiliogaeth ef yn preswylio ymysg Israel, gyda y rhai y preswyliasant hyd oesoedd olaf sefydliad Israel yn Nghanaan.

Mae Balaam yn canmol callineb a dedwyddwch y Ceniaid hyn am roddi o honynt eu hunain dan nawdd pobl neillduedig yr Arglwydd; er ei fod hefyd yn rhagddywedyd y byddai iddynt gael eu cydgaethiwo gyda'r genedl hono i Babilon, Num. xxiv. 21, 22. O'r tylwyth hwn yr oedd Ionadab, mab Rechab, gwr enwog o ran ei frwdfrydedd dros burdeb addoliad Duw, ac yn erbyn eilunaddoliaeth, yr hwn a gynnorthwyodd y Brenin Iehu i ddinystrio tŷ Ahab, ac addolwyr Baal, 2 Bren. x. 15, 16, 23, &c. Efe oedd yr hwn a roddes y cyfryw reol ymarweddiad i'w blant a'i hiliogaeth, y rhai a ddarllenwn yn Ieremiah xxxv. 6. 7. Mae y rheol yn cynnwys y tair cangen ganlynol:

I. Na byddo iddynt yfed dim gwin.

II. Na fyddo iddynt feddiannu tŷ, maes, na gwinllan,

III. Bod iddynt breswylio mewn pebyll.

Yn y rheolau hyn mae yn ymddangos nad dyben crefyddol neillduol oedd yn ei olwg, ond ei amcan oedd cael ei blant a'i hiliogaeth i ymddwyn yn ddoeth, fel y gellir gweled yn y crybwylliad o'r rheswm a ddyry efe iddynt am roddi o hono y rheolau hyn o'u blaen, 'fel y byddoch chwi fyw ddyddiau lawer ar wyneb y ddaear, lle yr ydych yn ddieithriaid,' adn. 7. A hyn fyddai canlyniad naturiol o gadw y rheolau hyn, yn gymmaint ag,

Yn laf. Y byddai eu dull dirwestol o fywiolaethu dueddu yn fawr iawn at gadwraeth eu hiechyd: ac Yn 2il. Y byddai iddynt drwy hyn beidio rhoi achos tramgwydd i'r Iuddewon, a pheidio eu hannog i genfigenu wrthynt. Canys pe buasent yn plannu gwinllanoedd, yn trin maesydd, ac yn hau hadau, &c. buasai perygl rhag i'r Iuddewon, y rhai oeddynt yn byw yn benaf drwy driniaeth tir, gynfigenu wrthynt, a chodi yn eu herbyn a'u bwrw allan o'r wlad, a thrwy hyny buasent yn colli cyfranogi o'u breintiau crefyddol y rhai oeddynt yn eu mwynhau.

Gan hyny, fel na byddant dan un demtasiwn i blanu a thrin gwinllanoedd, efe a'u gorchymynodd hwynt na phrofent ddim gwin.

Ond os gofynir, pa fodd gan hyny yr

oeddynt yn cael eu cynnaliaeth? attebir, es bod yn Llyfr cyntaf Cronicl, pen. ii. 55. yn cael eu galw yn 'Ysgrifenyddion,' yr hyn sydd yn dangos eu bod yn bywiolaethu drwy yr iawn arferiad o'u dysgeidiaeth.—*Jennings's Jewish Antiquities.*

Oni ellir cael addysg oddiwrth y sylwadau uchod, fod peidio yfed diodydd meddwol yn blaenllymu y cynneddfau dynol, ac yn gynnorthwy i astudiaeth dysgeidiaeth, ac yn foddion i ddyrchafu dynion i barchedigaeth a swyddau glanwaith ac anrhydeddus; megis y mae yfed o honynt yn pylu y synhwyrau, ac yn tueddu yn fawr at anmharch a gwarth, ac at iseliad y dynion a fyddont yn hoff o'r cyfryw ddiodydd? YSGRIFYDD.

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

### Y WERDDON.

Anwyl Frawd,—Y mae eich sylwadau am y Werddon yn mis Tachwedd, a Hydref, wedi gwneud gryn gynnwrf yn ynys Mon: ni chanfum i erioed y fath ysbryd am anfon Cenadau at unrhyw genedl o'r blaen.

Clywais un dyn cyffredin yn dywedyd y rhoddai bunt bob blwyddyn; dau ddyn ieuaingc a ddywedodd wrthyf (pa rai nid ydynt yn proffesu gyda ni) y rhoddant hwy rodd flynyddol at y genhadaeth, ac mae rhyw swn cyffelyb i hyn yn gyffredin yn y wlad. Mae hyn yn beth rhyfedd! Y mae Cymdeithas o'r cyffelyb ar droed yn awr yn Glasgow. Darllenais heddyw yn y papur newydd, fod dysgawdwr yn cael ei sefydlu yn y *College* yn Dublin i ddysgu yr iaith Wyddelaeg i weinidogion yr Eglwys Wladol.

Soniasoch am Dr. Townley o Limerick: os i Limerick yr eiff y gwyr ieuaingc i ddysgu yr iaith, y mae genym ni frawd ffyddlon yn byw yno, sef Cadpen Owen Owens, o Abermaw; wedi rhoddi i fynu forio, ac yn cadw *shop*: fe wna efe a allo trag at yr achos; y mae efe yn aelod o Eglwys Dr. Townley. Fe fydd llawer o longau Cymru, yn ymweled a Limerick. Ymae yn debyg y byddai Limerick yn fwy manteisiol na Dublin i ddysgu yr iaith; oherwydd fod yr iaith Wyddelig yn cael ei siarad yn gyffredin yn y parthau hyny, ond y mae wedi ei cholli o Dublin a'i chym'dogaeth.

Y mae yn wir fod rhagfarn yn gryf yn llawer o'r Gwyddelod, etto mae yn hawdd i ddyn cyffredin gael dyfod attynt. Mi gefais i lawer pwt o ddadl â hwy erioed; a'r diwedd yn gyffredin fyddai,—'Captain, I think you are right: sure that is true, &c.' Yr wyf yn ofni mai ychydig sydd o fyned attynt, sef i'w tir hwy i geisio eu tynu oddiyno; a bod rhyw fur mawr rhwng y ddwy blaid, fel os na ddaw y Papistiaid drosto, nad eiff y Protestaniaid gam attynt hwy. Pwy a wyr na chaiff y Cymru y fraint o ddyfod a'r mur i lawr trwy gariad?

Mewn perthynas i'r iaith y mae genym brawf y dysg Gwyddel Gymraeg yn burach, ac yn gyflymach, o ddim rheswm na Sais. Ac onid allwn gasglu oddiwrth hyn y dysg y Cymro eu hiaith hwythau, yn gynt na Sais? Y mae yn anhawdd dywedyd beth fydd diwedd hyn. Un Dafydd Brainard bach, dan nawdd Cymdeithas fechan yn Scotland, a fu yn foddion i ddychwelyd cannoedd o'r Indiaid yn yr America (ychydig o'i hanes a lawenycha eich darllenwyr). A phe buasai ganddo gyfaill, yn ol golwg allanol, gallasai fyw lawer o flynyddoedd; ond fe orphenodd ei yrfa mewn llawenydd a gorfoledd, yn nhy Mr. Jonathan Edwards.

Gan fod dau o fechgyn Cymru yn barod i fyned i'r Werddon ni a obeithiwn y byddant fel y *Siam twins* (y gefeilliaid a welais amser yn ol yn Lloegr), y peth a garai un, a garai y llall; y peth a gashai un, a gashai y llall; pan fyddai un yn glaf, byddai y llall yn glaf; pan fyddai un yn llawen, byddai y llall yn llawen; mewn gair yr oedd y Creawdwr mawr wedi rhoddi y fath undeb ysbryd ynddynt, trwy fod cyrph y ddau mewn undeb a'u gilydd; a'r undeb oedd cnawd rhwng dwyfron y naill i'r llall, nes oedd llawer yn barnu mai un enaid oeddynt: felly y bo y ddau Genhadwr Gwyddelig.

Nid ydwyf yn gwbl o'r un farn a'ch gohebwr ffyddlon, a'r brawd anwyl, D. M. yn rhifyn 70, 'y dylai y rhai a anfonir fod yn Llatinwyr, a Groegwyr da;' o herwydd nid ydym am eu hanfon yno i ddadleu â'r offeiriaid, y mae McGee, a Sulyvan, Noland, a John McCree, ac eraill, ar y maes hwnw, yn barod bob dydd. Ac fe allai fod gormod o hyny yn y wlad afionydd hono: gormodedd o'r iaith Llatin yw un o golofnau teyrnas y tywyllwch yn y Werddon. Fe allai y gwneiff D. M. wrth ddarllen hyn wenu, ac, y dywed fel ag y dywedodd Mr. Newton wrth Mr. Scott; 'lle yr wyt ti, y bûm i, a lle yr wyf fi, y deui dithau;' ni ddywedaf fel Scott, na ddeuaf byth; o ran barn wyf yn ei feddwl: ond nid etto.

Gadawer iddynt ddysgu iaith y cyffredin, fel y gallont ddywedyd wrth y Gwyddelod druain, pa fodd y mae cyfiawnhau dyn gyda Duw. Fe fydd hyn yn well iddynt, na'r holl Latin y mae yr offeiriaid yn ei ddarllen iddynt trwy'r blynyddoedd.

Gobeithiwn y cawn glywed trwy'r Drysorfa am eu hanfoniad, a'r amser y byddont yn cychwyn, fel y gallo yr Eglwysi neillduo cyfarfod i'w 'gorchymyn i Dduw ac i air ei ras,' trwy weddi, &c.

Ydwyf eich gwas, E. LL.

*Troon, Rhagfyr* 1, 1836.

N. B. Y mae gan y Wesleyaid 40 o Genhadau yn awr yn y Werddon; ac mae llawer ohonynt yn pregethu Gwyddelaeg: eraill yn cadw ysgolion, eraill yn ddarllenwyr y Bibl o dŷ i dŷ, &c. *Scripture readers from house to house.*



Barch. Olygydd,—Yr wyf i a llawer ereill yn dra diolchgar i chwi am y wybodaeth a roddasoch o gyflwr tywyll ac alaethus miloedd o drigolion ein chwaer ynys y Werddon. Gresynus yw meddwl bod tair miliwn neu chwaneg o eneidiau, yn eistedd yn mhro a chysgod angeu, yn ymddifaid o foddion iachawdwriaeth, a minnau, bobl y breintiau mawrion, mor agos attynt.

Mae y disgrifiad cyffrous a roddasoch o honynt yn yspaid y flwyddyn ddiweddaf, wedi achosi llawer o aflonyddwch ac awydd mewn llawer o'n brodyr, i geisio eu cynnorthwyo â moddion gwybodaeth. Mae yn llawen genyf glywed bod genych ddau neu dri o frodyr yn awyddus a pharod o feddwl i fyned drosodd attynt; ond iddynt gael annogaeth a chynnorthwy, yr hyn gobeithiaf a gant cyn hir.

Rhoddasoch ychydig o'u hiaith yn y Drysorfa am fis Tachwedd: addawsach roddi chwaneg, yr hyn a fuasai yn ddifyrwch gan lawer, ac yn annogaeth i rai i geisio dysgu darllen yr iaith. Tueddwyd fi er mwyn cadw trigolion y Werddon a'u hiaith mewn côf ymhlith darllenwyr lluosog y Drysorfa, anfon yr hyn a ganlyn i fod at eich gwasanaeth, hyd oni chewch bethau gwell gan ryw rai ag sydd yn gwybod mwy am eu hiaith na myfi.

Gyda golwg ar y Werddon, mae yn dra digalon i neb i ymroddi i fyned yno; os ystyriwn ddylanwadau cryfion Pabyddiaeth, a nodweddiad moesol ei thrigolion, ac annhrefn eu hiaith. Ond wrth ystyried gwerth eneidiau, ac anfeidrol gyfoeth y Cyfamod gras ar eu cyfer; mae sail i obeithio y bydd miloedd o'r Gwyddelod yn berlau hardd yn nghoron gyfryngol Gwaredwr mawr y byd.

Am eu hiaith, yr wyf yn sicr mai Cymro yw yr addasaf, oddieithr Gwyddel ei hun, i ddysgu'r iaith. Etto iaith anhawdd ydyw; oherwydd mae wedi ei sillebu mor ddrwg, ac mae'r fath wahaniaeth *swn* a *phwyslais* rhwng pobl y gogledd a'r dehau, fel na allent ddeall eu gilydd yn aml, er eu bod yn Wyddelod, ac yn siarad y iaith Wyddelig.

Y rheol gyffredin yw rhoddi y pwyslais ar y sill cyntaf. Arferir hyn yn ddigoll yn y gogledd, megys y gair *áran*, bara; ond yn y dehau a'r gorllewin dywedant *arán*. Hefyd, pan b'o *n* yn dilyn *c*, *g*, *nn*, 'n *t*, maent yn ei swnio yn y gogledd fel *r*, gwel. *cnamp*, ascwrn, *cramp—gniomp*, gweithred, *griomp—tnuth*, cenfigen, *truth*. Ond yn y dehau a'r gorllewin mae *n* yn cael ei swn ei hun.

Yr oeddych yn chwennychu cael gwybod pa fodd i seinio y llythyrenau dwbl. Y rheol yw hon, er na ofala trigolion gwledydd Ulster am ei dilyn yn mhob gair.

*Bh* ydynt i'w swnio fel ein *f* ni yn nechreu a diweddiad geiriau: er siampl, *mo bheul*, fy ngenau; *tarbh*, tarw. Yn nghanol gair cymmerant swn *w*; megis, *diabhol*, diafol—*labhar*, llyfr.

*Ch* sydd yr un swn a *ch* Cymreig: fel hyn, *mo chean*, fy mhen; *mo chos*, fy nghoes; *ocht*, wyth; *deoch*, diod.

*Dh* a *Gh* o flaen ac ar ol *e* ac *i* a gymmerant swn *y*—*mo Dhia*, fy Nuw; *mo ghiolla*, fy machgen; ond o flaen ac ar ol *a*, *o*, ac *u*, cymmerant swn tebyg i *w*, fel hyn, *mo ghut*, fy llais; *gradh*, cariad.

*Fh* ydynt hollol fud; megis, *an fhairge*, ei iawn swn yw *an airge*, y môr.

*Mh* sydd i'w swnio fel *f*, yr un modd a *Bh*, megis, *mo mhac*, fy mab; *mo lamh*, fy llaw.

*Ph* yr un modd ag yn Gymraeg, megis *mo phaiste*, fy mhlentyn.

*Sh* a *Th* ydynt i'w swnio fel *h* ei hun: *mo shuil*, fy llygaid; *mo athair*, fy nhad; ond *sh* o flaen *c*, *n*, ac *r*, sydd yn colli eu swn yn hollol, megis, *mo shlainti*, fy iechyd; *mo shnuaph*, fy wyneb; *mo shron*, fy mwyn.

Chwanegaf y tro nesaf os byddwch yn dewis. Ydwyf, eich gwael frawd,

*Trallwm.* D. MORGANS.

CADWRAETH Y DYDD SABBATH.

Anwyl Frawd,—Erfyniaf genad i hysbysu i chwi fy mod newydd dderbyn heddyw —*un* llythyr mewn ysgrifen, yn amgau *dau* lythyr argraffedig oddiwrth Syr A. Agnew, ac yr wyf finau yn prysuro i anfon un o honynt i chwi.

Y mae y pendefig selog, ffyddlon, llafurus a diflino hwn, yn deisyf gwneud y *paragraph cyntaf* yn tu dalen 7ed mor gyhoedd ag y mae modd.

Y mae yn hyderus obeithio yr anfonir y deisyfiad cynnwysedig yn y paragraph hwnw, naill ai mewn llythyrau (arwyddedig gan liaws o bleidleiswyr at eu priodol Gynnyrchiolwyr Seneddol eu hunain) neu ynte mewn Erfyniau, gan amddiffynwyr y Sabbath yn gyffredin; neu yn hytrach, trwy ddefnyddio y ddau ddull. Fe all y daw hwn i law mewn pryd, i chwi roi gair neu ddau, ynghyd a'r paragraph rhag-grybwylledig, naill ai *yn* neu *ar glawr* y Drysorfa am Chwefror. Gobeithir yn hyderus hefyd, y bydd cyfarchiad y Parch. J. Elias, (yr annogwyd ef yn Nghymdeithasfa Carnarvon, i'w barottoi ar achos y Sabbath) yn y Drysorfa

nesaf. Wyf, yr eiddoch, &c,
RICHARD OWEN.
*Llansantffraid.*

*Y Paragraph crybwylledig.*

May it now be the unequivocal prayer of every petitioner to the representatives of a Christian people, 'that they will be graciously pleased to go into Committee of the whole House, to consider, clause by clause, the provisions of a Bill, framed upon the principle of restraining the demoralizing influences of all open desecration of the Christian Sabbath, and of extending to all classes of his Majesty's subjects the opportunity of following the dictates of an enlightened conscience, in the due observance of the Lord's day.'

*Yr unrhyw yn Gymraeg.*

Bydded yn ddeisyfiad diamwys pob Erfyniwr at Gynnyrchiolwyr pobl gristionogol, 'Ar fod yn raslonaf ryngu bodd iddynt ymffurfio yn Eisteddfod yr holl Dŷ, i ystyried, o ddosparth i ddosparth, ddarpariaethau Ysgrif Cyfraith a luniwyd ar yr egwyddor o roi attalfa ar ddylanwadau anfoesgar o bob halogiad ar y Sabbath Cristionogol, ac estyn i bob gradd o ddeiliaid ei Fawrhydi, y cyfleusdra o ddilyn cymhelliadau eu cydwybodau goleuedig eu hunain, yn nghadwraeth dydd yr Arglwydd.'

# Helyntion yr Amseroedd.

## Hanes Ynys Manaw,

(*Isle of Man,*)

*Gan un a fu yn aros yno, ac yn tramwyo y wlad, yn yr haf*, 1836.

Barnasom y gallai fod yn ddifyrus ac yn fuddiol i amryw o'n darllenwyr gael ychydig o hanes cywir am yr ynys hon, gan mai rhan o diriogaeth Brydain ydyw, a'i bod mor agos attom, ac mai ychydig iawn o'r Cymry a wyr nemawr am dani. Dosparthwn yr hanes, yn ddwy ran: y Rhan gyntaf am ansawdd yr Ynys a'i thrigolion yn gyffredinol; a'r ail Ran am grefydd a moesoldeb y trigolion. Yr hanesydd a ddywed fel hyn:—

'Awst 22. 1836,

Cychwynais i a'm tri chyfaill o Liverpool ar fwrdd yr Agerdd long *Clyde*, yr Ermygau yn nerth cant a hanner o Geffylau, am 10 ar gloch y boreu, tua'r Ynys Alaw. Yr oedd ar ei bwrdd hi 300 o deithwyr; ac ar fwrdd llestr arall, a elwid y *Queen*, yr un amser, oddeutu yr un nifer. Yr oedd y diwrnod yn hyfryd, a'r awel yn deg, a nyni a gyrhaeddasom Douglas, prif borthladd Ynys Alaw, erbyn 8 ar gloch yn yr hwyr, yn yr un diwrnod. Felly mi deithais y dydd hwn 98 o filltiroedd, rhwng tir a môr. Y fordaith o Liverpool i Douglas, yr hyn sydd yn 80 milltir, mewn 10 awr.

Ar fy nyfodiad i olwg yr Ynys, canfyddais ei bod yn gyffelyb i Gymru, yn hynod o fynyddig; o'i hymylau, fel y deallais wedi hyny bron ymhob man, yn greigiog ac ysgythrog, o'i hamgylch.

Wedi i ni fod yn yr ynys am ychydig ddyddiau, mi ddeallais ei bod yn lle nodedig o iach: yr awyr yn deneu a chlir, heb ddim tawch afiach na tharth i'w ganfod mewn un modd; a'r môr yn berffaith glir o amgylch yr Ynys, yn gymmaint felly fel y gellir gweled y gwaelod i ddyfnder mawr.

Mae Isle of Man yn 30 o filltiroedd o hyd ac 8 o led. Mae hi wedi ei dosparthu yn chwech o ddosparthiadau, y rhai a elwir *Sheadings*; sef Ayr Sheading, Kirk Sheading, a Garff Sheading yn y rhan Ogleddol o'r Ynys. A Rushen Sheading, Glanfaba Sheading, a Middle Sheading yn y rhan Ddeheuol. Ac y mae yn cynnwys 17 o blwyfydd. Y dref fwyaf yn yr ynys ydyw Douglas, yr ail yw Castle Town, y drydedd yw Ramsea, y bedwerydd Peel Town, a'r leiaf yw Laxey. Mae yr awyr yn iachus ryfeddol, ac mae y trigolion yn byw i fyned yn hen iawn. Bum i yn edrych cerrig beddau un fynwent yno, lle yr oedd oed nifer mawr a gladdwyd o 80 i 90 a 94 a 98 &c. Mae y tir yn dwyn ychwaneg o ŷd na digon i gynnal y trigolion. Mae ganddynt un Esgob, yr hwn a elwir Esgob Sodor a Man, ond nid oes iddo eisteddle yn y Senedd. Duc Athol oedd gynt yn Arglwydd yr Ynys; ond yn y flwyddyn 1765 efe a werthodd ei lywodraeth arni i'r Brenin.

Mae yr Ynys yn gorwedd 12 milltir i'r De o Scotland, 35 milltir i'r Gorllewin o Cumberland, 40 milltir i'r Dwyrain o'r Werddon, a 80 milltir o Liverpool.

*Y trigolion, Iaith*, &c.

Trigolion yr Ynys hon ydynt gymmysg o Manks sef yr hen breswylwyr, Scotiaid, y Gwyddelod, a'r Saeson. Mae pobl y wlad mewn amryw barthau o'r Ynys yn siarad yr hen Iaith Manks, yr hon sydd gangen o'r hen iaith Celtic, o'r un gwreiddyn a'r Iaith Gymraeg a'r Wyddelaeg, a'r Gaelic. Y rhan o'r Ynys lle y mae mwyaf o siarad yr hen iaith Manks ydyw Dalby, hanner y ffordd rhwng tref Peel a Phorthladd Erin: dyma lle y cleddid Brenhinoedd Ynys Manaw yn yr hen oesoedd. Mae llawer o'r trigolion yn yr ardaloedd hyn heb allu deall yr iaith Saesoneg. Mi welais i rai o'r hen drigolion nad oeddynt yn deall un gair o Saesoneg, nac un iaith arall ond y Manawaeg, neu fel y geilw y Saeson hi, *Manks*.

Mae un bregeth yn iaith Manaw yn cael ei phregethu bob Sabbath yn y rhan fwyaf o'r Eglwysi gwladol drwy yr holl

Ynys. Mae un bregeth yn yr iaith hono yn Douglas bob wythnos; ac un bregeth hefyd gan y Wesleaid bob Sabbath yn yr un dref.

Prif gynnaliaeth miloedd o drigolion yr Ynys ydyw pysgotta. Tua'r prydnawn ceir gweled cantoedd o bysgotwyr wedi eu dilladu i'r perwyl yn dyfod o'r wlad i mewn i Douglas i hwylio cychwyn allan i'r môr mawr am helfa. Mi gyfrifais i un prydnawn yn yr hwyr wyth a deugain o lestri pysgotta, un hwylbren bob un, yn myned allan ar ol eu gilydd, ac mi sylwais fod naw o bobl at eu gilydd ar fwrdd pob un o honynt, ambell un a saith, a'r llall a dég ar y bwrdd.

Maent yn cychwyn allan gyda'r hwyr bob dydd, ac yn aros drwy y nos i bysgotta, â rhwydi, bachau, &c. Ac yn y boreu yn dychwelyd yn ol, yn aml iawn, yn llwythog o bysgod, yn enwedig penwaig.

Os bydd i'r gwynt chwythu yn drwm, a'r hin yn arwyddo yn ddrycinog, troant yn ol, oll ynghyd i'r porthladd. Mae un Penrheolwr, megis arlywydd arnynt oll, a phob cadpen llestr yn rhwym i ymddwyn yn ol ei reolau ef. Pan fyddo lliaws mawr o'r penwaig yn dyfod yn agos i wyneb y dwfr, canfyddant arwydd o hyny yn yr awyr uwch ben y lle; canys mae y pysgod yn gyd wastad megis maes neu ardd fawr yn dynesu ynghyd tua'r wyneb, fel y mae eu cefnau dysglaer ynghyd a'r cen sydd ar hyd ddynt yn peri fod adlewyrchiad yn yr awyr nes goleuo uwch ben lle y byddont. Mae y llongau pysgotta yn myned ar led yma a thraw ar hyd wyneb y dyfnder. A phan ddygwyddo i ddwylaw un llestr ganfod yr arwydd dysglaer hwn, y maent mor ffyddlawn i'w gilydd fel y maent drwy ryw arwydd pennodol yn galw ar eu gilydd i ddyfod oll i'r fan hono am helfa; canys bydd yn gyffredin ryw luoedd aneirif o honynt yn ymsymud gyda'u gilydd wrth y miliwnau yn y dyfroedd dyfnion a heilltion hyn. Mi fûm i yn edrych ar y llestri hyn yn myned i'r môr, gan ymgadw yn lled agos i'w gilydd tua'r Gogledd cyn belled nes myned o honynt yn llwyr o'm golwg ar wyneb yr eigion.

Aml foreu bum yn myned allan i'w gweled yn dychwelyd. Weithiau byddai y pysgotwyr wedi gwlychu drwy eu dillad oll hyd at eu crwyn; er hyny heb gael yr anwyd. Maent yn bobl nodedig o iachus a chaledion. Ar eu dychweliad i'r lan ceir canfod cannoedd o bobl, yn enwedig boneddigion, a morwynion boneddigion, a gwasanaethyddion y llettywyr, yn eu hamgylchu hwynt i brynu o'u helfa, cyn cyrhaeddyd o honynt i dŷ; yn enwedigól, os bydd ganddynt ryw bysgod amheuthyn. Mi ryfeddais lawer tro wrth eu gweled mor reolaidd a moesgar wrth ymryson am brynu'r pysgod: ni welir neb yn rhuthro ymlaen, ac yn gwthio eu gilydd yn annhrefnus a therfysglyd. Y cyntaf a ddel, a wasanaethir, heb unrhyw daeru haerllug, na dadl boethlyd; ond pob peth yn weddaidd ac mewn trefn.

Y tanwydd sydd brin canys y mae'r glo yn ddrud, a dim o hono ond a drosglwyddir dros fôr. Maent yn torri ac yn cludo mawn i'w llosgi mewn amryw barthau o'r ynys; mae y rhai hyn yn gwneud tanwydd cyffredin yn y wlad, ac yn y trefydd pellenig oddiwrth y môr.

*Wyneb y Wlad.*

Mae y tir o ran ei natur yn debyg iawn i Sir Fon, ond fod y wlad yn fwy mynyddig a llai o diroedd gwlybion. Mae yn y mynyddoedd hyn ddau o weithydd plwm rhagorol o gynnyrchiol: un yn Fox Dale, rhwng y Castle town a Peel; a'r llall yn agos i Laxey tua'r Gogledd. Mae y plwm a godir yn Laxey yn cynnwys cryn lawer o arian.

Y mynydd uchaf yn *Isle of man* a elwir y Snavil, yr hwn sydd yn gorwedd rhwng Douglas a Ramsey. Ei uwchder yw dwy fil (2000) o droedfeddau oddiar wyneb y môr, sef yw hyny, ynghylch hanner uwchder y Wyddfa yn Sir Gaernarfon. Cyfrifir y mynydd hwn megis canolbwynt yr Ymerodraeth. Oddiar goppa Snavil gall dyn weled Scotland, Lloegr, Cymru, a'r Werddon, sef oddeutu tair mil o Erwau o for a thir ar yr un olygfa. Oddiar ei ben ef canfyddir y Wyddfa, Cadair Idris, Berwyn, a Phlumlimmon ar yr un olwg.'

Dodwn olygiad ar foesoldeb, dysgeidiaeth, a chrefydd y trigolion yn ein Rhifyn nesaf.

(I'w barhau.)



*Influenza.*—Geilw y Cymru yr afiechyd hwn yn 'ddolur y gyddfau,' ac mewn rhai Siroedd, 'Llycheden yr anwyd.' Yr achos o hono ydyw hir dywydd gwlawog yn peri lleithder mawr yn yr awyr, y tai, y dillad, &c. Mae yr afiechyd yma yn aml iawn yn Llundain, ac mewn amryw fanau eraill o Loegr a Chymru yn bresenol., Ond y mae efe yn drymach o lawer yn Ffrainc nag yn y deyrnas hon. Mewn amryw barthau o'r deyrnas hono y mae yn lladd llawer iawn, yn enwedig y tlodion. Mae y Clafdai yn llawn o gleifion, hyd yn nod yn Paris y brif ddinas.

---

SPAEN.

Mae rhyfel ofnadwy wedi bod etto yn y wlad hon, rhwng arfogion y Frenhines a gwyr Don Carlos, yn agos i Bilboa. Er i'r frwydr barhau yn hir, a'i bod yn un waedlyd iawn, gwyr y Frenhines a fuont drechaf. Yn awr, yr ydym yn deall fod

paratoad mawr o bob tu am ymgyrch ychwanegol. Mae arian, ac arfau, a dillad yn cael eu hanfon i'r milwyr o bob ochr. Nid oes mwy o debygolrwydd am roi pen ar y galanastra nag oedd amryw flynyddau yn ol. Pan gymmero Duw heddwch oddiar y ddaear, y canlyniad fydd, dynion yn lladd y naill y llall; ac wedi tynu y cleddyf unwaith megis o'i wain, ni wyddis pa nifer a leddir cyn y dychwelo i'w wain yn ol.

*Eira mawr iawn,*—Dydd gwener, Rhag. 23. dechreuodd fwrw eira yn lled ddwys drwy Gymru a Lloegr. Nid parhau yn hir iawn a wnaeth yn gyffredinol drwy yr holl deyrnas, ond mewn rhai manau. Yn Llundain a'i hamgylchoedd, a hyny ymhell iawn o ffordd, parhaodd i fwrw eira yn drwm iawn am ddyddiau heb beidio.

Yn gyffredinol, fe fydd chwaneg o eira yn y rhanau gogleddol o'r deyrnas nag yn y rhanau deheuol, ac ar y mynyddoedd a thiroedd uchel nag yn y gwastadedd. Ond y leai fel arall y bu. Yr oedd mwy o lawer o eira yn ngwastadedd Lloegr nag ar hyd mynyddoedd Cymru. Nid oedd nemawr o eira yn Ngorllewinol barthau o'r deyrnas, ond yn y De a'r Dwyrain yr oedd yn dew anarferol dros wyneb yr holl ddaear, a'r lluchfeydd yn arswydus ac ofnadwy iawn.

Yr oedd Llundain wedi ei llenwi âg eira, fel nad ellid ond prin symmud. Treuliwyd cant ac ugain punt o arian am glirio yr heolydd fel y ceffid tramwy yn 'ol ac ymlaen. Cyrhaeddodd yr eira mawr ynghylch can milltir o bobtu y brif ddinas. Llanwodd y ffyrdd o Lundain i Birmingham fel nad ellid tramwy ar hyd-ddynt. Bu Cerbyd y llythyrgod, (*Mail*) ddechreu yr wythnos, yn lle pedair awr ar hugain fel arferol, bedwar diwrnod yn cyrhaeddyd o Lundain i Gaerlleon. Yr oedd yr eira mewn rhai manau ymhell dros ddeugain troedfedd o ddyfnder. Codwyd allan lawer o gantoedd o filwyr, a dynion eraill i fwrw ymaith yr eira o'r ffordd fel y gallai y Cerbyd ddyfod ymlaen; a bu yn sefyll o bob tu y ffordd fel mynyddau am rai wythnosau. Dywedir nad oes neb yn cofio gweled cymmaint o eira yn Llundain. Pwy gristion a ddichon beidio meddwl am eiriau y Psalmydd, pan y dywed, 'Yr hwn sydd yn rhoddi eira fel gwlan, ac a daena rew fel lludw, yr hwn sydd yn bwrw ei iâ fel tammeidiau, pwy a erys gan ei oerni ef.' Psalm 147. 16, 17.

*Cymdeithas Ddirwestol Caerlleon*—Brydnawn ddydd llun, Ionawr 9ed, cyfarfu aelodau a chyfeillion y Gymdeithas lwyddiannus hon i yfed te, mewn Ysgoldy helaeth, ac wedi hyny, aethant i Lys y Ddinas i gadw Cyfarfod cyffredinol i areithio ar yr achlysur, George Harrison, hen Faer y ddinas yn y Gadair. Areithiodd amryw bersonau yn wresog iawn ar Ddirwestaeth. Yr oedd y Llys eang hwnw yn llawn hyd a gannai o wrandawyr. Nifer yr aelodau yn Nghymdeithas Ddirwestol Caerlleon ydyw 1190.

*Pendefigaethau newyddion.*—Mae ei Fawrhydi wedi bod yn creu y Pendefigaethau canlynol:—

Arglwydd Howard Effingham, a grewyd yn Iarll Effingham.

Arglwydd Ducie a grewyd yn Iarll Ducie, a Baron Moreton.

Arglwydd Yarborough, a grewyd yn Iarll Yarborough, a Baron Worseley.

Edward Berkeley Portman, Ysw. a grewyd yn Baron Portman.

Thomas Alexander Fraser, o Lovet, Ysw, a grewyd yn Baron Lovet.

William Hanburgh, Ysw. a grewyd yn Baron Batenham o Shobden, Hereford.

Y creadigaethau hyn, fel y gelwir hwynt, a roddant foddlonrwydd cyffredinol, am eu bod oll yn wyr parchus a haeddawl.

*Damwain ddisymwth.*—Dydd Sabbath Ionawr 15, fel yr oedd Duc Sussex yn myned yn ei Gerbyd i dŷ Colonel Wildman, Newsted Abbey, mewn lle ar y ffordd, a elwir Pelham, yn gyfagos i Newark, aeth y cerbyd o'r naill du i'r ffordd, ac a darawodd ar gyfer polyn, nes y troes y cerbyd, fel y pensynwyd y Duc yn drwm gan y codwm.

*Arian drwg.*—Profwyd cant a hanner o bobl yn y deyrnas hon, drwy gyfraith, yn euog o basio arian drwg, a chospwyd hwynt yn y flwyddyn 1836; er hyny, cyfrifwn fod yn ddyledswydd arnom rybuddio masnachwyr i fod ar eu gwiliadwriaeth, canys mae y drwg hwn yn cynnyddu.

*Grym cydwybod dan argyhoeddiad.*—Gwr yn byw yn Accrinton, yr hwn oedd wedi claddu ei dad era un mlynedd ar hugain, a dderbyniodd lythyr yn Llythyrdy Blackburn, yn cynnwys yr hyn a grybwyllir yn ei gynnwysiad. Y llythyr oedd fel hyn:—Syr, yr wyf drwy hyn yma yn adferyd i chwi Bum punt yr hwn swm a dderbyniais o arian eich tad ar gam. Buaswn yn anfon yr arian yn gynt i chwi pe gwybaswn pa le yr oeddych yn byw. Yr eiddoch, Pechadur edifeiriol. Gwnaed Duw chwi yn gyfrannog o'i ras.'—*Blackburn Gazette.*

*Lladrad a'i gosp.*—Aeth cardottyn o'r enw Castree, i mewn i dŷ Mr. J. Daves, o Kentchurch, ac yn y Gegin lle yr oedd y teulu, efe a ofynodd am gardod; a'r teulu a'i naccaodd ef, gan orchymyn iddo fyned allan, na roddent hwy ddim iddo. Dywedodd yntau nad âi efe ddim allan, fod yn rhaid iddo ef gael rhywbeth.

Yna efe a aeth ymlaen at y bwrdd, ac a gymmerth afael yn y gyllell, ac a dorrodd dafell fawr o'r dorth ac a'i cymmerodd gydag ef, ac a aeth ymaith.

Cymmerwyd y dyn i fynu, a dygwyd ef i'w brofi o flaen brawdlys wladol Hereford. Barnwyd ef yn euog, a chyhoeddwyd y ddedryd arno o *Alltudiaeth am saith mlynedd.*

*Y Senedd Ymerodrol*—Erbyn y dydd y dylai y Rhifyn hwn ddyfod i law, bydd y Senedd wedi ei hagor. Canys agorir hi Ionawr 31. Ond fe fydd hyny yn rhy ddiweddar i gael cyfieithiad o Araeth y Brenin yn y Rhifyn hwn. Mae amrywiol o achosion pwysig i ddyfod o flaen y Tŷ eleni. Dylem gofio yn barhaus mai 'Duw sydd yn llywodraethu yn mrenhiniaeth dynion.' Ac fel cristionogion ac fel deiliaid ei Fawrhydi, ein dyledswydd arbenig yw, 'gweddio dros Frenhinoedd a phawb sydd mewn goruchafiaeth, neu awdurdod, fel y gallom ni fyw yn llonydd mewn pob duwioldeb a gonestrwydd.'

*Y Pla yn Malta.*—Malta sydd Ynys yn Môr y Canoldir, yr hon gynt, fel y gwelir yn Llyfr Actau yr Apostolion, a elwid Melita. Gwyr ein darllenwyr fod y pla wedi bod ers hir amser bellach yn Constantinople, ac yn awr daeth hanes fod rhyw long wedi dyfod o Twrci i'r Ynys Malta, a'r pla ynddi, fel y bu gorfod cau holl byrthladdoedd yr Ynys, rhag i neb fyned allan oddiyno mewn un modd nes attal y pla yn eu plith. Mae yn rhaid gan hyny ei bod hi yn amser sobr yn yr Ynys hono, yn y dyddiau hyn.

*Tywyllwch mawr yn Llundain.*—Dydd Sabbath Ionawr 22, am hanner awr wedi hanner dydd aeth dinas Llundain yn hollol dywyll, ac a barhaodd felly am awr a hanner, sef hyd ddau ar gloch. Yr oedd hi yn dywyllach nag un noswaith a welwyd yn Llundain ers llawer o flynyddoedd. Yr oedd galw am ganwyllau ymhob man, yn y tai, y llwybrau, a'r heolydd. Nid tywyllwch tebyg i dywyllwch tarthiog fel y gwelwyd aml waith yno oedd hwn, ond tywyllwch nos, tywyllwch du. Yr oedd y bobl ofn symmud o'u lle, a'r Cerbydau yn gorfod ymattal ar gefn yr heol, hyd nes cael goleu o dai i'w harwain. Yr oedd y cychod ar yr afon wedi dyrysu oll. Yr oedd math o wlaw manronynog tew yn disgyn o'r nef ar hyd yr amser. Dichon Duw roi pen buan ar rodiana a gorchwyliaethu ar y Sabbath!

*Attaliad Caethfasnach.*—Mae Brenhines Portugal wedi cyhoeddi Deddf frenhinol ar fod Attaliad dioed ac am byth i gael ei roi ar Gaethfasnach o fewn i holl derfynau ei thiriogaethau hi, ac ymhlith ei holl alluoedd morawl ymhob man. Ac yr oedd hi yn llawn bryd gwneud hefyd. Drwy effaith cymhelliad Brenin Brydain y bu hyn, fel pethau daionus eraill.

## MARW-RESTR.

Rhagfyr 27, 1836. bu farw Mr. EDWARD JONES, gynt o Faes y Plwm, yn ei dŷ yn Nghilcain. Yr oedd wedi gadael ei 75 mlwydd o'i oedran. Bu farw ymhen blwyddyn union i'r dydd o'r mis y cymmerwyd ef yn glaf. A'r dydd sadwrn canlynol claddwyd ef ymhlith ei bobl yn Mynwent Llanrhaiadr, Dyffryn Clwyd.

Er dryllio o angau 'i babell wan,
'Roedd ganddo ran i'r enaid,
I gyd o'r llawr a gwyd ei lwch
I degwch mwy bendigaid.

Cafodd gymmorth i fod yn bur ddyoddefgar drwy ei holl gystudd; ac weithiau 'cyweiriwyd ei holl wely ef' hefyd. Dywedai yn hynod o dda am Dduw.

Gan fod Mr. Edward Jones, yn ei ddydd, yn brydydd mor rhagorol, fel nad oes neb ar a wyddom, wedi myned y tu hwnt iddo mewn Barddoniaeth Dduwinyddol, o ran cylymiadau cynghaneddol, cyflawnder synwyr, a melusder athrawiaeth a phrofiad. Yr ydym drwy hyn yma, ar ddymuniad ei feibion, yn deisyf ar Feirdd Cymru, wneud Englyn i'w roddi ar garreg ei fedd, a'u hanfon i'r Cyhoeddwr, a'r goreu o honynt a argreffir er coffa hir am dano.

---

## ENGLYNION

*Ar farwolaeth Edward Jones y Bardd, Maes y Plwm.*

Bardd Maes y Plwm, trwm fu'r tro,—i'n gwlad oll,
Glywed am ei briddo,
Gorchwyl prudd, orfod cuddio
Yn y bedd, ei wyneb o.

Pwnc cyfyng i'm pan cofiwyf—am ei farw,
Myfyriawl ddwys bruddglwyf;
Yr awr hon galarwr wyf,
Am Edward Jones, trwm ydwyf.

Aml wagw gŵr, ei deimlo gawn,—rhwyg i'r fron,
Rhyw egr frâth tra chreulawn,
Oll ar ol colli'r hylawn,
Athraw y gerdd, lithrig iawn.

Ei ddyfal gerdd oedd fel gwin,—(hyn yw barn
Y Beirdd yn gyffredin)
A fu i'r oes o fawr rin;
Mae Athraw fu'n ein meithrin?

Mae ef p'am rhaid 'mofyn,—marw weddillion
Yn mhriddellau'r dyffryn:
Yma'r huno am ronyn,
O'n gwydd oll, yr enwog ddyn.

Ond ei enaid, yn dyner,—tuedd rhwydd
At Dduw'r aeth ar fyrder;
Draw ehedai, drwy hyder,
I achles iach, uwchlaw sêr.

Edrych i'r drefn anfeidrawl,—mae yno
Mewn mwyniant ysbrydawl;
Ac uno mewn canu mawl
Godidog, ehediadawl.

Ei dda awen, fydd hoywach,—hon ar dân,
Rhed yno'n gyflymach;
Yn y nef, fe seinia'n iach,
Fawl Iesu yn felusach.

Daw ei gorph a rhyw newid gwedd—arno,
Addurniad tra rhyfedd,
At yr enaid hir rinwedd,
I fwynhau diderfyn hedd.

*Llynlleifiad.* JOHN OWEN.



TRUGAREDD YN GORFOLEDDU YN ERBYN BARN.'

Un o Destynau Cymdeithas Gymreig Bethesda,
Barnwyd y Bryddest hon yn oreu.

Ar ddydd o drychineb, ryw luoedd ymgaaglent;
Gwyr grymus talgryfion mal gweinion y gwywent,
A'r dyner fûn fwynaidd mewn llewyg orweddai,
Dwys wedd o dosturi tros bawb a ymdaenai,
Yn araf, yn araf, yn rhwym yn yr heiyrn,
Esgynai brwnt lofrudd yr oriel er dychryn.
Rhoed iddo, 'mhen enyd, yr archiad arswydlawn,
'Bydd barod, bydd barod, dy gollfarn sydd gyfiawn.'

Yn chwai y carlamai buan-ferch digffroenawg,
A buan dynesai—a llefai ei farchawg,
'Ataliwch, arbedwch, ei fywyd sydd iddo,'—
Yr euog a welid gan falchder yn wylo.

O'r dwyrain cyfeiriai *march gwelw-las* digllawn,
A'i gamrau a sathrent *Europa—barn* gyfiawn.
Ag anadl ei ffroenau y parai farwolaeth;
A brasder teyrnasoedd a fynai'n ysglyfaeth.
Ond wele! *drugaredd*, ei berchen chwibanai
Arafodd ei gamrau, yn ol y dychwelai.

Pan ydoedd du gwmwl, gwg Duwdod, uwch Eden:
Y *farn* a ymdywallt, am fwyta 'r gwaharddbren:
Euogrwydd yn erlid ein rhiaint yn greulawn;
Taranau cyfiawnder yn rhuaw'n arswydlawn:
'Gydag awel y dydd' ryw wrthrych ddynesai,
I Adda ddyn euog, *trugaredd* gyhoeddai.

Yn *farn*, herwydd Ahab, pob cwmwl a beidiai,
Y nefoedd gan sychder, mal pres yr edrychai,
Y ddaear, mewn gwywdra, alarai hi ddeigryn;
A gwedd pob creadur i arall oedd ddychryn.
Ond wele! *drugaredd*, 'Trwst llawer o ddyfroedd;'
Y nentydd llosgadwy yn awr ynt yn foroedd;
A'r bryniau y brefent y defaid rai dofion,
Ynt wellt-glas tyfadwy, porfadwy, yr awr'on.

Drwy Moses a Iesu llefarai IEHOVAH,
'Y felldith a'r *fendith*, dialedd a *no ldfa*,
Mal hyn mae *trugaredd* mae'n foddion rhyfeddu
Yn erbyn *barn* gyfiawn, yn iawn *orfoleddu*.

*Bethesda.* ANONYMOUS.

EMYN DIRWESTOL.

Yn ewyllysgar pwy a ddaw
I arwydd-nodi 'n deg â'i law,
Mwy natl arfero tra f'o byw
Ddiodydd meddwol o un rhyw?

Mae'n rhaid croeshoelio'r cnawd ar frys,
Marweiddio chwant, enwaedu'r blys:
Bydd blasu'r gwin a'r ddiod gref
Yn dramgwydd ar ein ffordd i'r nef.

O! nac edrychwn ar y gwin;
Alltudiwn ef oddiwrth ein min:
Mewn dyfal ddirwest byddwn fyw,
Dymunol ffrwyth yr Ysbryd yw.

Mae'n dilyn gwin effeithiau drwg;
Y galon ymaith hwn a ddwg:
Ymgadwn rhagddo fel y tân,
A llanwer ni â'r Ysbryd Glân.

Er gwerth y'n prynwyd ar y groes;
Yn eiddo'i hunan neb nid oes:
Am hyny gogoneddwn Dduw
Mewn corff ac ysbryd tra f'om byw.

Gwareder ni trwy ddwyfol râs
Rhag llwybrau yr ysbeilydd câs:
Gweddïwn hefyd, mae'n llawn bryd,
"Sobreiddier meddwon dros y byd."

*Liverpool.* PEDR FARDD.

"OFFRWM GWIRFODD."

[Eglwys fechan a gwan, wrth roddi anrheg yn ol ei gallu, i weinidog a fu yn llafurio yn eu plith, a roddes y pennill canlynol yn ei law gyda'r anrheg ar ei ymadawiad oddiyno.]

Pâr o Durturod, neu ddau Gyw Colomen,
A roes y chwaer fechan, dylawd, yn ei hangen,
I 'r athraw Parchedig yn offrwm gwirfodd-deg,
A mawr yw ei chwyno na byddai'n ychwaneg.

# PERORIAETH.

**Sarepta. M. N. 8. 7. Gan Isaac Williams, Treffynnon.**

Cadben mawr ein iachawdwriaeth, &c.







# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXV.] MAWRTH, 1837. [LLYFR. VII.

## GWRTHGILIAD.

(Parhad tu dalen 15.)

*Ar euogrwydd a niweidiolrwydd gwrthgiliad, rhoddir i fewn gydag ychydig gyfnewidiau (copy) o lythyr a ysgrifenid lawer o flynyddau yn ol at fenyw ieuanc, oedd wedi cwympo oddiwrth grefydd, ond am adferiad yr hon y pryd hyny, y coleddid gobeithion cryfion, er iddynt brofi yn llwyr dywyllodrus.*

'Fy nghyfeilles ieuanc,

Goddefwch i mi ysgrifenu ychydig linellau attoch, er amlygiad ychwanegol i chwi o'm gofal pryderus am eich lles tragywyddol: *ie*, eich lles tragywyddol; canys pa beth ymddengys yn hir yn deilwng o'n bryd, heblaw pethau tragywyddolfyd! A buan y cewch chwi Sarah, ganfod nad oedd dim arall yn deilwng o'ch meddylfryd,

Yr ydwyf yn gobeithio nad yw y gofid a'r edifeirwch am eich ymddygiad, a amlygech y Sabbaih diweddaf, ddim wedi diflanu drachefn fel cwmmwl y boreu, ac fel gwlith boreuol. Bum yn gweddio drosoch, nid yn unig y pryd hyny, ond yn fynych cyn hyny; ac os dychwelir chwi yn wirioneddol i lwybrau heddwch byddaf yn ystyried y cyfryw weddiau wedi eu hatteb.

Ac yn awr Sarah, pa beth yw ansawdd eich calon chwi? Ai difeddwl ydyw eto? A ydyw hi eto wedi ymgaledu? Na atto Duw! ond pared iddi fod yn dyner, gost yngedig, ac edifeiriol! Fy anwyl gyfeilles y mae arnoch eisiau edifeirwch. Nid oes arnaf eisiau edliw dim a aeth heibio i chwi; eto y mae cariad at eich enaid yn fy ngorfodi i ddweyd wrthych, Yr ydych mewn angen am edifeirwch dwfn a dwys iawn. Mae yn ddiau eich bod chwi wedi cwympo oddiwrth Dduw; ond a ydych chwi yn edifeiriol? Os ydych, ni fynnwn er dim ddryllio y gorsen ysig. Yn hytrach cyfarwyddwn chwi at addewidion eich Duw hawddgar; er darfod i chwi gefnu arno yn ddiweddar.

Gan hyny, clywch pa beth a ddywed efe yn ei air, 'Dychwelwch attef fi, a mi a ddychwelaf attoch chwi:'—dychwelwch, feibion gwrthnysig, ac mi a iachaf eich gwrthnysigrwydd.'—'Meddyginiaethaf eu hymchweliad hwynt, caraf hwynt yn rhad;'—'Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlawn yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac ŷ'n glanhâo oddiwrth bob anghyfiawnder:' Gwaed Iesu Grist ei Fab ef, sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod.' I chwi y gwnaethfrwyd yr addewidion hyn; na atto Duw eu bod yn ofer i chwi. Mae Duw eto yn ewyllysgar i'ch derbyn chwi; mae yr Iesu eto yn ewyllysgar i'ch croesawi chwi. Dichon ei waed ef eich glanhau chwi eto oddiwrth eich holl bechodau; a'i law dyner gynnal eich cerddediad lleag. Gwelwch Pedr wrthgiliedig; efe a gafodd drugaredd, ac a aeth o'r byd hwn i gydganu â'r gwaredigion fry. O Sarah, ceisiwch ras yr Iachawdwr o newydd; ac ni bydd eich cais yn ofer. Canys etto, efe a roddai dangnefedd, maddeuant a nefoedd i chwi, ac a'ch dygai yn fuan i fysg ei waredigion fry. Ac onid yw y fath ystyriaethiau yn barod i doddi dy galon? Pa beth, a dderbyniai fy Iachawdwr anwyl fi eto, a minnau wedi gwneyd y fath gam ag ef! Gwnai, yn wir efe a wnai: ac a allwn I eistedd i lawr gyd â'i saint frŷ? Ac a all fy ysbryd dedwydd I addoli ei gariad ef, pan fyddo y corph iachus hwn yn dywarchen farw yn y bedd, a'r galon oer hon, yn oerach

yn y briddell? O! gan hyny a all ddedwyddwch di-ddiwedd fod yn eiddo i mi? Gall. Gan hyny, a ddibrisiaf I ef eto? A dröaf fi o ffordd y bywyd? A wrthodaf fi fy Mhrynwr anwyl? O Dduw, dryllia fy nghalon galed a'm twyllodd cyhyd; ac na ad iddi fy nhwyllo mwyach!

Ond, fy nghyfeilles hoff, tra fyddo addewidion gras yn dy galonogi i ddychwelyd, byddai yn fuddiol ond odid, er ychwanegu dy ddifrifoldeb, i ti ystyried pa beth a fuost yn ei wneuthur. Yr ydwyf yn credu i ti fod o fewn ychydig i roddi crefydd i fynu yn hollawl. Meddwl pa beth a wnaethit, pe gwnaethit hyny yn hollol. Pa le y buasai dy obeithion, dy gyfeillion, dy gysuron; a pha le cyn hir y buasai dy enaid? Yn y cyfryw gyflwr, o throisit dy lygaid tu a'r nef, gallasit ddywedyd, Dacw'r lle y trig yr Arglwydd; gallaswn ddywedydd unwaith, Dacw'r lle y trig *fy* Nuw; ond, och! ni allaf ei arddelwi fel *fy* eiddof mwyach. Cyfrifwn ef unwaith yn gyfaill i mi, ond yn awr yr wyf wedi ei wneyd ef yn elyn. Ei gariad oedd fy rhan; ond nid yw yn eiddo i mi mwy. Dacw lle trig yr Iachawdwr, *fy* Iachawdwr y galwn ef unwaith, ond ni feiddiaf honi un ran ynddo yn awr. Mae eraill yn ddedwydd yn ei gariad; ond myfi a gollais y dedwyddwch hyny; mae eraill yn ddïogel dan ei ofal; ond yr wyf fi oddiallan i'w nawdd ef: cafodd eraill ddilëu eu pechodau yn ei waed ef; meddyliais innau unwaith, fod yr eiddof wedi eu dilëu; ond myfi a'i hail groesheoliais ef, ac a dynais lwyth deublyg o euogrwydd ar fy enaid fy hun. Dacw lle trig ei gyfeillion ffyddlawn hefyd. Hwynt hwy a lafurient ac a ddyoddefent yma, ond y maent yn gorphwyso yn y nef; bum innau unwaith yn gobeithio, cael cyfrannogi o'u llawenydd; ond y mae y gobaith hwnw wedi diflanu yn bresenol. Nid yw Duw yn Dduw i mi mwyach, na Christ yn Iachawdwr i mi mwy; na'r nef yn gartref dysgwyliedig i mi yn hwy.

Nid wyf yn dywedyd Sarah, mai y rhai uchod a ddylent fod eich adfyfyrion pruddaidd yn bresenol. Ond fy nymuniad yw, ar i'r llythyr hwn eich cyfarfod chwi yn dychwelyd at Dduw; eto dylasent fod, pe glynasech yn eich gwrthgiliad; a dylent fod, os byth y cwympwch chwi ymaith oddiwrth Grist. A bydded i ystyriaeth o'r cyflwr truenus yr aethoch iddo, a'r gwg arswydus a dynasoch arnoch eich hunain, eich llanw â gwyliadwriaeth ac â gostyngeiddrwydd, a'ch arwain i arfer gweddi. Mawr oedd eich perygl; oblegid, y mae uwchlaw gallu dynol i ddarlunio drygedd ymadawiad â Duw. Gwrthgilio yn hollawl, yw rhoi Duw i fynu, rhoi Crist i fynu; rhoi gobaith, dyddanwch, a'r nefoedd i fynu; eich gwneyd eich hunan yn gaethwas i Satan; parotoi eich enaid i fod yn etifedd trueni tragywyddol, bwrw bywyd tragywyddol ymaith, a dewis marwolaeth dragywyddol. Gwrthgilio, Sarah, yw dibrisio eich cyfeillion goreu, a boddio eich gelyn gwaethaf; gwneyd i'r nef alaru, ac i uffern lawenychu; ymddwyn mor anweddaidd ac yr ymddygodd Satan ei hunan, gan ddangos yr anniolchgarwch mwyaf i Dduw cariadlawn, a mathru gruddfanau, poenau, a gofidiau Iachawdwr trengedig dan draed. Gwrthgilio, Sarah, yw dewis cythreuliaid yn gymdeithion yn lle angylion, uffern yn gartref, yn lle nefoedd, wylofain ac annobaith yn rhan, yn lle tangnefedd a moliant. Mewn gair, mae gwrthgilio yn weithred mor ddrygionus, mor wallgofus, mor uffernol, fel mai prin y dymunai y cythreuliaid gyflawni un weithred waeth; ac och! Sarah, a ddechreuasoch chwi ar y fath weithred a hon? Molianner Duw os ydych chwi yn awr yn alarus am hyny! Ffowch ato ef o newydd fy nghyfeilles! Dadleuwch yr addewidion crybwylledig o'i air ef, ger ei fron. Moliennwch ef, am na roddes chwi i fynu i galedwch calon! ac o'm calon y dymunwn i chwi gael ei foli ef am hyn etto yn y nef.

Na thybiwch fy anwyl gyfeilles, fod y darluniad uchod o ddrygedd gwrthgiliad, yn rhy gryf. Mae gair Duw yn darlunio y rhai ydynt wedi ymgaledu mewn gwrthgiliad, fel rhai wedi gwyro ar ol Satan; fel rhai yn cael barnedigaeth am iddynt ddirmygu y ffydd; fel rhai yn tynu yn ol i golledigaeth; fel rhai wedi eu cau allan o'r orphwysfa dragwyddol; fel rhai yn ailgroeshoelio iddynt eu hunain Fab

Duw, yn ei watwar ef, ei sathru dan draed, a barnu yn aflan waed y cyfammod drwy yr hwn eu sancteiddiwyd, ac yn difenwi Yspryd y gras; fel rhai yn syrthio i ddwylaw y Duw byw, ac yntau yn dân ysol iddynt hwy; ac fel rhai a'u diwedd yn waeth na'u dechreuad. Iddynt hwy y mae yn aros, ryw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr. Hwynthwy yw y rhai a gwympasant i fagl diafol, y rhai a ddygir yn gaethion ganddo wrth ei ewyllys ei hunan. O ddarluniadau arswydus! pa gyffro a ddylent weithredu ynoch, a pha fraw, rhag eich cael chwi yn y fath gyflwr! Dwyn yn gaeth gan Satan—pa beth a all fod yn waeth! Pe gallech chwi ganfod y gelyn arswydus hwnw yn llusgo enaid annedwydd i golledigaeth, oni chrynech chwi gan fraw? etto cofiwch fod y gwrthgiliedig yn cael ei ddal gan ddiafol wrth ei ewyllys ef. O pared y syniadau arswydus hyn i chwi wylied a gweddio; chwilio eich calon eich hunan, ac ymholi i'ch cyflwr eich hun, *fel na byddoch yn ymddiried ynoch eich hunan*; ond yn ymddibynu ar eich Pryniawdwr; ac yn arswydo mwy rhag yr euogrwydd o wrthgiliad na'r trueni yr arweinia iddo.

Trachefn, Sarah, os teimlasoch loesau cydwybod archolledig, ceisiwch heddwch o newydd trwy waed yr Oen: a bydded yr oriau annedwydd a dreuliasoch, a'r dagrau a achlysurodd eich cwymp, yn gymmifer o gymmhellion cryfion arnoch i ddychwelyd at Dduw, ac i lynu wrth Grist. Mae yn ddilys eich bod wedi gweled cyn hyn, nad yw dïofalwch a gwammalrwydd yn ddigonol i wneyd cyflwr y gwrthgiliedig yn ddedwydd. Chwi a wyddoch rywfaint am y gwirionedd yna, ac y mae amryw a wyddant lawer am dano. Crybwyllwn chwi am gyfaill a ddywedai wrthyf mor ddedwydd ydoedd yn ffyrdd Duw. Heddwch tuag at Dduw a wnelai ei fywyd yn gysurus. Y nos a'r dydd oeddynt hyfryded a'u gilydd, ac ofni a ffoai yn mhell oddiwrtho; ond y temtiwr a sisialai yn ei glustiau, 'Pa angen am gymmaint o helynt gyda chrefydd?' Y cyfryw eiriau neu eu cyffelyb, a nofient trwy ei feddwl, nes o'r diwedd y dechreuodd roddi lle iddynt, y dyrywiodd, a'r temtiwr a gafodd y fuddugoliaeth. A bellach, yn iach i heddwch; ei holl gysuron oeddynt wedi diflanu. Nis gallai orwedd i lawr y nos, heb ofni y deffröai mewn gofid tragywyddol cyn y boreu. Ac efe a gafodd brofi mai peth chwerw, cystal a drwg, oedd gadael ei Waredydd. Fy nghyfeillos, dysgwch ddoethineb oddiwrth eich dedwyddwch eich hunan; dysgwch hi oddiwrth yr eiddo eraill. Chwychwi a fuoch yn agos i fin y dibyn, o'r hwn ni ddychwelodd llawer a'i cyrhaeddodd; ond cwympasant oddiwrth Dduw, heb ail gyfodi mwy. O byddwch yn ddïolchgar am na chwympasoch chwi lawn mor isel a hyny! O byddwch yn wyliadwrus rhag y bydd i chwi! O ymdrechwch! na byddo eich edifeirwch y tro hwn, yr unrhyw ag a fu ychydig fisoedd yn ol.

Pe dywedwn ychwaneg Sarah, yna y'ch cyngorwn drachefn i edrych rhagoch ar bethau dyfodol. Meddyliwch am eich gwely angau, eich gwaed yn dyrysu, eich calon yn pallu, eich cyfeillion anwylaf yn cefnu arnoch y tro olaf, a chwithau yn ymadael i gyfarfod â'ch Duw. Pa ryw ddyddanwch a fydd i chwi y pryd hyny, fod genych Iachawdwr! Pa ryw ofid a bair i chwi, os yn wrthgiliwr eich cair y pryd hyny; a'ch bod yno yn gorfod adgofio i'r rhybudd cyfeillgar hwn gael ei daflu heibio genych, heb dderbyn o honoch unrhyw les oddiwrtho. Golygwch eich hunan yn sefyll o flaen eich Barnydd.

Mor ddymunol fyddai gweled llewyrch boddhaol ar ei wynebpryd! mor dda i chwi a fyddai i chwi ganfod eich holl bechodau wedi eu dilëu trwy ei waed ef, ac yn mhlith y rhestr ddu, y pechod arswydus o'i adael ef! Ac yn awr Sarah, cofiwch mai yr eiddoch chwi fydd y dedwyddwch hwn, os dychwelwch atto, ac os glynwch wrtho. Ond och! mor druenus a fyddwch, os ei gyfarfod yn ei wg a wnewch, ac os bydd rhaid i chwi ei wrando yn dywedyd, Chwychwi a'm gadawsoch I, pan oeddych yn y byd llosgedig acw; ewch, ewch oddiwrthyf am byth! O y

fath ruddfanau chwerwon a ymdorent o'ch calon! Y fath ddagrau heilltion, os gellid wylo, a lifeirient o'ch llygaid! O fel y byddech yn udo yno, na buasech yn gwylio ac yn gweddio, yn cyfodi pob croesau, yn dioddef pob caledi, ac yn ymwadu â phob hudeliaethau; ie, yn marw dros Grist yn hytrach na'i wadu ef!

Fy nghyfeilles, ewch drwy y fynwent. Edrychwch ar ei beddau. ac ystyriwch ynoch eich hunan ryw beth yn debyg i'r hyn a ganlyn:—Yma y gorwedd yr ieuanc, yr iach, a'r grymus. Yma y gorwedd y rhai a lygad-dynwyd gan y byd unwaith, a'r rhai er ei fwyn a ddibrisient eu heneidiau anfarwol; ond pa beth yw y byd iddynt yn awr? ac yn fuan iawn y bydd y corph ieuanc, iachus hwn, yn malurio yn llwch fel yr eiddynt hwythau; a buan bydd yr aelodau bywiog hyn yn ddaear gyffredin. Buan y cauir fy llygaid yn y byd yma, a'i holl ofalon a'i bleserau, ni'm poenant ac ni'm boddhânt yn y bedd: ond pa le y bydd fy ysbryd anfarwol y pryd hyny? ni all hwnw farw: ond efe a fydd byw byth; ac a werthaf fi yr enaid hwnw i Satan, heb gael ond y byd hwn am dano? Ac a adawaf fi yr unig Waredwr, gan wrthod seiliau gobaith? O galon ynfyd, a feddyliai am y fath beth erioed! O'r fath greadur twylledig a thruenus a fûm I! canys dechreuais wneuthur hyny.

Fy anwyl gyfeilles, pa beth a ddywedaf yn ychwaneg? Mae yn drwm genyf feddwl eich gweled etto ar law aswy y Barnwr tragywyddol. Mae yn alarus genyf orfod ofni na chaf byth eich cyfarfod yn mro tangnefedd, wedi bod yn tori bara y bywyd i chwi lawer gwaith. Pe gallaswn luddias eich enciliad, ni chawsech encilio byth. Dychwelwch at Dduw, a chewch fwynhau ac etifeddu tangnefedd etto. Dychwelwch at yr Iesu, a chewch fod yn ddedwydd etto. Ond gofalwch am ddyfod o lwyrfryd calon; gyda gweddi ddyfal; gyda gwyliadwriaeth eiddigus, rhag eich twyllo eich hunan, mewn peth o'r fath ganlyniad tragywyddol. Dysgwch fyw ar Grist; ymddibynwch arno ef; edrychwch atto ef. Gwrthwynebwch y byd am enyd fechan, a chewch etifeddu gwlad well yn fuan. Ymdrechwch ymdrech dda ffydd, ac yn fuan chwi gewch dderbyn coron gogoniant. Nid yw yr ymdrech ond byr, yr orphwysfa a fydd yn dragywyddol. Ac yno o'r diwedd y byddwch chwithau tu hwnt i bechod, Satan, y byd, a chalon dywyllodrus; yn moli Duw am y gras a'ch deffröodd gyntaf; a'r gras mwy a'ch dug yn ol at Dduw. Canniatäed Duw hyny! Amen!'

---

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### ZEPHANIAH.

Zephaniah ydoedd yn prophwydo yn yr yspaid cyntaf o weinidogaeth Ieremia. Dyben Zephania yn ysgrifenu ei brophwydoliaeth ydoedd,

1. I gyhoeddi barnedigaethau dychrynadwy Duw, o herwydd pechod, ar yr Iuddewon a'r cenhedloedd cylchynawl.

2. I'w hannog i edifeirwch.

3. I gysuro'r duwiolion âg addewidion efengylaidd.

Yn llyfr Zephaniah mae tair o bennodau, yn cynnwys pedwar dosparthiad.

Dosparthiad I. Arddadganiad o farn yn erbyn yr Iuddewon o herwydd eu heilunaddoliaeth a'u drygioni, pen i.

Dos. II. Gwahoddiadau i edifeirwch dioed, pen. ii. 1—3.

Dos. III. Arddadganiadau o farn yn erbyn y Philistiaid, y Moabiaid, yr Amoniaid, a'r Ethiopiaid, pen. ii. 4—15.

Dos. IV. Prophwydoliaethau am waredigaethau a llwyddiant diweddaf pobl Dduw o dan deyrnasiad y Messiah, pen. iii.

*Cyfeiriadau yn Zephaniah.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i. 7, 8 | Dat. xix 17—19 | Pen. iii 12 | Iago ii 5 |
| 11 | Iago v 1 | 16 | Heb. xii 12 |
| ii 11 | Ioan iv 21 | | |

---

### HAGGAI.

Haggai a brophwydodd ar ol dychweliad yr Iuddewon o Babilon. Yn eu gwaith o adeiladu yr ail deml yn Ierusalem, cafodd yr Iuddewon eu lluddias yn fawr gan lywodraethwyr Persiaidd y taleithiau cymmydogaethol, fel ag i beri iddynt beidio a'u gwaith am yr yspaid oddeutu pedair blynedd ar ddeg, gan dybio nad

oedd yr amser i gwblâu yr adeiladaeth wedi dyfod etto. Ond Duw yn tueddu Darius yr Ymmerawdwr, i adnewyddu gorchymyn Cyrus, a gododd Haggai i'w calonogi yn y gwaith, yr hwn y pryd hwnw a orphenwyd mewn ychydig flynyddoedd. Llyfr Haggai sydd wedi ei ddosparthu i ddwy o bennodau neu ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn cynnwys cwyn esgeulusdra yr Iuddewon, ac annogaeth iddynt fyned yn mlaen gyd âg adeiladu y deml, dan y sicrwydd o ddwyfol gynnorthwy, pen. i.

Dos. II. Sydd yn coffâu rhagddywediadau cysurlawn y byddai gogoniant yr ail deml yn fwy rhagorol na'r gyntaf, o herwydd byddai yn cael ei gwahaniaethu â phresenoldeb a gweinidogaeth y Messiah yr hwn mae y phrophwyd yn ei enwi, 'Dymuniant yr holl genhedloedd.'

*Cyfeiriadau yn Haggai.*

| | | |
|---|---|---|
| Pen. i 13 | Matt xxviii 20 | Rhuf viii 31 |
| ii 6, 7 | Heb xii 26 | |

ZECHARIAH.

Zechariah ydoedd gyd-oeswr a chyd lafuriwr a Haggai yn y weinidogaeth brophwydol; a dyben ei ysgrifeniadau ydoedd yr unrhyw ag eiddo ei gydwas ysprydoledig. Ond mae ymddiddanion Zechariah yn llawer mwy maith a neillduol, i'r dyben o galonogi yr Iuddewon i ail sefydlu gosodiadau eu cenedl.

Llyfr Zechariah sydd ranedig i bedair ar ddeg o bennodau, yn cynnwys dau brif ddosparthiad.

Dosparthiad I. Sydd yn cynnwys amrywiol ymddiddanion a gweledigaethau, wedi eu haddasu yn rhyfeddol i wroli meddyliau yr Iuddewon i ail adeiladu y deml, ac adnewyddu ei sefydliadau crefyddol cyhoeddus, pen. i—vi.

Dos. II. Cofnodiad o amrywiol ymddiddanion a rhagddywediadau am bethau dyfodol, yn enwedig ynghylch dyfodiad Crist, a bendithion ysprydol ei deyrnas ar y ddaear, pen. vii.—xiv.

Yn llyfr Zechariah mai tri o bethau sydd yn teilyngu sylw neillduol.

1. Y rhag ddywediad am fynediad Crist i mewn i Jerusalem yn marchogaeth ar ebol llwdn asyn. Cymherwch pen. ix, 9, a 10. Matt. xxi, 5.

2. Y brophwydoliaeth am y swm penodol o arian y rhai a dderbyniai Iudas am fradychu Crist; a'r defnydd neillduol a wnaed o'r arian hyny, pan ddygwyd gan y bradychwr. Cymherwch pen: xi. 13. a Matt. xxvi 14, 15. Mat. xxvii. 3—10.

3. Yr arddangosiad oruchel mae Zechariah yn ei roddi o'r bendithion ysprydol i'w mwynâu gan yr eglwys oddiwrth gyfryngdod Mab Duw mewn cnawd. Mae agos i bob gwahan-ran o'r brophwydoliaeth hon yn cyfeirio at ogoniant yr eglwys efengylaidd.

*Cyfeiriadau yn Zechariah.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i 8 | Dat vi 4 | Pen ix 9 | Matt xxi 4, 5 |
| ii 10 | Ioan i 14 | | Ioan xii 14, 15 |
| iii 1 | Rhuf viii 33 | 11 | Heb xiii 20 |
| 9 | Dat v 6 | xi 13 | Matt xxvii 3—10 |
| iv 10 | | xii 10 | Ioan xix 34—37 |
| vi 1—8 | vi 2 -4 | | Dat i 7 |
| 12 | Ioan i 45 Heb | xiii 7 | Matt xxvi 31 |
| | iii 1—3 Math | | Marc xiv 27 |
| | xvi 18 | xiv 21 | Eph ii 19—22 |



GWELEDIGAETH MOSES,

*Sef, 'Y berth yn llosgi yn dân, ac heb ei difa,'* *Ecs.* iii. 2.

Yr oedd Moses, pan gafodd efe y weledigaeth ardderchog hon, o fod yn dywysog yn yr Aipht, wedi dyfod i fod yn fugail yn Midian. Yr amser y gwelodd efe y weledigaeth nefol, oedd pan yn gwylio praidd Jethro, a'r lle y cafodd efe y weledigaeth, oedd, o'r tu cefn i'r anialwch, yn mynydd Duw, Horeb. Felly ar yr achlysur hwn ymddangosodd Angel yr Arglwydd iddo, nid angel creuedig, ond Angel y Cyfammod, yr hwn a ymhonnodd iddo ei hun y teitl uchel o 'Dduw Abraham, Isaac, a Jacob,' Exod. iii. 6. ac 'Ydwyf yr hwn Ydwyf,' adn. 14.

Y Messiah ei hun a ymddangosodd iddo mewn fflam dân o ganol perth: ac wele y berth yn llosgi yn dân, a'r berth heb ei difa, adn. 2. Newydd-der yr olygfa a'i cymhellodd ef i foddhau ei gywreinrwydd i ddynesiad agosach; ond fe'i hattaliwyd yn ddisymwyth gan lais Duw, yr hwn a roddodd eglurhad digonol ar y rhyfeddod.

A ddylem ni ymofyn yn awr paham y dewisodd y Mawrhydi dwyfol ymddangos yn y dull hwn? Pe na fedrem roddi un rheswm arall ond ei ewyllys benarglwyddiaethol, fe fyddai hyny yn ddigon. Ond, yn fwyaf cyffredin, yr ymddangosiadau a'r amlygiadau o'r Duwdod, yn yr

oes gysgodol hono, oeddynt yn cael eu caniattâu yn y fath fodd, ag i arddangos rhyw ddirgelwch cuddiedig, neu athrawiaeth bwysfawr yr Efengyl. Yr oedd y 'fflam dân' yn arwyddo natur bur ac ysbrydol Duw, yr hwn a ymddangosodd yn y berth, o ba un nis dichon un gyffelybiaeth gael ei gwneuthur. Ac hefyd, nid yw yn anghymwys meddwl y gallai 'y berth yn llosgi' ddarlunio cyflwr Israel y pryd hwnw, y rhai oeddynt yn ddyrysedig yn mherth ddreiniog adfyd, ac yn amgylchynedig gan dân cystudd, ymha un yr oeddynt yn debyg o gael eu difa.

Ond gadewch i ni droi yn awr, ac ystyried ynghyd a Moses 'y weledigaeth fawr hon,' gyd â mwy o ddyfalwch, ac fe allai y cawn hi yn arwyddlun cynnwysfawr o Iesu Grist yr hwn oedd yn y berth. Ac yn gyntaf mae yn ymddangos mai gweledigaeth raglithiol ydoedd hon o ddyfodol ymgnawdoliaeth a dioddefiadau y Cyfryngwr. Gallai 'y berth' arddangos ei natur ddynol, nid yw yn annhebyg ol, yn neillduol pan y mae Esaiah yn ei gydmaru i 'Flaguryn a gwreiddyn o dir sych,' ymha un i lygaid synwyr, nid oes un ffurf, tegwch, na phrydferthwch i'w gael.

Gallai y 'fflam dân' arwyddo ei natur ddwyfol: nid ydyw yn llai amlwg pan ystyriom mor fynych y mae'r elfen dân, yn iaith yr Ysgrythyr, yn arwydd o'r Duwdod; ac fe ddywedir yn bendant, 'Ein Duw ni sydd dân ysol,' Heb. xii. 29. Gall undeb y fflam dân â'r berth, osod allan yr undeb rhwng y Duwdod a'r dyndod, nid ydyw mewn un modd yn afresymol meddwl; oblegid, paham y buasai Moses pan yn bendithio Israel cyn ei farwolaeth, yn cael ei gyfarwyddo i lefaru am 'ewyllys da preswylydd y berth?' Deut. xxxiii. 1. Gallai parhad y y fflam dân yn y berth dros fyr amser fod yn arwydd cysgodol o gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn dragywyddol yn y dyn Crist Iesu.

Megis ag yr oedd y berth yn y tân a'r tân yn y berth, etto yr oeddynt yn wahanol bethau er eu bod fel hyn wedi eu huno yn un; felly hefyd y mae y dyn Crist Iesu yn Nuw, a'r Duw yn y dyn, er bod y ddwy natur hyn wedi eu cylymmu mor ddirgelaidd, etto y maent yn cadw eu gwahanol gynheddfau. Etto os tarawyd Moses â syndod wrth weled y 'berth yn llosgi ac heb ei difa,' er ei bod ynghanol y fflam dân, llawer mwy y gallwn ni synnu a rhyfeddu, wrth feddwl fod cyfran o'n dynoliaeth freuol ni yn byw yn dragywyddol mewn sefyllfa o'r agosrwydd mwyaf i, ac mewn undeb annhraethadwy â, y Duwdod gogoneddus, yn mhresenoldeb pa un nis gallwn ni farwolion fyw, ac y mae hyd yn oed yr angylion 'yn cuddio eu wynebau' â'u hadenydd.

Yma hefyd y gellir canfod arwydd o'r dioddefiadau echryslon hyny, trwy ba rai yr oedd i Fab Duw wneuthur Iawn dros ein pechodau. Oblegid mae digofaint Duw yn fynych iawn yn yr Ysgrythyr yn cael ei gydmaru i dân, y mwyaf ffyrnig ac ofnadwy o'r holl greaduriaid difywyd, yr hwn sydd yn difa pob peth hylosg gyd â llymder tost. Pwy o'r holl hil ddynol a allai drigo gyd â'r elfen ddifaol hon? llai o lawer y gallai neb 'breswylio gyd â llosgfeydd tragywyddol,' llidiawgrwydd yr Hollalluog.

Ond fe drigodd Iesu Grist gyd â'r fflamiau echryslon hyny, ac er iddo ddioddef soriant Duw yr hwn a fflamiodd yn angerddol i'w erbyn, pan ydoedd yn dwyn 'pechodau llaweroedd yn ei gorph ar y pren,' ac er ei fod yn cael ei gylchynu gan y tân hwn holl ddyddiau ei fywyd darostyngedig, etto ni ddifawyd ef o herwydd ei Dduwdod, fel yr angel yn y berth, cynnorthwywyd ei ddynoliaeth, ac efe a ddaeth i fynu yn orchfygwr gogoneddus."

HEUM IOANNES.

*Ll-n-r-st.*

---

## LLOFFION

*O rai o'r pregethau a bregethwyd Ynghymdeithasfa y Bala, Mehefin 15 a 16, 1836; wedi eu gwneud i fynu o'r tywysenau a gasglwyd wrth wrando.*

Am 6 ar gloch prydnhawn y dydd cyntaf pregethodd Mr. Jenkin Davies, ar Esa. 45,22, 'Trowch eich wynebau attaf fi holl gyrau'r ddaear, fel i'ch achuber.'

Y mae dyn wedi cefnu ar Dduw yn foreu, sef mor foreu ag Adda. Pan

wythio dyn y mae brys arno am godi; ond nid felly mewn pechod: dim brys. Yr Iachawdwr sydd yn galw, 'Trowch eich wynebau attaf fi.' Rhaid plygu iddo; gwell yw troi atto. Nid yw yn hoff gan ddyn Dduw, 'nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef.' Gwrthun yw gweled plentyn yn anghofio ei fam yr hon a'i meithrinodd, 'Etto fy mhobl a'm hanghofiasant i.' Nid oes un gwrthrych y tal rhoi ymddiried ynddo ond Duw yn Nghrist. 'Trowch eich wynebau attaf fi holl gyrau y ddaear.' Rhy fach oedd i Grist fyned yn was am lwythau Israel yn unig, 'mi a roddaf y cenhedloedd i'th feddiant.' Fe ddisgynodd yr Ysbryd Glan ar bawb oedd yn nhŷ Cornelius, ac yr oedd yn rhaid ar Pedr fedyddio pawb oll. Daw yr amser pryd y bydd hyrddod Cedar o deulu Ismael yn troi eu hwynebau at Dduw; nid yw gwyr mawr yn cael dweud y gwir wrthynt bob amser; etto galwyd rhai gwyr mawr, megis Job, Moses, &c. Y mae'r tlodion yn cael chwareu teg. Dywed rhai fod yn anhawdd i wyr mawr fyw yn dduwiol: ond yr oedd gan Dduw ei saint yn nheulu Cesar; fel Asyn asgyrnog rhwng dau bwn.

'*Fel i'ch achuber.*' Dywedodd Mr. Boston. 'Angau a laddodd ein tadau, do ein Crist hefyd, Duw a wared fy enaid i o uffern.' Bydd y cristion ar gael yn y diwedd.

Ar ei ol ef pregethodd Mr. David Howel, ar Salm. 51. 17. 'Aberthau Duw ydynt ysbryd cystuddiedig; calon ddrylliog gystuddiedig o Dduw ni ddirmygi.'

Aberthau o bwys mawr yw bod yn y golwg amcan am foddloni Duw. Yr oedd agwedd y Publican yn wael yn ngolwg dynion, ond nid felly yn ngolwg Duw. Pethau o osodiad Duw oedd Aberthau, ac offrymau; etto dywedir ar achlysur, 'Aberth ac offrwm ni chwenychi.' Nid oedd Aberth dros bechod Dafydd, sef llofruddiaeth; er hyny fe fu Crist fyw a marw dros filoedd o lofruddion. Y mae galwad am Aberthau etto, sef calon ddrylliog: ni bydd neb yn ddynion i Dduw heb eu lladd. Nid aberthau am fai ydyw y rhai hyn, ond aberthau o ufudd-dod ydynt. Fe gafodd Duw ddigon o Iawn gan Grist.

Y mae cynnifer o ffyrdd gan ddynion at eu cadw, ac sydd o ddynion, ond mae yn rhaid cael pawb i'r un ffordd iawn. Ni ddaw neb at Grist heb ddyfod atto ei hun yn gyntaf. Y mae tuedd mawr mewn cyfarfod fel hwn i fyned a ni oddi wrth ein cyflwr. Dim ond 'agor ein llygaid a'n troi' a ddaw a ni at ein cyflwr. Y mae llawer wedi clywed a darllen am uffern, etto yn uffern heno. Peth mawr yw i'r gair ddyfod adref, 'ti yw'r gwr.' Fe wyr y sâl am boen y clefyd, felly gwyr y Cristion am boen o bechod. Cysondeb yr argyhoeddiad yw ei fod yn parhau. Cystudd o werth mawr yw cystudd enaid; gwawr bywyd yw hyn; gobaith cael byw; peth mawr fydd cael bod o ysbryd cystuddiedig yn y cyfarfod hwn. Mae nesâu at gystudd Crist yn rhwym o'n nesâu at gystudd yspryd. Pawb a gedwir rhaid eu cael i lawr i fyw ar elusen. Rhaid ein cael yn gardotwyr neu ein colli. Ar y truan a'r cystuddiedig o yspryd yr edrychaf fi; agos yw'r Arglwydd at y rhai drylliedig o galon. Llefwn am gael calon ddrylliog. Rhaid dryllio'r galon, neu fe'n dryllir ni byth. Nid oes dim eisiau myn'd ymhell am offerynau. Pan fo cystudd enaid bydd y dagrau a'r gwallt, yn lle dwfr a thywel. Yr oedd dagrau Mair yn treiglo wrth draed Crist, ac yn cyffesu, a'r Iesu yn maddeu.

---

Am 6 y boreu yr ail dydd, Pregethodd Mr. William Williams, Deheudir, oddiwrth 1 Cor. 6. 20. 'Canys er gwerth y'ch prynwyd chwi, gan hyny gogoneddwch Dduw yn eich corph ac yn eich yspryd, y rhai sydd eiddo Duw.'

Taflu o Eglwys Dduw i Satan, taflu pell ydyw. Pen. v. 5. Dau gristion yn myned i ymgyfreithio am gyfiawnder at farnwr Paganaidd, 1 Pen. 6. 1. onid oes un cristion cymmwys i farnu yn yr Eglwys? 'Oni wyddoch chwi y barna'r saint y byd?' pa beth? ac onid ydynt yn gymwys i farnu gwerth dwy geiniog? adn. 3. Pa ham y dylem ogoneddu Duw? Eiddo Duw ydym gorph ac enaid: eiddo Duw i Dduw. Dyn yn rhoi eiddo Duw i ddiafol! 'Duw y gogoniant

a ymddangosodd i'n tad Abraham,' eilunaddolgar cyn hyny. Y mae yn anmhossibl chwanegu na thynu dim oddiwrth ei ogoniant ef. Prif amcan y cristion yn y cwbl yw egluro ei ogoniant ef. Yr oedd Herod wedi ei godi yn uchel o'r ffos i fod yn frenin. Meddai'r bobl, 'lleferydd Duw ac nid dyn.' Llyncodd y llwnc ar unwaith, allan o law gan bryfed yn ei ysu efe a drengodd. Clywaf Dduw megis yn dywedyd, 'buaswn yn ei oddef oni buasai iddo geisio fy ngogoniant!' Gogoneddwch Dduw, bobl. Rhowch eich serch ar y pethau sydd uchod, fe gollir yn fuan y pethau sydd isod.

Ar ei ol ef pregethodd Mr. D. Maelor, ar 2 Cor. 7. 1. 'Am hyny gan fod genym yr addewidion hyn, anwylyd, ymlanhawn oddiwrth bob halogrwydd,' &c. Mae yr Apostol yn ein cymhell dan yr enw anwylyd—yr Yspryd Glan yn defnyddio y lliwiau dyfnaf, a'r pethau ffieiddiaf mewn natur i ddangos i ni ein ffieidd-dra. Yr holl enaid yn ddrygionus bob amser Y mae pechod yn ddiferlif marwol. Y mae ffynnon wedi ei hagoryd i olchi pechod, fe roir yr hen babell yn y pridd yn fuan, i'w phuro; ni bydd ol y brynti arni, ond bydd ol y ffynnon ar y corph a'r enaid byth.

Am 10 yn y boreu pregethodd Mr. Ebenezer Richards, ar Mat. 11. 28. 'A mi a esmwythâf arnoch.' Addewid yw hon: nid oes dim yn fwy cymmwys i bechadur na chynyg esmwythâd iddo. Gwahoddiad i bawb; addewid i bawb. 'Esmwythâf arnoch.' I fyd anesmwyth pa beth mwy gwerthfawr?

*Yn gyntaf.* Beth yw yr esmwythâd hwn. Dywedir am ddyn, 'Ni chaiff lonydd yn ei fol;' 'y rhai anwir sydd fel y môr yn dy-gyfor, yn bwrw allan dom a llaid.' Mae bob amser yn aflonydd, yn bwrw allan laid, na ddychymygodd neb fod y fath laid a thom ynddo; felly dynion, ni feddyliodd neb fod y dyn a'r dyn y fath un, fod y fath ffroth a llaid ynddo. Tyngu, a rhegi, a melldithio. Cawr mewn drwg yw dyn. Anhawdd gwybod hyd nes delo cynwrf fod y fath dom a llaid oddi mewn. Llawer, ie pawb sydd yn dweud, pwy a ddengys i ni ddaioni? pawb yn ymofyn am esmwythâd a gorphwysdra. Ni all y byd ei roi, *Bank* wedi tori yw *Bank* heb Grist ynddo. Nis gall ei roi, ond twyllo a dywedyd celwydd y mae, wrth addaw esmwythâd.

Mae yn dangos aderyn gwyn ar y bryn accw, i'r lodes, a'r bachgen; ond erbyn myned yno, dim ond twyll: mae yn addaw mwy nag sydd ar ei helw. Ar ol priodi, bydd aderyn gwyn arall ar ben y bryn; ac erbyn myned yno, dim ond twyll. Ar ol magu'r plant bydd aderyn gwyn arall ar ben y bryn; ond erbyn myned yno, dim ond twyll. Mwy gofid nag etto, mwy achos wylo nag erioed, mwy na phan oeddynt ar y gliniau. Mae y byd fel mul Absalom, yn ei adael yn y cyfyngder mwyaf: nid yw yn gofalu dim am dano, mae yn rhedeg i wasanaethu rhyw un arall, ac yn gadael y dyn fel 'rhwng dau bwn.'

Cynnygiodd Solomon, a chafodd bob cyfleusdra i sugno o'i holl ffynhonau: ond fe ddywed Solomon yn y *Total*, 'Gwagedd a gorthrymder yspryd, a gofid blin yw y cwbl oll.' Peidiwch ag ymddiried iddo, un wedi torri i fynu yw. Pa le y mae esmwythâd i'w gael? nid yn y byd; nid oes dim mewn pechod, dim ond y gofid blin. Megis pe byddai dyn yn yfed dwfr y môr i dorri syched; yfed chwaneg, mae y sychder yn parhau: pe bait ti yn yfed holl ddwfr y môr, syched fyddai fyth! Nid yw mewn cyfoeth, nid oes yno ddim ond drain yn y gobenydd. 'Llawnder y cyfoethog ni ad iddo gysgu!' Mae y gweithiwr tlawd yn cysgu yn drwm yn ei dŷ ar ochr y ffordd fawr, heb glo ar y drws. Ac ar ol yr holl ofid a'r drafferth am enw, ac am ddoethineb, mae y dyn yn marw fel yr annoeth. 'Eu gweoedd ni bydd yn wisgoedd iddynt.' Pryf coppyn yn gwau, a gwau, ac ar ol ei holl lafur, y forwyn annhirion yn taflu y pryf i lawr, heb yr un wisg druan. Ond, diolch am Grist Iesu, 'Mi a esmwythaf arnoch,' dyma esmwythad o lygad y ffynnon. 'Mi a esmwythâf arnoch.' Dyma gysgod craig fawr mewn tir sychedig. O diolch, dyma'r cysgod goreu i lechu, dyma le braf i lechu. Y mae esmwythâd yn ei Eiriolaeth ef, y mae esmwythdra yn ei nefoedd byth, gwlad well, gwlad well, gwlad well. Ar ammodau y daw llawer

at Grist, nid felly, ond ar ddarfod am danynt. 'Yr hwn a ddel nis bwriaf ef allan ddim.' Iesu fab Dafydd, trugarha wrthyf, eb y wraig o Ganaan. Nid attebodd iddi un gair, trugarhâ ebe hi drachefn. Ni ddanfonwyd fi ond at ddefaid tŷ Israel. Trugarha wrthyf. Nid cyfreithlon rhoi bara'r plant i'r cŵn! Gwir Arglwydd, os wyt ti yn myn'd i dori tafell i'r plant fe allai y disgyn briwsion mân dan y bwrdd; mi âf i lawr dan y bwrdd! Ha wraig, mawr yw dy ffydd, bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio: a gawn i ganlyn yr hen wraig adref? wele, esmwythad iddi hi a'i merch. 'Mi a esmwythâf,' O diolch byth.

Ar ei ol ef pregethodd Mr. John Elias, ar Psal. 77. 5. 'Ystyriais y dyddiau gynt, blynyddoedd yr hen oesoedd.'

Pobl Dduw sydd yn y blinder mwyaf, a'r trallod trymaf, sef o herwydd colli wyneb eu Duw: eu Duw yn ymguddio. A'm llef y gwaeddais ar yr Arglwydd.

Ni wyddis yn sicr pwy oedd cyfansoddydd y Salm hon. 'Cofiais Dduw, ac fe ym cythryblwyd;' dim ond gofid, ïe, er eisio yn y man y byddai y Salmydd yn arferol o gael esmwythad. Erbyn myned yno gogu. 'Cofiais Dduw, ac fe ym cythryblwyd.' Cofiaf weithredoedd Duw.

'Yn amser adfyd, ystyria; ac nid canu. Oni fyddai yn anhawdd canu? Yr wyf yn cofia y pryd y byddwn yn canu yn y nos; pan oedd ereill o'm hamgylch yn cysgu, ganol nos y cadwn i'th foliannu. 'Ystyriais y dyddiau gynt;' dyddiau y byddwn yn rhodio yn ei law ef ganol nos. Yn awr yr wyf yn gwneud y gwely yn foddfa! Yn lle codi ganol nos i'w foliannu, yn awr yr wyf yn wylo. O na wyddwn pa le y cawn ef?

Yn y dyddiau gynt, fe dorodd yr iau, parthodd y môr, a'r Iorddonen; arweiniodd Israel trwy'r anialwch: ei fraich oedd allan drostynt, nes codi arswyd ar eu gelynion. Dim ond i'r môr weled eu Duw, fe ddychrynodd, ac a holltodd. Pan y bydd cyfnewidiad er gwaeth, sef yn y gwaith, neu ar ein profiad, ni a ddylem roi y bai arnom ein hunain; pethau yn newid yw y rhai hyn. 'Yn dy law di y mae fy amserau:' weithiau yn storm a blinderau, bryd arall yn oleu a thawel. Os na wyddom am hyn, yr ydym yn farw. Os na wyddom am storm, ac am dawelu y storm, yr ydym yn llwyr farw ysbrydol. Eich pechodau chwi sydd wedi cuddio rhyngoch chwi a'ch Duw.

Mae yn amser trwm ar yr Eglwysi dros yr holl fyd; dim eisiau mwy o ryddid, na mwy breintiau, na mwy o bregethu: mae Cymdeithasau at bob peth da; ond cynydd yn y peth mwyaf sydd brin: Eisiau mwy o amlygrwydd o waith Ysbryd Duw ar eneidiau dynion: mae y pethau hanfodol sydd yn perthyn i grefydd, ac i'r eglwysi yn ddieithr. Buwyd ar y maes yma cyn hyn, a gwelwyd pethau rhyfedd mewn llai na dau funud, y mae lle i grynu, dylem ofni rhag nad oes neb ond y ni, a Duw yn ymguddio. Dau gan mlynedd yn ol, galwyd mewn un odfa bum cant yn Scotland; a chafwyd prawf yn mhen dwy flynedd eu bod yn parhau yn ddisigl yn y ffydd. 'Ni bu ein hefengyl ni tuag attoch chwi mewn gair yn unig; ond mewn nerth,' medd Paul wrth y Thesaloniaid. Galarwn, y mae hyny yn brin iawn. Pan yn y farn, a'r Barnwr yn d'weud 'Ewch' byddaf foddlon; ond yn awr, nis medraf fod yn dawel, heb achub y bobl: ïe, pob un o'r dorf yma. O pa beth a wnaf? ni fedraf i yn fy myw dewi. Bydd y dynion wrth y cannoedd, cyn blwyddyn i heddyw, yn wylo, ac yn galaru, am fod yr haf wedi myned heibio! Nid oes neb oni ddaw Duw i'r maes, a all achub. Yn y dyddiau gynt yr oedd yn hawdd adwaen y cristion mewn symlrwydd, a gostyngeiddrwydd. Ond yn awr, mae pregethwyr, a phawb, yn fwy fel *players* nag fel dynion am achub.

Mae y sancteiddrwydd a welwyd mewn geiriau, ac agweddau wedi colli. Buwyd yn teithio triugain milltir o Fôn i'r Bala, ac yn ol, heb glywed gair ond geiriau'r Bibl; a myn'd yn awr a phryd arall i fol y clawdd i weddio, a chanu mawl; ond yn awr mae dangos gwisgoedd newydd, a son am bethau gweigion. A ddarfu ei drugaredd ef? a anghofiodd Duw drugarhau? dyma fy ngwendid: O diolch, llawn o dosturi yw Duw. Llawer o'r hen bobl gynt yn wylo yn hidl wrth gofio y deml o'r blaen; a'r tô newydd yn canmol y meini hardd a'r olwg wych,

oedd ar yr all demla. Hen offeiriad yn dyfod heibio, a'i wallt llaes, a'i *locks* a'i farf wen, a'i lygaid fel dwy ffynon. Oh fechgyn bach, yn mha le mae yr Seceina? lle mae gwialen Aaron, fechgyn anwyl? Mae y gogoniant wedi ymadael. Pa le y mae'r gogoniant fechgyn? Yr wyf bron a chlywed dorau yn ymagor, ni a gawn dywalltiad yn y prydnhawn.

*Mostyn*. T. G. JONES.

---

DYWEDIADAU SYNHWYRLAWN

*A chynhwysfawr y diweddar* Mr. JOHN EVANS *o'r Bala*.

Fe fu Mr. John Evans fyw i fyned yn hen iawn; ac yr oedd yn cydoesi a'r Parch. Mr. Charles. Yr oedd efe yn wr nodedig o barchus gan bawb a'i hadwaenai ymhob man. Efe a fu yn Henuriad a Phregethwr parchus ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd dros bymtheng mlynedd a thriugain, ac a fu farw, Awst 12, 1817, yn bymtheng mlwydd a phedwar ugain oed.

Yr oedd efe yn ei ddyddiau diweddaf mor hen, fel yr oedd wedi colli ei glyw i raddau mawr. Yn gyffredinol, mewn Cymdeithasfäau yn y Bala, yn y cyfarfodydd neillduol, efe a eisteddai yn ymyl Mr. Charles, o dan y Pulpud. Ac ar amryw achlysuron, gofynai Mr. Charles iddo, A oedd efe yn gallu clywed. Yntau a attebai, mai nid llawer oedd efe yn allu glywed; yna eglurai iddo yn fyr yr hyn fyddai mewn llaw, ac a ofynai yn gyffredin ei feddwl yntau ar y matter fyddai dan ystyriaeth.

Mewn un Gymdeithasfa, pryd yr oedd y Parch. Mr. Jones, o Langan, y Parch. Mr. Nathaniel Rowlands, ac amryw wyr enwog ynghyd, yr oeddid yn ymdrin yn nghylch y 'gras o ffydd.' Dywedai un, mai 'goleuni yn yr enaid' yw gwir ffydd. Dywedai arall mai 'perswadiad y meddwl i gymmeryd Duw ar ei air,' yw ffydd; a llawer o sylwadau da ereill a ddygwyd ymlaen i egluro natur ac effeithiau gwir ffydd. Ond cododd Mr. Jones o Langan ar ei draed, ac a ddywedodd mai ei farn ef oedd mai '*Mentro*' yw ffydd; *mentro*'r bywyd am byth,' yw gwir ffydd.

Yna gofynodd Mr. Charles i Mr. John Evans, a oedd efe yn eu clywed hwynt. Nac wyf yn deall nemawr, eb yntau: 'Ymdrin am y gras o ffydd' y maent, eb Mr. Charles. Gofynai Mr. J. Evans, Beth y maent yn ei ddweud yw gwir Ffydd? Eb yntau, maent yn dweud amryw bethau da am dani; ond yr hyn a ddywedwyd olaf ydyw, mai '*mentro'r* bywyd yw ffydd.' 'Maent yn dywedyd y gwir,' eb Mr. J. Evans, 'ond gwybydder hyn, Mae ffydd yn *mentro*, ac mae rhyfyg yn *mentro* hefyd; ond mae yn rhaid i wir ffydd gael sail i *fentro* arni, bob amser, sef, gair Duw.' Rhoddodd yr eglurhad hwn foddlonrwydd mawr i bawb ag oedd yno yn bresennol.

Dro arall, mewn Cymdeithasfa yn y Bala, yr oeddys yn ymddyddan âg un gwr ieuanc ag oedd wedi dechreu ar waith y weinidogaeth, gyda golygiad ar ei dderbyn ef yn aelod o'r Gymdeithasfa. Wrth ymddyddan âg ef am ei gymhelliad a'i alwad at y gwaith pwysfawr hwn, gofynodd Mr. Charles i Mr. John Evans, 'Pa un ai ychwaneg o ras oedd Duw yn ei roddi i un cristion ragor cristion arall, pan y mae yn ei alw at y gwaith o bregethu yr Efengyl, ai ynte, a ydyw efe yn rhoi yspryd y weinidogaeth fel peth ar ei ben ei hun i bregethwr, yr hwn nid yw efe yn ei roddi i gristion arall?' Dywedodd Mr. John Evans, 'ei fod ef yn rhoddi pob un o'r ddau; sef chwaneg o ras nag i gristion cyffredin, ac yspryd a dawn y weinidogaeth hefyd.'

Ar achlysur arall, wrth ymddyddan âg amryw o wyr ieuainc ag oeddynt wedi dechreu pregethu gyda golwg ar eu derbyniad, Mr. Charles yn benaf a ymddyddanai â hwynt, ac a'u holai hwynt, gan roddi amryw gynghorion addas iddynt. Wedi ymddyddan am ryw hyd â hwynt, efe a ofynodd i Mr. John Evans, a oedd dim ar ei feddwl ef i ddweud wrth y gwyr ieuainc hyn, neu i'w ofyn iddynt. 'Oes,' eb yntau, 'y mae peth ar fy meddwl i'w ofyn iddynt.' Efe a gododd ar ei draed, ac a ofynodd, 'Beth yw eich amcan chwi wrth bregethu i'r bobl? At ba beth yr ydych yn amcanu ymhob pregeth?'

Hwythau heb roi atteb iddo ef yn fuan, dywedodd Mr. Charles, Fe allai y byddai yn well i chwi John Evans ddywedyd

iddynt at ba beth y dylent amcanu, *fe* fyddai dda i ni gyd glywed, pregethwyr ydym ni oll, ac at yr un peth y dylem oll amcanu. 'Wel,' eb efe, 'Chwi ddylech yn gyntaf peth *amcanu at oleuo deall y bobl fyddo yn gwrando arnoch.* Nid oes dim modd iddynt gael gwir lesbad wrth eich gwrando, tra byddo eu deall yn dywyll. Ymdrechwch am agoryd llygaid eu deall hwynt i ddeall yr hyn a ddatguddiodd Duw yn ei air i ddyn.'

'Yn nesaf,' eb efe, '*amcenwch at ddeffroi eu cydwybodau euog a chysglyd.* Annelwch saethau geiriau y Goruchaf at eu calonau hwynt, i edrych a welo Duw fod yn dda eu bendithio iddynt i godi cyffro yn eu cydwybodau, i waeddi allan, fel y derf ar ddydd y Pentecost, wedi eu dwys bigo yn eu calon, Ha wyr frodyr, beth a wnawn ni?'

'Drachefn, *amcenwch ymhob pregeth a bregethoch am ennill eu serchiadau i garu Crist, a'r trysorau sydd yn yr Efengyl ar gyfer pechaduriaid euog ac andwyol;* ac i garu gair yr iachawdwriaeth hon;—ac i garu crefydd Crist a'i bobl, a'i waith yn y byd.'

'Ac yn olaf, cofiwch bob amser *amcanu ar fod eich holl bregethau yn annogaethol i sancteiddrwydd buchedd, ac ymarweddiad dichlynaidd a christionogol yn y byd.* Pregethwch ffydd a'i ffrwythau sanctaidd.'

Pan oedd Mr. Charles yn sal iawn, ac wedi dyoddef llawer dan law y Meddygon, wrth gael torri ymaith ran o fawd ei law aswy. A phan ganfu y Meddygon fod y llygredigaeth wedi cerdded ymhellach, na'r rhan a dorwyd ymaith, ac o herwydd hyny y byddai raid dadymmalu y gweddill o'i fawd i ffordd, yr oedd efe yn bur isel o ran ei feddwl, rhag ofn y gallai fod y llygredigaeth wedi cerdded ymhellach fyth, ac y byddai raid torri ei law ymaith.

Un boreu, pan oedd ei feddyliau ar lawr mewn digalondid, daeth Mr. John Evans i edrych am dano. A phan eisteddodd efe i lawr, gofynodd Mr. Charles iddo, mewn modd sobr iawn, 'John Evans, beth ydych chwi yn ei feddwl a wna yr Arglwydd o honof yn y tro yma? Attebodd yntau yn ddioed, 'Ni wn i ddim yn wir beth a wna efe o honoch; ond mi a wn hyn, Syr, Ni wna efe ddim cam â chwi, canys Nid yw yr Arglwydd yn gweled yn dda wneuthur cam a gwr yn ei fatter,' Galar. iii. 36.

Fe glywodd yr Ysgrifenydd Mr. Charles yn dywedyd, i'r gair hwn a ddywedodd Mr. John Evans, fod yn gynnaliaeth ac yn gysur mawr iddo yn ei ddyoddefiadau pan ydoedd efe dan gyllill llymion y Meddygon, ac amryw weithiau wedi hyny.

Wedi torri rhan o fawd Mr. Charles ymaith, byddai Mr. John Evans yn dyfod i edrych am dano bob dydd. A chyn ymadael, efe a ddarllenai bennod, ac a â'i i weddi bob tro. Ac yn wastad, efe a ddarllenai bennod yn cynnwys rhan o ddyoddefiadau yr Arglwydd Iesu. Gofynodd Mr. Charles iddo unwaith, paham yr oedd efe bob tro y darllenai bennod yn ei glyw, yn darllen pennod am ddyoddefiadau Crist? Mae rhyw ddyben genych yn hyn, mae yn debyg, eb efe. 'Oes Syr,' eb Mr. John Evans, 'y mae dyben yn fy ngolwg. Nid oes dim gwir ddyddanwch i bechadur o un man ond sydd yn tarddu o ddyoddefiadau a marwolaeth Crist. Ac nid oes un siampl erioed wedi bod ar y ddaear yn debyccach i ddyfod a ni i ddyoddef yn amyneddgar, a siampl ei ddyoddefiadau ef; yr hwn a ddyoddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, fel na lwfrhaoch ac nad ymollyngoch yn eich eneidiau.'

Canwyllwr wrth ei alwedigaeth oedd Mr. John Evans; a diwyd a llafurus iawn oedd efe yn ei le a'i sefyllfa i gynnal ei hun a'i deulu. Ni byddai efe, fel pregethwr, yn teithio llawer ymhell oddicartref; ond yr oedd yn ffyddlawn a diwyd i fyned yn ol ei amgylchiadau. Ei farn ef oedd nad oedd pob pregethwr ddim yn cael ei alw i deithio ymhell oddicartref.

Ar un achlysur, fel yr oedd y brodyr yn daer arno ddyfod i gryn bellder oddicartref i bregethu, a chychwyn ddydd gwener tuag at gyhoeddiad Sabbathol. 'Nid allaf fi ddim cychwyn ddydd gwener, eb efe, canys y mae arnaf fi eisiau gwneud canwyllau ar y diwrnod hwnw.' O na, deuwch John Evans, eb un brawd, ymddiriedwch mewn Rhagluniaeth, a gadewch bob peth am y tro. 'Na, eb yntau,

nid yw yn weddus i mi esgeuluso fy nghorchwyl: ni wna Rhagluniaeth ddim toddi'r gwêr, a gwneud Canwyllau, mae yn rhaid i mi wneud hyny, neu fe fydd heb ei wneud.'

Mewn ymddyddan rhyngddo ef a'i wraig ynghylch y nefoedd, gofynodd ei wraig iddo, A fyddwn ni yn adnabod ein gilydd yn y nefoedd, John Evans? 'Margaret,' eb yntau, 'A ydych chwi yn meddwl mai mwy anwybodus fyddwn ni yno nag ydym yn y byd hwn? Gan ein bod yn adnabod ein gilydd yma, diammeu yr adnabyddwn ein gilydd yno.'

Mae yr ychydig hyn, allan o lawer a ellid eu coffâu; yn ddigon i ddangos y gwr a'i ymadroddion. Gan hyny mi ddybenaf hyn o gofion byrion yn ngeiriau Solomon. 'Gogwydda dy glúst, a gwrando eiriau y doethion,' Diar. xxii. 17. CYHOEDDWR.

---

DYWEDIADAU CYNNWYSFAWR GWEINIDOGION YR EFENGYL.

Y ffyddloniaid yn mhob oes, a fuont ffyddlon i'r Ysgrythyrau, a Duw yn yr Ysgrythyrau a fu yn ffyddlon iddynt hwythau.—*Stollery.*

Os na wnaeth crefydd ddim cyfnewidiad ar ein tymherau, ni wnaeth hi ddim cyfnewidiad ar ein heneidiau.—*Clayton.*

Pen llawn o wybodaeth, a chalon llawn o drachwant, a'n sudda i ddyfnder uffern. —*Leichfield.*

Pan fyddo meddwl y credadyn wedi ei lenwi âg addewidion yr ysgrythyrau, y mae yn debyg i ystafell lawn o berlau, trowch y ffordd y fynoch y mae yn llawn o orwychedd, cyfoeth, a harddwch.—*Buck.*

Gwell yw myned drwy ddwfr a thân ar lwybr dyledswydd, na thrwy faesydd hyfryd a llanerchau blodeuog, a themtasiwn yn arweinydd i ni. Gwell myned gydag ychydig nifer tua'r nefoedd, na dilyn lliaws tuag uffern, a chael ein damnio er mwyn cael ychwaneg o gymdeithion.—*Dr. Parr.*

Allwedd yw gweddi, yr hwn a droir gan law ffydd, ac a egyr holl drysorau Duw.—*Cripp, Lec.*

Dichon i ddyn duwiol gael ei ddwyn yn bur isel, ond nid byth yn is na'r addewidion.

Yr hyn sydd yn gyfammod o ras i ni, oedd yn gyfammod gweithredoedd i Grist; a'r hyn a roddir yn rhad i ni a gostiodd yn ddrud iddo ef.—*R. Davies.*

Gorchwyl Duw yw gofalu am danaf fi, a'm dyledswydd i yw ymddiried i'w ofal ef. —*Freer.*

Mae gwybodaeth o Dduw yn driphlyg: —1. Gwybodaeth naturiol o hono drwy ei weithredoedd. 2. Gwybodaeth lythyrenol o hono drwy ei air. 3. Gwybodaeth ysprydol o hono drwy ei Yspryd.—*Barker.*

Yr Henafiaid a dynent arwydd-luniad o Dduw, yn llun llygad ar orseddfainc; i arwyddo ei fod yn gweled pawb, ac yn goruwch-lywodraethu pob peth.—*Barker.*

Nid ymddiriedais i erioed yn Nuw, na chefais ef yn ffyddlawn; ac nid ymddiriedais erioed i fy nghalon fy hun, na chefais fy nhwyllo.—*Dyer.*

Mae y ddeddf yn dilyn y pechadur hyd nes y rhedo at Grist, ac yna y mae yn dywedyd wrtho, Ti a gefaist noddfa, mi a'th adawaf yn llonydd, ac ni'th flinaf di mwy, yr wyt ti yn ddoeth, yr wyt yn ddiogel.—*Bengelius.*

Nid llysieuyn sydd yn tyfu yn ngardd natur yw gostyngeiddrwydd, un o blaniad Duw ydyw yn yr enaid adgenedledig. Gwers ydyw a ddysgir i'r Cristion, gan yr addfwyn Iesu.—*Boston.*

Brathiad gan y sarph naturiol a ladd y corph; brathiad gan y sarph ysprydol a ladd yr enaid. Edrych ar y Sarph bres yn Israel gynt a iachâi y corph; edrych ar Iesu a iachâ yr enaid.—*Romaine.*

Ni bydd y gwaed a dywalltwyd ar Galfari o ddim lleshad i mi oni chaf gymhwysiad o hono at fy nghydwybod.—*Dr. Waugh.*

---

## LLYTHYR IV.

*Oddiwrth hen Weinidog yr Efengyl, at ei fab ar ddechreuad ei weinidogaeth.*

Anwyl Fab—Mae pob llythyr yn faith. Y peth nesaf, onid ê? yw llywodraeth eglwysig. Os oes un rhan o'th waith yn galw dy astudrwydd a'th ofal pryderus yn fwy na'u gilydd, 'rwyf yn tybied mai y llywodraeth eglwysig ydyw. '*A bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef.*' Mae yn debyg fod cryn bwysau ynddi, gan fod eisiau Crist oddi tani.

Dywedir yn yr Ysgrythyrau mai gan Dduw y ceir llywodraethwyr, mae yn rhoi

rhai yn ei drugaredd a'i râs, *Mae yn cael 'Dafydd ei eneiniog, gwr wrth fodd ei galon.'* Brydiau eraill, mae yn rhoi brenin yn ei lid; mae hwn yn fawr ei awdurdod am fod ei dderbyniad oddiwrth y Duw mwyaf; os efe a enfyn y phiolaid olew i eneinio Iehu ynfyd, fe saif yn blaid iddo i ddistrywio tŷ Ahab ystyfnig.

Sonir hefyd fod Israel yn gwneuthur brenhinoedd heb wybod iddo, Hos. 8. 4. ac Och, ofnaf ei bod felly weithiau yn Sion Duw y dyddiau yma; oblegid, a dweud y gwir, mae llawer o'r tywysogion, na thalant eu dangos yngoleu Haul cyfiawnder; oblegid efe a dystia yn eu hwynebau nad oes ol ei law arnynt, ac nad adnabu efe hwynt erioed. Ond am y Llywodraethwyr a osodes Crist yn ei Eglwys, y maent i sefyll, megis yn esgidiau eu Meistr, '*Bugeilia fy nefaid*,' medd efe wrth Pedr. Crist yw y Brenin, a chofia, nid wyt ti i wneud cyfraith newydd; na, na; yr hen gyfraith yw dy reol dithau, *ac un gosodwr cyfraith sydd*; ac nid oes modd cael ei gwell.

Mae yn perthyn i'r rhan hon o'th swydd, fod genyt lygaid i graffu yn dreiddgar; clust i wrando yn bwyllog; synwyr i farnu yn gywir; a genau i lefaru yn eglur a chadarn, fel y gallech argyhoeddi, cynghori, ceryddu, a diddanu, 'Gan eistedd ar y faingc, a barnu yn gyfiawn.' Digon aml, ysywaeth, y bydd eisiau cerydd y gyfraith ar blant y deyrnas; nid gwiw eu harbed hwythau er mor anwyl ydynt: 'mae'n dda i'r rhain gael eu cystaddio, oblegid cyn hyny yr oeddynt yn cyfeiliorni.' Gwych yr ymddygodd y Barnwr *Casgoine*, tu ag at Harri V. pan yn ei wylltineb ieuanc, er mai etifedd y goron ydoedd, gan dystio yn ddewr yn erbyn ei drosedd oddi ar y faingc, 'yr ydwyf am y camymddygiad yma, yn enw eich tad, yr hwn a roddes i'm feddiant o'r faingc hon, yn eich traddodi yn garcharor i'r *King's bench*, hyd oni chaffo ei Fawrhydi bellach gwybyddiaeth.' Ac felly, rhaid i blant y Brenin fyned i garchar, 'fel na'u damnier gyda'r byd.'

Y llwybr goreu i geryddu yw mewn ysbryd diddanu; y ffordd debycaf i gyffeiriau chwerw gael eu llyngcu yw, gyda nwyddau melus. Fe dreiddia gwres yr Haul i mewn i'n tai trwy y llechau a'u ffenestri, er i wynt a rhuthr fethu. Ofnaf fod Llywodraeth eglwysig yn meddwl llawer heb fod ddim amgen na cheryddu i gyd. Maent fel llawer meddyg mor gynefin a thori aelodau ymaith, fel mae eu hymgais yn fach am eu gwella. Ond y driniaeth olaf yw hyny, wedi i bob peth arall fethu. Hynod mor anniben yr oedd y gwinllanydd a'i Arglwydd, i ymaflyd yn y fwyall i dori y ffigysbren, er iddo fod dair blynedd yn ddiffrwyth! Ond yr oedd eu gwrthwynebiad mor fawr i'r gorchwyl fel yr oeddynt yn ymwrthod â'r fwyall gan ei chynyg y naill i'r llall! Ond ar yr un pryd rhaid i'r llywodraethwr fod yn *wrol*. Trowyd Saul yn 'ur arall' cyn myned i'r orsedd. Yn *ddoeth*, dyma brif bwngc gweddi Solomon pan y deallodd mai efe fyddai y brenin. Yn *ddiwyd*, dyna gyngor St. Paul i'r llywodraethwyr. Yn *gyfiawn*, dyna addewid Jehovah i Sïon, 'gwnaf *dy drethwyr yn gyfiawn*.' Yn *addfwyn*, dyna nodweddiad Brenin Sïon.

Nis gwn p'le i ddechreu gyda'r llywodraeth eto; hynod yr anaf a roes pechod arnom: rhaid i ni ddechreu yn y pen chwithig gyda phob peth ysbrydol; ac mae yn debyg mai y peth cyntaf gyda'r llywodraeth fydd ceisio nodi rhai pethau sydd yn gwanhau ac yn tueddu i ddistrywio llywodraeth, a hyny yn Eglwys Crist. Ac o bob drwg sydd yn difa y llywodraeth y drwg cartrefol yw y mwyaf effeithiol. Ac o bob drwg cartrefol drwg anian, tuedd, a dull y llywodraethwyr sydd fwyaf niweidiol. Ac o'r rhai hyny mi enwaf rai er mwyn rhoi mantais i ti i'w gochelyd.

Un peth sydd yn tristâu cariad (yr hwn yw rhwymyn pob teulu) yw oreulondeb a thra-arglwyddiaeth y llywodraethwr. Mi fûm o'r blaen gyda hunan a balchder; ac nid wyf bell o'i gwmwd etto, y meddwl mawr yw gwreiddyn tra-arglwyddiaeth. 'Nid ofnai Dduw, ac ni pharchai ddyn;' dyna'r Barnwr angyfiawn. Gwrthododd Rehoboam gyngor da oddi ar ysbryd balch a thra-arglwyddiaethus, ac yn dâl am hyny cafodd wobr ddrwg. 'Nid fel rhai

yn tra arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw.' Mae y tra arglwyddiaethwyr yn berchen ar ryw, nâ, yn wyneb pob cynygiad o eiddo pawb; ac rhaid i bob gwê ddyfod fel y pryf copyn o'i galon ef ei hun cyn y ceir taw ar ei nâ ystyfnig ef. A lle y bo y march blaenaf yn cyfeiliorni rhaid bod cryn ddewrder yn y lleill i'w wrthsefyll.

Gwylia hefyd rhag esgeulusdod, 'Gan edrych yn ddyfal na bo neb yn pallu oddiwrth ras Duw.' Collodd Saul ei waewffon a'i lestr dwfr pan y darfu i esgeulusdod sïo iddo gysgu. Yn ngwinllau yr esgeulus a'r diofal mae mwyaf o lysiau drwg. Yn y wlad lle mae'r barnwyr yn esgeulus, mae mwyaf o ddrygau yn cael eu meithrin, a'r gwrthryfelwyr yn fwyaf cynhyrfus. Tra yr oedd y dynion yn cysgu yr oedd y gelyn yn hau efrau. Pan oedd St. Paul effro bellaf o Corinth, yr oedd y gau athrawon brysuraf, a'r pechodau rhyfygus hyfaf.

Etto, gochel ysbryd ymbleidio. Darlunir duwies cyfiawnder â gorchudd ar ei llygaid. Un o'r pethau mwyaf eu pwys i'r Gweinidog, pan y byddo'r Eglwys yn y gograu (fel y digwydda weithiau) yw cadw ei hun yn ddiwyrni; os unwaith i wyro, fe gyll ei rym, ac nid hir y bydd Satan heb ddangos y gwendid yn nôd i ryw un ergydio atto. Hynod mor ddeheuol yr oedd Solomon gyda'r ddwy buttain. A'r peth nesaf i heresiau yw ymbleidiau, yn rhestr ffrwythau'r cnawd. Ac os bydd un ochr yn wrthrychau cerydd, cyn ei weinyddu, rhaid ymholi, gwrando, ymresymu, egluro, argyhoeddi, a chadarn wrthbrofi. 'Ymofyned y Barnwyr yn dda.' Ni chafodd y diwygiwr Tindal mo hyn, yr oedd y tennyn am ei wddf ef, a phan y cynygiai ymresymu, rhaid oedd rhoi plwc ar y tennyn, a gwell oedd ei dagu, na gwrando ei resymau.

Yn ganlynol, na oddef i lesgedd a llwfrdra gyda'r llywodraeth ormesu arnat; mae rhai hyfion mewn drygioni, ac Eglwys lled bur yw hono ag sydd lân oddi wrthynt oll, gofynir ysbryd llewaidd i'w gwynebu; ac eraill o duedd anmhlygedig, ac eisiau gwynt hir i'w gorchfygu. Gofidus oedd cyflwr Israel pan oedd ysbryd eu tywysogion wedi ei dorri, 'a'u treiswyr yn fechgyn, a gwragedd yn llywodraethu arnynt.' Un gwrol iawn oedd Elïas, yn gwrthwynebu Ahab yn ei wyneb. Felly Ambrose yn gwrthsefyll ei Ymerawdwr yn nrws ei Eglwys, a rhai gwrol iawn oedd holl ddiwygwyr a merthyron y cyn oesoedd.

Gan fod y fath benrhyddid wedi ymlusgo i mewn i Eglwysi Crist; a'r hin dêg wedi achosi cynnifer o chwyn drwg, anghenrhaid iawn yw ysbryd dewr yn y llywodraethwyr. Mae'r 'llwynogod bychain yn difa yr gwinllanoedd:' ac mae yn debyg mai tra byddont yn fychain y maent hawsaf eu dal. Mae yn debygol mai ceisio enwi a thynu llun rhai o'r llwynogod hyn fyddai goreu i mi, fel y gallit eu hadnabod, a chael rhyw fantais i wybod pa fodd i'w trin a'u dal. Rhydd yr Apostol Pedr gryn rês o honynt yn 1 Pedr 2. 1. a chan mai at y Saint ar wasgar yr oedd efe yn anfon ei lythyr, rhaid fod yr eppil yn yr Eglwys y dyddiau hyny. Ac 'megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon.'

Y rhyw gyntaf yw, *y crefyddwr drygionus neu faleisus.* Dylem fod yn blant mewn drygioni a malais, hyny yw, yn anfedrus ac anwybodus. Nid rhai anwybodus iawn yw y rhai maleisus, na, 'calon a cheudod pob un o honynt sydd ddofn.' Sonir am 'belaethrwydd malais.' Malais sydd fwriad a thuedd ddrygionus yn y galon, ac ar gyfle priodol fe dyrr allan yn ddrygioni o fradwriaeth yn y weithred, y gair Groeg *Kakian*, a arwydda bob un o'r ddau. A dyma un o'r pethau erchyllaf eu canlyniadau gyda chrefydd.

I'r dyben o gael hyd i'r rhai hyn cyn iddynt dorri allan, gofynir doethineb i chwilio'r galon. Mae eisiau cael allan fod yr yspryd yn faleisus. Medrodd Jonathan dreiddio i ddirgeloedd ei dad Saul, i gael allan ei falais at Ddafydd; a'r ffordd a gymerodd oedd dal digon o herr i'w dad. Hynod mor anhawdd ei ganfod ydyw: mae yn gwisgo llengûdd o gyfrinach weithiau. Pe gwybuasai Abner falais Ioab, nid aethai i'w ganlyn hyd ei fawd. Yn gyffredin rhaid i falais gael achos dechreuol, a thalu'r pwyth am hyny yw'r nod y cyfeirir atto.

Lefain ydyw, ac a wna lefeinio yr holl does a goreu po gyntaf ei garthu ymaith, onide bydd drosodd am ei wella mewn ychydig gwmpas.

Y nesaf a enwaf yw *twyll*. Dywedodd Crist am Nathanael, 'Wele Iraeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll.' Un o'r pethau cyntaf y mae yr Yspryd Glan yn ei wneud ar enaid pechadur yw tynu'r ddichell o'i yspryd; a gwyn fyd hwnw! Ond nid oes genym ddim gafael yn hwn etto nes y tyrr allan mewn gweithrediad, 'mae y galon yn fwy ei thwyll na dim:' hynod o brofedigaethus i'w berchenog yw 'bwa twyllodrus;' felly hefyd, nid oes neb a fedr anfon saeth mor chwithig a chrefyddwr twyllodrus! Mae y wlad yn disgwyl pethau gwell oddi ar ei law na thwyll, mewn buchedd a masnach, prynu a gwerthu, adduned ac ymrwymiad; 'na ddeued fy enaid i'w cyfrinach.' Pell y byddont o'n Heglwys: nid oes dim i'w gael ganddynt ond siomedigaeth a cholled!

Un arall yw *rhagrith*, rhybuddia lawer yn erbyn hyn etto; goddefodd Crist Judas ragrithiol yn yr eglwys nes y torrodd allan mewn bradwriaeth. Y diwrnod goreu a disglaeriaf ar ben y rhagrithiwr, ffigysbren deiliog diffrwyth ydyw; pared a bedd wedi eu gwyngalchu; Iuddew yn yr amlwg, heb fod felly yn y dirgel; 'a chanddo rith duwioldeb, eithr gwedi gwadu ei grym hi!' Mae efe yn rhagrithiol yn ei galon, ei eiriau, a'i weddi, a'i ddyfodiad i'r Eglwys, ac yn ei holl ymddygiad allanol. Ond y ffordd i'w adnabod oreu, yw, ei brofi yn fanwl. A fynwch chwithau hefyd fyned ymaith? medd Crist wrth y diragrith: cyffyrddodd â'u calon, ymdorodd yr atteb allan yn anwrthwynebol,—'At bwy yr awn ni?' Ond am y rhagrithiwr, 'ni ddeil efe ei ffordd,' ac 'ni chwanega efe ddim cryfder.' Mae Crist wedi tynnu portreiad lled amlwg o hono. Un hynod ydyw am ddegymu y mintys a'r anis, &c. sef, a'i ofal penaf am y pethau lleiaf. Yn caru y lleoedd mwyaf amlwg, er mwyn cael ei weled. Yn prysur ganfod ac egluro beiau ereill, ac yn coleddu rhai mwy ei hunan.

Gellir cyssylltu y twyllodrus â'r rhagrithiol, ac yna eu gwahanu yn dri dosparth. Y twyllodrus yw y mwyaf erchyll mewn drwg: mae holl fryd ei galon i guddio ei hun, ac i ddrygu a thwyllo ereill. Mae yn ystyfnig mewn drygioni, ac etto yn fedrus i'w guddio. Mae y rhagrithiwr yn llawn cynddrwg ei gyflwr a'r llall, ond nid mor ystyfnig ei egwyddor: nid drygu a thwyllo ereill yw nôd hwn, ond ei ddyrchafiad ei hun, a'r llall ydyw un yn twyllo ei hun gyda ei grefydd, a bydd siomedigaeth hwn yn fawr yn y pen draw. Byw yn ddilafur, a boddlon ar lai na digon, ar y lamp heb olew: ofnaf fod y rhai hyn yn aml: gellid darllen yn eu hagweddau diymdrech, eu bod hyd yn hyn heb brofi dwysbigiad y galon. Oh, na b'ai Ysbryd Duw yn rhoi cyllell lem yr enwaediad ysbryd i'r dynion esmwyth hyn!

Y nesaf yw y *crefyddwr cenfigenllyd*. Gwrthrychau cenfigen yw, daioni, llwyddiant, ffafr, dyrchafiad, cynydd, neu fendith a ddigwydda i ereill. Dywedodd *Publius* y Rhufeinwr, unwaith, pan yn sylwi fod golygiad *Mutius* gynfigenus yn bruddaidd, 'fod rhyw ddrwg wedi dygwydd i *Mutius*, neu dda mawr i'w gymydog.' Mae cynfigen yn waharddedig, yn groes i gariad, yn dirgel lawenychu yn niweid ereill. Mae yn waeth na llid—mae yn bydredd yn yr esgyrn; a phan yn methu yn ei amcan, mae 'yn lladd ei berchenog.' 'Gwreiddyn chwerwedd yw, yn tyfu ac yn peri blinder, a thrwy hyny yn llygru llawer.'

(I'w barhau.)



*Cyfieithiad o lythyr y Parchedig, Thomas Charles o'r Bala, at Gyhoeddwr Papur Newydd, a elwir yr "Instructor."*

Mr. Cyhoeddwr,

Mi a fûm nos Fercher ddiweddaf mewn cyfarfod cyfundeb yr Ysgol Sul, (Sunday School Union); ac fe'm llonwyd yn fawr weled cynnifer o athrawon, yn feibion a merched, wedi ymgynnull y'nghyd, ac yn ymddangos wedi ymrwymo yn galonog yn y fath waith pwysfawr a daionus, ag yw addysgu y genedl ieuangc. Y matter a fwriadwyd i'w ystyried a'i drin, yn y cyfarfod, oedd, "A ydyw yn beth dymunol i sefydlu ysgolion i rai mewn oedran, mewn cysylltiad âg ysgolion sul?" Amryw bethau a osodwyd ger bron ar yr achos, gyd âg addasrwydd, gan amryw areithwyr medrus.

Mae yn amddangos i mi Mr. Cyhoeddwr, fod yn ofynol i ni ystyried dau beth mewn perthynas i'r matter hwn:—Yn y lle cyntaf. A ydyw hyn yn angenrheidiol? Ac yn ail, A ydyw yn *wneuthuradwy?*

Yn y lle cyntaf, ar yr angenrheidrwydd o'r peth, nis gall fod ond un farn. Os yw yn angenrheidiol i bob dyn fod yn hyspys o feddwl ac ewyllys Duw, datguddiedig i ni yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd er achubiaeth eu heneidiau, mae'r ddyledswydd yn ddiammau yn angenrheidiol. O hyn, ni ddichon neb ammau yn ddifrifol.

Gan nad oes ond un ffordd o iachawdwriaeth, a'r ffordd hon o eiddo Duw wedi ei datguddio i ni yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, pa fodd y gall neb gyrhaeddyd iawn wybodaeth o'r ffordd hon heb fedru darllen; fal y bo iddo chwilio yr ysgrifenadau hyny, ac y bo i'w feddwl gael ei hyfforddi yn yr adnabyddiaeth o'r gwir Dduw, a Iesu Grist, yr hwn a anfonodd efe?

Mi a fûm yn fynych yn ymddiddan â llaweroedd o bobl isel-radd, ac a gefais bawb na fedrent ddarllen mewn cyflwr o anwybodaeth gresynus, ac hefyd yn wael a llygredig yn eu moesau, ac yn gyffredinol yn esgeulus o ymarferiad â phob moddion o addysg. Ac hyd yn nod y rhai hyny a aent yn gyson i wrandaw gweinidogaeth gyhoedd y gair; yr ychydig wybodaeth a gyrhaeddent drwy'r moddion hyny yn unig. oedd ond ychydig yn wir, aneglur, cymmysglyd, a chymylog. Nid oeddynt yn medru cyrhaeddyd amgyffrediad glir am un matter perthynol i'w cysur a'u hiachawdwriaeth. Felly eu crefydd, os yn deilwng o'r enw, nid yw amgen na chrefydd y nwydau; pan bo y rhai hyny yn cael eu cynhyrfu yna maent yn gysurus. Maent yn hollol ymddifaid o bob erthyglan crêd, a phob rheol o ymarweddiad yn mhob dyledswydd bywyd.

Maent yn dal enw'r Gwaredwr, ond am ei berson, ei ardderchawgrwydd, a'i swyddau, nid oes ganddynt un amgyffred amlwg. Maent yn gyffelyb anwybodus am nattur a gwaith yr Yspryd Glan ar y galon, ddim pellach na'r effeithiad ar y nwydau. Mi a'u cefais yn hollol anghyfarwydd yn y rheol ddwyfol o ymarweddiad moesol. Pa cyn lleied o wybodaeth a all fod yn gyson â diogelwch enaid dyn i dragywyddoldeb, nid ydwyf yn cymmeryd arnaf i chwilio yn bresennol: mae'n ddilys y bydd yn ganlynol i bob gradd o anwybodaeth, anfanteision cyfattebol i'r graddau hyny.

Pa fodd y dichon i ni garu Duw yr hwn ni wyddom am dano? Pa fodd y dichon i ni garu Gwaredwr, person ac ardderchogrwydd pa un sydd yn anhyspys i ni? neu, pa fodd y dichon i ni rodio wrth reol nis adwaenom? Mae'r peth yn mhob cangen o hono yn llefaru drosto ei hun: O herwydd paham yr wyf yn penderfynu fod mawr anghenrheidrwydd o arfer pob moddion yn ddiwyd ac yn ffyddlon i hyfforddi pechaduriaid anwybodus o bob math ac oedran, yn y wybodaeth o bethau dwyfol: ac yr wyf fi yn honni nad ellwch eu hyfforddi heb ddysgu iddynt ddarllen.

Yr ail beth i'w ystyried yw, yr ymarferoldeb o'r peth. Hyn a allaf gadarnhau gyd â'r hyfder mwyaf, o herwydd ei fod wedi ei wneuthur eisoes, ac yn myned y'mlaen yn bresennol.

Mae genym yn awr lawer o gannoedd, os nid rhai miloedd, o bob oedran, yn derbyn addysg mewn ysgolion wedi eu neillduoli iddynt hwy eu hunain, yn y parth hyny o'r wlad lle'r wyf yn preswylio. Mae personau o bob oedran, o bedair oed i bedwar ugain, yn dyfod i'r ysgolion.

Er hyny fe all dau wrthddadl gymmeryd lle ar y matter hwn; y cyntaf, A ddaw *pobl mewn oed i'w haddysgu?* Ac yn ail, a ddichon iddynt ddysgu? Nis gall fod prawf mwy anwrthwynebol na'r *weithred*: Drwy ddyfal bara, a deisyfiadau hynaws, fe lwyddwyd gyd a channoedd i ddyfod i'r ysgolion; pan, trwy wneyd ychydig gynnydd mewn gwybodaeth o'r llythyrenau, a'u gosod ynghyd i ffurfio sillau, maent yn dyfod i goelio y gallant ddysgu darllen: maent yn gyffredin yn dangos mawr awyddfryd wrth ddysgu.

Yr wyf yn gwybod am un wraig dlawd, yr hon yr oedd ei meddwl mor awyddus i ddysgu darllen, yn ddeg a deugain oed, mal yr oedd ei Sillydd gyda hi wrth odro'r buchod, ac wrth gyrchu dwfr, tra 'r oedd yn rhedeg o'r pistyll i'w ysten, hi a dynai ei llyfr, ac a edrychai ychydig iddo. Yn fyr, yr oedd hi wedi ymroi a llwyr-fwriadu dysgu; yr oedd ei holl feddwl wedi ymrwymo at hyn yma: ac mewn yspaid mis neu chwech wythnos, hi a fedrai ddarllen pennod go rwydd yn y Testament Newydd, er lleshad a boddlonrwydd iddi ei hunan. Nid wyf yn gwybod am un siampl o ffaeliad yn neb a ddyfal barhaodd yn ddiffuant, ac yn astud yn yr ymgais.

Fe ddylid rhoi pob annogaeth a all amynedd a charedigrwydd ddangos iddynt. Ni ddylem byth flino wrth ddywedyd iddynt yr un peth drosodd gant o weithiau; pan unwaith y cyrhaeddant y llwybr, yna hwy a ânt rhagddynt gyda chyflymder, a'r ffordd fydd yn agoryd o'u blaen hwynt. Mi a wn am lawenydd y rhai hyny a ddysgasant yn bymtheng a thriugain, ac yn bedwar ugain mlwydd oed, ei fod yn ddiragrith ac yn ddirfawr, gan foliannu Duw am eu bod yn medru darllen y Llyfr hwn, sef y Bibl, er yn eu hen ddyddiau, cyn iddynt ymddangos o'i flaen ef mewn byd

arall. Bydded i'r prawf gael ei wneud yn dêg, mi feiddiaf fi wirio ei lwyddiant.

Nid oes genyf un amheuaeth nad oes miloedd yn ymgasglu i'r Brif-ddinas fawr hon, (sef Llundain) o bob parth o'r wlad, heb fedru darllen, ac o herwydd hyny rhaid yw eu bod yn hollol anwybodus o bob peth perthynol i iachawdwriaeth yr enaid.

Mae ymdrechiadau mawrion a chanmoladwy yn cael eu gwneuthur yn gyffredinol i daenu Gair Duw ar led yn eu plith: ond pa fodd a all hyny fod iddynt os na fedrant ei ddarllen? Mae yn beth o fawr bwys iddynt fod Biblau yn cael eu rhoi yn eu meddiant: ond y mae yn fwy o bwys iddynt fedru eu darllen. Nid un amser y gwyddis, beth a [aller ei gyflawni nes yn gyntaf, i brawf gael ei wneyd: ymddygiad cywilyddus a thra phechadurus gwas drwg a diog, yw, ei fod yn eistedd i lawr a'i freichiau yn mhleth, ac yn rhith-bwysfawr ddywedyd, na ellir ei gwblhau.—Mae'n anmhosibl: ni ddeuant i'w haddysgu: ni fedrant ddysgu. Pan wneloch brawf têg, yna, a dim cynt, rhown wrandawiad i'ch sylwad. (nodwyd)

T. Charles.

*Llundain, Spa Fields,* 26 *Ebrill*, 1813.

---

### HUNAN YMHOLIAD,

WRTH NESU AT FWRDD YR ARGLWYDD.

Cofia, O fy enaid, mai pan oedd y gelynion yn ymgynghori pa fodd y bradychent yr 'Iesu, yr aeth Satan i mewn i Judas, yr hwn a gyfenwid Iscariot, yr hwn oedd o rifedi y deuddeg,' Oherwydd mae y gelyn yn gwybod nad oes dim mor effeithiol er bradychu Crist, a niweidio ei eglwys, ag i Satan fyned i mewn i un o'r cymmunwyr, ag sydd yn myned i swpera gyda yr Iesu. Nid oes gludai i Satan i mewn cyffelyb i'r gwlych-damaid yn y swper sanctaidd! Canys camarfer manteision, a gau broffes, a galedant y galon; a chalon galed, yw clustog Satan: ar galon garreg yr eistedd esmwythaf. Ond, O wlych-damaid ofnadwy! mae wedi ei wlychu mewn wermod, nage, mewn brwmstan pan y cymmerir ef o law Crist yn unig i wneyd gwaith y Diafol. Arglwydd, cadw fy llaw yn ol, os bydd yn achos i ti ddywedyd, "Wele law yr hwn sydd yn fy mradychu gyda mi ar y bwrdd."

Am hyny chwilia dy hun, O fy enaid, ac felly bydded i mi fwytta o'r bara, ac yfed o'r cwppan. Symlrwydd a diragrithrwydd duwiol yn unig a weddai i ddyfod o flaen y Gwaredwr hwnw sydd a'i lygaid fel fflam dân. A ydwyf fi heb goleddu rhyw eilun yn fy nghalon? A ydwyf yn gwilio rhag llef Judas, 'Beth a roddwch i mi?' A ydwyf yn arswydo rhag ofn, fel y darfu iddo ef, i'r baich fy suddo i uffern? A ydwyf heb geisio eiddo neu ryw beth arall, heb fendith Duw arno? Ac, a ydwyf yn treulio yr hyn sydd gennyf, i'w foddhau, ac i ddyrchafu ei ogoniant? Oherwydd bydded i mi gofio, ymhlith amryw bechodau a gwendidau pobl Dduw sydd yn cael eu coffhau yn yr ysgrythyrau nad yw cybydd-dod yn eu mysg. Du nod Judas, a Demas, yw hwnw, yn nghyd a'r rhai nad oes ganddynt etifeddiaeth yn nheyrnas Crist a Duw.

Ond beth, er nad oes gennyf ddu nod Judas, ai nid oes gennyf anair Pedr? Er bod yn ddisgybl didwyll, gallaf fod yn un diffygiol. Gallaf ddyfod fel Pedr gyda llawer gormod o ymddiried ynof fy hun, ac yn fy nghrefydd. Fe allai fy mod yn dyrchafu fy hun yn uwch na'm brodyr, ac yn dywedyd, "Pe rhwystrid pawb o'th blegid, ni'm rhwystrir i! A pheth sydd yn debyg i fod yn y canlyniad?

Att. Bod i mi fyned oddiwrth y bwrdd gyda zel fyrbwyll, a thorri ymaith glust rhyw un, neu ddywedyd celwydd a siarad halogedig, yn gwadu fy Arglwydd trwy anwroldeb gorwael. Am hyny Arglwydd, cartha allan yr hen lefain, fel y byddo imi ddyfod gyda chalon ostyngedig, ddrylliog, a chystuddiedig, ac yn wag o fy hunan fel y gallwyf gael fy llenwi o honot ti; canys yr wyt 'yn llenwi y newynog â phethau da, ac yn anfon ymaith y rhai goludog yn weigion.'

Ystyria hefyd, fy enaid, ti alli fod yn dyfod, fel yr Iesu i fwytta cyn myn'd i ddioddef marwolaeth; neu fel y disgyblion cyn wynebu temtasiynau a phrofedigaethau, y rhai na wyddit am danynt. Wele, os bydd felly,——Nis gallwn ddymuno dim gwell na hwn i fod fy mhryd olaf. Yn llawen yr awn oddiwrth y swpper hwn, i swpper neithior yr Oen. Neu ynte os fel y disgyblion yr wyf yn myned allan i ddioddef temtasiwn a chystudd, gallaf fendithio fy Arglwydd yr hwn a'm dug yn gyntaf i wledd o adfywiad. Pa ymborth tebyg i hwn i roddi nerth at ymladdfa? Pa win fel hwn i fy lloni mewn cystudd?

Ond bydded i mi enwogi y wledd trwy fod gwrthrych fy ngobaith mewn golwg, a bwytta ac yfed fel un heb wybod nad hwn yw y cymmundeb olaf,—bydded fy nghoffeidiad olaf hwn o'r saint, fod yn dyner a duwiol, fel pe disgwyliwn fyned o'u cwmni i ddywedyd, yn awr groesaw y gynnulleidfa gyffredinol ac eglwys y cyntafanedigion, ysbrydion y saint a berffeithiwyd: bydded imi yn awr yfed y cwpan fel pe bawn ar ddywedyd, 'O hyn allan yr yfaf y gwin yn newydd yn nheyrnas fy Nhad.'

*Glan Menai* Cyf. Iota.

---

## Gofynion.

Syr,—Yn Gen. xxii. 1—14. Cawn hanes am Abraham, yn myned i aberthu

ei fab. Pa beth oedd gollyngiad Isaac yn rhydd, yn ei arwyddo? A chysgod o ba beth ydoedd offrymmiad yr hwrdd? Cael attebiad mewn modd eglur, a foddlonai amryw o'ch darllenwyr, heblaw

*Gwlad y gwlaw.* CWYLLOG.

---

Anwyl Syr,—Anfonwyf etto attoch rai o'r geiriau anghynuefin a godais allan o Llyfr Numeri, gan ddeisyf arnoch eu heglurhau, yn ol eich arferol barodrwydd.

*Coed llai.* JOHN POWELL.

| | | |
|---|---|---|
| Num. xii. | 8 | Dambegion |
| | 10 | Gwahanglwyf |
| xiii. | 23 | Pomgranadau, ffigys. |
| | 24 | Grawnwin. |
| | 32 | Corphol. |
| | 33 | Cawri, Ceiliogod rhedyn. |
| xiv. | 2 | Diffeithwch. |
| | 3 | Yspail. |
| | 7 | Odiaeth. |
| | 29 | Celaneddau. |
| | 36 | Anair. |
| xv. | 16 | Defod. |
| | 29 | Amryfusedd. |
| | 30 | Rhyfyg. |
| | 32 | Cynnutta. |
| | 36 | Llabyddio. |
| | 38 | Eddi. |
| | 39 | Rhidens. |
| xvi. | 46 | Pla. |
| xvii. | 5 | Murmur. |
| | 12 | Trengi. |
| xviii. | 27 | Gwin-wrŷf. |
| | 30 | Toreth. |
| xix. | 4 | Taenellu. |
| | 9 | Dwfr neillduaeth. |
| | 18 | Dihalog |

## Attebion.

*Atteb i Ofyniad Anwybodus, Rhif.* 74. *tu dalen* 55, *ynghylch cyssondeb* Ecs. xii. 41. Gen. xv. 13. Act. vii. 6. a Gal. iii. 17.

Yn Ecsodus xii. 41., dywedir, 'Ac ym mhen y deng mlynedd ar hugain a phedwar can mlynedd, ie o fewn corph y dydd hwnw, yr aeth holl luoedd yr Arglwydd allan o wlad yr Aipht.' Yr addewid i Abraham oedd fel hyn, Gen. xv. 13. 'Ac efe a ddywedodd wrth Abram, gan wybod gwybydd, y bydd dy had di yn ddieithr mewn gwlad nid yw eiddynt, ac a'i gwasanaethant, a hwythau a'u cystuddiant bedwar can mlynedd.' A Stephan hefyd ynghoffâd o'r hanes ger bron yr Archoffeiriad, yn Act. vii. 6., a ddywed, 'A Duw a lefarodd fel hyn, Dy had di a fydd yn ymdeithydd mewn gwlad ddieithr, a hwy a'i caethiwant ef, ac a'i drygant bedwar can mlynedd.'

Er hyny, mae yn ymddangos oddiwrth Gal. iii. 17., fod yr addewid wedi ei rhoddi i Abraham 'bedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd cyn dodiad y gyfraith ar Sinai,' yr hyn a fu yn fuan iawn ar ol ymadawiad Israel o'r Aipht.

Tuag at ddangos cyssondeb yr Ysgrythyrau hyn, mae rhai yn barnu fod y pedwar can mlynedd yn dechreu ar yr amser yr oedd Ismael yn gwatwar Isaac, yr hwn amser a gyfrifir yn ddeng mlynedd ar hugain ar ol rhoddiad yr addewid i Abraham, ac yn bedwar can mlynedd cyn mynediad Israel allan o'r Aipht; yn gwneud i fynu ar y cyfan 'bedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd.'

Eraill a gyfrifant y pedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd o amser cadarnhad y Cyfammod ag Abraham, sef oddeutu yr amser y cymmerodd efe Hagar yn wraig. Ac yna cyfrifir fel hyn:—

| | Blynyddoedd. |
|---|---|
| O amser cadharnhad y Cyfammod hyd enedigaeth Isaac | 15 |
| O hyny hyd enedigaeth Jacob | 60 |
| O hyny hyd y mynediad i'r Aipht | 130 |
| O hyny hyd amser marwolaeth Jacob | 17 |
| O hyny hyd farwolaeth Joseph | 53 |
| O hyny hyd enedigaeth Moses | 75 |
| O hyny hyd fynediad Israel o'r Aipht | 80. |
| Yr amser yn gyflawn | 430 |

CHWILIEDYDD.

---

*Atteb i Ofyniad cyntaf Phercontator, Rhif.* 74. *tu dalen* 55. *ynghylch y modd i ddirnad a chysoni yr hyn a ddywed* Luc. ix. 28., *a'r hyn a ddywed* Matt. xvii. 1. *a* Marc. ix. 2.

Mae Mathew a Marc yn dywedyd mai, 'wedi chwe diwrnod' ar ol yr ymddyddan y bu hyn; ond mae Luc yn dywedyd mai, 'ynghylch wyth niwrnod' wedi y geiriau hyn y gwedd-newidiodd Crist.

*Atteb.* Nid oes dim anghyssondeb rhwng 'wedi chwe diwrnod,' ac 'ynghylch wyth niwrnod.' Fel hyn, bwriwch fod fy nghyfaill Phercontator wedi bod yn Llundain am rai dyddiau. Efe a aeth yno yn yr hwyr ddydd mercher, ac a arhosodd yno ddydd iau, dydd gwener, sadwrn, y Sabboth, llun, a mawrth, ac yna boreu mercher efe a aeth adref. Oni allai efe ddywedyd wedi dyfod adref, 'Mi fûm i yn Llundain yn aros, *ac wedi bod yno chwe diwrnod*, mi a ddaethum oddiyno.' Dyna wirionedd. A phe gofynid iddo, Pa hyd y buoch chwi yn Llundain?' Gallai atteb, a dywedyd y gwir hefyd, 'Mi fûm yno yn aros, *ac ynghylch wyth niwrnod* mi a ddaethum adref.'

Felly Crist yn ymddyddan â'i ddysgyblion, ac ar ol y diwrnod y bu yr ymddyddan hwnw, efe a arosodd gyda hwynt chwe diwrnod, a thrannoeth, sef 'wedi chwe niwrnod,' efe a aeth gyda thri o'i ddysgyblion i'r mynydd. Bwrier ei fod yn ymddyddan â'i ddysgyblion ddydd mercher, ac wedi hyny yn aros gyda hwynt ddydd

fau, gwener, sadwrn, sabbath, llun, a mawrth, ac yna, 'wedi y chwe diwrnod cyfain lyn,' y mae yn myned i'r mynydd ddydd mercher. Felly gellir dywedyd hefyd mai 'ynghylch wyth niwrnod' wedi y geiriau hyn yr aeth ef ymaith; sef drwy roi i mewn ran o'r dydd mercher cyntaf, a rhan o'r dydd mercher olaf, gwna hyny yr amser i fynu. Mathew a Marc sydd yn dweud yn fwyaf pendant, sef 'wedi chwe niwrnod;' ond nid yw Luc yn dywedyd mor bendant, neu bennodol, ond 'ynghylch wyth niwrnod,' ac felly yr oedd hefyd, os cymmerir i mewn y dydd y diweddwyd yr ymddyddan, a'r dydd yr aeth efe ymaith yn y cyfrif. CYHOEDDWR.

---

*Atteb i ail Ofyniad Phercontatar, Rhif. 74, tu dalen 55. ynghylch bod ein Iachawdwr wedi bod 'dridiau a thair nos' yn y bedd, pan na bu ond rhan o ddau ddydd, ac un dydd cyfan rhyngddynt.*

Mae eich Gohebwr caredig 'Phercontator' wedi geirio ei Ofyniad yn debyg i'r dull y mae yn Catecism tra rhagorol y Parch. Jno. Brown, (am gyfieithiad pa un i'r Gymraeg, y mae y Cymru yn ddyledus i chwi); a'r atteb iddo yn y Llyfr hwnw, yw, 'Fe fu yno ran o dri diwrnod naturiol.' Hefyd y Parch. James Hughes, yn ei Esboniad ar Matth. xii. 40. a sylwa, y 'Cyfrifai yr Iuddewon ddarn o ddiwrnod, yn ddiwrnod cyfan, a'r nos hefyd, sef pedair awr ar hugain: ac yn ol y cyfrif hyny bu Crist yn y bedd[dri diwrnod a thair nos.' Gobeithiaf y bydd yr egluron uchod yn 'boddloni eich cyson ddarllenydd,' ydyw dymuniad IOTA.

*Glan Menai.*

---

*Atteb i Ofyniad B. Evans, Rhif. 73. tu dalen 19. A ellir dywedyd, ar bob golygiad, i Dduw yn y dechreuad greu y diafol?*

Att. Nac ellir. Yn y golygiad mai Diafol neu angel syrthiedig yw, ni ellir dywedyd i Dduw yn y dechreuad ei greu ef: ac mae yn debygol nad oes neb yn dywedyd y fath beth. Canys y mae yn amlwg, na chreodd Duw mo hono yn Ddiafol neu yn angel syrthiedig. Oblegid fe ddywedir yn bennodol ar ol gorphen gwaith y greadigaeth, "A gwelodd Duw yr hyn oll a wnaethai, ac wele, da iawn ydoedd," Gen. i. 31. Nid oedd un creadur yn Ddiafol y pryd hwnw. Felly ar ol y chwe diwrnod y cwympodd yr angylion.

Nid wyf yn barnu fod dywedyd "i Dduw yn y dechreuad greu y Diafol," yn gyfeiliornus; ond dywediad ag eisiau eglurhad arno ydyw; sef nad yn Ddiafol y creodd Duw ef, ond yn angel da; ie 'da iawn," canys "gwelodd Duw yr hyn oll a wnaethai, ac wele da iawn ydoedd." Trwy ei anwiredd ei hun y cwympodd efe, ac yr aeth o fod yn angel da, i fod yn angel drwg, yn Ddiafol. Ond fel y mae y Diafol yn greadur, Duw yn ddiau a'i creodd ef. CYHOEDDWR.

---

DARLLEN AC YSGRIFENU WRTH WRANDO PREGETHAU.

Gwelais yn eich Trysorfa, Rhif. 71, tu dalen 339, attebiad gwrandawr i ofyniad ymofynydd; ynghylch edrych mewn Beiblau, ac ysgrifenu pregethau pan yn gwrando'r gair. Yr wyf finau o'r farn, fod edrych yn y Beibl, ac ysgrifenu mewn pregethau, gyd a gau ddybenion, yn bechod mawr. Etto y mae rhai amgylchiadau ag y gall dynion gael lles trwy edrych yn eu Beiblau; megis rhai nad ydynt yn deall yr iaith Gymraeg yn dda; eraill ag y mae eu clyw wedi gwaethygu; ac os na bydd y rhai hyn yn deall, ac yn clywed y testyn, bydd yn anhawdd iddynt ddeall y modd y bydd y gweinidog yn myned ymlaen. Mae yn debyg yr addefa gwrandawr y gall y rhai hyn gael lles a buddioldeb trwy edrych yn eu Beiblau.

Y mae'n dweyd hefyd, 'Fod llawer yn tynu eu celfi i ysgrifenu y bregeth, neu ei phenau.' Ond os bydd hyn yn lles i ddyn i gynorthwyo ei gof, onid da yw ei weled yn cynhyddu? Ond os yw y gwrandawyr hyn, yn cymeryd ysgrifenu yn hyfrydwch, yn hytrach na buddioldeb a lles eu henaid, yr wyf yn meddwl mai gwell iddynt beidio. Ond os yw rhai yn cymmeryd hyn yn hyfrydwch, yn fwy na lles, nid yw pawb felly.

Pe buasai pawb o'r un farn a'r Gwrandawr hwn, ni chawsid byth bregethau gwerthfawr y Parch. G. Whitfield, o herwydd fe'u hysgrifenwyd wrth eu gwrando. Nid welsid byth rai o bregethau y Parch. Rowland Hill, canys ysgrifenwyd hwynt wrth ei wrando yn eu traddodi. A llawer o'r pregethau a ddaeth allan yn y Pregethwr y rhai na chawsai y genedl sydd yn codi byth eu gweled, na gwybod dim am danynt, oni bai i ryw un eu hysgrifenu wrth eu gwrando. Ac ni chawsai'r oes sydd yn codi wybod dim am lawer darn melys fel y mel, o bregethau a ddaeth allan yn y Drysorfa, o dro i dro, pe buasai bawb wedi gwneud fel y mae Gwrandawr yn ewyllysio.

I ba beth yr amlygodd y Creawdwr y gelfyddyd i ddynion, ond i ei harfer pan y gwna les iddynt? Yr oedd yr Yspryd yn gorchymyn i Ioan i ysgrifenu pethau o bwys mawr: ac onid oes pethau pwysig mewn pregethau, y rhai fe allai a fyddai yn anhawdd i ddyn eu cofio heb eu hysgrifenu yn gynhorthwy i'w gôf. Mae Gwrandawr yn codi barn hen dad parchus, a duwiol; gallaf finau ddwyn tystiolaeth un o'r rhai cymhwysaf i farnu yn Nghymru, yr hwn a annogodd yr ieuengctyd i arfer y cyfryw beth, mewn Cymanfa yn Nghaernarfon ar goedd miloedd lawer o bobl, gan ddweud,

yr hyfrydwch a gafodd yn ddiweddar, wrth ddarllen rhyw beth a ysgrifenodd pan oedd yn fachgen. Yr wyf fi yn meddwl, fod drwg, neu dda, ein gwaith yn ysgrifenu pregethau wrth eu gwrando, yn ymddibynu ar ein dyben yn gwneud. Mae yn ddiau y dylid annog y cyfryw beth ymysg ieuengctyd yr oes, os ceir lle i feddwl fod eu dybenion yn dda. A phwy a wyr na bydd i'r Ysbryd Glan eu bendithio iddynt pan y byddont yn eu darllen ar ol myned adref?

ERYRIAN.

---

NIFER Y CAPELAU YN MON.

*Syr,—Yn ol dymuniad eich gohebydd Ymofynydd, wele i chwi nifer y Capelau perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Môn. Eu nifer ydyw 45; a dyma Restr o honynt.*

| | |
|---|---|
| Beaumaris | Llangoed |
| Llanddona | Pentraeth |
| Pen y Garnedd | Glashinfryn |
| Tabernacl | Llanallgo |
| Pengorphwysfa | Nebo |
| Amlwch | Goralwyd |
| Siloam | Betheseda |
| Elim | Bethlehem |
| Llanrhuddlad | Llanfwrog |
| Ty'n y maen | Caergybi |
| Rhos golyn | Bodedern |
| Caergeiliog | Hebron |
| Aberffraw | Bryn du |
| Bethel | Niwbwrch |
| Dwyran | Bethania |
| Llangristiolus | Gwalchmai |
| Sion | Llanfair |
| Gaerwen | Gilead |
| Brynsiencyn | Llangefni |
| Talwrn | Parc |
| Tŷ mawr | Llangwyllog |
| Llandegfan | Llanerchymedd |
| Carmel. | |

*Môn.* C———G.

D.S. Y mae yn y wlad amryw Ysgoldai, ond ni roddwyd hwynt yn y rhestr uchod.

---

## DIRWESTIAETH.

Syr,—Gwelsom aml waith yn y Drysorfa 'Gynghor i gleifion;' a chan eich bod am fod yn bob peth i bawb, ac hefyd oherwydd fod eich darllenwyr yn gyffredin yn ddirwestwyr, yr wyf yn cymell cynghor iachus, o ddiwedd araeth Mr. William Rees, Heol Mostyn. Meddyliem pe bai yr araeth oll yn y Drysorfa na thramgwyddai neb.

Ddirwestwyr! Goddefwch air y cynghor; edrychwch arnoch eich hunain; cofiwch eich ymrwymiad; meddyliwch am y pwys o'i gadw, a'r perygl o'i dori. Os torwch ef, ni byddwch yn ddynion cyfrifol yn ngolwg neb; edrychir arnoch yn llai na dynion gan bawb. Y ffordd i chwi ennill y nodweddiad o greaduriaid diegwyddor a diymddiried, ydyw, edrych yn ysgafn ar dori ymrwymiad; a pha greadur dirmygus yw dyn na byddo gan neb ymddiried ynddo? Chwi a welwch fod llawer wedi gwneyd eu hunain fel hyn yn barod trwy dori eu hymrwymiad dirwestaidd; a pheri gofid i'r gymdeithas, ac ennill gwarth iddynt eu hunain oddiwrth bob graddau o ddynion.

Yn hytrach na thori eich ymrwymiad ewch at ysgrifenydd y Gymdeithas, a mynwch eich enw allan o'r llyfr, dangoswch eich hunain felly yn ddynion cydwybodol, a bod genych ofal am eich enwau, a gadewch y Gymdeithas yn y dull hwnw heb droseddu ei rheolau, na gosod esampl mor niweidiol o flaen ereill. Ond yn hytrach, glynwch wrth eich proffes. Yr ydych, y rhan fwyaf ohonoch, wedi canmol yr egwyddor yr ydych yn byw wrthi, ac wedi medi a mwynhau llawer o ddaioni oddiwrth fyw yn ei hol, pa ham y bydd i chwi ei gadael ynte?

Hefyd, gochelwch wrth siarad yn gyhoeddus o blaid y Gymdeithas, arfer geiriau pigog a thrahaus am eraill ag y sydd heb ymuno; rhuthro ar ddynion cymedrol, a chollfarnu bragwyr, a thafarnwyr, gweinidogion a chrefyddwyr, ag nad ydynt yn cydweled â chwi. Nid oes eisiau y fath arfau a'r rhai hyn, a phe na ellid cynnal i fynu a dwyn yn mlaen yr achos heb y rhai hyn, o'm rhan fy hun, tynwn fy enw oddiwrtho heddyw.

Ond, ni wna y dull hwn ddim ond niwed. 'Pa beth sydd i ni a farnom ar weision un arall? Onid i'w Harglwydd eu hunain y maent yn sefyll neu yn syrthio?' Y mae yn anweddus a gwrthun clywed un na byddo ond megis newydd godi o ffos meddwdod, yn cyfodi yn ngwydd cynnulleidfa, ac yn rhuthro yn ddidrugaredd, i waradwyddo a chondemnio dynion na buont, fe allai erioed yn euog o'r pechod hwnw; y mae tuedd naturiol yn hyn i'w pellhau oddiwrth y Gymdeithas, ac nid oes genyf yr ammheuaeth lleiaf, na chafodd llaweroedd a fuasent cyn hyn yn aelodau parchus a defnyddiol, eu tarfu ymaith yn y modd yma. Y mae gan y cyfryw ddigon i'w ddweyd am y niwed a wnaeth iddo ei hunan trwy feddwdod, ac am y lles a gafodd trwy y Gymdeithas, heb ruthro i'r orsedd, i gyhoeddi barn ar neb arall: addfwynder a thynerwch sydd debycaf o lwyddo, &c.

Clywais wr parchus yn dywedyd ei bod yn annioddefol i wyr sydd o gydwybod, wedi bod yn gymedrol am ddegau o flynyddoedd, gael eu llindagu gan ddynion sydd wedi bod yn anghymedrol. Byd rhyfedd yw hwn: yr afradion yn llawenhau, a'r mab hynaf yn digio, ac yn grwgnach, ac yn dywedyd 'y mae hwn yn derbyn pechaduriaid, ac yn bwytta gyd â hwynt,' &c.

Gobeithio nad oes neb yn ymuno â'r Gymdeithas yn gyffelyb i Iuago ei neu

gath, wrth linin erbyn eu gyddfau i'r llyn i'w boddi, oherwydd ymuno â'r Gymdeithas felly, fyddai ymuno yn groes i'w rheolau; canys y mae y rheolau yn rhedeg fel y canlyn, 'yr ydym ni yn ymrwymo yn wirfoddol, &c.' a phawb sydd yn ymuno, heb fod yn wirfoddol, maent o angenrheidrwydd yn elynion yng-wisg y Gymdeithas; ac yn fradychwyr, ac yn gwilied am bob cyfleusdra i attal ei llwyddiant. Os felly y mae, ni ddylid er dim, rhoddi un gorfodaeth ar neb i ymuno â'r Gymdeithas, ond cynghori ac argyhoeddi gyd a phob awdurdod, nes ynill y byd i fod yn ddirwestwyr o galon. E. Ll.

---

## COFIANT

*Am y diweddar Mrs. Mary Jones, Wern, Plwyf Pistyll, Swydd Gaernarfon.*

"Death bursts th' involving cloud and all is day."
YOUNG.

Wrth edrych ar Rifynau eich Trysorfa, gwych genyf weled cynnifer o berlau gwerthfawr ynddi, ac yn neillduol Cofiant am dduwioldeb a rhinweddau amrai o rai hynod yngwinllan Crist, a ymadawsant, ac a orphwysasant oddiwrth eu llafur.

Minnau a anturiais anfon yr hadling yma o'r cyffelyb argraff i eich sylw. Hir ddisgwyliais weled Cofiant am Mrs. Mary Jones wedi ei gasglu gan ryw un arall, eithr gan nad anturiodd neb ar a wn I wneuthur hyny, wele fi wedi casglu ychydig o amryw bethau mewn perthynas i ei nodweddiad crefyddol a moesol.

Mrs. Jones ydoedd ferch ieuengaf Mr. John ac Ann Williams o Saethon, Lleyn; a chwaer i'r diweddar Dafydd Williams, Yswain, Saethon, yr hwn a fu farw yr 28 o fis Mawrth 1823, yn 69 mlwydd oed.*

Y teulu yma a fu yn achles i achos Crist pan ydoedd yn isel a dirmygus iawn yn y wlad hon. Hi a ymbriododd yn ieuangc gyda Mr. Griffith Jones, trydydd mab Mr. John Roberts, Ty mawr, Plwy'r Pistyll, yr hwn ydoedd yn briod a thad carnaidd a gofalus, ac o dymer elusengar iawn i dlodion: er engraifft o hyn cymmerer yr hanesyn a ganlyn. Ar ryw fores rhewllyd, a'r eira yn lluwchio, digwyddodd i J. P. fyned ar ryw neges i'r Wern, a gofynodd i Mrs. Jones am ei gwr; hithau a ddywedodd, ei fod ef wedi methu cysgu y boreu hwnw gan feddwl am wreigan weddw dlawd yn ochr y mynydd, rhag ofn nad oedd ganddi ymborth, &c. yn ei thŷ o herwydd fod gormod o eira iddi fyned i gardotta. Efe a aethai at ei bwthyn yn foreu iawn, drwy eira mawr, a phethau angenrheidiol i'w diwallu gydag ef: ac wrth ddychwelyd suddodd at ei lwynau mewn eira ar y mynydd. Da fyddai fod y cyffelyb ofal etto gan eraill at rai a fyddai mewn cyfyngder, am oesoedd ar ei ol: bu ef farw Ebrill 21. 1820.

Mrs. Jones ydoedd yn brydferth a theg o ran ei pherson, ac o gynheddfau cryfion a threiddgar, megis yr oedd, ac y mae ei theulu etto yn gyffredinol. Fel Gwraig yr oedd yn debyg i *Sarah*, yn weddus, ac yn ddarostyngedig i'w Gwr priod. Fel Mam, yn ofalus, maethlawn, a charuaidd at ei phlant, addysgai iddynt y brophwydoliaeth, fel mam *Lemuel*. Fel Meistres, yr oedd ei symlrwydd, a'i sobrwydd dwysaidd yn rhoddi digon o awgrym er cael ufudd-dod gan ei gwasanaethyddion, fel na byddai raid iddi ddywedyd llawer o eiriau. Yn wastad, rhoddai fygwth heibio; a phan lafarai, byddai 'ei geiriau wedi eu tymheru â halen.' Fel cymmydoges, byddai yn wastad yn dangnefeddus, diymryson, a diabsen; ni feddyliai yn ddrwg am ei chymmydog, yr hwn a drigai yn ddiofal yn ei hymyl; (fel y gallem farnu mewn barn cariad.)

Byddai ei phreswylfod yn gynniweirfa gyffredin i bob gradd, boneddig a gwreng, eithr yn fwy neillduol, yr oedd ei thŷ, a'i chalon felly bob amser pan fyddai yn gyfleus i lettya Gweinidogion Crist, pa enwad bynag y perthynent, o Annibynwyr, neu Drefnyddion, megis y gwnai ei hybarch frawd, D. Williams, Yswain, yn ei oes grefyddol; ac ni wnai amgylchiad isel a thlawd neb attal ei charedigrwydd a'i sirioldeb tuag atto: cyfranai iddynt y peth a geisient (os byddai modd) mewn llawenydd, a gwên ar ei genau. Ni adawai y tlawd un amser yn hir wrth y drws ond a agorai iddo yn ebrwydd.

Cymerer yr engraifft a ganlyn o wirionedd ei hymddygiad yn y peth hyn. Digwyddodd ei bod ryw dro, yn nhŷ perthynas iddi; a daeth gwraig dylawd at y drws, gofynodd am damaid; archodd gwr y tŷ i'r weinidoges roddi cardod o ŷd iddi, Mrs. Jones a ddywedodd wrtho, yn arafaidd, 'Tamaid y mae hi yn ei geisio M. bach.' Eb yntau, pwy meddwch chwi eiff i'r drafferth i falu a phobi? Y mae ŷd yn burion iddi. Dywedodd hithau, 'O, M. bach, fe all y tlawd newynu cyn cael malu na phobi.' Wel! wel! ebr yntau, rhowch damaid iddi.

Byddai yn gwneuthur cydwybod o wrando pregethiad o air Duw yn moreu ei hoes: ac yn fuan ar ol iddi briodi, ymunodd ag Eglwys Dduw yn Nefyn, ac a barhaodd ynddi ddyddiau ei hoes. Ei gostyngeiddrwydd, ei hunanymwadiad, a'i hymddygiad yn y gymdeithas neillduol bob amser oedd fel pe buasai y dlottaf yn eu plith. Dilynai gynghor yr Apostol, mewn modd nodedig, 'Gan dybied eich gilydd yn well na chwi eich hunain.'

Ei phrif gyfeillion fyddai y rhai oedd

---

* Gwelir ei Gofiant yn y Dysgedydd am Mawrth 1827.

yn proffesu duwioldeb. Yr oedd ei chariad tuag attynt mor helaeth fel na feddyliai ddrwg am neb o honynt. Digwyddodd ychydig o ymrafael rhwng rhai o'r teulu, ag un oedd yn proffesu: hithau pan glywodd hyn, a'u cynghorai i fod yn dawel, chymmeryd y peth yn heddychol, rhag efn eu bod yn 'cyffwrdd a chanwyll ei lygaid Ef.'

Dilynai foddion gras yn gyhoeddus a dirgel, yn ddiwyd a ffyddlon, trwy bob tywydd, er ei bod yn drom o ran ei chyfansoddiad dynol. Darllenai yr Ysgrythyrau a llyfrau da eraill gyd â'r diwydrwydd mwyaf. Byddai y Bibl yn gyffredin ar y bwrdd; a phan ddeuai rhai o'i chyfeillion proffesedig i'w thŷ, dangosai y pennodau a'r adnodau y byddai wedi gweled pethau mawrion Duw ynddynt; a cheisiai gael rhagor o wybodaeth o honynt. Ei hyfrydwch penaf oedd cael ymddiddan am ryfeddodau gras yn amgeleddu un mor annheilwng ag ydoedd hi. Ei gofid a'i galar cyffredinol oedd, o herwydd fod cymmaint o lygredd ac anmherffeithrwydd ynglyn yn ei natur, drwy ystod ei hoes grefyddol.

Byddai sirioldeb amlwg yn ei gwynebpryd dan athrawiaeth gras. Dianwadalwch cyngor Duw, anfeidrol haeddiant ac Iawn Crist, neillduol a grymus waith yr Yspryd Glan, fyddai ei hoff destyn gyda ei chyfeillion crefyddol pan ddeuent i'w thŷ. Yr oedfa ddiweddaf y bu ynddi ydoedd y 16eg o Mawrth, Ynghapel Nefyn, pryd y pregethodd y Parch. Charles Jones o Swydd Feirionydd, ar Col. iii. 4. 'Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gydag ef mewn gogoniant.' Ar ei dychweliad adref dywedodd wrth y teulu, mai pregeth iddi hi oedd hono; ac adroddodd yn eu clywedigaeth lawer o'r gwirioneddau gwerthfawr a glywsai.

Yn fuan iawn ar ol hyn, cafodd ei tharo gan y Parlys, yr hyn a'i hymddifadodd o'i lleferydd; parhaodd yn dawel ac yn hawdd ei thrin yn ei chystudd trwm hyd y trydydd dydd o Ebrill, 1833, pan ymadawodd ei hysbryd dedwydd o fyd o amser, i fwynhau tragywyddol bwys gogoniant,' yn y 73 flwyddyn o'i hoedran.

Claddwyd ei rhan farwol yn yr un cromgell a'i phriod, yn mynwent y Pistyll y dydd mawrth canlynol, i aros udganiad yr udgorn diweddaf, pryd y bydd i'r 'hyn sydd farwol gael ei lyngcu gan fywyd.' Y Parchedig Robert Owen a bregethodd yn ei hwylnos, oddiar 1 Thes iv. 14. i liaws o'i chyfeillion, a'i chymydogion galarus.

I'r saint rhagorfraint i gyd,—oll iddynt,
Eu llwyddiant a'u hadfyd,
Gwen y nef a gânt hefyd,
Ag yn eu bedd gwyn eu byd.

*Nefyn.* D. WILSON.

## MARW-RESTR.

*Galarus yn ddiau oedd gan laweroedd ddarllen yr hysbysiad am, a'r Englynion ar farwolaeth Mr.* EDWARD JONES, *Bardd, o Faes y Plwm, yn y Rhifyn diweddaf o'r Drysorfa; ond y Marw-restr hwn a hysbysa farwolaeth Cyfansoddydd yr Englynion hyny, sef Mr.* JOHN OWEN, *Bardd, o Lynlleifiad; yr hwn a fu farw ar y 29ain o Ionawr, yn 52 mlwydd oed, wedi ychydig ddyddiau o afiechyd.*

*Yr oedd John Owen yn wr tawel a thangnefeddus; ac yr oedd ei ymarweddiad cyffredinol yn harddwch i'w broffes gristionogol: diameu na chyfeiliornwn wrth ddywedyd, "Bu farw o farwolaeth y cyfiawn." O alar am y ddau Fardd hyglod a enwyd uchod, cyfansoddwyd yr Englynion canlynol.*

## ENGLYNION

### AR FARWOLAETH MR. E. JONES, BARDD, O FAES Y PLWM, A MR. JOHN OWEN, BARDD, O LYNLLEIFIAD.

Awen, cana acenion—galarnad
Gwel oernych fy nwyfron!
Penyd sydd, poen ydyw sôn,
Hi lwythwyd a galaethion!

Gwŷr hyglod, hynod, hoenwedd—Beirdd yr oes
I bridd 'r ânt o'u mawredd!
Athrawon gwychion eu gwedd,
Ië, tadau ein tudwedd!

E gyrchwyd etto i garchar—y bedd
Ddau o'n Beirdd awengar!
Sef JONES gu, hoewgu, hygar,
Cain ei waith,* ac OWEN war.

Gwir a doniawl gredinwyr—cu oeddynt
Ac addas grefyddwyr;
Diwyth† oedd yr odiaeth wŷr,
Ufuddion dangnefeddwyr.

Prid, addas eu gwaith prydyddawl;—canent
Acenau sylweddawl:
Eu caniadau, mydrau mawl,
Llïosog ynt a llesawl.

Cynnyrch eu donian ceinion,—a ffrwythau
Eu ffraeth awenyddion,
Iachusawl ynt a chyson,
A golud hardd i'n gwlad hon.

Ond, y Beirddion da a briddwyd!—o'n plith
Maes y plwm a gludwyd;
A Phowys‡ hyglod ddodwyd,
Hyfwyn Fardd, i bryf yn fwyd!

Yn eu Hiesu hunasant,—hwy yn awr
Mewn hedd a orweddant:
Cu fad etto cyfodant,
A newydd gyrph hoenwedd gânt.

* Ei waith prydyddawl.
† Dilid, *void of wrath.*
‡ Ioan Powys, enw barddawl John Owen.

Ein Ior ar gymylau y nef—a ddaw
I ddwyn ei saint adref;
O'r du lawr ei deulu ef
Arweinir oll i'r wiwnef.

Yno cenir uwch cynhen,—ac yno
Y cân JONES ac OWEN;
Lle ni thaw eu pêr Awen
Am farwol glwy' mwy—Amen.

*Llynlleifiad.* IOAN HUWS.

DADGYFFESIAD MR. R. CARLISLE, YR ANGHREDADYN,

Mae rhai o'n darllenwyr yn hysbys o'r dyn rhyfygus hwn, fel yr oedd yn anffyddiwr neu yn anghredadyn cyhoeddus. Wedi bod yn areithio yn gyhoeddus, ac yn ysgrifenu llawer yn erbyn y Bibl, yn erbyn y grefydd gristionogol, ac yn erbyn y llywodraeth wladol. Yn awr y mae yn galw ei gableddau i gyd yn ol, megis y gwnaeth Mr. W. Hone o'i flaen ef. Darllenasom yn y Newyddiaduron yr hanes rhyfedd a ganlyn am ei ddadgyffesiad ef.

'Dydd sadwrn, Chwefror 4. Mr. Richard Carlisle, yr hwn a gyhoeddodd amryw lyfrau a thraethodau cableddus, a ddaeth i mewn i Guildhall, yn Llundain, ac a ymddangosodd ger bron Mr. T. Wood, yr Henadur, i dystio ei gyffes o wirionedd y grefydd Gristionogol. Efe a ddangosodd Restr o Ardystiolaethau, fel math o gyffes ffydd. Dymunwyd arno ddarllen ei Ardystiolaeth yn uchel i glyw y rhai ag oeddynt yn bresennol, yr hyn a wnaeth efe mewn modd addas ac eglur.

Y gyntaf oedd am ei ffyddlondeb i'r Brenin, a'i lwyr ymwrthodiad âg athrawiaeth y Pabyddion mewn perthynas i awdurdod Brenhinoedd. Ac wedi hyny, darllenodd Gyffes ei Ffydd fel hyn:—'Myfi, Richard Carlisle, wyf yn proffesu ffydd yn Nuw Dad; ac yn Iesu Grist, ei dragywyddol Fab ef, y gwir Dduw, ac yn yr Ysbryd Glan; un Duw bendigaid yn dragywydd. Ac yr wyf yn cydnabod fod yr Ysgrythyrau Sanctaidd yr Hen Destament a'r Newydd wedi eu rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw.'

Wedi hyny yr Ardystiaeth ganlynol:—'Yr wyf fi, Richard Carlisle, yn ddifrifol dystiolaethu, yngwydd yr Hollalluog Dduw, mai Cristion a Phrotestant proffesedig ydwyf fi, ac fel y cyfryw, yr wyf yn credu fod Ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newydd, fel y maent yn gyffredin yn cael eu derbyn gan yr Eglwysi Protestanaidd, yn cynnwys datguddiad o ewyllys Duw, ac yr wyf yn proffesu mai hwynthwy yw rheol fy athrawiaeth a'm hymarweddiad i.'

Ac wedi i Mr. Carlisle law-arwyddo yr Ardystiolaethau hyn, rhoddodd yr Henadur Mr. Wood iddo Ysgrifdyst i'r perwyl hyny.

Yna llawen-gyfarchodd Mr. Wood ef oherwydd iddo ddyfod yn wirfoddol ymlaen i wneud y broffes gyhoeddus hon.

Dywedodd Mr. Carlisle, 'Ei fod ef wedi darllen yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn ofalus aml waith drosodd, ac mai mewn canlyniad i'r ymchwiliaeth hon, y symmudwyd ef o'i gyfeiliornadau y rhai y buasai o'r blaen yn eu dal a'u proffesu.'

## Y Dysgawdwr Cyffredinol.

IV. METTEL-WAITH.

66. Cyn i ddyn i fod yn alluog i lafurio y tir, ei gloddio, ei geibio, neu ei aredig, yr ydoedd yn ofynol iddo gael cynnorthwy rhwybeth caletach na'r tir ei hun: hyny yw, yr oedd arno eisiau haiarn neu fetteloedd, ac heb haiarn nis gallai fod ganddo offerynau miniog defnyddiol—y cyfryw a'r rhaw, y caib, yr aradr, y bladur, neu'r cryman.

67. Herwydd paham, hyd oni ddadguddiwyd i ddynion y moddion o gaffaelyd a gweithio haiarn, yr ydoedd yn rhaid iddynt ymddibynu am ymborth ar gynnyrch naturiol y ddaear, ac ar gig anifeiliaid. Dywed yr Ysgrythyr Sanctaidd i ni mai Tubal-Cain (neu Vulcan) ydoedd dysgawdwr yr holl rai, cyn y diluw, oeddynt yn gweithio mewn pres a haiarn, Gen. iv. 22.

68. Wrth edrych ar y metteloedd mewn defnydd arferedig, yr ydym yn eu hystyried yn gynnyrchiadau cyffredin; ond nid oes un gelfyddyd mor gywraint ag yw hono o dynu metteloedd o'r ddaear, neu y mwyn yn yr hwn maent yn gymmysg neu'n guddiedig; ac ni bu yr un dadenhuddiad na dyfais erioed mwy rhyfedd a ddefnyddiol.

69. Anfynych iawn y ceir metteloedd mewn ansawdd bur; ond efallai i'r caffaelydd cyntaf, wedi iddo gael allan ryw fettel mewn ansawdd bur a digymmysg gael ei arwain i wneuthur profion ar y telpynau hyny o ddaear ag oeddynt aflunaidd a geirwon, ond yn drymion, y rhai oeddynt gynnwysedig o gymmysg o ddaear a mettel, y rhai a elwir mwyn.

Syl. Fferyllwyr diweddar ydynt yn ystyried pob math o dir neu ddaear fel sorod neu anmhuredd *(oxides)* metteloedd, yn bossibl gwahanu yr *(oxigen)* neu'r sur *(acid)* o honynt a'i weithio i ryw fettel bur.

70. Llwch aur yn gyffredinol a geir mewn tywod afonydd, o ba rai mae yn cael ei olchi gan wlawogydd o'r mynyddoedd; ac fe ddichon i hyn ei hun arwain i ddatguddiad o fetteloedd. Llawer o'r aur a arferir yn Lloegr a gesglir allan o afonydd *Guinea*, ar oror Affrica.

71. Gweithwyr metteloedd ydynt yn eilfyddu natur pan maent yn curo ac yn

*golchi* eu mwyn; ac, wedi eu glanâu, yn y modd hyny, oddiwrth lawer o'r pridd, yna maent yn eu toddi mewn amrywiol ffyrdd, ac, o'r diwedd, yn cael y fettel ei hun mewn ansawdd bur.

72. Ni wnai neb, wrth edrych ar y rhan fwyaf o'r mwyn mettelaidd, dybio fod mettel yn gynnwysedig ynddynt; mae yn amlwg, nad ydynt ond y cerrig, neu y pridd garwaf, mwyaf afrywiog, a lleiaf dymunol; ond, wedi eu tori, eu mynych olchi, a'u llosgi, (neu eu *rhostio*, fel ei gelwir,) maent yn dyfod yn aur, arian, copr, haiarn, a mettelau eraill.

73. Y mwyn hyn sydd i'w cael yn ngwythenau mynyddoedd neu rhwng agenau neu raniadau y creigiau, yn gyffredinol islaw arwyneb y tir; a'r tyllau neu'r pydewau a dorir i chwilio am y mwyn a elwir mwyn-gloddiau, neu *mines*.

Y pydew ei hun a elwir *shaft* y *mine*, yr hwn a weithredir yn union-syth mewn ymofyniad ar ol y mwyn. Pyllau, o ba rai mae cerig yn unig yn cael eu codi, a elwir *chwarelau-cerig*.

74. Y mwyn-gloddiau dyfnaf ydynt yn Hungary; ac maent oddeutu tri chwarter milldir islaw wyneb y tir. Mae llawer o fwyn-gloddiau yn cael eu hestyn fel trefydd dan y ddaear; ac mae llawer o fwyn-gloddwyr yn treulio eu holl frwydau ynddynt. Diffyg gwynt ac ymlanwad dwfr sydd yn rhwystr i'r mwynwyr i weithio yn ddyfnach.

75. Yr holl sylweddau sydd yn ffurfio y tir a'r ddaear a elwir mwyn oherwydd y credir eu bod oll yn cynnwys rhyw fetteloedd, neu yr * *oxydes*. Mae clai yn fwyn; pob math o gerig ydynt fwyn; glo sydd fwyn; pridd-galch, (*chalk*), ac yn fyr, beth bynnag sydd heb fod yn anifeiliaid neu lysiau a elwir mwyn.

76. Cafodd yr astudiaeth o fwyn ei threfnu, ac fe'i galwyd y wybodaeth o fwynyddiaeth. Yn hyn, fel mewn llawer eraill o gangenau gwybodaeth, pa fodd bynnag, ni effeithiwyd fawr ychwaneg, na chyrhaeddyd dosparthiad rheolaidd ac enw lyfr.

77. Pob mwyn, h. y., pob tir, pridd, cerig, a metteloedd ydynt yn gelfyddgar wedi eu rhanu yn bedwar o ddosparthiadau.

I. Mwyn daearaidd neu priddlyd—sef y rhai oll sydd heb flâs neu arogl, yn ysgeifn a breuol; megis maen-melin, callestr neu *silex*, clai, tyfod, grisial, gwydr-faen, (*spar*), gypsum, alabaster, pridd-galch, cerig, cornelians, jaspis, topas, saphir, rubi, emerald, a'r diemwnt,

II. Mwyn halenawg—sef y cyfryw ag sydd â blas llym iddynt, ac ydynt yn drymach, yn feddalach, ac mewn rhan yn dryloyw; megis yr halen cyffredin, alwm, nitr, neu halen y graig, (*saltpetre*), a *borax*.

III. Mwyn hylosg—yn ysgafnach, breuol, tywyll, ac heb fod byth i'w teimlo yn oerion; megis glo, brwmstan, plwm du, ac ambr.

IV. Mwyn mettelaidd—y rhai ydynt yn drymach, yn dywyll, oerion, *ystwyth*, yn bosibl eu tynu yn edafedd, (*wires*), ac yn *forthwyliadwy*, yn alluawg i'w gweithio i unrhyw ffurf. Mae y rhai hyn yn gynnwysedig o aur, arian, &c. (Gwel y gwahanran 522, am briodoliaethau eraill metteloedd.)

78. Llawer o fetteloedd wedi eu rhoddi yn agored i weithrediad yr awyr, ydynt yn myned yn fudron a rhydlyd, neu lychlyd; hyny yw, maent yn sefydlu neu yn derbyn i mewn ran o'r awyr a elwir ei *oxygen*, ac am hyny fe elwir y rhwd yn *oxide*. Os y poethir ac y toddir hwy ar dân am ryw gymaint o amser, maent hwythau yn derbyn i mewn *oxygen* o'r awyr-gylch, ac yn troi i sylweddau a elwir *calces* neu *oxides*, a'r dygiad o hyny yn mlaen a elwir *Oxidation*.

79. Pe poethid a phe toddid 10 pwys o blwm yn y dull hwn, cyfnewidid ef i fath o *oxide* a elwir *mwyn-coch*, a'r mwyn-coch a weithredid felly a gaid yn pwyso 11 pwys: y pwys chwanegol yn dyfod oddiwrth yr *oxygen* a sefydlid neu a dderbynid i mewn.

80 Gellid cyfnewid *oxides* drachefn i fetteloedd, trwy eu difeddianu o'u *hoxygen*. Yn yr engraifft o fwyn-coch, pe llosgid ef drachefn gyda golosg briwedig, fe wna'r golosg wahanu yr *oxygen* oddi wrth yr *oxide*, ac fe gaid y plwm drachefn yn ei ansawdd bur: y gweithrediad yma a elwir ad-ddygiad.

81. Fferyllwyr diweddar ydynt yn ystyried yr holl ddaear yn fettelaidd; a'r holl wahanol fathau o diroedd neu bridd yn ddim ychwaneg nag amrywiol oxides, neu rwd metteloedd, yn cael eu dwyn yn mlaen trwy barhâus weithrediad yr awyr neu'r dwfr arnynt, ac yn alluog, trwy foddion cyfaddas, i'w had-gyfnewid i fetteloedd.

(I'w barhau.)

* Gan fod amryw eiriau dyeithr yn y Traethawd hwn, nad oes yn fy Ngeiriaduron I eiriau cymreig am danynt; nid oes genyf ond eu rhoddi fel y maent.—D.J.

## Hanesiaeth Cenhadol.

### YR INDIA DDWYREINIOL.

*Rhan o lythyr oddiwrth y Parch. W. Buyers, at Ysgrifenydd y Gymdeithas Genhadol.*

Benares, Gorph. 4, 1836.

Anwyl Syr,—Cyrhaeddais i a'm gwraig Allahabad Ion. 10, a thros yr wyth niwrnod neu naw yr arosais yno, yr oedd fy nwylaw

yn llawn o waith. Heblaw pregethu ac areithio yn gyhoeddus, bedyddiais amryw o blant, &c. Mi bregethais bedair ar bymtheg o bregethau i'r Indiaid yn eu hiaith eu hun; a thair yn saesoneg, yn benaf i'r milwyr ac ysgrifenwyr y Llywodraeth wladol. Yr wyf yn hyderu na bydd y llafur hwn ddim yn ofer.

Oddiwrth yr olwg ar y *Mela*,* yr wyf yn canfod nad yw cynnulleidfa y pererinion ddim mor liosog ag oeddynt y llynedd. Mae yn anhawdd gwneyd cyfrif manwl o honynt; ond cyn belled ag y gallaf wneyd hyny, nid wyf yn barnu fod nifer yr ymwelwyr hyn ddim chwaneg nag o bump i chwe chan mil. † Nid oedd y rhai hyn oll ychwaith ynghyd ar unwaith, oblegid fod y Cyfarfod yn parhau am fis cyfan, ac y mae lliaws yn ymadael, ac ereill yn dyfod yn eu lle. Dyma le braf i bregethu. Ond hyd nes byddo dyn wedi ymarfer â'r fath beth, mae yn gofyn gwroldeb mawr i sefyll i fynu i bregethu yr Efengyl i'r fath lu o'r *Brahmins*, yr Offeiriaid Paganaidd, ynghyd â chynnifer o filoedd o ddynion 'wedi ymroi i eilunod.'

Yr oedd ein brawd brodorol Narapot, (yn awr Maurice Sing) gyda mi, ac hefyd rhai o'r bodyr o Serampore; ac felly yr oedd cryn nifer o honom. Darfu i gyfaill i mi osod Pabell i fynu i'r perwyl; ac mewn man arall adeiladodd Fwthyn, fel y gallem fyned i'r naill neu'r llall yn ol yr hin ac amgylchiadau ereill. Lled gyffelyb oedd ein gorchwyl y naill ddiwrnod a'r llall. Byddem yn ymgyfarfod yn ein gorsaf oddeutu naw neu ddeg ar gloch yn y boreu, pryd y dechreuai un drwy ddarllen y Bibl, ac yna pregethu i'r dorf. Wedi iddo ddarfod, os gwelid fod y bobl yn gwrando, âi un arall i ben yr areithfa a phregethai ar ei ol ef.

Ambell waith, rhwng y ddwy bregeth, gofynai ambell un gwestiwn, ac attebid ef; a chyfrenid llyfrau a thraethodau i'r bobl. Fel hyn yr âem ymlaen, gan gynnorthwyo y naill y llall, nes byddai pob un o honom wedi blino erbyn y nos. Yr oedd Maurice Sing a minnau yn gyffredinol yn pregethu dair neu bedair gwaith bob dydd. Ac fel yr oedd yn gofyn gryn ymdrech i bregethu i beri i dorf mor fawr glywed yn yr awyr agored, darfu i'r cyfarfod pregethu hwn ein blino ein dau yn ddirfawr.

Yr oedd ymddygiad Maurice Sing yn rhagorol iawn. Mae efe yn ddyn cryf â llais cryf, ac y mae yn pregethu yn rhyfeddol o selog. Yn wir, nid oedd dim modd fod dim yn fwy cyssurus na gweled Brahmin dychweledig yn sefyll i fynu yn wyneb dalgryf o flaen cannoedd o Frahminiaid, gan rwygo y llengudd oddiar eu ffieidd-dra, a'u dangos yn eu herchylldra noethlwm i'w gydwladwyr, ac ar yr un pryd eu cyfeirio hwynt at 'Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau 'r byd.' Ychydig flynyddau yn ol ni wrandawent arno; ond yn awr yr oedd llawer o honynt yn wylo wrth wrando y gwirionedd, ac nid oedd braidd wrthwynebwr o fawr bwys yn codi i'w erbyn, er fod degau o filoedd o'r Brahminiaid yn gwrando ar y cyfan a ddywedwyd.

Un diwrnod, daeth un hen Brahmin, yr hwn a fu yn ein gwrando amryw ddyddiau, ac a gyfododd ar ei draed, ac a dystiolaethodd yngwydd pawb, mai hon oedd y wir grefydd, a'i fod ef yn penderfynu ei phroffesu hi. Yr oedd yr olygfa yn rhyfeddol. Cododd Brahmin arall i wrthddywedyd: yna safodd yr hen Frahmin arall i fynu drachefn, a'i wallt gwyn yn chwifio yn y gwynt, a'i gadwyn Frahminaidd yn crogi dros ei ysgwyddau gwargrymol, ac a waeddodd allan, 'Pwy ydych chwi a feiddiwch wrthwynebu y gwirioneddau hyn? Pa *Shasters* a ddarfu i chwi ddarllen? Onid wyf fi yn Frahmin cystal a chwithau? Onid ydych chwi yn gweled fy arwydd-nod? Onid wyf fi wedi darllen y *Shasters* cystal a chwithau, ac onid wyf fi yn gwybod eu bod yn dwyllodrus, ac mai hwn yw gair y Bod Dwyfol?

Cyfododd y fath gynnwrf, fodd bynag, drwy y gyfryw gyffes gyhoeddus o'i ffydd ymysg y Paganiaid ag oedd yn peryglu ei fywyd ef. Ac yn y prydnawn, a'r nos ganlynol, darfu i'w hen gyfeillion a'i ddisgyblion drwy hudoliaeth a bygythion ei droi fel y darfu iddo, o'r diwedd, gydsynio i ddychwelyd yn ol gyda hwynt, ond efe a addawodd ymuno â ni yn Benares. Nis gwyddiom a gawn ni byth ei weled ef etto. Gan fod ei gyfeillion yn gwybod ei fod ef yn bwriadu dyfod yn gristion, fe fydd iddynt yn ddiau wneud a allont i'w rwystro ef. Ar yr un diwrnod darfu i amryw ereill o'r Brahminiaid gael eu hargyhoeddi cyn belled ag y bu iddynt ardystio y bydd iddynt daflu eu cadwynau a'u harwyddion ereill o'u Swyddau i'r afon, a dyfod attom i Benares, i gael eu bedyddio.

Heb ymhelaethu ymhellach ynghylch pethau neillduol a ddygwyddodd yn Allahabad, digon yw dywedyd, eu bod ar y cyfan yn galonogawl. Pregethwyd yr Efengyl i filoedd, y rhai a'i gwrandawant yn astud iawn. Nid oedd y gwrthwynebwyr ond ychydig, a'r rhai hyny nid yn gryfion. Mewn perthynas i ddychweliad eneidiau ni wyr neb hyd y dydd mawr, pryd y datguddir pob dirgeloedd. Mae yn amlwg fod llawer wedi ei wneud, beth bynag, tuag at barottoi meddyliau y bobl i dderbyn y gwirionedd Dwyfol. Mae

* *Mela* yw y cyfarfod cymmanfaol yr Eilunaddolwyr yn yr India.

† Dros ddeng waith ar hugain nifer cymdeithasfa y Bala!!!

hyn, yn y cyfryw wlad a'r India, yn rhan bwysig o'n gwaith.

Yn yr wyl hon, heblaw rhanau o'r Ysgrythyrau, nyni a gyfranasom ynghylch pum mil o Draethodau, yn iaith yr India yn benaf. Nid oedd genym chwaneg, onite gallasem gyfranu chwe chymmaint.

Wedi gorphen o honom ein llafur yn y *Mela*, dychwelasom i Benares, wedi taith o dri diwrnod. Yr oedd yr holl ffordd yn llawn ar ei hyd o bererinion, fel y'u gelwid, yn gymmaint fel, oni bai fy mod mor lluddedig, ar ol pregethu cymmaint yn y Cyfarfod, gallaswn bregethu amryw weithiau ar y ffordd i dorfeydd o Baganiald. Mae nifer y bobl ag sy'n tramwy rhwng y *lle sanctaidd* ynghydiad y ddwy afon, y Ganges a'r Jumna, a'r *lle sancteiddiach* fyth yn Benares, ar y tymhor hwn ar y flwyddyn yn rhyfeddol i feddwl am dano.

Hyd y ffordd o Benares i Allahabad yw pedwar ugain milldir, ac mae mor lydan a ffyrdd mawr Lloegr. Ar hyd y ffordd hon y mae lliaws mawr o bobl yn myned ac yn dyfod am fis o amser, heblaw y miloedd ag sydd yn myned ac yn dyfod ar hyd y dwfr. Mae lluoedd o honynt yn teithio ar feirch, ac mewn math o gerbydau a elwir *palanguins*, a degau o filoedd o honynt, meibion a merched o bob oedran, ar draed. Ar y naill ddiwrnod y maent bron oll yn myned tuag Allahabad, a'r diwrnod arall oll y ffordd arall, yn ol eu barn am sancteiddrwydd y diwrnod. Nid ydynt yn cynniwair cymmaint y naill ddiwrnod a'r llall; ond nid oes ond ychydig iawn o ddyddiau ynghorph y mis na bydd yr holl ffordd ar ei hyd yn llawn, fel ffair fawr.

(I'w barhau.)

## Hysbysiadau Crefyddol.

AT

GORPH Y TREFNYDDION CALFINAIDD,

YN NGOGLEDD CYMRU.

Hybarch Frodyr a Chyfeillion.

Gobeithio nad ystyriwch fy mod yn cymmeryd gormod hyfdra, nac yn euog o droseddu rheolau gweddeidd-dra, drwy eich annerch fel hyn, yn gyhoeddus, drwy gyfrwng yr Argraff-wasg, yr hon ragorfraint a ganiateir i mi drwy hynawsedd Cyhoeddwr Parchedig y Drysorfa.

Wrth ystyried mor fanwl a gofalus yw cenhedloedd eraill i gael allan nifer ac agweddau neillduol yr amrywiol Enwadau crefyddol yn eu plith, bum yn rhyfeddu lawer gwaith wrth feddwl na bu i unrhyw ymdrechiadau, tuag at gyflawni y cyffelyb ddybenion, gael eu gwneuthur ymhlith y Cymry. Nid ydwyf fi yn gwybod i unrhyw foddion gael eu defnyddio, hyd yn hyn, er ein cynnysgaeddu a mynegiad cyffredinol o gyflwr a llafur y gwahanol Bleidiau crefyddol yn y Dywysogaeth. Y mae yn ddiammeu genyf y deilliai i Wynedd yr un lles a buddioldeb oddiwrth y cyfryw hysbysiad ag a ddeilliai i wledydd eraill. Os ydynt hwy yn gweled effeithiau daionus yn tarddu o ymofyniad manwl i rifedi, ansawdd, a llafur eu hamrywiol Enwadau, pa ham na ddilyna y cyffelyb effeithiau yn yr arferiad o'r unrhyw foddion yn Nghymru?

Gyda bwriad i gyflawni y dyben rhyglyddus hwn, yr wyf yn cynnyg y Daflen ganlynol at eich sylw manylaf. Y mae yn cynnwys hyd, ag y gellais i synio, yr hyn oll sydd yn angenrheidiol i'w wybod, tu ag at gael hysbysrwydd boddhaol mewn perthynas i'r amrywiol Enwadau crefyddol yn chwe sir Ogleddol Cymru: a chyda phob dyledus barch, yr ydwyf yn cyflwyno y Daflen at eich ystyriaeth, gan daer ddymuno eich cydweithrediad, er cael attebion i'r pethau yr ymofynir yn eu cylch o bob Plwyf yn Ngwynedd. Nid yw yn gweddu i mi bennodi y modd yn ol yr hwn y golygaf y byddai yn dra hawdd—yn eich corph chwi—cyflawni hyn o orchwyl, ond fe allai yr esgusodwch fi tra y cynnygiaf y dull canlynol er eich cymmeradwyaeth. Yr wyf wedi parotoi digon o Daflenau argraffedig, hafal i'r un ganlynol, ar gyfer pob plwyf yn Ngogledd Cymru. Yn awr bydded i ryw un, sydd yn aelod o'r Cyfarfod Misol, gael ei bennodi i dderbyn y rhai hyn. Yna pan ymgynhuller ynghyd, bydded iddo ef gynnysgaeddu y Blaenoriaid, o'r gwahanol Blwyfau â Thaflen bob un, gan ddymuno arnynt eu llenwi erbyn y Cyfarfod Misol nesaf. Yna bydd i mi drefnu Taflen bwrpasol, a phob plwyf wedi ei argraffu yn barod, a phob colofn wedi ei threfnu, fel na bydd dim yn eisiau ond copio attebion pob plwyf, yn eu priodol restrau. Yn y ffordd hon bydd i orchwyl, a ymddengys ar yr olwg gyntaf yn annibennol, gael ei gyflawni yn hynod o hawdd a digynnwrf.

Dylid sylwi, nad yw yr attebion a ganfyddir ar gyfer y gofynion, ond *cynllun neu engraifft er cyfarwyddid pa fodd i gyflenwi y colofnau:* er esiampl—Barnwn fod 4 Capel ymhlwyf———, ac iddynt gael eu hadeiladu yn y blynyddoedd 1802, 1812, 1822, 1833, yna, rhoddir y tymhorau hyn olynol yn y colofnau, ar gyfer y gofynion. Nid oes eisiau *enwau* y gwahanol gapeli, ond yn unig yr *amser yr adeiladwyd pob un*—gan ddechreu gyda'r hynaf, a dybenu gyda'r diweddaraf. Yr un dull, hefyd, a ddylid ddilyn mewn perthynas i'r Ysgolion Sabbathol, Y mae y gwagleoedd i gael eu llenwi ag enw y Corph crefyddol i'r hwn y perthyna y blaid a fyddo yn rhoddi y cyfrif, a'r Plwyf yn yr hwn gwneir ef. *Gwel y tu dal. cyferbyniol.*

**Rhif-restr o'r Capeli, Ysgolion Sabbothol, &c. &c.**

**Yn perthyn i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Mhlwyf**

| | |
|---|---|
| 1 Beth yw enw eich Plwyf? .... | [Llanbedr.] |
| 2 Pa sawl Capel yn perthyn i'r Trefnyddion Calfinaidd sydd ynddo? | [4] |
| 3 Pa bryd yr adeiladwyd hwynt?.. | [1802 \| 1812 \| 1822 \| 1833] |
| 4 Pa faint yw canolrif y gwrandawwyr, oll ynghyd, yn perthyn i'r Trefnyddion Calfinaidd yn eich Plwyf?.. | [250] |
| 5 Beth yw nifer yr aelodau yn perthyn i'r unrhyw Enwad, oll ynghyd? | [84] |
| 6 A oes lleoedd ereill, heblaw capeli, yn y rhai y cynnelir gwasanaeth rheolaidd a gwastadol gan yr Enwad crybwylledig, a pha faint?........ | [2 dŷ annedd.] |
| 7 Pa faint o Enwadau, heb yr Eglwys, sydd a chanddynt achos crefyddol wedi eu sefydlu yn eich Plwyf? ...................... | Enwer yma yr holl Bleidiau, a pha bryd y dechreuasant gynnal moddion crefyddol yn wastadol a rheolaidd yn y lle. Gwel ☞ |

YSGOLION SABBATHOL.

| | |
|---|---|
| 1 Pa sawl Ysgol Sabbathol yn perthyn i'r Trefnyddion Calfinaidd sydd yn eich Plwyf? ............... | [3] |
| 2 Pa bryd y sefydlwyd hwynt? .. | [1800 \| 1810 \| 1820] |
| 3 Beth yw nifer yr ysgolheigion ynddynt oll? ................. | [300] |

☞ Wrth nodi y gwahanol Enwadau, yn attebol i'r 7fed Gofyniad, y mae y llythyren gyntaf yn ddigon, megys, *A.* am Annibynwyr—*B. c.* a *B. n.* am Bedyddwyr cyffredinol a neillduol—*C.* am Calfiniaid—*P.* am Pabyddion—*R.* am Ranters—*W.* am Wesleyaid, &c. &c.

Drwy gael attebion manwl, oddiwrth yr holl Enwadau Cymreig, i'r ymofyniad uchod, fe geir gwybodaeth led gywir o ansawdd a chyflwr y wlad, o ran ei breintiau crefyddol. Hefyd, drwy gymharu nifer y gwrandawwyr a'r Ysgolheigion, yn perthyn i bob Enwad, â phoblogaeth y Plwyf, fe'n gallnogir i farnu, yn lled agos, pa rifedi, ymhob ardal, sydd yn byw heb wrandaw yr efengyl mewn un man. Ymhellach, drwy gymharu nifer yr aelodau, â rhif y gwrandawwyr, dangosir pa gyfartalrwydd sydd rhwng y rhai hyn a'u gilydd. Drachefn, fe ddyry hysbysrwydd o'r amgylchiadau yr ymofynir o'u plegyd, ryw ddrychfeddwl o'r graddau yn ol y rhai y cynnyddodd neu y llesgäodd achos crefydd mewn gwahanol barthau o'r wlad.

Gwedda i mi hysbysu i chwi fy mod yn bwriadu erfyn yr un gymmwynas gan yr Enwadau eraill hefyd, sef yr Annibynwyr, y Bedyddwyr a'r Trefnyddion Wesleyaidd. Ac y mae yn hyfryd genyf fynegu i chwi, fy mod eisoes wedi cael addewidion gwresog o gynhorthwy a chydweithrediad rhai o'r Gweinidogion enwocaf a berthynant i'r pleidiau crybwylledig. Os gellwch feddwl am unrhyw beth, heb fod yn gynnwysedig yn yr ymofyniad uchod, byddaf dra diolchgar i chwi am hysbysu hyny i mi, un ai drwy gyfrwng y Drysorfa neu drwy ohebiaeth personol — Gyda llwyr ddysgwyliad y bydd i chwi gymmeradwyo fy amcan yn hyn o berwyl, a rhoddi i mi bob cynnorthwyon angenrheidiol tuag ei chyflawni,

Y gorphwysaf,

Anwyl Frodyr a Chyfeillion,

Eich ufudd Wasanaethwr,

Evan Evans.

*Caerlleon, Chwefror* 17, 1837.

---

## Helyntion yr Amseroedd.

### HANES YNYS MANAW.

*(Isle of Man.)*

(Parhad tu dalen 60.)

*Y Trefydd a'u trigolion.*

Douglas yw y dref fwyaf a'r prif borthladd yn yr Ynys hyfryd hon. Nifer y trigolion yw ynghylch pum mil, heblaw oddeutu dwy fil neu dair o ddyeithriaid sydd yn achlysurol yno yn yr haf. Mae y dyeithriaid hyn yn cyfnewid yn barhaus, drwy fod ugeiniau lawer, ïe yn fynych cannoedd yn myned oddiyno bob dydd, ac ereill yn dyfod yno i gymmeryd eu lle hwynt. Mae trigolion Douglas yn hynod o foesgar a chrefyddol, a'r dyeithriaid yn rheolaidd a phrydferth eu hymddygiadau. Gwelais lawer gwaith fil, ac weithiau yn agos i ddwy fil, o bobl ar rodfa y Llwythfan, *(Quay)*, ar fin yr afon a'r porthladd; ac ni welais ddim annhrefn yn eu mysg, ond yn hytrach boneddig-

eiddrwydd a rheoleidd-dra. Un tro pan oedd y llong-log yn rhad iawn i ddyfod yno o Liverpool, fe ddaeth drosodd feibion a merched afreolus, cardotwyr, meddwon, a chantorion pen heol, ffidleriaid, &c. Rhoddes pennaeth y dref orchymyn caeth ar iddynt gael eu hanfon yn ol i gyd oll mewn Agerdd long ar hyd y nos Sadwrn, i lanhau y dref oddiwrthynt erbyn y Sabbath, rhag halogi o honynt y trigolion. Aeth llawer o gantoedd o bobl allan i'w gweled yn hwylio i ffwrdd.

Oddiar ben y bryniau amgylchol, ceir golwg cyflawn ar y dref. Mae yr hen dref, a'i heolydd yn gulion, yn fyrion, ac yn geimion iawn. Ond mae y rhanau newyddion o honi yn rheolaidd a phrydferth. Mae y tai a adeiladwyd yno yn ddiweddar, a'r rhai yma ac acw ar hyd y gymmydogaeth, yn harddwch yn eu hadeiladaeth, ac yn fwy prydferth a gorwych yn eu hymddangosiad bron na dim a welais i yn fy oes, oddigeith adeiladau Cheltenham a'i chyffiniau.

Mae Castle Town yn gorwedd i'r Gorllewin o Douglas, ynghylch deng milldir o bellder. Nifer y trigolion ydynt yn nghylch 2500. Mae ynghanol y dref hen Gastell, yn cael ei gadw i fynu yn ofalus. Yma mae angorfa, *(bay)* helaeth; ond porthladd gwael yngheg aafon fechan, ac ychydig o longau bychain ynddo. Ofewn oddeutu milldir i'r dref, yn gyfagos i gwrr yr angorfa, y mae Athrofa i addysgu gwyr ieuainc mewn amrywiol ganghenau dysgeidiaeth. Adeilad newydd helaeth yw hon. Aethom i'w hedrych i gyd drosti. Mae ynddi 83 o ysgolheigion; amryw o honynt o Loegr, a rhai o'r Iwerddon. Gwelsom un Ystafell ac ynddi 27 o welyau, ac ambell un arall a deg, ac o hyny hyd yn 4. Mae y lle yn hynod o awyr-agored, ac oni bai hyny byddai cynnifer o welyau yn yr un ystafell yn nodedig o afiach. Mae yn yr Athrofa hon Lyfrgell ragorol. Ymysg y llyfrau, gwelsom lawer iawn o lyfrau Difinyddol a hanesyddol yn Llatin. Hefyd Llyfrau rhagorol yn Saesoneg, megis holl Waith y Parch. Mr. Simeon o Cambridge, Pregethau y Parch. Mr. Jay o Bath, &c. &c.

Mae yn y dref hon Warchawd-lu o filwyr yn wastadol. Yma hefyd y mae y Llys gwladol yn cael ei gynnal. Mae côst cyfraith yn rhad iawn yn yr Ynys hon.

O dre'r Castell, tua 12 milltir i'r Gogledd Orllewin, ar lan y môr, y mae Tre Peel. Mae yma Angorfa eäng, a porthladd bychan yngheg afon. Mae yn Peel hen Gastell wedi ei adeiladau ar ynys o graig: ac mae yn gorchuddio holl wyneb yr ynys yn gyflawn. Tref go dlawd yw Peel, yn cael ei chynnal agos yn hollol drwy bysgotta, ac ymweliadau dyeithriaid a ddelynt yno ynghorph yr haf.

Mae Gwirod a Gwin yn rhad a helaeth iawn yn ynys Manaw canys nid oes doll arnynt. Ond nid ellir dyfod a dim oddi yno, canys y mae yno Swyddwyr yn edrych i mewn i gistiau pawb wrth ymadael oddiyno, i'w chwilio rhag fod ynddynt eiddo rhedeg, ac anghyfreithlawn.

Ac oherwydd rhadlonedd y diodydd meddwol hyn, cynnyddodd diotta a meddwi yn ddirfawr yn yr Ynys, ond yn benaf ymhlith y dyeithriaid a'r ymwelwyr. Ac yn y flwyddyn 1832, anfonodd Duw yr haint echryslawn, *Cholera Morbus* i'w plith, yr hwn a fedodd luoedd i'w beddau mewn byr amser. Nyni a aethom un diwrnod i edrych Eglwys plwyf tref Douglas, yr hon sydd ynghylch dwy filltir o'r dref. Enw yr Eglwys yw Kirk Braddan. Mae yma un gwasanaeth yn Iaith Manaw bob Sabboth. Mae y fynwent yn helaeth, ac ynddi feddau lawer iawn. Yn eu plith gwelsom ugeiniau o feddau heb garreg arnynt; dim ond llech-faen fechan ar ei phen yn y ddaear wrth ben y bedd, heb ddim ysgrif arni ond hyn, 'Bu farw o'r Cholera, 1832.' Gofynasom i'r Clochydd, i ba beth y rhoddwyd hyn o goffa ar y cerrig. Dywedodd yntau, mai rhag i neb agoryd yr un o'r beddau yna am saith mlynedd; fel na pherygler bywyd y byw drwy arosiad hadau yr haint ynghyrph y meirw.

Nid yn hir ar ol y dinystr hwn drwy yr haint, dechreuwyd codi Cymdeithasau Cymmedroldeb drwy yr Ynys. Ac ymhen ychydig, codwyd Cymdeithasau Dirwest ymhob tref a chymmydogaeth. Mewn canlyniad i hyn bu diwygiadau mawr iawn ymhlith y trigolion. Mae amryw o Offeiriaid duwiol yn yr Eglwys wladol, a phregethwyr zelog ymhlith gwahanol bleidiau o Gristionogion wedi bod, ac yn parhau i fod, yn llafurus a llwyddiannus iawn gyda'r Cymdeithasau clodwiw hyn. Gellir gweled ymhob tref 'Temperance Hotel,' a 'Temperance Inn," yma ac acw ar ymylau y ffordd fawr.

Mae yn hyfryd genyf allu tystio fod y trigolion yn yr ynys ddedwydd hon yn hynod o sobr, crefyddol, a moesgar. Heblaw yr Eglwys wladol sydd yno, mae y pleidiau crefyddol canlynol; Eglwys Scotland, Anymddibynwyr, Wesleaid, Primitive Methodists; o'r rhai olaf hyn y mae mwyaf nifer.

*Agwedd trigolion Douglas ar y Sabbath.*

Mae Eglwysydd y plwyfau, a'r rhan fwyaf o'r Capeli yn Douglas yn llawnion ar y Sabbathau. Mae yn y Porthladd hen Long Rhyfel fawr, wedi ei thynu i gilfach, ac wedi ei hangori yn ddiogel, a'i gwneud i fynu yn Eglwys wladol i'r Llongwyr i addoli ynddi. Buom mewn addoliad yno, am naw ar gloch y boreu un Sabboth. Yr oedd hi yn llawn o

longwyr; ac Offeiriad yr Eglwys wladol yn darllen y Gwasanaeth ac yn pregethu i'r gwrandawyr. Y mae hi yn lle o addoliad hardd a chysurus iawn. Meddyliem fod holl longwyr y dref hono, ynghyd â physgotwyr lawer o'r wlad; oll yn gwrando yn hynod o sobr ac astud.

Mae holl longau pysgotta yn aros yn y Porthladd nos sadwrn, y Sabbath, a'r nos Sabbath, heb gymmaint ag un yn myned allan i'r môr. Ac ni welais i ddim gorchwyl y môr yn cael ei gyflawni ar y Sabbath, nac un llestr o fath yn y byd yn myned allan o'r Porthladd ar y dydd Sanctaidd. Nid oes gymmaint ag un o'r taith gerbydau yn myned allan o'r dref chwaith ar y Sabbathau. Mi a aethum allan drwy y dref ar y Sabbath i edrych ansawdd grefyddol a moesgar y trigolion. Ni welais gymmaint ag un *Shop* yn agored, na gweithdŷ Eilliwr, na dim o'r fath beth, ni welais ddim annhrefn mewn un man.

Mae y trigolion yn nodedig o eirwir, gonest, a diehlynaidd. Gofynwch y peth a fynoch i'r neb a fynoch, chwi gewch atteb moesgar: o leiaf, felly y cefais i hwynt. Mi ryfeddais lawer wrth sylwi a'r yr ôl a wnaeth yr Efengyl yn yr Ynys hon, ragor Ynys y Werddon, â'r hon yr ymwelswn yr haf diweddaf.

Nid oes ond prin le i Babyddiaeth roi ei droed i lawr yn Ynys Manaw. Gwelais un Capel bychan yn lled agos i Douglas yn perthyn iddynt; a dyna'r cwbl. Gwelais un arall wedi ei adeiladu, yn lled agos i Castle Town, ond ni allasant byth ei agor; ac y mae plant a phobl y gymmydogaeth wedi torri ei ffenestri yn chwilfriw mân. CYHOEDDWR.

## AGORIAD Y SENEDD.

Dydd mawrth, Ionawr 31. agorwyd y Senedd. Oherwydd fod yr afiechyd, *Influenza*, neu lycheden yr anwyd, mor aml yn Llundain, cynghorwyd y Brenin i beidio dyfod allan i agor y Senedd yn bersonol. Am hyny, darllenwyd araeth y Brenin drwy offerynoliaeth Dirprwywr, sef yr Arglwydd Ganghellwr.

### ARAETH Y BRENIN.

'*Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,*

'Fe'n gorchymynwyd gan ei Fawrhydi i hysbysu i chwi fod ei Fawrhydi yn parhau i dderbyn oddiwrth yr holl Alluoedd Tramor y sicrwydd mwyaf o'u tueddfryd gyfeillgar, ac mae ei Fawrhydi yn gobeithio y bydd i'r profiad o'r bendithion, y rhai sydd yn ymddangos eu bod yn cael eu cyfrannu i genhedloedd, dueddu i gadarnhau a sefydlu y tangnefedd presennol.

'Mae yn alar gan ei Fawrhydi fod yr ymrysonfa cartrefol sydd yn parhau i aflonyddu Ymerodraeth Spaen, heb gael rhoi pen arno hyd yma: ond mae ei Fawrhydi wedi parhau i estyn i Frenhines Spaen, y cyfryw gynnorthwy ag yr ymrwymodd ei Fawrhydi ei roddi yn ol y Cyfammod Cyngreiriol Pedwarplyg a wnaed yn 1834, os byddai angenrheidrwydd yn galw; ac mae ei Fawrhydi yn llawenychu ddarfod i'w gyfnerthiad mewn cydweithrediad â lluoedd Brenhines Spaen, fod yn gynnorthwyol iddi.

'Dygwyddodd y cyfryw gyfnewidiadau gymmeryd lle yn Portugal, ag oedd yn bygwth aflonyddu heddwch tufewnol y wlad hono. Mewn canlyniad i hyn darfu i'w Fawrhydi, am dymhor, helaethu ei alluoedd Morawl yn yr afon Tagus, er mwyn rhoi amddiffyniad mwy effeithiol i bersonau ac eiddo ei ddeiliaid preswyliedig yn Lisbon; a gorchymynwyd i'r Morlywydd, oedd yn awdurdodi ar lynges ei Fawrhydi, mewn amgylchiad o angenrheidrwydd, ganiattau amddiffyniad i berson Brenhines Portugal, heb ymyraeth, mewn un gradd, â'r dadleuon gwladol, ag oedd wedi cynnyrfu y pleidiau ymrysongar. Darfu i'w Fawrhydi ein cyfarwyddo i osod ger eich bron Adroddiadau y Dirprwywyr a osodwyd i chwilio i mewn i sefyllfa talaith Canada Isaf, ac a orchymynodd i ni i alw eich sulw ar yr achos pwysig hwnw.

'Rhodwyd i ni hefyd orchymyn i alw eich ystyriaethau difrifolaf at y cyfryw ddarpariaethau, y rhai a ddygir ger eich bron tuag at wneuthur Diwygiadau yn y gyfraith a gweinyddiad cyfiawnder, gan sicrhau i chwi fod awyddfryd ei Fawrhydi am gyflawniad y matterion hyn yn parhau yn ddileihad.

'Gofynir i ni i drosglwyddo i chwi ddymuniad ei Fawrhydi ar fod i chwi gydymgynghori ynghylch y cyfryw fesurau ag a fyddont yn tueddu i chwanegu sicrhad yr Eglwys Sefydledig ac i gynnyddu cyd-gordiad ac ewyllys da.

'*Foneddigion Tŷ y Cyffredin*

'Mae Cyfrifon y flwyddyn wedi eu parottoi gyda phob awyddfryd am gyfarfod anghenion y gwasanaeth cyffredin, mewn ysbryd cynnildeb doeth. Archodd ei Fawrhydi am iddynt gael eu dwyn ger eich bron yn ddiymaros. Mae cynnydd y cyllid wedi bod hyd yma yn fwy na'r dysgwyliadau a barwyd oddiar y derbyniadau yn y blynyddoedd blaenorol.

'Mae ei Fawrhydi yn deisyf ar fod i chwi yn fuan adnewyddu eich ymchwiliadau i mewn i weithrediadau y Gyfraith sydd yn goddef Gosodiad i fynu Ariandai cyd-drysoriaeth. Ceir gweled fod yr amddiffyniad goreu yn erbyn camdriniad achosion Ariandai yn sefyll yn nghymhwysder a gonestrwydd y cyfryw yr ymddiriedir eu llywodraethiad iddynt, ac yn ngocheliad a doethineb y Cyffredin: ond ni ddylid attal rhag gwneuthur unrhyw reolau cyfreithiol y rhai a allant gynnyddu a diogelu cadarnhad sefydliadau, ar y rhai y mae ymddiried masnachawl gymmaint yn ymddibynu.

'*Fy Arglwyddi a'm Boneddigion.*

'Mae ei Fawrhydi wedi gorchymyn i ni yn fwy pennodol ddwyn dan eich ystyriaeth gyflwr y Werddon, a'r doethineb o ddefnyddio pob cyfryw foddion a fyddont yn tueddu i wellhau amgylchiadau y rhan hono o'r Deyrnas Gyfunol. Mae ei Fawrhydi yn dymuno galw eich ystyriaethau buan at sefyllfa Corphoraethau Bwrdeisiol y wlad hono, casgliad y Degymau, ynghyd ag achos dyrys ond angenrheidiol o sefydlu rhyw barottoad cyfreithiol er cynnal y tlodion, amddiffynol gan reolau doethion, a chyda'r cyfryw ocheliadau yn erbyn camddefnyddiad a ddichon i'ch profiad a'ch gwybodaeth o'r achos eu dwyn i'ch meddyliau. Mae ei Fawrhydi yn traddodi yr achosion pwysfawr hyn i'ch dwylaw, gan hyderu y byddwch yn abl i ffurfio cyfreithiau yn ol ewyllys ei Fawrhydi a dysgwyliad ei bobl. Mae ei Fawrhydi yn hyderu, os bydd i'r gobaith hwn gael ei gyflawni, y bydd i chwi nid yn unig weithredu tuag at leshâd y Werddon, ond hefyd cadarnhau y gyfraith ac ansawdd llywodraeth y Gwledydd hyn, drwy sicrhau eu llesiant i bob dosparth o ddeiliaid ei Fawrhydi.'

Wedi gorphen o'i arglwyddiaeth ddarllen y rasusaf Araeth hon, aeth aelodau Tŷ y Cyffredin ymaith.

Ac yna, darfu i'r Iarll Fingal gynnyg am anfon Annerchiad caredig mewn ffordd o ddiolchgarwch i'r Brenin am ei rasusaf Araeth. Ac Arglwydd Suffield a gefnogodd y cynnygiad. Ac â hyn cyttunodd yr holl Dŷ, heb un llais gwrthwynebol.

Tŷ y Cyffredin. Dydd mawrth, Ionawr 31. Eisteddodd y Cadeirydd yn ei le. Cynnygiodd Mr. Ayshford Stanford am anfon Annerchiad at y Brenin, yn ol arferiad y Ty; a Mr. Villiers Stuart a'i cefnogodd; ac felly passiwyd y cynnygiad heb neb yn tynu yn groes.

### Diwygiad y Corphoraethau yn y Werddon.

Hysbysodd Mr. Stanley, y bydd i'r Arglwydd John Russell, ar y 7fed o Chwefror, ddwyn i mewn Ysgrif am Ddiwygio Corphoraethau Bwrdeisiol yn y Werddon.

### Cyfraith y Tlodion yn y Werddon.

Hysbysodd yr un gwr y bydd i Arg. John Russell ar y 9fed o Chwefror, roi cynnygiad am ddwyn Ysgrif i mewn am sefydlu trefn o Gyfraith y tlodion yn y Werddon.

### Dirprwywyr Eglwysaidd.

Hefyd y bydd i'r un gwr ar yr 16eg o Chwefror, roi cynnygiad am ddwyn i mewn Ysgrif i ddwyn i ben gais ac annogaeth y Dirprwywyr a anfonwyd i chwilio i mewn i agwedd allanol yr Eglwys Wladol.

Ac ar yr un dydd, y bydd iddo gynnyg dwyn i mewn Ysgrif mewn perthynas i Dreth yr Eglwys.

Dywedodd Mr. Stanley hefyd, y bydd iddo ef ar yr ail dydd o Chwefror wneud cynnygiad am gael eisteddfod i chwilio i mewn i weithrediadau Ariandai Cyd-drysoriaeth, (*Joint Stock Banks*). Ac y bydd i'w gyfaill Mr. La Bouchere, ar yr 28in o Chwefror gynnyg am ddwyn Ysgrif i mewn i wellhau yr arferiad yn y Bathdy Brenhinol; ac ar yr ail o Fawrth y bydd iddo gynnyg am ddwyn Ysgrif i mewn am welliant ar gyfreithiau y Llythyrdy.

Hysbysodd y Cyfreithiwr Cyffredinol ei fod ef yn bwriadu dwyn Ysgrif i mewn am welliant ar y Corphoraethau Bwrdeisiol yn Lloegr a Chymru. Ac y bydd iddo ef yn fuan, roi cynnygiad am ddwyn Ysgrif i mewn am ddiddymu carchariad am ddyled —ac un arall am welliant ar Gofrestraeth Pleid-leiswyr.

Dywedodd Mr. Grote, y bydd iddo ef, ar y 7fed o Fawrth gynnyg ar ddwyn i mewn Ysgrif am ddewis aelodau y Senedd drwy dafliad ysgrif i gistan (*Ballot*) yn lle drwy Bleidair.

Dywedodd Mr. Wilks, y bydd iddo ef yn fuan roi cynnygiad am ddwyn i mewn Ysgrif am welliant ar Gyfraith priodi.

Dywedodd Mr. Clay y bydd iddo ef roi cynnygiad am ddwyn Ysgrif i mewn am ddiddymu Cyfraith yr ŷd.

Dywedodd Mr. Ward y bydd iddo ef roi cynnygiad am ddwyn Ysgrif i mewn am Ddiwygiad yn Nhŷ yr Arglwyddi, Mawrth 1leg. Hysbysodd Mr Roebuck y bydd iddo ef ar yr 2il o Mawrth alw sulw y Tŷ ar yr anghenrheidrwydd am drefn Addysg i'r holl genedl, ac am ddwyn Ysgrif i mewn i'r perwyl hwnw.

Hysbysodd Mr. Ewart, y bydd iddo ef ar y 18fed o Ebrill gynnyg am anfon Annerchiad at y Brenin am benodi Swyddog Addysg, ac Eisteddfod i chwilio i mewn i agwedd Dysgeidiaeth ymhlith pob Dosparth o ddeiliaid ei Fawrhydi.

Hysbysodd Mr. C. Lushington y bydd iddo ef ar yr 16 o Chwefror, wneud cynnygiad am bassio, 'Mai barn y Tŷ hwn yw, fod Eisteddiad yr Esgobion yn Nhŷ yr Arglwyddi yn niweidiol yn ei effeithiau i lwyddiant y grefydd Gristionogol yn y Deyrnas hon, ac yn tueddu i bellhau serchiadau y bobl oddiwrth yr Eglwys sefydledig.'

Hysbysodd Mr. Duncombe y bydd iddo ef roi cynnygiad am dynu ymaith o gyfraith y Diwygiad yr ammod fod yn rhaid i bob un a roddo ei bleidair am alw Enlod i'r Senedd fod wedi talu i fynu y trethi.

*Dydd Mercher.* Hysbysodd Mr. O'Connell y bydd iddo ef ar yr 8fed o Chwefror roi cynnygiad am ddwyn ysgrif i mewn am welliant ar gyfraith enllib.

Dydd Iau. Dywedodd arglwydd Ashley y bydd iddo ef ar y 6ed o Ebrill, gynnyg dwyn Ysgrif i mewn am welliant ar y Gyfraith ynghylch oriau gweithio i blant mewn gweithfaoedd.

Dyg arg. John Russell i mewn Ysgrif am daflu pedwar mis ymhellach cyn y b'o Cyfreithiau Priodasau, a Chofrestraethau, mewn gweithrediad: o herwydd ei bod mor anghyfleus i'w rhoi mewn grym mewn amryw fanau, am nad ydyw cyfraith newydd y tlodion ddim wedi ei sefydlu mewn amryw ddosparthiadau o'r deyrnas.

Cafodd y Cyfreithiwr Cyffredinol ganiattad i ddwyn i mewn ei Ysgrif am welliant ar Gyfraith Corphoraethau Bwrdeisiol.

Dydd Llun, Chwef. 6. Aeth Ysgrif oediad Cyfraith Priodasau a Chofrestraethau drwy yr Eisteddfod heb nemawr gyfnewidiad.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Chwef. 6. Dyg arg. Brougham Archiad am ddiddymu y dreth eglwys, o Leeds, wedi ei law-arwyddo gan 13,950 o ddynion mewn cyfarfod cyhoeddus. Un arall o Bungay, o Ailesworth, o Walpole, o Wortley, o Taunton, o Boston, o Henley, o Abergavenny, o Kirby Moorside, ac o lawer o fanau ereill, oll yn dymuno llwyr ddiddymiad ar y dreth hono.

Chwef. 9. Dygwyd cant o eirchion i mewn y dydd hwn gan amryw Arglwyddi, am ddiddymiad ar dreth yr Eglwys. Bu amryw ddyddiau nad oedd braidd ddim arall yn cael ei wneud ond derbyn Eirchion ar yr achos hwn.

*Tŷ y Cyffredin.* Chwef. 8. Syr L. Parry a roddes rybudd y bydd iddo ef ar y 18ed o Ebrill alw sylw y Tŷ at y buddioldeb o gael rhyw gyfundrefn i roddi addysg i'r tlodion yn Nhywysogaeth Cymru, i'r dyben o beri mwy o undeb, a thebygolrwydd defodau ac arferion rhwng Cymru a Lloegr.

Dyg arg. John Russell i mewn Ysgrif am Ddiwygiad ar y Corphoraethau Bwrdeisiol yn y Werddon. Ac ar y matter hwn etto, fel pob blwyddyn, buwyd yn dadleu am ddau ddiwrnod; ond yn y diwedd rhoddwyd caniattâd.

Chwef. 13. Dygwyd i mewn lawer iawn o Eirchion am ddiddymiad y dreth Eglwys; ac felly y bu bron bob dydd. Ar y dydd hwn, a'r Tŷ yn llawn iawn, o ran y dysgwyliad, dyg arglwydd J. Russell i mewn Ysgrif y Llywodraeth am gael Cyfraith cynnal y tlodion yn y Werddon. Dywedodd fod yn anhawdd iawn gwneud trefn addas i hyn yn y Werddon oherwydd fod cynnifer o dlodion yn y Werddon, ac oherwydd amrywiol amgylchiadau ereill perthynol i'r wlad hono. Ond er hyny yr oedd efe o'r farn mai cyfraith lled debyg i gyfraith y tlodion sydd yn awr mewn grym yn Lloegr a Chymru fydd yr oreu i fod yno hefyd; ond y bydd raid cymmeryd y mawr ofal rhag rhoi dim hawl awdurdodol i neb o'r tlodion i fynu cynnaliaeth. Am hyny, cynnygiai efe ar fod yr un Rhaglawiaid i olygu cynnaliaeth y tlodion yn y Werddon ag yn Lloegr a Chymru; ond bod chwanegu un at eu nifer, a bod yn rhaid i rai o honynt fyned i fyw i Dublin. Dangosodd amryw o bob plaid eu hewyllysgarwch am i'r peth gael ei sefydlu yn gyfraith. Areithiodd amryw ar y matter; ond nid oedd neb o wahanol feddwl, wedi cael eglurhad boddhaol ar amryw ranau o'r Ysgrif. Ac felly cyttunodd yr holl Dŷ mewn heddwch a chydgordiad am i'r Ysgrif gael ei darllen, ac felly fu.

Chwef. 14. Dyg Mr. Gully ac amryw aelodau ereill i mewn Eirchion am gael tynu ymaith y doll oddiar y sebon. Cynnygiodd Mr. W. Molesworth am ddwyn i mewn ysgrif am ddiddymu holl gymmwysderau ammodol Aelodau y Senedd, ond collodd ei amcan.

---

*Rwssia.*—Darfu i Long rhyfel o Rwssia gymmeryd llong fechan o eiddo Lloegr a elwir *Vixen*, yn y môr Du. Mae rhai yn ofni y pair hyn oerfelgarwch rhwng y ddwy deyrnas.

*Spaen.*—Mae dwy filiwn a hanner o bunnau wedi eu benthycca yn Llundain i Frenhines Spaen i ddwyn y rhyfel yn mlaen.

*Tai y Senedd.*—Mae y Llywodraeth yn llwyr fwriadu adeiladu dau Dŷ newydd i gynnal Cyfarfodydd y Senedd. Mae yr Adeiladydd Mr. Barry wedi addaw y bydd iddo adeiladu y ddau am 724,986 o bunnau, yn ol y cynllunian y cyttunwyd arnynt.

*Ffrainc.*—Mae Brenin Ffrainc yn ymroi i reoli y deyrnas â chaeth-reolaeth. Wedi gwneud o ddynion maleis-ddrwg amryw gynnygion am ei ladd ef, y mae yntau yn llyrnigo, ac yn lle ceisio ymgais am symmud ymaith yr achosion o'r gwrthryfel a'r chwerwder sydd yn amryw o'r bobl tuag atto, y mae efe, debygid, yn penderfynu eu cadw hwy mewn ofn, a'u llywodraethu drwy nerth cyfreithiau a rheolau caethion. Beth fydd y canlyniad nis gwyddom.

---

# BARDDONIAETH.

*Syr,—Pan oeddwn yn ddiweddar yn nghyfeillach difyrus ein* Mrs. Hannah Moore Gymreig, *Sef yr haedd-barch farddones Mrs.* Jones *o Ddinbych, cefais i'm llaw y penillion canlynol o'i chyfansoddiad; a chan eu bod mor briodol ar eu testynau, diolchaf i chwi am le iddynt yn eich Trysorfa.—Yr eiddoch, &c.*

Ioseph Callestr.

---

AR WLEDD Y DIRWESTWYR.

(Tôn—*God save the King.*)

Tydi, yr unig Dduw,
Sy'n codi'r meirw'n fyw
O feddau'r blys;
O dyro ras yn awr
I wael drigolion llawr,
Ac ymddysgleirled gwawr
O'th nefawl lys.

*(Saesoneg.)*

Lord grant this day may be
A feast of Jubilee
To all around:
Oh, grant thy love divine
In all our hearts to shine,
To make us truly thine;
May grace abound.

---

EMYN DDIRWESTOL.

1 Mae udgorn floedd yn galw
Banerog lu i maes,
I gyd a'u harfau'n loëw,
Heb un o feddwl llaes:
Mae'r taraw'n erbyn pechod;
A'r ymosodiad mawr,
Ar amddiffynfa Meddwdod,
I'w bwrw'n lân i lawr.

2 Yr Arglwydd yw ein Brenin—
Elynion, ciliwch draw;
Mae'i hunan yn y fyddin,
I'w threfnu ar bob llaw;
Yr arfau nid ŷnt gnawdol
A wisga 'i weision Ef;
Mae nerthoedd anorchfygol
Yn dilyn geiriau'r Nef.

3 Ymgadwn, filwyr dirwest,
Yn agos at ein Llyw;
Mae'r uchel gamp a'r orchest
I hennill gyda Duw:
Fe'n deil, er pob hudoliaeth,
Tra paro dyddiau'n hoes,
Yn ffyddlawn i'w wasanaeth,
Tan faner fawr y groes.

4 Goddefwn wawd ac erlid,
Er mwyn cydwybod dda;
Ymffrostiwn yn ein gwendid,
A'n Harglwydd a'n cryfha;
Er gwaethaf pob gelyniaeth,
Ymlaen, ymlaen o hyd,
Nes cael yr oruchafiaeth,
Ar ddiafol, cnawd, a byd. M. D.

---

CYWYDD

ar

YMDRECH DIRWEST YN ERBYN ANGHYMEDROLDEB.

Brenhines, arglwyddes glau,
Hynod addfwyn ei deddfau,
A eisteddodd, mewn modd mad,
Yn iesin ei theyrnasiad,
Ar ei Sedd, a'i gwedd yn gain,
Mawr odiaeth wiw yn Mrydain.
*Dirwest* wech, haelwech, hoewlon,
Yw'r frenhines hyles hon:
Ei da enw hi adwaenir
Hyd holl derfynau ein tir;
A'r hydrefn hardd lywodraeth
Yn enwawg, odidawg daeth.

Dirwest oreuglod, eirian,
A'i milwyr llon, glewion, glân,
A fu i'n gwlad hyfad hon
O wasanaeth syw, union.
Ei byddin glau a'i deddfau da
A welir ar hyd Walia:
O mor gu, hoff lu ei phlant,
Yn trechu gwyniau trachwant!

Pan *Anghymedroldeb* hyll,
Trathost ormesdeyrn, trythyll,
Mewn brad yn tramwyo'n bro,
Yn astrus gan ddinystrio;
Gan ormeilio'n éon wedd,
Yn warsyth ar ei orsedd,
Y fad fyddin hydrin hon,
*Dirwest a'i milwyr dewrion;*
Eurfygawl ei harfogaeth,
Rymus ddewr i'r maes a ddaeth,
Yn odiaeth ei threfniadau,
Yn erbyn y gelyn gau.
A dir, rhyw boeth frwydro bu,
O dra uchel ymdrechu;
Yn erbyn brad anfad deyrn,
Grymusder eich gormesderyn:
A brwydraw'n ëon awydd,
Wnant yn glau heb dau bob dydd.
Llon rymusolion selawg,
Tra rhwydd ymfrwydrant yrhawg:
Cyn hir dygir y dydd,
Grym ysol y gormesydd,
Cedwir draw y cadnaw cas,
A dymir ei holl deyrnas!
Ei rym gerwin, a'i flin flwng,
Dirwestwyr a'i darostwng;
Ac yn lle brad anfad hwn,
Yn wiwlwys ni a welwn,
Dirwest addien, geinwen, gu,
Wiw, iesin yn teyrnasu.

Addas yw y dduwies hon,
I reoli'n bro wiwlon:
Eisoes ei threfn fu iesin,
Ac o lesâad gwiwlwys i'n,
Hefyd ei rheol hyfad,
Eirian, glwys sydd ar ein gwlad;
Cyfreithiau, deddfau da hon
Adwaenir yn mhlith dynion,
Llawen am hon, yw lluoedd,
O'i llesiant hwy gant ar g'oedd.
Dirwest wâr, glodgar, glau,
Ddygodd ryddid i ddegau;
Ië, lluoedd, rhai oeddynt,
Yn gaeth gan ein gelyn gynt.
I'n hoff wlad gweinydda'n ffilwch
Addas a chyflawn heddwch:
Achles broydd heddychlon
Yw y syw frenhines hon.

Henffych, boed geinwych gynnydd,
Doed yn enwocach bob dydd:
Hynod, wych yn Mrydain deg,
Ei chynnydd fo'n ychwaneg.
Boed iddi rwydd lwydd ar led,
Ar ynysoedd teyrnased;
Doed eto dan ei baner,
O wyr fo syw, rif y ser.

*Llynlleifiad.* IOAN HUWS.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXVI.] EBRILL, 1837. [LLYFR. VII.

## BUCHDRAETH CRISTIONOGOL.

### RHIF. III.

### MARTIN LUTHER.

GWRTHDDRYCH ein Buchdraeth y mis hwn ydoedd un o'r rhai enwocaf o'r Diwygwyr grefyddstiol; ac e ddichon ei fod yn rhagori arnynt oll mewn rhai pethau; fel y gellir gweled yn amlwg wrth fyned yn mlaen a'i hanes.

Efe a anwyd ar y degfed o Dachwedd, 1483, yn nhref Eisleben, yn nhalaeth Sacsoni. Enw ei dad oedd John Luther, gwr nodedig am ei ddiwydrwydd a'i ddïanwadalwch gyda pha beth bynag a gymerai mewn llaw; ac yr oedd yn wr o fri a chymeriad da, yn ei dref a'i gymmydogaeth. Enw ei fam oedd Margaret Lindeman, ac yr oedd hithau yn wraig hynod o ganmoladwy am ei haml rinweddau a'i duwiolfrydedd; a diammeu i Luther gael llawer o les drwy ei hyfforddiadau boreuol hi. Efe a roddwyd dan addysg un George Omilius, pan ydoedd yn dra ieuanc, yr hwn a'i hyfforddai yn elfenau cyntaf gwybodaeth, ac efe a symmudwyd oddiwrtho ef yn fuan, i'w roddi mewn ysgol uwch, yn Magdeburg; lle y cafodd ei le, a'i ddysg yn rhad (meddir) am un flwyddyn: wedi hyny efe a symmudwyd i athrofa Eiscnach, dan ofal athraw o'r enw John Trebonius. Yma y gosodid y sail i'w enwogrwydd dilynol; cyfansoddai farddoniaeth Ladinaidd mor gampus, nes synu a boddio ei athrawon yn dirfawr. Pan ydoedd yn 19eg oed efe a symmudwyd i brif ysgol Erfurt, lle yr ymroes i lafurio yn ddyfal mewn athroniaeth, rhesymeg, a dadleuyddiaeth, heblaw ei gwrthi ei hun yn y Lladin a'r Groeg; ac er llawenydd mawr i'w berthynasau a'i gyfeillion, efe a roddwyd yn Athraw yn y Celfyddydau, pan nad oedd ond tuag ugain oed.

Yn y cyfamser, mae yn amlwg ei fod yn rhodio yn ol helynt y byd hwn, ac yn hollol ddyeithr i ddysgeidiaeth Yspryd Duw: ond, pan oedd yn un mlwydd ar hugain oed, fel yr oedd efe yn rhodio allan un diwrnod gyda chyfaill o'r enw Alexius, hwy a ddaliwyd gan ystorm arswydus o fellt a tharanau, a'i gyfaill a darawwyd yn farw wrth ei ystlys. Hyn a'i hargyhoeddai o wagedd pob rhyw fawredd daearol, fel y penderfynodd ddiweddu ei ddyddiau mewn mynachdy; ac er holl annogaethau ei gyfeillion i'r gwrthwyneb, a'r hyfrydwch a fwynhai o gymdeithas, efe a aeth yn aelod o'r fynachlog sydd ar enw Awstin, yn Erfurt, yn y flwyddyn 1505.

Tua'r flwyddyn 1507, pan oedd efe yn bedair blwydd ar hugain oed, y cafodd efe afael ar gopi Lladinaidd o'r Bibl, mewn rhyw gell o'r hen fynachlog; a hwn oedd y *Bibl cyntaf* a welsai efe yn gyfan hyd hyny o'i oes, er ei fod yn ddiau wedi bod yn darllen amryw ddarnau, yma a thraw, o'r ysgrythyrau o'r blaen: a chyd a'r awyddfryd mwyaf, efe a ymroddes i astudio y llyfr bendigedig, fel y daeth efe yn ddigon cyfarwydd arno yn fuan, i allu cyfeirio at unrhyw ran neillduol gyd a'r parodrwydd mwyaf.

Mae yn amlwg nad oedd ef yn cael nemmawr o gynnorthwy oddiwrth lafur rhai eraill tra yr oedd efe yn dilyn ei efrydiau diflin: oblegyd yr oedd yn hollol ddyeithr i ysgrifenadau y tadau, oddieithr yr eiddo Awstin hyd yn hyn. Ei wybodaeth o'r Groeg nid oedd ond anmherffaith, ac yr oedd yn hollol ddyeithr i'r Hebraeg. Heblaw hyny, yr unig gopi o'r ysgrythyrau a feddai eto, oedd y Lladin, a elwid yn gyffredin y *Vulgate*; nid oedd Erasmus eto wedi cyhoeddi ei argraffiad o'r Testament

Newydd; ac er dyddiau Jerome, ni chawsid un esampl o gymhwysiad beirniadaeth iachus at yr Ysgrythyr lan.

Fel hyn, yn amddifad o gynnorthwy ymchwiliadau rhai eraill, treuliai Luther ddiwrnod cyfan yn aml i fyfyrio ar ryw ychydig ymadroddion neillduol. Cymhellid ef i hyn, gan gyflwr anesmwyth ei feddwl, can gystal a'i syched di dòr am wybodaeth. Cyn iddo ddyfod yn gydnabyddus a'r Bibl, buasai ef fel eraill yn ddigon boddlon ar yr athrawiaethau oeddynt mewn derbyniad cyffredinol, heb un meddwl am chwilio a phrofi yr hyn ni thybiasant erioed fod un cyfeiliornad yn perthyn iddo. Ond erbyn hyn yr oedd wedi myned can belled ag i weled bod yn rhaid iddo ymwadu a'i gredo boreuol, ac heb fyned yn ddigon pell i weled un arall yn ei le. Ei bruddglwyf blaenorol a ddychwelodd, ac a barhaodd i'w flino yn achlysurol, hyd oni chyrhaeddodd ei olygiadau ar y gwirionedd dwyfol, radd helaeth o eglurdeb a chysondeb. Yn yr yspeidiau hyn o amheuaeth, bu lawer gwaith yn cael ei frawychu gymmaint nes byddai yn barod i lewygu wrth fyfyrio ar lid Duw, a'r esamplau nodedig o gospedigaethau dwyfol a grybwyllir yn y gwirionedd. Pan yn dadleu ar bwnc o athrawiaeth weithiau, cynhyrfid ei dymher fywiog yn y fath fodd, fel y ciliai i ystafell gerllaw, a chan ymollwng ar y gwely, y bloeddiai, ac y mynych adroddai y geiriau hyn, 'Duw a'u caeodd hwynt oll mewn anufudd dod, fel y trugarhái wrth bawb,' Rhuf. xi. 32.

Yn y cyfryw drallodau meddwl, arferai gael gradd o ymwared wrth ddarllen gwaith Awstin, yr hwn oedd yn ei olwg ef yn gyfwerth oracl ac oedd Jerome yn ngolwg Erasmus. Mor hoff ydoedd o'i lyfrau, ac mor ddwys ei ymröad i fyfyrio, a choethi ei enaid mewn gwybodaeth fuddiol, fel y byddai yn annghofio ffurfiau y fynachlog, a'r tasgoedd oedd ganddo i'w hadrodd ar yr oriau canonaidd; ond fel penyd am hyn, efe a'i cauai ei hun drachefn yn ei ystafell am wythnosau olynol, nes dysgu yr holl dasgau a esgeulusasai, heblaw y rhai newyddion oeddynt yn dyfod arno beunydd. Bu fel hyn ar un achlysur am bum wythnos olynol, heb ond ychydig iawn o luniaeth, na nemmawr o gwsg, hyd onid oedd ei gorph wedi curio, a'i feddwl bron ag anmhwyllo, drwy y fath lafur dybryd, ac anhunedd maith.

Yn y flwyddyn 1508, pennodid Luther i fod yn Athraw athroniaeth a duwinyddiaeth yn mhrif athrofa Wittemberg, pan nad oedd ond pump ar hugain oed. Yr oedd Luther hyd yma mewn llawer golygiad, nid yn unig yn babydd diffuant, ond yn un zelog iawn hefyd; ac efe a arferai wrando cyffesiadau yn achlysurol, heblaw dysgu ei ddosparth, a phregethu.

Yn y flwyddyn 1510, efe a anfonid ar neges at y Pab, ac efe a gafodd y fath ofid yn yr olwg ar lygredigaeth y llys Pabaidd, fel y mynych ddywedodd y buasai yn well ganddo na mil o *florens* (tua thri chant o bunnau) pe na buasai wedi myned i'r daith hono.

Y Pab Leo y degfed, yr hwn a dderchafasid i'r orsedd Babaidd yn y flwyddyn 1513, oedd yn mawrhoffi gorwychder, rhwysg, a rhodres, ac er maint o arian oedd yn dylifo i'w goffrau, o amryw deyrnasoedd Ewrop, yr oedd efe o hyd yn angenog, a chan fod adeiladaeth orwych eglwys St. Pedr, yn Rhufain, yn gofyn llawer o arian i'w gorphen, efe a roddodd ei faddeuant lythyrau ar werth mewn llawer o wledydd, a chan eu bod yn cynnwys maddeuant llwyr a bythol, i bawb a'u prynent o bob rhyw gamwedd, ie, yn cynnwys addewid o faddeuant a gollyngdod i'r meirw os talai eu perthynasau byw ddigon am hyny, yr oedd golud yn llifeirio i mewn fel ffrydiau cryfion drwy hyn.

Y Pab am ryw swm o ardreth flynyddol, a freiniai ryw rai i fasnachu yn ddynt trwy eu hisddeiliaid, yr offeiriadon, y rhai a hurient i'w pregethu a'u gwerthu drwy y gwledydd. Un o'r cyfryw ydoedd John Tetzel, mynach digwilydd, oedd yn hynod o ddiwyd i'w taenu yn ngororau Wittemberg, lle yr oedd Luther yn trigo. Tua'r flwyddyn 1517, deuai amryw at Luther i gyffesu eu pechodau, ac er eu bod yn euog o amryw bechodau ysgeler, etto gwrthodent fyned drwy y penydiau a archai efe iddynt, o herwydd eu bod wedi derbyn maddeuant yn barod

rwy lythyrau Tetzel; ond Luther, gan ffieiddio y cyfryw ymddygiad, a wrthodai roddi iddynt y rhyddhad a geisient; a chan ei fod ef yn parhau yn y penderfyniad nacäol yma, hwy a aethant at Tetzel, ac a achwynasant arno ef wrtho; yr hwn pan glybu, a ymddigiodd yn chwerw wrtho ef, a chan ei fod yn un o'r dirprwywyr appwyntiedig i ddiwreiddio heresiau, efe a fygythiodd ddwyn Luther a'i holl ymlynwyr dan driniaethau arswydus y chwil-lys. Mae yn hawdd gweled wrth ymddygiad Luther y pryd hyn, nad oddiar unrhyw elyniaeth penderfynol at yr eglwys, yr oedd efe yn gweithredu: canys, yn unffurf ag arfer yr oes hono mewn pethau amheus, efe a benderfynodd osod ei farn ar y cyfryw bethau, yn gyhoedd, mewn ffordd o gynhygiadau, fel y ceffid dadleuaeth gyhoeddus arnynt.

Felly ar yr 31 o Hydref, 1517, efe a gyhoeddodd 95 o gynhygiadau, yn y rhai yr ymresymai yn helaeth ar amryw hynciau, megis,maddeuant lythyrau, y purdan, &c. Y cynhygiadau hyn a roddid ar ddor yr eglwys oedd yn perthynu i gastell Wittemberg, yn nghyd a gwahoddiad i ddadl gyhoedd arnynt, a dymuniad ar y rhai a fyddent o angenrheidrwydd yn absenol, anfon eu sylwadau arnynt yn ysgrifenedig ato ef. Y canlyniad fu, i ddadl hirfaith a phoethlyd gymeryd lle rhwng Tetzel a Luther. Ysgrifenwyd llawer ganddynt o bob tu i'r dadl; ac er fod Luther yn wr o nodweddiad hynod o wrol, bu yn hir iawn cyn anturio allan yn wrthwynebwr pendant i lys Rhufain: ond tua diwedd y flwyddyn 1519, efe a ddechreuai ddatgan ei annghydweledíad âg eglwys Rhufain o barth y sacrament yn ddi gêl.

Yn y flwyddyn 1521, efe a gyhoeddodd draethawd nodedig, yn yr hwn yr olrheiniai natur a gwasanaeth y sacramentau, y rhai yn ol barn y pabyddion, fel y gwyddis, ydynt saith o rif: ond Luther oedd o wahanol farn, ac efe a wadai nad oedd onid y bedydd, y swper sanctaidd, a'r penyd, yn sacramentau. Gan fod prifysgolion Cologne a Louvain, wedi llosgi llyfrau Luther yn gyhoeddus, a bod yr un peth wedi ei wneyd yn Rhufain hefyd, y diwygiwr yntau a benderfynodd dalu yn ol yn bresenol; canys efe a blaenoriaid a dysgedigion prif ysgol Wittemberg, a aethant o'r tu allan i'r ddinas, ac yno a losgasant gyhoedd lythyr (*Bull*) y pab, yn nghyd a'r deddfau pabaidd, ac ysgrifeniadau Echius ac Emser ei wrthwynebwyr, yn ngwydd llawer o bobl. Ar y trydydd o Ionawr, 1521, anfonai y Pab gyhoedd lythyr arall allan, yn yr hwn y cadarnheid yr un blaenaf i'w holl eithafoedd, yn nghyd a'r ychwanegiad pwysig o ysgymundod Luther. Ond ychydig o argraff a gafodd hwn eto, a'i dderbyniad a dueddai yn unig i ddangos lleihad effeithioldeb bygythion bytheiriawl y Pab.

Erbyn hyn yr oedd yr amser wedi dyfod i gynnal eisteddfod gyntaf yr amherawdr Charles, yr hon, gan fod y pla yn Hurenberg,a drefnid i fod yn Worms; a swyddogion y llys pabaidd, oeddynt yn ddiflino yn eu hymdrechion, i gael gan yr amherawdr wysio Luther, i ymddangos yn fuan o flaen yr eisteddfod; yn y cyfamser yr oedd y tywysog Frederic o Wittemberg, cyfaill a noddwr Luther, yn cadw ei lygaid yn graff ar eu dichellion, fel y gallai hysbysu Luther yn brydlawn o'u bwriadau bradwrus, a hyn a wnaeth efe trwy Spalatin, gan erchi i'r gwr hwnw ymdrechu i gael gwybod gan Luther, pa beth a amcanai efe ei wneyd, os anfonai yr amherawdr wys iddo i ymddangos ger bron yr eisteddfod.

Ceisiasai rhai o'r cenhadon pabaidd eu goreu, i gael gan yr amherawdwr roddi gorchymyn pendant allan, am ddyfetha Luther allan o law, heb roddi prawf arno mewn eisteddfod na chyngor; ond y tywysog Frederic, yr hwn oedd wr o fri mawr yn ngolwg yr Amherawdr, a ddadleuai achos Luther mor effeithiol, fel y cafodd Luther ei wysio i ymddangos yn Worms,gyd ag addewid yr Amherawdr o'i nawdd rhag cynddaredd ei elynion, yn ei fynediad a'i ddyfodiad: ac ar yr 17eg. o Ebrill, a'r dydd canlynol, efe a ddadleuai ei achos o flaen y gynnulleidfa fawreddog hono, gyda gwroldeb a hyawdledd tra mawr; ac ni allai na chymelliadau na bygythiadau ei elynion, siglo dim ar ddianwadalwch ei feddwl, na chael ganddo wadu y gosodiadau a bleidiasai o'r

blaen, neu ymostwng i'r Pab. Felly penderfynwyd ei ysgymuno ar unwaith: yr hyn gan hyny a wnaed Ebrill 19: ond gan i hyny gael ei wneuthur heb gydsyniad amryw o'r tywysogion, nid oedd y weithred ond gwan ac aneffeithiol mewn cydmariaeth i'r hyn a fuasai, pe cydunasai y cyngor yn unfryd arni: ond yr oedd llawer o wyr urddasol yn parhau i ymweled ag ef, a gwelid yn amlwg fod y werin yn gyffredin, yn teimlo cryn bleidgarwch tuag ato. Wedi hyn efe a gafodd ryddid yr amherawdr i ddychwelyd adref yn ddi drais: eto wedi ei ymadawiad, efe a gondemniwyd trwy bleidlaisiaeth yr amherawdr a'r tywysogion, ac a gyhoeddwyd yn elyn i amherodraeth sanctaidd Rhufain.

Frederic, ei gyfaill, a'i noddwr, gan ragweled yr ystorm yn ceulo yn erbyn Luther, a wnaeth y parotoadau gorau i'w ddiogelu rhag ei rhuthr. Ac i'r perwyl yma; efe a anfonodd dri neu bedwar o wyr, yn y rhai y gallai ymddiried, i gyfarfod Luther ar ei ddychweliad o'r eisteddfod, fel yr arweinient ef yn ddirgel i le o nodded. Y rhai hyn wedi ymddyeithrio mewn cuddwisgoedd, a gyflawnasant eu cennadwriaeth yn y modd mwyaf cyfrinachol a llwyddiannus. Cyfarfuant â Luther yn agos i Eysenac, ac wedi ei gymeryd i fynu megys carcharor, hwy a'i cludasant i gastell Wartenberg: ac e dybiai rhai ar seiliau lled hygoel, nad oedd ei fawrhydi amherodrawl yn anhysbys o hyn. Yn yr encilfa hon, yr hon a alwai efe ei Patmos, y bu y diwygiwr enwog hwn yn guddiedig dros yspaid deng mis.

(I'w barhau.)

## Rhagoriaethau y Bibl.

### MALACHI.

Malachi ydoedd yr olaf o'r prophwydi ysprydoledig dan oruchwyliaeth yr Hen Destament. Yr ydoedd yn arferyd ei weinidogaeth o ddeutu cant ag ugain o flynyddoedd or ol dychweliad yr Iuddewon o gaethiwed Babilon; ac oddeutu pedwar cant ag ugain o flynyddoedd cyn genedigaeth Crist. Wedi i'r deml gael ei hadeiladu, a'r ddinas yn bod mewn agwedd lwyddiannus yn amser marwolaeth Nehemiah, yr Iuddewon, er eu bod yn cynnal ffurfiau crefydd, oeddynt wedi myned yn dra rhagrithiol, halogedig, a drygionus. Malachi gan hyny ydoedd wedi ei godi i'w galw hwy unwaith yn rhagor i edifeirwch, ac i ddwyn yn mlaen adfywiad ar wir grefydd yn eu mysg.

Llyfr Malachi sydd wedi ei rannu i bedair o bennodau, yn cynnwys dau ddosparthiad.

Dosparthiad I. Sydd yn cynnwys achwyniadau yn erbyn yr Iuddewon, yn gystal yr offeiriaid a'r bobl, o herwydd eu halogrwydd a'u drygioni. pen, i. ii.

Dos. II. Sy'n coffâu amrywiol brophwydoliaethau yn perthynu i ddyfodiad Crist, a'i Ragflaenor, Ioan Fedyddiwr; yr hwn, wedi ei gynnysgaeddu â'r yspryd a'r gwroldeb ag oedd yn gwahaniaethu y prophwyd Elias, trwy ei bregethiad a'i weinidogaeth, a baratoai ffordd ei Arglwydd gogoneddus, pen. iii. iv. Gwel Luc i. 76. Matt. xi. 12—14.

Y peth mwyaf nodadwy yn mhrophwydoliaeth Malachi ydyw, yr arddangosiad deniadol o ddyfodiad y Messiah, fel Haul Cyfiawnder, yn cyfrannu yn helaeth fendithion ysprydol.

*Cyfeiriadau yn Malachi.*

| | |
|---|---|
| Pen. i. 2-4 Rhuf. ix. 13. | Pen. iv. 2. Eph. v. |
| 14. 1 Tim. vi. 15. | 14. 2 Pet. i. 19. |
| ii. 15. Mat. xix. 4, 5. | 5. Matt. xi. 14. |
| iii. 2, 3. — iii. 10-12. | xvii. 11, 12. |
| iv. 2. Luc. i. 78. | |

Ar ol yr yspaid agos o 4000 o flynyddoedd, "tystiolaeth Iesu, yr hon yw yspryd y brophwydoliaeth," yn oraclau dwyfol yr Hen Destament, a beidiodd yn mhrophwydoliaethau Malachi. Efe a derfynodd y rhestr ardderchog hono o ddynion sanctaidd Duw, y rhai a lefarasant megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Yspryd Glan." Efe a seliodd i fynu rôl prophwydoliaeth yr Hen Destament, trwy gyhoeddi ymddangosiad disymwth yr Arglwydd, yr hwn yr oedd y duwiolion yn ei geisio yn ei deml, yn cael ei flaenori gan ei genadwr herodraidd, yr hwn a barotöai Ei ffordd o'i flaen Ef. Cyflawniad y prophwydoliaethau hyn, trwy bregethiad Ioan Fedyddiwr, gweinidogaeth a gwyrthiau yr Iesu, yn amser bodoliad yr ail deml, fel eu

coffeir yn y Testament Newydd, yn ei brofi Ef y gwir Fessiah, nis gellir eu darllen gan y duwiol heb ddiolchgarwch a llawenydd. Bydded i bob darllenydd ystyried y gwirioneddau hyn gyd â ffydd a gweddi, rhag, fel yr Iuddewon anghrediniol, iddo drengi yn esgeuluso iachawdwriaeth gymmaint!

---

## Y BALCH A'R GOSTYNGEDIG.

Dau wrthddrych tra phell oddiwrth eu gilydd ydyw y Balch a'r Gostyngedig. Er fe allai eu bod yn byw yn yr un Sir, neu yn yr un gymydogaeth; ïe, yr un teulu. Bernir fod 95,173,127 o filltiroedd rhwng ein daear ni a'r haul; eithr y mae mwy na hyny rhwng y Balch a'r Gostyngedig. Er ein bod yn bresennol wedi eu gosod gyferbyn a'u gilydd, i'r dyben o'u cydmaru â'u gilydd; etto y maent yn mhell iawn oddiwrth eu gilydd er hyny. Nid ydynt yn ymhyfrydu yn yr un gwrthddrychau, nid ydynt yn ymborthi ar yr un pethau, ac nid ydynt yn rhodio yr un llwybrau.

I. Nid ydynt yn ymhyfrydu yn yr un gwrthddrychau. Y Balch, am na wel neb yn fwy, yn uwch, yn well, yn ogoneddusach na'i hun, nis gwel neb yn fwy teilwng o barch nag ei hun. Y gostyngedig, am nas gwel neb yn salwach, yn ffieiddiach, yn dlottach, ac yn waelach na'i hun, nis gwel neb yn fwy annheilwng o anrhydedd nag ef ei hun; o ganlyniad mae yn rhoddi y clod i'r hwn sydd deilwng o hono. Fel hyn y maent yn wahanol iawn yn ngwrthddrychau eu hymyfrydiad; un yn ymhyfrydu ynddo ei hun, a'r pethau a wneir ganddo; a'r llall yn yr Arglwydd, a'r pethau a wneir ganddo yntau.

II. Nid ydynt yn ymborthi ar yr un pethau. Y Balch sydd yn ymborthi ar ryw ddychymygion gwag a disylwedd, fel yr 'asen wyllt wedi ei chynnefino â'r anialwch wrth ddymuniad ei chalon yn yfed gwynt,' Ier. ii. 24. Y Gostyngedig yn bywiolaethu ar anfeidrol drysorau Calfari, sef 'y Bara a ddaeth i wared o'r nef,' Ioan vi. 41.—'y Manna cuddiedig,' 'gwin a llaeth, heb arian ac heb werth.' Yn hollol blygedig i ewyllys Duw y bydd y Gostyngedig yn derbyn o'i law, ac 'fel un bychan newydd eni yn chwenych didwyll laeth y gair, fel y cynnyddo trwyddo ef,' 1 Pet. ii. 2.

III. Nid ydynt yn rhodio yr un llwybrau. Gwelwn y Balch yn tori ar draws daionus gyfreithiau a doeth sefydliadau'r nefoedd. Ni chymer ei lywodraethu gan ei Grewr anfeidrol, ac nid ymostwng i reolau moesoldeb, eithr myned yn mlaen yn ol egwyddorion ei galon falch ac anmhlygedig, ar gefn rhyfyg i ddinystr tragywyddol. O! y fath olwg ddymunol sy ar y Gostyngedig, wedi 'ymostwng i rodio gyda'i Dduw,' Mica vi. 8. Enoch hefyd a rodiodd gyda Duw dri chant o flynyddau wedi iddo genhedlu Methusela, Gen. v. 22. Noah oedd wr cyfiawn perffaith yn ei oes, gyda Duw y rhodiodd Noa, Gen. vi. 9. Mae y Gostyngedig gyda Dafydd yn dywedyd, 'Ffordd dy orchymynion y rhedaf pan eangech fy nghalon,' Psalm cxix. 32.

Ffrwyth y codwm yn Eden yw Balchder; ffrwyth y cyfammod gras yw gostyngeiddrwydd. Pan yr oedd dyn yn ei sefyllfa gyntefig yn ddedwydd iawn, yr oedd yn ostyngedig iawn; wedi iddo fyned yn annedwydd, aeth yn falch! Hynod iawn yw hyn, onide? Dyn pan yn gyfoethog yn ostyngedig! ar ol suddo i dlodi yn ymgodi mewn balchder! pan yn anrhydeddus, yn addfwyn a gostyngedig! Wele ef yn awr yn ymdreiglo mewn gwarth, ac etto cyn falched ag y gall y cythraul ei osod. 'Gan uchder ei ffroen ni chais Dduw; nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef,' Ps. x. 4.

Y mae yn debyg i'r barnwr anghyfiawn hwnw y sonia yr Arglwydd Iesu am dano, 'yr hwn nid ofnai Dduw ac ni pharchai ddyn,' Luc xviii. 2. Nid yw 'r Balch yn gofalu rhoddi parch i neb ond iddo ei hun. Fel Nebuchodonozor yn priodoli pob gorchestwaith a gyflawnodd iddo ei hun, heb ystyried llaw Duw yn y cwbl. 'Llefarodd y Brenin a dywedodd, Onid hon yw Babilon fawr yr hon a adeiledais i yn frenhindy yn ngryfder fy nerth, ac er gogoniant fy mawrhydi?' Dan. 4. 30. Iё Nebuchodonosor, mi debygwn i ti gael llawer o nerth a gwybodaeth gan y Goruchaf i gyflawni y fath orchwyl pwysig; fel y byddai hyny yn glôd i'r anfeidrol

ddoethineb ef, yn gwneud y fath orchwyl gogoneddus drwy offeryn mor wael. O! nage, ebe'r gwr, myfi a wnaeth y cwbl yn ngryfder fy nerth, ac er gogoniant fy mawrhydi! O! y fath adyn tlawd! Pa ryfeddod i Dduw ddanfon hwn at anifeiliaid y maes i ddysgu gwell moesau.

Llwyr wrthwyneb i hyn yw ymddygiad y Gostyngedig; y mae efe 'yn ol y rheolau dwyfol, yn rhoddi'r parch dyledus i bawb yn ol eu gwahanol sefyllfaoedd, ac amgylchiadau yn y byd, ac yn priodoli pob gallu ac anrhydedd i'r Arglwydd yn unig.

Y mae gwahaniaeth mawr rhwng y ddau wrthddrych hyn yn eu gwaith yn cynnyg addoliad i'r Arglwydd. Yr ydym yn darllain am ddau wr a aeth i fynu i'r Deml i weddio, un yn Pharisead, a'r llall yn Bublican, Luc 18. 10, 11, 12, 13, 14. Y mae llawer o bethau yn gryn debyg yn y ddau, er fod pethau eraill yn dra annhebyg; (1) yr oeddynt yn cyrchu i'r un lle. Nid un yn myned i dŷ'r butain, a'r llall i dŷ yr Arglwydd, ac nid aeth un i deml yr eilun a'r llall i deml yr Arglwydd, ond y ddau wr aeth i fynu i deml Dduw. (2) Yr oedd yr un dyben ganddynt wrth fyned yno, sef, i 'weddio.'

Bellach y mae'r gwahaniaeth rhyngddynt yn dyfod i'r golwg. (1) Un yn Pharisead, a'r llall yn Bublican. Y Pharisead fel Paul cyn ei droedigaeth, 'Yn ol y cyfiawnder sydd yn y ddeddf yn ddiargyhoedd,' Phil. 3. a'r Publican yn cael ei gofrestru yn mhlith y pechaduriaid gwaethaf dan y nef, Mat. 9. 11. Y Pharisead, fel y gwr ieuangc yn yr Efengyl wedi cadw y gorchymynion oll o'i ieuengctyd, Mat. 19. 20. a'r Publican druan tlawd yn cael ei osod ar yr un llinyn a'r putteiniaid, Mat. 21. 31. Gallasid meddwl wrth weddi'r ddau mai yma y buasai y Pharisead yn sicr o gael ei wrando, a'r Publican ei wrthod.

Yr oedd gan y Pharisead lawer o bethau da i ddadleu ger bron yr orsedd. Nid oedd gan y Publican ddim ond erygiwyth o bechodau. Yr wyf yn diolch i ti, medd y Pharisead balch, nad wyf fi fel y mae dynion eraill. Pe buasai yn dywedyd, Yr wyf yn diolch i ti am fy nghadw rhag ffyrdd a llwybrau annuwiol ag y mae dynion eraill yn ymhyfrydu ynddynt,' buasai yn cydnabod Duw yn y gorchwyl. Eithr amlwg yw nad yw yn cydnabod fod gan yr Arglwydd un llaw ynddo. Fel pe dywedasai, Arglwydd, am nad wyf fi fel mae dynion eraill, nid yr un drefn sydd yn eisiau arnaf fi a hwy—yr ydwyf fi yn meddwl am y Nef yn bur ddidraul i ti—mi wnaf y cwbl fy hun, fel, ar ol cyrhaedd yr hyfryd wlad tu draw i'r llen y gallaf seinio Haleluia i mi fy hun am fy nerth a'm doethineb yn fy arwain i'r Baradwysaidd wlad heb gynnorthwy neb arall.

Yn bresennol wele ef yn nodi'r pethau sydd mewn dynion eraill ag y mae ef yn hollol rydd oddiwrthynt. (1) Y mae ef yn diolch nad yw ef yn draws fel y mae dynion eraill. (2) Nid yw yn anghyfiawn fel y mae dynion eraill. O ddedwydd ddyn, (meddaf fi) wele un dyn cyfiawn wedi ei gael ar y ddaear o'r diwedd, ac heb bechod. (3) Yr oedd yn diolch nad oedd fel y Publican hwn chwaith. Wele ef yn awr wedi arllwys ei gwd o'r gwaelod, tebygwyf. Yr oedd yn meddwl rhoddi cernod i'r Publican o'r dechreu, ond pan ddaeth, fe ollyngodd am ei draws yn ddidrugaredd iawn. Gellid meddwl wrth swn yr ymadroddion ei fod yn ei nodi allan a'i fys, gan ddywedyd, 'Nid fel y Publican hwn chwaith.' 'Yr ydwyf yn degymmu cymmaint oll ag a feddaf—pwy glywodd son i'r Publican gwael hwn gyflawni un o'r fath ddyledswyddau yn ei oes?'

Gellid meddwl erbyn hyn fod y Publican yn bur ddigalon i agosau a chyflwyno ei weddi at y Bod anfeidrol Sanctaidd gan nad oedd dim yn ei feddwl ond tlodi a phob trueni. Etto wele ef yn agosâu yn ostyngedig ei feddwl, ac yn ffiaidd ganddo ef ei hun, yn methu codi ei olygon i fynu tu a'r nef gan gymmaint y dirmygodd alwadau, ac y troseddodd gyfreithiau y nef. Yr oedd yn cydnabod fel Daniel fod cywilydd wyneb yn perthyn iddo, Dan. 9. 7, 8. Yr oedd hefyd yn gydnabyddus, nid yn unig o'i ffiaidd bechodau gynt, ond hefyd o'r môr mawr o drueni'r galon o ba un y dylifa yr holl ddrygau ofnadwy. Eithr fe a gurodd ei ddwy-fron, fel pe buasai yn dywedyd,

Dan y ddwyfron y mae fy nolur trymaf, yma y cartrefa pob anghydffurfiad â Duw, pob tebygolrwydd i Ddiafol, hollol ddinystr yr enaid.

Ac efe a ddywedodd, 'O Dduw, bydd drugarog wrthyf fi bechadur!' Nid oes gennyf ddim i ymffrostio yn dy wydd—Nis gallaf ddywedyd fel y Pharisead fy mod yn well na neb, ond i'r gwrthwyneb yn waeth na phawb. Nid oes gennyf ddim i guddio fy noethni, ac i deilyngu dy addfwynaf ymweliadau, eithr yn annheilwng o'r lleiaf o'th drugareddau—Yr ydwyf yn appelio at yr orsedd fel yr wyf; yn noeth i fy ngwisgo, yn dlawd i fy ngyfoethogi, yn wael i fy mhrydferthu, yn archolledig i fy meddyginiaethu, ac yn golledig i fy ngwaredu.—Yr ydwyf yn llwyr ymorphwys ar annherfynol drugaredd Duw am fywyd ac iachawdwriaeth byth.

Wele, er salwed yr olwg arno, 'Aeth hwn i'w dŷ wedi ei gyfiawnhau yn fwy na'r llall.' Cyfiawnhawyd y Pharisead ganddo ei hun, eithr cyfiawnhawyd y Publican gan Dduw. Yr oedd cyfiawnder y Pharisead yn cuddio ei feiau o'i olwg ei hun; eithr cyfiawnder y Publican yn eu cuddio o wydd Duw. Canys pob un ag sydd yn ei ddyrchafu ei hun a ostyngir, a phob un ag sydd yn ei ostwng ei hun a ddyrchefir.

Yn awr, onid oes gwahaniaeth nid bychan rhwng y balch a'r gostyngedig? Y naill yn tybied ei fod yn fwy na phawb, a'r llall ei fod yn llai na'r lleiaf. Un yn meddwl ei fod yn well na'r goreu, a'r llall ei fod yn waeth na'r gwaethaf. Y balch yn ystyried ei hun yn gyfoethocach na neb, a'r gostyngedig yn dlottach na neb—Y balch yn meddwl ei fod yn rhagori ar bawb, a'r gostyngedig yn cyfrif ei hun yn waelach na phawb. Llawer o swn ac ychydig o sylwedd fydd gan y balch bob amser—eithr ychydig o swn a llawer o sylwedd gan y gostyngedig. 'Megis anadnabyddus, ac er hyny yn adnabyddus, &c. 2 Cor. 6. 9, 10.

*Penllyn.* ED. MATHEWS.

---

# Llythyrau, &c.

*Derbyniasom y llythyr canlynol oddiwrth un o'r gwŷr ieuainc a gynnygiodd ei wasanaeth i fyned yn Genhadwr at y Gwyddelod. Gobeithiwn pan welo y gwr ieuanc arall y llythyr hwn, y bydd iddo yntau anfon i ni anrheg o lythyr, fel y gwelom a ydyw efe yn parhau o'r un feddwl.*

*Mae'r peth yn dechreu ymgymmeryd yn y Gymdeithasfa, ac yn y Cyfarfodydd Misol. Nid oes dim i'r gwŷr ieuainc hyn i'w wneyd o ran gweithredu, hyd nes gwnelo y Gymdeithasfa ryw benderfyniad ar y peth.*

---

Anwyl Syr,

Yr wyf yn deall fod cynhwrf a swn go fawr yn bresenol am anfon Cenhadau at rai amddifaid o freintiau yr efengyl, yr hyn sy'n achos o lawenydd mawr i mi. Gan mai chwychwi yw yr offeryn cyntaf, am a wn i, fu yn achos o'r cynhwrf hyn, diamheu nad ydych etto heb fawr ddymuno ei lwyddiant, a llawenâu o'i blegid. Gallaf hyspysu i chwi mai nid peth newydd ar fy meddwl yw yr achos cenhadol, ond fod llawer o flynyddoedd er pan mae awydd arnaf am fod o ryw ddefnydd gyd a'r gwaith gogoneddus hwn. Meddyliwyf mai wrth ddarllen am yr achos yma, yn Nhrysorfa Mr. Charles yn benaf, y dechreuodd hyn gael lle ar fy meddwl. Cofiwyf fy mod, tros wyth mlynedd yn ol, yn eich gwrandaw chwi, yn ———— yn casglu at yr achos cenhadol. Dywedech hanes y Dr. Morison o China, a darluniasoch eilun dduwiau y paganiaid, ac mai tair ffordd ydoedd i ni weithredu yn eu hachos, sef gweddio, cyfranu, a myned ein hunain i'w haddysgu. Gallai pawb yno, meddech, wneuthur y ddau beth cyntaf, ond nid oedd yn debygol fod neb yno yn meddwl gwneuthur yr olaf. Y pryd hwnw teimlwn wrth-attebiad i chwi yn fy meddwl,—'fod arnaf fi awydd o'r bron gymmaint i wneuthur yr olaf gystal a'r blaenaf.'—O'r amser hwnw hyd yma bu y matter droiau yn ddwys ar fy meddwl, ac yn aml yn foddlawn ac awyddus i fyned i barthau pellenig y ddaear, os byddwn yn debyg o fod o ryw lês gyd a'r achos hwn: eto heb fawr obaith y deuai hyny byth i'm rhan. Yn bresenol, os oes mwy o debygolrwydd mae'n dda genyf, ac mor foddlawn ydwyf i'r gwaith ag o'r blaen. Mae yn fwy llawenydd genyf fod ein *Corph ein hunain*, y'm magwyd ynddo, yn debygol o ddechreu ar y gwaith hwn.

Clywais fod Cymdeithas Fisol y Sir hon yn gogwyddo yn fwy o ochr Llydaw, ac felly clywais rai o'r cyfeillion yma hefyd; (eithr yn anhyspys o'm bwriad i :) gan hyny dymunwyf hyspysu, mai pa le bynag y byddo'r corph yn gweled mwyaf o angen, os byddaf fi o ryw ddefnydd ganddynt, fy mod yn foddlawn i'm trefnu yn ol eu hewyllys hwy. Meddyliwyf fod mawr angen yn Llydaw, a rhwymau arnom ninau iddynt, a llawer o fanteision i'r Cymry i fod yn ddefnyddiol yn eu mysg; mae felly hefyd gyd â'r Iwerddon: gan hyny nis gwn pa un i'w ddewis.

Ar lawer golygiad 'rwyf yn ddigalon i gynyg fy hun at y fath wasanaeth, ac ofn na ddylwn: ond meddyliwyf mai fy nymuniad am lwyddiant y gwaith a'm hannogodd, a gwnaed eraill fel y gwelont oreu yn fy achos.

Gan fawr ddymuno bendith ar eich ymdrechiadau daionus, er eich lles eich hun ac eraill, a chydnabod yn ddiolchgar eich holl garedigrwydd tu ag attaf fi,

Aroswyf yn eiddoch, *———.

---

*Llythyr Hen Weinidog at ei Fab.*

(Parhad tu dalen 79.)

Etto, pethau i'w gochelyd yw, 'pob gogan air,' haint ac afiechyd y tafod yw hwn: ac ymhlith holl aelodau ein corph nid oes un mwy heintllyd na'r tafod. Gellid rhanu y rhai sydd dan y pla yma i amryw ddosparthiadau.—*Y crefyddwyr chwedleugar*, gwyddant hanes nef ac uffern, nid da genyf y newyddiaduron hyn: cnöant eu cil (fel hen fuwch) ar chwedlau; nid oes braidd stori na chwedl mewn plwyf na thref, nad ydynt ynddi; ac am eu bod ychydig gallach na phob cegrwth, yn gyffredin yn agos i'r ffynonell y ceir eu henwau. Byddai yn hyfryd genyf pe gellid rhyddhau y rhyw fenywaidd oddiwrth y cyhuddiad; ond fel mae'r gwaetha'r llam, hwy sydd amlaf yn y camwedd. Mae rhyw bren y gelwir ef *dail tafod y gwragedd*, ac, ond sylwi arno, maent yn ysgwyd gyda phob awel; ond trwy drugaredd nid felly mae pob meinir, mae yn eu plith amryw *wraig rinweddol*.

Gellir rhanu y crefyddwyr chwedleugar etto yn ddosparthiadau; *athrodwyr*, 'rhai hynod dafod lippa yw y rhai hyn: gormod gorchwyl iddynt gadw dim a wyddant, 'Yr hwn a rodia yn athrodwr, a ddatguddia gyfrinach.'

*Hustyngwr*, mae hwn yn fwy ei ddichell na'r llall, ac hefyd rhydd fwy o orchwyl i eraill nag a gymer arno ei hun; un lled effeithiol yn ei gais yw yn gyffredin; yr hustyngwr a neilldua dywysogion. Mae ei eiriau yn disgyn i gilfachau bol y gwrandawr, ac yn cael derbyniad yn y fan hono, nes creu amheuaeth, casineb, dieithrwch, a neillduaeth yn y cyfeillion agosaf. Yr atteb goreu a roddir i hustyngwr yw, 'Mi âf at y cyfryw un i ymofyn.'

*Enllibiwr*, un yn adrodd caswir yn benuchel i ddiben drwg: y ffordd y'n dysgir gan Yspryd Duw i gaead ar safn hwn, yw 'peidio derbyn enllib.'

Yr *absenwr*, brathwr yn y cefn, dynion a'u tuedd at derfysg, yn addysgu un i niweidio eraill trwy ddangos eu gwendid yn eu cefn. Digon profedigaethus i frenin Syria fod prophwyd yn Israel yn medru adrodd ei waith yn ei ystafell wely! Felly, gofidus i Eglwys Dduw fod rhai yn ymwthio i'w mynwes, ag sydd hawdd ganddynt adrodd ei gwaeleddau ynghilfachau'r byd. 'Eithr mewn tŷ mawr nid oes yn unig lestri o aur, ac o arian, eithr hefyd o bren, ac o bridd;' ac yn eu plith mae rhai llestri heb fod dda i ddim ond i gario budreddi y teulu allan. Mae gan y crefyddwyr chwedleugar yma rai yn derbyn eu nwyddau, ac mae y rhai hyny yn gosod eu tai fel *Rag warehouse* i dderbyn pob carpiau, yn bryfedog, a phob aflendid, 'Ond y neb sydd dda gan Dduw a waredir rhagddynt.'

Etto, *Y crefyddwr rhagfarnllyd;* un gwedi pasio barn cyn gwneud y weithred na phrofi'r matter. Casineb yw gwreiddyn rhagfarn; nid y swydd na'r gwaith yw nod ei farn, ond y person, a gwnaed hwnw y peth a fyno, medr y rhagfarnllyd ei ddrwg liwio. Un felly oedd Ahab, medrodd basio barn ar Michea mab Imla cyn i'r genad ei gyrchu. Gallai fod y rhai hyn yn berchen ar linyn mesur da, a synwyr i'w drin, ond iddynt fyned eu hunain o dan y rheol yn gyntaf, er symud y rhagfarn ymaith.

Rhyw arall yw, *Y crefyddwyr cwerylgar*,

cynhenllyd; 'mae pen y gynen, fel ped agorid argae.' Ac os unwaith y tyrr cynen yr argae, nid oes neb wyr faint a ddaw ar ol; nid pell yw llid, ymrysonau, ymbleidiau, &c. A gwae i'r Eglwys y bydd cynnen yn cael defnyddio ei gaib i dorri'r cae. Mae anferth ystryw yn y cwerylgar i geisio cryfhau ei blaid; a dedwydd y cyfrifant eu hunain, os cânt ryw un o swydd a galwad uchel i'w hochor, oblegid mae eu golwg at ddydd penderfynu yr ymryson. Cofia fy machgen, byw rhy gostus i weinidog, yw byw yn gariadus gyda'r fath eppil a rhai hyn, oblegid rhaid iddynt fod wrth ei benelin i lywio y deyrnwialen. Fe dalodd y *Judge Hale* am y *Venison* i'r Boneddwr hwnw a'i hanfonodd iddo yn anrheg, cyn eistedd yn y llysdŷ ar ei gynghaws. Un gwych am anrhegion yw yr cwerylgar. A wyddost ti, ni fedrodd y Gweinidog hwnw byth ddyfod i ben a thalu am y cyfrwy er cymaint a ymbleidiodd! Felly ni ddeui dithau byth i ben a thalu iddynt os unwaith yr ymwthiant i'th lawes gyda eu anrhegion, Ie, pe bradychid holl gyfreithiau a rheolau yr Eglwys, a gwaed y saint yn wystlon iddynt, am hyny cadw dy draed o fagl yr helwyr yma.

Un arall yw y *Crefyddwr lloerig*; weithiau yn frwd iawn, yn fuan yn oer iawn: un tro fe wna'r cwbl, pryd arall ni wna ef ddim; unwaith yn mynwes yr Eglwys, ac yn fuan wrth y rhiniog. Rhai o'r rhai hyn oedd eisiau addoli'r apostolion yn Lystra, a chyn pen nemawr oriau yn eu gyrru allan o'u terfynau. Maent allan o'u carn pan y bo mwyaf eisiau eu gwasanaeth. Y ffordd oreu i'w trin, yw peidio gwneud cyfrif mawr o honynt yn eu brwdaniaeth, ac yna bydd y golled ar eu hol yn llai pan oerant.

Etto y *Crefyddwr oppinionllyd*. Mae hwn fel y falwoden, fe dery ei gorn wrth ryw welltyn, a hynod mor ebrwydd y tyn i'w gragen: mae hwn yn waeth ei egwyddor na'r olaf a enwais; rhyw wendid tymerau oedd yn perthyn i hwnw, ond hwn o gryfder, mae natur mûl ynddo; ar ol strangcio, mwyaf a bwyir arno, mwyaf oll yr ymgyndyna. Adwaenwn un o'r rhai yma, mewn Eglwys fechan, un helaeth ei ddoniau mewn canu ydoedd; a phan oedd yr Eglwys yn wan yn y rhan hyny o'r gwasanaeth, nis gallai ddangos nerth ei ergyd yn well pan ei croesid, na thrwy dynu ei help oddiwrth y canu, a hyny bob lleuad; ac yna byddid yn gloff gyda'r canu. Ond pan y cynnyddodd y cantorion i allu gwneud hebddo, daeth y gwr at ei denyn, a byth gwedi fe ganai er gwaethaf pawb.

Un etto, y *Crefyddwr crintachlyd*; un hynod anhawdd ei adnabod yw hwn. Ni wiw son am gybyddlyd, er mae dyna ydyw ef yn y gwraidd. Mae y rhai hyn wedi magu llysnafedd fel llysowod, nid oes modd i'w dal nes i'w trachwant dorri allan mewn anghyfiawnder. Yr arwydd cyntaf o hono yw rhai yn gosod eu calon ar olud, yn enwedig pan gynyddo: dyna fydd pleser a hyfrydwch eu hymddiddan drachefn, ac yna ymlwytho 'â negeseuon y bywyd hwn;' neu fel y dywed y Prophwyd, 'ymlwytho a'r clai tew,' ac fe gynydda hwn yn wr caled yn ei holl fasnach.

Enwaf i ti bump o leoedd i'w adnabod, 1. Yn ei awydd anesmwyth; 'y neb a garo arian ni ddigonir ag arian.' Mae fel y dyn a'r dyfrglwyf arno, mwyaf a ŷf, mwyaf fydd ei syched. Ni wna gyfrif o'r hyn sydd ganddo, oddieithr iddo yn yr un modd fwynhau yr hyn nad oes ganddo; ac nid llai ei lafur am yr hyn na fwynhâ, nag o bleser yn yr hyn sydd ganddo. Mae fel y Gele, yn gwaeddi, moes, moes.

2. Yn ei gynnildeb anweddus; 'efe a arbed fwy nag a weddai,' mewn mesur, pwyso, prynu, a gwerthu. Cribddeiliwr yw yn ei fasnach, yn ei ymborth, a'i fwrdd, ei wisg ei hun, a'i blant.

3. Yn ei ofal pryderus am yr hyn sydd ganddo; nid oes na gwas, na morwyn, na bachgen, na geneth yn ddigon gofalus am ei eiddo; Ie, bydd yn ormod ei ofal am danynt, i allu eu gadael, o'r bron byth i fyned i addoli, ac ymddiried i addewid yr Arglwydd am eu cadwraeth. 'Llawnder y cyfoethog ni âd iddo gysgu.'

4. Yn ei roddion a'i elusenau crintachlyd; dyma lle mae ei ddant pellaf, i'w ganfod; pe cai ei bwrpas, gwnai i'r rheidus fyw ar ddwfr yr afon, a goleu'r dydd. Gwr caled ymhob cyfarfod plwyfol yw, elusen leoedd dinasol, a chwyn rhagddo ymhob calon deimladol.

5. Yn ei achosion crefyddol; os eir i adeiladu, neu i adgyweirio tŷ i Dduw. Fe wna ryw fath y tro; ni cheir ond y cloff o'i law ef; mae yr aur yn rhy agos i'w galon

i'w rhoi at oreuro y Deml; a'r blwch enaint yn rhy gostus i draed yr Iesu. A gwae fyth os eir i lyfr y gymdeithas i hela ei nodweddiad, bydd ei adduned a'i ofal am ei chyflawni yn llai nag y gweddai i'w sefyllfa· A hynod y gormes ar ei gylla yw y moddion hyny o râs ag a fo yn gormesu ar ei adeg i hel y byd at ei gilydd. Ond gwybydd am bob 'cybydd, yr hwn sydd ddelw addolwr, nad oes iddynt etifeddiaeth yn nheyrnas Crist a Duw.'

Y nesaf a nodaf yw y *Crefyddwr sipianllyd*; hwn sydd lwynog yn y tŷ. Nid y meddw yw, onidê caem ei daflu dros y trothwy. Ond mae yn aml gyda'r eilun, ac fe allai yn gallu 'arwain ei galon mewn doethineb.' Ond dalier sylw ar wraidd eu llygaid wrth ddychwelyd o drefydd a marchnadoedd, &c. maent yn bell o fod yn debyg i 'lygaid colomenaidd' yr Eglwys. A hynod yr esgusion a wnant o fynych gyrchu i'r tafarndai; a'r gorfodaeth mawr (meddynt hwy) fydd yn eu cadw yno yn hir.

Ond y gwir yw, eu cariad at yr eilun a'r lle fydd yr achos o'u hymlyniad. A, gofidiaf wrth adrodd, *proffeswyr sipianllyd* yw tadmaethod y meddwon! Os ceryddir llawer bachgen fo'n dechreu blasu ar feddwi am ei arosiad hir yn y dafarn, nid Twm y medd wyn, a Dick y cwffiwr fydd ei esgus; na, hwn a hwn, y blaenor, y parchus, y Proffeswr; a dyna y rhai hyny yn dadmaeth i feddwi y bachgen! ac yn ysparduno i fflamiau uffern trwy ddrysau tafarndai! Oh, mae yn anhawdd iawn dal y rhai hyn; ond er i ni fethu, mae Duw yn addaw gwneud, er iddynt fod yn ei dŷ, yn y fan y gweithiodd efe, ac y rhoddes lawer o'i bresennoldeb, a bod eu hymguddfa yn ddyrys; 'Etto pe llechant ymhen Carmel chwiliwn a mynwn hwynt oddi yno.'

Y *Crefyddwr ymyrllyd*, hefyd; un prysur heb ddiolch yw hwn; ymyraeth â matter pawb ond ei fatter ei hun; a phethau amgylchiadol crefydd, er mai i eraill y perthynant. Hefyd y *Crefyddwyr cwyncianllyd*; bydd y rhai hyn yn gynes eu cwyn a'u helynt bob amser, fel yr ofna Mr. Cecil mai y *nervous complaint* fydd arnynt. Ond mae rhai da yn gorfod rhodio yn alarus tan orthrymder y gelyn; etto gellir eu gwahaniaethu oddiwrth y cwyncianllyd. Dyma un nôd etto, pan y byddont fwya eu cwyn gyda gormes y gelyn a phla'r galon, medrant (tra y byddi di yn chwilio am blaster) wellau eu briw fel ci, â'u tafod eu hun, a rhyw adnod tebyg i hono, 'Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau ni.'

Y *Crefyddwr blysig* etto sydd un yn fawr ei helynt am y pwngc newydd, ac ysfa barhaus ei ymddiddan yw *System newydd* hyd nes yr elo hono yn hen: rhai dioruchwyliaeth yn gyffredin yw y rhai hyn. Os clywant son am ryw un yn holltwr da ar flew, rhyfedd y bri gaiff ganddynt; a'r moli fydd arno! Mae codi ysgyfarnog yn y maes yn syndod dirfawr i ddinesydd, pan y mae y gwladwr wedi ymgynefino â'r olygfa. Ond am yr hen brofiadol o 'hen win' sylfaenol yr Efengyl· nid yw yn chwenych y newydd yn y fan, eithr efe a ddywed 'gwell yw yr hen.' Rhai heb brofi blas yr hen athrawiaeth sy'n gwirioni ar ol pob *System newydd*.

Mi enwais ddigon o honynt; a'm diben yw am i ti ymdrechu (os adwaenost hwynt) i'w henill ar frys i dir gwell.

Yn fy llythyr nesaf mi ddenaf at bethau a berthynant i ti ar dy ben dy hun, pan y bo dy Eglwys mewn stafell arall. Dy Dad serchoglawn, PASTOR SENIOR.

---

TESTYNAU Y DIWEDDAR BARCH. RICHARD LLOYD BEAUMARIS.

Mr. Cyhoeddwr,—Llymma swrn o Destunau y diweddar Barchedig Richard Llwyd, o'r Beaumaris, wedi eu côf-nodi gan Mr. Thomas, o Lanerchymedd, yn ol eu clywed ganddo mewn amryfal fanau. O chant lê yn eich Cyhoeddiad telediw, gallant adnewyddu coffadwriaeth am lawer o bregethau y gwr addïen hwnw, er molawd i'r uchelaf Ri, a nawdd i'r meddwl rheidus. Ef allai y bwrir etto fwy i'ch Trysorfa, ond hyn y chwinsa oddiar adolwyniad cyfeillion.

*B-m r-s.* HUW HUWS.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Dat.... | 3. | 20. | Rhuf... | 8. | 28. |
| Mathew.. | 16. | 26. | Luc.... | 16. | 3. |
| Ioan.... | 20. | 24. | Mathew | 7. | 7. |
| Heb .... | 12. | 1. | Heb. .. | 11. | 8. |
| Heb.... | 6. | 7. | Rhuf... | 11. | 12. |
| Dat..... | 3. | 12. | Dat.. .. | 22. | 14. |
| Actau .. | 24. | 24, 25. | Rhuf. .. | 8. | 13. |
| Matthew. | 11. | 28, 29. | Preg... | 7. | 2. |
| Luc .... | 19. | 10. | Mathew. | 25. | 6. |
| 1 Cor. .. | 10. | 1, 2. | Ioan... | 10. | 1. |
| Ioan.... | 11. | 21. | Heb.... | 12. | 14. |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Mathew.. | 1. | 21. | Mathew. | 3. | 9. |
| Mathew.. | 2. | 1. | Mathew. | 4. | 16. |
| Mathew.. | 5. | 21. | Mathew | 6. | 5. |
| 1 Tim... | 1. | 15. | Mathew. | 7. | 24. |
| Mathew.. | 9. | 10. | Mathew | 13. | 43. |
| Col..... | 3. | 3. | Rhuf.. | 8. | 14. |
| Mathew.. | 21. | 14. | Mathew | 27. | 50. |
| Marc.... | 1. | 41. | Ioan... | 6. | 27. |
| Ioan.... | 6. | 27. | Psalm.. | 23. | 3. |
| Psalm .. | 32. | 6. | Psalm.. | 90. | 12. |
| Heb..... | 12. | 3. | Timothy | 4. | 2. |
| Actau... | 13. | 38. | Ioan... | 5. | 2. |
| Marc.... | 13. | 33. | Gal..... | 6. | 7. |

## AGWEDD MEDDWL PECHADUR WEDI EI DDEFFRO.

GAN ROBINSON.

Yr ydwyf yn nesáu at dy orsedd, O fy Nuw, i'th alw yn fendigedig: y mae fy rhwymedigaeth i fod yn ddiolchgar i ti am dy ddaioni yn annrhaethol: da yr ydwyf yn cofio yr amser, pan oeddwn yn byw 'heb obaith ac heb Dduw yn y byd;' ond, y mae dy ras wedi fy nwyn i weithredu yn groes i'r hyn oeddwn o'r blaen.

Cynhyddais mewn anwybodaeth; yr oedd fy meddwl yn llawn o ragfarn, a'm calon yn llawn drygioni; yr oeddwn yn caru pechod! esgeulusais fy nyledswyddau; yr wyf yn cywilyddio wrth ddywedyd, anghofiais Dduw; yr oeddwn yn gymmysgfa o ddrygioni a thrueni, nid oeddwn un amser yn ddedwydd. Ceisiais wneuthur llawer o bethau, ond yr oedd rhyw wag-le nas gallaswn ei lenwi.

Daeth ystyriaeth i fy meddwl, a mynai gael gwrandawiad, ïe mynai gael gwrandawiad yn nhrymder y nos, pan oedd yr holl fyd yn absennol oddiwrthyf: llefarodd mewn taranau, cyffrodd fy sylw, a thoddodd fy ngalon galed. Minnau a lefais 'O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur.'

Ceisiais lonyddwch gan yr argyhoeddiadau hyn, ond ni chawn: yr oedd trugaredd yn eu sicrhau fel hoelion mewn lle diogel: pan gyfodwn, hwy a gofodent, ac a aent gyda mi; pan aethum i Gymdeithas, dilynent fi yno: yn awr a phryd arall, llefarent wrth fy nghydwybod gan ddywedyd, 'Cofia y dwg Duw di i'r farn am hyn oll.' Nis gallwn gael blas ar fy ymborth; nis gallwn ymweled a'm cyfeillion yn gysurus, yr oedd difyrwch cnawdol yn boen i mi. Nis gallwn orphwys o herwydd nad oeddwn mewn cymmod â Duw.

Nis gallaf anghofio hyd angau y dedwyddwch a gefais yn yr amlygiadau o Gariad Duw yn Iesu Grist i bechaduriaid fel myfi. Syrthiais ar y ddaear, meddyliais dro ar ol tro mai 'Duw cariad yw.' Cofiais y rhan hono o'r Ysgrythyr Sanctaidd, 'Ni ddryllia gorsen ysig, ni ddiffydd lin yn mygu.' Cymmerais gysur, gweddiais, dadleuais yr addewidion bendigedig, a dywedais, 'Ai difatter gennyt fy ngolli?' Clywais ei lais graslawn yn dywedyd, 'Nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol.' O eiriau melusach na'r mel, ac na diferiad y dyliau mel.

Aethum at orsedd gras, taflais fy hunan i lawr yno, a dywedais, 'Fy Nhad, pechais yn erbyn y nef, ac o'th flaen dithau. Ac mwyach, nid ydwyf deilwng i'm galw yn fab i ti, gwna fi fel un o'th weision cyflog.' Dyrchafodd fi o'r llwch, edrychodd arnaf mewn tosturi a chariad, a dywedodd, 'Dygwch allan y wisg oreu a gwisgwch am dano ef, a rhoddwch fodrwy ar ei law ac esgidiau am ei draed. A dygwch y llo pasgedig a lleddwch ef, a bwyttawn a byddwn lawen. Canys fy mab hwn fu marw ac a aeth yn fyw drachefn, ac efe a gollasid ac a gaed.' Wylais, addolais, carais, a dywedais, arglwyddi eraill heb dy law di a arglwyddiaethasant arnaf fi, ond o hyn allan myfi a elwir ar enw yr Arglwydd.

### GWEDDI DDIRGEL.

Cyflawnir gweddi ddirgel bob amser cyn i waith y dydd gael ei ddechreu. Gwell yw myned oddiwrth weddi at fasnach nag oddiwrth fasnach at weddi, oblegyd bydd llai o feddyliau gwibiog i rwystro y weddi. Os caiff y byd y blaen ar grefydd yn y boreu, bydd yn anhawdd i grefydd oddiweddyd y byd ar hyd y dydd wedi'n. BURKITT.

Y mae tri o bethau yn angenrheidiol er iawn fwynhad o fendithion tymhorol. 1. Ystyriaeth o ddaioni y Rhoddwr. 2. Iawn olwg ar ein hanneilyngdod i dderbyn. 3. Ystyriaeth o'r ansicrwydd o hir fwynhaad o honynt. Gwna y cyntaf ni yn ddiolchgar, yr ail yn ostyngedig, ar trydydd yn gymmedrol.

Nid oes dim yn dangos gwerth bendith

yn gymaint a'n hamddifadu o honi, pan y dylai y mwynhaad o honi ein dysgu i'w gwerthfawrogi.

Mae y rhai sydd yn meddwl am nefoedd ar ffordd pechod, naill ai wedi cael allan ffordd na sathrodd yr un aeth yno arni, neu ynte a welant eu bod yn twyllo eu hunain yn y diwedd.—*Leighton.*

Un bachgen a aeth allan gydâ'i fam ryw nos serenog, a gododd ei lygaid i fynu ac a ddywedodd, 'Mae yn rhaid fod y nefoedd yn lle gogoneddus iawn.' Ei fam a ofynodd iddo, paham yr oedd yn meddwl hyny? Yntau gan godi ei fys at y ser, a ddywedodd, am fod hoelion y llawr mor ardderchog.

---

Y PERYGL O GELLWAIR AG ARGYHOEDDIAD.

Diamau nad ydyw pob argraff ddaionus ar y meddwl yn diweddu mewn gwir droedigaeth at Dduw.

Dechreuais fy ngyrfa grefyddol yn y byd gan ddal cymdeithas a thri o Gyfeillion. Un o'r rhai hyn ydoedd dra adeiladol mewn rhai pethau, ond buan y dangosodd nad oedd ganddo wir dduwioldeb. Yr ail a drodd at ei bechod fel 'ci at ei chwydiad, a'r hwch wedi ei golchi i'w hymdreiglfa yn y dom.' Y trydydd, yr hwn am beth amser a fu yn gyfaill mynwesol i mi; ond yn fuan deallais mai anffyddiwr ydoedd, a chymaint oedd ei awydd am anffyddiaeth fel yr arosai i fynu y nos i ysgrifenu gwaith *Tom Paine on the Age of Reason.*

Ymhen ychydig, goddiweddwyd ef a chlefyd peryglus, yr hyn a barodd wg a braw yn ei gydwybod euog, ac argyhoeddiadau dychrynllyd yn ei feddwl nes oedd ei enaid yn ymderfysgu ynddo. Pan yn glaf gorchymynodd i'r holl bapurau a fu yn colli cymmaint o'i amser i'w hysgrifenu, gael eu llosgi o flaen ei wyneb, ac a lefodd, llosgwch, llosgwch hwynt, uffern yw lle y rhain i gyd. Gwadodd ei gyfeillion anffyddawl ef ar unwaith; a chyda dagrau heilltion a galarnadau dolefus y cyffesodd ei bechodau, ac a addunedodd ddiwygio. Efe a iachaodd o'i glefyd, ond alaethus yw adrodd, iachau i fyned i'r un ffyrdd annuwiol a wnaeth, er nad i anffyddiaeth, etto i ddibrisdod cyhoeddus o grefydd.

O lygredigaeth a thrueni calon dyn yn coleddu pethau yn ei fynwes wrth fyw, y dymunai eu llosgi wrth farw!

SYLWEDYDD.

## COFIANT

*Am* MARY JONES, *Hendre Mawr, Plwyf Llanycil, Meirion, yr hon a fu farw Mai* 6, 1835, *yn* 24 *mlwydd oed.*

Ganwyd Mary Jones Gorphenaf 12, 1811; a'i rhïeni oeddynt David a Jane Jones, o'r Hendre Mawr, yn agos i'r Bala. Ei thad sy hyd heddyw yn un o henuriaid yr Eglwys yn Nhal-y-Bont, Waen y Bala.

Gan fod ei rhïeni yn grefyddol, cafodd hithau y fraint o gael ei magu wrth allor Duw, ac yn ei dŷ, o'i mebyd; a thrwy ei diriondeb Ef cafodd ei chadw yn y tŷ hyd derfyn ei hoes: a mynych y dywedai na choleddodd y meddwl lleiaf o fyned oddi yno erioed; ond 'hoffodd drigfan ei dŷ, a lle preswylfa ei ogoniant!'

O ran ei thymherau, yr oedd yn fywiog, effro, a serchiadol; ac yr oedd ganddi feddwl treiddgar,—deall cyflym—a chôf helaeth, ond yr oedd wedi aberthu ei chyneddfau i gyd at wasanaeth yr Arglwydd, ac wedi eu neillduo at bethau ei deyrnas Ef.

Byddai yn hynod am sylwi ar yr athrawiaeth a draddodid yn ei chlyw; ac un o destynau hoffaf ei hymddiddan cyffredinol ydoedd pregethwyr a'u pregethau. Gymmaint oedd ei sylw ar hyny fel yr oedd testynau a rhanau o bregethau wyth o Gymmanfaoedd olynol yn y Bala mor newydd ar ei chôf a'r rhai a glywsai y Suliau olaf o'i hoes. Ac nid yn unig yr oeddynt yn ei chôf fel rhyw bethau a barasent iddi hyfrydwch ar y pryd; ond mynych y dywedai ei phrofiadau oddi wrthynt, a'r hyn a wnaethai yr Arglwydd i'w henaid trwyddynt.

Yr oedd Mary Jones o duedd ddarllengar hefyd, a mynych y gwelwyd hi yn troi dalenau y Drysorfa, y'mhlith llyfrau ereill, at Fywgraffiadau a Hanes Duwiolion, a Hanes Cyfarfodydd Crefyddol, a'r materion a drinid ynddynt, yr hyn sy brawf amlwg mai pobl a phethau yr Arglwydd oeddynt wedi denu ei serch a'i chalon yn gyfan ar eu hol.

Yr oedd yn nodedig hefyd am drysori rhanau o'r Ysgrythyrau yn ei chôf. Yr oedd wedi dysgu Llyfr y Psalmau, Diarebion, Caniad Solomon, yr Epistol at y Rhufeiniaid, a'r Hebreaid i gyd oll; ac heblaw hyny, y rhan fwyaf o lyfr y Prophwyd Esay, a lluaws mawr o bennodau

ereill o amryfal fanau o'r Bibl. Medrai adrodd hefyd Hyfforddwr y Parch. T. Charles, ac amryw lyfrau ereill, ag sydd yn perthyn i'r Ysgol Sul, ar dafod leferydd.

Pan yr oedd Mary yn lled ieuangc, bu Diwygiad grymus iawn yn yr ardal hon, a mawr oedd y cynnwrf oedd yn ein plith, a theithio ym mhell ac yn agos i bob moddion crefyddol—pregethu a chyfarfodydd gweddi, a'r rhai hyn a gynnelid bron bob nos o'r wythnos; a llais gweddi a mawl a gorfoledd oedd yn llenwi yr ardal, pan oedd Yspryd Duw yn gweithio ar feddyliau llaweroedd, a'r gwlaw graslawn yn disgyn ar ei etifeddiaeth. Ac er mor ieuangc ydoedd Mary, mawr hoffai y gyfeillach grefyddol er bod rhai yn o wrthwynebol iddi oherwydd ei hieuengctyd; ond dyfod a wnae trwy bob rhwystr a'i cyfarfyddai. Yr oedd amryw wedi sylwi fod Mary hefyd yn wylo llawer yn yr oedran hyny o dan y Weinidogaeth. Aeth y Diwygiad hwn heibio, ond gwelwyd fod llawer wedi cael crefydd dda ynddo, a gafael ar wir gyfoeth trwyddo.

Ym mhen amryw flwyddi wedi hyny daeth Diwygiad arall i'r ardal hon, a gwelwyd hi yn uchel ei chân a'i gorfoledd, yn moli ac yn canmol ei Phryniawdwr a'i Duw, a hyny hyd oni byddai ei chyfeillesau yn uno â hi yn ei mawl, a'r gwrandawyr oll yn synu o'i herwydd. Pan y byddai ei hyspryd yn yr hwyl nefolaidd hon coffâi y geiriau hyny gyd â rhyw lewyrch rhyfeddol 'Bod Iesu Grist yn ben uwchlaw pob peth i'r Eglwys; ydyw, (meddai) y mae Efe yn ben yrwan yn y nef—tra yr ydym ni ar y ddaear, y mae efe yn ben yn y nef i ni ar y ddaear.'

Pan ydoedd o gylch pedair-ar-ddeg oed derbyniwyd hi yn gyflawn aelod Eglwysig i dderbyn Sacrament Swper yr Arglwydd; a phan oedd yn ddeunaw oed dewiswyd hi yn Athrawes yn yr Ysgol Sabbathol, yr hon swydd a wasanaethodd yn ddifefl hyd ei bedd, yn ffyddlon ac yn adeiladol i'r rhai oedd dan ei gofal.

Ym mis Awst, 1834, ymaflodd anwyd trwm yn ei natur, ac a drodd yn ddarfodedigaeth. Bu yn nychu yn ngafael yr anhwyl hwn ynghylch tri chwarter blwyddyn; ac er ei mynych-wendid cyrchai tra gallai i foddion gras, a denai i dŷ Duw tra y gallodd ymlwybro. Yn y Gwanwyn canlynol, trymhaodd ei hafiechyd a gwelwyd arwyddion angeu yn ei gwedd.

Ebrill 27, 1835, y diwrnod hwn canmolai lawer ar yr Arglwydd, gan ddywedyd, 'Da ac uniawn yw yr Arglwydd, a da y gwnaeth efe bob peth!' Gofynai un chwaer iddi, 'A ydyw efe yn para i fod yn dda i ti etto?' Attebai hithau, 'O! ydyw! yr ydwyf fi wedi rhoi fy achos iddo er ys llawer o amser bellach,' gan adrodd Iob 13. 18. Wele yn awr trefnais fy achos —gwn y'm cyfiawnheir: nid llawer o ofn uffern a fu arnaf fi erioed, ond ofn bod yn annuwiol, a bod yn elyn i Dduw. Yr ydwyf fi heno yn barod i ddywedyd fel Eli, 'Yr Arglwydd yw efe, gwnaed a fyddo da yn ei olwg.' Ychwanegai, 'fod Iesu Grist yn parhau yr un—y mae efe oll yn hawddgar:' yna adroddai y pennill canlynol:—

"Ni welaf neb yn debyg
I fy anwylyd cu,
Fy ngharu y'mhob rhyw drallod
Fu erioed, ac hefyd sy," &c., &c.

Yna gofynodd i'r un chwaer, 'Pa beth, a ddywedi di wrth yr adnod hono; 'y mae yn attal ei wynt garw ar ddydd dwyreinwynt,' &c. gan sylwi ar y gair hwnw, 'a dyma yr holl ffrwyth tynu ymaith ei bechod.' Soniai lawer hefyd am bren y bywyd, a'i fod bob mis yn rhoddi ei ffrwyth. Dyma beth i'w gael (meddai) bob amser ag y byddo eisieu."

Ebrill 28, dywedai bod diwedd y bennod olaf o'r Hyfforddwr ar ei meddwl erys dros bymthegnos, ac adroddai rai adranau o honi, gan ddywedyd fod Duw yn ddoeth, yn dda, ac yn drugarog, &c.

Mai 1, dywedai, 'Ein Duw ni sy Dduw iachawdwriaeth—pan ymddangoso Crist ein bywyd ni. O! na allwn waeddi y gair hwn, '*Ein bywyd ni,*' ac ychwanegai

'Pen Calfaria, &c,
'Nac aed hwnw byth o'm côf.'

Mai 3 (Sabbath). Ymwelai tri o fechgyn ieuaingc o'r ardal a hi pan yn dychwelyd adref o'r addoliad; a gofynai hithau iddynt—'A ydych chwi yn peidio a siarad geiriau segur wrth fyned a dyfod gyda'ch

gilydd ar hyd y ffordd ?' Attebent hwythau, 'Ni ddylem wneuthur hyny, a ddylem ?' 'Gwell (ebai hi) i chwi beidio dywedyd dim na siarad geiriau segur—bydd edifar genych ryw dro yn sicr—"Am bob gair segur a ddywedo dynion y rhoddant hwy gyfrif yn nydd y farn," &c.' Ym mhen ennyd, pan oedd un chwaer yn gwisgo am dani, a hithau yn bur glaf, dywedodd, 'Efe a gymmerth ein gwendid, ac a ddug ein doluriau.' Wedi hyny aeth brawd crefyddol i ymweled â hi, a chyfarchodd hi fel arferol: a hithau, gan edrych arno, a ddywedodd, 'Nid oes lidiowgrwydd ynof!' O! syndod! Crist a'n llwyr-brynodd oddiwrth felldith y ddeddf!'

Mai 4, gofynodd un chwaer iddi, 'Ai Crist ein bywyd sy genyt ti heno?' atebai hithau, 'Yn fwyaf heno, Crist a'n llwyrbrynodd oddiwrth felldith y ddeddf.' Nyni oedd yn haeddu y felldith hono onidê? O ïe, ond efe a'i cafodd, ac a aeth yn ddiwedd iddi! O syndod!' Yna wedi cael seibiant byr, dywedai, 'Y mae rhywbeth yn dywedyd wrthyf fod yn rhaid i mi fyned oddi yma—ond y mae pob peth yn dda—ond yr hen angau hwnw, go frwnt ydyw fo.' Y chwaer a'i hatebai, 'Y gelyn diweddaf ydyw.' 'O ïe, (ebai hithau) tros brydnawn yr erys wylofain, ond erbyn y boreu bydd gorfoledd:' ac ychwanegai,

'Ni theimlir yno unrhyw boen
Na neb yn achwyn clwy,' &c.

'Ni bydd yno ddim tristwch, na galar na phoen, byddant wedi eu claddu am byth,

'Dim achwyn mwy,
Ond canu am glwy Calfaria fryn.'

Byddai yn dra hoff o adgoffa rhanau o bregethau a wrandawsai ac a ddaliasai ar ei meddwl; ac yn ei dyddiau olaf yr oedd yn adrodd, yn fynych iawn, y rhan hon o Bregeth y Parch. Evan Harries, Aberhonddu, yn Nghymmanfa y Bala, yr hon a lefarodd oddiwrth Iob 19. 28. Sylwai y gwr parchedig am yr anian newydd, 'yr anadla hi o bob dyfnder i'r lân—Bachgen od iawn (meddai) oedd Ionah hwnw—ond ni waeth beth a fo, dacw yr anian yn ei galon o, a'r galon yn Ionah, a Ionah yn y morfil, a'r morfil yn y môr; ond dacw'r anian yn anadlu trwy Ionah, trwy y morfil, a thrwy y môr, tua'r deml sanctaidd.' Parai yr ymadrodd hwn lawer o hyfrydwch a budd iddi yn ei chystudd trwm ac hirfaith.

Mai 6, yr ydoedd yn lleag iawn y boreu hwn—yr ydoedd yn mhell yn nglŷn cysgod angeu, ac yn nyfnder yr Iorddonen, ond gwaeddai fel o ganol y tònau—'O! pe cawn i farw! Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw; a chyn nawn y dydd hwnw, cymmerodd ei hyspryd ei aden, a hithau a orphwysodd ac a hunodd yn yr Iesu.

Fel hyn y bu y chwaer hon fyw, ac fel hyn y bu farw; gan 'ymdrechu hardd-deg ymdrech y ffydd; cymmeryd gafael ar y bywyd tragywyddol; i'r hwn hefyd y'i galwyd, ac y proffesodd broffes dda ger bron llawer o dystion.'

Y nos wener ganlynol pregethodd y Parch. R. Jones, Bala, yn y wylnos, oddiar Heb. 11. 16. ac wedi hyny canwyd yr Anthem 'Y cyfiawn a drig yn y nef: a thranoeth ymgasglodd tyrfa luosog ynghyd i hebrwng ei chorph i dŷ ei hir artref ym monwent Llanycil, lle y gorwedd yn dawel hyd foreu y dydd

'Y naid i'r lân o'r fan fel
Glain cngur a glân angel.'

---

PENNILLION AR YR UN ACHLYSUR.

TON—"SWEET HOME."

O! deffro fy Awen ymysgwyd yn awr,
Mae'r testyn yn hynod, a'r achos yn fawr;
Ye dorodd yr angeu blanhigyn mwyn cu,
Yn dirf ac ireidd-lawn, a ffrwythlawn a fu;
Ffrwyth-lawn iawn a fu,
Yn arddel ei Harglwydd bu'n hynod o hy.'

Er hyny fe'i torwyd fe'i bwriwyd i'r bedd,
Er mwyned, a thirion, a gwiwlon ei gwedd.
Un foesol, a grasol, a duwiol ei dawn
Gwir gyfoeth a gafodd trwy rinwedd yr Iawn,
Iawn, Iawn—dim ond yr Iawn,
Oedd sylfaen ei bywyd foreuddydd a nawn.

Cael profiad maddeuant yn fwyniant a gadd,
Trwy rinwedd gwir aberth yr oen newydd ladd,
A phwyso ei henaid ar Berson Duw-ddyn
A'i chysur oedd beunydd fod Iesu yr un,
'R Un,' Un, Iesu—un
Ynddo yr hunodd, y rhoddodd ei hun!—

Ei swyddau Cyfryngol, mor rheidiol y rhai'n!
Yr hwn a goronwyd, a driniwyd â drain—
Ei angeu ar groesbren, oedd sylwedd ei chân
Cyn myned o'r ddaear i'r nefoedd yn lân,
Nef, nef—oedd ei lle
Rhyw anian oedd ynddi a'i thynfa i'w thref.

Hi ddysgodd iaith Canaan yn hoywlân ei
hwyl,
Cyn myn'd i Gaersalem i lon gadw gwyl;
*Iddo Ef* oedd ei hanthem tra bu ar y llawr—
*Iddo Ef* yw ei hanthem yn Salem yn awr,
*Ef, Ef, Iddo Ef,*
Medd Saint ac Angylion yn llon ag un llef.

O! angeu! pa'm tori blanhigion i lawr
Y'moreu eu dyddiau, ym mhuraidd eu sawr,
A gadaw ceubrenau hen, diffrwyth, i fyw,
Na ddygant ddim ffrwythau o foliant i Dduw
Pam! Pam! yn ddi hedd
Y bwri hawddgarwch ein broydd i'r bedd?

Ond angeu a ettyb—fe ddywed heb gêl—
Clyw, fab, ac ymwrando y'mhoethder dy sêl,
Nid ydwyf fi feistr ond gwas i un mawr
Sy'n Arglwydd y Nefoedd a lluoedd y llawr,
Mawr, mawr, ydyw Ef;
Yr Iesu deyrnasa ar orsedd y Nef.

Cyfnewid un cyflwr ni wnaethum erioed
Nis gallaf ymsyflyd na sangyd fy nhroed,
Tramwyfa wyf hefyd i'r eilfyd heb ble,
Porth ydwyf i uffern ac hefyd i'r ne;'
Ddyn, Ddyn, ystyr di,
Un weithred anghyfiawn na chyfrif i mi.

Ha! angeu! trwy bechod y daethost i fod,
Trwy bechod yr oesoedd y rhedi is y rhod,
Efe yw dy gwmni a'th golyn gwir yw,
Wyd elyn creulonaidd i holl ddynolryw,
Gwir—gwir—ynddi wad, [gwlad.
Trwm ydyw i'th gerbyd gael tramwy drwy'n

Yn ddiau, O angeu, wyd elyn i mi,
Os byddi heb golyn, pa ddiolch i ti?
Dy goncero a gefaist ar Gulfari fryn,
Bydd canmol tragwyddol rhyfeddol am hyn,
Cân—cân—hyfryd fydd
Am goncwest Calfaria yn ddiau ryw ddydd.

RISIART AB RISIART.

---

### COFIANT ELINOR CHARLES.

Merch ydoedd Elinor i'r Parch. John Charles a Grace ei wraig, o'r Penrhyn, Plwyf Trewalchmai, Swydd Mon. Ganwyd hi Mehefin 15, 1819. Cafodd ei magu a'i maethu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd o'i mabandod, a bu yn aelod parchus yn Eglwys Dduw ar hyd ei hoes. Cafodd ddysgeidiaeth gymmedrol. Yr oedd mor hyddysg yn yr Ysgrythyr lan fel y troai i un man a ofynid iddi yn ddirwystr; yr oedd ei chôf yn gryf ac yn fywiog; ei thymer yn siriol, a'i hymddygiad yn ostyngedig a boneddigaidd; ei hattebion yn barod, ac yn synwyrol: ac fel yr oedd yn aelod effro a ffyddlon yn yr Ysgol Sabbathol, barnwyd fod ynddi gymmwysderau addas i fod yn Athrawes, yn yr hyn y bu yn ffyddlon a llafurus, tra y gallodd.

Yr oedd hi yn hynod am gadw tangnefedd yn y teulu. Byddai pob cynnwrf yn archolli ei theimladau tyner; ymdrechai i dawelu pob amrafael gyda brys: un o'r tangnefeddwyr ydoedd: a hi a berchid gan bawb o'i chydnabod. Bu yn hynod ffyddlon at bob moddion gras tra y daliodd ei nerth.

Cymmerwyd hi gan y darfodedigaeth, a bu mewn gwaeledd nychlyd amser maith; ond yr oedd yn hynod o dawel a dyoddefgar yn ei holl gystudd. Parchai y Sabbath gyda gofal mawr: ni welid hi byth yn cellwair, nac yn segura ar ddydd yr Arglwydd. Ac mor hynod oedd ei chof yn mhethau yr Arglwydd fel yr adroddai 180 o bennillion Hymnau heb yr un llyfr.

Dywedai iddi gael llawer o ddiddanwch wrth feddwl am bregeth a glywsai ar y geiriau 'Efe a ddiddymodd angau,' &c. Pan ddywedodd ei thad ei bod yn byw yn ddichlynaidd, attebai gyda dwysder, beth am y pechod gwreiddiol? Gofynai i ei thad, a oes ar bobl dduwiol ofn marw? Att. oes. A ydyw y duwiolion yn gwybod eu bod yn dduwiol? Gallai eu bod, megis Iob, Moses, a Dafydd. Dywedai ei bod yn meddwl nad yw pobl dduwiol yn byw yn dduwiol iawn yn bresennol; am fod mor ychydig yn eu taflu o'u lle. Pan ddywedai ei thad fod pawb yn meddwl yn dda am dani hi; attebai, mai pechadures fawr oedd; ac O, mor werthfawr yw fod Iesu Grist wedi marw dros yr annuwiol! 'a'r hwn a ddel atto nis bwrir ef allan ddim.' Torrodd yn wylo mawr ar ei thad a hithau.

Dro arall, gofynai ei mam, a oedd hi yn dawel yn ei chystudd? Attebai, ei bod yn dawel iawn; ac y byddai yn cael llawer o gysur wrth fyfyrio yn y gair yn y nos pan byddai yn methu cysgu, teimlai gysur mawr oddiwrth y pennill hwnw;

'Mae angau'r groes yn llawn,
O bob rhinweddol ddawn,' &c.

a hwnw hefyd,

'Gwaed y groes sy'n codi i fynu
Yr eiddil yn goncwerwr mawr.'

'Buasai yn dda iawn genyf (eb hi) gael bod yn y cymmundeb yn gwneud coffa am farwolaeth Crist, pan oedd Mr. Roberts yn gweinyddu yr Ordinhad; er nad

wyf yn meddwl y buasai hyny yn fy achub. Yr ydwyf yn ofidus fy meddwl am na buaswn yn gyfrannog: yr ydwyf yn cael cysur oddiwrth y gair hwnw, 'Ni'th roddaf i fynu, ac ni'th lwyr adawaf chwaith;' ac hefyd, 'yr hwn sydd yn edrych ar weddi y gwael.'

Gofynai y Meddyg iddi, pa fodd yr ydoedd mor gysurus, a hithau mor wael? Attebai nad oedd yr Arglwydd yn rhoi dim gormod o gystudd arni. Gof. A ydych chwi yn meddwl ei fod o ryw les i chwi? Att. Mae 'pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw.' A ydych chwi yn caru Duw? Yr ydwyf yn meddwl fy mod.

Fel yr oedd ei chlefyd yn cryfhau a hithau yn gwanychu, dywedodd, O fy mam anwyl, mae'n dda iawn i mi erbyn hyn fod 'brawd wedi ei eni erbyn caledi.' Torrai ei mam i wylo, dywedodd hithau, O fy mam bach peidiwch a wylo; ni fedraf fi ddim peidio canmol Iesu Grist. 'Efe a ddichon yn gwbl iachau.' Noswaith arall, pan oedd mewn cyfyngder mawr, dywedodd yn effeithiol iawn, 'Cyfaill yw yn anfon angau, a ddeil fy mhen yn uwch na'r don.'

Pan dywedai wrth ei thad na wellha hi o'i gwaeledd, wylai ei thad, dywedai wrtho, O fy nhad anwyl peidiwch a wylo, myfi a gaf fyned at Iesu Grist. Dywedai wrth ei mam, bydd yn hyfryd iawn gyfarfod nad rhaid byth ymadael mwy. Y Sabbath diweddaf y bu hi byw, dywedai, mae hi yn dywyllach ar fy meddwl nac y bu ers tro; ond mae un olwg ar Iesu Grist yn chwalu y cymylau i gyd heddyw. Adroddai y geiriau canlynol mewn symledd gorfoleddus. 'Yn eu holl gystudd hwynt efe a gystuddiwyd.' Felly, wedi hir gystudd, a bod yn ddioddefgar dano hyd angau, ar yr ail dydd o Awst, 1836, ehedai ei rhan anfarwol i'r trigfannau nefol; lle na ddywed neb o'r preswylwyr claf ydwyf.

Pregethodd William Williams, Llanfachreth, y nos cyn ei chynebrwng, ar Esa. xxxv. 10. A'r Parch. Dafydd Jones, dranoeth cyn codi y corph ar Dat. xiv. 13. Yna cychwynasant dan ganu Salmau a Hymnau priodol i'r dydd, gan dorf liosog o blant yr Ysgol Sabbathol ymlaen, a'r dorf gyffredin, nifer mawr yn canlyn, dan ganu ar hyd y ffordd, yn yr Eglwys, ac wrth y bedd.

Felly rhoddwyd ei chorph i orwedd yn nhŷ ei hir gartref, yn mynwent Gwalchmai, hyd ganiad yr Udgorn diweddaf. 'Gwell yw enw da nac enaint gwerthfawr; a dydd marwolaeth na dydd genedigaeth.'

RHYS ROLANT.

## Gofynion.

A wnaed Crist dan y Cyfammod gweithredoedd? YOT.

A oedd Crist yn Gyfryngwr cyn cymeryd y natur ddynol? YOT.

## Attebion.

*Attebiad arall i Ofyniad Anwybodus, Rhif. 74. tu dalen 55, ynghylch cysondeb, Exod.* xii. 41. *Gen.* xv. 13. *Act.* vii. 6. *Gal.* iii. 17.

Att. Y mae yr yspaid amser sydd yn Gen. xv 13. ac Act. vii. 6. yn hollol yr un fath, ond yn Ecs. xii. 41. a Gal. iii. 17. yn wahanol. Dywedir yn Genesis a'r Actau mai pedwar can mlynedd oedd yr yspaid amser, yr hyn a wneir i fynu fel y canlyn:

O enedigaeth Isaac hyd enedigaeth Iacob, ydoedd tri ugain mlynedd. O enedigaeth Iacob hyd ei fynediad i'r Aipht ydoedd cant a deg ar hugain o flynyddoedd. O hyny hyd waredigaeth y genedl o'r Aipht ydoedd dau gant a deg o flynyddoedd, yr hyn a wna y pedwar can mlynedd rhag-grybwylledig.

Ond y deg mlynedd ar hugain y sonir am danynt yn Ecsodus a Galatiaid, ydoedd o'r amser y gwnaethpwyd yr addewid i Abraham hyd enedigaeth Isaac, neu fel y dywed Esponiad y Parch. J. Hughes, hyd ddiddyfniad Isaac: felly gwel anwybodus eu bod oll yn cyd-gordio.

C-S-DD.

O. Y. Gan fod y Cymry wedi eu anrhegu ag Esponiad mor ragorol ar yr Ysgrythyrau Sanctaidd (sef y Testament Newydd) o eiddo y Parch. James Hughes o Lundain, mae yn ddiameu mai buddiol fyddai i bob Cymro fod yn feddiannol arno; oblegyd fod ynddo Esponiad cynnwysfawr a melus, ac mae yr hyn sydd yn ymddangos yn ddyrys i'n deall ni yn cael ei hollol eglurhau.

## BARDDONIAETH HEBRAEG.

Yn llyfrau yr Hen Destament mae y cyfryw wahanol amrywiaeth yn y dull o ysgrifenu fel ag y mae yn amlwg fod rhan fawr o honynt yn farddoniaeth. Mae yn ymddangos fod llyfrau hanesion ac ysgrifeniadau cyfreithiol Moses wedi eu cyfansoddi mewn rhyddiaeth, ac mae mor eglur fod llyfr Iob, y Salmau, y Diarhebion, Caniad Solomon, y Galarnad, a rhan fawr o ysgrifeniadau y prophwydi o gyfansoddiad barddonawl, er nas gallwn sicrhau mewn perthynas i natur eu caniadau ond yn amherffaith. Darllener y rhagymadrodd hanesiol i lyfr Iob yn y bennod gyntaf a'r ail, ac eler ymlaen i'w araeth yn nechreu y drydedd, ac nis gellir methu a chanfod ei fod yn myned ar unwaith o fro rhyddiaith i ardal barddoniaeth. Yr oedd yr Iuddewon yn meithrin barddoniaeth er yn foreu; ond yn amser y brenhin Dafydd yr ydoedd mewn arferiad uchel ac ardderchog. Gwel 1 Chron. xxv.

Mae cyfansoddiad cyffredinol barddoniaeth Hebraeg o natur unigol a neillduol i'r iaith Hebraeg yn unig. Mae yn gynnwysedig mewn rhann pob gwers gyfattebol, ac yn y rhan fwyaf i ranau cyfartal, y rhai sydd yn atteb y naill i'r llall mewn sŵn a synwyr. Yn y rhan gyntaf o'r wers traethir ymadroddiad byr, ac yn yr ail wers helaethir arno, neu ailadroddir ef mewn ymadrodd gwahanol, neu rai gweithiau cyferbynir ef â'i wrthwyneb-ydd ond yn y cyfryw ddull, fel ag y mae yr un drefn ac agos yr un rhifedi o eiriau yn cael eu harferyd. Dyma yw rhediad cyffredinol barddoniaeth Hebraeg fel ag y mae amryw o siamplau i'w gweled yn yr Hen Destament, megis yn Salm xcvi. 'Cenwch i'r Arglwydd ganiad niwydd. Cenwch i'r Arglwydd yr holl ddaear. Cenwch i'r Arglwydd bendigwch ei enw. Cyhoeddwch o ddydd i ddydd ei iachawdwriaeth ef.' O herwydd y dull hwn o gyfansoddi mae ein cyfieithiad ni er mewn rhyddiaith yn dangos mor amlwg fod yr Hebraeg yn farddonawl am ei fod air yngair a'r iaith wreiddiol i fanylrwydd, ac am hyny mae ei dull a'i threfn wedi eu cadw i raddau pell.

Yr oeddynt yn arferyd offerynau cerdd, a phan byddent yn canu eu hymnau cyssegredig byddai y cantorion yn atteb eu gilydd bob yn ail, er siampl; pan fyddai un fintai yn dechreu y Salm fel hyn 'Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, gorfoledded y ddaear;' yna y lleill a gymerent i fynu y rhan gyfattebol 'llawenyched ynysoedd lawer.' Canai un 'Cymylau a thywyllwch sydd o'i amgylch ef;' attebai y lleill, 'cyfiawnder a barn yw trigfa ei orseddfaingc ef.' Meddylir fod y 24 Psalm mewn modd neillduol wedi cael ei chyfansoddi ar yr achos mawr a difrifol o ddwyn yr Arch drachefn i fynydd Zion: yr oedd yn rhaid fod y gwasanaeth ar yr achos nodedig yma gael effaith ardderchog. Tebygol fod yr holl bobl yn bresenol ar yr achos, a bod y Lefiaid a'r cantorion wedi eu rhanu a'u trefnu yn eu gwahanol gylchoedd, a'u holl offerynau cerdd ganddynt yn blaenori y dorf.

Ar ol y rhagymadrodd i'r Psalm yn y ddwy adnod gyntaf, a phan oeddynt yn dechreu esgyn y mynydd rhoddir y cwestiwn megis gan ran o'r côr, 'Pwy a esgyn i fynydd yr Arglwydd? a phwy a saif yn ei le sanctaidd ef?' Yna attebai y cydgor gyd a'r urddas mwyaf: 'Y glân ei ddwylaw a'r pur ei galon; yr hwn ni ddyrchafodd ei feddwl at wagedd ac ni thyngodd i dwyllo:' ac fel yr oeddynt yn dynesu at ddrysau y Babell er bod oll yn cyd uno yn y floedd yma, 'O byrth dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragywyddol: a brenhin y gogoniant a ddaw i mewn.' Ac yna fod rhan o honynt mewn llais is yn gofyn 'Pwy yw y Brenhin gogoniant hwn?' A bod yr atteb yn dilyn gan yr holl gydgôr gyd a'r un bri ac o'r blaen y funud y dygid yr Arch i'r Babell, 'Yr Arglwydd nerthol a chadarn, yr Arglwydd cadarn mewn rhyfel.'

Wele yr ychydig sylwadau amherffaith hyn i'ch sylw, ac os gwelwch yn dda eu cyhoeddi yn y Drysorfa, fe allai na bydd yn flinder i'ch Gohebwr 'H. Pritchard' eu darllen, er fy mod ymhell o feddwl eu bod yn attebiad i'w gais ef a welir yn Rhif. 67, tu dal. 210.—Yr eiddoch, NIHIL.

*Stilton, Chwef.* 28, 1837,

---

*Egluriad ar y geiriau anghynnefin a goddodd John Powell, o Lyfr Numeri, yn Rhif.* 75. *tu dalen* 82.

*Damhegion*—Ymadroddion tywyll.

*Gwahanglwyf*—Clwyf ffiaidd oedd yn gwahanu dyn oddi wrth ei berthynasau a'i gymmydogion, ac o dŷ yr Arglwydd.

*Pomgranadau*—Ffrwyth y pren Pomgranad.

*Ffigys*—Ffrwyth y ffigysbren. Nid ydynt yn addfedu mewn gwlad oer.

*Grawnwin*—Ffrwyth y Winwydden; felly hefyd y ffrwyth hwn.

*Corphol*—'dyn corphol,' dyn o gorph mawr a chryf.

*Cawri*—Dynion o faintioli mawr a chryf iawn.

*Ceiliogod rhedyn*—Hagab, (Lef. 11. 22.) Locust: nid yw y creadur bychan hwn mewn gwledydd oerion.

*Diffeithwch*—Lle diffaith—anialwch erchyll.

*Ysbail*—'Yn ysbail'--yn garcharorion gan eu gelynion.

*Odiaeth*—'da odiaeth'—da ragorol iawn.

*Celaneddau*—cyrph meirwon.

*Anair*—dryg-air—gair drwg.

*Defod*—Arferiad—dull a modd.

*Amryfusedd*—'Mewn amryfusedd'—drwy anwybod.

*Rhyfyg*—Anystyriaeth a chaledwch.

*Cynnutta*—Casglu cynnud, neu gasglu tanwydd.

*Llabyddio*—Lladd un drwy daflu cerrig atto.

*Eddi*—Sider, pleth o edafedd, *fringe*.

*Rhidens*—Pleth o edafedd, Eddi, *fringe*.

*Pla*—Clefyd dychrynllyd, yn cerdded yn gyflym, ac yn lladd yn fuan.

*Murmur*--grwgnach, siarad yn duchanllyd

*Trengi*—Marw, diffodd yn yr angau trwy fethu byw.

*Gwin-wryf*—Gwin-wasg, math o gafn a gwasg arno, i wasgu y gwin o'r grawn-win.

*Toreth*—Helaethrwydd, cynnyrchiad helaeth.

*Taenellu*—Ei daenu ar led yn ronynau bychain, *sprinkle*.

*Dwfr neillduaeth*—Dwfr i wahanu yr aflan oddiwrth y glân—Dwfr arbenig drwy daenelliad o'r hwn y glanheid yr aflan o dan y gyfraith seremonïol.

*Dihalog*—Un heb halogiad neu ddifwyniad seremonïol arno.

*Attebion ereill i Ofynion Ioan o Abergwaun.*

Yn gyntaf. Paham yr oedd Crist yn disgwyl cael ffrwyth ar y ffigysbren a hithau heb fod yn amser ffigys?

Fe ymddengys ddarfod i'r Iesu fyned at y ffigysbren yr unfed dydd ar ddeg o fis Abib, sef tri diwrnod cyn gwyl y Pasc, yr hon oedd ar y pedwerydd-ar-ddeg. A thrannoeth ar ol y Sabbath canlynol i'r Pasc yr offryment y blaenffrwyth i Dduw. Mae yn debygol gan hyny, ei bod yn amser ffrwythydd addfed, er na chasglesid hwynt. Wrth 'amser ffigys,' gan hyny, yr hwn nid ydoedd; y deallir amser casglu ffigys, yr un modd ac yn Math. xxi. 34. Marc. xii. 2.

Bydded hysbys iddo hefyd, fod y ffigysbren yn bwrw ei ffrwyth cyn i'r dail darddu allan; gan hyny cael dail arno yn lle ffrwyth oedd arwydd sicr ei fod yn ddiffrwyth. Gwel *Greville Ewing on the style of the Septuagint and the New Testament; and his Lexicon under the word sukon.*

Yr ail Ofyniad ydyw, Paham y darfu iddo ei felldithio am na chafodd ddim arno?

Mae yn ddiameu mai nid oblegyd iddo ddigio am gael ei siomi; ond iddo gymeryd yr achlysur i ddangos ei Dduwdod, ac i gadarnhau ffydd ei ddisgyblion.

CYFFIN GLAN CONWY.

---

Barchedig Olygydd,—Wrth ddarllen eich Trysorfa, Rhif. 73, tu dalen 8. mewn perthynas i'r pysgodyn yr hwn a lyncasai Ionah:—fe ddygwyd i'm cof y llinellau canlynol o eiddo yr Esgob Jebb, wrth sylwi ar Math. xii. 40. ar y geiriau *En tê koilia tou ketous* 'yngheudod y morfil' canys hyny yw gwir ystyr y gair *koilia*. Mae Anianyddion diweddar wedi sylwi, fod gan y Morfil fath o gwd, nid yn y cylla, ond yn y goslef, mor eang mal y mae y Morfil yn aml yn cymeryd ei ddau gyw iddo pan fyddont weiniaid, yn enwedig ar dymestl. I'r llestr hwn y mae dau agorfa, y naill i dynu yr anadl, a'r llall i'w fwrw allan: ac yno, yn ol pob tebygolrwydd, y cadwyd Ionah; nid mae yn wir heb wyrth, ond gyda'r fath fanylrwydd gwyrth yr hwn a ddangosir mor fynych yn yr Ysgrythyrau. Yr ystafell hon sydd fath o awyr lestr* yn atteb yn hollawl i'r gair *koilia* yn Matthew. Gwel *Sacred Literature, Page* 178.

CYFFIN GLAN CONWY.

---

*Atteb i Ofynion Athrawes Ysgol Sabbathol, Tŷ Ddewi, yn Rhif. 73. t. d. 19. ynghylch agwedd addas wrth ganu mawl.*

Gweled ymdrech a llafur am gael diwygiad mewn pethau *allanol* crefydd, sydd destyn llawenydd a hyfrydwch i bob gwir Gristion. Bod y rhan hon o'r gwasanaeth dwyfol (sef canu mawl,) wedi cael ei hesgeuluso gymmaint, gan bregethwyr, ac ysgrifenwyr, sydd wedi achosi gofid a thristwch i lawer.

Ond, gofynir; "Pa fath agwedd a ddylai fod ar ein cyrph, wrth gyflawni y gorchwyl pwysfawr hwn? pa un ai eistedd, ynte sefyll?"

Atteb. Sefyll ydyw yr agwedd mwyaf priodol; oblegyd dylai ein dull fod yn fywiog, ac effro, wrth gyflwyno mawl i Dduw mewn llais cân: ac y mae eistedd, yn enwedig wrth ganu, yn agwedd gysglyd, marwaidd, ac ammhriodol iawn.

Hefyd, gorchymynir i ni yn yr Ysgrythyr,—Cyfodwch, bendithiwch yr Arglwydd eich Duw.—Y rhai ydych yn sefyll yn nhŷ yr Arglwydd, y'nghynteddoedd tŷ ein Duw ni, Molwch yr Arglwydd; canys da *yw* yr Arglwydd: cenwch i'w enw; canys hyfryd *yw*. Nehem. 9. 5. Ps. 135. 2. 3. Rhaid cyfaddef gyda galar, mai *agweddau* ac *ymddygiadau* anaddas gyda'r gwaith o ganu mawl, ydyw un achos ei fod mor isel y'ngolwg y wlad yn gyffredinol. CWYLLOG.

—o—

*Atteb i Ofyniad Didimus y'ngyhylch yr Aberthau, yn rhif 73. Pa sawl rhyw o Aberthau, ynghyd a'u henwau, oedd dan y gyfraith seremoniol.*

Att. Yr oedd dan y gyfraith seremonïol dri math o Aberthau; megys, "Aberth dros gamwedd," (neu, dros bechod), "Aberth hedd," ac "Aberth diolch." Gwel, Lef. pen 3. 4. 5. a'r 6.

PLENTYN YSGOL.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Pregethau y Parch. John Hughes, Bont.*

Y mae yn ddiamau i gannoedd gael pleser ac adeiladaeth trwy ddarllain y pregethau rhagorol a gyhoeddodd Mr. J. Hughes, ar Farwolaeth Crist a'r dibenion. Er llawenydd dirfawr i'm meddwl, digwyddodd i ddwy bregeth arall o'i eiddo ddyfod i'm llaw. Y gyntaf ar natur anallu dyn, yn nghyd a'r drwg a'r perygl o wrthod Crist, oddiwrth 1 Pedr 2. 4. Yr ail ar y pwys a'r gwerth o fod yn 'iach yn y ffydd,' a'r mawr berygl a'r niwaid o wyro mewn barn; yn nghyd a rhai rheolau a chyfarwyddiadau, tu ag at fod yn iach yn y ffydd, oddi wrth Tit. 2. 2. Darllenais y ddwy; ac yn ol fy marn i, maent yn nerthol, a goleu, a chadarn, ac ysgrythyrol; ac yn werth i bawb eu prynu, eu darllain, a'u hystyried. Cefais hyfrydwch neillduol wrth eu darllain, ac yr wyf yn dymuno ar hen ac ieuangc eu prynu a'u defnyddio.

Yr wyf yn gobeithio y gwel cannoedd trwy y gyntaf y perygl o wrthod Crist, nes y byddant yn gweiddi yn ngeiriau ein hawdwr, 'Oh, oh, oh, ei dderbyn ef!' Ac y bydd yr ail yn foddion i'n ddeffroi i weled y perygl mawr o wyro mewn barn, nes ein cyffroi i chwilio beth a dywed yr ysgrythyrau, ac i lefain am Yspryd y gwirionedd i'n

* Nis gall y Morfil aros o dan ddwfr ddim dros o ddeg i ugain munud heb ddyfod i fynu i anadlu.

tywys i bob gwirionedd. Nid oes genym sail i ddisgwyl y cawn ein hawdwr am faith amser i ddringo ein pulpudau i lefaru wrthym, (y mae'r meddwl yn anhawdd ei ddioddef) ond trwy ei bregethau rhagorol sydd yn argraffedig fe fydd yn llefaru wrthym ni a'n plant wedi iddo farw. Y mae'r ddwy bregeth, yn nghyd a Chân ragorol ar lwyddiant yr efengyl, a Chyfansoddiad newydd ar ddwy o'r Psalmau, sef 45. a'r 103. M. 9. 8, am chwech cheiniog! Fe fu llawer yn rhoi eu harian am ddiodydd, i ddyrysu eu synwyrau, i ladd eu cyrph, a damnio eu heneidiau; ond mae y diwigiad presennol yn ein dysgu i roi ein harian am fara i'n cyrph a'n heneidiau, ac y mae'r pregethau hyn yn fara iach i'r enaid; gan hyny 'prynwch a bwytewch.' Yr wyf yn gobeithio y bydd i bawb y daw y pregethau hyn i'w cyraedd eu pwrcasu a'u defnyddio.

Tra dymunol fyddai pe bai athrawon cyfoethog, neu ddosparth y cyfarfodydd ysgolion yn prynu rhyw nifer o honynt (fel y gwnawd â'r ddwy gyntaf a grybwyllwyd) i'w rhoddi i athrawon tlodion, ac i ambell ysgolhaig rhy dlawd i'w prynu, eto a garai eu meddu a'u darllain.

Wedi i mi eu darllain, teimlais eiddigedd am i bawb eu meddu.

*Llanllugan.* RICHARD JONES.

---

*Pregethau y Parch. J. Jones, o Edeyrn.*

SYR,—Daeth i'm llaw lyfryn bychan dan yr enw, 'Sylwedd pedair arddeg o Bregethau y Parch. J. Jones, o Edeyrn, Sir Gaernarfon,' wedi eu casglu a'u cyhoeddi gan G. Solomon, Lleyn, o'r un wlad. Mae y pregethau hyn yn ei eiriau a'i ymadroddion ef ei hun, yn gymmaint felly, fel y darfu i'r darlleniad o honynt alw y Pregethwr i'm côf mor gryf, fel y dychymygais fy mod megis yn ei wrando ef yr awr hono. Yr oeddwn megis yn clywed ei lais a'i eiriau croewon, yn gweled ei wrol wedd, a'i ymddygiad gweddus ef yn y Pulpud. Mae y Pregethau byrion hyn yn nodedig o gynnwysfawr, melus, ysgrythyrol, pwysfawr, a dyddanus.

Mi feddyliwn yn sicr y byddai dda gan gannoedd o ddarllenwyr y Drysorfa weled un o'r pregethau hyn yn y Drysorfa, os caniatta Mr. G. Solomon, canys mi welaf mai ei eiddo ef ydynt yn awr.

Nid yw y llyfryn bychan hardd hwn yn cynnwys ond 48 o du dalenau, deunaw plyg. DARLLENYDD.

*Dyma y Ved. Bregeth.*

"A nyni y rhai ydym gryfion, a ddylem gynnal gwendid y rhai gweiniaid, ac nid rhyngu ein bod ein hunain." Rhuf. xv. 1.

Y rhai cryfion y pryd hyny oedd y rhai oedd yn adnabod rhyddid yr efengyl. Ond cofiwn fod y geiriau yn perthyn i'r rhai cryfion a gweinion hyd ddiwedd y byd. 'Ydym gryfion.' Nid yw pawb sy yn y byd yn gryfion yn y byd: nid yw pawb sydd ganddynt ras, yn gryfion mewn gras: gan hyny dylai y cryfion gynnal y gweiniaid. Nid cymmeryd ein cryfder i guro ein gilydd fel plant y byd, y rhai a roddant gyfrif i Dduw am gam ddefnyddio (neu ddrwg ddefnyddio) y cryfder a roddodd efe idynt.

Curo cydwybod wan, dyma guro erchyll, 1 Cor. viii, 12. Mae rhai yn y ffydd, ac etto 'yn wan yn y ffydd,' Rhuf. xiv. 1. er hyny maent yn angenrheidol i'r corph, 1 Cor. xii. 22. Nid yw pob aelod yn y wladwriaeth mor gryf a'u gilydd; Nid *Esquire* yw pawb. Mae trefn i bob plwyf gynnal ei weiniaid, Dnwiolion yw holl blant Duw yn cyd-deithio tu a'r nef; ond bod rhai fel ar fulod &c. dylai rhai cryfion aros, a chynnal y gweiniaid, fel Gen. xxxiii. 13. Esa. xlix. 10. Jer. xxxi. 8, 9.

Bydd yr un dynion yn gryfach a gwanach ar brydiau. Bu Abraham cyn waned fel nas gallai arddel ei wraig, Gen. xx. 2. ond gwel Gen, xxii. 1. Pedr yn gwadu ei feistr yn y llys o wendid, ond gwel Act. iv. 8, 13. Mae'n beryglus iawn i'r rhai cryfion fod yn gurwyr, canys hwy a ddyfethant y rhai gweiniaid; yn gyffredin, rhai llonydd yw y rhai cryfion.

Mae gan y rhai cryfaf eu gwendid; er mai nid yr un peth yw gwendid pob un: gan hyny dylem oddef ein gilydd, Eph. iv. 2. Iob yn gryf mewn amynedd, Abraham mewn ffydd, Moses mewn llarieidd-dra. Cafodd y rhai hyn fwy o dreialon na llawer o'r saint. Talent yw cryfder. Mae pob cryfder, gan ddyn annuwiol, 'fel modrwy aur yn nhrwyn hwch.' Os dawn canu, canu gwagedd; os dawn ymadroddi, siarad gwagedd; pwy a all ddyweud i ba faint o domenydd a phyllau budron yr â yr hwch a'r fodrwy aur mewn un dydd? Diar. xi. 22. ('Benyw lân heb synwyr,' yw'r gydmariaeth; etto gellir cymmeryd addysg yn helaeth) pe buasai y fodrwy aur ar fys gwr neu wraig foneddig, hi gawsai barch.

Datguddio gwendid yn lle ei gynnal y bydd ambell un; nid felly y bydd rhieni plant pan bo y rhai bach yn methu attal eu dwfr, &c. Mae Iesu yn gryf i gynnal ei holl eglwys, fel craig i gynnal adeilad, Matt. xvi. 18. Os gwan ydwyt, cydnebydd dy fod yn drwblus i'r teulu, a chydnebydd eu gofal am danat. A wyt ti yn wan? paid ag ymhel â phethau rhy drymion, barnu materion, penderfynu pethau amheus, a dadleugar. Hynod yw plant bychain am ymaflyd â pethau rhy drymion iddynt yn aml, ac felly yn syrthio. Medd y rhieni, O ffei! beth yr wyt ti sy'n fawr yn gwneud i'th frawd bach grio? ti ddylit wybod gwell pethau.

Mae gan y gweiniaid lawer soil arni hi; os na fedr y cwningod ymladd â mastiffgwn, hwy redant i eu tyllau, Er nad yw y pys

Yn tyfu fel derw; etto hwy ymdroant am priciau. Tro dithau o gwympas Iesu Grist; os na fedr plant gerdded hwy ymaflant yn y meinciau.

Nid gwan oedd y Phariseaid ond rhagrithiol, pan byddent yn tramgwyddo wrth Grist am iachau ar y Sabbath; nid oedd eisiau eu cynnal. Mae pen y cristion yn rhy drwm i neb ei gynnal ond Crist; nis gall ei frodyr na'i ddoniau ei gynnal,—ond Crist yn unig, Can. ii. 6, 8. Mae cur yn mhen y saint gan rym eu pechodau, &c. 'Cynneliwch fi âg afalau;' haeddiant cyfryngdod Crist, y pren afalau.' Nis gwyr proffeswyr ffurfiol, na phlant y byd am y clefyd hwn. Mae rhai mor weiniaid a'u bod yn dyfod ar fulod, ac ar elorau meirch. Pe bait tithau wedi blino ar Babilon, byddai dda genyt ddyfod oddi yno ryw ffordd: disgwyl rhyw beth mawr yr wyt tithau i weithio ar dy gyflwr, yna ti a ddoit at Grist, debygit ti.—Nid boddloni ei hun yr oedd Crist. Pe buasai Moses am ei foddloni ei hun, nid aethai o'i esmwythder at bobl Dduw, oedd yn y caledi; ond, pa beth oedd myned at bobl Dduw o balas Pharoah, wrth Phil. ii, 6?

---

TRAETHAWD AR DRUGAREDD CRIST,

*A gyfieithwyd i'r Gymraeg, allan o waith Dr. Grosvenor.*

'Ac efe a ddywedodd wrthynt, felly yr ysgrifenwyd, ac felly yr oedd yn rhaid i Grist ddyoddef, a chyfodi o feirw y trydydd dydd: a phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl Genhedloedd, gan ddechreu yn Ierusalem.'—Luc xxiv. 46, 47.

Mae y bendithion gwerthfawr 'Edifeirwch a maddeuant pechodau,' yn cael eu cynnyg a'u cyhoeddi, yn gyntaf i'r pechaduriaid mwyaf gwrthnysig, 'gan ddechreu yn Ierusalem.' Y mae yn syndod fod y cynnygiad cyntaf o ras, yn cael ei roddi iddynt hwy o holl drigolion y byd, sef y rhai a wnaethant y dirmyg mwyaf ar awdwr gras. A bod y rhodd nefol, yn cael ei chyfranu i'r rhai nad oeddynt yn rhyglyddu y lleiaf. Nid am fod neb yn haeddu, pe felly ni byddai o ras. Hwynt hwy y rhai a wnaethant yr amharch i Grist, yn y mesur tu hwnt i'w ddarlunio, etto y rhai hyny oeddynt uchaf yn ei ofal, ac yn flaenaf yn ei drugaredd. Dyma y rhai na ddangosent y drugaredd leiaf iddo ef, etto yn cael cymaint trugaredd.

Fe fuasai rhyw un yn meddwl mai math arall o Gommisiwn a fuasai Crist yn roddi i'w Apostolion. Ac y buasai yn dywedyd, pregethwch edifeirwch a maddeuant pechodau yn fy enw i, eithr nac ewch i Ierusalem, y ddinas annuwiol hono, yr hon a fu yn lladdfa i'm holl broffwydi, y rhai a anfonais attynt. Y maent wedi llenwi ei heolydd, â gwaed fy rhai anwyl. Ar eu hol, yr anfonais Ioan fedyddiwr, yr hwn oedd ganwyll ddysclaer yn llosgi; lladdasant ef yn y carchar. Ac yn ddiweddaf oll myfi y Mab a anfonwyd attynt, 'a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliant ac a laddasant.' Fe allai mae yr un peth a wnant i chwithau, oblegyd ni chaiff y dysgybl ddim gwell na'i Arglwydd. Nac ewch trwy byrth Ierusalem; oblegyd trwy byrth y ddinas annuwiol yna, yr arweiniwd fi, awdwr yr Efengyl, i'm croeshoelio, a thrwy heolydd Ierusalem y'm fflangellwyd; yn Ierusalem y'm galwyd yn gablwr, yn Ierusalem y poerwyd yn fy wyneb. Mi fûm yn pregethu yno fy hun, y tair blynedd hyn. A'r cwbl wedi bod yn ofer. Yr ydwyf wedi bod yn wylo uwch ei phen; wedi cymysgu fy nagrau gyda'm pregethau. Yr ydwyf wedi arddangos iddynt fy hawl a'm cymeriad allan o lyfrau Moses, a'r holl brophwydi. Ni atteliais ddim oddiwrthynt heb ei fynegi iddynt. Yr ydwyf wedi dangos iddynt fy Nuwdod, yn y gwyrthiau a gyflawnais. Ac wedi selio y cyfan â fy ngwaed, etto ni wrandawsant. 'O Ierusalem, pe gwybuasit yn dy ddydd hwn y pethau a berthynant i'th heddwch; ond yr awr hon y maent yn guddiedig oddiwrth dy lygaid:' ac felly gadewch iddynt, canys yr wyf yn gorchymyn i chwi fy Apostolion, i bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau i bob cenedl arall dan y nef, ond nac ewch i Ierusalem.

Ond, nid meddyliau Duw yw ein meddyliau ni, ac nid yw ei ffyrdd ef megis ein ffyrdd ni; canys fel y mae y Nefoedd yn uwch nar ddaear, felly uwch yw ei feddyliau ef, na'n meddyliau ni. Y ffordd fwyaf gyffredin gan ddynion pan wnelo rhai eraill rhyw gmawri tuag attynt, ydyw dial arnynt, ond nid felly Crist, fe ddewisodd ef ei elynion i roddi siampl o drugaredd iddynt, a'r cynnygiad cyntaf o fywyd tragwyddol. Fel pe dywedasai ein Harglwydd, y mae yn wirionedd, bod fy nioddefiadau yn feddyginiaeth i'r byd, ac mi yr ydwyf wedi rhoddi fy mywyd yn bridwerth, fel y byddai i'r Cenhedloedd i gael eu dwyn yn agos, a holl derfynau y ddaear, i weled iachawdwriaeth ein Duw. Am hyny ewch at yr holl genhedloedd a chynygiwch iddynt yr iachawdwriaeth. Eithr rhag i dŷ Israel dlawd feddwl eu hunain yn wrthodedig, ac yn anobeithiol; had Abraham fy hen achau yn ol y cnawd, er mor greulon, ac angharedig y maent wedi ymddwyn wrthyf, ewch er hyny, rhoddwch iddynt y cynygiad cyntaf o'r Efengyl; gadewch i'r rhai a darawsant y graig yfed yn gyntaf o'i dyfroedd bywiol.

Dywedwch wrthynt, fod croesaw yn y rhinwedd meddyginiaethol sydd yn fy nghwaed. Dywedwch wrthynt, fy mod wedi fy anfon at ddefaid colledig tŷ Israel; er iddynt ddirmygu fy nagrau, a gwaeddi, 'bydded ei waed ef arnom ni, ac ar ein

plant!' Dywedwch mai o'u hachos hwynt y tywelltais i fy nagrau, a'm gwaed. Er mwyn meddalhau eu calonau tuag at Dduw, a'm gwaed, er mwyn cymmodi Duw â hwythau. Dywedwch wrthynt fy mod yn fyw drachefn, ac na bydd fy marwolaeth yn ddamnedigaeth iddynt. Ac nad ydyw fy nghroeshoelio yn bechod anfaddeuol. Dywedwch bod gwaed Iesu yn glanhau oddiwrth bob pechod.

Dywedwch wrthynt eich bod wedi gweled ol yr hoelion yn fy nwylaw, a'm traed. Ac archoll y waywffon, yn fy ystlys. Os edifarhant; y mae pob archoll a roisant i mi yn llefaru heddwch o'u plaid. Ac yn dadleu maddeuant gan fy Nhad. Dywedwch, 'edifarhewch fel y dileer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd.' Os cyfarfyddwch â'r adyn hwnw, a'm brathodd yn fy ystlys â'r waywffon, dywedwch wrtho, fod ffordd arall i ddyfod at fy nghalon, dim ond iddo edifarhau ac edrych trwy ffydd, ar yr hwn a drywanodd, a galaru; myfi a'i hymgeleddaf yn y fynwes yr hon a archollodd. Fe gaiff y gwaed a dywalltodd fod yn Iawn helaeth am y pechod o'i dywallt, a dywedwch wrtho, ei fod ef yn rhoddi mwy o anfri, ac anfoddlonrwydd arnaf wrth wrthod fy nghwaed, nag wrth ei dywallt.

Er iddynt wrthod fy athrawiaeth, a chablu fy nwyfoldeb, ac amharchu fy mherson, cymeryd fy mywyd oddiarnaf, a dywedyd mai trwy Beelzebub yr oeddwn yn gwneuthur gwyrthiau; er hyny ewch i Ierusalem, ac wrth ddechreu yno, y danghoswch anfeidrol drugaredd, a gras Duw, fel y cyffesont ei fod ef yn waith rhy dda fod gan y diafol un llaw ynddo, rhy dduwiolaidd iddo ef gynorthwyo, fel yr anghoedder hwynt o'u pechodau, 'Gan ddechreu yn Ierusalem.'

*Beaumaris.* ROBERT LLOYD.

---

## TRAETHAWD AR YR WYDDELAEG.

Mae yn perthyn i Iaith y Gwyddelod lythyrenau ac egwyddor ar ei phen ei hun, megis ag y mae i'r Iaith Groeg; ac i Ieithoedd ereill. Mi a brynais Sillydd a Geirlechres (*Spelling Book and Vocabulary*) yn yr Iaith hono, pan fum yn eu mysg, yr hwn lyfr sydd yn awr ger fy mron, o'r hwn yr wyf yn bwriadu tynu rhai siamplau, ac ar yr hwn mi wnaf rai sylwadau, y rhai, mi wn, a fydd yn ddifyrus gan amryw o ddarllenwyr y Drysorfa, ac, fe allai, yn fuddiol i rai o honynt.

Yn yr egwyddor hon nid oes ond deunaw o lythyrenau, y rhai a ymddangosant ar yr olwg gyntaf yn debyg i'r hen lythyrenau sy mewn hen lyfrau yn Gymraeg a Saesoneg, y rhai a elwir gan y Cymry, 'llythyrenau blewog.' Mi a adwaenais bedair ardeg o honynt ar yr olwg gyntaf a welais arnynt, oddiwrth eu cyffelybrwydd i ryw raddau i'r llythyrenau Rhufeinaidd y rhai a arferir genym ni yn Gymraeg a Saesoneg.

Y llythyrenau a adwaenwn a seiniant fel, ac ydynt yn lled debyg i'r rhai hyn:—a, b, c, d, e, f, l, m, n, o, p, t, u, h. A'r pedair nad adwaenwn, ond a ddysgais yn fuan, oeddynt:—g, i, r, s. Felly nid oes eisiau nemawr o lafur i ddysgu yr hen Egwyddor Wyddelaeg.

Nid oes genym Argraff-lythyrenau Gwyddelaeg, pe amgen nyni a argraffasem y llythyrenau hyn er hysbysrwydd i'r Cymro.

Gwyr amryw o'n darllenwyr fod enwau ar y llythyrenau Hebraeg; megis, Aleph, Beth, Gimel, Daleth, &c. Yn gyffelyb y llythyrenau Groeg; megis, Alpha, Beta, Gama, Delta, &c. Felly hefyd mae enwau ar y llythyrenau Gwyddelig.

Enw rhyw bren, neu berth, sydd ar bob llythyren; a'r llythyren hono a enwir felly, sydd yn dechreu yr enw sydd ar bob un o honynt. Mi a gymmerais y drafferth, o gyfieithu yr enwau hyny i'r Gymraeg. Yn y daflen isod ceir gweled enwau y Llythyrenau yn y Wyddelaeg, yn Gymraeg, ac yn Saesoneg, ynghyd a'u sain mewn llythyrenau Rhufeinaidd, yr hyn yn ddiau a foddia y celfydd a'r athrylithgar.

| Sain. | Gwyddelaeg. | Cymraeg. | Saesoneg, |
|---|---|---|---|
| a | ..ailm | ..Palmydden.... | Palm-tree |
| b | ..beit | ..Bedwen ...... | Birch-tree |
| c | ..coll | ..Collen ........ | Hazle tree |
| d | ..duir | ..Derwen ...... | Oak |
| e | ..éada | ..Aethnen ...... | Aspen |
| f | ..fearn | ..Gwernen...... | Alder |
| g | ..gort | ..Eiddew ...... | Ivy |
| i | ..ioga | ..Iwen ........ | Yew-tree |
| l | ..luis.... | Cerddinen .... | Quicken-tree |
| m | ..muin | ..Gwinwydden .. | Vine-tree |
| n | ..nuin | ..Onnen ........ | Ash-tree |
| o | ..óir | ..Piswydden .... | Spindle-tree |
| p | ..peit | ..Pinwydden .... | Pine-tree |
| r | ..ruis | ..Ysgawen ...... | Elder-tree |
| s | ..suil | ..Helygen ...... | Willow |
| t | ..teine | ..Eithinen...... | Furze |
| u | ..úr | ..Grygen ...... | Heath |
| h | ..vat | ..Draenenwen .. | White thorn |

Mae gan y Gwyddelod Feiblau a Thestamentau Gwyddelaeg yn eu llythyrenau eu hunain, y rhai a nodwyd uchod, a llyfrau ysgol hefyd. Y mae ganddynt hefyd, Feiblau, Testamentau, a llyfrau Ysgol yn yr un iaith mewn llythyrenau Rhufeinaidd.

Derbyniasom lythyr oddiwrth un Kyffin yn rhoi cyfarwyddiadau pa fodd i seinio y llythyrenau Rhufeinig yn yr Iaith Wyddelaeg, yr hwn a osodwn yma i lawr air yn air.

---

Anwyl Syr,—Wrth ddarllen y Drysorfa am fis Tachwedd, tu dalen 347, sylwais eich bod mewn petrusder oblegid sain yr iaith Wyddelaeg, gan hyny dymunwyf,yn ostyngedig, roddi yr hyn a ganlyn i'ch sulw.

*Am y Llafariaid.*

Fe swnir y Llafariaid Gwyddelaeg *a, e, i, o*, fel yn Gymraeg; ac *u*, fel *w* Gymraeg.

Pan fyddo acceniad uwch eu penau, megis á, é, &c. seiniant yn hirllaes, fel â, ê, yn Gymraeg.

*B*, a swnia fel *B*, Gymraeg; *Bh*, a swnia fel *f* Gymraeg; megis *beol*, genau, *do bheol* (do feol) dy enau.

*C*, fel c. Gymraeg, yn galed. *Ch*, fel *ch* Gymraeg; megis *Cos*, Coes; *mo chos (mo chosh)* fy nghoes.

*Dh*, yn nechreuad geiriau, os dilyner hwynt â llafariaid hirion a seinir fel *dd* Gymraeg, gydag *i*; megis *Dho*, a seinir *ddió*. Ond os ynghanol gair neu o flaen llafariad fér, hi a seinia fel *i* yn unig; megis *Se fiadhnuisi*, y Tystiolaethai ef; seinir *Ffiainwisi*. Ond pan derfynont air, seinir hwynt fel *H*; megis *Leaguidh me* (Mi a dynaf); seinir Leaguih.

*F*, a seinir fel *ff* Gymraeg. Ond *Fh* ni seinir mewn un modd; megis *a fhair, o ddyn*, seinir á air. *Mh*, a seinia fel *f*, neu *w*.

*G*, fel yn Gymraeg; ond *Gh* yn gyffelyb i *ch*, ond yn wanach fel yr *G* Allmanaidd derfynawl, fel pe bai yn diweddu gydag *i*. Ond ynghanol gair, fel *i*; megis *do ghreamughadh, ei ben ef*; a seinir *chireamwiah*.

*Ph*, fel *ff* Gymraeg.

*S*, fel *sh* Saesoneg.

*Sh*, fel *h*—*Th*, fel *h*.

Pan fyddo dwy *c* ynghyd, *(cc)* yn nechreu gair, seiniant fel *g*.—a dwy *t (tt)* a seiniant fel *d*.

*Mt*, yn nechreu gair a seinia fel *m* yn unig.

*Gc*, a seinia fel *g*.

*Bhf*, a seiniant fel *f*,

*Df*, a seiniant fel *d*.

*Tf*, a seiniant fel *t*.

*Mf*, fel *m*. *Bp*, fel *b*. *Tsl*. fel *tl*. *Dt*, fel *d*.

Mae yn ymddangos i mi mai nid gwaith Sais yw yr Orgraph Wyddelaeg bresenawl; canys mae Treigliad yr Iaith yn gofyn y cyfryw ddull yn nhreigliad ei geiriau er mwyn cadw eu gwraidd. Ac mae yn hysbys fod y dull hwn yn arferedig ers oesau.

Engraifft o ddarlleniad yr adnodau cyntaf o'r Bennod gyntaf o Efengyl Ioan, y rhai a welir yn Rhifyn Tachwedd.

*Yr adnodau fel y maent yn y Testament Gwyddelaeg, llythyrenau Rhufeinig.*

AN SOISGEUL DO REIR EOIN.

CAIB. I.

ANN sa tosach do bhi an Bhriathar, agus do bhi an Bhriathar a bhfochair Dé, agus do bé Dia an Bhriathar.

2. Do bhì so ar tús a bhfochair Dé.

3. Leisean a táid na huile neithe déunta, agns gan é ni bhfuil éinni déunta, da ndéarnadh.

4. Ann san do bhí beatha, agus dob i an bheatha solus na ndáoine:

5. Agus soillsighidh an solus sin ann sa dorchads, agus níor g habh an dorchadas chuige é.

6. Do cuireadh duine ó Dhía dár bhainm Eóin:

7. Taínic an té so mar fhiadhnuisi, do chum go ndéanadh sé fiadhnuisi don tsolus, ionnus go gcreidfidis cách uile thrid.

8. Níor bhésean an solus ud, achd *do cuireadh e* ionnus go ndéanadh sé fiadhnuisi don tsolus ud.

9. Do bé so an solus firnneach shoillsigheas gach uile dhuine dá dtig ar a tsáoghal.

*Eu darlleniad yn ol seiniad y llythyrenau Cymraeg.*

AN SHOISHGEWL DO REIR EOIN.

CAIB. I.

ANN sha toshach do fi friahar, agwshdo fi an friahar a fochair Dê.

2. Do fi sho ar twsh a fochair Dê.

3. Leishean a taid na hwile neihe dêwnta, agwsh gan ê ni fwil êinnî dêwnta, da ndeanah.

4. An shan do fi waha agwsh dob i an feaha sholwsh, na ndâoine.

5. Agwsh shoilshihid an sholwsh shin ann sha dorchadash, agwsh nior chiah an dorchadash chwige ê.

6. Do cwireah dwine ô ddia dâr fainm Eôin:

7. Tainic an te sho mar fahnwishi, do chwm go ndêanah shê fiainwishi don tsolwsh, wnnwsh go gcreidffidish cach wile rhid.

8. Nìor fishean an sholwsh wd, achd do cwireah e wnnwsh go ndeanah she fiainwishi don tsholws wd.

9. Do bê sho an sholwsh ffirinneachhoilshiheash gach wile ddwine da dig ar a tshaohial.

CYFFIN GLAN CONWY.

---

RHESTR O WEINIDOGION A PHREGETHWYR, PERTHYNOL I'R METHODISTIAID CALVINAIDD, YN SWYDD GAERNARFON.

Fy Anwyl Frawd,

Ar ddymuniad amrai o'm cyfeillion crefyddol, yr ydwyf yn anfon i chwi Restr o enwau y dynion ag sydd genyf eu hanes y rhai a fuont yn Cyngori, ac yn Pregethu yn Swydd Gaernarvon er dechreuad y diwygiad yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd yn Nghymru.

Cymmerais yr hyfdra o wneuthur rhai sylwadau ar rai o'r prif bethau oedd yn rhagori yn y rhai a adwaenwn i fy hun; o'r brodyr parchus a fuont feirw.

Dodaf yma, yn gyntaf, enwau y rhai a ymadawsant a'r byd hwn. Y cyntaf o'r rhai hyny,

Robert Elis, o'r Cwm Glas, Lanberis, Arfon. Yna.

Evan Dafydd, Hafotty Rhyg, Arfon.

Morgan Griffith, o Leyn.

John Jones, Llanor: symudodd i Lansantffraid, Sir Dinbych, a gelwid ef gwed'yn John Jones Llansantffraid.

Evan Roberts, o Leyn.

Siarl, neu Charles Marc, o Leyn. Yr oedd y gwr hwn yn cael ei gyfrif yn Bregethwr; Cynghorwyr y gelwid y lleill.

Robert Williams, o Drewen, yn Lleyn.

Griffith Pritchard, o Leyn.

Charles Pritchard, ei frawd.

John Hughes, o Leyn.

Robert Owen, Tŷ Gwyn, o Leyn.

Richard Jones o Lanengan, Lleyn.

Hugh Thomas, Lleyn: hynod mewn gweddi oedd y gwr hwn, medd y rhai a'i clywodd.

Richard Dafydd, yn Lleyn.

Edward Roberts, gerllaw Pwllheli.

Daniel Roberts, galwai rhai ef Daniel Roberts, y Gof, o Leyn. Yr oedd y bachgen hwn (meddent) wedi derbyn doniau ystwyth, iraidd; ac o dymer hynod o enillgar. Aeth i America, ac yno y bu farw.

Thomas Griffith, Waen fawr, tad yr enwog fardd, David Thomas.

Nid oes genyf ond eu hanes; ni chlywais, ac nis gwelais un o honynt erioed, am a wn; ond clywais y canlynolion.

Thomas Evans, Waen fawr. Ymresymwr cadarn oedd y gwr hwn: ystyrid ef yn Bregethwr, yr oedd yn gymmeradwy gan fyd ac Eglwys, bu farw yn 48 oed. Gwnaeth Dafydd Thomas Farwnad ragorol iddo.

Ei fab, Evan Evans, oedd fel rhyw 'Rosyn hardd yn Ngardd yr Arglwydd.' Yr oedd y dyn ieuangc hwn wedi derbyn doniau darn debyg i Elihu gynt, goeliaf fi; ond i ryw ddoeth ddybenion fe welodd ei Dad nefol yn dda ei gymmeryd ef ymaith yn moreu ei ddiwrnod. Fe'i tarawodd angau ef yn mawd ei droed i gychwyn. Fe symudodd i Sir Drefaldwyn i ymofyn meddyginiaeth trwy rinwedd dwfr rhyw ffynonau sydd heb fod yn bell iawn oddiwrth Lanidloes. Ond dilyn a ddarfu angau nes gorphen ei waith. Felly bu farw E. Evans yn Llanidloes. Mae ei Goffadwriaeth yn barchus yno hyd heddyw, gan yr hen bobl oedd yn ei adnabod. Mae efe yno yn gorwedd, a'i fedd yn ochr bedd John Pierce.

John Jones, o Leyn, yr hen.

A'i fab John Jones, Penrhyn. Gwel hanes yr hynaf yn 'Nrych yr amseroedd.'

Fe deithiodd yr ieuengaf lawer iawn ar hyd De a Gogledd Cymru i ddyweyd am 'y Gwaredwr a ddaeth allan o Sion.' Yr oedd y gwr hwn yn bur ddiabsen am bawb.

John Griffith Ellis; gwel ei hanes yn 'Nrych yr amseroedd.'

Richard Hughes, Bryn Engan, gwel Drych yr amseroedd.

John Daniel, o Leyn: ffyddlon oedd efe yn ei gylch.

Thomas Elis, yr Hafod, ffyddlon yn ei gylch bychan oedd yntau.

Robert Owen, Bryn y Gadfan: dyoddefodd raddau o erledigaeth.

William Dafydd, Llanllyfni, gwr call, addfwyn, ennillgar, cymmeradwy oedd efe: trafaeliodd lawer hefyd.

Robert Roberts, o Glynog; fel Seren oleu, danllyd; taranau, a mellt, gwlaw, a gwlith, a fyddai yn ei weinidogaeth; drych feddyliau eglur: Areithiwr rhydd. Yr oedd tanbeidrwydd, ac arddeliad, yn, ac ar ei bregethau, bob tro at eu gilydd, meddaf, yn rhagori i'm tyb i, bron ar neb a glywais; er i'm glywed rhai, ar brydiau, yn cystadlu ag ef yn hyn. Yr wyf gyda gwylder yn rhoddi fy marn yn y peth hyn.

Robert Owen, Derwyn uchaf; boneddigaidd, croew, a chryno.

Richard Williams, Carnarfon, selog; ychydig a fu ar y maes.

John Williams, Llandegai: ffyddlon, diwyd, rhagorol yn y cyfarfodydd eglwysig neillduol.

Griffith Jones, o Dremadoc, bywiog, a than arddeliad llewyrchus.

Griffith Jones, Ynys y Pandy: hynod ar weddi: defnyddiol yn ei gymydogaeth. Symudodd i Sir Feirionydd, a bu farw yno.

John Roberts, Llanllyfni; Athraw tanllyd, effro, llafurus. Gellir dyweyd am dano, o ran ei lafur, fel am y wraig rinweddol, 'Llawer un a weithiodd yn rymus, ond ti a ragoraist,' &c. Symudodd i Langwm, perthynol i Gyfarfod misol Sir Feirionydd, bu farw yno.

Mr. Evan Richardson, Caernarfon: gwir efangylwr, efe ydoedd Gwmwl yn dyfrhau.

Richard Jones, o'r Coedcaedu: Myfyrgar, dwys, treiddgar i'r 'athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb,' ymroddgar i chwilio i mewn i drysorau yr efengyl, felly 'dygai allan bethau newydd a hen.' Symudodd i Sir Feirionydd i'r lle a elwir y Wern.

Am John Pierce, a J. Jones, Bodynolwyn, gwel Drych yr Amseroedd.

Cafodd John Pierce ei eni a'i fagu yn Sir Gaernarfon; ond dechreuodd bregethu yn Sir Aberteifi, yn agos i Llangaetho.

Cafodd John Jones ei eni a'i fagu yn Sir Aberteifi, a dechreuodd bregethu yn Sir Gaernarfon, yn y lle a elwir Glasynys, yn Lleyn.

John Thomas, Llanberis, brawd Dafydd ddu Eryri. Dechreuodd yn ieuangc, parhaodd hyd y diwedd, yr oedd yn anwyl gan ei gyfeillion crefyddol.

Harry Williams, Bangor: ychydig y bu yntau ar y maes, yr oedd y gwr hwn,

fel y dywed rhai, 'yn ddyn trwyddo,' ac yn ddyn anwyl.

Harry Roberts, Bangor, ymdrechwr i wneud daioni yn ei gylch.

Robert Jones, fel y gelwai rhai ef Robert Sion Hughes, sobr, difrifol, ffyddlon, anwyl gan y cyfeillion.

Mr. John Jones, o Edeyrn, gwrol, effro iawn, yn enwedig yn ei gychwyniad, taranai hyd nes byddai y dewr yn crynu. Cymmeradwy, ac eglur ei ddoniau. Ymarferol yn benafoedd ei bregethau; croewber a ffraeth ei ymadroddion, a llwyddiannus iawn a fu ei weinidogaeth i ddychwelyd eneidiau at yr Arglwydd, ac hefyd i adeiladu yr eglwysi.

John Hughes, Caernarfon, ychydig y bu ef: yr oedd yn effro tra y bu.

Robert Jones, Ty Bwlcyn, synwyr-gall, cyfeillgar. Gallwn feddwl ei fod wedi derbyn doniau addas, ac mor gymmwys, i'n cenedl yn yr agwedd oedd arnynt pan y dechreuodd ef bregethu, mor gymmwys meddaf a mold i'r ganwyll. Yn ei henaint, wedi i'w natur wanychu, dywedai mewn hanner awr ddigon am fywyd i'r holl gynnulleidfa.

Robert Dafydd, Bryn Engan. Profiadol fel Cristion, ffyddlon yn ei le a'i alwad, hallt wrth ymdrin a chyflyrau dynion, gan rybuddio pawb yn gyhoedd ac yn ddirgel i beidio a boddloni ar grefydd heb Grist ynddi.

Richard Williams, Bryn Engan; ffyddlon a diniwed, ac anwyl oedd efe yn ei ddydd.

---

Bellach, y rhai sydd etto yn fyw, ac wedi ymadael o Sir Gaernarfon yn lled fuan ar ol iddynt ddechreu pregethu,

Y Parch. John Elias, a'i frawd David Elias a symudasant i Sir Fon, a John Williams, Llechoiddior, a symmudodd i Sir Feirionydd.

Yn awr, enwau y rhai byw ag sydd yn byw yn swyddGarnarvon (gwlad eu genedigaeth) o'u dechreu hyd yma, dodaf eu henwau, a hyd y gallaf dodaf hwynt yn ol eu hoed a'u hamser gyd â'r gwaith: yn ol eu hamser gyda'r gwaith meddaf, canys mae rhai o honynt yn hynach yn y byd na'r rhai hynaf gyda'r gwaith.

Y cyntaf, y Parch. Michael Roberts, Pwllheli, ond ei fod erys tro yn awr yn methu gweinyddu yn gyhoeddus, o herwydd ei afiechyd. Nid rhyfedd iawn ei fod wedi llesgâu, daeth i'r winllan yn foreu; dechreuodd bregethu cyn bod yn llawn dwy ar bymtheg oed. Bu yn enwog yn ei weinidogaeth fel y gwyr y cyffredin yn y Gogledd a'r Dê.

Derbyniwyd ef, a phump eraill yn aelodau o'r Gymmanfa mewn Cymmanfa yng Nghaernarvon a gynhaliwyd yn y flwyddyn 1798. Ymddiddanwyd â chwech o honom: dodaf enwau 5 o honynt fel y canlyn. Y Parch. John Parry, yn awr o Gaerlleon; Michael Roberts; y Parch. David Hughes, o Llanrwst; Mr. Rowlant Dafydd, o'r Bala; a Griffith Solomon, Llanbedrog. Ac un arall nas gwaeth heb ei enwi, canys gwrthgiliodd; edrychodd yn ol wedi rhoddi ei law ar yr Aradr, aeth y gwys yn gam a bwriwyd ef o'r maes.

Felly y pryd hyny ymddiddanwyd a phedwar o Sir Gaernarvon, ond fod Mr. Parry y pryd hyny yn Athraw Ysgol yn Bryn Siencyn yn Swydd Fon, er ei fod wedi ei eni a'i fagu yn Sir Gaernarvon.

Y Parch. David Hughes, o Swydd Dinbych, a Mr. Rowlant Dafydd, o Sir Feirionydd.

Felly y nesaf yn y cyfrif hwn yw Griffith Solomon, ysgrifydd hyn o linellau.

Yna y parchedigion canlynol:—

James Hughes, Tŷ mawr.

John Jones, Tremadoc, mae gwraig y brawd yma yn afiach, ac o'r herwydd, nis gall drafaelio cymmaint ag a ddymmunai i ymweled â'r eglwysi.

Daniel Jones, Llandegai.
William Roberts, o Glynog.
John Huxley, Carnarvon.
William Llwyd, Carnarvon.
David Jones, Beddgelert.
Moses Jones, Llangybi.
Robert Owen, Nefiu.
John Jones, Talysarn.
A'i frawd David Jones, Carnàrvon.

A'u brawd William Jones, o Rhyd ddu, genedigion o Garnarvon, oblegyd mae Dolydd Ellen yn Sir Garnarvon, er bod yr eglwys yno yn perthynu i Gwrdd Misol, Sir Feirionydd. Y Pregethwyr:—

David Roberts, Bangor.
Morice Jones, Carneddi.
William Williams, Carneddi.
Thomas Prichard, Carn Madrun.
Hugh Roberts, Bangor.
John Williams, Bangor.
David Prichard, Pentre.
Rowlant Abraham, Llanddeiniolen.
Griffith Hughes, Cefn Edeyrn.
William Prichard, Pwllheli.
Robert Williams, Llanystymdwy.
Robert Williams, Enlli.
Richard Jones, y Garn.
John Williams, Llanrug.
William Griffith, Pwllheli.
Owen Thomas, Bangor.
Robert Jones, Rhyd fawr.
Robert Ellis, Llanddeiniolen.
Ellis Foulkes, Llanddeiniolen.
Michael Jones, Llanberis.
William Thomas, Rhyd ddu.
John Owen, Gwindy, Eifionydd.

Mi a amcenais eu rhoddi o'r hynaf hyd yr ieuengaf; ond os methais gobeithio y maddeuir i mi ganddynt, canys nid yw o ganlyniad mawr, mae'n debyg.

Ydwyf Syr, eich brawd a'ch cyfaill ffyddlon, GRIFFITH SOLOMON.

NIFER Y CAPELAU YN SWYDD GAERNARVON.

Eu nifer ydyw 72; a dyma Restr o'u henwau.

| | |
|---|---|
| Beddgelert | Four Crosses |
| Bethania | Llithfaen |
| Peniel | Nefin |
| Rhyd ddu | Edeyrn |
| Salem | Bodeuan |
| Waun fawr | Tudweiliog |
| Rehoboth | Dinas |
| Capel coch | Carn Madrun |
| Dinorwig | Rhyd bach |
| Llanddeiniolen | Ty mawr |
| Pentir | Pen y graig |
| Carneddi | Rhyd lios |
| Llanllechid | Uwchmynydd |
| Dwy Gyfylchi | Pen y Caerau |
| Llanfair | Llanengan |
| Gatehouse | Nant |
| Bangor | Pig y street |
| Caerhûn | Rhyd y Clafdy |
| Craig | Pentre uchaf |
| Tan y maes | Pwllheli |
| Rhyd fawr | Bryn bychan |
| Llanrug | Bont fechan |
| Caernarfon | Cricceth |
| Caeathro | Pencoed |
| Bont newydd | Brynengan |
| Rhos tryfan | Bwlch derwyn |
| Carmel | Garn |
| Bryn'rodyn | Y Gyfyng. |
| Bwlan | Bethel |
| Talysarn | Brynmelyn |
| Llanllyfni | Tremadoc |
| Clynog | Horeb |
| Bryneura | Efail newydd |
| Seion | Capel Cilan |
| Cwm Coryn | Ysgoldy Rhiw. |
| Ysgoldy | Ysgoldy Pistyll. |

## Hanesiaeth Cenhadol.

BELGAUM.—IAGO ASHTON Y DYSGAWDWR BRODOROL.

Derbyniasom yr hanesyn gwerthfawr canlynol, oddiwrth y Parch. William Beynon o'r lle uchod, yn Ynys-dir yr India, mewn llythyr dyddiedig Ionawr 28. Y mae'r person a nodir yn adnabyddus ers cryn amser, am ei dduwiolfrydig zel, a'i ffyddlondeb yn y gwaith o bregethu'r Efengyl yn mysg ei gyd-wladwyr.

Lle genedigol Iago Ashton oedd Hyderabad, ond symudodd ei dad gyd a'i deulu pan oedd Iago yn bur ieuanc i Mysore. Llanwodd ei dad y swydd o egwyddorwr am lawer o flynyddau o dan yr Abbe Dubois, ac yn ol yr hyn a ddywedai ei fab, rhaid y bu ef yn ddyn o gryn hynodrwydd yn mysg y Papistiaid, gan y derbyniasai, fel y dywedai ef, amryw lythyrau awdurdodol, ac eraill bethau anrhydeddus, yn ddigyfrwng oddiwrth y Pab ei hun.

Gwedi marwolaeth y tad cafodd Iago Ashton, a'i frawd hynaf Nathanael ei swydd ef, a buont yn ei chyflawni, os da yr wyf yn cofio, hyd y flwyddyn 1825, pan yr ymwrthodasant a'r grefydd Babaidd, a chofleidio y grefydd Brotestanaidd, a bedyddiwyd hwynt ill dau gan Samuel Flavel yn Bangalore.

Argyhoeddwyd y ddau frawd hyn mewn perthynas i gyfeiliornadau ac ofergoelion yr Eglwys Babaidd, drwy bregethau ac ymddiddanion un o Myfyrwyr Athrofa Bangalore, ynghyd a'r cynghorion a gawsant gan Samuel Flavel ar ol hyny. Pan y gwybuwyd eu bod ar fedr ymwrthod a'r grefydd Babaidd, defnyddiwyd pob llwybr a allasai arian a gau resymau eu cwblhau, i'r dyben o'u cadarnhau yn nghrefydd eu rhieni, a phan gaed allan na wnai moddion tyner o'r fath hyn y tro, hwy a ddefnyddiasant fygythiadau a chreulonderau, gau-achwynion, cosbedigaeth, a phob math o erledigaeth.

Galluogwyd hwy er hyny i ddioddef y cwbl yn wrol ac ymroddgar i ewyllys eu Meistr nefol. Y mae Iago yn honni wrthyf yn awr, mai dyddiau ei ddioddefaint oeddynt ddyddiau dedwyddaf ei oes. Dioddefodd ei frawd ac yntau yn fwyaf oll oddiwrth yr offeiriaid a'r bobl, am ddarfod iddynt gymmeryd ymaith o'u tŷ ddarlun y forwyn Fair, pa un a gedwid gan y teulu ers hir flynyddau; a brisiwyd yn fawr o herwydd y rhyfedd-bethau, y dywedid, a gyflawnasid ganddo; ynghyd a bod offrymau lawer gwedi eu haberthu iddo gan ei holl ymlynwyr. Danfonwyd y darlun hwn i Gyfarwyddwyr y Gymdeithas yn Llundain, gan y Cenhadon oedd yn trigiannu y pryd hwnw yn Bangalore.

Dywedai Iago yr argyhoeddwyd ef yn nechreu'r flwyddyn 1825. Ymunodd a'r Genhadaeth hon yn fuan gwedi rhoi i fynu Athrofa Bangalore yn 1827, ac y bu er hyny hyd yn awr yn Ysgol-feistr yn nhŷ y plant tlodion ac amddifaid. Darllenai ac esponiai yr Ysgrythyrau i'r bobl perthynol i'r tŷ hwn a ddeallent yr iaeth Tamil, a phregethai weithiau iddynt hefyd. Y mae gwedi ymddwyn cyn belled ag a wyddom ni, yn hynod gymhwys a boddlonawl, er y pryd cyntaf yr ymunodd a'r Genhadaeth. Ni chlywsom ddim erioed i niweidio ei nodweddiad fel Cynnorthwyydd yn y Genhadaeth hon.

Y mae zel a bywiogrwydd nid bychan yn cael eu hamlygu gantho wrth ddarllen a chyfarch y bobl, a'i eiriau yn ymddangos fel yn dyfod yn wir o'r galon. Y mae ei wybodaeth o'r ysgrythyrau gwedi peri i mi synnu yn fynych. Y mae efe fel Solomon, y darllenydd brodorol, yn arfer dyfod a chynlluniau ei bregethau ataf i'w profi, a chefais yn gyffredinol pan y byddo gair o'r Bibl yn cael ei ddyfynnu, y gwyddai nid yn unig lle yr oedd y Llyfr, a'r

bennod, ond yr adnod hefyd. Fe fu yr wythnos ddiweddaf gyda mi a Solomon mewn gwledd bazanaidd yn y gymydogaeth hon, ac a gyfarchodd y bobl yno. Yr oedd yr hyn a ddywedodd yn bur gymhwys a phriodol, a chafodd wrandawiad astud gan yr holl gynnulleidfa.

*Caerlleon.* Cyf. Jos. WILLIAMS.

## Hysbysiadau Crefyddol.

CYFARFODYDD CREFYDDOL.

Cymdeithasfa Chwarterol yn Llanidloes, Ebrill 19 a 20.

Cyfarfod Llangollen. Ebrill 13, a 14.
Amwythig, Ebrill 20.
Liverpool, Mai 14 a 15.
Manchester, Mai 17, 18, &c.
Caerlleon, Mai 21 a 22.
Treffynnon, Mai 23 a 24.
Wyddgrug, Mai 25 a 26.

Bala, (*Chwarterol,*) Mehefin 13, 14, a 15.

D. S. Y mae cyfnewidiad yn y dull y bwriedir cynal y cyfarfodydd yn y Gymdeithasfa hon i'w nodi, a'i hysbysu yn y modd egluraf, fel y canlyn :—

Mehefin 13, 10 ar gloch, Cyfeisteddiad Cyffredinol. 2 ar gloch, Society y Llefarwyr, a Chyfeisteddiad yr Henuriaid, yr un amser, mewn lleoedd gwahanol. 7, Pregethu yn y Bala a'r Cymmydogaethau.

14eg, 10 ar gloch, Cyfarfod i neillduo Gweinidogion. 2, Cyfarfod Pregethwyr a Henuriaid ynghyd fel arferol. 7, Pregethu yn y Bala a'r Cymmydogaethau.

15ed Fel cynt—Pregethu 6, Society 8, Pregethu 10, 2, a 6.

Diameu y bydd y cyfnewidiad hwn yn fantais neillduol i sefyll gydag achosion neillduol, ac yn cyfoethogi ardaloedd y Bala oll â llawnder o Bregethau am y tair noswaith hyny. Gan obeithio y bydd bendith y Goruchaf arnynt yn sel ei foddlonrwydd. J. FOULKES.

*Mawrth* 15ed, 1837.

*Casgliadau tu ag at dalu dyled y Capel Cymraeg, perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Ngwrecsam, am y fl.* 1836.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Gan Mrs. Jones, Town-Hill .. | £16 | 1 | 9½ |
| Gan Mrs. Roberts, Ironmonger | 12 | 13 | 0 |
| Gan Mrs. Edwards, Pen-y-bryn | 5 | 10 | 0 |
| Gan Miss Jane Edwards ..... | 4 | 17 | 6 |
| Gan Miss Mary Hughes ...... | 3 | 2 | 6 |
| Gan Mrs. Francis ........... | 2 | 14 | 3 |
| Gan Miss E. Jones, King-street | 2 | 3 | 6 |
| Gan Mr. T. Jones, Town-Hill.. | 2 | 16 | 6 |
| Gan Mrs. Phillips, Pen-y-bryn.. | 1 | 6 | 7 |
| Gan Miss Margaret Lindop.... | 1 | 4 | 0 |
| Gan Mr. Robert J. Davies .... | 1 | 1 | 0 |
| Gan Ebenezer Jones ......... | 0 | 13 | 0 |
| Gan Miss Alice Roberts ...... | 0 | 12 | 0 |
| Gan Thomas Roberts ........ | 0 | 6 | 0 |
| Mr. Dan. Jones, Cheese Factor, Rhodd .................. | 15 | 0 | 0 |
| Mr. T. Francis, Grocer, ditto .. | 10 | 0 | 0 |
| Mrs. Jones, Talwrn Cottage, do. | 1 | 0 | 0 |
| Ardreth y *Cellar* dan y Capel .. | 5 | 0 | 0 |
| Mewn llaw o'r flwyddyn ddiweddaf .................. | 3 | 9 | 3 |
| | £89 | 10 | 10½ |
| Talwyd i Mrs. Jones.... ..... | 87 | 1 | 9 |
| | £2 | 9 | 1½ |

Y ddyled yn bresenol yw, ar y Capel £665—ar y Tŷ £200—y cyfan yn £865.

Casglwyd yn fisol yn y Capel, yn y fl. 1836, £7. 9s. 7d. yr hyn a dreuliwyd i Adgyweirio y Capel.

AGORIAD CAPEL Y GOPPA.

Cynnaliwyd Cyfarfod Misol perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd yn y Goppa, plwyf Llandeilo, Tal y Bont, Swydd Forganwg, ar yr 31 o Ionawr ar 1 o Chwefror diweddaf, pryd yr agorwyd Capel Newydd anrhydeddus a defnyddiol i addoli yr Arglwydd ynddo yn y lle hwnw.

Prydnawn y dydd cyntaf, gweddiodd y Parch. H. Bevan, Llangyfelach, pregethodd Mr. E. Mason, Blaen plwyf, a'r Parch. W. Griffiths, Browyr, oddiwrth Ioan i. 12. Luc xxiii. 42.

Yr ail dydd am 10, gweddiodd y Parch. D. Roberts, Abertawe, a phregethodd Mr. J. Walters, Ystradgynlais, y Parch. R. Thomas, Llysyfronydd (yn Saesneg), a'r Parch. W. Evans, Ton yr Efail, oddiwrth Ioan xi. 22. Heb. xii. 14. Diar. iii. 17.

Am 2 o'r gloch gweddiodd Mr. D. Morris, Capel Hendre, a phregethodd E. Mathews, Penllin, a'r Parch. B. Evans, St. Fagan, oddiwrth Esa. xxii. 23, 24. Josuah i. 19.

Cawsom gyfarfod lluosog o wrandawyr ac arwyddion gobeithiol o bresenoldeb Duw gyda ei waith. Bu y gymmydogaeth yn dra charedig yn eu cyfraniadau tu ag at gynnorthwyo i dalu y draul aeth at yr adeiladaeth. Nis gallaf lai na nodi llafur a ffyddlondeb y diweddar Daniel Morgan, Yswain, o'r Glynhir, dan olygiad pa un y dygwyd yr adeilad hardd a chyfleus yma yn mlaen. Symmudwyd y Boneddig clodwiw a haelionus hwn i achos yr Arglwydd, cyn gweled gorpheniad y gwaith, i'r 'tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd.' Er fod ei gorph yn gorwedd yn dawel yn y bedd, lle nid oes na gwaith na dychymyg, etto wrth edrych ar ei gymmeriad hardd fel Cristion, ei ofal am, a'i lafur gyda gwaith Duw, gellir dywedyd, 'Mae efe wedi marw yn llefaru etto.'

*Penllyn.* E. MATHEWS.

## Helyntion yr Amseroedd.

### Y SENEDD YMERODROL.

Dyg Arg. Melbourne ysgrif Gohiriad Cyfraith priodasau a Chyfraith Cofrestraeth Genedigaethau, Priodasau, a Marwolaethau, i Dŷ yr Arglwyddi, a phasiwyd

hi; a'r Brenin a'i sicrhaodd hi. Yn awr gan hyny, nid yw Cyfraith priodasau a Chyfraith Cofrestraeth ddim i fod mewn gweithrediad hyd y dydd cyntaf o Gorphenaf nesaf.

*Corphoraethau Bwrdeisiol yn y Werddon.* Dyg Arglwydd John Russel Ysgrif y llywodraeth i mewn am gael Diwygiad ar Gorphoraethau Bwrdeisiol yn y Werddon, lled gyffelyb i'r un a gynnygiwyd, ac a gollwyd y llynedd. Cododd dadl gref etto ar yr achos hwn, fel mae o hyd ar bob achos bron perthynol i'r Weradon, Parhaodd yr areithio o blaid ac yn erbyn am dri diwrnod. Ac ar y trydydd dydd rhanwyd y Tŷ, a chafwyd.

Mwy o blaid y Diwygiad o ...... 80

Felly mae yn ddiamheuol y passia yr ysgrif hon yn Nhŷ y Cyffredin; ond beth a ddaw o honi yn Nhŷ yr Arglwyddi nis gwyddom.

*Cynnygiad am fwrw yr Esgobion allan o Dŷ yr Arglwyddi.*

Gwnaeth Mr. C. Lushington gynnygiad am basio drwy 'r Tŷ, "Mai barn y Tŷ hwn yw, fod eisteddiad yr Esgobion yn Nhŷ yr Arglwyddi yn niweidiol yn ei effeithiau i lwyddiant y Grefydd Gristionogol yn y Deyrnas hon, ac yn tueddu i bellhau serchiadau y bobl oddiwrth yr Eglwys sefydledig." Ar yr achlysur efe a areithiodd yn faith iawn. A chefnogodd Mr. Hawes y cynnygiad. A Mr. Hume a areithiodd o blaid y cynnygiad. Ond cododd Arg. J. Russell ar ei draed, ac mewn araeth faith efe a'u gwrthwynebodd hwynt. Efe a dystiolaethodd mai ei farn ef oedd y byddai cyflawniad cynnygiad Mr. C. Lushington yn tueddu yn gryf tuag at ddirymu os nid diddymu sefydliad y Grefydd wladol yn y Deyrnas hon; ac am hyny nad allai efe roi ei gydsyniad, ond y gwrthwynebai y peth â'i holl egni. Syr Robert Peel, ac amryw ereill a lefarasant yn erbyn y cynnygiad: a rhanwyd y Tŷ, a chafwyd.

| | | |
|---|---|---|
| Yn erbyn y cynnygiad.... | 197 | |
| O blaid y cynnygiad .... | 92 | |
| Mwy yn erbyn o ........ | | 105 |

*Tŷ yr Arglwyddi.* Mawrth 6, Darllenwyd Ysgrif Gwelliant Ysgrif y Diwygiad yn Lloegr a Chymru.

*Tŷ y Cyffredin.* Mawrth 2, Dyg Canghellwr y Drysorlys ei Ysgrif i mewn am ddiddymu y Dreth Eglwys. Yr oedd y Tŷ yn llawn iawn. Areithiodd yn faith i ddangos yr angenrheidrwydd am symmud y dreth hon, oherwydd y mawr derfysg a'r ymgyfreithio oedd yn y wlad o'i hachos, yn gymmaint felly, fel y darfu i rai o'r trefydd mawr, a manau ereill hefyd wrthwynebu cymmaintnes diddymu y dreth yn y manau hyny heb gyfraith; a bod hyny yn myned ymlaen fwy fwy. Yn niwedd ei araeth hysbysodd pa drefn oedd gan y Llywodraeth mewn bwriad i dynu y dreth hon, a chael allan ffordd i gael arian o le arall heb niweidio neb, i daclu yr Eglwysydd, a phethau o'r fath. Y drefn a gynnygiodd oedd fel hyn. Yn gyntaf, diddymu y Dreth Eglwys yn hollol ac am byth. Yn ail, trefnu modd i gael arian i daclu a thrwsio yr Eglwysydd oddifewn ac oddiallan ryw ffordd arall. A'r ffordd i gael arian i hyn ydyw drwy well triniaeth ar y tiroedd perthynol i'r Eglwys wladol drwy yr holl deyrnas. Sef tiroedd sydd yn eiddo yr Archesgobion, yr Esgobion, y Deoniaid, y Cabidwliaid, a'r Perigloriaid perthynol i'r Eglwysydd Cadeiriol. Dyma gynllyn eu Hysgrif hwynt.

Nid yw y llywodraeth am gyffwrdd dim a'r rhenti a dderbynir yn awr gan Archesgob, nac Esgob, nac un gwr Eglwysig yn y deyrnas. Ac nid cymmeryd y tiroedd o'u meddiant; ond yn unig, gosod gwell trefn a thriniaeth ar y tiroedd hyn, a chodi rhenti cymmedrol ar rai o'r Eisteddleodd yn yr Eglwysydd, a thrwy hyny gellir codi y swm mawr o £25,000 yn flynyddol ragor nag y mae yr Archesgobion, yr Esgobion, &c. yn eu derbyn oddiwrthynt yr awr hon, yr hwn swm sydd yn ddigonol, yn ol cyfrif Mr. Spencer, i gyflawni pob angenrhaid sydd yn ofynol i'w cyflawni drwy y Dreth Eglwys. Bydd eisiau unarddeg o Ddirprwywyr i'w gosod ar hyn o orchwyl. Pump o honynt yn Eglwyswyr, sef Archesgob Canterbury, Archesgob York, Esgob Llundain, Deon St. Paul, a Deon Westminster. Ac yn mysg y chwech ereill, bydd yr Arglwydd Ganghellwr, Ysgrifenydd y Llywodraeth, a Phrif Ddirprwywyr y Coedwigoedd Brenhinol. A bod tri o Ddirprwywyr gweithrediadol i gael tâl am eu llafur, ac nid neb arall. Felly, medd efe, fe geir arian fel hyn i drwsio yr Eglwysydd heb friwo neb, heb golledu neb, ac heb fod o un achos na digter na dadl rhwng cymmydogion.

Gwrthwynebodd Syr Robert Inglis y cynnygiad, ar y sail, y byddai hyn yn peri na byddai yr Eglwys mwyach yn Eglwys wladol, oblegid byddai llawer iawn o'r Ymneillduwyr na byddant yn talu dim at ei chynnal hi, ar ol diddymiad y Dreth Eglwys.

Cefnogai Mr. T. B. Lennard y cynnygiad am y parai ben ar lawer iawn o ffraco, ac y bydd yn gadarnhad i'r Eglwys.

Mr. Goring a'i gwrthwynebodd yn gryf. Ac hefyd Mr. Plumtree, a Mr. Goulburn, a Lord Sandon â'i holl rym, a Syr Robert Peel yr un modd.

Cefnogwyd ef gan Mr. Hume, a Mr. James, a Mr. Baines. Bwriadwyd ymddyddan ymhellach ar yr achos Mawrth 9.

Mawrth 7. Dyg Mr. Grote ei gynnygiad i mewn am gael dewis Aelodau y Senedd drwy bel-fwriad (*ballot*). Dadl dost a fu. Rhanwyd y Tŷ, a chafwyd,

O blaid Ysgrif Mr. Grote .. 153
Yn erbyn .................. 265
Mwy yn erbyn o .......... ——112

Cynnygiodd Mr. Hardy am ddwyn i mewn Ysgrif i attal gwobrwyon ar amser etholiad Aelodau y Senedd; a chafodd ganiattad.

*Tŷ y Cyffredin*. Mawrth 13. Dechreuwyd dadleu yn y Tŷ hwn, o ddifrif hefyd, ar yr Ysgrif a gynnygiodd y Llywodraeth am ddiddymiad y Dreth Eglwys, ddydd llun, a pharâwyd i ddadleu, ac i areithio, ar yr achos hwn, ddydd mawrth, ddydd mercher, ac ar foreu ddydd iau, Mawrth 16, rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

O blaid yr Ysgrif........ 273
Yn erbyn.............. .. 250

Mwy o blaid, o 23. Felly fe droes y fantol yn y Tŷ Cyffredin yn erbyn y Dreth Eglwys; ond mae yn lled sicr y bydd y rhan fwyaf o lawer o blaid y dreth yn Nhŷ yr arglwyddi. Fe hysbysodd yr Archesgob Canterbury yn y Tŷ hwnw, y bydd iddo ef a'r Esgobion bleidio y dreth a'u holl rym.

## CYNGOR MEDDYGOL

### I WELLA Y PESWCH SYDD YN CANLYN YR INFLUENZA.

Y cyngor hawdd a ganlyn, a brofwyd yn dra effeithiol i symud y peswch peryglus ag sydd yn dilyn yr afiechyd lledaenawl hwnw yr *Influenza*:—Cymmerwch werth dwy geiniog o ryw *syrup* cyffredin, ac ychwanegwch atto ddwy geiniogwerth o *Essential Oil of Aniseed*, cymmerwch lonaid llwy dê o'r cymmysg hwn mewn llonaid cwpan dê o ddwfr, a chymmerwch y dogn hyny dair gwaith yn y dydd. Ymhen ychydig ymedy y dirwasgiad fydd ar y ddwyfron, a phoeriad a ddilyna. Trwy ymarfer a'r cyngor hwn gall y claf luddias trwm niweid i'r ysgyfaint.—*London Temperance Intelligencer*.

## DRWG ARFERION WRTH GLADDU.

SYR,—Dywedodd Saul brenin Israel ei fod wedi clywed fod Dafydd mab Iesse yn gyfrwys iawn, ac fod iddo lawer o lochesau i ymguddio ynddynt: 'Edrychwch, gan hyny, a mynwch wybod yr holl lochesau y mae efe yn ymguddio ynddynt,' &c. 1 Sam. xxiii. 22. Felly y gellir dywedyd am Feddwdod, fod iddo lawer o lochesau i ymguddio ynddynt. Dysgynaf ar un loches sydd ganddo yn y dref lle yr wyf fi yn byw. Pan bydd un o'n cymydogion wedi marw, bydd y corph yn cael ei roddi mewn arch, wedi ei amdoi yn weddus. O flaen yr arch bydd bwrdd a lliain gwyn glan, a thair o ganwyllau ganol dydd; beth y maent yn eu arwyddoccau nis gwn. Yr wyf yn cofio fy mod ynghapel Papistiaid yn edrych ar yr Offeiriaid yn tynu enaid o'r purdan; yr oedd yno arch, a chanwyllau, (y mae yn debyg i oleuo yr yspryd o wlad y tywyllwch). Rhwng y canwyllbrenau, bydd llon'd *plât* o tobacco, a phibelli wedi eu gosod yn groes i'w gilydd. A'r nos wyl cyn claddu y marw, fe ddaw y cymmydogion yn nghyd yn garedig i gydymdeimlo a'r galarwyr; fe fydd y clochydd yn barod i gyflawni y gwasanaeth, yn ol arferiad Cymru; neu ynte fe fydd pregeth, neu gyfarfod gweddi, yr hyn sydd fwyaf yn y *ffasiwn* yn awr. (Nid wyf yn beio ar y pethau hyn, ond fod arnaf beth ofn fod llawer fel y Papistiaid, yn meddwl fod hyn yn rhoddi eu ffrindiau mewn dedwyddwch). A chyda y bydd yr Amen, fe fydd y pibelli a'r tobacco ar waith, a dechreu mygu. Pe deuai pagan i'r tŷ, meddyliai mai club smocio fyddai yn y lle; ac yna daw yntau *Cwrw* o'i loches a'i wyneb gwenieithus, a'r rhai sydd yn ei garu, ni waeth ganddynt pa mor aml y daw y cwpan attynt; nes bydd rhai mewn perygl o yfed i ormodedd a'r marw ar y bwrdd! ymaith a'r fath arferiad o'r wlad rhag cywilydd!

Cof genyf glywed Gwyddel yn dywedyd, ei fod dan gerydd Eglwysig; na chai brofi diod feddwawl am flwyddyn, ond mewn bedydd ac wylnos. Ebe efe, 'Y mae gan chwaer i mi blentyn bach, ac y mae y bedydd nos y foru—mi gaf foliad.' A boreu dradwy, gwelwn *poor Pady* yn ymlusgo adref yn feddw iawn; a phe buasai ei chwaer wedi marw, y mae yn debyg mai yr un dull fuasai ar *Pady*.

Pe dilynid meddwdod yn ei holl lochesau, wrth eni, bedyddio, priodi, a marw, a'r holl fasnachu, mewn tref, a gwlad; yn y marchnadoedd, ffeiriau, gwyl-mab-seintiau, clybiau, Sesiwnau, &c., llanwn y Drysorfa, a blinwn amynedd fy ffrindiau; o herwydd yn gyffredin byddaf yn ymdrechu tori y rhaff cyn i'r llong fyned i'r graig.

A chan fod iddo gymmaint o lochesau nid oes modd ei gael o'r wlad ond trwy ddyfod dan reolau y Nazareaid: 'Pan ymneillduo gwr neu wraig (Sela) i addo adduned Nazaread i ymneillduo i'r Arglwydd, ymneilldued oddiwrth win a diod gref,' Num. vi. 3. Pan ddygodd yr enwog *Wilberforce* ei gais i'r Senedd am ddiddymu caeth fasnach dynion, ni ddychymygodd efe am rhyddau y miloedd oedd eisoes yn gaeth; ac y mae yn debyg pe buasai yn cynyg rhyddhau y rhai hyny, y cawsai fyned i'w fedd heb weled ffrwyth ei lafur. Felly gellir dywedyd am ffrindiau Cymdeithas Cymmedroldeb, mai cam da oedd rhoddi Bill i mewn at ddyngarwyr y byd, am roddi atalfa ar yfed gwirodydd poethion, ac arfer ychydig o win, cwrw, &c. yn gymedrol. Ond yn awr, ar ol i hyny gymeryd lle, y mae goleuni yn llewyrchu, nes mae dyngarwyr yn barnu nad oes diwreiddio y pechod hwn o'n gwlad, ond trwy lwyr ymattaliad, a thaflu Ionah i ganlyn y llwyth o'r llong, cyn i'r storm fyned yn dawel. E. LL.

HANES LLONG-DDRYLLIANT.

*Y Barque*, John and Mary, Mr Hudson Llywydd, ail Lywydd Thomas Rodgers, trydydd Llywydd John Rodgers, dau frawd, meibion i Capten Thomas Rodgers, gynt o Gaergybi yn Mon, ar ei mordaith o Shippingham, North America, i Liverpool. Ar yr 22 o Mehefin, 1836, am dri ar gloch y boreu, pan yn Lat. 43. Long. 50. y gwynt yn ystormus, a'r môr yn rhedeg yn uchel, tarawodd morun y llong nes y dymchwelodd ar ei hochr, (yr oedd hi gynt yn gollwng llawer o ddwfr, ac yr oedd y llongwyr mewn llafur mawr yn *pumpio*, ac felly wedi eu diosg o'u gwisgoedd uchaf) aeth y morwyr, deg o nifer, ar ei hochr, a chanfuant ddarn o gig eidion, tua thri phwys a hanner dan y *round top*, ac aeth T. Rodgers i'w ymofyn, a chyn gynted ag y daeth ar ochr y llong yn ol, torrodd y tri mast. Ar hyny uniawnodd y llong, ond yn llawn o ddwfr, a phob peth wedi cael ei ysgubo oddiar y *deck*. Yr holl fwyd oedd ganddynt oedd 3½ pwys o gig, a dau bwys o fara wedi gwlychu, dim dwfr, ond eu dwfr eu hunain. Buont felly yn hanner noeth, ac yn wlyb, ar y *deck*, chwe diwrnod a phum awr!

Buont yn son am fwrw coelbrenau pwy fyddai farw yn ymborth i'r lleill. Dywedodd Thomas Rodgers na wnai efe gydsynio a hyny, y gwnai efe farw yn naturiol pan ddeuai hyny i ben. Byddai Thomas Rodgers yn myned yn aml ar ryw bren oedd dipyn uwch na'r *deck* i daflu golwg am long, oherwydd yr oedd efe yn gryfach na neb o honynt.

Tra yn y fan hono, byddai yn cael llawer o bleser wrth ganu Hymn a ddysgodd ei nain iddo (Mrs. Lloyd, Tre Arthur, Mon):—

'Cofia f'enaid cyn it dreulio
D' oriau gwerthfawr yn y byd,' &c.

Oh, mae addysgiadau neiniau a mamau yn ffrwytho, pan maent hwy yn huno yn y bedd. Byddai y llongwyr oll yn cyduno i ganu Psalmau.

Mynai un o honynt i un arall agor gwythen ei fraich â chyllellan (*penknife*), i gael iddo yfed ei waed ef; ond ni lwyddodd, oherwydd aeth yn farw ar ol iddo ei hagori.

Ond ar yr 28in dydd o'r Mis anfonodd yr Arglwydd ymwared iddynt o'u cyfyngder, trwy wrando ar eu llefain hwynt. Daeth y Llong Snowden, o Liverpool, yn rhwym i Quebec, attynt ac a'u cymmerodd hwynt oll yn fyw, ond yn wan iawn, ar ei bwrdd, a dangosasant bob mwyneidd-dra iddynt. 'O na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion.' Psalm. 107.

Tystiodd Capten y Snowden fod Thomas Rodgers, pan gymmerwyd ef i mewn, yn gryfach nag un dau o'r lleill. Dealler ei fod ef yn aelod o Gymdeithas Cymmedroldeb, a bod y lleill yn yfed eu *allowance* o wirod bob dydd. Ond pan ddaeth hi yn gyfyngder, yr yfwr dwfr a choffi oedd y cryfaf. Felly nid rhyfedd oedd iddo ef beidio cydsynio i fwrw coelbrenau, oblegid yr oedd yn gweled yno rai a fyddai farw o'i flaen ef, yn ol pob golygiad.

Mewn deng niwrnod trosglwyddwyd hwynt o'r Snowden i Long oedd yn rhwym i Greenock; a laniasant yn ddiogel ar dir eu tadau. Yr oedd disgwyliad Mrs. Rodgers yn fawr am ei dau fab adref, oherwydd, eu bod allan ers amser maith.

Un diwrnod, wrth iddi ddarllen yn Lloyd's List, gwelai fod y llong wedi colli, ond yn gobeithio fod rhyw long wedi cymmeryd y dynion oddiarni. Daethai y newydd hwn i Loegr oddiwrth Long arall yr hon oedd wedi taro wrth y llong ddrylliedig ar ol iddynt hwy ymadael â hi. Ar y trydydd dydd hi dderbyniodd lythyr oddiwrth ei mab, ei fod ef a'i frawd yn iach. O y fath gyfnewidiadau a brofodd creadur amddifad mewn cyn lleiad amser; ac etto yn cael, drwy drugaredd ei chynnal, ac wrth bob arwyddion fe fu i'r holl bethau hyn gyd-weithio er daioni.

Tystion, THOMAS RODGERS.
EVAN LLOYD.

Mor brydferth yw geiriau y Prydydd,
"God moves in a mysterious way
His wonders to perform,
He plants his footsteps in the sea,
And rides upon the storm."
JOHN NEWTON.

*Gostyngiad Ardreth.*—Ar ddydd derbyniad ei ardrethion diweddaf, darfu i'r Is-Gadpen Williams, Penbedw, Swydd Flint, ostwng £20. y cant i'w holl ddeiliaid. Bydd hyn yn fawr galondid i'w holl dyddynwyr lliosog ef yn Swydd Flint a Dinbych.

*Ffyrdd Haiarn.*—Dywedir gyda gryn radd o sicrwydd y bydd y ffordd haiarn o Liverpool i Birmingham yn barod i'w thramwy erbyn mis Mehefin nesaf. Mae hyn yn beth rhyfeddol pan ystyrier y gorchwyl mawr oedd i'w gyflawni i gael hyn i ben. Nid yw y rhan arall o Birmingham i Lundain mor barod.

## Marw-Restr.

Bu farw y Parch. WILLIAM JONES, Dolyfonddu, Swydd Drefaldwyn, nos ferchег, Mawrth 1, 1837. Yn ei wylnos pregethodd Mr. Evan Griffiths ar Heb. xi. 13. Claddwyd ef yn y Cemas, ddydd sadwrn, Mawrth 4. Ar ol claddu, yn y Capel, pregethodd Mr. Robert Davies ar Diar. x. 7. ac E. Griffiths ar Ioan xi. 11.

Gorpheniad ei yrfa ydoedd lewyrchus iawn. Yr athrawiaeth a bregethodd i ereill, sef 'Cyfryngdod ac Aberth, ac Iawn Crist, yn ei gyfiawnder, i'r pechadur euog ac aflan,' &c. oedd sylfaen ei fywyd; a'i orfoledd yn llanw ei lestr hyd yr ymyl.

Ei gladdedigaeth oedd gwbl ddirwestol, heb gyffwrdd â dim diodydd meddwol, cyn, nac ar ol claddu. Ei oedran pan fu farw oedd 67. Fe fu yn pregethu yr Efengyl 35 o flynyddoedd. Ac ordeiniwyd ef i Weinyddu yr Ordinhadau ymhlith yr wyth cyntaf yn Nghymdeithasfa y Bala a gynnaliwyd yn Mehefin, 1811. Felly efe a fu yn gweinyddu yr Ordinhadau dros 25 o flynyddoedd.

Disgwyliaf y bydd i hanes chwanegol am Mr. Jones gael ei grynhoi ynghyd etto, a'i argraffu.

*Meifod.* EVAN GRIFFITHS.

---

Hefyd, ar y 9fed o Mawrth, bu farw y Parch EBENEZER RICHARDS, o Dregaron. Gwr anwyl, cristion gloew, a phregethwr melus a llafurus oedd y brawd hoffus hwn. Y bwlch ar ei ol sydd fawr, yn y teulu, ac yn yr Eglwysi. Bwriedir cyhoeddi ei hanes yn fuan. Mae ei deulu a'i berthynasau yn dymuno ar bawb, sydd wedi derbyn neb ryw lythyrau oddiwrtho, neu ag sydd ganddynt sylwedd neb ryw gyfeillachau ag ef, eu hanfon yn y ffordd fwyaf didraul (megis trwy ddwylaw cyfeillion) i Lundain, i fab hynaf y trancedig, Mr. E. W. Richards, No. 45, Chiswell-street.

---

# BARDDONIAETH.

## HYDER Y CREDADYN

Wrth edrych ar Angau. Ammheuaeth yn ymwrthddadl âg ef yn nghylch sicrwydd ei obaith am ddiogelwch ei gyflwr, ac am adgyfodiad o'r bedd, &c. Yntau yn ei ateb, ac yn ei orchfygu,

"A marw sydd elw."—PAUL.

Llesg bererin wyf ar ymdaith,
Drwy fyd dyrus anial diffaith;
Blinder taith yr anial garw
'Bair i'm weithiau chwennych marw.

Calon lawn o bla sy beunydd,
Yma'n attal fy llawenydd;
Cael rhyddâd o'i gofid dybryd
Fydd mil gwell i mi na'r hollfyd.

Wedi gorphen blin gymminedd,
Mi gaf orphwys mewn tangnefedd;
Er cwrdd angau frenin gwelw,
Fe dry hyny imi'n elw.

Yn lle'r cleddyf caf y palmwydd,
Coron yn lle croes annedwydd;
Ffarwel mwy i ddyffryn dagrau,
O, 'r ymwared i'm fydd angau!

Da pob croes, a da pob cystydd,
Yn llaw cariad, da pob cerydd;
Gan fod Iesu imi'n fywyd,
Da imi fydd marw hefyd.

Ni wna'r tân ond difa'r sorod,
Yr holl ffrwyth fydd tynu'r pechod;
Dof fel aur yn lân o'r diwedd
Oddwrth bechod brwnt a llygredd.

Wrth y ffwrn mae Crist ei hunan,
Fel glanhawr a phurwr arian;
Ni wna'r tân un gradd yn boethach
Na fo raid i ddifa'r sothach.

Trwy ymserchu ag eulunod
Colli byddaf wên fy mhriod;
Fry, fe'm llenwir byth a'i ddelw,
Hyn dry angau imi'n elw.

Yn y byd mae gau gyfeillion,
Yn y nef mae pawb yn ffyddlon;
Cael bod bythol yn eu *cwm'ni*,
A wna farw 'n elw imi.

Dwyn yr wyf mewn och ac alaeth,
Yma gorph yr hen farwolaeth;
Ond fe dderfydd hyn yn angau,
Ië, derfydd pob gofidiau.

Mynych glwy' sy'n awr i'm calon,
Herwydd colli hoff gyfeillion;
Ond pan atynt caf fy ngalw,
Fe fydd hyny im' yn elw.

*Gwrthddadl Ammheuaeth.*

Pwylla, pwylla, gochel fethu,
Pwysa'th eiriau cyn eu traethu;
Rhyw amgylchiad echrys garw,
Croes i natur ydyw marw.

Clyw, nis gelli etto ddirnad
Beth a fydd pan ddaw i'th brofiad;
Dyffryn tywyll dychryniadau,
Ydyw dyffryn cysgod angau.

Beth pan byddo'r gelyn creulon
Yn anelu'r saeth i'th galon;
Rhwygo'th natur mor ddiarbed
Ag nas gelli'n awr amgyffred.

Geill mae'r parlys mud a gymer,
I dy ladd mewn byr o amser;
Neu ryw glefyd mwy hir-boenus,
Nes dy ddwyn i wedd druenus.

Neu lucheden wellt fflamegawl
Dröa'th waed yn frwd angerddawl;
Ddyga'th synwyr, ddryllia'th natur,
Gan ddwyn ymaith bob rhyw gysur.

Mil a mwy o ffyrdd gall gym'ryd,
I falurio natur freulyd;
Yn mhob llwybyr i ddynolryw,
Brenin dychryniadau ydyw.

Cofia'r pryd y byddi'n sefyll,
Ar fin dibyn uthrol erchyll;
A'r diderfyn erch agendor,
O dy flaen yn rhwth ymagor.

Yno'n gadaw terfyn amser,
Tragwyddoldeb ar dy gyfer;
Un yn gwthio ffwrdd o hono,
Tra bo'r llall yn tynu iddo.

Meddwl am dy geinion gamrau,
Croes i Dduw a'i santaidd ddeddfau;
A'r holl lygredd cas dirgelaidd,
Sy'n dy galon halog ffiaidd.

Cofia'r farn y'th elwir iddi,—
Cofia'r cyfrif 'raid it roddi;
P'odd y sefi (adyn euog)
Ger yr Orsedd bur ardderchog?

Llawer un erioed a welwyd,
Mewn hwyl deg ar hyd eu bywyd;
Ond pan ddaeth ystormydd angau,
Aeth eu crefydd yno'n ddrylliau.

Gwyddost fod yr us a'r gwenith,
Ar y ddaiar yn blith-draphlith.
Ond gan rym y wyntyll nithiol,
Fe'u didolir yn drag'wyddol.

Clywaist am y ffol forwynion,
A bod ganddynt lampau gwychion;
Ond y'nghanol t'wyllwch du-dew,
Gwelwyd nad oedd ganddynt olew.

Glân sabbathau Duw a doraist,
A'i gynghorion a ddirmygaist;
Sethraist dan dy wadnau budron
Ganwaith ei holl gyfraith gyfion.

Clyw o Sinai swn taranau,
Gwel y mwg a'r ffrochwyllt fflamau;
Gwel y mynydd mawr yn siglo,
A'i glogwynau certh yn rhwygo.

Yno nid oes ond bygythion
A rhuadau tost felldithion;
Nid yw'n addaw it' drugaredd
Na maddeuant o un trosedd.

Melltigedig. medd y gyfraith,
Yw pob un nad yw yn berffaith
Yn rhoi gwir ufudd-dod calon,
Llwyr a digoll i'm gorch'mynion.

Os santeiddrwydd pur difrycheu,
Ac ufydd-dod llwyr sy'n eisiau;
Ac nad llai foddlona'r gyfraith,
Adyn llwm! Pa le mae'th obaith?

*Atebiad y credadyn.*

Taw, O, taw, mi a'th atebaf,
Sail fy ngobaith it mynegaf;
Nid ar wag ddych'mygion ofer,
Yr wy'n rhoddi dim o'm hyder.

Bum wrth odran mynydd Sinai
Clywais ruad ei daranau;
Fel y tarth fe ddarfu 'ngobaith,
Rhag tanbeidrwydd pur y gyfraith.

Yswyd gan y tân angerddol,
Fy holl wisgoedd teg dych'mygol;
A'r noddfeydd y llechwn ynddynt,
Chwalwyd fel yr ûs gan gorwynt.

Rhuai'r gyfraith yn fy nglystiau,
Och! rwy etto 'n cofio'r geiriau;
'Gwybydd noeth bechadur euog
Mai marwolaeth yw dy gyflog.'

Yn y cyflwr hwn yr oeddwn,
Ar fin dibyn erchyll annwn;
A chorwyntoedd ffrwch fygythion
Bron a'm chwythu ffwrdd i'r eigion.

Yn y cyflwr trist annedwydd,
Daeth ataf genad o ladmerydd;
D'wedodd gyda geiriau hyfryd,
'Y mae gobaith it' am fywyd.'

'Cyfod weithian a chyfeiria
D' olwg draw i fryn Calfaria,
Cenfydd ar y croesbren garw,
Dros dy ddyled Feichiau'n marw.'

Yno gwelwn un ardderchog
Ar ei ben'r oedd Coron ddreiniog;
Ac o dyllau'r drain a'r hoelion
Llifai gwaed yn ffrydiau cochion.

Ar adenydd ffydd ehedais,
Ac wrth droed ei groes gorphwysais,
Cly'wn e'n dweyd yn gryf '*Gorpheuwyd*,'
A dadseiniai'r Nef '*Boddlonwyd*.'

Yna'i santaidd ben fe grymodd,
A gwirfoddol felly trengodd;
Ac wrth drengu rhoes i'r gyfraith,
Drosof fi anrhydedd perffaith.

Brathwyd picell hyd ei galon,
Yn y fan agorwyd ffynnon;
Dwfr a gwaed ddylifodd allan,
Mawr ei rin i olchi'r aflan.

Trechodd holl alluoedd dystryw,
Drylliodd ben y ddraig yn chwilfriw,
Cipiodd un o fin y geulan,*
'N arwydd buddygoliaeth gyfan.

Rhwygai'r llèn o fry i waered,
'N brawf fod llwybyr rhydd agored;
Drwy yr Iesu a'i gyfryngdod
Im' gael cymdeithasu a'r Duwdod.

Aeth i amherodraeth angau,
Rhodiodd yno ran o dridiau,
Trechodd hwn yn ei diriogaeth,
Llyncodd ef mewn buddygoliaeth.

Nid yw mwyach frenin dychryn,
I'r saint, mae wedi colli 'i golyn;
Gwas yw iddynt hwy i'w symud,
O wlad gwae, i wlad y gwynfyd.

Daeth o'r bedd y trydydd borau,
Fel Gwaredwr cryf a meichiau
Ei holl deulu cyfammodol,
Er eu cyfiawnâd tragwyddol.

Weithion mae it' genad hyrwydd
I bentyru fy euogrwydd,
Rhif fy nghamrau ofer gwyrgroes,
Holl bechodau dyddiau f' einioes.

Treiglaf finau'r cruglwyth anferth,
Ar farwolaeth Crist a'i aberth;
Fe ddilëa gwaed fy meichiau,
Holl euogrwydd fy mhechodau.

Ynddo ef mae'r ddeddf a minau,
Wedi cael yr oll sy'n eisiau;
'Nawr hi ddywed er fy mywyd,
'Yn dy Feichia' fe'm boddlonwyd.'

(I'w barhau.)

* Y lleidyr.

# PEDORIAETH.

PRISCILA, 8. 8. ISAAC WILLIAMS, TREFFYNNON.

Caned pechaduriaid mawrion, &c.



# Darlun Cenadawl,

RHIF. XX. MAWRTH, 1837.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.

### INDIA'R GORLLEWIN.

Y NEGRO DALL YN BERBICE.



Crybwyllodd y Cenadon yn mhlith y bobl dduon yn India'r Gorllewin, yn fynych gyda hyfrydwch, am ddaioni Duw i lawer o'r rhai hyny, y rhai a gystuddir âg un o'r anfodau corphorol mwyaf a ellir ei gael yn y bywyd hwn—sef colli golwg. Soniai Mr. Wray, o Berbice, ryw dalm yn ol, i Mrs. Wray gael ei chyffroi hyd ddagrau, wrth weled geneth ddu ieuanc yn arwain ei mam ddall ac oedranus, o'r tir plânu i'r Ty Cenadol, ac yn deisyfu ar iddi gael ei dysgu yn ffordd iachawdwriaeth: ac mewn hanes diweddarach, mae Mr. Howe, y Cenadwr yn Nghapel Hanover, yn yr un drefedigaeth, yn sylwi fel hyn:—Yr oedd yn hyfrydwch genyf bore Sabbath, weled bachgen du prydferth, yn arwain gerfydd ei law hen Affricaniad dall i dy Dduw; arweiniasai ef am fwy na chwe' milltir i fynu y côst; ac am fod y ffordd yn ddrwg, yr oedd gan yr hen wr ffon hir yn un llaw, i'w gynnorthwyo yn ei daith. Nid i weled y capel na'r gweinidog mae efe yn dyfod, canys dall ydyw; ond i

gael goleuo llygaid ei feddwl, â'r gwir oleuni hwnw a ddaeth i waered o'r nef. Mae pethau o'r fath hyn yn dyfod dàn fy sylw bob Sabbath yn Nghapel Hanover. Llygaid y deillion a agorir, a chlustiau y byddarion a agorir; llâma y cloff fel hydd, a chân tafod y mudan:" "mae y cleifion gwahanol yn cael eu glanâu, a'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt." Wrth son am bobl ei ofal, a ffrwyth ei lafur, mae yr un Cenadwr yn dywedyd, 'Nid yw aelodau fy eglwys i wedi eu dewis allan o rai mawrion y byd; ond dynion duon tlodion ydynt, y rhai a ddewisodd Duw, ac a wnaeth yn aelodau o'i eglwys filwriaethus ef, ac yn etifeddion gogoniant tragywyddol, ac y rhai a fydd i mi yn "llawenydd a choron fy ngorfoledd, ger bron ein Harglwydd Iesu Grist yn ei ddyfodiad ef." Mae yn dda genyf ddywedyd, i'm heglwys i hyd yma gael ei bendithio â llwyddiant mawr iawn — mae fy mhobl mewn undeb, yn rhodio mewn cariad—yn wir maent yn wresog dros anrhydedd Crist, ac nid ydynt yn esgeuluso un cyfle a'allant gael i ddwyn yn mlaen achos teyrnas y Gwaredwr, drwy addysgu eu cyd-greaduriaid. Mynych y cerddant 4 neu 6 milldir gyda'r nos, i ddysgu eraill yn mhethau Crist. Mae yn wir gysurus gweled pobl ieuainc yn dyfod yn mlaen, wedi rhoddi eu hunain yn gyntaf i Grist, i ymuno â'i eglwys a'i bobl ef. Yn mis Rhagfyr mi a dderbyniais, gyda thri eraill, fachgenyn tlws iawn i aelodaeth eglwysig. Wrth ymddiddan âg ef, nid oedd fwy fy hyfrydwch na'm syndod, wrth y dull yr amlygai efe ei ddymuniad o gael ymuno â'r eglwys. Yr oedd ynddo yr argyhoeddiadau dyfnaf o'i annheilyngdod ei hunan ger bron Duw, a chanddo olygiadau eglur ar ffordd iachawdwriaeth. Pan ofynais iddo, Ai nid am ei fod yn gweled ei fam, a'i frawd, a chyfeillion, yn dyfod at fwrdd yr Arglwydd, yr oedd yntau hefyd yn chwennychu dyfod? Atebodd gyda theimlad dwys debygid, "O nage, massa, yr wyf yn chwennych dyfod am fy mod yn caru yr Arglwydd Iesu Grist, ac yn dymuno cofio yr hyn a wnaeth efe er fy iachawdwriaeth i. Yr wyf yn teimlo nad wyf yn eiddof fy hun, ond yn eiddo yr hwn a fu farw drosof; a dymunwn roddi fy hun iddo ef."

Mae Mr. Howe, mewn llythyr diweddarach at y Cyfarwyddwyr, yn rhoddi yn mhellach beth hanes dymunol am daeniad yr Efengyl yn mhlith y dynion duon yn y Drefedigaeth hòno. Mae yn crybwyll yn neillduol am Africaniad, aelod o'i eglwys ef, yr hwn sydd hynod am dduwioldeb a deall; a sonia mewn ymadroddion gwresog o lawenydd a boddineb, am weddi a weddïodd yr Africaniad hwn, ar achos o angenrheidrwydd, i gynnulleidfa Eosog o'i gydryw duon. Ysgrifenwyd y cwbl i lawr y pryd hwnw, ac wele hwy yn canlyn yma, y weddi a'r bregeth. Mae Mr. Howe yn egluro yr amgylchiad a barodd y weddi a'r bregeth, fel hyn:—"Ychydig Sabbathau yn ol," eb efe mewn llythyr dyddiedig Hanover, Berbice, Tach. 1835, "yr oedd fy nhro i i bregethu yn nghapelydd Fearn a Brunswick. Gan nad oedd genyf neb arall i bregethu i'm pobl fy hun, gofynais i ddyn du, yr hwn a fu yn hir yn gynnorthwywr da i mi, am iddo ganu, darllen, a gweddïo gyda'r bobl: efe a wnaeth hyny; ac yr oedd ei weddi, a'r sylwiadau a wnai ar yr Ysgrythyrau a ddarllenai, mòr dduwiolaidd a hynod, fel yr ysgrifenodd Mrs. Howe ei weddi a'i sylwadau ef, yn y fàn hòno. Rhoddaf i chwi yn gyntaf ei weddi ef, neu yn hytrach gellir ei hystyried fel rhan yn unig, o'r hyn a ddaeth o'i enau ef. Mi a'i rhoddaf yn y Saesoneg anmherffaith y llefarodd efe hi." (Ond nis gellir hynny yn iawn yn y cyfieithiad i Gymraeg o honi.)

Y WEDDI.

O Arglwydd Dduw Hollalluog, tydi yw ein Gwneuthurwr a'n Ceidwad ni. Ni a attolygwn i ti ein gwrando ni. Ni nid y'm deilwng; ond er mwyn Crist, gwrando ni. O Arglwydd, ti rhoi i ni bob beth sy arnom eisiau; bwyd, dillad, a phob peth da, yn dyfod oddi wrthyt ti ein Creawdwr a'n Ceidwad. Dyro i ni dy ras yn ein calonau, fel yr ofnom ac y carom ni di. Cynnorthwya ni i beidio ymddiried yn ein cyfiawnder ein hunain. Cynnorthwya ni i gadw dy orchymynion di. Cynnorthwya ni, O Arglwydd —ni bechaduriaid tlodion. Ni gwerth dim —ni pechu bob dydd. Cynnorthwya ni heddyw. O Arglwydd, bydd gyda ni y pryd hwn. Danfon dy Ysbryd Glân i'n dysgu ni. Os darllenwn dy air o flwyddyn i flwyddyn, os na roi di dy Ysbryd da i'n dysgu ni yn meddwl yr hyn a ddarllenwn, nis gall wneyd lles i ni. Cynnorthwya ni i wneyd dy ewyllys, a thro ni oddi wrth bechod. Bendithia bob dyn. Cynnorthwya y rhai wedi priodi i gadw yr addewid a wnaethant, sef yr adduned prïodas. Cynnorthwya gwyr i garu eu gwragedd, a gwragedd i barchu eu gwyr. Cynnorthwya ni oll i fyw yn dda, a rhodio yn yr iawn ffordd. O Arglwydd, fi dim teilwng i lefaru wrth y bobl hyn, fi pechadur tlawd. Fi gwybod dim: ond crefu am dy Ysbryd da di i'm dysgu i, ac i'm gwneyd yn synwyrol o'r hyn a ddarllenaf, fel y gwypwyf pa fodd i'w dysgu hwynt, y rhai a ddeuant ataf fi am addysg. Dïolchwn i ti, O Arglwydd, am ddanfon o honot yr Ysbryd bendigaid i ni; ac am roi o honot i ni dy weinidog i'n dysgu ni. O Arglwydd, ni gweddïo drosto ef. Bendithia ef; rho iddo amynedd gyda ni. Rho iddo fwy o wybodaeth bob dydd. Danfon dy Ysbryd Sanctaidd i'w nerthu yn ei waith mawr. Bendithia ef, O ein Tad; oblegid pan ef yn ei wlad ei hun, ei galon tosturio wrth pechadur tlawd; ac efe

gadael ei deulu i ddyfod i ddysgu ni y Gair mawr hwn. Arglwydd, bendithia ef; gwna i'th air lwyddo yn ei law ef. O Arglwodd, ni gweddio dros Brenin da ni, a Llywodraethwr da ni. Cynnorthwya hwy yn y gwaith mawr sy ganddynt i'w wneyd. Bendithia hwy, a gwna hwy yn ddoeth. O Arglwydd, bendithia hwy boneddigion da yn Lloegr. Bendithia hwy â phob bendith. Cadw hwy yn dy waith. Cynnorthwya hwy i weddïo dros ni. Rho iddynt bob daioni. O Arglwydd, rho yn eu calonau hwy i ddanfon yr efengyl fendigedig i'n gwlad ni ein hunain, sef i Africa. Cadarnâ eu dwylaw. Na âd iddynt flino yn gwneyd daioni. O Arglwydd, gwna i ddigon o weinidogion yn chwaneg ddyfod drosodd, i'n dysgu ni pechaduriaid tlodion. O Arglwydd, bendithia ein hen weinidog da ni, yr hwn a ddaeth gyntaf i'r wlad hon, i'n dysgu ni A a B. O Arglwydd, bendithia ef yn awr efe yn myned yn hen; gwna ef yn gryf; rho iddo bob bendith a chalondid. Er ei fwyn ef, trugarâ wrth y wlad hon. Rho iddo fywyd hir i weithio drosot ti. Bendithia ei holl deulu ef. Maddau ni ein holl bechodau ni; oblegid ni pechu digon; a chynnorthwya ni i fyw i'th ogoniant di, er mwyn Crist ein Gwaredwr. Amen.

Gwedi iddo weddïo gyda'r bobl a throstynt, darllenodd y chweched bennod o'r Rhufeiniaid, ac yna llefarodd wrthynt ar adn. 22 yn fwyaf neillduol. Wrth ddarllen ei bregeth ef, medd Mrs. Howe, rhaid i chwi gofio nad yw yr hyn a ddanfonais i ond rhan fechan o'r hyn a ddywedodd efe wrth y bobl. Llefarodd wrthynt am awr, a dywed Mrs. Howe fod y bobl yn gwrando gyda'r difrifwch a'r deffröad mwyaf.

Y BREGETH.

*Ac yr awr hon, wedi eich rhyddâu oddi wrth bechod, a'ch gwneuthur yn weision i Dduw, y mae i chwi eich ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol.*—Rhuf. vi. 22.

"My mrodyr a'm chwïorydd, nid yw ein gweinidog yma heddyw; mae wedi myned i *Fearn*. Ni yn ddrwg iawn genym ei golli hyd yn oed am un Sabbath, ond ni dim yn rhy drachwantus. Hwy y bobl dlodion yn *Fearn*, heb weinidog am dri Sabbath; felly aeth ef i lefaru wrthynt. Mi ni allaf ddywedyd llawer. Mae fy nhafod i yn drwm yn y Saesoneg. Mi hefyd heb wybod dim; ond yr hyn a ddywedo Duw wrthyf am ei lefaru heddyw, hyny a lefaraf; ac yr wyf yn gweddïo Duw, am iddo agor ein calon ni, a'n cynnorthwyo ni i ddëall ei air bendigedig ef.

Yr wyf yn darllen yn y 6ed bennod hon o'r Rhufeiniaid, adn. 22, am ryddâu. Digon o honoch yn benwan am y *rhyddâd* mae ein brenin da ni yn myned i'w roi i ni yn mhen chwe' blynedd; ond nid yw yr adnod hon yn meddwl y rhyddâd hwnw. Nac ydyw; mae yn meddwl gwell rhyddâd na hwnw—rhyddâd oddi wrth bechod. Pan gaffoch chwi ryddâd y byd hwn, bydd raid i chwi gofio am bwyta, am dillad, am ty; ond nid felly y rhyddâd a rydd Duw. Duw gwneyd ni yn rhydd oddi wrth pechod. Efe yn cyfnewid ein calon ni. Efe gwneyd ni yn weision iddo ef. Efe darpar pob peth er iachawdwriaeth ni; a phan delom ni i marw, Iesu Grist yn dywedyd, Yn nhy fy Nhad mae llawer o drigfanau. Iesu Grist ei hun darpar ty i ni yn y nefoedd. Ond y rhyddâd hwn oddi wrth bechod sy ryddâd tragywyddol. Nis gallaf fi egluro y cwbl a deimlaf am y rhyddâd hwn oddi wrth bechod. Gwyddoch y rhaid i ryddâd y byd hwn gael diwedd; ond mae rhyddâd Duw yn dragywyddol. Chwi a wyddoch beth mae tragywyddol yn feddwl. Yr wyf fi yn teimlo yn fy nghalon beth mae yn feddwl. Ond nis gallaf ei ddywedyd mòr dda. Tragywyddol a feddwl rywbeth na dderfydd byth, byth, byth. Gobeithio y cymmer Duw drugaredd arnom ni, a chyfnewid ein calon ni, a'n rhyddâu ni oddi wrth bechod, fel y caffom ni fywyd tragywyddol. Yr ydym yn darllen yn y 22 adnod hon, am ddwyn ffrwyth i sancteiddrwydd. Beth debygech chwi yw meddwl dwyn ffrwyth? Tebygwn ei fod yn meddwl, pan ddywedoch chwi eich bod yn troi oddi wrth bechod, eich bod yn troi yn gywir, nid hanner-hanner; eich bod yn gadael pob pechod, ac yn gwneyd da; ac os byddwch chwi yn troi yn gywir, yna chwi a ddygwch ffrwyth sanctaidd. Chwi a gerwch eich gilydd; nid yn unig eich cyfaill neu eich cydwladwr, ond pawb, hyd yn nod hwy eich gelyn chwi; chwi a ddygwch amynedd tuag at eich gilydd; a chwi a fyddwch yn ffyddlon i Dduw a *massa* hefyd. Chwi geisiwch eich gorau i wneyd eich gwaith, yr un fath a phan fydd llygad *massa* arnoch. Bydd genych galon ostyngedig; bydd genych addfwynder a chariad yn eich calon tuag-at bob dyn. Bydd genych ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist; hyn sydd ddwyn ffrwyth i sancteiddrwydd. Dywed rhai o honoch—ni eisiau ein bedyddio; ond mi yn edrych, mi yn methu gweled y cyfryw ffrwyth. Pa les gan hyny a wna bedyddio i chwi? Mi ni byddai gwaeth genyf pe clyment hwy raff wrth eich traed chwi, a hwy eich tynu chwi trwy yr afon hon Berbice, yr hon y mae ynddi gymmaint o ddwr. Os na adêwch chwi eich pechod, nis gall bedyddio eich cymmorth chwi. Nis gall dwr olchi ymaith ein pechod ni. Rhaid i ni weddïo am i Dduw gyfnewid ein calon; a rhaid i ni geisio cadw ei orchymynion ef, a dwyn ffrwyth sanctaidd. Yr wyf yn ofni fod llawer o honoch am eich bedyddio, ac heb ddwyn ffrwyth da. Rhaid i bob pren ddwyn rhyw ffrwyth, da neu ddrwg. Pa beth debygwch chwi yn awr, os pan gaffoch chwi dir, y cymmerwch chwi un pren a feddyliwch am dano: un pren *orange* melys fydd, chwi

a'i cymmerwch—chwi a gloddiwch eich tir; chwi a dynwch ymaith y borfa; chwi a'i plenwch, chwi a'i teiliwch; chwi a ofalwch am dano mòr dda. Yn awr pan feddylioch chwi dynu *orange* melys oddi arno, *orange* yn sur. Pa beth a wnewch? chwi a ddywedwch ei fod yn dwyn ffrwyth; ond efe nid dwyn ffrwyth da; am hyny chwi a'i torwch ef i lawr, ac a'i teflwch ymaith; ïe y gwreiddyn ei hunan a losgwch. Nis gellwch oddef i un tipyn o hono aros yn eich tir chwi. Felly y gwna Duw a'r rhai hyny, y rhai a gymmerant i fynu y gwaith mawr hwn, ac a'i rhoddant i lawr, dygant ffrwyth, ond ffrwyth drwg yw; nid ffrwyth i sancteiddrwydd yw. Yr wyf yn attolygu yr Arglwydd ar iddo drugarâu wrthym ni, bechaduriaid tlodion; ac am iddo roddi i ni ei Ysbryd Sanctaidd i'n dysgu ni, ac i lanâu ein calon, ac i'n cynnorthwyo i gadw ei orchymynion ef."

Mae llafur y dyn du synwyrol, duwiol, ac ymroddgar hwn, yn mhlith ei gyd-ddynion duon, wedi cael ei hir ystyried gan y Cenadwr yn rhyfeddol o werthfawr. Mae ei barch a'i awdurdod yn fawr yn mhlith ei gydwladwyr ei hun, ac mae ei addysg a'i esampl yn y planfêydd y perthyna efe iddynt, wedi bod, dan fendith Duw, a chanlyniadau o'r fath ddedwyddaf iddynt. Gellir disgwyl y bydd pryniad ei amser ef, am y gweddill o'i brentisiaeth, nid yn uning yn gymmwynas dderbyniol iddo ef ei hun, ond hefyd yn achos calondid i'r Cenadon, ac yn achos cysur a lles ysbrydol helaeth i'r prentisiaid yn Berbice.

Mewn canlyniad i'r gair da rhagorol a gafodd y pregethwr Africanaidd uchod, gan Mr. Howe y Cenadwr, gwnaed casgliad mewn cyfarfod cenadol a gynnaliwyd rai misoedd yn ol, yn Nghapel Undeb, Islington, Llundain, i brynu ei ryddâd ef yn hollawl, fel y gallai ymroddi yn fwy llwyr i'r gwaith o bregethu yr Efengyl; a galwyd ei enw ef Thomas Lewis, yn ol enw gweinidog y capel a grybwyllwyd. Mewn llythyr dyddiedig yr 20fed o Ebrill, ysgrifena Mr. Howe ar y mater uchod fel hyn:—

"Nis gallaf nacâu i mi fy hun yr hyfrydwch o gydnabod eich llythyr dyddiedig Mawrth 1af, yr hwn a ddaeth i'm llaw ddoe. Bu yr hanes a gynnwysai yn wir lawenydd i fy meddwl i, a bydd yr un mòr fawr i Thomas Lewis, pan allwyf ei hysbysu iddo ef. Gweithredodd ein hanwyl gyfeillion Cristionogol yn Nghapel Undeb yn ardderchog: mi a ysgrifenaf at eu gweinidog teilwng gyd'r llong Highbury,

"Wrth fyfyrio ar yr amgylchiad hwn, nis gallaf lai nac ystyried yr holl achos fel cyfryngiad neillduol rhagluniaeth; nid yn unig ar ran yr Africaniad tlawd ei hun, ond hefyd ar ran y gangen hon o Genadaeth Berbice. Cyn bod yr orsaf gangenawl ar y côst wedi ei ffurfio fis, darparodd Duw, yn mhersou Africaniad, y dysgawdwr mwyaf addas a allem ni ddymuno. Yr Arglwydd a wnaeth hyn, ac iddo Ef y dymunem ddïolch. Ni chollaf fi ddim amser i sicrâu ei ryddid hollawl ef, a cheisiaf hefyd ddarbwyllo y bobl ar y côst i ddarpar ty iddo ef yn agos at y capel."

Ysgrifenodd Mr. Howe drachefn, ar yr 20fed o Fehefin, fel y canlyn:—

"Yr wyf yn achub y cyfle cyntaf i hysbysu i chwi, fy mod wedi diogelu hollawl ryddid Thomas Lewis; ond teimlaf yn analluog i drosglwyddo i chwi, iawn syniad o'r teimladau dïolchgar a amlygai efe am y daioni a dderbyniodd. Wylodd y dyn fel plentyn, wrth ddïolch i Dduw am osod yn nghalonau dynion da yn Lloegr, fel hyn i'w gofio *ef*, 'Africaniad tlawd.' Mae wedi addaw, can gynted ag y gallo lonyddu ei feddwl, ysgrifenu atoch; a mynegi i chwi yr hyn mae yn deimlo. Ar yr un pryd, mi a ymdrechaf gael ganddo ef ei hun ei hanes yn fanwl, ac a'i danfonaf i chwi. Am dduwioldeb a challineb y dyn da hwn, mae genyf y meddwl goreu. Mae gostyngeiddrwydd ei feddwl—cywirdeb ei galon—purdeb a symledd ei egwyddor—yn rhoddi i mi weithiau wersi o bwys mawr iawn. Mae efe yn ymddangos yn barod ac ewyllysgar, os bydd raid, i fod yn gymynydd coed neu yn wehynydd dwfr; yn fyr, i fod neu i wneyd unrhyw beth, os gall efe ond anrhydeddu Duw, a bod yn offeryn o ddaioni i'w gydwladwyr.

*W. Tyler, Argraffydd, Llundain.*

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXVII.] MAI, 1837. [LLYFR. VII.

## BUCHDRAETH GRISTIONOGOL.

RHIF. III.

### MARTIN LUTHER.

(Parhad tu dal. 100.)

Tra yr oedd Luther yn nghastell Wartenberg, lle y bu ef yn llechu, megis carcharor, am ddeng mis, ofnai miloedd trwy yr Almaen, fod eu hanwyl ddyn wedi cael ei gymmeryd yn garcharor gan y Pab, neu ei ddinystrio gan rai o'i genhadon, yr hyn a ennynai eu casineb at Babyddiaeth, dros ben: ond tra yr oedd cynnwrf a holi dybryd yn ei herwydd, gan ei gyfeillion a'i elynion, yr oedd efe yn treulio ei neillduaeth i ysgrifenu rhai o'i gyfansoddiadau gwerthfawrusaf, yn enwedig ei gyfieithiad o'r Testament Newydd i'r Almanaeg: ac nid oedd yn hollol amddifad o ddifyrwch yn y fan hon; ond efe a âi allan i'r wlad gymmydogol weithiau gyd a'i geidwaid i hela, dan yr ymrithiad o foneddwr gwledig, o'r enw Yonker George.

Ond ni allai ysbryd bywiog Luther oddef yr enciliad caethiwus yma yn dawel; gan hyny efe a adawai ei Patmos yn mis Mawrth, o'r flwyddyn 1522, heb gydsyniad na gwybodaeth ei noddwr Frederic, ac a ddychwelodd i Wittemberg, er llawenydd nid bychan i'w gyfeillion lluosawg. Ac y mae yn debyg mai un o'r pethau a'i cymhellai fwyaf i hyn, oedd clywed am benboethni annghall rhai a'u galwent eu hunain yn Ddiwygwyr, yn eu hymosodiad yn erbyn Pabyddiaeth; yn enwedig un gwr dysgedig o Wittemberg, o'r enw Carlostadt, yr hwn yn absen Luther, a dynasai ddelwau y saint i lawr o'r eglwysi, ac a'u dryllíasai; ac yn lle ffrwyno cynddaredd y werin benboeth, oeddynt eisoes yn dechreu camddefnyddio eu rhyddid gwerthfawr oedd fel yn cychwyn gwawrio arnynt, efe a gefnogai eu gwylltineb anmhrydlawn, ac a'u harweiniai rhagddynt i wrthryfel ac afrëolaeth. Ond Luther a wrthsafai ganddaredd y diwygiwr anmhwyllus yma yn wrol a synhwyrol, gan ei gynghori ef a'i ganlynwyr i geisio chwynu cyfeiliornadau o feddyliau y bobl, cyn dechreu ymosod ar yr arwyddluniau allanol, oeddynt yn yr eglwysi a'r lleoedd cyhoeddus; gan ddadleu, y byddai raid i'r olaf gwympo can gynted ag y symmudid y cyntaf, ac nad oedd lle i ddysgwyl rhyw ffrwythau parhaus i ddilyn dinystr yr arwyddion allanol o gyfeiliornad, oni ddiwreiddid y cyfeiliornad ei hun. A'r diwygiwr enwog a chwanegai ddylanwad ei esampl ei hun, at y cynghorion rhagorol uchod, trwy ymroddi gyda diwydrwydd a zel dieilfydd at ei gyfieithiad Almaenaidd o'r Ysgrythyr Lan; yr hwn a ddygai yn mlaen yn brysur a llwyddiannus iawn, trwy gynnorthwy amryw ddysgedigion duwiol, a'r rhai yr ymgynghorai yn fynych yn y gorchwyl pwysig hwn. Y canlyniad o hyn a brofai ddoethineb cynghor Luther yn amlwg; oblegyd fel yr oedd amryfal rannau y cyfieithiad yma yn ymledu yn raddol ac olynol yn mysg y bobl, cynnyrchid effeithiau anhygoel o'r braidd ar eu meddyliau, a chwynid egwyddorion cyfeiliornus, ac athrawiaethau ofergoelus eglwys Rhufain, o feddyliau rhyw dorfeydd aneirif o'r werin.

Tu a'r pryd hyn, bu farw Leo X. a'r orsedd Babaidd a lenwid yn ei le ef gan Adrian VI. brodor o Utrecht, yr hwn a fuasai gynt yn athraw i'r Amherawdwr Siarl V. ac a gyfodasid i'r urddas yma yn benaf drwy ei gefnogaeth ef. Yr oedd hwn yn wr synhwyrol a mwynaidd; ac felly efe a addefai fod llawer o annhrefn niweidiol yn yr eglwys, ac a dystiai ei barodrwydd i ddefnyddio unrhyw foddion a fernid yn gymhwysaf i geisio symmud y camarferion a'r gormesau hyny a arfogent y fath elyn

enbyd a Luther, i ymosod yn erbyn yr eglwys: eto efe a barai i Francis Cheregate, ei gynnrychiolydd yn eisteddfod Nuremberg, ofyn am gyflawniad prysur a llym o ddedfryd Worms, a'r Luther a'i ganlynwyr. Ond nid oedd y tywysogion Almaenaidd yn teimlo nemmawr ddigofaint at Luther am ymryson a'r awdurdod Babaidd, wrth ymlediad anmhrïodol yr hon yr oeddynt hwy eu hunain yn ddigon eiddigeddus.

Y Pab Adrian ni chafodd ond tymhor byr i fwynhau ei sefyllfa urddasol o ben yr eglwys, canys efe a wysiwyd i ffordd yr holl ddaear, Medi 14, 1523, ac wedi ymrysonfa boeth, etholwyd Julius o Medicus, i'w ddilyn, tua diwedd Tachwedd, yr hwn a esgynodd y gadair Babaidd dan yr enw Clement VII. Hwn a ysgrifenai amryw lythyrau medrus at Frederic, Etholydd Saxoni, i geisio ei ddenu a'i berswadio i gefnogi yr eglwys, ac i ballu noddi y fath elyn i'r hen 'Fam' ag oedd Luther, yn hwy, gan haeru fod hyny yn llwyr angenrheidiol er adferiad heddwch cyffredinol yr Amherodraeth: ond yr oedd Frederic erbyn hyn wedi cael agoryd cymmaint ar ei lygaid, fel na wnai un sylw o ryw ddichellion o'r fath yma.

Yn y cyfamser yr oedd golygiadau Luther yn ymehangu yn barhaus, ac ymhyfâai fwy fwy i wrthsefyll arferion coelgrefyddol Rhufain; felly Hydref 9, 1524, efe a anturiodd roddi ef wisg fonachaidd o'r neilldu, ac ymwisgo fel pregethwr. Yn y flwyddyn hon efe a gyfieithodd y Salmau i ganiadaeth Almaenaidd, at wasanaeth y werin, ac a ychwanegodd rai Emynau crefyddol o'r eiddo ei hunan. Tua'r pryd hyn hefyd y penderfynodd efe ymsefydlu mewn priodas. Y cam yma, yr hwn ynddo ei hun oedd nodedig oddiwrth un a ymdyngedasai i weddwdod, a wneid yn hynotach fyth, drwy fod yr hon a brïodai efe dan rwymedigaeth cyffelyb. A phleidwyr eglwys Rhufain ni buant yn brin yn eu cableddau ar Luther, ar yr achlysur yma, o'i brïodas â Lleian (*Nun*). Haerai rhai o honynt ei fod ef wedi gwallgofi, neu wedi ei feddiannu gan gythraul.

Dywedid fod amcan ar droed tua diwedd y flwyddyn 1525, i wenwyno Luther; ac mewn canlyniad i ddrwg dybiaeth rhai o'i gyfeillion, daliwyd rhyw Iuddew ac amryw eraill, yn Wittemberg; ond wedi eu profi a'u holi mor fanol ac y gellid, ni chaed dim gwreiddyn teg i'r cyhuddiad a ddygid i'w herbyn; a chan i Luther eiriol drostynt nad arferid llymder arteithiol i geisio ganddynt gyffesu, hwy a ryddhawyd.

Hyd yn hyn yr ydoedd Luther wedi bod, nid yn unig yn gychwynydd y gwrthwynebiad i Babyddiaeth, ond yn brif gefnogydd i'w ddygiad yn mlaen hefyd: ond erbyn hyn yr ydoedd yr egwyddorion hyn yn ymledu mor ehang, fel na allai ymdrechion un dyn fod yn ddigonol i lywyddio y diwygiad gwrthdystiol yn mhob gwlad; gan hyny y mae dygiad y diwygiad yma yn mlaen ar ol hyn, yn perthynu i hanesiaeth gyffredinol yn hytrach nac i fuchdraith personol.

Yr oedd Luther yn rhoi astudrwydd a thra dyfalwch ar ei orchwyl pwysig o gyfieithu y Bibl tua'r pryd yma; yr hyn a ddosparthai i dri dosparth. [Yn gyntaf Llyfrau Moses; yna Hanes ddylynol yr Iuddewon; ac yn olaf, Llyfrau prophwydoliaethol eraill yr Hen Destament. Ni ddechreuodd y cyfieithiad o'r Prophwydoliaethau hyd y flwyddyn 1527, a derbyniai y Diwygiwr lawer o gymmorth yn y cyflawniad o'r rhan yma o'i orchwyl gan ryw Iuddewon o ddinas Worms. Argreffid llyfr y Prophwyd Isaiah tua'r flwyddyn 1528, a llyfr Daniel a ddygid allan yn fuan wedi hyny, ac erbyn diwedd y flwyddyn 1530, yr oedd y cyfan wedi ei orphen. Ei brif gydlafurwyr yn y gorchwyl ardderchog hwn, oeddynt Bryenhagen, a adwaenid yn well wrth yr enw Pomeranus, Iustus Ionas, Melancthon, a Matthew, a gyfenwid Aurogallus. Y flwyddyn 1526, oedd y gyntaf er 1517, a adawsai Luther i dreiglo heibio heb gyhoeddi llyfr yn erbyn y Pabyddion; ond yn y flwyddyn hon efe a gyhoeddodd ei esponiadau ar Lyfr Ionah a Habacuc, heblaw rhai darnau llai eraill o feirniadaeth Ysgrythyrol.

Yn yr haf y flwyddyn hon, cynhelid eisteddfod gan dywysogion yr amherodraeth yn ninas Spires, ac yr oedd gorchwylion o'r fath bwys dan sylw ynddi, fel y gorfyddai yr Etholydd Ioan fod yno dros amryw fisoedd. Yn y cyfamser yr oedd Luther yn brysur yn tynu cynlluniau er dygiad y diwygiad yn mlaen, fel y byddent yn barod i'w cyflwyno i sylw yr Etholydd can gyn-

ted ac y caffai hamdden gan drafferthion eraill i roddi ystyriaeth ddyladwy iddynt.

Yn y flwyddyn 1528, efe a gyhoeddai ei Esponiadau ar Genesis a Zechariah, yn nghyd a llythyr at Esgob Misnia, ar y Swper Sanctaidd. Tra yr oedd Cymmanfa Augsburg yn eistedd, llechai Luther yn nghastell Coburg, yr hwn a berthynai i'w noddwr Etholydd Saxoni, fel y byddai yn fanteisiol i ymgynghori ag ef yn wyneb unrhyw ddyryswch neu betrusder a gyfarfyddai a'r tywysogion Protestanaidd. Yn y Gymmanfa yma cafodd y tywysogion ganiattad i ddarllen Cyffes o'u hegwyddorion a'u cred o flaen yr Amherawdwr a'r Cynghor; felly darllenai Canghellwr Saxoni yn yr iaith Almaenaidd, Gyffes Ffydd y Lutheriaid, yr hon a dynasid drwy ysgrifell y dysgedig a'r hyawdl Melancthon, fel y bernir yn gyffredin dan gyfarwyddyd Luther: a thra fu yma, dyoddefodd gryn gystudd, ond nid oedd na gofidiau nac afiechyd a oerai ei zel, nac a farweiddiai ei ymroad ef i fyfyrdod. Yma y cyfieithodd efe y Prophwydoliaethau, ac y cyfansoddodd efe ei Esponiad ar y Salmau; neu ranau helaeth o leiaf. Oddiyma hefyd yr ysgrifenodd efe ei gynghorion i'r Eglwyswyr cynnulledig yn Augsburg, yr hwn a anfonodd efe i'w argraffu yn y ddinas hòno. Yn y flwyddyn 1532, efe a gyhoeddodd Esponiadau ar amryw ranau o'r Ysgrythyr Lan. A'r pryd hwn y collodd efe gyfaill a noddwr gwerthfawr hefyd, sef Ioan, Etholydd Saxoni, yr hwn a fu farw ar yr 16eg o Awst, yn ei drydedd flwydd a thriugain o'i oedran.

Cystuddid ef yn dost yn nechreu y flwyddyn 1537, gan y graianwst, a'r poenau oeddynt mor llymion, fel yr anobeithiai ef a'i gyfeillion am ei fywyd. Dangosid gofal a phryder tra dwys am ei wellad o'r cystudd blin yma, gan ei gyfeillion a hefyd gan y pendefigion a'r tywysogion a gefnogent egwyddorion y Diwygiad. Mae yn debyg iddo gael adferiad iechyd trwyadl o'r cystudd yma, ac iddo gael ei allnogi toc, i ail ymafyd yn ei oruchwylion llafurus yn achos gwir grefydd. Efe a barottodd ddau argraffiad o'i orchestwaith, y cyfieithiad o'r Bibl; y rhai a gyhoeddid olynol, yn y blyneddau 1541, ac 1545. Ac yn y flwyddyn olaf, pan yn ddwy flwydd a thriugain oed, y gwelid arwyddion cryfion o adfeiliad prysur yn ei babell briddlyd. Ond nid gwendid corfforol oedd unig anffawd Luther; ei frwdfrydedd naturiol, yr hyn a'i galluogai i feiddio bygythion llywiawdwyr gwladol ac eglwysig, oedd gysylltiedig â thymher a gynnyrchai lawer o syniadau gofidus ar lawer golygiad i'w pherchenog. Ac yn anffodus, cymmylid prydnhawn ei oes gan ryw ymryson lled boethlyd rhyngddo a'r cyfreithwyr yn achos prïodasau annghyfreithlawn; a'r naill beth gyd a'r llall a effeithiai mor ddwys ar ei feddwl, fel y collodd ei annwyldeb at ei hoff ddinas, ac y penderfynodd ei gadael heb un bwriad i ddychwelyd yn ol iddi: felly yn Ionawr, 1546, ar alwad taer Ieirll Mansfield, efe a gychwynodd tua'i fro enedigol er gwaeled ydoedd. Ei gymdeithion ar y daith hon oeddynt ei dri mab, Ioan, Martin, a Paul; gyd a'i gyfaill dianwadal Iustus Ionas. Yr afon Issel, yr hon a groesai ei ffordd, oedd wedi gorlifo ei cheulanau, a phan oedd efe a'i gymdeithion yn ei chroesi, mae yn ymddangos iddynt fod mewn cryn enbydrwydd, yr hyn a achlysurai ei ddywediad hygof wrthynt, 'Oni feddyliech chwi y byddai yn dra dymunol gan y diafol pe caem ni ein boddi yma?'

Pan gyrhaeddodd efe derfynau Ieirll Mansfield, cyfarfyddid ef gan y pendefigion hyn ac oddeutu cant o wyr meirch, y rhai a'i ysgorddient yn anrhydeddus i Eisleben, ei dref enedigol: ond er pob peth, claf iawn oedd efe; ac ar yr 17eg o Chwef. yr oedd ei afiechyd yn ymddangos yn dra pheryglus. Cwynai yn mhrydnhawn y dydd hwnw, fod y boen yn ei gylla yn cryfhau; a hyny yn fwy, ar ol swperu. Tuag un o'r gloch y boreu, galwai am Ambrose a Ionas, a dymunai gael twymno gwely yn un o'r stafelloedd nesaf, a'i symmud yno, oddiar y gwely bychan, lle yr oedd yn gorwedd, wrth y tân. Yna dywedai, 'O Ionas, mor glaf ydwyf! yr wyf yn teimlo rhyw bwysau annïoddefol ar fy mynwes, ac y mae yn ddiddadl y byddaf farw yn Eisleben.' Prysurai Ambrose, ac wedi ei gyfodi, efe a'i harweiniai i'r ystafell nesaf; ac fel yr oedd y Diwygiwr enwog yn croesi gorsing yr ystafell, efe a ddywedai, 'I'th ddwylaw di y gorchymynaf fy ysbryd.' Yna efe a ddechreuai weddïo gan ddywedyd, 'O fy Nhad nefol, dragwyddol a thrugarog Dduw,

tydi, a ddatguddiaist dy Fab, ein Harglwydd Iesu Grist i mi: a hwn a bregethais ac a gyffesais I, gan ei garu a'i addoli ef, fel fy Iachawdwr a'm Prynwr anwylaf, er fod y drygionus yn ei erlid, ac yn ei gablu ef.' Yna efe a adroddodd amryw eiriau o'r Salm, megys, 'Ein Duw ni sydd Dduw iachawdwriaeth, ac i'r Arglwydd Dduw y perthyn dïangfäau rhag marwolaeth;' trachefn ychwanegai y geiriau hyny dair gwaith olynol, 'I'th ddwylaw di Arglwydd, y gorchymynaf fy ysbryd; gwaredaist fi, O Arglwydd Dduw y gwirionedd.' Tra yr oedd y meddygon a'i weinyddion yn cymhwyso y moddion meddygol ato, dechreuai ei lais ballu, ac nid attebai hwynt, er iddynt floeddio arno, ond efe a fu farw rhwng dau a thri, heb un arwydd neillduol o boen arno.

Rhoddwyd ei gorph mewn arch blwm, ac a'i symmudwyd i eglwys Eisleben, lle y pregethodd ei gyfaill y Dr. Jonas, ar yr achlysur galarus, i dyrfa luosawg o rai oeddynt yn dwys alaru am ei ymadawiad ef. Ieirll Mansfield a ewyllysient ei gladdu yno, yn ei bentref ganedigol, ond Etholydd Saxoni a ddymunai gael ei gorph i'w gladdu yn Wittemberg, lle y buasai ei fywyd a'i lafur mor ddefnyddiol. Ac ymgynnullai i'r ddinas hono ar ddydd ei gladdedigaeth, y torfeydd lluosocaf a welsid yno erïoed o'r blaen, o dywysogion, pendefigion, a dysgedigion, yn nghyd a'r werin yn aneirif. Ei hen gyfaill Pomeranius, a bregethai o flaen y claddedigaeth i'r dorf fawr, a Melancthon a wnaeth yr araeth angladdol yn nghanol llawer o ddagrau.

O. JONES.

---

## DYWEDIADAU CYNNWYSFAWR.

Presenoldeb Duw ydyw bywyd yr ordinhadau, ffynhonell pob gras, gogoniant yr eglwys, cadernid y weinidogaeth, a gwynfydedigrwydd yr angylion.

Mabwysiad a rydd *hawl-fraint* i'r nefoedd, sancteiddrwydd a rydd *addasrwydd* i fyned yno.

O bob gwybodaeth, hono ydyw yr un fwyaf ardderchog, ar yr hon yr ymddibyna ein bywyd tragywyddol, sef gwybodaeth o Dduw yn Nghrist.

Dyledswyddau ydyw hyfrydwch y Cristion, ond nid ei hyder. Mae'r ddeddf yn condemnio am bechod, yr efengyl yn cyfiawnhau drwy Grist; y ddeddf yn clwyfo'r gydwybod, yr efengyl yn iachau. Mae'r credadyn yn farw i'r *ddeddf;* yn farw i'w hammodau, yn farw i'w bygythion, yn farw i'w haddewidion; ond nid ydyw'n farw i'w rheolau.

Mae gan edifeirwch fath o edrychiad dyblyg, mae yn edrych ar y pethau a aethant heibio gyd a *llygad wyledig,* a phethau dyfodol gyd a *llygad gwyliedig.*

Mae gweithrediad *gras* yn rhyfeddol, meddalhä'r galon galed, dad-blyga'r galon drachwantus, a darostynga'r galon gyndyn. Geill addewidion Duw yn hawdd roddi calondid i'r enaid diffygiol, o herwydd eu bod mor gyfaddas, mor helaeth ac ehang, mor werthfawr a melys, mor rad, ac mor ffyddlon.

Mae bywyd yn ngeiriau Crist, maent yn *cyhoeddi* bywyd i ddynion, yn *trosglwyddo* bywyd i'r enaid, ac yn *cynnal* bywyd yn yr enaid. Swydd yr Yspryd Glan sy'n gynnwysedig yn y ddau waith mawreddus hyn, sef *dysgu* a *diddanu.* Yr hwn ni fyn ei ddiwygio gan yr Yspryd Glan, ni ddichon byth gael ei ddiddanu ganddo. Mae 'cyfiawnder a llawenydd yn yr Yspryd Glan' yn cyd fyned a'u gilydd.

Ni ddichon yr eglwys fyw heb ffydd, ac ni ddichon ffydd fyw heb yr addewidion.

Mae *anadl* gweddi yn tarddu o *fywyd* ffydd.

Mae y gwir Gristion yn byw fel sant, ond yn cardottu fel pechadur. Mae addewidion yr Efengyl gwedi eu selio i ni, trwy lw y Tad, gwaed y Mab, a thystiolaethau'r Yspryd Glan.

Bod yn gristion, ac yn gristion dioddefol sydd ddwbl anrhydedd. Y rhai sydd 'oleuni yn yr Arglwydd' ydynt oleuni yn y byd, wrth hyny yn hawdd eu hadnabod. Grasusau'r cristion sydd megis peraroglau, y mwyaf eu gwasger, pereiddiaf yr aroglant; megis sêr, y rhai a ddisglaeriant lewyrchaf yn y nos dywyllaf; ac megis coed, y mwyaf eu hysgydwer, dyfnach y gwreiddiant, a ffrwyth ychwanegol a ddygant. Fel mae'r afonydd a'r ffynnonau yn tarddu o'r môr ac yn dychwelyd yno eilwaith; cyffelyb yw gwir ras yn y

galon megis ffynnon, a'i ffrydiau'n dylifo at Dduw, yr eigion o'r lle y tarddodd.

Enaid zelog heb addfwynder, sydd gyffelyb i long mewn storm. mewn perygl o ddryllio. Ac enaid addfwyn heb zel, sydd debyg i long mewn tawelwch, yr hon nad yw yn hwylio i'w phorthladd mor gynted ag y dylai.

Dylai pob gwir gristion fod fel arch Noah, yr hon ydoedd gwedi ei phygu (*pitched*) oddi mewn ac oddi allan, Gen. vi. 14. Dylent fod yn sanctaidd oddi mewn ac oddi allan: eu proffes a'u hymarferiad yn cyduno a'u gilydd.

*Caerlleon.* . Cyf J. MORRIS.

---

SYLWADAU AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O GANU MAWL.

(Parhad tu dalen 12.)

II. Ceisiaf ddangos pa beth ydyw canu.

Mae y gair canu yn cael ei ddefnyddio yn yr Ysgrythyrau, mewn gwahanol ystyriaethau. Pan y cyfrifer canu idd y greadigaeth fud, megis y Nefoedd, y Ddaear, y Bryniau, y Coedydd a phethau ereill, dylem ddeall hyny mewn ystyr anmhriodol. Y creaduriaid y cyfrifir canu iddynt mewn ystyr briodol, ydynt Angelion, Dynion ac adar. Gweithred y llais yw canu, etto nid canu ydyw pob swn a wneir â'r llais, onide, pa ham y gelwid cethlyddiaeth a mwyn byngciau yr adar yn ganu, mwy na rhochiad y mochyn, cyfarthiad y ci, rhuad y llew, beichiad yr ŷch a gweryriad y march. Nid yw pob swn a wna yr adar ychwaith â'u llais yn ganu, canys dywedir nad yw y rhai banyw, eithr gwrywiaid yn unig yn canu. Dywedir hefyd nad yw canu yn briodol i adar o fwy o faintioliaeth na'r mwyalch, sef yr aderyn du. Ond dywedwn ni y Cymry, bod ceiliog yr iâr yn canu, er tebygol na wna yr un genedl arall hyny. Nid yw y rhan ymadrodd, *cai eudeos alector euphonesen*, a gyfieithir, 'ac yn y man y canodd y ceiliog,' yn arwyddo ond darfod iddo yn y man leisio; neu roddi ei lais allan.

Mae'n amlwg hefyd nad yw pob math o swn a wna dynion â'u lleisiau yn ganu. Mae gwaedd alarus y gorchfygedig, a bloedd orfoleddus y buddugoliaethydd yn dra gwahanol oddi wrth ganu. Pan y disgynai Moses a Iosbua o fynydd Sinai, yn ganlynol i wneuthuriad y llo aur yn yr anialwch, pryd y canai yr Israeliaid o flaen yr eilun, pan y clywai Iosbua swn y bobl yn bloeddio, dywedai wrth Moses, 'y mae swn rhyfel yn y gwersyll.' Atebai Moses a dywedai, 'Nid llais bloeddio am oruchafiaeth, ac nid llais gwaeddi am golli'r maes, ond *swn canu* a glywaf fi;' yn gosod allan yn eglur y gwahaniaeth rhwng y naill a'r llall. Exod, 32. 17, 18.

Nid ydyw pob swn a wneir gan ddynion â'u lleisiau hyd yn nod yn addoliad yr Arglwydd, ac a olygir gan laweroedd yn ganu, yn deilwng o'r enwad. Ond y mae canu yn arwyddo yn ol ystyr briodol y gair, bod y llais yn cael ei osod allan mewn modd tônawl, mwynaidd, peraidd a chethlyddaidd, yn gyfatebawl ag ansawdd neu sylwedd yr hyn a genir.

Mae canu mawl i Dduw idd ei wahaniaethu hefyd oddi wrth bob dawn a gras ysbrydol a phob dyledswydd grefyddol arall. Nid gorfoledd ysbrydol na llawenydd yn yr Ysbryd Glan ydyw. Nid oes dim yn cymhwyso dyn yn fwy idd y gorchwyl goruchel hwn na chyflawnder o ddyddanwch a gorfoledd ysbrydol. Etto nid hyny yw canu. Dichon y saint, ac y maent yn fynych yn cyfranogi yn helaeth o'r llawenydd hwn pryd nas gallant ddefnyddio eu lleisiau i ganu, yr hyn nis gellir ei wneuthur heb y llais. Nid ydyw 'canu a phyngciaw yn eiu calonau i'r Arglwydd,' (Ephes 5. 19. Col. 3. 16.) yn arwyddo amgen na'n bod yn canu o'n calonau, a'n holl ddyn gorph ac enaid, yn gywir a gwirioneddol yn y gwaith. Mae canu idd ei wahaniaethu oddi wrth weddi ac oddi wrth roddi diolch. Iago. 5. 13. 1 Cor. 14. 15. Math. 26. 26—30. Mae canu yn wahaniaethol hefyd oddi wrth foliannu a chlodfori. Gwelir hyn yn eglur yn ngeiriau Dafydd, Ps. 18. 'Am hyny y moliannaf di o Arglwydd, ac y canaf i'th enw.' Os yr un peth yw canu a moli, beth gan hyny ydyw canu mawl? Dichon i ni foliannu a chlodfori yr Arglwydd mewn llawer dull a modd. Gwneir hyn mewn gweddiau, pan y cydnabyddir ac y cyffesir ei fawredd a'i oruchelder, a

gwneir yr unrhyw mewn pregethau, pan y gosodir allan ei ogoniant a'i ardderchawgrwydd. Ond un ffordd arbenig a neillduol i wneuthur hyn ydyw ar lais cân, yn deilwng i fawredd y Gwrthddrych y cenir iddo, yn weddus a threfnus, yn gerddgar a chethlyddaidd yn ol rheolau gwehelyth,* a graddau seingar cerddoriaeth fel y'i rhoddwyd yn ddawn naturiol a greddfol mewn dyn yn ei greadigaeth.

Dynwarediad o'r dawn hwn yn y gweithrediadau o hono, ydyw seiniau cerddorawl yr Organ ac offerynau eraill cerddoriaeth. Ac un achos bod y rhai hyn yn cyrhaedd yn nes at berffeithrwydd yn seiniad rhai o raddau cerddoriaeth nac y gwna llawer o gerddorion llafar, ydyw bod teimlwyr eu tannau a chwythyddion eu pibellau yn talu mwy o ofal a dyfalwch yn hyny fel celfyddyd, nac a wnai dynion yn gyffredinol mewn cerddoriaeth lafar fel rhan o addoliad yr Arglwydd! Ond er hyny y mae yn amlwg nad oes angenrheidrwydd am y rhai hyn yn addoliad yr Arglwydd dan oruchwyliaeth yr Efengyl, canys nid oes orchymyn nac esampl yn y Testament Newydd, yn cadarnâu yr arferiad o honynt. Nid oes anghen ychwaith am eu cynnhorthwy er pereiddiaw sain cerddoriaeth, oblegyd cân cynnulleidfa hyfforddus, gynnwysedig o feibion a merched yn nghyd, gŷd â llawer mwy o ddestlusrwydd a phereidd-dra nac y seinia yr offerynau pereiddiaf.

Dangoseg o'r dawn hwn ydyw Dringraddau cerdd, sef y *Gamut*, ac arwyddion o'amrywiol seiniau, graddau a moddau y dawn yn y gweithrediad neu yr arferiad o honynt ydyw yr holl dôn-nodau. Mae yn amlwg bod y gyfundraith a ddefnyddir yn bresennol fel egwyddordrefn cerddoriaeth wedi ei dwyn i raddau helaeth o berffeithrwydd a defnyddioldeb, er mai nid yr un drefn ydyw ag a arferid yn nghynoesoedd y Byd. Gellir casglu oddi wrth Ditlau llawer o'r Psalmau, y defnyddid rhyw drefn neu offerynau yn nyddiau Dafydd, peraidd ganiedydd Israel a'i olynwyr, i ateb yr un dyben ag a wna y *Gamut* a'r tôn-nodau yn ein dyddiau ni.

Ond etto y mae camolygiadau mawrion yn nghylch y tôn-nodau yn cael eu llochesu yn meddyliau llaweroedd. Dercha fa rhai hwynt goruwch eu sefyllfa briodol, gan eu cyfrif fel yr achos o bob cywreinrwydd a destlusrwydd mewn cerddoriaeth. Gostynga eraill hwynt goris eu sefyllfa briodol, gan gyfrif nad ydynt dda i ddim, a'u golygu fel pethau hollol diangenrhaid, ïe fel pethau o fawr niwaid. Ond y gwir yw, nad ydynt yn achos o un gradd na saiu mewn cerddoriaeth, eithr arwyddion yn unig. Er i gelfyddwyr o bryd i bryd ychwanegu (fel y soniwyd) at reolau cerddoriaeth, etto ni ychwanegasant at raddau seingar y dawn. Felly gan hyny y mae yn amlwg, nad oes yn y tônnodau fwy o ddaioni, nac ychwaith o niwaid, na bod yn arwyddion o'r hyn sydd gynwysedig yn y dawn fel y mae ynddo ei hun. Yr hyn ydyw llythyrenau i seiniau llafar, yw y tônnodau i seiniau cerddgar. Gan hyny y mae y defnyddiad o honynt yn nghaniadau ac addoliad yr Arglwydd, cyhyd y gwneir hyny er cynnorthwy i iawn drefn a gweddeidd-dra, mor gyfreithlon a diniwaid ag ydyw yr arferiad o lythyrenau yn y cyfryw.

Mae cerddoriaeth yn wahaniaethol o ran yr hyn ydyw fel cyfundraeth, (*system*) a'r hyn yw fel y mae yn ddawn naturiol mewn dyn. Yr oedd hyn yn bod yn y dechreuad cyn cwymp dyn, pryd yr ydoedd yn berffaith fel y daethai o law ei Greawdwr. Ond yn bresennol, pan y mae dyn trwy y farwolaeth naturiol a ddygodd idd ei ran trwy bechod, wedi dirywio yn fawr yn y galluoedd a'r doniau naturiol priodol iddo, y mae y gwahaniaeth (ni ddywedaf yn fwy, eithr) idd ei ganfod yn eglurach.

* Gellir golygu rheolau cerddoriaeth fel yn wehelyth neu wreiddiol a naturiol, ac yn rhai achlysurol. Gwehelyth yw y rhai priodol i gerddoriaeth fel y mae ynddi ei hun, y rhai ped y'i gwahenid oddi wrthi a'i dihanfodai. Ac achlysurol yw y rhai a ffurfir a gyfnewidir ac a ddiddymir o bryd i bryd gan gelfyddydwyr. Darllen ac ystyried hanes cerddoriaeth yn ngwahanol oesoedd y Byd a roddai eglurhad ar hyn. Er na chyfrifwyf fy hun ond prin digon o feirniad i wahannodi y rhai hyn, ac na pherthyn hyny mewn modd neillduol i mi fel sylwedydd ar gerddoriaeth fel ordinhad a dyledswydd grefyddol, etto y mae graddau o wybodaeth gywir am hyn yn angenrheidiol er iawn ddeall cerddoriaeth.

Fel yr ydoedd dyn yn ei gyflwr creadigol yr oedd ei ddawn yn berffaith gyfartal â'r hyn yw cerddoriaeth fel y mae yn gyfundraeth ynddi ei hun.—Yr oedd ei ddeall yn fywiog, ei wybodaeth yn helaeth, ei reddf naturiol, a'i alluoedd cerddorawl yn ei dueddu, ei ysgogi, ac yn ei allnogi i weithredu yn berffaith gyson a chyfatebol â chywreinrwydd mwyaf cerddoriaeth. Ond yn bresennol nid gwiw ceisio deall na mesur cerddoriaeth i berffeithrwydd, wrth wybodaeth, medrusrwydd na doniau cerddorion. Ac er bod rhai yn rhagori llawer ar ereill mewn gwybodaeth a medrusrwydd, etto ni thybiwyf bod hyd yn nod y rhai rhagoraf yn agos i gystadledd â'r hyn oedd dyn yn ei ystad gyntefig.

Mae dirywiad dynoliaeth yn hyn, idd ei ganfod yn eglur yn yr annghyfartalrwydd sydd yn aml rhwng gwybodaeth dynion mewn cerddoriaeth, a'u medrusrwydd i weithredu. Canfyddir yn fynych rai a fedrant lefaru yn gywir am bob peth bron perthynol i gerddoriaeth, etto pe profer eu medrusrwydd i weithredu, ceid hwynt yn dra annghelfydd. Cyfarfyddir ag ereill nas medrant lefaru yn drefnus bron am ddim priodol i gerddoriaeth fel celfyddyd er hyny gweithredant yn dra destlus a chywrain.

Gellid dospartbu y wybodaeth hon fel llawer o wybodaethau buddiol ereill priodol i ddynion, i wybodaeth farw, anweithredgar, ac anymarferol, ac i wybodaeth brofiadol ac ymarferol. Mae tuedd i ymchwyddo yn cydfyned yn aml â gwybodaeth dynion pryd na byddo ond anmhrofiadol ac anweithredgar, ond pan y mae yn wybodaeth brofiadol ac ymarferol y mae yn wastad yn tywys ei pherchenog i ostyngeiddrwydd. Arwydd neillduol o ddiffyg ac anmherffeithrwydd mewn gwybodaeth yw bod ymchwydd yn gyssylltiedig â hi. Oblegyd y mae y wybodaeth sydd o anian ac egwyddor uniawn a pherffaith, o ba raddau bynag y mae, yn wastad yn gyd-dymheredig â chariad a gostyngeiddrwydd.

Ni ysgrifenwyf hyn i feio na digaloni neb, ond yn hollol i'r gwrthwyneb,—i'n hannog a'n calonogi i fwy o ddyfalwch ac egni yn ein mynediad yn mlaen yn ffordd ein dyledswydd. Pe buasem o ran ein tuedd a'n medrusrwydd, yr hyn oeddym yn ein gwreiddyn a'n tad Adda, buasai annogaethau fel hyn yn hollol afreidiol ac anmhriodol. Ond yn bresennol pan nad yw gwybodaeth na medrusrwydd yn gyrhaeddadwy in' ond trwy ddyfalwch a llafur, dichon sylwadau o'r fath yma dueddu at adeiladaeth fuddiol. Deffrown gan hyny, ac ymestynwn at berffeithrwydd. Ac er y gallwn benderfynu na chyrhaeddwn berffeithrwydd hollol yn hyn hyd y boreu gwynfydedig y cyfodir ein cyrph o briddellau y dyffryn, etto ymddygwn fel rhai yn meddiannu gobaith, ac ymadawn â'r dull musgrell, annhrefnus ac anmhrydferth y cafwyd ni ynddo lawer gwaith gŷd â y gorchwyl goruchel o ganu mawl i Dduw. Nid yw yn beth dieithr nac anmhriodol i saint ymestyn at bethau y gwyddant nas cyrhaeddant, a dymuno bod yr hyn y gwyddant nas byddant hyd ddydd prynedigaeth eu cyrph. Gan hyny nis gall anmhrioldeb fod yn yr annogaethau hyn.

Na ddyweded ac na feddylied y gweiniaid—y rhai a olygir ganddynt eu hunain ac ereill fel yn meddiannu ond ychydig neu ddim cymhwysderau i ganu, nad oes iddynt na rhan na chyfran yn y gorchwyl ardderchog o ganu mawl i'r Arglwydd; nid felly y mae—y mae iddynt eu rhan a'u braint yn hyn gystal ag ereill—'Cenwch i'r Arglwydd yr holl ddaear.' Gall, ac y mae'n dygwydd yn aml, bod yr Arglwydd yn cael mwy a chymeradwyach mawl o eneuau rhai o ddoniau bychain, nag y mae yn ei gael oddi wrth rai o gymhwysderau helaethach. Yr achos o hyn yw bod moliant y naill yn fynych, yn fwy syml ac ysbrydol na moliant y lleill. Gallant hefyd sugno yr uurhyw fendithion ac ymgeledd ysbrydol idd eu heneidiau yn yr arferiad o'r ordinhad, yr un modd a phe buasent yn helaethach eu medrusrwydd mewn cerddoriaeth.

Yn mhellach, dichon iddynt fod, ac y mae lliaws o honynt fel aelodau cymdeithas yn ddefnyddiol mewn cerddoriaeth gyn'lleidiaol. Er bod dyn wedi dirywio yn fawr yn ei alluoedd cerddorawl, a bod

graddau yn y dirywiad hwn yn mhlith dynion, etto nid wyf yn meddwl (wedi dwys ystyried dros lawer o flynyddoedd), bod neb o synwyrau a galluoedd cyffredin, cynnysgaeddedig â pheiriannau ymadrodd, nas gall, gŷd â gofal a diwidrwydd weithredu yn hyn mewn cynnulleidfa, yn ddefnyddiol ac adeiladol. Nid y rhai hyn, eithr rhai yn meddiannu galluoedd a chymhwysderau i weithredu, ac er hyny yn eu camarfer, sydd yn niweidiaw trefn, gweddeidd-dra a destlusrwydd cerddoriaeth!

Cynnysgaedded yr Arglwydd ni âg anian a fyddo o gariad atto ac ufudd-dod iddo, yn ein gweithio beunydd i gydymffurfiad â'i ordinadau sanctaidd. Ac yna er ein anmherffeithrwydd presennol, cyfarfyddwn â thymhor yn yr hwn y byddwn wedi ein hollol gyfaddasu idd ei fwynhau a'i wasanaethu wrth ein bodd; ac er gwaned y'm yn awr, byddwn mewn corph ac enaid wedi ein cadarnau a'n cymhwyso i ddal tragywyddol bwys gogoniant, heb ofni brêg nac anhwyl byth! TALMID.

*Diwedd yr ail ran.*

---

## LLYTHYR V.

***Oddi wrth hen Weinidog yr Efengyl at ei fab ar ddechreuad ei weinidogaeth.***

Fy Anwyl Fab,—Mae cyfrinach drwy lythyrau yn dra buddiol, pan y byddo amgylchiadau yn gomedd cymdeithas bersonol. Wedi i mi roi rhyw frasddarlun o'th waith yn yr Eglwys, addasaf y llythyr hwn yn gydymaith it yn dy fyfyrgell. Er mwyn bod yn fyrr yn fy rhagymadrodd, mi sylwaf yn gyntaf fod myfyrdod ysbrydol yn ddyledswydd arbenig arnat. Gwaith y deall mae yn debyg yw myfyrdod, yn cael ei annog gan y serch, a'i reoleiddio gan yr ewyllys, ac yn casglu i drysordy y côf, wedi passio yn gymeradwy yn llys y gydwybod; ac fel hyn gweli fod yr holl enaid yn dwyn ymlaen fyfyrdod.

Ond mae santaidd ac ysbrydol fyfyrdod yn fryn rhy uchel i ddyn llygredig a chnawdol ei ddringo, bydd penysgafnder yn achlysuro ynfydrwydd, ac yn ei gwympo i lawr i lyngclyn cyfeiliornad. Ac am hyny cyn cael myfyriwr ysbrydol a santaidd, rhaid i Ysbryd Duw ddadgymalu yr enaid; a gwneud yn debyg fel y byddent gynt gyda thŷ y gwahanglwyf, crafu yr holl gerrig oddi wrth y llygredigaeth; ac felly rhaid gwneud â'r dyn anianol, am nad oes ynddo ddim tynfa at nefol ac ysbrydol fyfyrdod.

Ond mae myfyrdod nefol yn ddyledswydd ar bob cristion neillduol, hyn sydd iddo fel yn natur yr anifail glân i gnoi ei gil, ar bethau yr efengyl. Mae yn sylwedig am bawb a ymadawant yn ebrwydd â'u hymborth, mai rhai afiach ydynt; felly hefyd yn ysbrydol, os na bydd y gwirionedd yn cael arosfa syml yn meddwl a myfyrdod y dyn, mae yr afiechyd etto yn aros. Pethau buddiol a chyffredinol y cristion i fyfyrio, ydynt, fatterion a gryfhâ ei ffydd a'i gariad at Dduw yn Nghrist, ac a'i nertha i ffieiddio ei hun mewn hunan ymwadiad; yn hyn y dawef o hŷd i bob peth er ei adeiliadaeth ysbrydol, a'i gynydd mewn gras, a'i aeddfedu yn hiraethlon am ei nefol gartref. Oh dyma dir bras, dyma flodau paradwys i'r gwenyn nefol i sugno mêl; byddai yn ddifyrwch genyf ysgrifenu ar destynau nefol fyfyrdod, ond rhaid im grynhoi gan alw i'th gôf fod y rhyw yma o fyfyrdod yn ddyledus a buddiol i tithau fel cristion.

Eithr fel gweinidog mae i ti faesydd eraill hefyd i fyfyrio ynddynt, enwaf rai o honynt cyn y diwedd. Nid pob pregethwr sydd o'r farn fod y rhyw yma o fyfyrdod yn ddyledswydd; neu o leiaf fod eisiau rhyw lawer o drafferth gyda hi; ond yn hytrach, adrodd y peth cyntaf a ddelo i'w feddwl, a gollwng y rhaff i ystwythder ei ddawn, a llithrigrwydd ei dafod; ond dwys ystyria fawredd a manylrwydd dy waith, yna gweli yr anghenrheidrwydd. 'Mewn gwaith edau a nodwydd y dygir hi at y brenin,' gwaith cywrain, onide? ac mae i'r gweinidog ychydig gyfran ynddo. Nid teimlo curiad y gwaed yn unig, sydd ddigon i wneud Physygwr, rhaid iddo ddarllain, astudio, ymofyn, sylwi, gwneuthur prawf o'i fedr lawer gwaith trosodd. Ac mae gweinidog yr Efengyl yn Physygwr o radd llawer uwch, a chanddo faes helaeth o'i flaen.

Ei ddyledswydd yw, myfyrio i ddeall y clefydau, ac i gyflawni ei hun â physygwriaeth addas; rhag os digwydd i'r cleifion ymholi, iddo fethu atteb na meddygin-

iaethu. 'Iachasant friw merch fy mhobl yn ysgafn,' ydoedd cwyn yr Arglwydd unwaith; prophwydi oeddynt, fel llawer o rai yr oes yma, yn trin *slight of hand*, a mwy o ofal am gnû y defaid, nag am eu bywydau. Ond, myfyrdod yw y llwybr i ti ddisgwyl cynnydd; 'fel y byddo dy gynydd yn eglur i bawb.' Trwy y farchnad yma y gwneir y pump talent yn ddeg. Dyma ffordd i agor drws i gydymaith melus: yn yr ardd gnau o nefol fyfyrdod (yn torri plisg caledion y cysgodau) y gwnaed enaid yr Eglwys fel cerbydau Aminadab; (rhai a briodolant yr ymadrodd yn eiddo anwylyd yr Eglwys.)

Mae yn debygol mai mewn dwfn fyfyrdod yr oedd Ioan yn Ynys Patmos, pan y gwelodd efe Alpha ac Omega, ac y cafodd y fath ddatguddiad ganddo. A'r gweinidog sydd a'i draed anamlaf ar rodfëydd myfyrdod efangylaidd, sydd yn magu y gymalwst o annibendod ffurfiol a marwaidd, yn ei wasanaeth ysbrydol. Ond ni wna ryw ychydig o arian parod yn y llogell y tro i atteb i'r gofyn sydd ar weinidog, er fod rhai yn tybied hyny, ond rhaid ei fod wedi darparu yn dda trwy ei fyfyrdod yn yr ariandŷ. Ond ni helaethaf ar y pen yma, er y gallwn, gan gredu dy fod yn ei hystyried yn ddyledswydd fanteisiol, am hyny rhoddaf ychydig o gyfarwyddiadau mewn perthynas i'r dull fuddiolaf i'w chyflawni.

Gofala am neillduo rhyw gyfran yn gydwybodol o'th amser (yn y boreu os gelli) at y gwaith, gan ddechreu mewn gweddi reolaidd, ei gyflawni mewn saeth weddi, a dybenu mewn gweddi drefnus. Rhaid i weddi fod fel y ddwy gaenen wlith oddeutu y manna i gadw dy fyfyrgell yn iraidd. Mae cynnifer o adar a gwybed uffernol am ddisgyn ar yr aberth yn y meddwl, rhaid galw am help i'w tarfu. Ac mae cynnifer o seliau a dyblygion ymhob Llyfr teilwng o'th fyfyrdod, rhaid it wylo llawer am gael un i allu agoryd y llyfr ac i ddattod ei seliau ef. A chyd a hyny, mae cymaint o ddryghin temtasiwn a phrofedigaethau am ddiffodd y fflam, rhaid cael un i dywallt yr olew euraid i gynal y goleuni a'r gwres yn yr enaid. Ac mae dy enau dithau mor gauad, rhaid it gael help i'w hagoryd, ac i roi sugn yn nhaflod dy safn, i dynu y mel o'r blodau. Etto, rhaid it ei chyflawni yn ofalus iawn, pa cywreiniaf y gwaith, pa amlaf yr anfanteision, pa mwyaf y rhwystrau, a pha cryfaf y gelynion, mwyaf oll y gelwir y gofal a'r pryder parhaus i'w gyflawni.

Wele yn awr, gan mai gwaith tumewnol ranau y dyn yw myfyrdod, a bod pethau ysbrydol a santaidd mor ddieithrol i ninnau, a chymaint o elynion i santeiddrwydd yn ymlechu yn nirgelion calon y goreu o honom, a'u holl ystryw am fygu pob cynnyg am fyfyrdod nefol, onid yw yn galw am ofal mawr i gadw rhyw ychydig o hamdden i'r golomen nefolaidd? Mae eisiau gofal i gadw tawelwch i'r meddwl; nid yn swn a dwndwr y farchnad, mae'r lle goreu i drefnu anturiaeth dyniaeth i fwyn-gloddiau yr Efengyl; nid pan fyddo ystormydd helynt y teulu a'r byd yn chwythu drymaf yw yr amser mwyaf manteisial i gasglu oddi ar flodau Rhosyn Saron; na, rhaid cael y meddwl yn dawel, yr awyr heb y cymylau duon, i fedru rhodio y gweirglodd-dir santaidd mewn myfyrdod pleserus. Ond lle gwych i ddiangc o'r stormydd yma yw cell myfyrdod, os bydd iddi trwy weddi gael ei hagor o'n blaen, a chau ei drws arnom.

Mae eisiau gofal hefyd i gadw gwaith i'r meddwl yn yr hamdden yma. Ar ol i deyrnas Israel gael llygeidyn llonyddwch yn nyddiau Solomon, y gwaith nesaf oedd adeiladu y Deml, ac os na roddwn ni waith i'r myfyrdod nid hir y gadewir ef yn segur gan y diafol, pe byddai ond cibau moch i ymborthi arnynt. Bydded gwaith dy feddwl yn fuddiol iti fel cristion, ac hefyd yn gymwys i'w gyfranu i eraill fel Gweinidog: na fydd fel pibell yn gwenhynu dwfr i eraill, a heb fwynhau dim dy hun: 'Allan o'r bwyttawr y daeth bwyd,' medd Samson: os unwaith y methi sugno pleser, adeiliadaeth, a budd i ti dy hun wrth fyfyrio, nid anhawdd rhoi'r gwaith heibio erbyn rhyw amser arall.

Bydd ofalus hefyd, 'i gyd farnu pethau ysbrydol â phethau ysbrydol,' cyffelybiaeth oddi wrth bwyswr gyda ei nwyddau; felly dithau, cyn rhoi i gadw un matter, pen na dryll, i feddwl ei gyfranu i eraill, cerdd ag ef 'at y gyfraith ac at y

dystiolaeth' i'w bwyso yn nghlorian y cysegr, ac os nâ byddi ddigon craffus i ganfod pa ochor y bydd yn debyg o droi, cais fenthyg syllwydrau diwinyddion dy lyfrgell. Ond (fel y dwedais ryw dro o'r blaen) gwell it foddloni ar bethau fyddo yn sicr bwysau, nag ymyryd â dim gyda llaw ysgafn. Gyda hyny, bydd ofalus i iawn droedio at wirionedd yr Efengyl; o bob man, ac oddi wrth bob peth, bydded dy dynfa at bwysig bethau Crist. Rhaid it wrth fyfyrio fod fel un yn trafaelio, gan ennill tir newydd o hyd; nid fel yr anifail rhwym wrth bawl, heb ganddo le i'w gerdded ond yr un fan lle y cyraedd hyd ei dennyn, nes ei wneuthur yn eithafcoch a llwm: dyma fel mae llawer pregethwr; y rhai ydynt heb ysbryd llafur, a heb fawr o arweiniad gan Ysbryd Duw. Blinir ar yr un stori er iddi fod yn dda, os aml adroddir hi. Bydd ymdeithwyr boneddigaidd yn sylwi llawer oddi amgylch iddynt mewn gwledydd dieithr; gelli dithau gael llawer lloffyn wrth sylwi oddeutu dy ffordd, ond bydded dy draed ar yr hên ffordd dda, lle y rhodiodd gwyr gynt: 'llawer a gyniweiriant, a gwybodaeth a amlheir.'

Ond amser a lle myfyrdod sydd bethau i fod yn ofalus yn eu cylch; dywedais, mai tawelwch boreuol sydd amser manteisiol i fyn'd (yn ol cyngor Crist) i'r stafell, a chau y drws ar helynt y byd allan; ac mae yn ddyledus ac yn fuddiol i bob Gweinidog neillduo rhyw gyfran bob dydd (os geill) at fyfyrdod efangylaidd. Yn dy deithiau a'th helyntion achlysurol, bydded dy lygaid a'th glust, yn cael eu defnyddio gan dy feddwl i sugno testynau myfyrdod buddiol trwyddynt. Dywedir mai lle buddiol i brydydd a pheroriaethydd, yw swn dwfr, a si gwynt; felly medr calon santaidd lunio awdl fuddiol, mewn myfyrdod efangylaidd ynghanol helynt a therfysg. Fe allai dy fod yn barod i feddwl fod fy hên ben yn hurtio, gan im annog cymaint am dawelwch gyneu. Wel, crybwyll yn fyrr am amser y dylit arfer myfyrdod yr wyf yn awr, ac wrth i'm nodi, ymdrecha dithau (os gelli) gael rhyw ddernyn o amser, na ddylit fyfyrio ynddo, ar ryw beth ysbrydol; ac na byddo ynddo ryw fantais i ysbryd meddylgar i weithio. Ond cofia ymdrechu am gadw tawelwch oddi fewn, ac yna ni waeth mor llawer faint fyddo'r ddryghin allanol, os bydd digon o ddyblygion i gadw y rhew allan o'r santaidd fyfyrdod.

Yn bresenol, deuaf at y testynau sydd genyt i fyfyrio arnynt; gan fod y ddyledswydd yn galw am gymaint o ofal pryderus, rhaid felly fod y testynau yn rhai teilwng i'r mawr ofal. Ond cofia cyn im ddechreu, nid wyt i astudio cymaint i gael allan fedrusrwydd mewn adrodd, a chyflêu geiriau dyfnder iaith, i'w eu hadrodd o'th areithfa er mwyn synnu a syfrdanu pawb, a pheidio ag adeiliadu neb. Nid yw doethineb Duw yn rhedeg ffordd yna, nid yn nghamlas godidawgrwydd ymadrodd, neu ddoethineb ddynol, mae'r efengyl yn trafaelio; ac nid a'r geiriau gwreiddiol eithafion iaith, y mae croes Crist yn disgleirio oleuaf, er fod eithafion iaith a godidawgrwydd geiriau yn anfeidrol rhy fyr, i ddatguddio dyfnder dirgeledigaethau Duw, a rhinweddau aberth Calfaria; ond rhyw fodd nid yw cylymu yn dynn âg iaith ddofn â geiriau ansathredig yn cydweddu â phethau Efengyl Crist. Ac un achos o hyny mae'n debyg yw, am fod y gwrthrychau mae ei thrysorau yn wynebu arnynt mor anllythrenog ac anfedrus i dreiddio i bethau iechydwriaeth pan y darlunir hwynt trwy ardderchawgrwydd iaith; am hyny gwell yw it astudio gwreiddiau iaith a geiriau ansathredig it dy hun, nag i'w hadrodd i'th gynulleidfa, oddieithr it allu cyfieitha yn fuddiol.

Ond deall di, nid wyf am gondemnio arferiad gramadegol ac ieithol, ond gofalu rhag iddynt gymylu rhwng neb a gogoniant y Cyfryngwr a'i bethau. Etto, nid wyt i astudio a llafurio mewn ieithoedd estronol er mwyn dysgu ambell air neu ymadrodd i'w adrodd i'th gynulleidfa. Mae rhyw ysbryd tebyg i eiddo'r Papistiaid yn corddi rhai pregethwyr Protestanaidd; ceir ambell wers Lladinaidd neu Roegaidd ganddynt i gynulleidfa Saesnigaidd neu Gymreigaidd! A byddaf yn gorfod ammeu am rai o honynt nad ydynt yn eu deall eu hunain, am na cheir na chyfieithiad nag esponiad ganddynt. Rhyw eppil ryfedd yw rhai felly, haerant fod

Crist ganddynt yn rhyw le o'r tu cefn, ond mae yn amhosibl i ni allu ei ganfod, gan gymaint cruglwyth ydynt hwy yn y wyneb. Ond wrth astudio ieithoedd a phob peth, gofala am bethau a'th addurno â chyflawnder buddiol i'th waith er anrhydedd dy Feistr, a llesâd y rhai a'th wrandawant.

Bydd yn weinidog Crist ymhob man, yn casglu i'th gell ymhob lle. Dywedir am Gainsborough, ei fod ymhob man yn ddarluniwr; fe dynai i'w lyfr ddarlun y gwrthrych yn yr olwg arno, a thrwy hyny darfu iddo ddynwared natur mor rhagorol. *Flavel* hefyd oedd ymhob man yn bregethwr, yn y maes, a'r ardd, ac ar y môr; ac yn wir un felly oedd Crist, yn y tŷ, y maes, y mynydd, ac ar y môr; y lefain, a'r had, a'r pysgod, a'r perl, yn ffordd io iddo bregeth. Ymdrecha dithau i'w ddilyn, trwy fod a myfyrdod gweithgar genyt.

(I'w barhau.)

## GWIR GREFYDD.

Hysbysir i ni yn yr ysgrythyrau sanctaidd, mai nid mewn cynifer o weithrediadau moesawl yn unig, y cynnwysir gwir grefydd; eithr cyfyngir ei gwir wreiddyn i *ymweithiad y gwirionedd dwyfawl yn y galon*, mewn trwyadl gydffurfiad a chydfynediad â'r geiriau hyn, '*Cari yr Arglwydd dy Dduw a'th holl galon, a'th gymmydog fel ti dy hun*:' sef, caru yr Arglwydd, fel Duw, fel Creawdwr, Cynnaliwr a Llywodraethwr pob peth; a thi dy hun fel creadur Duw, a'th gymmydog yn yr un modd, fel y mae yn eiddo ef: y mae y cariad hwn yn ffynhoni *yn* Nuw, ac yn ffrydio tu ag atto, o'r man y cyfleir ef; cariad Duw yn y dyn ydyw; cariad dwyfawl.

Eithr geill rhai *ymgwestiwno*, a gofyn, Pa fodd y gallwn ni garu yr Arglwydd â'n holl galon, a'n cymmydog fel ein hunain, pan y mae ein gallnoedd moesawl wedi eu gwanhau gymmaint, ac hunangariad mor gryf a grymus ynom, drwy effeithiau galarus ein codwm erchyll yn Adda? Gellir cyfeirio y rhai hyn at eiriau yr Apostol Iago 1. 27. 'Crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad yw hyn, ymweled a'r ymddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'th gadw dy hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd.' Dengys yr Apostol yn y geiriau hyn, fod modd i'n hanalluogrwydd moesawl wrth natur, gael ei adferu drwy ras i'w sefyllfa gyntefig cyn y cwymp: pwy bynnag fyddo yn cyfatteb i'r darluniad a rydd yr ymadroddion santaidd uchod yn ddiffuant ac yn berffaith diameu ei fod yn caru ei gymmydog fel *efe ei hun*, yn *gyfartal* ac yn *gymmaint* ag ef ei hun. Er y gellir ymweled â'r ymddifad a'r weddw yn eu hadfyd, heb *feddiannu* y gronyn lleiaf o grefydd bur a dihalogedig. Er hyny os ceidw yr ymwelydd hwnw 'ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd,' ei orchwylion bydol a lywodraethir gan egwyddor o uniondeb, a'i holl ymarferion, yn naturiawl, moesawl a chrefyddawl, a gyflawnir ac a berffeithir dan ddylanwad gwirioneddol yr egwyddor hono, sef, egwyddor santaidd mal gwythien drwy yr enaid; yr hyn, yn ddios a diammeuawl ydyw 'GWIR GREFYDD.'

Dyn yn meddiannu hon a lywodraethir yn ei holl ymwneuthuriadau ganddi; ac hefyd ei weithredoedd a ddygant ddelw hon. Crefydd bur a gwirioneddol, yn bod yn gyfundraeth ogoneddus o ffydd yn Nuw, ac ymorphwysiad hyderus arno, sydd un o'r pyngciau pwysicaf, yn nhrefn iachawdwriaeth dyn; ac felly yn teilyngu sylw mwyaf manwl, a'r gydnabyddiaeth mwyaf diball, oddiwrth ddyn. Ac yn yr ystyriaethau syml hyn, teilynga Duw yr ymostyngiad mwyaf hunan-ymwadol, a pherffeithiaf, oddiwrth ddyn i'w orchymynion, fel sylweddau cywrain a difeth o egwyddorion gwir grefydd, mewn dyn. Cydffurfiad cywir â'r rhai hyn, sydd ffrwythau canmoladwy *gwir grefydd*; a dyma yr arwyddion egluraf o'i tharddiad a'i gweithrediadau, fel goruchwiliaeth ddwyfawl Duw ar enaid y Cristion.

*Abergele.* IORWERTH GLAN ALED.

## RHAGLUNIAETH DUW

*Yn ddarostyngedig i'r Messiah, ac yn wasanaethol i lwyddiant ei deyrnas ef.*

'Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragwyddol,' Ioan 17. 2. 'Ac a ddarostyngodd bob

peth dan ei draed ef, ac a'i rhoddes ef yn ben uwchlaw pob peth i'r eglwys,' Eph. 1. 21.

Rhagluniaeth yw llywyddiad holl ddygwyddiadau dynol, gyda chyfeiriad diugyfrwng at deyrnas y Messiah. Mae gweinyddiad llywodraethiad y byd, o'r funud y cwympodd dyn, wedi ei ddarostwng i wasanaethu er cyflawniad y drefn Gyfryngol. Benthycodd Rhagluniaeth ei hun i wasanaeth Prynedigaeth, ac a roddodd i fynu ei holl weithrediadau a'i chyfnerthoedd wrth droed y groes; yn wahanol i hyn, nid oes gan Ragluniaeth un amcan llesol i'w sicrhau; ac ar ddidol oddiwrth hynyma nid oes iddi un cylch o weithrediad i ymsymud ynddo.

James o *Birmingham*.

---

## CYMHELLIAD SERCHOG

*Ar bechaduriaid tlodion i ddyfod at Iesu Grist.*

'Deuwch attaf fi bawb ag y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch,' *Mat.* 11. 28. 'A'r hwn a ddel attaf fi ni's bwriaf ef allan ddim,' Ioan 6. 37.

A oes genyt bechodau, ynte nid oes genyt yr un?

Os oes, at bwy yr âi di ond at 'Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau'r byd?'

A oes enaid genyt, ynte nid oes yr un?

Os oes, at bwy yr âi di ond at Geidwad eneidiau?

A oes byd i fod ar ol hwn, ynte nid oes yr un?

Os oes, at bwy yr âi di ond at yr hwn y mae ei eiriau yn fywyd tragywyddol?

A oes digofaint i ddyfod, ai nad oes?

Os oes, at bwy yr âi di ond at yr hwn a ddichon 'waredu oddiwrth y digofaint sydd ar ddyfod?'

Ac oni fydd iddo dy dderbyn di? Os rhoddodd efe ei hun i ddwylaw y rhai a geisient ei einioes, a ymguddia efe oddiwrth y rhai a geisiant ei drugaredd ef? Os oedd efe yn ewyllysgar i roddi ei hun i ddwylaw y rhai a'i lladdent ef, onid yw efe yn llawer mwy parod i roddi ei hun i ddwylaw ffydd? Ni fydd i'r hwn a fu farw dros dy bechodau, dy wrthod oherwydd dy annheilyngdod.

O tyred, tyred, tyred! Yr wyf yn deisyf arnat, tyred, Tyred, ac efe a rydd i ti fywyd. Tyred, ac efe a rydd i ti orphwysdra! Tyred, ac efe a'th dderbyn. Cura, ac efe a egyr i ti. Tro dy wyneb atto, ac efe a'th achub di.

A ddaeth neb erioed atto ef am iachad, a myned ymaith heb gael? Yr wyt ti yn ymofyn am ryw beth ynot dy hun, ac yn methu cael dim, ond yr hyn sydd arnat gywilydd o'i blegid? ond na fydded i hyn dy rwystro i ddyfod, ond yn hytrach peri i ti frysio. Tyred fel yr wyt. Tyred yn dlawd! Tyred yn angenus! Tyred yn noeth! Tyred yn wag! Tyred yn druenus! Dim ond dyfod! Cred yn unig, mae ei galon ef yn agored, ei freichiau ar led, ei lawenydd a'i goron yw dy dderbyn; os wyt ti yn ewyllysgar, ni bu efe erioed heb fod felly!

Ac am i ti ddyfod felly atto, a chredu yn y Gwaredwr, a chael dy dderbyn felly ganddo, a chael dy waredu drwyddo, yw taer weddi dy wir ewyllysiwr da.

*Difeinydd o'r Ganrif ddiweddaf.*

---

### CYFARCHIAD AT YR ANNUWIOL.

'Y drygionus a yrir ymaith yn ei ddrygioni.' Pa mor anhawdd bynnag fydd ganddo fyned: fe ddaw yr awr pryd na bydd i'w gael ymysg dynion; nis gall holl alluoedd daear nac uffern attal angau am un funud. Y mae efe yn llaw Duw ac nis gall lwyddo i ddiange, a'r ynfydrwydd mwyaf yw iddo ddychmygu y bydd ef yn drech na Duw yr hwn sydd Holl-alluog. Ddarllenydd anwyl a wyt ti yn elyn i Dduw? Cofia dy fod os na chefaist dy aileni. Ac a wyt ti yn penderfynu gwastraffu yr amser a roddwyd i ti i edifarhau? A wyt ti wedi gwneud dy feddwl i fynu i gyd oesi a gelyn Duw a dynion a hyny am drag'wyddoldeb, trwy barhau i ddilyn dy ffyrdd drygionus? gan drysori *i ti dy hun ddigofaint* (*cofia hyn*) erbyn dydd digofaint a datguddiad cyfiawn farn Duw.

Cofia y dygir di i farwolaeth a hyny cyn pen hir, a pheth echryslon fydd i ti gael *dy yru ymaith yn dy ddrygioni*. Gyd a pha fath deimladau y bydd i ti feddwl am yr holl drugareddau a ddibrisiaist—y gras a wrthodaist—y rhybuddion gonest,

a'r gwahoddiadau taer a ddiystyraist,—ac ar yr oes o ffolineb a gwallgofrwydd a dreuliaist. Pa fath fydd dy deimladau pan y byddi yn wylofain ac yn rhingcian danedd ac yn dolefain 'O na wrandawswn ar lais fy athrawon,' &c.

O cofia fod trag'wyddoldeb yn dy aros ac yn dy ymyl. Boed i ti ystyried y pethau hyn. Bwrw ymaith oddi wrthyt yn mhell dy anwiredd, a dychwel at Dduw yn enw yr hwn a fu 'farw mewn pryd dros yr annuwiol,' a dywed wrtho 'O Dduw bydd drugarog wrthyf bechadur.' 'Gadawed y drygionus ei ffordd a'r gwr anwir ei feddyliau, a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymmer drugaredd arno; ac at ein Duw ni; o herwydd efe a arbed yn helaeth.' NIHIL.

## YMADRODDION DETHOLEDIG.

Os bydd i'th gysuron ffaelu, mae ffyddlondeb Duw yr un. Os yw dy ystenau wedi torri, cofia fod y ffynnon yn parhau mor llawn ag erioed. Os ydyw hi yn dywyll ar dy enaid dos at Dduw yn gyntaf, ac yna at ryw Gristion profiadol o'th gydnabod: mae yn dda cael goleuo dy ganwyll weithiau yn nhy dy gymmydog.

Mae Duw yn clywed y galon heb eiriau, ond nid yw ef yn gwrando ar eiriau heb y galon. Nid oes neb yn rhoddi gair drwg i Grist ond y rhai sydd heb ei adnabod. Os bydd y Gweinidog yn gyfeiliornus mewn barn, pa fodd y gall y gynnulleidfa fod yn iach? nid oes ffordd hawsach i ddinystro trigolion unrhyw ddinas na thrwy wenwyno y ffynnon o ba un y maent yn cael dwfr. Nid yw y Gweinidog na wna i Satan ruo werth dim. Yr ydym yn dueddol o ddyfod a rhyw beth o'n heiddo ein hunain at Grist; ond cofier na wna hyny y tro: ni chymeradwyir un geiniog o ddiwygiadau uchaf natur yn llys y nefoedd.

Ni bydd yr hwn sydd ganddo galon Duw yn fyr o gael ei fraich ef: mae Duw yn cadw, diogelu, ac arwain y sawl y mae yn eu caru. Ffyddlondeb Crist yw sail hyder y cristion. Mae un meddwl teilwng am Grist yn werth mwy na'r byd. Gorphwysle ffydd yw geirwiredd Duw. Mae bod ar ddyn newyn a syched yn arwydd o fywyd; felly os ydym yn newynu a sychedu mewn gwirionedd am gyfiawnder, mae yn brawf ein bod wedi ein bywhau trwy ras. Mae cael datguddiad o Grist yn gosod pob peth yn iawn. Mae gormod o bregethwyr yn y dyddiau hyn yn ymdebygu i arwerthwyr (*Auctioneers*) trwy osod y nefoedd i'r uchaf ei gynnyg.

*Stilton*, 8 *Maw.* 1837. Cyf. NIHIL.

## SYLW AR LEFITICUS V. 1.

'Os pecha dyn, a chlywed llais llw, ac yntau yn dyst, naill yn gweled a'i yn gwybod; oni fynega, yna efe a ddwg ei anwiredd.'

'Dysgwn oddi yma, *Yn gyntaf*. ei fod yn bechod nid bychan, i ddyn dewi pan y byddo dadl rhwng partïon yn ei glywedigaeth, (ac yntau yn gwybod o bwy uchor y mae'r gwir) os nis cynnorthwya trwy ddywedyd y gwir,' &c.—*Pedr Williams.*

Y bai a dybir yma ydyw, i ddyn gelu y gwir pan y mae yn cael ei dyngu, i ddywedyd y gwir, a dim ond y gwir, a'r gwir i gyd. Yr oedd gan y barnwyr yn Israel hawl i dyngu un nid yn unig fel tyst, ond fel un amheus (yn groes i'n cyfraith ni yr hon nid yw yn rhwymo dyn i gyhuddo ei hunan) fel y gwelir fod yr Archoffeiriad yn tyngedu Crist, Math. 26. 63. ar hyny fe attebodd, ond yn ddistaw o'r blaen. 'Os pecha dyn a chlywed gair y llw,' hyny ydyw, os ceiff dyn ei dyngedu trwy lw, ac iddo yntau, rhag brifo cyfaill, neu elyn; beidio a rhoddi tystiolaeth gywir, neu ei rhoddi mewn rhan, ac nid y gwir i gyd; efe a ddwg ei anwiredd, ac fe fydd hyn yn faich trwm arno, ac oddi-eithr cael rhyw ffordd neu foddion i'w symyd, fe sodda ddyn i uffern; bydded i bob un sydd yn cael eu galw i ddwyn tystiolaeth, ystyried y gyfraith hon.—*M. Henry.*

Fe allai y daw i gof rhai, fy mod wedi gwneuthur sylw ar yr achos yma o'r blaen, mewn perthynas i Abraham, a Sarah; dywedodd un wrthyf (oedd mwy ffyddlon na llawer) fy mod wedi cyfeiliorni yn ddyehrynllyd mewn perthynas i Abraham a Sarah: (Beth na wna tywyllwch?)

Yr wyf yn cofio imi ddarllain yn y papur newydd, am achos a driniwyd yn Lancaster, yn achos dwy long oedd wedi

myned ar draws eu gilydd ar y môr, ac fe aeth un i'r gwaelod: a'r pleidwyr oedd teulu y ddwy long, a'u ffrindiau: (ni chollwyd dim bywyd.) Un ochor yn Gymry, a'r ochor arall yn Saeson. Llong y Saeson oedd wedi myned i'r gwaelod, ac yr oedd yn rhaid iddynt allu profi fod bai ar y Cymry, cyn y gallent gael dim iawn; ac mai nid damwain oedd y digwyddiad. Pan ganfyddwyd fod y Cymry yn gwasgu yn dyn ar y Saeson, nid oedd gan eu Dadleuwr un ffordd i ddyfod o'r rhwyd, ond trwy ddifrïo y Genedl, mewn geiriau cyffelyb i hyn. 'Foneddigion, cofiwch, ac ystyriwch, mai Cymry yw y gwyr hyn; a chwi a wyddoch yn dda am y Cymry, na waeth ganddynt hwy beth a dyngant; tyngant y gwyn yn ddu; a'r du yn wyn,' &c. Felly y mae yn debyg iddo lwyddo i'r Cymry druain gael eu gwasgu.

Fe ddylai hyn fod yn rhybydd i'r Cymry i beidio ymgyfreithio o'u gwlad, nac yn eu gwlad chwaith os gellir peidio. Y mae yn wir i'r Barnwr roddi cerydd i'r dihiryn, fel y canlyn, 'Syr, yr ydych i'ch beio yn fawr, am roddi y fath anair i gynnifer o ddeiliaid ffyddlon a heddychol ein Brenin,' &c. Rhaid imi gyfaddef fy mod yn llosgi dros fy nghenedl, wrth ddarllain yr hanes: ac yn barod i ymddïal, y foment hono; ond i'r Arglwydd y perthyn dïal.

Felly, nid oes genyf ond ymdrechu i alw sylw fy nghyd genedl at yr achos hwn; fe allai fod llawer o annhrefn yn ein plith, wedi, ac yn bod; trwy fod achosion yn cael eu trin mewn iaith nad yw y cyffredin yn ei deall. Yr wyf yn gobeithio y caf fyw i weled Barnwyr Cymreig, neu fe fydd rhaid i'r Saeson ddysgu Cymraeg cyn y cant farnu yn Nghymru; a'r un modd am Esgobion hefyd. Y mae y dyddiau yn gwawrio i 'ddattod rhwymau anwiredd, tynnu ymaith feichiau trymion; a gollwng y rhai gorthymmedig yn rhyddion, a thori pob iau.'

Y mae yn ddyledswydd arnom fel cenedl i alw sylw, a chynghori bawb ein gilydd, ar yr achos dan sylw, sef tystiolaethu y gwir ar bob achlysur y'n gelwir i hyny. Clywais un o'r dynion callaf yn ein tref yn dywedyd, 'Nad oedd yn ddyledswydd ar dyst ddywedyd dim mwy nag a ofynir iddo gan yr holwyr.' Yr hyn wyf yn ei ystyried yn gyfeiliornad dychrynllyd, oddi wrth yr adnod dan sylw: ac mae cyfansoddiad cyfraith Lloegr wedi ei sylfaenu ar yr adnod hon, a chan fod dyn call yn y fath gyfeiliornad, beth a ddysgwylir gan y cyffredin?

Y mae bod crefyddwr mewn *box* yn y Llys gwladol, drwy roddi lle cryf i'r gwrandawyr farnu ei fod yn darn-guddio peth o'r gwir, er mwyn boddio Meistr tir, neu gyfaill, neu frawd, fel y gwnaeth Ananias ddarnguddio peth o werth y tir, yn gwanu Crist yn ei ystlys, (sef yn ei achos) ac yn rhoddi achos i elynion gablu. Gwell fyddai i'r cyfryw gael ei daraw â mudandod, fel y cafodd Zacarias, nid am 9 neu 10 mis, ond am ei oes; nag attal y gwir, a'r gwir i gyd. 'Oherwydd paham gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymmydog; oblegid aelodau ydym i'n gilydd,' Eph. 4. 26.

*Donachedee, Chwef.* 16, 1837. E. Ll.

---

## SYLW AR GYFARFOD MISOL.

Syr,—Cefais y fraint, ychydig amser yn ol, o fod mewn Cyfarfod misol perthynol i'r Methodistiaid Calvinaidd yn Sir Flint. Teimlais lawenydd mawr, o gael bod mewn cyfarfod lle yr oedd brodyr yn byw ynghyd, ac yn cario yr achosion crefyddol yn mlaen mewn undeb, cariad, a chyd gordiad. Ymhlith pethau eraill, sylwyd ar y ddyled oedd y Sir wedi myned iddi trwy eu hymdrech mawr i adeiladu lleoedd cyfleus i'r bobl i wrando yr Efengyl; ac fe nodwyd swm y ddyled. Wrth glywed y swm, aeth cwmwl dros fy llawenydd, a dywedais, wel, wel, dyma fynydd na ddaw y brodyr caredig yma ddim drosto yn eu hoes.

Ond cyn i mi gael fy anadl, wele, frawd yn sefyll i fynu, ac yn dywedyd, 'Yr ydych yn son am y ddyled fawr sydd arnom; y mae genyf fi gynllun ar fy meddwl, ac os rhoddwch ef mewn gweithrediad, ni fydd arnom yr un swllt flwyddyn i heddyw!' Syndod a ddaliodd pawb. Medd efe, 'Pe bai ar y tŷ mawr yma 900*l.* o ddyled, a phe bai 400 o'r gynnulleidfa yn ymrwymo i roddi un swllt yn yr wythnos, am flwyddyn, byddai yn ddiddyled; ac nid oes un amheuaeth yn fy meddwl, nad oes yn y dref hon 400 a ddeuai yn mlaen at yr achos;

felly pe deuai pob Capel yn y Sir i wneud yr un modd, yn ol eu gallu; blwyddyn i heddyw, gallai ein Cadeirydd parchus gario *sovereign* ar ei law, o'r naill ben i'r Sir i'r llall; heb neb i'w gofyn ar gapel yn Sir Flint.'

Yr oedd y cynygiad yn myned trwy'r brodyr fel *Electrifying machine!* Felly Syr, fe aeth y mynydd mawr yn wastadedd, o flaen cariad. Pe gwyddwn na ddigiai fy mrodyr wrthyf, am gario chwedlau, dymunwn i chwi roddi lle iddo yn y Drysorfa, er llawenydd, ac esampl i'r holl Dywysogaeth, a'r byd yn gyffredinol. SYLWEDYDD.

---

*Yr ynfydrwydd o geisio rhwymaw barnau dynion.*

Siarl y Pumed, Ymerawdwr Germany, pan roddes ei orsedd heibio, ac yr ymneillduodd i Fonachlog St. Juste, a ymddifyrai yn y celfyddydau llaw-weithiawl, yn neillduol yr eiddo Oriorydd. Un dydd gwaeddai, 'Pa fath adyn ynfyd a fuais, dreulio cymaint o waed a golud yn y cais afresymol o wneuthur i ddynolryw fod oll o gyffelyb feddwl, pryd na's gallaf wneuthur, hyd yn oed i ychydig oriorau gyd-gadw amser.'—*Penny Mag.*, *April* 28, 1832.

---

*Y mawr bwys o fod genym gyson-drefn yn ein holl oruchwylion.*

Trefn yw colyn pob gorchwyl, a lle ni byddo prydlonrwydd, nid oes drefnusrwydd. Y mae prydlonrwydd yn geidwad tawelwch dymunol mewn tylwyth, ac yn sicr o esgor ar dawelwch meddwl i'w pherchen yn wastad. Y dyn amhrydlawn sydd beunydd mewn trafferth, ni fedd adeg i ymddiddan a chwi un amser, oblegyd ei fod yn myned i ryw fan arall, ac wedi iddo gyrhaedd yno, y mae yn rhy ddiweddar at ei orchwyl, neu rhaid iddo brysuro at beth arall cyn y gallo ei orphen. Y mae cywirdeb yn gwneuthur cymeriad dyn yn drymach. 'Gwnaeth y cyfryw un gyttundeb, a gwn ei ceidw;' a mag hyn gywirdeb a phrydlondeb yn y neb a fyddo yn cydfyw âg ef: oblegyd hyn fel rhinweddau eraill a genhedlant eu rhyw. Rhaid i weision a phlant y cyfryw wr ofalu am agweddu yn y cyfryw fodd. Os gwnaf fi gyttundeb â chwi, yr ydwyf yn ddyledwr i chwi am brydlonrwydd, ac ni ddylwn ar un cyfrif daflu heibio eich amser chwi pe gallwn gamdreulio fy amser fy hun yn y fath fodd. Bod yn brydlawn yw gwneuthur fel y dymunem wneuthur o eraill a ni: oblegyd nid oes neb yn dymuno am gael ei gadw i hir-ddysgwyl. Prydlonedd yw y cynniledd goreu, oblegyd pa beth a feddwn ni yn werthfawrusach nag amser? Y mae hyn yn ofynol oddiwrthym i Dduw, oblegyd am ba ddawn y'n gelwir i gyfrif manylach na'r oriau hyny, heb y rhai nid allem ddefnyddio unrhyw ddawn?

*Pen y Garnedd.* O. JONES.

---

*Clorian doethineb.*

Doethineb a bwysa yn ei chlorian y gwir a'r gau bleserau (hyny ydynt gydwahoddiadawl ar ein synhwyrau: a chan wrthod y cyfrai nad oes werth sylweddol, nac adloniad parhäol ynddynt, dewisa a mynwesa y pleserau a brofant yn anfarwol y rhai y mae yn eu dilyn arogl a chwaeth y baradwys hòno y deilliasant o honi. Fel y llafurwr doeth, yr hwn a gymera yr had garw sydd yn cludo yn ei galon fara er cynal bywyd, tra y mathra dan ei draed lawer blodeuyn gorwych, yr hwn nad yw o nemawr fudd i gynnal bywyd eithr a ddichon fod yn foddion i'w ddystrywio oni's gochelir. A. M.

*From the Saturday Magazine, July* 7, 1832.

---

*Llawer o felusder cymmwynas yn y dull o'i gweinyddu.*

Nid oes unrhyw gymmwynas mor ragorol ynddi ei hunan na's gellir ei gwneuthur yn llawer perciddiach a gwerthfawrusach drwy y dull o'i gweinyddu. Gwn fod y *rhinwedd* yn gorwedd yn yr *amcan*, y *budd* yn nghymmwysiad doethgall y *defnydd*, ond y mae prydferthwch ac addurn cymwynas yn gorwedd yn y *dull* o honi. SENECA.

---

YMADRODDION DEWISOL.

Mae eiriolaeth Crist fel mur o dân o amgylch ei bobl; fe'u diogelir megis gan amddiffynfa anorfodadwy. Nis gallwn byth bwyso rhy fychan ar ein cyflawniadau ein hunain, na byth hyderu gormod ar gyfiawnder ac eiriolaeth Crist.—*Hervey.*

Y dyn na aned ond unwaith, a fydd farw ddwywaith; a'r dyn a aned ddwywaith, ni fydd farw ond unwaith.—*Townley.*

Mae calon dyn fel pwll, po ddyfnaf y cloddiwch ef, tywyllaf y mae yn myned.—*W. Clayton.*

# Rhagoriaethau y Bibl.

## Pennod xv.

### TREFN AMSERYDDOL LLYFRAU HANESYDDOL YR HEN DESTAMENT.

| Enwau. | Awduron. | Amseryddiad, yn y blyn. cyn Crist |
|---|---|---|
| Genesis | Moses | O 4004 hyd 1635 |
| Iob | Ditto | 2180 neu 2130. |
| Exodus | Ditto | O 1635 hyd 1490. |
| Lefiticus | Ditto | 1490. |
| Numeri | Ditto | O 1490 hyd 1451. |
| Deuteronomium | Ditto | 1451. |
| Iosuah | Iosuah | O 1451 hyd 1425. |
| Barnwyr | Samuel | O 1425 hyd 1120. |
| Ruth | Ditto | O 1241 hyd 1231. |
| 1 Samuel | Cyfansoddwyd gan Samuel, | O 1171 hyd 1055. |
| 2 Samuel | Nathan, Gad, ac eraill | O 1055 hyd 1015. |
| Psalmau | Dafydd ac eraill | Ar wahanol amserau. Y rhai gan Dafydd o 1060 hyd 1015. |
| Caniad Solomon | Solomon | Oddeutu 1010. |
| Diarhebion | Ditto | Oddeutu 1000. |
| Pregethwr | Ditto | Oddeutu 977. |
| 1 Brenhinoedd | Nathan, Gad, Ahiah, Iddo, | 1 Bren. o 1015 hyd 896. |
| 2 Brenhinoedd | Esaia, ac eraill | 2 Bren. o 896 hyd 562. |
| 1 Cronicl<br>2 Cronicl | Ezra ac ereill | O 4004 hyd 536. |
| Ezra | Ezra | O 536 hyd 456. |
| Nehemiah | Nehemiah | O 455 hyd 420. |
| Esther | Ezra | O 521 hyd 495. |

### TREFN AMSERYDDOL Y LLYFRAU PROPHWYDOLIAETHOL.

| Enwau. | Cyn Crist. | Brenhinoedd Iuda. | Brenhinoedd Israel. |
|---|---|---|---|
| Ionah | Rhwng 856 a 784. | Ioas, Amaziah, neu Azariah. | Iehu a Iehoahaz, neu Ioas a Ieroboam II. |
| Amos | Rhwng 810 a 725. | Uzzïah, pen. i. 1. | Ieroboam II. pen. i. 1. |
| Hosea | Rhwng 810 a 725. | Uzzïah, Iotham, Ahaz, Hezeciah | Ieroboam II. pen. i. 1. |
| Esaia | Rhwng 810 a 698. | Uzziah, Iotham, Ahaz, Hezecïah, a Manasseh | Zechariah, Shallum, Menahem, Pecaiah, Pecah, a Hosea. |
| Ioel | Rhwng 810 a 660, neu yn ddiwedd arch. | Uzzïah neu Manasseh | Yr un rhai. |
| Micah | Rhwng 758 a 699. | Iotham, Ahaz, a Hezecïah, pen. 1. 1. | Pecah a Hosea. |
| Nahum | Rhwng 720 a 698. | Oddeutu diwedd teyrnasiad Hezecïah | Yn y nawfed flwyddyn i Hosea yr ennillodd Salmaneser, brenin Assyria, Samaria, ac y caethgludodd efe Israel i Assyria, 2 Bren. xvii. 6. |
| Zephanïah | Rhwng 640 a 609. | Iosiah, pen. i. 1. | |
| Ieremia | Rhwng 628 a 586. | Iosiah | |
| Habaccuc | Rhwng 612 a 598. | Iehoiacim | |
| Daniel | Rhwng 606 a 534. | Ar hyd holl amser y caethiwed | |
| Obadiah | Rhwng 588 a 583. | Yn fuan ar ol y gwarchae ar Ierusalem gan Nebuchadnezzer | |
| Ezeciel | Rhwng 595 a 536. | Caethiwed | |
| Haggai | Oddeutu 520 neu 518. | Ar ol y dychweliad o Babilon | |
| Zechariah | Rhwng 520 a 510. | | |
| Malachi | Rhwng 436 a 397. | | |

**CYDMARIAETH RHWNG YR HYSWI WAEL A'R UN DDA.—DIAR. XIV. 1.**

Efelychiad o gathl Seisnig a ganodd Thomas Tusser, yr hwn a fu farw—1580.

1. Yr hyswi wael orwedda
Hyd naw o'r gloch neu'n hwy.
Y dda gwyd gyda'r ceiliog,
A'r galon yn ddi glwy.

2. Yr hyswi wael ymddiried
I hwn neu hon o hyd;
Yr hyswi dda ei hunan,
Fydd brysur bob rhyw bryd.

3. Yr hyswi wael fydd diofal,
A hon a edy wall;
Y dda a wiw gynnila
Heb goll hi fydd yn gall.

4. Yr hyswi wael a bortha
Ei balchder yn y drŷch:
Y dda ofala 'n flaenaf,
Gael ar ei thy drefn wŷch.

5. Am wagedd bydd gorawydd,
Un wael fel blin iawn blâ;
Un dim ond fyddo reidus,
Ni chwenych yr un ddâ.

6. Yr hyswi wael a gyrcha
Am chwedlau gwrach a thê;
Y dda fydd gyda'i theulu,
Yn llawen yn ei llê.

7. Teganau ddygant galon
Yr hyswi wael o hyd:
Yr hyswi dda ddyd ymborth
I'w thylwyth yn ei bryd.

8. Yr hyswi wael a dreulia
Y swllt, heb fod ei ôl:
Y dda a'i choffrau'n llawnion
A gân am na fu ffôl.

9. Yr hyswi wael a rwyga,
A theifl ef o'r naill du;
Y dda a wir ddiwygia,
Rhag rhwyg ei gwnïa'n grŷ.

10. Yr hyswi wael beunydd,
Gais echwyn gwael dan gêl,
Y ddâ a arbed heddy
Rhag rhaid y fory ddêl.

11. Yr hyswi wael a lwyda,
Newynog fydd ei nyth:
Y dda a ga ddigonedd
Da lawnwedd a dilyth.

12. Yr hyswi wael a edy
I'r cyfan fyn'd ar ŵyr,
Y dda o'r ddernig leiaf,
Wna ddefnydd manol llwyr.

*Pen-y-Garnedd.* O. JONES.

## Gofynion.

Syr,—Dymunaf gael attebion i'r Gofynion canlynol.

1. A oes graddau yn ngogoniant y saint yn y nefoedd?

2. A ydyw y ddeddf foesol yn gofyn ffydd ac edifeirwch?

3. A ydyw yn addas dywedyd Iehofa mawr, &c.? YOT.

---

Barch. Syr,—Wrth weled eich parodrwydd chwi a'ch gohebwyr i atteb gofynion yn y Drysorfa, cefnogwyd fi i anfon attoch y gofyniad canlynol, sef, pa fodd mae cysoni y ddwy adnod ganlynol a'u gilydd 2 Sam. 14. 27. a'r 18. 18. Eglurhad arnynt a foddlonai gyson ddarllenydd y Drysorfa.

R. J.

---

Anwyl Syr,—Anfonwyf etto attoch rai o'r geiriau anghynnefin a godais allan o Lyfr Numeri, gan ddeisyf arnoch eu heglurhau, yn ol eich arferol barodrwydd.

*Coed llai.* JOHN POWELL.

Numeri 20. 3. Ymgynhennu.
— 13. Dyfroedd Meribah.
21. 1. Yspiwŷr.
— 8. Trostan.
— 15. Rhaiadr.
— 24. Goresgyn.
— 27. Diarhebwŷr.
22. 24. Magwyr.
23. 22. Unicorn.
24. 6. Aloewŷdd. Cedrwydd.
25. 7. Gwaywffon.
— 8. Gwanu. Ceudod.
— 11. Eiddigedd.
31. 12. Caffaeliaid.
— 22. Alcam.
— 28. Teyrnged.
— 50. Breichledau. Clustdlysau. Torchau.
— 14. Cynnyrch. Angerdd.
— 26. Ysgrubliaid.
33. 35. Cethri.
35. 6. Dinasoedd Noddfa. Llawruddiog.
— 21. Galanasdra. Llofrudd.
36. 3. Rhandir.

---

Syr,—Pa fodd y mae canfod cyssondeb yr hyn a ddywed Marc am ganiad y Ceiliog yn amgylchiad Pedr yn gwadu ei Feistr, a'r hyn a ddywed yr Efengylwyr ereill am hyny? Dywed Marc yn Pen. xiv. 68. fod y Ceiliog wedi canu ar ol i Pedr wadu y tro cyntaf; a'r Efengylwyr ereill ni soniant am ganiad y Ceiliog hyd nes ar ol iddo wadu y trydydd tro, Gwel Math. xxvi. 74. Luc xxii. 60. Ioan xviii. 27.

GWR LLEYG.

## Attebion.

*Atteb i ofynion Cwyllog yn Rhif. 75. tu dal. 81. am eglurhad ar Gen. 22. 1—14. yn nghylch gollyngdod Isaac, ac offrymiad yr hwrdd yn ei le.*

Yr oedd yr hwrdd, yn gysgod nodedig o Grist; a'i offrymiad yn gysgod neillduol o offrymiad Crist ar y groes unwaith

dros bechaduriaid; lle y gwelwyd ef wedi ei ddal, ïe ei ddal o'i fodd, mewn iawn bryd, yn ngafael gorchymyn ei Dad, yn ngafael ei ymrwymiad ei hun, ac yn nyrysni ein camweddau ninnau, wedi eu cyfrif arno pan yr offrymwyd ef drosom.

Yn 2. Yr oedd gollyngiad Isaac yn rhydd yn gysgod nodedig o ollyngiad yr holl eglwys yn rhydd o afael cyfiawnder Duw, yn rhydd oddiwrth felldith y ddeddf a dig. ofaint Duw yn drag'wyddol; gan fod Crist wedi ei wneuthur yn felldith drostynt hwy. Os gweinydda yr ychydig sylwiadau hyn fel eglurhad ar y Gofynion uchod, wele hwynt at eich gwasanaeth.

*Buckley.* R. J.

---

*Atteb i Ofyniad Yot, yn Rhif.* 76. *tu dalen* 112.

Y Gofyniad. A wnaed Crist dan y Cyfammod gweithredoedd?

Atteb. Naddo. Oherwydd, Yn 1. Pe buasai iddo gael ei wneuthur dan y Cyfammod gweithredoedd, fe fuasai pawb oedd yn y Cyfammod hwnw yn cael eu hachub i fywyd tragywyddol.

2. Oherwydd nad yw yn bossibl byth wneud i fynu un Cyfammod ar ol unwaith ei dorri; ond y mae yn bossibl gwneuthur Cyfammod arall.

3. O dan ei Gyfammod ei hun y gwnaed Crist, sef o dan Gyfammod y Prynedigaeth. Ac yn ol ammodau y Cyfammod hwnw, fe'i 'gwnaethpwyd ef dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd dan y deddf, fel y derbyniem y mabwysiad,' Gal. iv. 4.

C——R.

---

*Yn Rhif.* 73. *tu dal.* 19. *Y mae Athrawes yr Ysgol Sabbathol yn gofyn, Pa fath agwedd a ddylai fod ar ein cyrph wrth gyflawni y gwasanaeth pwys-fawr hwn, sef canu mawl i Dduw yn gyhoeddus?*

Y mae Mr. P. Williams yn sylwi ar y gair, Cân, a Canu, 71 o weithiau yn y Bibl. Y gân gyntaf ymhlith dynion a ddarllenwn ni, ydyw, y gân ardderchog a ganodd Moses a meibion Israel i'r Arglwydd, am ei Iachawdwriaeth o law Pharao, o'r môr coch. Ex. 15. Nis gallwn wybod yn sicr, pa agwedd oedd ar eu cyrph; ond gallwn gasglu, trwy fod dawnsiau gorfoleddus, yn gyffredin ynglyn a chaniadau, yn y cyn oesoedd, mai ar eu traed y byddent yn cyflawni y gwasanaeth hyfryd, o ganu mawl.

Mi feddyliwn mai cwyn yr Athrawes yn fwyaf ydyw, 'fod y naill hanner o'r gynnulleidfa yn eistedd tra y mae yr hanner arall yn sefyll i ganu.' Ac yn wir y mae yn ofidus fod amrywiol farnau, mewn cynnulleidfa, am ddyledswyddau fel hyn. Pa bryd y daw y Cymry i'r un farn am agwedd eu cyrph wrth wasanaethu yr Arglwydd yn gyhoeddus? Y mae yn sicr, ein bod yn fwy annrhefnus na neb a welais i yn Lloegr, Werddon, na Scotland. Digwyddodd i mi weled llawer o enwadau, o'r ffrindiau, hyd i'r rhai sydd yn pregethu adferiad pob peth, ac etto yr wyf yn dywedyd, na welais gynnulleidfa erioed, mor annrhefnus a'r Cymry: (hyny ydwyf yn ei feddwl, heb ddyfod i'r un farn, a'r un meddwl, megis un gwr.) Ni ddymynwn roddi hyn wrth ein drws, fel dibrisdod, na dirmyg ar addoliad yr Arglwydd; ond diffyg meddwl, ac ystyried ei fod yn anweddus, ac fe allai yn bechadurus; ac hwyrach fod addysg o'r pulpudau, am y pethau hyn, yn ddiffygiol; fel pe baent islaw sylw. Ac am eu bod yn bethau islaw sylw o'r pulpudau, y mae y cyffredin yn barnu eu bod islaw eu sylw hwythau.

Digwyddodd imi un tro gael llawer o gyfeillach a *Quaker* yn y Werddon; ac wrth hir gyfeillachu, deallodd mai un o'r *Jumpers* oeddwn; ac felly y byddai yn fy ngalw. A'r unig ofid a barai hyny imi, oedd fy mod mor dlawd o'r Ysbryd oedd yn codi fy nhadau, a'm mamau, i neidio, a moliannu Duw, am yr Iachawdwriaeth fawr yn Nghrist i bechadur tlawd, heb feddu dim ond pechod. Ond wrth hir gyfeillach, rhoddais iddo Gyffes Ffydd y *Jumpers;* a gofynais iddo, a wnai ei gymeryd yn rhodd; cymerodd ef yn lled oeraidd. Ond un diwrnod, cyfarchodd fi fel y canlyn; 'Rhaid imi gyfaddef dy fod di, a'r llyfr bach hwn, wedi tynnu y rhagfarn oedd wedi tyfu gydâ mi o'm hieuengctyd; oherwydd dyna oedd fy marn am danat ti, a'th bobl; y byddech chwi yn myned at eich gilydd, a gwneud dim ond neidio; a'r neidiwr gorau oedd y dyn duwiolaf; ond yr wyt ti, a'r llyfr bach yma, wedi tynnu hyny ohonof am byth; ac o'r holl Gyffesau a ddarllenais crioed, ni welais ei gyffelyb; cymeraf ef, ag yr wyf yn ddiolchgar am dano.' Rhoddodd lyfr Robt. Barkley imi am dano.

Rhaid imi gyfaddef pe deuai y dyn hwnw i'n plith heb fedru ein hiaith, deallai, nad ydym yn rhodio yn ol rheolau y llyfr hwnw, yn ein hagwedd allanol wrth addoli: oherwydd pe bai yn dyfod i'n plith ar yr awr weddi; canfyddai y pregethwr ar ei draed yn dywedyd geiriau; rhai o'r gynnulleidfa ar eu gliniau; rhai ar eu traed; rhai ar eu heistedd, ac eraill yn cysgu, a'u penau ar eu breichiau, &c. Yr un modd wrth ganu, a phregethu; beth a ddywedai dyn heb fedru ein iaith, ond barnu, bod annhrefn mawr yn ein plith; a diffyg mawr o addysg ysgrythyrol? 'Cerddwn wrth un rheol, syniwn yr un peth.' 'Byddwch yn unfryd â'ch gilydd,' &c. medd Paul. Y mae arnaf ofn tramgwyddo rhai wrth ddywedyd fel hyn; ac mae Cyhoeddwr y Drysorfa yn ein rhybuddio i edrych am anfon pethau buddiol. Ac oni bai fod y Bibl yn dywedyd, 'ni wyddost pa un a ffynna, ai hyn yma, ai hyn accw,' digalonwn

i roddi pin ar bapur. Yr wyf yn sicr y dymunwn amcanu at rybyddio a chynghori bob amser. E. Ll.

*Donachedee, Chwef.* 21, 1837.

---

***Atteb i Ofyniad Yot, Rhif.* 76. *tu dalen* 112. *ynghylch Cyfryngdod Crist.***

Y Gofyniad yw, 'A oedd Crist yn Gyfryngwr cyn cymmeryd y natur ddynol?'

Att. Oedd; 1. Yr oedd yn Gyfryngwr yn *arfaethol* er tragywyddoldeb, Diar. 8. 22—31. Mic. 5. 2. ult.

2. Yr oedd yn Gyfryngwr yn *effeithiol* o roddiad yr addewid yn Eden hyd ei ddyfodiad yn y cnawd. 'Efe a ddyg feibion lawer i ogoniant' trwy ei Gyfryngdod cyn ei 'berffeithio yn Dywysog Iachawdwriaeth.' Ac yr oedd efe fel Cyfryngwr yn 'sail y Prophwydi' dan yr hen oruchwyliaeth, cystal a 'sail yr Apostolion' dan y Testament Newydd, Heb. 2. 10.

3. Y mae efe ar ol iddo gymmeryd y natur ddynol yn Gyfryngwr yn *weithredol*, yn gyflawn, ac yn berffaith ymhob modd, Heb. 8. 6 a 9. 15. Cyhoeddwr.

---

## Y DYSGAWDWR CYFFREDINOL.

### IV. METTEL-WAITH.

(Parhad tu dal. 88.)

82. *Platina* ydyw y trymaf o'r holl fetteloedd adnabyddus, yn 23 o weithiau yn drymach na dwr. Ei liw ydyw llwydoleu, ac nis gellir ei doddi mewn tánau cyffredin.

83. *Aur* sydd 19 o weithiau yn drymach na dwr, a'r gwerthfawrocaf o'r holl fetteloedd. Mae mor forthwyliadwy, fel y gwna owns o hono oreuro edef arian o 13,000 o filldiroedd o hyd; a gellid ei guro yn ddalenau, 300,000 o ba rai ni byddent yn unig ond tewdwr modfedd.

84. *Arian* sydd 11 o weithiau yn drymach na dwr, ac yn agosaf i aur mewn prydferthwch; y cyfryw yw ei ystwythder, fel y gallid ei dynu allan yn edef feinach na blewyn.

85. *Mercury*, neu Arian-byw sydd 14 o weithiau yn drymach na dwr; ac mae yn nodedig am ei fod yn hylif, fel dwfr; ac nad yw yn myned yn galed, oddieithr mewn oerni llawer mwy nag a wna ddwfr yn galed.

86. *Copr* sydd naw o weithiau yn drymach na dwfr, ac sydd i'w gael mewn helaethrwydd mawr yn mwyn-gloddiau Sweden, ac hefyd yn Môn a Cherniw (*Cornwall*). Mae'n uno yn dda â metteloedd eraill, ac yn gwneuthur efydd ac amrywiol gymysgiadau defnyddiol eraill.

87. *Haiarn* sydd wyth o weithiau yn drymach na dwr, ac mae'n fwyaf defnyddiol, ac, yn Mrydain, y mwyaf helaeth o'r holl fetteloedd. Mae yn cymmysgu gyd a sylweddau anifeilaidd, llysieuol, a mwynawl. Fe'i toddir gyd â mwy o anhawsder nag aur, arian, na chopr: ac fe gynnhyrcha dân mewn gwrthdarawiad â challestr.

Syl. *Y maen-tynu*, yr hwn sydd ganddo y briodolaeth neillduol o gyfeirio tu a'r gogledd a'r dëau, sydd fwyn o haiarn.

*Ochres*, Mŵn coch a mŵn melyn ydynt oxides anmhur o haiarn; yn gyffredinol lle y cair cochni yn y pridd, gellir disgwyl am bresenoldeb haiarn.

88. *Alcam* (*tin*) sydd fettel Seisnig neu Gerniwaidd, yn saith waith trymach na dwr. Mae yn bur forthwyliadwy; ac mae yn dra defnyddiol fel amwisg i haiarn a chopr; yn unig mae'n ofynol i'r haiarn fod wedi ei soddi ynddo, a'r copr i fod wedi ei rwbio âg ef, iddynt fod yn berffaith amwisgedig.

89. *Plwm* sydd un-ar-ddeg o weithiau yn drymach na dwr; yn hawdd ei doddi, ac yn bur ddefnyddiol i amrywiol ddybenion.

90. *Nickel* sydd fettel Chinëaidd yn llwydoleu; naw o weithiau yn drymach na dwfr, ac mae yn anhawdd ei doddi ef. Mae i'w gael yn gerig y rhai sydd yn disgyn o'r awyr.

91. *Zinc* sydd saith o weithiau yn drymach na dwr, o liw glas-wyn, ac a ddefnyddir mewn amrywiol gymmysgiadau.

92. Y sylweddau mettelaidd eraill, a dynir o amrywiol fathau o ddaear, ydynt, Antimony, Bismuth, Cobalt, Arsenic, Manganese, Palladium, Rhodium, Potassium, &c.; hyd y nifer o ddeg-ar-hugain; er nad oedd yr hynafiaid yn gwybod ond yn unig am saith o fetteloedd.

93. Haiarn a wnair yn ddur, trwy ei boethi gyd â golosg. *Efydd*, neu pres, sydd gyfansoddedig o zinc a chopr. *Clochfettel* sydd gymmysgedd o alcam a chopr. *Ystaen* (*pewter*) sydd gymmysgedd o alcam a phlwm. *Bronze* sydd gymmysg o gopr ac alcam.

94. Glo sydd brenau a llysiau braenedig, a godir allan o'r ddaear mewn mwyngloddiau mawrion; yn enwedigol yn y Castell Newydd, Whitehaven, Wednesbury, ac amrywiol barthau o Gymru; a'r cynnud goreu ydynt a ddatguddiwyd etto gan ddyn. Yr Ynysoedd Prydeinaidd ydynt yn enwog am eu mwyn-gloddiau glo; pan mae yn rhaid i lawer o wledydd ymddibynu ar goed, y rhai ydynt yn aml yn brinion a drudion.

Syl. Glo ydynt, yn ol pob tebygolrwydd, weddillion coedwigod gorchuddiedig gan ddwfr, wedi eu dwyn i'w hagwedd bresenol trwy fath o orchwyliaeth fferyllaidd tanddaearol, yn gweithredu trwy oesau aneirif.

95. Mae haner gorchwylion gwareiddiedig dyn yn gynnwysedig mewn gweithio metteloedd a mwyn. Yn Lloegr, trefi mawrion Birmingham a Sheffield ydynt yn gwbl ar waith gyd â'r gweithfâau defnyddiol ac addurnawl o amrywiol fetteloedd.

Syl. Yr hyn oll mae bechgyn yn ei effeithio gyd â phlwm a phibelli tobacco, mae dynion yn ei weithredu mewn perth-

ynas i'r holl fetteloedd trwy foddion cyffelyb neu gyd âg ychydig wahaniaeth. Ond am ychwaneg o hyspysrwydd ar y testynau hyn gwelwch *Mackenzie's* 1000 *Experiments, or his Family Receipt Book.*

96. Mae gwareiddiad yn ymddibynu cymaint ar y datguddiad a'r gweithiad o'r metteloedd defnyddiol, fel nas gellir gwneud ond mynediad bychan o'r cyflwr anwâr, heb yr alwedigaeth ddefnyddiol o Of. Efe sydd yn gwneuthur yr holl offerynau angenrheidiol at arddwriaeth ac amaethwriaeth; y dodrefn teuluaidd; cyllill i dòri â hwy; gwaewffyn a chleddyfau i amddiffyn y tir a'i gynnyrch rhag yspeilwyr.

97. I ochelyd yr anghyfleusdra o newidwriaeth, darfu i ddynion, yn yr oesoedd boreuol, sefydlu ar fetteloedd; megis aur, arian, copr, neu haiarn, i fod yn gyfryngau o werth; yn ganlynol, os byddai gan un dyn ormod o ŷd ac eisio gwin, ni byddai raid iddo roddi ŷd am y gwin, ond gallai werthu ei ŷd am ryw gymaint o fettel, a phrynu y gwin am yr unrhyw fettel, yn ol ei gyfleusdra.

Syl. Oddiyma mae dechreuad arianbathol; ac megis yr ydoedd yn anghyfleus i bwyso mettel ar bob achos, (megis y darfu Abraham pan y prynodd y lle i gladdu Sara, Gen. 23. 16. rhoddwyd argraff-nodau ar ddarnau o fettel, megis penau breninoedd, &c. i arwyddo y gallid eu derbyn yn ddïogel am bwysau neu werth sefydlodig. Fel hyn yn Mrydain, mae, neu yr oedd, genym, ddarnau o aur bathedig o werth adnabyddus; megis *guineas*, haner-*guineas*, penaduriaid, (*sovereigns*), haner-penaduriaid, &c.; darnau o arian bathedig, megis coronau, sylltau, &c.; a darnau o gopr bathedig neu argraffedig, megis ceiniogau, dimeiau; oll o werth pennodedig tu ag at brynu nwyfau eraill. Ond yn ddiweddar, daeth papur-argraffedig i gael derbyniad yn lle arian, megis yr arian-bapur.

---

## COFIANT

***Am Mrs. Catharine Jones, gwraig y Parch. Daniel Jones, Carneddi, Llanllechid.***

Merch ydoedd Catharine Jones i John a Margaret Jones, Bryntwrw, Llandegai. Ganwyd hi yn y fl. 1785; ymwelodd yr Arglwydd â hi yn ei ras yn ei hieuengctyd, a galwodd hi i'w dŷ pan oedd yn 14 oed, o'r hwn nid aeth allan mwyach; a nerthodd hi i ddal ei ffordd fel na bu un cerydd eglwysig arni yn ystod ei gyrfa grefyddol. Argyhoeddwyd hi drwy wrando ar y brawd W. Jones yn holi y plant mewn ysgol nos a gedwid y pryd hwnw mewn lle a elwir Tre'r garth. Yr oedd y fath effeithiau y pryd hwnw pan y byddai yn cateceisio nes y byddai llawer o'r plant yn methu a dal heb wylo a llefain wrth ei wrando. Cafwyd arwyddion fod amryw eraill wedi cael eu hargyhoeddi trwy yr un moddion, rhai o honynt sydd yn aros hyd yn awr, eraill a hunasant yn yr Iesu.

Pan oedd yn 19 oed ymrwymodd trwy briodas â'i pharchedig briod, er cysur ac adeiladaeth neillduol i'r ddau, yn gystal tymhorol ac ysbrydol. Yr oedd yn meddu llawer o gymmwysderau gwraig rinweddol: yr oedd ganddi synwyr cryf, a thymmer addfwyn a thyner, a'i hymddygiadau yn wastadol oeddynt yn addas i Efengyl Crist. Llywodraethai ei thŷ yn dda, gan warchod gartref, ac nid bod yn chwedleugar o dŷ i dŷ, ond fel Sarah gynt i'w chael 'yn y babell.' Maethai ei phlant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Pan oeddynt ieuaingc, byddai y Catecism gydâ hi yn wastadol, fel y gallai ddefnyddio pob cyfleusdra a gaffai i'w hegwyddori. Gofalai yn fawr am wneud cyfiawnder â phawb, ac i sefyll at yr hyn a ddywedai. Ymdrechai am bob hwylusdod a pharodrwydd i'r gwr fyned i'w gyhoeddiadau, beth bynnag fyddai ei thrafferthion hi gydâ llawer o blant, a'u masnach fydol.

Pan oedd yn 31 oed collodd ei hiechyd i raddau, a dyoddefodd lawer gan waeledd yr ugain mlynedd diweddaf o'i hoes, a hyny gydâg amynedd mawr ac ymostyngiad i ewyllys yr Arglwydd. Mwynhaodd lawer o gysuron yr iachawdwriaeth tra yn ei gwaeledd. Ac os byddai, er ei galar, yn rhy analluog i fyned i foddion gras, darllenai ei Bibl a llyfrau da eraill gartref, nes byddai ei henaid yn cael ei lenwi a chysur ac a dyddanwch.

Y clefyd a ymunodd a'i gwaeledd gwastadol i'w chymmeryd ymaith oedd yr *Influenza.* Bu yr Arglwydd yn dda wrthi yn ei dyddiau diweddaf; pelyderau haul cyfiawnder a droisant lyn cysgod angau iddi yn oleu ddydd. Dywedai ei bod yn rhŷ wan er's talm i allu canu yn y capel, a bod hiraeth mawr arni am allu gwneud, 'Ond,' ebe hi, 'pan âf adref gallaf finnau ganu wedi'n. Derfydd y boen yn y *frost* yn fuan.' Yna canai yn wanaidd, 'Gymdeithas yma sydd yn gref, ond yn y nef hi fydd yn fwy.' Dywedai un o'i chwiorydd crefyddol wrthi, 'Y mae crefydd yn talu ei ffordd yn awr, onid yw hi?' Attebai hithau, 'O ydyw, y *mae* yn talu ei ffordd yn awr. Unwaith y meddyliais am wneud ffair arni, a hyny er's 35 mlynedd yn ol; ond yn lle gwneud ffair arni, gwelais gymaint o ogoniant ac ardderchowgrwydd Crist, fel y rhoddais fy hun iddo i'm cadw erbyn y dydd hwnw. Ni feddyliais am werthu fy ngrefydd byth mwy.' Caffai un diwrnod gymaint o olwg ar ogoniant y gwr a'i carodd ne's y llefai, 'O angau, pa le mae dy golyn? O uffern, pa le mae dy fuddugoliaeth?' Gan ychwanegu, 'uffern, tyred ymlaen yn awr i ddannod, *pa le mae dy fuddugoliaeth?*' Bryd arall adroddai, 'Nac ofna, braidd bychan, canys rhyngodd bodd i'ch Tad roddi i chwi y deyrnas.'

Yna dywedai, 'O mor ryfedd fod plentyn, ie, plentyn o'm bath i, yn cael etifeddu teyrnas! ie, 'y deyrnas a barottowyd er seiliad y byd! ond caf er fy ngwaeledd ei hetifeddu cyn bo hir.'

Y dydd y bu farw, dywedodd wrth ei phriod yr ymgymmellodd grwgnach i'w meddwl y noson o'r blaen, 'Ond,' meddai, 'buan y canfyddodd fy Nhad hyny, a cheryddodd fi â'r pennill hwn,

'Hust, fy mhlentyn, taw—dystawa!
Gwybydd di mai fi sydd Dduw;
Ymdawela yn fy 'wyllys,
Cred i'm gofal tra f'ech byw,' &c.

Wedi hyny daeth llewyrch i'w meddwl gydâ'r gair, 'Brawd a anwyd erbyn caledi;' a chanai hefyd yn wanaidd, 'Brawd mewn myrdd o gyfyngderau,' &c. Adroddai hefyd yr adnodau, 'Tra yw y brenhin ar ei fwrdd, fy nardus i a rydd ei arogl. Fy anwylyd sydd im' yn bwysi myrr; rhwng fy mronnau yr erys dros nos;' a dywedai, 'erys rhwng fy mronnau innau byth mwy.' Dywedai lawer gwaith, 'Bendigedig! bendigedig, &c. diolch iddo!' Dywedai hefyd, 'Yr ydwyf yn rhyfeddu pan y mae arnoch eisiau imi wellâu etto, yn lle boddloni i mi gael myned adref; nac wylwch ar fy ol, canys O mor hyfryd fydd arnaf, wedi unwaith y cyrraeddaf Wlad Canaan!' Dywedai wrth ei phriod, 'Y mae trefn Duw i gadw pechadur yn gadarnach na mynyddoedd y byd:—'Oddi tanodd y mae'r breichiau tragywyddol.' O y gofiaid hardd fydd gan y breichiau hyn i'w dangos yn y dydd hwnw!

Y munudau y bu farw dywedai 'Gollwng fi, Iesu anwyl! Gollwng fi, Iesu anwyl.' Ar un ar y gloch brydnhawn ddydd gwener, Chwef. 24, 1837, gollyngwyd ei hysbryd o'i dŷ o glai, lle y preswyliodd 52 o flynyddoedd, i fyned i'r wlad lle mae yn gweled Iesu fel y mae, ac y bydd yn dragywyddol debyg iddo.

Y noson cyn ei chynhebrwng, pregethodd y Parch. J. Jones, Llanllyfni, oddiar Iob xiv. 13; a dydd ei chladdedigaeth ymgasglodd tyrfa fawr, uwchlaw dwy fil, i dalu iddi eu caredigrwydd diweddaf o'i hanfon i dŷ ei hir gartref, lle yr huna yn dawel hyd nes y càn yr Archangel. Cyn cychwyn y corph, pregethodd Mr. Morris Jones, oddiar Phil i. 21; yna aed ymlaen yn rheolaidd tua'r eglwys dan ganu ar hyd y ffordd, a thra y buant yn ei chladdu.

*Pontytwr.* D. Llwyd.

---

## COFIANT

*Am William, mab William a Mary Evans, yn mhlwyf y Bettws, Swydd Gaerfyrddin.*

Ganwyd William Tachwedd 22, 1809. Ei dad a'i fam ydynt aelodau addas, gyda'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nhapel y Bettws. Ac felly efe a gafodd y fraint o'i ddwyn i fynu 'yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd;' ac yn aelod cyson a pharhâus o'r Ysgol Sabbathol er yn ieuanc, fel yr oedd, er yn fachgen yn gwybod yr Ysgrythyr lân yr hon sydd yn abl i wneuthyr dynion yn ddoeth i iechawdwriaeth. Ac efe fu dan warchaidwaeth ei rieni hyd nes oedd o ddeutu tair neu bedair arddeg oed; pryd y gollyngwyd ef allan ar wasanaeth at Amaethwr o'r gymydogaeth; ac yno y bu am yspaid dwy neu dair blynedd.

Efe a barhaodd i ddyfod i'r Ysgol, ac ymddangosai difrifoldeb ynddo er yn forau iawn; ond etto cyn hir efe a ymollyngodd i raddau i wylltineb a chydrediad a ieuenctyd yr oes i'r unrhyw ormod rhysedd; er hyny nid heb gryn attalfa mynych; a dalid ef yn aml gan effeithiau cynghorion ei rieni iddo pan yn cyfranogi o'u breintiau teuluaidd. Yn fuan wedi hyn, ymgyflogai gyda gwr o dref Castellnedd i fyned i ddylusgo coed, ac felly ffwrdd yr aeth gan ganu yn iach i'w rieni a'i gymydogaeth enedigol. Ond y Sabbath cyntaf wedi ei fyned at ei feistr newydd fe'i gorfodid i wneuthur rhyw orchwyl ar ddydd yr Arglwydd, sef trin cloron at eu berwi, yr hyn er yn anfoddlon iawn, efe a ymaflodd ynddo ar y cyntaf; ond yn fuan y gwrthnebiad a drechodd, a chan ddechreu meddwl nad felly y gwelsai pan gyda ei rieni, efe a daflodd y gloronen yn nghyd a'r gyllell a pha un y'i triniai hwynt i'r fasged, ac a ddywedodd gyda phenderfyniad pendant, na wnai efe y fath beth, pe gorfyddai iddo ymadael yn y fan. Ac felly efe a neidiai i fynu fel a'i draed o'r tân ac a barotodd ei hun i fyned i'r Ysgol Sabbathol. Ond yn fuan blinodd ar anfoesoldeb y lle hwnw, ac yn mhen haner blwyddyn dychwelodd adref, ac a aeth drachefn i'w hen le at yr Amaethwr crybwylledig uchod, am yspaid haner blwyddyn, ac yna dychwelodd at ei dad ac a ymsefydlodd gyd ag ef i ddysgu ei gelfyddyd (sef Gwehydd) y lle y bu yn aros yn agos hyd ddydd ei farwolaeth.

Pan o ddeutu 19 oed. daliai rhyw ran o'r gair yn anollyngadwy ar ei feddyliau, nes peri iddo feddwl yn ddwys a difrifol am fater enaid, a chyflwr dyn wrth natur, &c. Yna efe a ymunodd â'r Trefnyddion Calfinaidd yn y Bettws, lle y parhaodd yn aelod cyflawn a rheolaidd tra bu ar y ddaear. Y flwyddyn ddiweddaf o'i fywyd symudodd oddiwrth ei dad ychydig, ac a osododd y gelfyddyd i fynu ei hun mewn tŷ cyfagos i'w gymydogaeth gartrefol, a lletyai mewn tŷ arall lle y trigiannai un o ganlynwyr Socinus.

Bu am yspaid naw mis yn glaf, er hyn efe a ymostyngai i ewyllys yr Arglwydd, yn amyneddgar ac yn oddefus Yn amser ei gystudd, lled amheus a fyddai arno yn aml, am ei hawl yn Nghrist, er yn ymorphwys yn gyfangwbl ar y graig hon. Ar

iawn y byddai tra yn lletya yn nhŷ y gwr uchod, yn dadleu yn nghylch Dwyfolder person Crist. Ond efe yn ddiarbed a ddywedai y gwir yn ei wyneb. Eithr ar ei wely angau, dywedodd wrth rai o'r brodyr a ddeuent i adrych am dano, 'Mi a garwn yn fawr weled Daniel Evans heddyw,' (canys felly y'i gelwid). I ba beth? ebynt hwythau, ni chaech fawr gysur ganddo. 'Fe allai,' ebai yntau, 'ond mi ddywedais beth gwir wrtho lawer gwaith o'r blaen; ond mi ddywedwn fwy wrtho heddyw; canys y mae y sylfaen y buom yn dadleu yn ei chylch yn dal yn ddigryn yn wyneb pob chwythu. O Diolch.'

Hynod oedd am ddyweud y gwir yn ddiarbed wrth bawb a ddeuai i edrych am dano, beth bynag a fyddai yn ddiffygiol ceid gwir i bwrpas nes y cydiai i'r byw. Y pythefnos diweddaf yr oedd yn lled olau ar ei feddwl yn nghylch ei aelodaeth yn nghorph dirgeledig Crist, a'i hawl ynddo fel priod i'w enaid, a phrynwr, a brawd. Ryw ddiwyrnod ychydig cyn ei farw, coffâi yr adnod hono, 'Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw.' Rywdro arall dywedai, 'cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi,' &c. Mynych yr adroddai wrth ei dad am effeithiau daionus ei gynghorion iddo pan yn ieuanc, a thrwy ysdod ei daith yn y byd, a thaer ddymunai arno barâu i gynghori y rhai sydd yn ol, 'canys pwy a wyr,' meddai, 'pa bryd y gwel yr Arglwydd yn dda i fendithio eich ymdrechion.'

Felly, a'i enaid yn mawrhau yr Arglwydd am rieni crefyddol, &c. efe a ehedodd i'w orphwysfa dragywyddol, a'i lygaid yn gweled Iachawdwriaeth yr Arglwydd, ar nos 18 o Tachwedd, 1836. Ac ar yr 21, ymgasglodd tyrfa liosog yn nghyd i dalu eu cymwynas olaf i weddillion y cymydog ieuanc rhinweddol hwn, ar ba achlysur y pregethodd Mr. Evan Jones, Llangyfelach, oddiwrth Rhuf. 8. 18. Ac yna hebryngwyd ei gorph i briddellau mynwent y Bettws lle yr erys hyd forau caniad yr udgorn. 'Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw mab y dyn.'

*Capel Hendre.* B. THOMAS.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

### TRYSORFA YR ATHRAWON.

Sef crynodeb o'r pethau mwyaf angenrheidiol eu gwybod er bod yn ATHRAW DEFNYDDIOL yn yr YSGOL SABBATHOL. Gan ARFONWYSON, alias, J. W. THOMAS, Tremle Breiniol y Parc Glas, Alban Hefin. Llundain: J. Jones, 56, Bartholomew-close. 350 tu dal. Pris 3s. Plygiad cymhwys i'r Llogell.

Llyfryn ydyw hwna cydwerth â'i bwysau o *berl.* Gwyddwn er's blyneddau bellach, y bwriadai yr Awdur gyhoeddi Trysorfa yr Athrawon; a hyderwn cyn ei gweled y byddai yn un dra nodedig; canys gwyddwn, trwy adnabyddiaeth *personal* âg Arfonwyson, nad yw ef wr a ymyra â phethau uwch ei wybodaeth a'i gyrhaeddiadau, mal y gwna llawer un; ond peth bynag a ymafla efe ynddo, ymdrina âg o yn feistrolgar a hyfedr, a cheir gweled arno '*waith dwylaw y celfydd.*' Diammheu fod y Llyfryn dan sylw yn un o'r rhai harddaf, taclusaf, a mwyaf cynnwysfawr sydd yn yr iaith Gymreig; ac yw yn dra chymhwys, yn mhob modd, i fod yn meddiant holl ddeiliaid yr Ysgol Sabbathol; ac yn wir, ni ddyla un Swyddog na Dysgybl yn yr Ysgol, ysdyried ei Lyfrfa (*Library*) yn gyflawn heb Drysorfa yr Athrawon i fewn.

Y mae yr Awdur wedi bod mor lwyddiannus yn nhrefniad y Drysorfa hon, mal y beiddiwyf, gyda yr hyder a'r ëondra mwyaf ei hargymhell i sylw holl ieuenctid Cymru, a phawb a garont lënyddiaeth Gymreig, gan wirio iddynt nad oes odid lyfryn yn ein iaith teilynged o gymeradwyaeth, cefnogaeth, a thryddarlleniad. Yw yr iaith yn gadarn, ysdwyth, a dealladwy; a'r materion yn amryfal, dosbarthus, a buddiol; ïe, mewn gair, y fath yw Trysorfa yr Athrawon, mal y dylent, nid yn unig, holl ddeiliaid yr Ysgol Sabbathol, ond hefyd, holl Bregethwyr y Dywysogaeth ei meddiannu; canys y mae ynddi lawer o drysorau darparedig iddynt hwy yn benodol. Edr. Pen. 20—22. Pen. 4, 7, 8, 9, &c.

Ni ryfygaf i wnëyd un math o adolygiad beirniadol ar y Llyfryn hwn, gan yr ysdyriwyf e oll mor ragorol, mal y mae tu hwnt i'm cyrhaeddiadau gweinion i wnëyd cyfiawnder âg o Diammheu fod enw Arfonwyson yn unig, yn ganmoliaeth digonol i bob peth a ddeua o dan ei law feistrolgar; gan fod ei alluoedd meddyliol, ei fedrusrwydd ieithyddol, a'i wybodaeth gyffredinol, eisoes yn hysbys i bawb a fedrynt y Gymraeg. Tybiwyf mai y peth goraf a ellir wnëyd er dangos teilyngdod y gwaith, yw gadael iddo lefaru drosto ei hun. Dyfynaf ychydig o'i sylwadau cywreinion ar *Bwysiad* mewn darlleniaeth.

Gwedi i'n hawdur roddi amrai gyfarwyddiadau manylion, a chynghorion buddiol o barth triniad y llais mewn darlleniaeth, dyweda wrth y darllenydd—'Os ydwyt am ddysgu darllen yn gywir, ystyria yn bwyllog y pedwar pen canlynol: *aceniad, pwysiad, amrywiad,* ac *attaliad.*' Yna, sylwa yn fanwl a chywraint ar aceniad;—edrydd nifer yr acenau,—eglura eu natur a'u deddfau,—a dengys, trwy engreifftiau amryw, eu llefodau (*situations*) mewn geiriau amryfath, ac â ymlaen i sylwi ar *Bwysiad,* fel hyn:—

'Pwysiad yw rhoddi y llais yn drymach ar ryw *air* neillduol mewn ymadrodd. Darllen heb bwyso ar air yn y byd a wna ymadrodd yn ddi-rym, a darllen gyda phwys penodol, heb wybod dyben ymadrodd, sy fel dall yn ymbalfalu, y cwbl ar amcan.' Dyweda fod yn reidiol, er gallu gwybod ar ba air mewn ymadrodd y mae gosod pwys arno, 'ystyried yn gyntaf, beth fydd wedi peri gwnëyd yr ymadrodd, oblegyd rhaid fod rhyw beth neu bethau wedi peri ei wnëyd, onide ni fuasai dim o'i eisiau; ac wedi cael allan y dyben o ddywedyd neu ysgrifenu yr ymadrodd, bydd yn hawdd gwybod ar ba air i osod y pwys.'—'Os sylwir ar y geiriau sydd yn cyferbynu eu gilydd yn y naill adnod ar ol y llall, e welir y peth yn ei ddull naturiol; megys yn amgylchiad yr Iesu yn Luc iv. 42. Efe a aeth allan ac a *gychwynodd* i le diffaeth: a'r bobloedd a'i ceisiasant ef; a hwy a ddaethant hyd ato, ac a'i *hattaliasant* ef rhag myned ymaith oddiwrthynt. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn wir y mae yn *rhaid* i mi bregethu teyrnas Duw i ddinasoedd *ereill* hefyd: canys i hyn ym danfonwyd.

Oni welir mor naturiol yw hyn yna, os oedd efe wedi cychwyn, a'r bobl yn chwennych ei gael gyda nhw, iawn oedd ei attal rhag ei fyned ymaith; ac yntau, wedi cael ei orddiwes ganddynt, a wybu nas gallai fyned rhagddo gan eu hamled, ac a ddechreuodd resymu wrthynt, gan ddywedyd, *Rhaid* i mi bregethu teyrnas Duw i ddinasoedd *ereill* hefyd. Felly, os oedd hi yn *rhaid* gydag ef, gwelent hwythau mai *rhesymol* ei adael; oherwydd nis gallent hwy garu Crist a thori ei orchymyn hefyd, yr hwn a ddywed, 'Câr dy gymydog fel ti dy hun.'

'Dymunir ar y darllenydd gofio ac ystyried hyd eithaf ei allu y gwahanol ddull ar yr ymadrodd cyntaf yn nghylch Robin a Sam. (Edr. Trys. yr Athr. 266—277. 'Dyma ymadrodd digon amlwg a naturiol, wedi ei amrywio fel y mae pob dull ar eglurâd o hono megys rheolau safadwy i hwn iawn ddarlleniad pob ymadrodd hyr cyffelyb. Ond cael allan sylwedd ymadrodd, hawdd rhedeg dros y gweddill yn lled ysgafn, gan bwyso ar y sylwedd yn unig.') 'Er ei fod yn ymadrodd lled ddistadl a gwael, etto, y mae ynddo ddigon i roi ar ddeall i bob diwyd ac ymdrechgar, mai nid cywir yw pwyso ar bob gair. Mae yr wrthddadl a welir yn eglurâd pob dull o'r ymadrodd hwnw yn ddigon o reol i arwain yr ystyrgar i roi attaliad i'r neb a fyddo yn rhoddi pwys ar air nis dylai.

Er eglurâd pellach, cymerwn yr adnod uchod i sôn rhagor yn ei chylch. Darllena un, drwy roddi y pwys ar *aeth allan*, ac mewn cyferbyniad, pwysa hefyd ar *le diffaeth*. Nid cywir hyna beth bynag; oblegyd pwyso ar *allan* a *lle diffaeth* hefyd nid yw yn resymol, oherwydd wrth *allan* golygir pob man o amgylch yr annedd lle yr oedd efe; ond nid oedd pob man yn le diffaeth. Oni welwch hefyd mor afresymol yw cysylltu y geiriau pwysig hyn *aeth allan i le diffaeth.* Nid mewn tŷ na synagog yr oedd y lle diffaeth; am hyny, paham y pwysir ar *allan* i le diffaeth, a'r lle diffaeth allan eisoes. Pe pwysir o gwbl, dylid osgoi allan, a chael yr ymadrodd fel hyn, aeth i le diffaeth. Ond etto, wedi osgoi y gair allan, a rhoi y pwys ar aeth i *le diffaeth*, nid cywir hyna ychwaith. Paham? Oblegyd, nid aeth efe ddim yno; cymaint a wnaeth oedd cychwyn, a'r gwaith penaf a wnaeth y bobl oedd ceisio ei attal. Os pwysir ar y gair pregethu a dinasoedd, dyna le i'r bobl ddywedyd, Pregetha i ni yn ein dinasoedd; y mae arnom gymaint o angen pregethu a neb. Ond wrth osod y pwys ar *ereill* hefyd, dyna rym yn ei iawn le, dyna reswm y cyfan yn gorfod plygu dano, a'r holl gais yn cael ei ddistewi gan resymoldeb. Bob amser mewn ymadrodd, y geiriau y dylid rhoi pwys arnynt, os cymerir hwy allan o hono a'u gosod y naill ar ol y llall, gwelir eu bod yn cynnwys sylwedd yr holl ymadrodd mewn dull naturiol a rhesymol: megys yn yr adnod uchod, fel hyn,—Cychwynodd, attaliasant; rhaid, ereill.

Gwelwch mor amlwg y mae y pedwar gair yna yn cynnwys sylwedd cynnifer a phedwararddeg a deugain o eiriau, a'u dull mor naturiol a'u cyflead mor gywraint fel y maent yn cloriannu y naill gyda'r llall, megys Rheol y Tri mewn Rhifyddiaeth; a phriodol y gellir dywedyd am y rhai yna, Fel y mae y gair cyntaf i'r trydydd, felly y mae'r ail gair i'r pedwerydd. Ac heblaw hyn, gellir chwanegu, fel y mae y gair cyntaf i'r ail, felly y mae'r trydydd gair i'r pedwerydd. Yr oedd yn rhaid cychwyn cyn y gallesid attal, ac yr oedd yn rhaid myned yn mlaen cyn y gallesid cyrhaedd dinasoedd ereill.

Dylai pob ymadrodd fod yn unol a'r dull uchod cyn y gellir ei gyfrif yn gyfansoddiad neu yn iaith dda. Ni ddylid gosod pwys ar yr un gair ragor nag unwaith mewn ymadrodd; os gwnelir hyny, bydd y gwrandawr deallus yn ystyried yr un peth hwnw megys dau beth. Gwedi rhoi pwys unwaith ar ryw air nodedig, rhodder y pwys drachefn ar y gair perthynasol iddo, megys am y wraig rinweddol yn Diarebion xxxi. Na rodder y pwys ar y gair *hi* ddim unwaith, ond ar y geiriau sydd ar ei ol, y rhai a amlygant eu haml weithredoedd canmoladwy.'

Na feddylied neb bod y dyfyniad yna yn rhagori ar y rhelyw o Drysorfa yr Athrawon, nac ydyw yn sicr; ond yw yr '*ymddyddan ar bwysiad*, a adawyd heb ei ddy-

fynu, yn lawn mor ragorol ar dyfyniad, os nid ragorach, eithr ei fod mewn dull ardduuach. (*more simple.*) Mae y llyfr oll mor ardderchog, mal yw yn anhawdd dyfynu o hono heb wneyd cam â'r awdwr. Mae yn fynegai, (*concordance*), Geiriadur, ac Eglurydd Ysgrytbyrol. Cynnwysa hefyd Ddaearyddiaeth, Amseryddiaeth, Henafiaeth, Bywgraffyddiaeth, a Hanesyddiaeth yr Ysgrythyr. Ac y mae yno fwy o Ddwnediaeth, (*Grammar*,) Ieithyddiaeth, a Beirniadaeth, nag a welais yn unrhyw lyfr Cymreig, pe mawr ai bychan. Os bydd rhywrai yn ewyllysio gwybod pa fodd i feddiannu yr holl gyfoeth sydd yn Nhrysorfa yr Athrawon, dywedaf mai y ffordd sicraf iddynt gyrhaedd eu hamcan, yn ol fy marn i, ydyw ei phrynu, ei darllen, a chwilio ei chynnwysiad.

TRYSORFA wech tra seirian,—nodedig,
Neud ydyw a dyddan:
Ceir yni i'r cywir anian,
Seigiau glwys ar ddysglau glan.

EBA ROBIN AP IEUAN PRYS.

*Llan Rhuddlad, Mon.*

## COF-RESTR

O Enwau a Chartrefleoedd Gweinidogion a Phregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd yn Sir Fon; sef y rhai a fuont yn llafurio yn Ngwinllan Crist, a fuont feirw dan eu coron, ac a aethant i orphwysfa; a'r rhai sydd yn awr yn fyw.

*Y Gweinidog a fu farw.*

Y Parch. Richard Lloyd, Beaumaris.

*Y Pregethwyr a fuont feirw.*

Richard Lewis, Mechell.
Richard Hughes, Plwyf Coedana, Tyddynwr.
Hugh Griffith, Llanddaniel.
Michael Thomas, Garnan wen.
Richard Jones, Niwbwrch.
Evan Griffith, Chwaen hen.
William Roberts, Amlwch.
John Jones, Bodynolwyn.
William Evans, Aberffraw.
Edward Jones, Tregwehelydd.
Owen Hughes, Cefn y dderwen.
Owen Thomas, Caergybi.
Richard Morris, Llanfair.
William Lewis, Glashinfryn.
Thomas Jones, Niwbwrch.

*Y Gweinidogion sydd yn fyw.*

Y Parch. John Elias, Fron, Llangefni.
——— William Roberts, Amlwch.
——— Cadwaladr Williams, Pen Ceint.
——— John Prydderch, Dyffyn Gwyn.
——— John Charles, Gwalchmai.
——— David Jones, Dwyran.
——— David Elias, Pentraeth.

*Y Pregethwyr sydd yn fyw.*

Mr. John Evans, Bodedern.
— Griffith Davies, Llannerchmedd.
— Thomas Jones, Amlwch,
Mr. Hugh Hughes, Beaumaris.
— John Jones, Niwbwrch.
— Owen Rowland, Hebron.
— Hugh Jones, Llannerchmedd,
— Hugh Jones, Caergybi.
— William Roberts, Caergybi.
— Robert Hughes, Gaerwen.
— Ebenezer Davies, Llannerchmedd.
— Hugh Charles, Gwalchmai.
— Hugh Owen, Cemaes.
— Robert Hughes, Niwbwrch.
— William Williams, Llanfachreth.
— William Williams, Plas Goronwy.
— Richard Roberts, Llannerchmedd.
— William Charles, Gwalchmai.
— Hugh Owen, Rhosybol.

## GWELLIANT GWALLAU

*Yn Rhestr enwau Pregethwyr Sir Gaernarfon.*

Garedig Syr,—Mae yn ofidus genyf weled y fath wallau yn ngwaith G. Solomon yn ysgrifenu attoch Restr o bregethwyr Sir Gaernarfon, y rhai a argraffwyd yn Rhifyn Ebrill.

Wrth hyn gwelwch Syr, mai nid heb achos y cwynir, o herwydd nas dangosir i'r 'Golygwyr yr hyn a ysgrifenir i'r Drysorfa.'

Amcenais i hyn fod yn radd o 'welliant ar wallau' y Rhestr hono:—

Yno dywedir, ymhlith y rhai sydd wedi meirw, 'John Daniel, Lleyn;' dylasai fod 'William Daniel, Lleyn.'

Ymhlith y rhai sydd yn fyw, dywedir 'William Thomas, Rhyd ddu;' dylasai fod 'Thomas Williams, Rhyd ddu.'

Hefyd, gadawodd y rhai canlynol heb eu henwi:—

*Wedi eu claddu.*

Ellis Jones, Plas gwyn.
John Williams, Cae Athro.

*Yn awr yn fyw.*

Owen Jones, Plas gwyn.
Griffith Jones, Felinhen.
Thomas Hughes, Gate House.
Evan Williams, Pentre uchaf.
John Owens, Nant y graian.

Cymmerer gwell gofal wrth Restru o hyn allan.—Yr eiddoch, W. JONES.

*Ysgoldy Llanddeiniolen.*

## YCHWANEGIAD ETTO:

*Ynghyd a rhai sylwadau ymhellach ar rai o bregethwyr a fuont feirw yn SirGaernarfon, gan wr a'u hadwaenai hwynt, yr hwn sydd yn awr yn fyw i dystiolaethu.*

Syr,—Yn eich Rhifyn am Ebrill y gwelir Rhestr o enwau y Pregethwyr a gawsant eu cyfodi yn Sir Gaernarfon yr oes ddiweddaf ond ydynt weithion wedi myned i orphwys oddiwrth eu llafur. Yr

oedd darllen y rhestr yn dwyn ger fy mron lawer o'r personau a grybwyllir ynddi; ac yn peri i mi adgofio eu dull a'u hagweddau, eu priodol ragoriaethau, eu pregethau syml a diaddurn, a'u hymddygiad gwerinaidd ac anrhodresgar. Yr oeddwn yn dra chydnabyddus â'r rhan fwyaf o honynt, a llawer gwaith y bum yn eu gwrandaw; ac nis gallaf lai, wrth ddarllen y gofrestr, na dychymmygu fy mod etto yn eu gweled yn y pulpit, ac yn clywed eu llais yn cyhoeddi uwch ben cynnulleidfa o bechaduriaid, anchwiliadwy olud Crist.

Rhyfedd ydyw meddwl fel y mae amser yn treulio, a'r blynyddoedd yn myned heibio; a syn yw adrodd y cyfnewidiadau mawrion a gymmerant le mewn ysbaid ond ychydig o flynyddoedd. Y mae 52 mlynedd weithion er pan ymadewais i o gymmydogaeth Lleyn yn Sir Gaernarfon, ac nid ydyw hyny—mewn cymmariaeth—ond tymmor bychan, etto o fewn cylch hyny o amser y mae yr holl rai oeddynt yn gydaelodau â mi yn Nghymdeithas Pwllheli a Nefin wedi rhodio y llwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelant: ac yn ofer i mi fyned yno yn bresennol, nac i unrhyw ran arall o'r wlad, i ymofyn am wyneb un a adwaenwn y pryd hyny. Mae mintai fawr o ffrwyth llafur y Cyfryngwr wedi myned adref, yn Bregethwyr, Blaenoriaid, ac eraill, er pan gefais i y fraint o ymuno â'r gwaith, a chymdeithasu â'r rhai oeddynt yn dwyn perthynas âg ef.

Bydd yn gynnes genyf feddwl am yr amser hyfryd a welwyd yn Lleyn, a manau eraill o'r wlad, pan fyddai y fath dywalltiadau grymus ac effeithiol yn dilyn llafur a gweinidogaeth yr hen bobl, a'r Ysbryd Glan yn ei *bowerau* nerthol ac anwrthwynebol, yn arddel eu cenadwri ddysyml ac anghelfydd. Mae yn dda genyf feddwl, er cymmaint o'r hen bobl sydd wedi marw, bod Arglwydd y cynhauaf yn aros bob amser ar y maes, ac yn gorchymmyn rhoddi gwisg Aaron am Eleazar. Nid oedd ar Elias eisio y fantell i'w addasu i fod yn breswylydd y wlad yr oedd yn esgyn i drigo ynddi, ond gadawodd hon ar ei ol at wasanaeth Eliseus. O! na bai y Pregethwyr ieuaingc a phawb o honom yn gweddio mwy am amlygiad mwy nodedig o Arglwydd Dduw Elias.

Yn y rhif-restr yr wyf yn meddwl bod *John Jones*, yr hynaf, yn un o'r pregethwyr cyntaf yn y parth hwnw o'r wlad. Yr wyf yn meddwl ei fod ef wedi bod am dymmor yn Nhrefecca, gyda Mr. Howel Harris. Byddai ganddo air da iawn bob amser i Mr. Harris.

Hugh Thomas, Rhos ddu, Lleyn, hen wr duwiol iawn oedd efe. Yr oedd wedi colli ei olwg ers amryw flynyddoedd cyn ei farwolaeth, ond etto yn parhau i gynghori yn y cyflwr hwnw, gyda ffyddlondeb a diwydrwydd canmoladwy.

Un arall yn y Rhestr ydyw Charles Mark. Yr oedd yr hen wr hwn, fel pregethwr, yn rhagori ar lawer o'r hen bobl o ran helaethrwydd doniau. Yr oedd yntau yn nodedig am ei dduwioldeb, ac, fel Hugh Thomas, wedi myned yn dywyll ymhell cyn marw. Etto dilynodd y gorchwyl pwysig y galwyd ef iddo dros hir amser yn yr agwedd hono. Byddai yn edrych mor siriol yn y Pulpit, a'r Bibl yn agored o'i flaen, a phe buasai yn gweled. Yr oedd wedi myned yn orweiddiog am gryn ennyd cyn ei ddiwedd. Ond er hyn yn parhau yn iraidd a nefolaidd o ran ei ysbryd. Tra yn y cyflwr cystuddiol hwn cyfansoddodd amryw Hymnau; ac yn mysg eraill y pennill rhagorol a digymmar hwnw a welir yn y 'Grawn y Sypiau,' &c.

'Teg wawriodd arnom ddydd,
A welwyd gynt drwy ffydd
Gan rai sy'n awr o'r cystudd mawr yn rhydd:
Ac os oedd dyled arnynt hwy,
Foliannu'r Oen a'i farwol glwy,
Mae'n dyled ni genhedloedd fil miloedd foli mwy.'

Nid ydyw hwn ond un pennill o lawer a gyfansoddodd efe.

Mor dda oedd i'r ddau hen wr duwiol hyn fod wedi dysgu yr Ysgrythyrau tra yr oeddynt yn gweled. Oddiwrth hyn byddai dda iawn i'r ieuengctyd gymmeryd addysg, ac ymroddi i ddysgu y gair sanctaidd a dyfod yn gyfarwydd ynddo, yn moreu ac yn mlodeu eu dyddiau.

John Griffith Elis—Yr oedd ef hefyd ymhlith y rhai cyntaf. Yr oedd rhai pethau yn ei weinidogaeth yn rhagori ar bawb o'i gyfoeswyr. Byddai awelon mawrion fel gollwng argaeau, yn cydfyned â'i bregethau. Clywais ei fod yn pregethu yn *Sasiwn* y Bala ar y geiriau hyny, 'Deffro gleddyf yn erbyn fy mugail,' &c. a bod rhyw dywalltiadau anarferol megys pe buasai gwmmwl yn torri, wedi disgyn ar y dorf; a'i fod yntau ei hun fel wedi myned i lesmair. Ond drwg genyf orfod ychwanegu iddo golli ei goron cyn marw. Gellir dywedyd am dano, fel am Ephraim, 'Pan lefarodd Ephraim â dychryn, ymddyrchafodd efe yn Israel; ond pan bechodd gyda Baal y bu farw.' Gormod hoffder yn y ddiod gadarn fu yn fagl iddo. Efe fu dros hir ysbaid o'i oes o dan gwmmwl. Ond fe'i hadferwyd ychydig flynyddoedd cyn ei farwolaeth; a bûm yn ei wrandaw droiau ar ol hyny; ond yr oedd, fel Samson, wedi torri ei wallt, a cholli ei fawr nerth gynt. Pa faint o les a bendith a allasai Cymdeithas ddirwestol fod i'r hen wr yma, a pha faint a allasai yntau fod o fendith i'r wlad pe buasai y fath Gymdeithas wedi ei chodi yn y dyddiau hyny, a bod yn offerynol i gadw y fath un rhag myned o dan lywodraeth yr arferiad bechadurus o yfed yn anghymmedrol?

WILLIAM DANIEL, o gymmydogaeth Saethon Bach, (Capel y nant yn bresennol). Nid oedd y gwr hwn yn tra rhagori o ran doniau, ond yr oedd yn dra ffyddlon a llafurus, ac yn hynod o gymmeradwy yn ei ardal. Y mae lle i feddwl iddo fod yn dra defnyddiol yn ei ddydd a'i genhedlaeth, a bod yn foddion i ddychwelyd llawer i wybodaeth o'r gwirionedd. Ni chlywais ei fod wedi torri cyhoeddiad erioed. Byddai yn cau ei lygaid bob amser wrth bregethu: ond buasai yn llai o ofid i'r henwr edrych ar ei wrandawyr y dyddiau hyny nag yn bresennol; cawsai weled pawb yn gwrandaw yn fwy siriol, a llai yn cysgu. Ond felly y dechreuodd efe arferyd, a methodd ganddo ddiwygio hyd ei ddiwedd. Felly y mae gormod o arferiadau anweddus, ac ymddygiadau annymunol, mewn geiriau, agweddau corphorol, &c. yn cael eu goddef hyd heddyw mewn llawer ag sydd etto yn fyw. Hawdd fuasai i'r cyfryw rai, yn y dechreu, eu gadael heibio, ac ymryddhau oddiwrthynt, ond wedi eu hir arferyd, y maent yn dyfod o'r diwedd mor naturiol iddynt, a phe buasent wedi eu geni gyda hwynt.

Yn nesaf yn eich Rhestr y dygaf ger bron un o brif gedyrn yr oes ddiweddaf, sef,

THOMAS EVANS, o'r Waun fawr. Yr oedd ef yn wr o ddoniau a chymmwysderau tra helaeth, ac yn Bregethwr hynod o bwysig a chynnwysfawr. John Pierce, Robert Jones, ac yntau, oeddynt fel tri Blaenor yn y Cyfarfodydd Misol gynt; ond yr oedd rhai pethau yn rhagori arnynt hwy yn Thomas Evans. Pan fyddai ryw faterion pwysig, mewn dysgyblaeth neu ryw achos arall, byddai yn cael ei gyfrif yn fwy diderbyn wyneb na neb yn Sir Gaernarfon. Etto, ar yr un pryd, yr oedd yn meddu yspryd hynaws ac addfwyn, ac er, ynghyflawniad ei ddyledswydd, y byddai yn hynod o benderfynol a diblygu, byddai yn haws peidio a thramgwyddo wrtho ef na llawer.

Buasai ryfedd ganddo weled Tre Caernarfon y dyddiau hyn—y capel mawr sydd ynddi, yn perthyn i'r corph yr oedd mewn undeb âg ef; a'r nifer liosog sydd yno yn awr yn aelodau gyda'r Trefnyddion Calfinaidd. Clywais ef yn dywedyd nad oedd neb yn y Dref, y pryd hwnw, a roddai iddo gwpanaid o ddwfr oer, fel Pregethwr. Ond mae'n debyg ei fod wedi gweddio llawer dros y Dref, a chael ei wrando yn ei hachos. O dan weinidogaeth Thomas Evans y dygwyd fi gyntaf i adnabyddiaeth o'm cyflwr: ac yr oeddwn yn edrych arno, yr amser hwnw, fel y dyn doethaf yn y byd. Gallaf ychwanegu am y gwr enwog hwn, yr hyn a ddywedwyd eisoes am y rhai blaenorol, na chlywais iddo dorri cyhoeddiad erioed.

WILLIAM DAFYDD, Llanllyfni. Megys y crybwylla eich Gohebydd, gwr hynod o ffyddlon oedd yntau. Bu yn dra defnyddiol yn ei dymmor, ac o fendith fawr i'r wlad yn gyffredinol. Yr oedd wedi myned mor lesg, drwy natur yr afiechyd yr oedd, yn niwedd ei oes, yn ddarostyngedig iddo, fel nad allai fyned o amgylch ond ychydig, na myned ar ei geffyl na disgyn heb help. Etto, yn yr agwedd hon, byddai galwad mawr am dano, ac wedi ei gario i'r pulpit, efe a bregethai mor fywiog a blasus a phe buasai ei gorph yn hollol rydd oddiwrth bob math o anhwyldeb.

GRIFFITH JONES, Ynys y Pandy. Diammeu bod llawer o'ch darllenwyr yn ei gofio ef; ond nid oes haiach un o honynt yn ei gofio yn moreu ei dymmor. Hen wr cyfeillgar, ac o deimladau tynner a hynaws iawn oedd G. Jones. Gwyddai pa fodd i lawenhau gyda'r rhai a fyddai yn llawen, ac i wylo gyda'r rhai fyddai yn wylo. Yn ei gyfeillgarwch yr oedd yn ffyddlon a dianwadal, ac yn ei gymmwynasgarwch yn brydlon a dirmaros. Er nad oedd ei ddoniau cyhoeddus ond bychain, etto clywais John Edwards, Reiniog, [diweddar o Blas yn Nghaerwys] yn dywedyd ei fod ef (G. J.) wedi bod yn offeryn i alw mwy na neb a gododd yn Sir Gaernarfon.

Y mae amryw eraill yn eich Rhestr y byddai yn dda genyf eu crybwyll, ac adrodd rhai o'u prif nodweddau; ond, i ochelyd gormod meithder, y mae yn rhaid i mi eu gadael yn bresennol. Cyn dibennu, fodd bynnag, goddefer i mi ddywedyd fod yn hyfryd genyf feddwl, er i'r hen Bregethwyr gadw noswyl, a myned i orphwys oddiwrth eu llafur, bod gan yr Arglwydd weithwyr etto ar y maes, a bod y gwaith yn myned rhagddo. Nid oedd—hyd yr ydwyf yn cofio—ond 4 Capel yn Sir Gaernarfon oll, pan ddaethum i gyntaf yn gydnabyddus â'r Sir hono; ond yn awr gwelaf, oddiwrth eich cyfrif o honynt yn eich Rhifyn diweddaf, bod yno 72, neu ragor.

Er nad oedd y rhan fwyaf o'r Pregethwyr a godwyd yn nechreu y diwygiad Cymreig ond dynion gwerinaidd a diddysg, etto fe wnaeth yr Arglwydd ddefnydd mawr o honynt i gyflawni y gwaith a osodwyd iddynt. Ac er nad oeddynt ond lled drwsgl a diaddurn yn cyflawni eu gweinidogaeth, ac yn traddodi eu cennadwri, etto yr oeddynt wedi eu cymhwyso yn rhyfedd at archwaith a chyflwr y wlad y *pryd hyny*. Yr oedd eu ffyddlondeb yn gwneud i fynu am fyrdra eu doniau, ac amddiffyniad Duw ar ei ogoniant, yn cuddio eu mannau anhardd. Ac er na ddymunwn weled Pregethwyr yr oes hon yn debygu i'r hen bobl ymhob peth, etto byddai dda iddynt eu dilyn yn eu ffyddlondeb, nefolder eu hyspryd, sancteiddrwydd eu rhodiad, eu hymneilltuaeth oddiwrth y byd, a chywirdeb a symlrwydd eu dybenion.

Y mae y rhan fwyaf o'r pregethwyr sydd yn awr yn fyw wedi cael tymmor lled haf-

aidd i weithio yn y winllan, ac y mae yr achos y perthynant iddo wedi cael ei ddyrchafu i anrhydedd a chymmeriad; ond na fyddent uchelfryd eithr ofnant. Fe fu i'r rhai a gychwynasant yr arch lawer o groesau a gwrthwynebiadau creulon cyn ei dwyn i orphwys mor dawel yn y cyssegr ag y mae yn awr: yn ein mwynhad o'n lliosog freintiau, gan hyny, na fydded i ni anghofio y rhai a fuont yn offerynol i'n cynnysgaeddu ni â hwynt, ac i'n gadael mewn meddiant mor dangnefeddus o honynt. A gobeithio na wel Corph y Trefnyddion Calfinaidd byth y dydd ag y ceir y goroniant yn cilio o radd i radd nes o'r diwedd iddo hollol ymadael; ond yn hytrach yr erys yn ei le drwy holl oesoedd y byd.

Anghofiodd eich Gohebydd ddodi enw JOHN EDWARDS, y Reiniog, i mewn ymysg y pregethwyr a gododd yn Sir Gaernarfon. Efe a fu yn pregethu flynyddoedd yn ei wlad ei hun, ac wedi hyny, efe a symmudodd oddiyno i Gelli Gynan, Sir Ddinbych, ac wedi hyny i'r Plas coch, ac oddiyno i Blas yn Nghaerwys, Sir Fflint, lle y bu efe farw.

*Trefriw.* ROBERT EVANS.

# Hanesiaeth Cenhadol.

### DEHEUDIR AFFRICA.

Ymysg yr holl wahanol lwythau o drigolion Affrica, y rhai y bu'r Cenhadon yn llafurio yn eu plith ni welwyd yr un wedi soddi yn is mewn anwybodaeth ac anfoesoldeb na'r llwyth a elwir y *Batlapi*, yn neheubarth Affrica. Mae y llwyth hwn yn gangen o genedl y Sitchuana. Yngolwg dynion, nid oedd yr un o'r llwythau mewn cyflwr ac agwedd mwy annhebyg y byddai modd i'w goleuo a'u dysgu na'r llwyth hwn.

Yr oedd yr olwg arnynt yn ddigon a digaloni Cenhadwr, oni buasai fod y Bibl yn dangos y bydd rhai o bob llwyth, iaith, a phobl, a chenedl, yn gadwedig yn y dydd olaf. Fel hyn, trwy gynmhorth Yspryd Duw a'i air, y gwaith ag oedd ar y dechreu mor annhebyg o gael ei gyflawni, a ddygwyd ymlaen, ac y mae wedi llwyddo ymhell y tu hwnt i ddysgwyliad dyn. Y bobl, y rhai a ymddangosynt unwaith mor bell oddiwrth bob purdeb a sancteiddrwydd, a ddygwyd yn agos, ac a wnaethpwyd yn ewyllysgar drwy allu Duw.

Y Brenin, neu Benaeth y llwyth, Mateebe, os nad yw wedi cael gwir droedigaeth, mae wedi dyfod yn ewyllysiwr da i grefydd: a dim llai na mil a hanner o'i bobl ef, amryw o honynt, fel y mae sail i gredu, ydynt wedi cael gwir gyfnewidiad grasol, ydynt yn profi rhinwedd eu crefydd yn eu buchedd a'u hymarweddiad cristionogol. Maent yn gyson yn yr addoliad cyhoeddus bob Sabbath, yn ymlawenhau yn y moddion o ras y maent yn eu mwynhau, yn byw yn heddychol ynghyd, ac yn cydnabod Duw yn eu holl ffyrdd.

Derbyniwyd amryw o hanesion neillduol o gysurus a phwysig am y bobl yma, a'r athrawon brodorol sydd yn llafurio yn eu plith, mewn llythyrau o dref Griqua yr hon sydd ynghanol y sefydliad Cenhadol eang hwn. Mae Mr. Wright tua diwedd y flwyddyn ddiweddaf, wedi anfon i ni hanes ei ymweliad ef ag amryw fanau ymysg y llwyth hwn, yr hyn sydd yn nodedig o gysurus, ac yn achos o lawenydd nid bychan i bawb sydd yn caru clywed am lwyddiant gwaith yr Arglwydd ymysg cenhedloedd pellenig y byd. Efe a ddywed fel hyn:—

'Ddydd gwener, yn yr hwyr y 19eg o Awst, 1836, cyrhaeddais at droed y bryn ar yr hwn y mae tref Mateebe yn sefyll. Pan welsant fy mhedrolfen yn dyfod, daeth yr holl dref agos, ieuainc a hen, yn ddioed, allan i'm cyfarfod i lawr y bryn, i'm cyfarch a'm croesawi. Ymhlith ereill yr oedd eu Penaeth Mateebe, a'i wraig Mahooto, y rhai a arosasant gyda mi hyd yn hwyr iawn. Am ei bod yn hwyr brydnawn pan gyrhaeddais y fan, a'r hin yn bur oer a gwyntog, ni chynnygiais fyned i fynu i'r dref i gynnal addoliad; ond arosodd nifer go fawr o feibion a merched gyda mi am gryn amser i ymddyddan â mi, ac â'r ddau frawd a ddaethent gyda mi, yn achos crefydd a matter enaid.

Oddiwrth yr hanes a dderbyniais gan Thabé, yr athraw brodorol; oddiwrth y gyfeillach a gefais âg amryw o honynt, y rhai oeddynt yn ddifrifol yn ymofyn â mi ynghylch trefn iachawdwriaeth; oddiwrth y diwygiad amlwg oedd i'w weled arnynt mewn pethau allanol, a'r llawenydd mawr a ddangosasant ar fy ymweliad â hwynt; cefais y fraint o fyned i'm gorphwysfa y noson hono gyda chalon lawn o ryfeddod a diolchgarwch, wrth ganfod arwyddion mor amlwg a dianwadadwy o waith mawr oedd yn myned yn mlaen mewn modd grasol ymysg y bobl hyn, yr hyn a'm cymhellai i ddywedyd 'Rhyfedd yw gwaith Duw!'

Y boreu dranoeth, gyda thoriad y dydd, yn ol eu harferiad, ymgasglodd lliaws mawr o bobl i gadw addoliad teuluaidd, yr hyn a gyflawnwyd gan Thabé. Yn fuan ar ol darfod y gwasanaeth hwn, daeth llawer i mewn i fy mhedrolfen i ymddyddan â mi ynghylch yr hyn a glywsant ac a ddarllenasant allan o air Duw, ac ynghylch yr hyn a brofasant yn eu meddyliau eu hunain.

Wedi hyny myfi a aethum i fynu i'r dref, pan yr ymgynnullodd yr holl drigolion ag oedd gartref, sef ynghylch chwe chant, i fath o gorlan gwartheg i gynnal addoliad cyhoeddus. Yno mi a bregethais ar Ioan x. 27, 28. 'Mae fy nefaid i yn gwando fy llais,' &c. Yr oedd eu hastudrwydd, eu symlrwydd, a'u sobrwydd yn gwrando ar hyd yr odfa yn nodedig iawn. Ar ol y

bregeth fe ymgasglodd yr Ysgol ynghyd, ac mi a'u holais hwynt. Yr oedd cant a phump ar hugain o blant yn yr Ysgol, heblaw llawer iawn o bobl mewn oedran, ac yr oeddynt wedi dysgu yn rhyfeddol iawn.

Mae gan yr Athro hefyd ddwy ysgol fechan dan ei ofal, ar ymylau trigfod y llwyth, yn cynnwys hanner cant o blant. Wedi canol dydd cadwais odfa gyhoeddus drachefn; ac yn yr hwyr ymgynnullodd ynghyd amryw i adrodd eu meddyliau a'u profiadau o'r pethau oedd ar eu meddyliau, ynghylch achos eu heneidiau. Daeth o ddeugain i hanner cant i'r cyfarfod hwn; ac yr oedd eu dull syml a diaddurn yn adrodd eu meddyliau am bethau ysbrydol, eu cynnydd mewn gwybodaeth, yr awydd a ddangosasant am chwaneg o hysbysiad am bethau y Bibl, yn gwneud y cyfarfod hwn yn ddifyrus annghyffredinol i mi ac i'r ddau frawd brodorol a ddacthant gyda mi o dref Griqua.

Yr oedd yn bur hwyr cyn y gellais adael y dref i fyned i'm pedrolfen i huno. Ac erbyn cyrhaeddyd yno, yr oeddwn wedi blino cymmaint yn ngwasanaeth y dydd fel nad allwn barottoi tamaid o swper cyn myned i'm gorphwysfa.

---

## CAFFRARIA.

*Ail sefydliad Cenhadau yn Caffraria.*

Gwyr rhai o'n darllenwyr ddarfod i'r Cenhadau orfod gadael Caffraria yn amser y gwrthryfel mawr a fu yno yn ddiweddar. Ond yn awr mae heddwch wedi ei sefydlu yn eu plith. Yn y flwyddyn 1835 bu raid i'r ddau Genhadwr, Mr. Brownlee a Mr. Kayser, yn erbyn eu hewyllys, ffoi oddiyno i ryw ddosparthiadau ereill yn Affrica. Ond ychydig fisoedd yn ol, fe aeth y ddau i Caffraria yn eu hol. Mewn rhai manau hwy gawsant eu praidd ymddifaid yn bur isel eu gwedd; er hyny fe'u derbyniwyd hwynt yn ol gyda llawenydd, ac y mae y Caffrariaid yn gyffredinol yn dangos tueddfryd cryf i roddi eu hunain dan eu haddysg, ac i wrando gair y bywyd o'u genau.

Mae eu Penaeth, Macomo, yn dangos tuedd cryf a chynnyddol o blaid llafur y Cenhadau. O hyn efe a roddes y prawf cryfaf, drwy anfon ei blant ei hun i'r Ysgolion dan ofal y Cenhadon, a thrwy annog addoliad rheolaidd i Dduw ymysg ei dylwyth ei hun, lle y mae Mr. Kayser yn pregethu ar y Sabbathau i gynnulleidfa o hanner cant i gant o bobl. Mae Mr. Brownlee yn ymweled âg amrywiol dylwythau, lle y mae y trigolion yn gwrando ar ei eiriau a'i gynghorion gyda llawer iawn o barodrwydd a sirioldeb.

---

### YSGOL BABANOD YN ANTIGUA.*

Yn Angorfa Willoughby, yn Antigua, cadwyd Cyfarfod blynyddol i holi plant yr Ysgol y Babanod yn mis Rhagfyr, 1836, lle yr oedd tri chant a hanner o nifer. Gwelais yno agos gyflawniad llythyrenol o'r Ysgrythyr, 'O enau plant bychain, a rhai yn sugno y perffeithiaist foliant.' Yr oedd plant, pedair oed, prin y gallent ddal eu Bibl yn eu dwylaw, yn medru darllen yn rhugl, ac yn atteb gofynion a roddai yr Holwr iddynt, gyda'r fath gyflymdra, digon i gau safnau am byth y rhai a haerant nad oes gan y bobl dduon ddim galluoedd eneidiol. Dangossant eu bod yn hysbys o hanes gwyr enwog y Bibl, ac yr oeddynt yn nodedig o gyflym yn adrodd yr Ysgrythyrau a ddysgasant ar dafod leferydd.

Dangoswyd i ni engraifft o'u llaw ysgrifeu, a'u Rhifyddiaeth; a dangosodd y genethod eu gwaith mewn edau a nodwydd, y rhai oedd yn peri i ni synu wrth eu gweled. Mae yr Ysgolion hyn dan lywyddiaeth Mr. Charles Thwaits, cyfaill diflino i ddysgeidiaeth o fewn yr Ynys hon. Mae y gwr parchus hwn yn cyfodi i fynu yn ei oes ryw filoedd o golofnau byw, a fyddant yn anrhydedd i'w enw wedi iddo ef fyned i orphwys i'r bedd. Athrawon yr Ysgolion hyn ydynt bobl dduon wedi eu rhyddhau, y rhai a addysgwyd yn yr Ysgolion Sabbathol cyn amser eu rhyddhad Awst 1, 1834. Nid ydynt gan hyny ond Ysgolheigion go fychain, er hyny mae yn ddyledus iddynt i ni ddywedyd, eu bod yn gwneud eu byrdra mewn cymhwysderau i fynu drwy eu diwydrwydd a'u dyfalwch.

Maent yn llwyr ymroddi at y llafur hwn o gariad, ac nid yw eu tipyn cyflog ond bychan iawn; nid yw byth ddim dros bedwar dolar yn y mis. Y plant y rhai ydynt yn yr Ysgolion a anwyd yn gaethion. 'I Dduw y byddo'r diolch,' y maent yn awr yn rhyddion, ac yn mwynhau bendithion a rhagorfreintiau rhyddid.—*Antigua Weekly Register.*

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

### CYMDEITHASFA DDYFODOL.

Bwriedir i Gymdeithasfa nesaf y Deheudir fod yn y Risca, Swydd Fonwy, Mercher a Iau, 24 a 25 o Mai, pan y dymunir gweled y brodyr yn bresennol. EVAN EVANS.
*Waenhelygen.*

---

### CYFARFOD MISOL ABERMAW.

Ar yr 28 a'r 29 o Fawrth, 1837, cynaliwyd Cyfarfod Misol yn Abermaw.

Pregethodd y Parchedigion canlynol: am

---

* Antigua, un o Ynysoedd dy *Leewards* yn yr India Orllewinol, perthynol i Loegr Mae hi yn 20 milldir o hyd, a'r un faint o led. Nid oes ynddi yr un afon, ac ond ychydig o ffynnonau bychain. Mae hi yn cynnyrchu llawer o siwgr, o'r hwn y maent yn anfon allan un mil ar bymtheg o farilau bob blwyddyn.

6 o'r gloch prydnawn y dydd cyntaf L. Jones, Bala, ar Galar. Ier. III. 24. O. Thomas, Bangor, Ioan I. 29. Am 10 y bore canlynol, D. Charles, B. A. Bala, ar Dad. I. 5. 6. H. Edwards, gynt o Landderfel, Es. IV. 4. 5. Am 2. O. Thomas, ar Rhuf. XIV. 17. R. Jones, Bala, Sal. CXIX. 96. Am 6. Lewis Morris, Seion, Heb. XII. 24. C. Owen, Dolydd Elen, ar Iob XXXIII. 24. Yr oedd y gwrandawyr yn lluosog, a'r hin yn gysurus; cawsom arwyddion amlwg yn y cyfarfod hwn na ddarfu i'r Arglwydd *ffieiddio* ein gwyliau; ond yn hytrach iddo *arogli* ar ein cymanfa.

GWRANDAWR.

---

AGORIAD CAPEL NEWYDD Y DYFFRYN, PERTHYNOL I GYFARFOD MISOL SIR FLINT.

Dydd-llun a dydd-mawrth, y 13 a'r 14 o fis Mawrth diweddaf, agorwyd addoldy newydd, hardd, a chyfleus, perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn y Dyffryn, Plwyf Llandyrnog, Sir Ddinbych.

Y moddion cyhoeddus oeddynt fel y canlyn:—

Nos Llun am 7, Gweddiodd y Parch. J. Hughes, Llangollen. Pregethodd Mr. Griffith Solomon ar Ioan 4. 24; a'r Parch. Henry Rees ar Phil. 3. 9. rhan olaf.

Dydd mawrth am 10, Gweddiodd y Parch. Moses Parry, Dinbych. Pregethodd y Parch. John Hughes ar Deut. 33. 3; a'r Parch. Henry Rees ar Marc 10. 30. rhan olaf.

Am 2, Gweddiodd Mr. Jones, Llanidloes. Pregethodd y Parch. Robert Owen, Nefyn, ar Ioan 14. 6; a'r Parch. Robert Evans, Llanidloes, ar Ioan 4. 14.

Am 6, Gweddiodd Mr. Charles Jones, Sir Feirionydd. Pregethodd y Parch. Robt. Owen ar Salm 84. 4; a Mr. Griffith Solomon ar Iago 1. 22.

Fe adeiliadwyd hên Gapel y Dyffryn erys ychwaneg na thriugain mlynedd yn ol, a chafwyd y Parch. Daniel Rowlands, o Langeitho, i bregethu ar y dydd yr agorwyd ef. Ac efe ynghyd a'i fab y Parch. Nathaniel Rowlands, a Mr. David Jones, Bryn y mynach, a Mr. William Lloyd, Henllan; a Mr. David Morris, Troed yr Aur; oeddynt yr ymddiriedolwyr (*Trustees*) cyntaf ar y lle.

Fe seiniodd gair yr Arglwydd oddi yma i amrywiol fanau lle y mae yn awr Eglwysi lliosog wedi ymgynnull: a chynnulleidfaoedd mawrion yn gwrando. Galwyd ef 'Capel y Dyffryn' am nad oedd y pryd hyny yr un Capel wedi ei adeiliadu o fewn Dyffryn Clwyd ond efe.

Mae'r tir yn awr ar ba un y mae yr hên Gapel yn sefyll, yn perthyn i'r Parchedig Edmund Williams, Rector Llangerniw, Swydd Dinbych. Mab hynaf y diweddar Robert Williams, Esq., Pentre Mawr, Llandyrnog. A chafwyd gan y Parch. E. Williams gyfnewid am yr hên Gapel trwy roddi darn o dir wedi ei gau allan yn hardd oddeutu Erw (*Acre*) o fesur ar Waun Llandyrnog; ac Ammod-weithred (*Lease*) ar y lle am 2000 o flynyddoedd! ac un geiniog o (*Chief rent*) i'w dalu yn flynyddol. Yr Arglwydd a fendithio y Gwr Parchedig a'i hiliogaeth, a'i berthynasau, â'r penaf o'i fendithion tra fyddo haul yn bod, am ei fawr garedigrwydd i achos yr Arglwydd Iesu. Maintioli yr adeilad yw 16 llath wrth 13 y tu allan i'r muriau.

Hefyd, bu yr holl ardal fel un gwr, mewn ffyddlondeb a sirioldeb, fel nad oes neb i'w enwi mewn rhagoriaeth ar eraill. Cludasant yr holl ddefnyddiau o bell ac o agos yn ddi-draul hollol: a chyfranasant yn helaeth o'u harian tu ag at yr adeiladaeth. Disgwyl yr ydym y parheir yn yr unrhyw ffyddlondeb nes ei gael yn hollol ddi ddyled; fel y gallom ei gyflwyno i'r Arglwydd yn hollol rydd; gobeithiwn y preswylia yr Arglwydd ynddo yn ei ras a'i ymgeledd i ni a'n plant, a phlant ein plant hyd y diwedd. Ac y gellir dywedyd am y Babell hon, (Iehofah Shamma) 'Yr Arglwydd sydd yno,' Ezec. 48. 35.

*Rhiw Bebyll.* JOHN DAVIES.

---

*Cyfrif o'r Casgliadau a dderbyniwyd yn Sir Fflint tu ag at Gymdeithas Genhadol Llundain.*

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Adwy'r Clawdd | | | | 1 | 14 | 6 |
| Carmel | | | | 1 | 11 | 0½ |
| Caergwrle | | | | 1 | 10 | 0 |
| Dyffryn | | | | 0 | 16 | 4 |
| Gellifor | | | | 1 | 0 | 6 |
| Gwrexam | | | | 3 | 10 | 6 |
| Glyn Dyfrdwy | | | | 0 | 11 | 2½ |
| Llangollen | 5 | 6 | 4 | | | |
| Ysgol Meifod | 0 | 14 | 5 | 6 | 0 | 9 |
| Llyn y Pandy | | | | 0 | 10 | 9½ |
| Helygen, Casgliad Cyhoeddus | 0 | 4 | 0½ | | | |
| " Yn yr Ysgol | 1 | 5 | 3½ | 1 | 9 | 4 |
| Mostyn | | | | 1 | 13 | 6 |
| Pont Cysyllte | | | | 2 | 2 | 3 |
| Rhosllanerchrugog | | | | 5 | 0 | 6 |
| Rhosesmor | | | | 0 | 13 | 7½ |
| Treffynnon, | | | | | | |
| Mr Thomas Owens | 5 | 0 | 0 | | | |
| Blwch Cenhadawl Theophilus ac Onesimus Owens | 0 | 10 | 0 | | | |
| Mr. D. Davies | 1 | 1 | 0 | | | |
| Parch. J. Phillips | 0 | 10 | 0 | | | |
| Casgliadau mewn Cyfarfodydd gweddi misol a rhoddion blynyddol | 3 | 12 | 9½ | 10 | 13 | 9½ |
| Waen Bodffari | | | | 0 | 11 | 3 |
| | | | | L39 | 9 | 10½ |
| Talwyd am gludo Reports a Chronicles, &c | | | | 0 | 12 | 7 |
| | | | | L38 | 17 | 3½ |

T. OWENS, Trysorydd.

*Treffynnon, Ebrill* 17, 1837.

---

## Y WERDDON.

Anwyl Athraw,—Nid bychan oedd fy llawenydd pan welais lythyr fy mrawd (pwy bynag yw) yn Rhifyn diweddaf o'ch Trysorfa, ar y genhadaeth Wyddelig, a'i feddylfryd gwrol a'i wresog aidd gyda 'r matter

pwysig hwn. Ond llawenydd mwy drachefn i'm oedd eich hyspysiad chwi, fod y brodyr yn y Gymdeithasfa ac yn y Cyfarfodydd Misawl yn dechreu ymgymeryd â'r matter teilwng a phwysfawr, ac fe allai yn annhraethol fawr yn ei ganlyniadau.

Ond gyda golwg arnaf fy hun, fel cynhygiwr o honof fy hun yn gydgydymaith a chyd lafurwr â'r brawd, gallaf ddywedyd yn hyf, fod nosweithiau blinion wedi fy meddiannu er pan yrais attoch, wrth feddwl ymadael a gwlad fy ngenedigaeth, fy nghenedl a'm perthynasau; ond, yn enwedig pan y meddyliwyf am y mynyddau mawrion o anhawsderau sydd o flaen pryfyn o Gymro uniaith o'm bath i, a'r angenrhaidrwydd anhebgorol dyrnu rhai o honynt yn wastadtir difryniau cyn y gallaf anturio cyflawni y fath waith.

Yr ydwyf yn barod i briodoli y cynhygiad, braidd, i fy nghalon galedwch, fy rhyfyg, a fy anystyriaeth, yn enwedig pan ddifrifol ystyriwyf y pethau canlynol.—

Yn gyntaf, Pan ystyriwyf fy nygiad i fynu o'm ieuengctyd, sef yn lled ymddifad o fanteision dysgeidiaeth; ond yn unig dysgeidiaeth yr Athrofa Sabbathawl: gan hyny byddaf yn tybied yn lled gryf rai gweithiau, pe buasai Arglwydd y winllan wedi arfaethu a threfnu i mi fyned yn Genhadwr, y buasai yn gofalu am i olwynion ei ragluniaeth droi cyfoeth tu ag at fy Rhieni; a'r rhai hyny fy ngosod wrth draed rhyw Gamaliel ardderchog i ddysgu ieithoedd Twr Babel o'u cyrrau. Ond Ow fi! na fedrwn yr iaith Gymraeg yn agos i berffaith.

Yn ail, Pan ystyriwyf gryfdwr yr ofergoelion Pabaidd, y rhai sydd wedi gwreiddio mor ddwfn yn nghalon y genedl Wyddelig yn gyffredinol, nes ydwyf yn barod i ofyn, "A fydd byw yr esgyrn hyn?" Ië, "pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" Ond, taw gnawd, "gyda Duw pob peth sydd bosibl."

Yn drydydd, Pan ystyriwyf fy anaddasrwydd fel Cristion, sef fy sêl oerllyd, fy ochneidiau annwysion, fy ngweddiau annheirion, a fy nghalon gyfan, a'm hysbryd iach; ïe, fy rhodiad cyffredinol yn rhy wyrgam: mewn gair, rhy debyg i ganwyll dan lestr, i feddwl wynebu y fath orchwyl dros Frenin Sïon.

Ond o'r ochor arall, Pan ystyriwyf y pethau canlynol mae y mynyddoedd yn cael eu dyrnu i'r llawr, a'r bryniau yn cael eu gwneuthur fel mwlwg o'u blaen. Mae 'r niwloedd yn clirio, a'r byddinoedd estronawl o ddigalondid a mân rwystrau yn gorfod cilio gydag ofn a dychryn; a minau yn y canlyniad yn gallu dywedyd, gydag awyddfryd calon, "Wele fi, anfon fi."

Yn gyntaf, Pan y credwyf y gallaf ddysgu yr iaith Wyddelig, neu yr hen Gymraeg sydd yn Llydaw.

Yn ail, Pan y darllenwyf am y pethau mawrion a wnaeth yr Arglwydd yn ein hoes ni trwy offerynan gwael (sef ei Genhadon), yn ngwledydd tywyll y byd; yn enwedig pan ddarllenwyf yn y Gyfrol ddwyfol am y pethau mawrion a wnaed trwy offerynau salw yn oesoedd boreuol y byd.

Yn drydydd, Pan y meddyliwyf mai llewyrch o'r nef yw hyn, ac ernes fod yr amser ger llaw y caiff y Gwyddelod, a'r Llydawiaid eu troi o'r tywyllwch dudew ac ofergoelus i oleuni eglur Efengyl ein Harglwydd ni Iesu Grist.

Yn bedwarydd, Pan y credwyf ddarfod i Dduw Dad er tragywyddoldeb ethol Eglwys neillduol iddo ei hun, allan o bob llwyth, iaith, a phobl, a chenedl o ddynion: ac felly yn eu plith mae y Gwyddelod. A Duw Fab yn nghyflawnder yr amser wedi ei phrynu hi allan o'r *pob* yna, â'i werthfawroccaf waed. A Duw Yspryd Glan yn ei galw hi allan mewn amser o'r *pob*, â galwedigaeth effeithiol, ac yn plannu egwyddorion iachus ynddi am Dduw a'i drefn i achub pechadur trwy Grist ein Gwaredwr. Felly mae y gair bach *pob* yn codi awydd myned yn fy enaid y dyddiau hyn, wrth feddwl am gyflwr alaethus y trueiniaid sydd yn marw o eisiau gwybodaeth. Ië, mae llawenydd yn fy llenwi wrth glywed y sŵn hyfrydlawn am anfon cenhadon i'r fath wlad, pan ystyriwyf mai Duw sydd yn myned i alw tyrfa afrifadwy o'r cenhedloedd gwrthryfelgar hyn, a'u rhoddi yn wobr i'w Fab am ei lafur caled a'i angau poenus dros ac yn lle pechaduriaid colledig o'u bath hwy.

Yn bummed, Pan ystyriwyf fawredd y rhagorfraint i wr o'm bath i gael cynnyg ei hun i geisio cyflawni y fath waith gogoneddus dros fy Meistr, sef cyfarwyddo fy nghyd bechaduriaid yn y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd.

Gallaf ddywedyd yn hyf, dybygaf, nad pleser cnawdol, na mwyniant daearol, a'm cymhellodd i gynnyg fy hun yn Genhadwr; ond gweithrediadau dwysion o ryw natur sydd ar fy meddwl er's mwy na thair blynedd bellach; na amlygais mo honynt i neb o'm cyfeillion o'r blaen.

Dywedaf cyn terfynu, fy mod yn eithaf parod, o ran fy awyddfryd, o ran fy amgylchiadau, o ran fy nghydwybod, a'm profiad; ond yn eithaf ammharod o rán fy nghymmwysderau ar bob golygiad; ond os bydd Duw troswyf, meddyliwyf nad ofnaf na phurdan na Phab. Ydwyf ddarostyngedig i ewyllys fy anwyl frodyr yn hyn, ond yn benaf gobeithiwyf i ewyllys Duw. Amen medd * * * *

*Ebrill* 10, 1837.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Ebrill 6. Dyg Mr. Bretherton ac ereill o aelodau Tŷ y Cyffredin amryw Ddarlun Cyfreithiau o Dŷ y Cyffredin i Dŷ yr Arglwyddi; sef Ysgrif ffordd haiarn o Manchester i Leeds, ac un o Lundain i Southampton, ac un o Sheffield i Manchester, ac un o Lancaster i Preston, a ffordd haiarn o ganol y wlad i

gwr Gogleddol y wlad, ac un o Preston i Wyre, ac un ffordd haiarn fawr y Gorllewin, oll wedi passio Ty y Cyffredin dair gwaith.

Ebrill 7. Cododd Esgob Exeter i wneud araeth yn erbyn Cyfraith newydd treth y tlodion. Gwrthwynebodd Arg. Melbourne ef yn gadarn ac yn wrol. Gwrthwynebodd Duc Wellington yr Esgob hefyd, gan ddywedyd ei fod ef yn un o'r rhai a gydsyniasant â'r Gyfraith newydd, ac nad oedd yn edifar ganddo wneuthur hyny, gan ei fod ef yn dyst llygad o fawr les y Gyfraith hono yn amryw barthau o'r wlad; a'i fod yn credu y gwna hi etto chwaneg o les o lawer. Diolchodd Arg. Brougham i'r Duc am iddo ddweud ei feddwl mor ddiragfarn ar y pen hwn: a dywedodd ei fod yntau yn hollol o'r un feddwl a'r Duc. Dywedodd fod yn dda ganddo weled nad oedd neb o'r Esgobion yn cyd-daro a'r Esgob Exeter yn erbyn y gyfraith newydd hon.

Ebrill 10. Dygwyd Archiad o Gymru, na byddai i un Esgob gael ei osod yn Nghymru heb fod yn gallu siarad Cymraeg.

*Tŷ y Cyffredin.* Ebrill 7. Dyg Mr. Fancourt ei gynnygiad i mewn am gael eisteddfod i ystyried dull cospedigaethau milwyr yn Mrydain, i'r dyben o roi pen ar gospedigaeth greulon o ffangellu milwyr. Traethodd amryw eu meddyliau, a rhanwyd y Tŷ, a chafwyd mwy yn erbyn nag o blaid o 95, felly fe gollwyd y cynnygiad.

Ebrill 10. Dyg Arg. J. Russell i mewn gynnygiad am ddarllen Ysgrif Corphoraethau Bwrdeisiol y Werddon y drydedd waith. Dadleu tost fu etto ar y gyfraith hon, yr hon ni orphenwyd hyd dranoeth. Yna rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid yr Ysgrif - - | 302 |
| Yn erbyn - - - - | 247 |
| Mwy o blaid o - | 55 |

Felly y passiwyd hi y trydydd tro.

*Tŷ yr Arglwyddi*, Ebrill 13. Wedi i Ysgrif Corphoraethau y Werddon bassio yn Nhŷ y Cyffredin, a'i dwyn i Dŷ yr Arglwyddi, ar gynnygiad Argl. Melbourne, darllenwyd hi un waith, a hysbysodd y bydd iddo roi cynnygiad am ei darllen hi yr ail waith ar y 25in o'r mis, (Ebrill.) Dygwyd llawer iawn o Eirchion i'r Tŷ ar amrywiol achosion.

*Tŷ y Cyffredin*, Ebrill 13. Hysbysodd Arg. Howick y bydd iddo ef ar y dydd cyntaf o Mai, roi cynnygiad am ddwyn i mewn Ysgrif am ddiwygiad ynghyfraith y Degwm yn y Werddon.

*Tŷ yr Arglwyddi*, Ebrill 17. Dyg Iarll Roden Archiad oddiwrth Syr Harcourt Lees, yn gofyn caniattad i ymddangos ger bron y Tŷ i brofi ei fod ef yn gwybod am fradwriaeth gan y Jesuits Pabaidd, am dorri yr Undeb rhwng y Werddon â Brydain.

## MARW-RESTR.

Mawrth 28. Bu farw yn Nhrefriw, Swydd Gaernarvon, Jane, Gwraig Thomas Rogers, Siopwr. Bu y wraig hon yn aelod hynod o ddefnyddiol a gwasanaethgar gyda'r Trefnyddion Calvinaidd dros yspaid deugain o flynyddoedd; a mawr fydd yr hiraeth a'r golled a deimlir ar ei hol, gan bawb sy'n dwyn perthynas â'r achos crefyddol, gyda yr Trefnyddion, yn y gymmydogaeth hon. Ei sirioldeb yn gweini at gysuron y Pregethwyr a dderbynid yn ei thŷ, ac yn croesawu y dieithriaid a ddeuent yno, ar achlysuron nodedig, a hir gofir, gan y rhai a gawsent y cyfleustra i brofi ei charedigrwydd.

Y mae yn hyfryd meddwl, bod pob lle i obeithio y bydd i'w theulu ddilyn ei siampl yn hyn, ac y caiff yr achos yr un magwraeth ffyddlon a diymwad ag a gafodd, dros ysbaid hir flynyddoedd, o dan nodded dirion ac amgeleddgar y fam hon yn Israel.

Ar ddydd ei chladdedigaeth, o herwydd y mawr barch oedd iddi yn ei chymmydogaeth, a'r dwfn hiraeth ar ei hol, ymgasglodd y fath dyrfa fawr ynghyd i'w hebrwng i dŷ ei hir gartref, fel na allent fyned oll i mewn i Eglwys y Plwyf, gan eu hamled.

*Trefriw.* ROBERT EVANS.

## BARDDONIAETH.

### HYDER Y CREDADYN.

YR AIL RAN.

*Atteb y credadyn i Amheuaeth.*

A'i meddwl fy mrawychu, dywed,
Yr wyt trwy fygwth bedd a phryfed;
Beth yw gwelu cul y ceufedd,
Ond y man bu'r Iesu 'n gorwedd?

Aeth ef yn drancedigaeth iddo,
Nid oes mwyach niwaid ynddo;
Yn lle carchar, troes yr Iesu
Hwn i'w blant yn 'stafell welu.

Abraham, ag Isaac hefyd,
Y'nghyd ag enwog dadau'r cynfyd.*
Iacob, Moses, a'r prophwydi,
Sydd yn huno'n dawel ynddi.

Apostolion, a Merthyron,
Ac aneirif o dduwiolion,
Sydd o fewn i hon yn cysgu,
Nes d'êl bore dydd y barnu.

Dau erioed a ga'dd o'r seintiau,
Basio tywyll borth yr angau;
Y ddau' gafodd hyn o urddas,
Ydoedd Enoc ac Elias.

Ond nid rhaid i'r *Saint* arswydo,
Myn'd i'r bedd i orwedd ynddo;
Mae pob niwed wedi ei dynu,
'N llwyr o hono gan yr Iesu.

Y mae ganddo ef lywodraeth
Ar y bedd a phyrth marwolaeth;
Ganddo Ef y mae'r allweddau,
Ef a all attroi y bolltau.

* Antedeluvian Patriarchs.

Clywais lawer gwaith dy heriad
Na bydd etto adgyfodiad;
Ac na bydd o stâd marwoldeb,
Adfod i na gwae, na gwyndeb.

'Ar ol myn'd o gyrff i bydredd;
A malurio 'n llwch eu sylwedd;
Pa fodd (meddi) 'r adgyfodant,
Ac yn mha ryw ffurf y deuant?'

Pan yr heuo 'r ffermwr dwysgall
Haidd, neu wenith, neu rawn arall;
Nid yw 'n disgwyl ffrwyth oddiwrtho,
Oddieithyr ei farweiddio.

Duw sy'n rhoddi mewn modd rhyfedd,
I'r gronynau eilwaith sylwedd;
A phob hedyn wrth drefn anian,
Geiff ei gymhwys gorff ei hunan.

Felly, mewn cymhariaeth gyson,
Yr adgodir cyrff y meirwon;
Trwy yr un anfeidrol allu,
Ag sy'n gwneud i'r ddaiar darddu.

Mae adgodiad Crist yn sicrwydd
Y bydd adgyfodiad dedwydd,
I'r rhai oll a gredant ynddo,
Ac a gynnrychiolid ganddo.

Fel trwy Adda y daeth marwolaeth
Arnom oll yn gosbedigaeth;
Trwy ein hundeb cyfammodol
Ni ag ef, ein pen cynnrychiol.

Felly 'n gyfwedd y daeth hefyd,
Ddawn i'r Saint o ddidranc fywyd;
Trwy yr undeb rhyfedd dirgel,
Rhyngthynt sydd a'u pen goruchel.

Ef yw 'r pen, a hwy'r aelodau,
Ef yw'r cyff, a hwy'r cangenau;
A chan fod fath undeb rhyngddynt
Bydd o'r bedd gyfodiad iddynt.

Pan y prynodd Crist ei Eglwys,
Trwy ei waed oedd bridwerth cymhwys.
Fe a brynodd eu *personau*,
Cyrff yn gystal a'u heneidiau.

Er eu hau yn gyrff anianol,
Codi 'wnant yn gyrff ysbrydol;
Ac er myn'd i lawr mewn gwendid,
Do'nt i fynu mewn cadernid.

Braen a brwnt yw'r corff difywyd,
Pan ei cleddir is y gweryd;
Ond er cael ei hau mewn gwaeledd,
Fe'i cyfodir mewn anrhydedd.

Pan y cyfyd Crist ei Seintiau,
Yn y bore draw o'r beddau;
Tebyg iddo ef y byddant,
Mewn prydferthwch a gogoniant.

Yna' rhoddant floedd fuddygol,
Nes dadseinio 'r cylch wybrenol—
Pa le 'n awr mae'th golyn, Angau?
Uffern,—p'le mae'th concwest dithau?

Yna'r gein-dorf annifeirawl,
Ger yr Orsedd wen ogonawl
Ar delynau nefol eurdant
Mawl yr Oen tra pyth dadganant.

Byddaf finau, rwy'n hyderu,
Yn eu plith yn cyd foliannu;
Ië, canaf yn hyfrydol,
Am y cariad rhad tragwyddol.

T. JONES, *alias* TYFRYDOG a'i Cant.

---

ABERTH IESU.

Iesu 'n marw dros bechadur,
Yn ei ddeddf-le ar y groes,
Yw fy ngobaith a fy nghysur,
Heddyw ac hyd ddiwedd f' oes;
Yndo ef yr ymddiriedaf,
Gŵn nad ydwyf fi ond gwan,
Ac i'w enw byth y canaf,
Wedi gorphwys yn fy rhan.

Pan yr oeddwn i yn euog,
Gan bechodau o bob rhyw,
A chyfiawnder nef yn llidiog,
Yn fy mygwth na chawn fyw;
Iawn a roddwyd ar Galfaria,
Gan fy Meichiau yn fy lle,
Canaf finnau Haleluia,
Byth fendigaid fyddo efe.

Mae ei waed yn iawn digonol,
Dros fy meïau fawr a mân,
Ac mae hefyd yn rhinweddol,
I'm sancteiddio'n berffaith lân;
Nid yw'r nef yn gofyn mwyach,
Aberth ond yr un a gaed,
Golcher finnau'n wŷnach wŷnach,
Yn feunyddiol yn y gwaed.

Aberth Iesu a gyhoeddaf,
I syrthiedig ddynolryw,
Unig ffordd, a ffordd gyfiawnaf,
I bechadur i gael byw;
Nid oes yma gleddyf tanllyd,
I ddychrynu'r euog rai,
Ond trugaredd rad a bywyd,
I'r trueiniaid mwya'u bai.

Aed y sôn am aberth Iesu
Hyd eithafoedd daear lawr,
Amser dedwydd sydd yn nesu,
Amser y cynhauaf mawr;
Amser chwilio am y defaid
Gwasgaredig drwy y byd,
Amser casglu llafur enaid
Y Messiah mawr yn nghyd.

Doed y nerthoedd mawr i waered,
Dylanwadau'r Ysbryd Glân,
Gallu'r nef a fyddo'n cerdded,
Megys nerthol wynt a thân;
Hen Efengyl ein Gwaredydd,
Llwydda hon O Arglwydd Dduw,
Gyda ni a thrwy bob gwledydd,
Lle preswylia dynolryw.

Gwawr efengyl a oleuo
Ddynion sydd yn eigion nos,
Nerth a gras y nef a godo
Werth y gwaed o'r ffiaidd ffôs;
Yn ardaloedd y gogoniant,
Minnau â soniarus lef,
Canaf byth i'r Iesu foliant,
Gyda'i waredigion ef.

*Llundain.* J. H.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXVIII.] MEHEFIN, 1837. [LLYFR. VII.

## BUCHDRAETH CRISTIONOGOL.

RHIF. IV.

### JOHN CALVIN.

Y diwygiwr enwog John Calvin, a anwyd yn Noyon, tref yn nhalaeth Picardy, tua 60 milldir o Paris, prif ddinas Ffrainc, ar y 10fed o Orphenaf, 1509. Gan fod ei rieni yn bobl o gymeriad a sylw yn mhlith pendefigion ei gymmydogaeth, efe a gafodd ddysgeidiaeth haelfryd, gyda phlant i un o'r pendefigion uchaf yn y fro. Efe a'u canlynodd i Paris, lle y bu yn myfyrio yn athrofa de la Marche, dan yr athraw enwog Maturin Corderier, neu Corderius. Oddi yno efe a symmudodd i athrofa Montaign, lle y cafodd yn athraw, Hispaenwr tra dysgedig.

Gan fod tad Calfin yn awyddus am i'w fab ymroi at wasanaeth yr eglwys, efe a gafodd swyddogaeth gan Esgob Noyon iddo yn eglwys gadeiriol y ddinas hono, a thrachefn, efe a gafodd guradiaeth ei bentref ganedigiol ei hun iddo. Felly gan hyny, bu Calfin dros beth amser yn gweinyddu swydd offeiriad yn eglwys Rhufain cyn gadael Ffrainc; ond fe'i lluddiwyd drwy drefn ddoeth rhagluniaeth, rhag aros nemawr mewn cymmundeb a'r eglwys wrthgiliedig hono. Tueddwyd ei dad i feddwl y byddai gwell cyfle i'w fab arferu ei dalentau ysplennydd yn llwyddiannus, ar faes y gyfraith wladol, ac am hyny efe a'i perswadiodd i roddi ei swydd offeiriadol i fynu. Ac yn gymmaint a bod y gwr ieuanc erbyn hyn, drwy fendith Duw ar ei astudiaeth o'r Ysgrythyr Lan, wedi dechreu ffieiddio ofergoelion yr eglwys babaidd, a'i argyhoeddi o gysondeb yr egwyddorion Gwrthdystiol â gair Duw; nid oedd yn anhawdd ei berswadio i hyn; felly efe a drodd ei gamrau tuag Orleans, i ddechreu ar astudiaeth y gyfraith yno; ac mor hynod gyflym fu ei gynnydd yno, fel y'i cyfrifid yn fuan iawn yn alluog i lanw y gadair yn absen un o'r athrawon; ac ar ei ymadawiad o'r Athrofa, cynnygid y radd o Ddysgawdwr iddo yn rhad. Eto ni chyfyngai ei efrydiaeth at y gyfraith yn unig, ond treuliai lawer o'i amser yn darllen yr Ysgrythyrau; ac nid anfynych yr ymgynghorai y rhai a ewyllysient ddysgu y grefydd ddiwygiedig yn fanylach, âg ef hyd yn nod yn ei dymmhor boreuol yma. Tu a'r pryd hwn, efe arferai, ar ol swper ysgafn, aros i fynu yn myfyrio hyd hanner nos, a threulio ei oriau boreuol yn ei wely i adolygu ei fyfyrion y nos o'r blaen. Er fod y cyfryw lafur dybryd a hyn yn dra niweidiol i'w iechyd, nid allai lai na bod yn brif achlysur o'r ystorfa fawr o ddysg a gwybodaeth, a'i hynodai gymmaint yn ei ddydd.

Gan ei fod yn fawr ei awydd am ymberffeithio yn yr alwedigaeth a gymerasai mewn llaw, efe a aeth i wrandaw darlithau cyfreithiwr enwog o Bourges; ond efe a alwyd oddiyma yn brysur, mewn canlyniad i farwolaeth ddisymmwth ei dad. Wedi yr amgylchiad tra galarus yma, trwy yr hyn y collodd Calfin gynghorwr doeth, a hyfforddwr gwerthfawr, efe a symmudodd i Paris, lle yn ei bedwaredd flwydd ar hugain, y cyhoeddodd efe ei esponiad ar epistol Seneca yn nghylch Clemens.

Tra fu yn Paris, efe a ymgydnabu â lluaws o'r rhai a gofleidiasent y grefydd ddiwygiedig; ac efe a lyncai eu hegwyddorion mor drwyadl, fel y penderfynodd ymroddi i wasanaeth Duw mewn cyssylltiad â'r eglwys ddiwygiedig.

Y Pabyddion a wylient ar ei gamrau gyd a'r manylrwydd mwyaf drwg-dybus, oblegid eu bod yn ofni y gwnai gwr o'r fath zel a thalentau ag ef, lawer o ddrwg i'w

hachos os cai duedd ac arfod deg i ymosod arno; ac nid hir y buant cyn cael esgus i gyfodi erledigaeth lem yn ei erbyn ef a'i gyfeillion; ond efe a gafodd nawdd i lechu dan aden brenines Navarre, trwy eiriolaeth yr hon gyda llywodraeth Ffrainc, y tawelwyd yr ystorm. Arferid y creulonderau mwyaf tuag at y diwygwyr yn y flwyddyn 1534; llosgwyd wyth o ferthyron yn Paris i farwolaeth; a'r brenin, Francis I., a ddywedasai nad arbedai efe ei blant ei hun, pe y dygwyddent gael eu llygru a'r 'heresiau ffiaidd' hyn, fel y'i galwai. Dwys ofidiai Calfin o herwydd yr ysbryd erlidus a gormesol a ddangosid fel hyn at ei gyfeillion, ac efe a benderfynai adael Ffrainc, yr hyn hefyd a wnaeth efe, wedi cyhoeddi traethawd bychan yn gyntaf, yn Orleans, yn yr hwn y gwrthbrofai efe yr athrawiaeth o fod yr enaid yn cysgu, tra yn y sefyllfa o ysgariad oddiwrth y corph.

Yn ei enciliad o Ffrainc, efe a ddaeth hyd Basle, lle yr ymroes i astudio yr iaith Hebraeg, ac y cyhoeddodd efe ei gyfundraith Dduwinyddol ardderchog, dan yr enw 'Egwyddorion y grefydd gristionogol,' yr hwn sydd uchel ei fri hyd heddyw. Wedi gorphen y gwaith annghydmarol yma, efe a aeth i'r Eidal, i ymweled a Renèe, Duges Ferarra, a merch Lewis XII. brenin Ffrainc. Yr ymweliad yma oedd dra boddhaol o'r ddeutu, ac a wasanaethai yn fawr i gryfhau ei hymlyniad yn fwy diysgog wrth yr egwyddorion diwygiedig: a hi a barhaodd yn gyfeilles ddiffuant a diball i Calfin dros weddill ei oes.

Efe a ddychwelodd o'r Eidal i Ffrainc, lle y trefnodd ei amgylchiadau, ac a ddug ei unig frawd Anthony Calfin gydag ef. Efe a amcanai ddychwelyd i Basle neu Strasburg, ond o herwydd bod y rhyfel yn boeth mewn rhai manau ar y ffordd i'r lleoedd crybwylledig, efe a dueddwyd i newid ei lwybr; ac felly, drwy ddirgel arweiniad rhagluniaeth, efe a ddygwyd i Genefa—y ddinas a fu wedi hyny mor hynod fel maes ei ymdrechion llafurus a defnyddiol yn achos Crist, drrwy ystod gweddill ei oes. Dygasid yr efengyl i Genefa cyn hyn, drwy gyd-ymdrechion dau o wyr hynod o enwog, W. Farrel, a Peter Viret. Pan gyrhaeddodd Calfin y ddinas hon, efe a ymwelodd a'r gwyr da hyn, a Farrel a ddefnyddiodd yr adeg i'w daer gymmhell ef i aros yno, a chydlafurio a hwynt. Bu Calfin dros beth amser yn dra phenderfynol i ommedd cydsynio a'u cais, er grymmused oeddynt, hyd oni ymdorodd Farrel o'r diwedd gyda difrifoldeb digonol i faeddu y meddwl dewraf, yn y grisiau canlynol, 'Yr ydwyf, yn datgan i ti, yn enw Duw Hollalluog, os dan yr esgus o ddilyn dy efrydiau, y gommeddi lafurio gyda mi yn y gwaith yma o eiddo yr Arglwydd, mai melldigedig a fyddi di gan yr Arglwydd, fel un yn dy geisio dy hunan yn fwy na Christ Iesu.' Y bygythiad yma a frawychai Calfin gymmaint, fel yr ymostyngodd efe i ddwylaw yr henaduriaeth a'r swyddogion, y rhai drwy gydsyniad y bobl a'i pennodasant i fod yn bregethwr, ac a'i gosodasant yn y swydd bwysig o Athraw Dwyfddysg.

Can gynted ag yr ymgyssylltodd Calfin a'r eglwys yn Genefa, efe a drodd ei feddwl galluog i ystyried ei hansawdd dufewnol, yr hon oedd eto yn lled ansefydlog. Heblaw cyhoeddi math o ffurfreol athrawiaethol, a holiadlith, efe a berswadiodd y dinasyddion i wneuthur ymwadiad cyhoedd o gyfeiliornadau Pabyddiaeth, ac felly, ar yr 20fed o Orphenaf, 1539, y Senedd a'r bobl a wnaent addefiad cyhoeddus, ar ol ysgrifenydd cyffredin, a'u hymlyniad wrth athrawiaeth y grefydd Gristionogol. Cafodd Calfin wrthwynebiad tra llym dros beth amser oddiwrth yr ailfedyddwyr, ond efe a roddes daw mor gyflawn arnynt mewn dadl gyhoeddus, fel y diflanasant agos yn llwyr o eglwys Genefa. Ond achos arall o ddigalondid cryfach a gyfodai oddi ar ansawdd ymranedig y ddinas. Heblaw drwgfuchedd gyffredinol rhyw ddosparth o'r dinaswyr, ail ennynai hen ymrysonau teuluaidd oddeutu y pryd hwn yn dra grymmus. Tra yr oedd meddyliau y dinaswyr fel hyn yn llawn cenfigenau, ac ymrysonau yn ymdori yn mhob cwr yn eu plith, Ffarrel, Calfin, a Courant, a ardystiasant yn gyhoeddus, na allent hwy o gydwybod weinyddu yr ordinhad o Swper yr Arglwydd, hyd oni wellhai pethau; yr hysbysiad yma a gythruddai brif ddynion y ddinas gymmaint, fel yr anfonasant gyhoeddiad allan, yn erchi i'r gweision ffyddlawn hyn i Grist, adael y ddinas o fewn dau ddiwrnod. Pan glywodd Calfin am y

ddeddf hon, efe a attebodd yn bwyllog, 'Ya ddiau pe yn ngwasanaeth dynion y buaswn, ni fuasai hyn ond gwobwy gwael; ond y mae yn dda fy mod yn ngwasanaeth yr hwn na phalla byth a gwobrwyo ei weision yn ol yr hyn oll a addawodd efe erioed.

Parai alltudiad y tri wyr enwog yma deimladau dwysion yn yr eglwysi Diwygiedig drwy Switzerland a Germany; a gwneid amryw ymgeisiau gyda llywiawdwyr a phobl Genefa i'w galw hwynt yn ol, ond y cwbl yn ofer; hwy a ymlynent yn ddiysgog wrth eu penderfyniad.

Felly Calfin a aeth yn gyntaf i Basle, ac oddi yno i Strasburg, lle y'i pennodwyd yn athraw duwinyddiaeth, ac y trefnwyd iddo gyflog blyneddol da drwy awdurdodiad y Senedd. Ac mor gymmeradwy oedd efe, hyd yn nod gyda gwyr mawr y lle, fel y llwyddodd i blanu eglwys Ffrengig yno, ac i drefnu ei rheolau dysgybliaethol yn ol ei feddwl ei hunan. Ac nid annghofiodd efe ei ddiadell dlawd oedd dan erledigaeth yn Genefa; ond dyddanai a chysurai hwynt dan eu holl brofedigaethau, gan ragfynegi fod dyddiau gwell eto i wawrio arnynt.

Tra yr oedd efe yn Strasburg, efe a gyhoeddodd ei 'Egwyddorion Cristionogaeth,' mewn ffurf helaethach, ei Esponiad ar yr epistol at y Rhufeiniaid, a Thraethawd rhagorol ar Swper yr Arglwydd. Tu a'r pryd hwn hefyd y darfu i'r diwygiwr drwy gynghor Bucer, brïodi Idolette de Bure, gweddw un o flaenoriaid y Bedyddwyr.

Yn y flwyddyn 1541, pennodwyd Calfin gan weinidogion Strasburg, i'w cynnrychioli hwy yn y cynnadleddau a gynhelid, yn gyntaf yn Worms, ac wedi hyny yn Ratisbon, drwy orchymyn Siarl V. i geisio gwneuthur heddwch rhwng y Protestaniaid a'r Pabyddion. Ei ymddygiad ar yr achlysuron hyn a barai foddineb mawr i'r holl broteataniaid, yn enwedig i Melancthon yr hwn a ddangosai y parch mwyaf iddo.

Erbyn hyn, yr oedd yr amser wedi dod oddiamgylch, i'r Arglwydd adfywio ei waith yn Genefa; allan o'r pedwar prif erlidwyr ar weision Duw yn y dref hon, yr oedd dau wedi meirw, a'r ddau eraill wedi eu halltudio: a'r bobl a amlygent awydd cryf a chyffredinol, am gael galw Calfin a Farrel yn ol. Ond Farrel, yr hwn a wnaethai ei drigfa yn Neufchatel, a ommeddai gydsynio a'u dymuniad. Gan hyny, hwy a anfonasant genhadon i Strasburg, i atolygu ar y dinasyddion ganiattau i Calfin gael ymadael a hwy, a dychwelyd yn ol i Genefa: ond yr oeddynt hwy yn dra anfoddlawn i hyn, a Chalfin ei hun, er ei fod yn caru pobl Genefa yn fawr, nid oedd yn foddlawn i adael Strasburg, lle y bendithiasai yr Arglwydd ei lafur mor amlwg. Er hyny o'r diwedd, fe fu raid iddo blygu, ac ar y 13eg o Fedi, 1541, efe a ddychwelodd i Genefa, gan gael ei groesawu yn galonog, gan y Senedd a'r bobl. Nid oedd pobl Strasburg yn meddwl fod ei ymadawiad â hwynt ond dros amser yn unig, ond ni orphwysodd pobl Genefa, nes ei weled wedi ei sefydlu i aros yn eu plith. Ond gan mai ar yr ammod i'r cynllun Henaduriaeth o lywodraeth eglwysig, gael ei fabwysiadu yn eglwysi Genefa, y caid ganddo aros yno; cymeradwywyd deddf i'r perwyl hyny, yn y Senedd yn uniongyrchol.

Wedi ymsefydlu fel hyn unwaith yn rhagor yn maes ei lafur blaenorol, efe a ymegnïodd yn fwy nac erïoed, yn y cyflawniad o'i ddyledswyddau amrywiol a phwysig.

Pregethai un wythnos gyfan yn mhob pymthengnos; traddodai ddarlithau dairgwaith yn yr wythnos, llywyddai yn nghyfarfod yr henaduriaeth bob dydd Iau; esponiai yr ysgrythyrau i'r gynnulleidfa ar ddydd Gwener: ac heblaw yr holl oruchwylion pwysig hyn, efe a ysgrifenai esponiadau ar amryw ranau o'r Ysgrythyr lan, cyhoeddai amrywiol draethodau dadlyddgar, a chynhaliai ohebiaeth ehang a lluaws o gyfeillion. Ond nid oedd hyn yna oll ddim onid ei oruchwylion cyhoeddus; ceisid ei gymdeithas gymmaint gan wyr dëallus, fel y cyrchai ymwelwyr o bob parth o Ewrop i Genefa, i ofyn ei gyfarwyddyd ef yn nghylch pethau crefyddol; ac er trymed ei efrydiau a'i oruchwylion amrywiol ni byddai un anhawsder ar ffordd y neb a fynai ymgynghori ag ef, i gael mwynhau ei gyfeillach i'r perwyl hyny. Mewn tymhorau tra phrofedigaethus ar yr eglwys ddiwygiedig, amlygid tiriondeb y dyn da hwn mewn modd nodedig,

Llaweroedd a ffoent yn wyneb erledigaethau a gormes, o'r Eidal a Ffrainc i Genefa, lle y caent nawdd, ac yn Calfin dduwiolfrydig, caent gyfaill ffyddlawn yn wastad.

(I'w barhau.)

---

### LLYTHYR HEN WEINIDOG AT EI FAB.

(Parhad tu dal. 100.)

Ond er mwyn gwneud rhyw drefn yn niwedd fy llythyr, enwaf bedwar o lyfrau i ti i'w hastudio a myfyrio ynddynt. Un, a'r cyntaf a enwaf yw y Bibl santaidd. Mae enwogrwydd y llyfr hwn yn tarddu oddi ar ei gynwysiad, ei burdeb, ei fawredd, a'i awdurdod, gan roddi digonol brawf i bob meddwl goleu ei fod wedi ei roddi gan ysbrydoliaeth Dduw. Oh, dyma lyfr i'w astudio, mae ei gyflawnder yn gwirio ei awdwr. Byddai mor briodol i ryw ddyn haeru mai ei waith ef ei hun yw llunio yr Haul, a'i osod yn entrych y ffurfafen, ag ydyw ceisio haeru mai geiriau dynion yw'r Bibl. Ni bu, ac ni bydd un amgylchiad na chyfyngder, nad oes yn y trysor amhrisiadwy hwn ddarpariaeth ar ei gyfer. Yma y gallwn ymofyn (ac nid yn ofer) pa fodd i ymladd a threchu pob cyfeiliornad, i arddangos a chadarnhau pob gwirionedd ysbrydol.

Oh, goddef i'm teimladau ymhelaethu ychydig ar hoff lyfr fy serch. Mae ei addewidion yn attegion o greigiau i'r gwan, ei gyfarwyddiadau yn llusern yn wyneb pob amheuaeth a dyryswch; ei dystiolaethau yn gadernid i'r enaid i ymbwyso arno; ei eiriau yn llaeth i'r baban, ei athrawiaeth yn ymborth iachus i'r cryf; ac ynddo y ceir adnewyddiad i'r blinedig, a meddyginiaeth i'r clwyfedig. Y mae hanesion cenhedloedd ac oesoedd, profiadau duwiolion o ddechreu hyd ddiwedd amser, yn gryno ynddo; lle y gall y cywir ddarllenydd ganfod ei sefyllfa, ei gynydd, ei demtasiynau, ei berygl, ei ddyledswydd, wedi eu nodi mor amlwg, a phe byddai wedi ei ysgrifenu er ei fwyn ef yn unig. Oh mor bur hefyd, yw yr iaith a arfera; Oh mor lân a santaidd, pan y darlunia hyd yn nod yr aflendid mwyaf ysgeler; ac mor lân fel y rhaid cael yr Ysbryd Glan i agoryd ei seliau.

Mae iaith y Bibl wedi ei gwisgo â mawredd digyffelyb. Pan y mae Duw yn llefaru am dano ei hun, mae yr ymadrodd yn deilwng i'w fawredd; ac etto ar yr un pryd yn addas i'n hamgyffrediadau gwael ni; ac mae ei effeithiau yn llaw yr Ysbryd mor fawr, fel y dwysbiga y gydwybod, a farna feddyliau a bwriadau y galon, a argyhoedda y cyndynaf, ar a rydd arswyd ar y mwyaf anystyriol. A'r ochor arall, yr un effaith ac awdurdod, y llefara heddwch i'r meddwl trallodedig, yr iacha'r briwedig o ysbryd, ac a weinydda lawenydd annhraethadwy a chyflawn o ogoniant, ïe ynghanol y trallodion dyfnaf. Oh Lyfr a gaiff fod fy ngyfaill agosaf, fy niddanydd penaf, fy hyfforddwr cywiraf, a'm sylfaen cadarnaf. Nid oes ynddo ddim yn eisiau, ac ni chynwys ddim yn ormod. Llafuria lawer ynddo, darllain lawer arno. Rhoddaf i ti un reol sy'n arferedig genyf fi i'w ddarllain, a myned trosto yn gyson bob blwyddyn; sef yw hyny, darllain tair pennod bob dydd; ac wrth ranu y Salmau yn dri ugain dosparth byddaf yn darllain tair dosparth yr un drefn a'i benodau eraill; felly deuir i ben a'r holl Lyfr mewn blwyddyn.

Ond hefyd wrth astudio y Bibl dylit lafurio am gael rhyw feddylddrych boddhaol, yn ol cysondeb y ffydd, ar bob adnod o'i fewn; nid wyf wrth ddywedyd hyn, yn meddwl y gelli ei ddeall oll yn gywir; ond arwydd o esgeulusdra gyda'r llyfr gwerthfawr yw dy fod heb ymdrechu, i gael rhyw olygiad ar ei holl eiriau. Ond nid yw pob ysgrythyr o ddeongliad priod, am hyny, ar ol it gael un ystyr i adnod, ofer i ti feddwl dy fod wedi cael y cwbl, nag hwyrach y goreu, am hyny mae yn llyfr ein hoes i astudio ynddo. Mae dy fod yn medru darllen a deall y Ysgrythyrau i raddau yn yr iaith y llefarwyd hwynt, yn fraint y dylit ei chydnabod, oblegid nid oes ac ni all un cyfieithiad o honynt gyfateb yn hollol i'w hystyr yn eu hiaithoedd cyntefig; a gwybodaeth o'u hystyr yn y rhai hyny yw'r wybodaeth agosaf i'w eu gwir feddwl.

Mae cael hyfrydwch mewn darllen ac astudio'r Bibl yn yr oll o hono yn beth na ddichon fod yn meddiant neb ond dyn grasol; a hiraeth am ei iawn ddeall sydd glefyd parhaus ar ei feddwl, 'Pa fodd y deallaf oddieithr i ryw un fy ngyfarwyddo?' meddai yr Eunuch. A dywediad gwir yw eiddo y Parch. Mathew Henry, 'fel nad

yw pregethwyr i'w credu heb ganddynt Fibl i'w cefnogi; felly nid yw'r Bibl i'w ddeall, heb bregethwyr i'w egluro.'

Ond gan fod cynnifer yn ein dyddiau ni o Esponiadau a Thraethodau er agoryd yr Ysgrythyrau, nid wyf yn dy gynghori i fod yn ffysig iawn am eu gwel'd oll. 'A ddarfu i chwi ddarllen fy Agoriad I ar y Rhufeiniaid?' eb y Dr. Taylor, wrth Mr. Newton. 'Mi a'i troais drosodd,' eb yntau. 'Ai dyna'r croesaw a roisoch i lyfr a gostiodd lafur caled imi; ei droi drosodd, a'i daflu heibio? Dylasech ei ddarllen yn ofalus.' 'Arafwch,' eb Newton, 'chwi dorasoch lawn gwaith i mi, pe cawn fyw oes Methusalem; mae genyf rywbeth arall i'w wneud yn fy nydd byr heblaw darllen pob peth a feddylio arall yn ddyledswydd arno ysgrifenu.' Felly dithau, na fydd ry chwannog i bob llyfr a gyhoeddir.

Er rhyw gymmorth i ti, dywedaf fy marn ar amryw Awdwyr sydd dra theilwng a buddiol it eu meddu a'u darllen. Yr Esponiwr cyntaf o'n cenedl ar ranau o'r Bibl, yw y tra mawr a rhagorol Dr. Simon Patrick. Ysgrifenodd efe gyda eglurdeb a nerth, mewn sawyr dwyfol ac yn Ysbryd yr Efengyl. Mr. Mathew Henry sydd ardderchog am ei nodiadau melus, a'r tarawiadau ysblenydd trwyddo oll. Rhoddais lawer diwrnod cyfan i'w ddarllen. Dr. John Guise ydoedd Ddiwinydd cadarn, o galon wir efangylaidd, a dysgeidiaeth drefnus. Dr. Gill ar yr Hên Destament a'r Newydd sydd gyfangorph o ddiwinyddiaeth iachusol: ar ldengys fod yr awdur yn dra chynefin âg ysgrifeniadau y cyn oesoedd.

Dr. Owen ar yr Hebreaid sydd lyfr o ddyfnder rhyfeddol, a chadarn. Mae Owen yn sefyll ymhen ei ddosparth o dduwinyddion. Bydd ei ysgolheigion ef yn rhai wedi eu dwfn ddysgu, a'u cynyddu, a'u darparu yn well na'r eiddo y rhan fwyaf o ysgrifenwyr eraill. Mae duwinyddion Scotland yn dda, a chedyrn; ond eu bod yn hynod o sychion, ac oeraidd. Enwogion yr Anghydffurwyr (*nonconformists*) ydynt ddifyrus, melus, ac adeiliadol: mae yn debyg fod eu gwasgfeuon yn achosi i'w gwin fod mor felus. Gurnal sydd drysor gwerthfawr i'r profiadol. Egwyddor lyfr Calvin sydd gadarn ryfeddol, a hoff, ac felly ei esboniadau.

Poole sydd heb ei gyfartal ymhob ystyr, a bron na ddywedaf ei fod yn ddigon ei hun. Gwaith Hervey, a Witsius, a Vitringa sydd dra theilwng o'n sylw fel Egluriadau ar ranau o'r Bibl Santaidd. Eithr ar ol y cwbl, rhaid i mi ddychwelyd at y Bibl; po mwyaf ei darlleniaf, mwyaf y gwelaf ynddo ryw neillduolrwydd boneddigaidd. Mae fel yn dweud yn wyneb pob Esponiwr, 'Nid wyf attebol i'th feddylddrychau di, yr wyf yn sefyll fy hun. Y galluog a'r doeth ni allant ddyhysbyddu fy nhrysorau; trwy ddamegion a chyffelybiaethau yr ymostyngaf i amgyffrediadau yr anwybodus: gadewch fi fel yr wyf, eithr astudiwch fi yn ddiball.'

Yr ail Lyfr i ti i'w astudio yw llyfr y greadigaeth. Yr oedd y Salmydd yn sylwi llawer arno, 'Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw,' &c. 'Pan edrychwyf ar y nefoedd gwaith dy fysedd,' &c. Y mae gwersi buddiol i'w cael yn holl greadigaeth Duw. Gwelir ynddynt ei allu, ei ddoethineb, a'i bresenoldeb. Eithr nid yw llinellau y llyfr, er mor odiaeth ac amlwg ydynt, yn ddarllenadwy mor fuan i ddyn syrthiedig. Fel hyn y bu doethion y cenhedloedd yn ofer yn eu rhesymau ac a addolasant y creadur yn fwy na'r creawdur.

Y mae gwaith y greadigaeth fel arwyddion cywir mewn dirgel nodau, i ba rai y Bibl yw yr agoriad, ac ni ellir eu deall hebddo. Yr Haul, a'r pryfyn; holl adail y bydysawd; y llysieuyn unigol, ydynt brofion o allu Duw. A buddiol ydyw fod gweinidog yr Efengyl yn berchen ar ychydig o wybodaeth o'u natur a'u goruchwyliaethau: oblegid yn ol yr amgyffred a fo ganddo am weithredoedd Duw, y gall gael gwersi buddiol od ei wrthynt. 'Ceisiwch (medd Amos) yr hwn a wnaeth y saith seren ac orion:—Yr hwn sydd yn taenu y gogledd ar y gwagle,' &c. Ac ar ol myned tros rês o'i weithredoedd, y mae Iob yn gwneud cymwysiad, 'Wele dyma ranau o'i ffyrdd ef!' Felly y mae'r ddaear a'r nefoedd yn arddangos mawredd Duw; ac Oh fel y gall gweinidog fo wedi astudio y llyfr yma yn dda dynu dylanwad ar feddwl ei wrandawyr, nes cenhedlu ynddynt arswyd

parchus o flaen gogoniant Duw. Cefais addysg gan fachgen wrth fyned heibio Palas Sir ——, Gofynais iddo, 'Pa beth sydd yn y coed gerllaw?' 'Oh, Palas Sir —— sydd yna: cawn weled y tai allan yn fuan.' Ac yr oedd golwg y rhei'ny fel tai ffermydd mawrion; 'Ond, meddai beth pe gwelech y Palas?' Felly y tai allan yr ydym ni yn ganfod â'n llygaid pridd, mae anneddle ei Santeiddrwydd, fel y palas yn y coed allan o'n golwg ni.

Llyfr arall i ti i'w astudio, yw Llyfr Rhagluniaeth Duw. Deall arwyddion yr amserau. "Pan weloch (medd Crist) y ffieidd-dra angyfanneddol yn sefyll yn y lle santaidd y neb a ddarlleno ystyried." Felly mae rhywbeth i'w weled yn llyfr rhagluniaeth, ond gresyn os bydd llygaid y Gweinidog yn y gaead. Deallodd Elias fod trwst llawer o wlaw, yn yr olwg ar gwmwl bychan; ond yr oedd yr Aiphtiaid heb yr un prophwyd, yr oedd raid i Dduw ddechreu ymladd yn ddigyfrwng cyn i Pharaoh wybod. O gobeithiaf y bydd gan Brydain, ei gwyliedyddion effro i ganfod pob drwg o bell, ac i rybuddio y genedl i ymguddio.

Er mwyn bod yn lled gyfarwydd ar y llyfr hwn eto dylit astudio pa fodd y byddai yr hen olwyn yn arferol a throi, ac yn y Bibl mae ei throadau ar lawr yn gywir. Pan y byddai anwiredd yn cynnyddu byddai y farn yn croni, a rhagluniaeth yn gwisgo ei du: ac Oh! mor ebrwydd oedd gweision Duw yn adnabod ei gwyneb. Fe welodd Michea mab Imla ddinystr Ahab trwy gynnydd ei brophwydi gau. Ac mae cynnydd, goddefiad, a lledaeniad cyfeiliornad yn annog dinystr i ymdywallt ar y wlad. Llawer eraill a allwn nodi o engreifftiau fod yr hen seintiau a'r prophwydi gynt yn astudwyr manwl ar ysgogiadau rhagluniaeth.

Wrth astudio llawer ar hon hefyd y gelli roi cysur mawr i anwylion Duw; pan y byddo yr ochor ddu attynt. 'Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, gorfoledded y ddaear, &c. Cymylau a thywyllwch sydd o'i amgylch ef.' Brenin y saint, yw brenin y cenhedloedd, ac mae 'y llywodraeth ar ei ysgwydd ef.' Yn fy erbyn I y mae hyn oll,' meddai'r hen Iacob. Ac mae ei blant heb roi yr un gwyn heibio eto. Ond os byddi yn ysgolhaig da yn llyfr rhagluniaeth, gelli alw eu sylw at ryw hen dwyllo gynt; a dangos mai cerydd ydyw, a wawria ar foreugwaith clir, 'fel na'u damnier gyda'r byd.' Gallwn ymhelaethu, ond gwelaf fy llythyr yn myned yn hir.

Llyfr arall, yw llyfr y galon a'r profiad.

Mae hwn yn cynnwys teimladau profedig ein mynwes ein hunain a sylwadau ar egwyddor ac ymddygiadau eraill, wedi eu cydmaru â'r hyn a ddarllenwn yn ngair Duw. Dyma y lle mae'r Pregethwyr a ddygwyd i fynu i'r swydd trwy brentisiaeth, yn ei cholli hi yn rhyfeddol, er iddynt fostio o'u gwybodaeth fawr am bethau, y gallent er yn dywyll am danynt, fod yn gadwedig; eto maent yn ddieithriaid penaf iddynt eu hunain, heb ganddynt un tueddiad na medr i edrych i'w calonau eu hun; na gofal am sylwi ar yr eiddo eraill chwaith.

Mae profiad o bla a thwyll y galon yn addurn anhebgorol i bregethwr. Mae Paul yn y seithfed o'r Rhufeiniad yn darllen llyfr ei galon. Mae fod y gweinidog yn gofus ac adnabyddus â helynt ei galon, dan yr argyhoeddiad, yn help fawr iddo adnabod llaw Ysbryd Duw ar galonau eraill; ac i chwilio cywirdeb dynion, rhoi prawf dwfn arno, ac addasu eu cyffyriau at eu sefyllfa. Bod yn brofiadol a chynefin â llyfr ei galon, sydd help iddo adnabod gwreiddyn, natur, a thueddiad, pob gobaith, ofnau, dymuniadau, olrheiniadau, a dyryswch eraill. Ac hefyd, gwybod pa drysorau o eiddo yr Efengyl sydd addas i'r enaid argyhoeddiedig.

Buddiol yw iddo hefyd sylwi yn fanwl ar dueddiadau ac ansawdd eraill. Rhaid i ti fod fel pysgottwr, gan ymdrechu i ddeall pa abwyd sydd fwyaf dengar. Dalir rhai pysgod yn haws liw dydd, eraill wrth oleu lleuad, &c. Rhaid i ti ddeall fod rhai gwrandawyr o gynneddfau cryfion, a deall mawr: mewn goleu athrawiaeth, a grym ysgrythyrau a rheswm y delir y rhai hyn; eraill trwy ddylanwad gwlithog a enillir hawsaf. Eraill, rhaid cael taranau Sinai i'w dychrynu a'u deffro; chwilia lawer i dueddiadau dy gynnulleidfa, a chymwysa dy hun â phethau priodol i gyflawni dy waith. 'Am hyny pob ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd, sydd debyg i ddyn o berchen tŷ, yr hwn sydd yn dwyn allan o'i drysor bethau newydd a hen.'

Os bydd i ti astudio llawer ar y pedwar

llyfr yma ti fyddi yn debyg o fod yn ddoeth i gyfranu trysorau priodol i'th wrandawyr. Nodais i ti lyfrgell a thrysorau ynddynt sydd fwy eu gwerth na chyfrolau Alexandria. Yr eiddoch mewn ysbryd efengylaidd,

PASTOR SENIOR.

## BEDDROD PEDR.

'Mae agos bawb a elo i Rufain, ymysg rhyfeddodau ereill, yn myned i weled rhyfeddol ac ardderchog Feddrod yr apostol Pedr: felly yr aethum innau. Mi fyddwn i yn myned i'w weled ef agos bob dydd, gan mor rhyfeddol ardderchog yw yr adail.

Yn hollol dan ganol y gromen, ac wedi ei gloddio o dan y palmant, y mae math o gromgell fawreddog, wedi ei hadeiladu o farmor harddwych, ac wedi ei orwychu â meini gwerthfawr, *lapis lazuli*, a gemmau aur. Dyma y man y mae yn gorphwys, neu o leiaf y dywed y Pabyddion fod yn gorphwys, gorph yr Apostol Pedr. Mae lampau o aur, a lampau o arian, yn llosgi yn wastadol o amgylch y beddrod: ac y mae y Pabyddion zelog yn bwrw eu hunain i lawr ar eu gliniau, ar eu hymddangosiad o flaen y mân-bilerau sydd yn amgylchu y fan gyssegredig.

Mae mwden ragorwych, cynnaliedig gan bilerau neu golofnau melynion yn gorchuddio y gromgell; ac er ei bod uwchlaw cant a deg ar hugain o droedfeddi o uchder, mae ei huchder megis yn diflanu o herwydd mawredd pob gwrthrych o amgylch, fel na feddyliech ei fod hanner cyn uwched ag ydyw.

Ond y mae un gwrthrych yn yr adeiladaeth hon, er nad yw ond bychan ynddo ei hun, gwneir defnydd mawr o hono: Cerfddelw yr Apostol Pedr, wedi ei liwio o liw pres, ar du dehau y rhodfa, yn eistedd, ac yn dal agoriad y nefoedd yn ei law. Mae un troed iddo yn estynedig y tu hwnt i'r golofn; ac nid oes un Pabydd a gyfrifir yn un da, nad yw naill ai newydd ddyfod i mewn, neu cyn cychwyn allan, yn ei gusanu ef. Mae rhai yn ei gusanu dair neu bedair o weithiau: a rhai yn tynu eu llaw ar hyd-ddo, megis pe byddai yn ddyn byw; tra mae ereill yn gwyro i lawr, ac yn tynu eu llaw yn ol ac ymlaen ar hyd gwadn ei esgid ef. Pe buaswn mewn unrhyw le arall, buaswn yn gwenu weth eu gweled; ond yr oedd ardderchogrwydd y lle yn fy attal i rhag un math o ysgafnder meddwl. ac nid allwn ond yn unig tosturio wrth yr arwydd nodedig hwn o ddirfawr iselder dynolryw wedi eu darostwng i'r fath ofergoelus arferiadau dychymygol.'—*Semple.*

## GWROLDER A DOETHINEB.

Pan oedd Mr. Thomas, un o'r Cenhadau yn trafeilio ymhell i'r wlad yn yr India Ddwyreiniol, efe a welai fintai fawr o'r trigolion wedi ymgynnull ynghyd ar ddydd nodedig i addoli un o'u heilunod. Dynesodd attynt, ymwthiodd drwyddynt, ac a aeth at yr eilundduw, a'r bobl yn synu atto, ac yn edrych arno, gan ryfeddu, a meddwl beth oedd y gwr o Europ yn myned i wneud.

Safodd Mr. Thomas yn ymyl yr eilun, ac a alwodd am osteg:—ac a ddechreuodd ei ymadrodd, gan ddywedyd, 'Dyma lygaid,'—ac yna tawodd am ychydig—dywedodd drachefn, 'Dyma lygaid, gan bwyntio at lygaid yr eilun â'i fys.'—ac a drodd at y dorf, ac a waeddodd, 'ond ni welant! Mae gan yr eilun hwn glustiau, gan gyfeirio at glustiau yr eilun, ond ni chlywant — dyma ffroenau, ond nid aroglant— dyma enau, ond ni lefara—ac nid oes anadl ynddo.' Yna gwaeddodd hen wr o'r gynnulleidfa, drwy gael ei argyhoeddi wrth resymau diaddurn ac amlwg y Cenhadwr, ac efe a ddywedodd. 'Mae traed iddo, ond ni all gerdded.' Yna dyrchafodd amryw o'r dorf eu llais, ac a floeddiasant, nes oedd wynebau offeiriaid yr eilun yn cywilyddio, a dyryswyd yr addoliad, a'r dorf a wasgarwyd.

### SEN I ERLIDIWR.

Pan oedd gwr i'r fall, unwaith, mewn cwmniaeth, yn dimygu ac yn gwawdio crefydd; cododd un gwr doeth o'r gwrandawyr ar ei draed, a dywedodd yn groew, ac yn bwyllog, 'Ddyn, yr wyt ti yn ymddangos i mi yn hollol fel dyn byddar yn difrïo peroriaeth; neu ddyn dall yn dirmygu prydferthwch lliwiau! Mae dy fod di yn dirmygu crefydd yn dangos i bob dyn call na feddi di ddim o honi hi, ac na wyddost ti ddim am dani hi.' Ar hyn, tawodd yr adyn yn ddioed, a hyny dan ei gywilydd.

## TREFNIAD AMSERYDDOL Y PSALMAU.

Y Daflen ganlynol a gyfansoddwyd yn bennaf allan o waith gwerthfawr y Parch. G. Townsend, wedi ei gymharu â threfniad Calmet ac ereill, ac mae'n cynnwys yr oll sydd wybyddus o berthynas i awdwyr, achlysuron, ac amseriad yr amrywiol Psalmau.

| Amseriad. O B | Amseriad. C C | Nifer. | Awdwr. | Achlysuron tebygol. | Cyssylltiad. |
|---|---|---|---|---|---|
| 2473 | 1531 | 88 | Heman | Cystudd Israel yn yr Aipht | Exod. ii. 23, 25. |
| 2514 | 1490 | 90 | Moses | Byrhâd einioes dyn | Num. xiv. 45. |
| 2941 | 1063 | 9 | Dafydd | Y fuddugoliaeth ar Goliath | 1 Sam. xviii. 4. |
| 2942 | 1062 | 11 | " | Ei gynghori i ffoi i'r mynyddoedd | xix. 3. |
| .... | .... | 59 | " | Milwyr Saul yn amgylchu ei dŷ | 17. |
| .... | .... | 56 | " | Gyd â'r Philistiaid yn Gath | xxi. 15. |
| ... | .... | 34 | " | Ymadael o ddinas Gath | |
| .... | .... | 142 | " | Yn ogof Adulam | xxii. 1. |
| .... | .... | 17 | " | Lladd yr offeiriaid gan Doeg | 17, 19. |
| ... | .... | 52, 109, 35, 140 | " | Erledigaeth gan Doeg | |
| 2943 | 1061 | 64, 31 | " | Erledigaeth gan Saul | xxiii. 12. |
| .... | .... | 54 | " | Bradwriaeth y Ziphiaid | 23. |
| .... | .... | 57, 58 | " | Gomeddiad i ladd Saul | xxiv. 22. |
| .... | .... | 63 | " | Yn anialwch Engedi | |
| 2946 | 1058 | 141 | " | Ei ymlid o Iudea | xxvii 1. |
| 2956 | 1048 | 139 | " | Brenin Israel | 1 Cron. xii. 40. |
| 2962 | 1042 | 68 | " | Symmudiad cyntaf yr arch | 2 Sam. vi. 11. |
| .... | .... | 24, 132, 105, 96, 106 | " | Ail symmudiad yr arch | 1 Cron. xv. 4. xvi. 43. |
| .... | .... | 2, 45, 22, 16, 118, 110 | " | Cyfarchiad prophwydoliaethol Nathan | xvii. 27. |
| 2964 | 1040 | 60, 108 | " | Buddugoliaeth ar Syria ac Edom gan Ioab | xviii. 13. |
| 2968 | 1036 | 20, 21 | " | Rhyfel â'r Ammoniaid a'r Syriaid | 2 Sam. x. 19. |
| 2970 | 1034 | 6, 51, 32, 38, 39, 40, 41, 103. | " | Godineb, a lladd Uriah | 2 Sam. xii. 13. |
| 2983 | 1021 | 3 | " | Ffôad rhag Absalom | xv. 29. |
| .... | .... | 7 | " | Edliwiadau Simei | xvi. 14. |
| 2983 | 1021 | 42, 43, 55, 4, 5, 62, 143, 144, 70, 71 | " | Yn agos i'r Iorddonen, yn ffoi rhag Absalom | xvii. 29. |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 2986 | 1018 | 18 | Dafydd | Terfyniad ei ryfeloedd | 2 Sam | xxii. | 1, 51. |
| 2987 | 1017 | 30 | „ | Cyssegriad llawr dyrnu Ornan | 1 Cron. | xxi. | 30. |
| 2989 | 1015 | 91 | „ | Ar ol ei gyngor i Solomon | | xxviii. | 10. |
| .... | .... | 72 | „ | Coroniad Solomon | | xxix. | 19. |
| .... | .... | 145 | „ | Adolygiad o'i fywyd a aeth heibio | | | |
| .... | .... | 8, 12, 19, 23, 28, 29, 33, 61, 65, 69, 86, 95, 101, 104, 120, 121, 122, 124, 131, 133 | „ | Achlysuron ac amserau anadnabyddus | | | |
| 3000 | 1004 | 47, 97, 98, 99, 100 | Solomon | Symmudiad yr arch i'r deml | 2 Cron. | v. | 7, 13. |
| .... | .... | 135, 136 | „ | Cyssegriad y deml | | vi. | 3. |
| 3074 | 930 | 78 | Asaph | Goruchafiaeth Asa ar Israel | | xvi. | 6. |
| 3108 | 896 | 82, 115, 46 | Asaph ac eraill | Teyrnasiad Iehosaphat | | xx. | 26. |
| 3294 | 710 | 44 | Hezeciah | Cabledd Rab-shaceh | 2 Bren. | xix. | 13. |
| .... | .... | 73, 75, 76 | Asaph | Dinystr byddin Sennacherib | | | 19. |
| 3416 | 588 | 74, 79, 83, 94 | „ | Llosgiad y deml yn Ierusalem | Ier. | xxxix. | 10. |
| 3416<br>3468 | 588<br>536 | 137, 130, 80, 77, 37, 67, 49, 53, 50, 10, 13, 14, 15, 25, 26, 27, 36, 89, 92, 93, 123 | Asaph, Ethan, ac eraill | Yn amser caethiwed Babilon | Dan. | vii. | 28. |
| 3466 | 538 | 102 | Daniel | Yn agos i ddiwedd y caethiwed | | ix. | 27. |
| 3468 | 536 | 126, 85 | Meibion Corah | Gorchymyn Cyrus am adferiad yr Iuddewon | Ezra | i. | 4. |
| .... | .... | 107, 87, 111, 112, 113, 114, 116, 117, 125, 127, 128, 134 | Amrywiol | Dychweliad yr Iuddewon o gaethiwed | | iii. | 7. |
| 3469 | 535 | 84, 66 | Meibion Corah | Sylfaeniad yr ail deml | | | 13. |
| 3470 | 534 | 129 | Ezra neu Nehemiah | Gwrthwynebiad y Samariaid | | iv. | 24. |
| 3485 | 519 | 138 | Haggai neu Zechariah | Ailadeiladiad y deml | | vi. | 13. |
| 3489 | 515 | 48, 81, 146, 147, 148, 149, 150 | Amrywiol | Cyssegriad yr ail deml | Zech. | viii. | 23. |
| 3560 | 444 | 1, 119 | Ezra | Llaw-lyfr duwiolder | Neh. | xiii. | 3. |

EWYLLYS DIWEDDAF A GWEDDI

MARTIN LUTHER.

'O Arglwydd Dduw, yr wyf yn diolch i ti am drefnu i mi fod yn dlawd, ac yn isel fy sefyllfa ar y ddaear. Nid oes genyf na thŷ, na thir, na meddiannau, nac arian, i'w gadael i neb. Ti a roddaist i mi wraig a phlant: i ti yr wyf yn eu dychwelyd yn ol, maetha hwynt, dysg hwynt, ac achub hwynt, fel y gwnaethost hyd yma â mi, O Dad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon.

Oh fy Nhad nefol, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, Duw pob dyddanwch, yr wyf yn diolch i ti am i ti ddatguddio i mi dy Fab Iesu Grist, yn yr hwn y credais, yr hwn a broffesais, yr hwn a gerais, yr hwn a bregethais; yr hwn y mae Esgob Rhufain a'r werin yn ei erlid ac yn ei ddirmygu. Yr wyf yn deisyfu arnat, O Arglwydd Iesu Grist, dderbyn fy enaid. Fy nefol Dad, er fy mod yn cael fy nghymmeryd allan o'r bywyd hwn, er bod raid i mi yn awr roddi y corph hwn i orwedd, er hyny mi a wn yn ddiamheuol y caf breswylio gyda thi yn dragywydd, ac nis gall neb fy nwyn allan o'th law di. 'Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."—*Evangelical Pulpit.*

---

YR ENWOG SYR JOHN MASON.

Dywedodd Syr John Mason ar ei wely angau fel hyn:—'Mi fûm byw i weled pump o Lywodraethwyr olynol ar deyrngadair Brydain, ac mi fûm yn Aelod o'r Cyfrin Gynghor (*Privy Council*) i bedwar o honynt; mi a welais y rhan fwyaf o bethau rhyfedd sydd yn y Gwledydd tramor, ac a fûm yn bresennol yn y rhan fwyaf o Oruchwyliaethau y Llywodraeth a weinyddwyd ers deng mlynedd ar hugain.

Myfi a ddysgais drwy brofiad am gynifer o flynyddoedd, mai difrifoldeb yw y ddoethineb oreu, cymmedroldeb yw y phisygwriaeth goreu, a chydwybod dda yw yr etifeddiaeth oreu. A phe bawn i yn cael byw drachefn, myfi a gyfnewidiwn y Palas am gell ddirgel mewn monachlog, trafferthion swyddogaeth y Cyfrin Gynghor am neilldued meudwy (*Hermit's retirement*,) ie yr holl fywyd a dreuliais mewn palas, am awr o fwynhad o Dduw yn y Capel. Mae pob peth yn awr yn fy ngadael, ond fy Nuw, fy nyledswydd, a'm gweddi."—*Evangelical Pulpit.*

Syr John Mason oedd Wladweinydd, enwog yn ei oes. Ganwyd ef yn Abingdon, Berkshire, Lloegr; a dygwyd ef i fynu yn Mhrif Athrofa Rhydychain. Wedi hoffi o Harry VIII ef, efe a'i hanfonodd ef ar amrywiol achlysuron yn Genhadwr tramor, ac a'i gwnaeth ef yn aelod o'i Gyfrin Gynghor. Wedi hyny efe a wasanaethodd Edward VI. yn y gyffelyb sefyllfa. Ac efe a luniodd fesurau i gadw ei sefyllfaoedd yn nheyrnasiad Mary waedlyd, am ei thymhor byr yn teyrnasu. A gwneth y Frenhines Elizabeth ef yn Drysorydd ei Hystafell; ac efe a ddewiswyd yn Ganghellwr y Brif Athrofa yn Rhydychain, &c. Efe a fu farw yn y flwyddyn 1566. Ei reol wastadol yn ei holl sefyllfaoedd uchel, oedd, gwneud, ac nid dweud.'—*Biog. Brit.*

---

SYLWADAU

AR Y CYFAMMOD GWEITHREDOEDD.

I. Am ddeddf natur neu y ddeddf foesol.

Mae y perthynas sy rhwng Duw, fel Creawdwr, Cymwynaswr, a Chynnaliwr dyn, â dyn, ac ymddibyniad y dyn ar Dduw, am fywyd, a phob peth arall, yn gosod rhwymedigaeth barhaus ar y dyn i ufuddhau i Dduw. Mae y ddeddf yn yr ystyr yma, yn rhwymo dyn i ufuddhau ymhob cyflwr a sefyllfa y dichon dyn fod ynddi, mewn amser, a thragywyddoldeb. Yr oedd dyn yn rhwym fel hyn, cyn gwneud y cyfammod gweithredoedd ag ef, ac hefyd dan y cyfammod gweithredoedd, a than y cyfammod gras; o herwydd tra y parhäo perthynas Creawdwr â'i greadur fe barha y rhwymedigaeth hwn.

Nid oes un bygythiad neu osodiad cospawl, yn perthynu i'r ddeddf yn y ffurf hon; oherwydd fe fydd y saint, a'r angelion etholedig, dan ei rhwymedigaeth yn dragywydd; a'r gwirionedd yw, nad oes le i fygythiad o gosp lle nid oes bosiblrwydd i bechu; pe byddai bygythiad, byddai y duwiolion yn anocheladwy dano; yr hyn sydd yn groes i'r gair, Rhuf. viii. 1. Ioan iii. 24.

II. Pan y derbyniodd y ddeddf y ffurf o gyfammod gweithredoedd, y daeth bygythiad

o gosp, ac addewid o fywyd i berthyn iddi. Fel ei ffurfiwyd i gyfammod gweithredoedd, geilw'r Apostol hi yn 'ddeddf gweithredoedd,' Rhuf. iii. 27. Mae yn gofyn 'gweithredoedd' neu ufudd-dod fel ammod bywyd, gan fygwth marwolaeth dragywyddol am anufudd-dod. Yn gymmaint ag i Adda fel pen cynnrychiolwr ei holl had naturiol, dorri y cyfammod, mae ei holl had dan ei rwymedigaeth yn ddiysgog ynghyfrif Duw. Oblegid er i Adda dori y cyfammod, pell ydyw oddiwrth gael ei alw yn ol gan Dduw, na'i roddi o'r neilldu. Ac mae yn anmhosibl i ddyn ei ryddhau ei hun. Gan hyny, y canlyniad arswydus yw, fod pechadur heb ei ail eni, yn rhwym ar unwaith i roddi ufudd-dod perffaith, ac Iawn cyflawn am bechod, fel ammodau bywyd tragywyddol; naill ai yn ei berson ei hun, neu mewn Meichniydd attebol drosto. A hyn debygaf oedd barn y Parch. T. Charles yn y sylwadau canlynol.

Cwestiwn. A all dyn gael ei gyfiawnhau trwy ei gyfiawnder ei hun?

Atteb. Na all, am na fedd y cyfiawnder perffaith mae'r gyfraith yn ei ofyn.

Cwst. A all dyn roddi yr Iawn digonol y mae Duw yn ei ofyn?

Att. Na all; er dioddef byth yn uffern am ei bechod.'

Tybygwn hefyd, mai y ddeddf fel ffurf o gyfammod, oedd yr Apostol yn ei feddwl, pan y dywed fod y duwiolion wedi meirw i'r ddeddf, Rhuf. vii. 4, 9, 10. 'Pan ddaeth y gorchymyn, yr adfywiodd pechod, a minnau a fum farw.'—a rhag i neb ei gam ddeall; mae yn dywedyd, 'A'r gorchymyn yr hwn oedd i fywyd, hwnw a gaed i mi i farwolaeth.' Yn awr, rhaid i ddyn roddi ufudd-dod perffaith, ac Iawn cyflawn, yn ei berson ei hun, neu dderbyn trwy ffydd, gyfiawnder yr Arglwydd Iesu, 'yr hwn a aeth yn ddiwedd i'r ddeddf er cyfiawnder i bob un sy yn credu,' cyn y bydd efe yn gadwedig.

Weithiau, pan mae'r credadyn yn cael ei uno â'r Arglwydd Iesu, a'i symmud i'r cyfammod gras, nid yw mwyach yn rhwym i'r ddeddf fel cyfammod o weithredoedd: a hyny, nid o herwydd fod y ddeddf wedi ei diosg o'r ffurf hono; ond o herwydd fod yr Arglwydd Iesu wedi ei wneuthur yn ddiwedd i'r ddeddf fel y cyfryw, i ei waredu ef oddiwrthi, Gal. iv. 4. 5. Math. v. 17. Gal. iii. 14.

Etto nid wyf yn meddwl ei fod wedi ei ryddhau oddiwrth ddeddf ei natur, oherwydd y mae hon wedi ei sylfaenu ar gyfiawnder a sancteiddrwydd natur Duw; gan hyny rhaid ei bod yn annghyfnewidiol a thragywyddol fel Duw ei hun, Lef. xi. 44. 1 Pedr i. 15, 16.

Drachefn, yr wyf yn meddwl, mai yr un ddeddf ond ei bod mewn gwahanol ddull, neu ffurf newydd, a roddodd yr Arglwydd i'w Eglwys dan y cyfammod gras; fel rheol i eu cyfarwyddo, ac fel deddf awdurdodol i eu rhwymo: o herwydd nid oedd eisiau, na modd cael un well, 'Yr hen air yr hwn oedd er y dechreuad.' Oblegid un o addewidion y cyfammod gras yw, 'Myfi a roddaf fy nghyfraith (nid un arall) o'u mewn hwynt, ac a'i ysgrifenaf hi yn eu calonau hwynt.' Mewn cyfeiriad aty dull ei rhoddwyd yn nghalon Adda debygaf, Ier. xxxi. 31—34. Heb. viii. 10. Gan hyny yr un yw deddf Duw dan bob goruchwyliaeth, ond ei bod mewn gwahanol ddull, neu ffurf.

Byddai yn llawenydd genyf fi, a channoedd o'm brodyr, weled ein hanwyl Athrawon, a'n tadau yn y weinidogaeth, yn anfon eu golygiadau ar y matter hwn i'r Drysorfa. THETA.

*Dyffryn trallod.*

---

## COFIANT

THOMAS PHILLIPS, *Meistr y Llong Adelphoi o'r Cei newydd.*

Thomas Phillips ydoedd fab i Thomas ac Elinor Phillips, Penycnwc, Cei newydd, Sir Aberteifi. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1810. Ei rieni oeddynt aelodau perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn y lle uchod, ac felly fe gafodd Thomas y fraint o ei fagu yn grefyddol o ei fabandod; ac hefyd cafodd Ysgol mor gynted ag y daeth yn alluog i fyned iddi; a buan y cynnyddodd, ac y dangosodd fod ynddo dalentau nad oedd y cyffredin yn meddu arnynt: daeth i fedru darllen Cymraeg a Saesonaeg yn ieuangc iawn. Ac yr oedd hefyd yn bur foreu yn dangos rhyw awydd, a llafur am ddysgeidiaeth, a gwybodaeth grefyddol ac ysgrythyrol; a chanfyddwyd yn eglur, (yn enwedig yr

Ysgol Sabbathol) ei fod yn rhagori mewn deall a gwybodaeth ar ei holl gymmydogion, ac o herwydd hyny, fe ddarfu i lawer, (ond yn enwedig ei gyfoedion) ei gasbau, a chynfigenu cymmaint wrtho fel y gwnawd â Joseph gynt, sef ei alw y 'breuddwydiwr;' felly hefyd y gwnawd â'r cyfaill anwyl hwn, sef ei alw 'y prophwyd;' a hyny yn tarddu oddi ar gynfigen yn unig, am ei fod yn rhagori cymmaint mewn dysgeidiaeth a gwybodaeth arnynt hwy.

Byddai yn hynod o ddiwyd a gofalus i fyned i'r odfeuon a'r Ysgol Sabbathol bob amser, er gweled, a gorfod myned heibio i lawer o ei gyfoedion a fyddai'n chwaraia, ac yn sathru Sabbathau Duw dan eu traed, ac yn gwaeddi *prophwyd* ar ei ol yntau. Etto ni ddangosodd erioed ei fod mewn tymmer ddrwg tu ag attynt; ac ni attebai air iddynt, ac ni wnai sylw, na chyfrif o honynt. Pan y tyfodd i fynu i ychydig o oedran, ac wedi dysgu ysgrifenu ychydig; yr oedd ar ol pob pregeth a glywai, bob amser, yn ymneillduo, i ystafell wrtho ei hun, i ysgrifenu. Ond ni ddaeth neb erioed i wybod pa beth oedd yn ysgrifenu, hyd wedi ei farwolaeth. Ond heddyw y mae ei waith yn ddigon amlwg, y mae amryw o lyfrau i eu gweled, yn llawn o destynau a'r sylwadau a draddodid oddiwrthynt, wedi eu cofnodi ganddo yn helaeth iawn.

Un noswaith, dygwyddodd iddo wlychu ei ddillad yn y môr, a'i fam a ddywedodd wrtho, na chai efe ddyfod i'r *Society* y noswaith hono yn gerydd am wlychu ei ddillad yn y môr. Ond pan aeth ei anwyl fam i'r *Society*, y peth cyntaf a welodd yno oedd Thomas yn eistedd ynghanol y doctoriaid, ac yn gwrando arnynt, wedi cychwyn ar ei hôl a rhedeg ffordd arall, a chyrchodd yno o'i blaen. Ei fam a achwynodd wrth y Pregethwr a ddygwyddodd fod yno ar y pryd, fod Thomas wedi dyfod yno o ei hanfodd. Y Llafarwr wedi clywed hyn, a'i galwodd, ac yn lle ei geryddu, dechreuodd ei egwyddori, ac a ofynodd amryw o gwestiwnau iddo; yntau a'u hattebodd yn y modd mwyaf difrifol a doeth, nes y synodd ac y rhyfeddodd yr holl gynnulleidfa â syndod mawr dros ben.

Pan oedd oddeutu 15 mlwydd oed, dechreuodd ddisgyn mewn llongau i'r môr, gan wneuthur ei orchwyl yn y dyfroedd mawrion. Ac oherwydd hyny difreintiwyd ef i raddau, a dieithrodd yntau oddiwrth ordinhadau'r Efengyl, sef o'r dull zelog ag oedd o'r blaen, a chymerodd ysgafnder afael ynddo, a galarus yw adrodd, gadawodd y *Society* yn llwyr am ryw ysbaid o amser; er hyny yr oedd yn myned i'r Ysgol Sabbathol pan y cai gyfleu, ac yr oedd o gôf a dawn rhagorol i adrodd y pregethau a glywai oddi cartref. Yn y flwyddyn 1832 adeiladwyd iddo Long newydd, a daeth yntau adref i'w pharottoi i'r môr. Un diwrnod pan oedd yn ymddangos yn o ysgafn, a chellweirus, dywedodd ei chwaer wrtho, fod un peth o ddau i ei gyfarfod yn fuan iawn, naill y rhoddid ef i fynu i galon galedwch, neu ynteu y gwnai'r Arglwydd ymweled ag ef yn ffordd ei ras; ac fe effeithiodd y dywediad hyny mor ddwfn ynddo nes yr oedd yn methu a chysgu'r nos, a mynych y dywedodd fod dychryniadau'r farn wedi ei ddal yn y fath fodd nes iddo benderfynu na chai fyw ond ychydig iawn, ac y byddai raid iddo ymddangos ynddi ar fyr o amser. Ond yn yr amser hwnw daeth y Parch. H. Rees drwy y wlad, ac fe fu trwy drugaredd yr Arglwydd, o fendith rhyfeddol iddo, fel y caf sylwi etto.

Yr oedd Thomas Phillips, fel Meistr Llong, yn rhagori ymhell iawn ar y rhan fwyaf o feistri llongau y Cymry yn gyffredinol. Yn un peth, ni chai neb fod yn llaw ar y llong a fyddai'n arfer llwon a rhegfeydd, os byddai efe yn hysbys o hyny. Ac yr oedd yn nodedig am gofio y dydd Sabbath i'w sancteiddio ef: ni wnai gychwyn er dim o un Porthladd ar y Sabbath, ond byddai yn ymdrechgar iawn i fyned i foddion gras, (os byddai cyfleusdra), ac oni fyddai hyny, darllenai lawer ar y Bibl, a gwnai i bawb yn y llong wneuthur yr un modd, a byddai yn rhoddi pennodau iddynt i eu dysgu erbyn y Sabbath nesaf, yn gymmwys fel pe byddent yn yr Ysgol Sabbathol.

Yr oedd hefyd yn hynod o lafurus a llwyddiannus, a gofalus am ei long a phob peth a fyddai ynddi, ac hefyd yn

gywir a gonest iawn yn yr holl gyfrifon perthynol iddi, fel ag y mae y perchenogion yn dystion o'u boddlonrwydd ynddo, a'u hiraeth am dano y dydd heddyw. Hefyd yr ydoedd yn ddirwestwr cyn bod braidd son am gymdeithas dirwest yn ngogledd na deheudir Cymru. Yn un o'i lythyrau fe ddywed fel hyn. 'Yr ydwyf fi a'm dau frawd wedi gwneud penderfyniad i beidio a'r gyfeddach, nac i yfed un math o wirod oddieithr ar y môr, a hyny os bydd angen meddyginiaeth. Cyfeddach yw distryw crefydd y morwyr, dyma y pla sy'n distrywio crefydd yn y llongau, ac yn y porthladdoedd, nid wyf yn gwybod ond am ychydig o ser disglaer ar y môr, a rhai sydd yn ymwadu a'r gyfeddach ydynt i gyd.' Gobeithio y gwna'r holl forwyr crefyddol sylw etto ar hyn. Dywed ymhellach fel hyn, 'Mae cyfeddach yn ddinystr i weddi ddirgel, yn rhwystr i weddi deuluaidd, yn ddarfodedigaeth i ystyriaethau difrifol, yn ysfa i ranau bywiol crefydd, yn ddifrod i gysur presennol, yn difa effaith cyngorion, yn rhoddi siamplau drwg, yn troi y cloff allan o'r ffordd, ac yn achos i gablu'r enw rhagorol. O am nerth i ddod allan o'u canol hwynt.' Eb efe ymhellach, 'Llawer o grefyddwyr ag a wyddoch chwi am danynt er eich gofid, sydd yn eithaf rheolaidd eu hymddygiad ymhob man, ond———dymunaf gael crefydd heb yr 'ond' yma beth bynag, mae'r 'ond' yn boddi synwyrau, yn cymmylu'r deall, yn attal defnyddioldeb, yn ofer dreulio amser, yn camddefnyddio trugareddau, yn cam arferyd talentau, yn tlodi perthynasau, ac yn damnio eneidiau; dymunaf dreulio yr amser hwn mwyach i ddarllen a myfyrio, fel y gallwyf drysori erbyn yr amser a ddaw.' O! na byddai i holl forwyr ein gwlad i ddilyn yn drwyadl y siamplau clodfawr ac ardderchog hyn.

Ond peth sydd well na'r cwbl, y mae genym seiliau da i gasglu a chredu iddo gael yr annhraethol fraint o gael ei wir ddychwelyd at Dduw o'r gwrthgiliad y soniwyd o'r blaen, oblegyd yr oedd arwyddion hyfryd a dymunol iawn arno yn dyfod yn ol i dŷ Dduw, wedi bod yn Basan, a gwlad machludiad haul; ac yr oedd yn hawdd rhyfeddol rhoddi lle iddo yn y tŷ, wrth ei weled dan y fath wasgfaeon ac argyhoeddiad y soniwyd o'r blaen. Yn yr amser hwnw y daeth y Parch. H. Rees heibio, yr hyn a fu yn fendithiol iawn iddo. Ac wedi iddo fyned eilwaith i'r môr yn y llong newydd ysgrifenodd lythyr at y trangcedig Solomon Williams, yn dywedyd fel hyn, 'Y mae gofyniad H. R. yn Ffôs y ffin o hyd ar fy meddwl; sef 'A ddymunit ti bechadur roi cymmaint o ogoniant i Dduw ag y mae'n ofynigennyt? tafl dy hun yn gruglwyth o bechodau, yn bentwr o euogrwydd, ar ei drefn yn achub yn ngwyneb yr Iawn.' O am nerth i hyn yma.' Yr ydwyf hefyd, (medd efe) yn clywed dymuniad difrifol parhaus ynof am gael crefydd dda; crefydd yn ol y gair. Yr un ag oedd Mr. Richards yn galw crefydd *round* arni, u'i bod yn gynnwysedig mewn cyflwr cyfiawnhaol, anian dduwiol, a buchedd sanctaidd. Fe all eraill, (medd efe) siarad, erfyn, a gweddio drosom, ond rhaid byw yn dduwiol ein hunain. Anwyl Frawd, gweddiwch drosof, er gwaeled, ac er mor llygredig wyf, yr wyf yn lloni weithiau wrth feddwl fod ffynnon i olchi'r aflan, a'i tharddiad o orsedd Duw a'r Oen. O am fod yn yr olchfa nes dod yn lân.'

Yr oedd hefyd yn nodedig am faddau i'w, a gweddio dros, ei elynion. Mewn llythyr at y dywededig S. W. fe ddywed fel hyn, am ryw rai oedd wedi ei enllibio, a dywedyd llawer o gelwyddau arno. 'Gadawaf ef a'i deulu yn awr, a'i enllib a'i elyniaeth. y mae un a'u barna ni. Ond fe ddymunwn yn fawr gael calon i faddeu iddo, maddeu ac anghofio, maddeu a charu, maddeu fel y dymunwn i'r Arglwydd faddeu i minau; mae llawer yn dyweud eu bod yn maddeu, ond ni fedrant anghofio, nid fel hyn y mae Duw yn maddeu. O am gymhorth gras y nef at hyn yma, a chymhorth eich gweddiau chwithau fy anwyl frawd—O gweddiwch drosof, anwyl Solomon,' &c.

Tebygol hefyd ei fod wedi heddychu yn hynod iawn ag angau brenin braw. Mewn llythyr a ysgrifenwyd ganddo yn Dundalk, Tach. 14, 1834. at S. W. etto, fe ddywed fel hyn, (oblegyd dau gyfaill brawdol

iawn oeddynt, a hoff iawn o eu gilydd.) Fe allai mai ymhell iawn ar y môr, ar wyneb yr eigion mawr, y caf fi gwrdd ag angau du, a'm corph gwael fod yn ymborth i'r angenfilod. Ond ni waeth yn y byd pa le, na pha fodd, ond bod Ynghrist. Y mae yn taro i'm meddwl yn awr, eiriau J. Jones, Talsarn, yn Nghymanfa Aberteifi y llynedd, ac y maent yn gysur mawr i mi, 'Llŵ Duw a'i fwa (eb efe) a ofala am danat ti gredadyn, o'r adenedigaeth, trwy holl droion yr yrfa. Llw Duw a'i fwa a'th gynnal yn nhonau geirwon angeu rhag it foddi. Llw Duw a'i fwa a biga bob gronyn fo'n hanfodol i'th ddynol natur, ac a'i gwna yr un ffurf a'i gorph gogoneddus ef; rhan o wobr llafur enaid Iesu yw cyrph ei saint, ac fe fyddai Iesu heb ei wobr pe byddai ewin yn ol.' Yna y dywed fel hyn, 'Yr ydwyf yn teimlo hiraeth yn fy enaid tlawd, am gael gafael ar y cyfaill a lŷn, a gâr bob amser, a'r Brawd a aned erbyn caledi.' A llawer iawn o bethau eraill diwinyddol, a phrofiadol sydd yn ei Lythyrau; ond ni oddef eich terfynau chwi na minau i helaethu llawer yn ychwanegol.

Ar ol ei farwolaeth, cafwyd ar ddeall fod ynddo dueddiad, a bwriad cryf i fyned i waith mawr y weinidogaeth, sef, i bregethu. Yr oedd ganddo lyfrgell ragorol, o ddyn ieuangc, wedi ei chasglu, a llawer iawn o bregethau wedi eu cyfansoddi ganddo ei hun. 'Ond nid fy meddyliau I yw eich meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd I, medd yr Arglwydd.' Dydd llun yr 21 o Dachwedd diweddaf, 1836, yr ydoedd yn rhwym i Liverpool (os wyf yn cofio yn iawn) am haner awr wedi un o'r gloch y prydnhawn hwnw, pan rhwng Ynys Enlli a'r Iwerddon, yr oedd yn debyg o ddyfod i chwythu yn drwm; aeth tri o'r bobl i gyrchu'r brif hwyl, (*main sail*) ac yr oeddynt yn rhoddi y rhan fwyaf o'u pwysau ar yr hwylbren a elwir *Boom*, ac yn y cyfamser daeth ton fawr, ac a'u hysgwydodd hwynt oll ymaith, a disgynodd dau o honynt ar y *Deck*. Ond galarus yw adrodd, aeth Thomas anwyl dros y bwrdd, a thaflwyd pren wrth râff atto, mor gynted ag y gallwyd, a gwaeddwyd, cydiwch yn hwna Thomas bach; Pa le y mae? ebe yntau, a chyd a hyny daeth ton arall, ac ni welwyd ef byth mwyach, ac ni welir ef chwaith hyd y dydd hwnw, pan fyddo'r môr yn rhoddi i fynu y meirw. Felly y gorphenodd ei yrfa mewn tangnefedd (fel yr ydym yn hyderus feddwl,) yn 26 mlwydd oed. 'Yn nghanol ein bywyd yr ym yn angau.'

Yr eiddoch, B. EVANS.

*Lletty John, Ebrill* 17, 1837.

---

DWYFOLDEB A THOSTURI YR ARGLWYDD IESU GRIST.

Fe ddywedir yn Heb. ii. 16. I Iesu Grist *gymmeryd had Abraham.* Lle y mae priodol ddwyfoldeb Iesu Grist yn canlyn yn anocheladwy. Canys, os cymmerodd Iesu Grist had Abraham, neu'r natur ddynol, yna'n sicr yr oedd ynddo ef hanfod cyn iddo gymmeryd y natur hono. Y canlyniad a brofir fel hyn: pob *gweithred* a ddeillia o ryw hanfod, neu natur ag sydd yn *hanfodi, a chymmeryd* y natur ddynol sydd weithred, a hyny (o ganlyniad) nid gweithred y natur *gymmeredig*; gan hyny, rhaid mai gweithred rhyw natur ag oedd *mewn bod cyn hyny ydoedd*; a hono oedd y natur ddwyfol yn mherson Mab Duw.

Ei ymddarostyngiad yn y matter hwn a amlyga dosturi tyner ei galon. Gwelodd Crist ein dinystr trwy y cwymp, ac a ddaeth ymlaen i'n cymmorth, ac a waredodd ein bywyd ar draul ei fywyd ei hun! O! y fath ddiolchgarwch gorfoleddus a ddylai danio meddwl dyn! Dyma dosturi teilwng o Fab Duw. Cyfoded ein diolchgarwch i ryfeddod, a'n rhyfeddod i dragywyddol synedigaeth! Dywedwch i'm, chwi angylion, dywedwch i'm, chwi gyntaf-anedig feibion y goleuni, pa beth a achosodd i Fab Duw ymddiosg o'i dragywyddol urddasolrwydd, a dyfod i'r byd i ymwisgo â llwch a lludw; ac ymgyfeillachu â gwendid a marwoldeb, â chreaduriaid gwael, a phechaduriaid diffaith? Hysbyswch chwi y nefoedd synnedig, hyn oll a wnaed i dynnu rhyw druenus bentewynion gwynias rhag fflammau uffern; lle, oni buasai hyny, y cawsent orwedd i'w difa, ac heb eu difa, am byth. O! fy enaid, ymdywallt mewn rhyfeddod, cariad a mawl. Gyd a'r adfyfyriad *hwn*, a than yr argraffiadau *hyn*, a ddichon

ryw ddyn bechu? diau, na ddichon. O! cofiwn yn barhaus, ddarfod i Grist felly ein prynu rhag y digofaint, fel y'n prynai ni yn gyntaf oddiwrth ein chwantau a'n hofer ymarweddiad. O! nag angofiwn byth ddarfod trwy yr ymgnawdoliaeth rhyfeddol hwn o eiddo y Person dwyfol, iddo ddyfod yn *fab y dyn*, fel trwy gyfnewidiad ein natur, y caem ni ddyfod yn *feibion i Dduw*.

Mae yn deillio oddiwrth gyfammod y prynedigaeth, berthynas ddeublyg rhwng Crist a'i bobl. Yn gyntaf. Efe yw y pen dirgeledig, a hwythau ei aelodau; felly o ran sefyllfa, o ran perthynas, gellir ystyried fod ei bobl yn dioddef yn gyfreithiol, pan y dioddefodd Crist. Yn ail, Efe yw eu Meichnïydd; fel ag yr oedd yr Iawn a wnaed drostynt gan Iesu Grist, yn nghyfrif y gyfraith, yn dderbyniol, megis pe talesid ef yn a chan eu personau hwy eu hunain. Felly yn Iesu Grist, hwy (sef yr holl wir gredinwyr) a dderbyniant lawn ryddhad, perffaith gyfiawnhad, a chyflawn iachawdwriaeth. Bendigedig fyddo Duw am y fath drefn ddoeth a digonol i adferu pechaduriaid andwyol!—O'm rhan fy hun, nid allaf fi edrych ar ddim (beth bynag a all eraill) yn fwy fel pwnc *sylfaenol* y grefydd Gristionogol na *Iawn Crist dros bechod*. Canys trwy hyn, a hyn yn unig y dichon unrhyw un o feibion colledig Adda, gael ei gymmodi â Duw.

Mae bod Crist wedi marw dros ein pechodau, nid yn unig yn wirionedd datguddiedig yn yr ysgrythyrau; y mae yn wirionedd o'r fath bwysfawrogrwydd, fel yr oedd safiad presennol a iachawdwriaeth dragywyddol y Corinthiaid yn ymddibynu ar eu hymlyniad wrtho. Gwel 1 Cor. xv. 1, 2, 3. Yn ddiddadl. athrawiaeth y *groes* ydyw y canol-bwynt yn mha un y mae holl linellau y gwirionedd efengylaidd yn ymgyfarfod ac yn ymgysylltu. Yr hyn yw'r haul i gyfundraith natur, hyny yw athrawiaeth y groes i gyfundraith yr efengyl. Ei bywyd ydyw. Mae yr Apostol yn mynegi mai trwy Iesu Grist 'y derbyniasom y *cymmod*; ond, os na wnaeth Iesu Grist gymmod, fel ag y dywed rhai, yna nid oes cymmod i'w dderbyn. Pa fodd bynnag, myfi a ymlynaf wrth yr hyn a ddywed yr Apostol.—*Beauties of South*.

## DALLINEB YSPRYDOL.

Mae effeithiau dallineb *naturiol* yn boenus a thrallodus; ond effeithiau dallineb *ysprydol* ydynt lawer mwy niweidiol a dinystriol. Yr un peth yw bywyd a marwolaeth, daioni a drygioni, i'r hwn sydd ddall ysprydol; mae pob peth o'r un-lliw i'r hwn sydd yn methu gweled. Nid yw ei holl enaid ddim ond nos, tywyllwch, ac aneglurdeb. Ni ddichon ganfod y ffordd i ddedwyddwch, nac adnabod y ffordd i drueni. Pa fodd gan hyny y dilyn efe y naill, neu y gochel efe y llall? Y lle nad oes *synwyr* i ddirnad pethau, nis dichon fod yno *wahaniaeth*, a'r lle nad oes wahaniaeth nis dichon fod yno ddewisiad. Yr hyn sy'n dwyn tywyllwch ar yr enaid yw pechod. Ac, am sefyllfa bresennol dynion, nid yw'r enaid mewn undeb mor agos at y corff, ag ydyw *pechod* at yr enaid. Mewn gair, mae cyd-ymgyssylltiad rhwng pob peth oddi allan i ddyn, ac oll o'i fewn ef; a'r oll sy ar y ddaear, a than y ddaear, (os yno y mae uffern) yn gyntaf i dynu ymaith ei lygaid ef, ac yna ei yru yn bendramwnwgl i golledigaeth. O! gan hyny mor angenrheidiol ydyw cynghor ein Harglwydd bendigedig, 'Edrych am hyny rhag i'r goleuni sydd ynot fod yn dywyllwch!' Luc xi. 35.—*Beauties of South*.

*Caerlleon*. Cyf. J. Morris.

---

CYMDEITHASIAD CAERGYBI, MON, A GYNHALIWYD, MEDI 22, 23, 1834.

Y moddion cyhoeddus oeddynt yn y drefn ganlynol. Am hanner awr wedi pedwar nos Llun, ar y maes, gweddiodd Mr. Thos. Evans, Ceredigon, a phregethodd Mr. D. Evans, Tyddewi, Swydd Benfro, oddiwrth Ps. 25. 11. 'Er mwyn dy enw, Arglwydd, maddeu fy anwiredd: canys mawr yw.'

Sylwodd oddiwrth y testyn ar y pethau canlynol:—

I. Cyfaddefiad y Salmydd, 'maddeu fy anwiredd, canys *mawr* yw." Mawr yw.

II. Dwysder neu bwysfawrogrwydd yr archiad, '*Maddeu* fy *anwiredd*.'

III. Yr hwn y cyfeirir atto yn yr archiad, '*Arglwydd*, maddeu,' &c.

IV. Dadl y Salmydd yn y weddi, 'Er mwyn *dy enw*.'

1. Cyfaddefiad y Salmydd, 'maddeu *fy* anwiredd, canys *mawr* yw.'

1. Yr oedd anwiredd ynddo ef (1) Yn wreiddiol (2) Yn weithredol (3) Yn gyfranogol.

2. Y mae yr anwiredd yn fawr (1) Oherwydd ei eangder (2) Ei atgasrwydd (3) Ei haeddiant.

II. Dwysder yr archiad. 1. Y mae yn bwysig yn ei nattur 2. Yn sylweddol yn ei gynnwysiad.

III. Yr hwn y cyfeirir atto yn yr archiad '*Arglwydd*, maddeu.' Duw sydd yn maddeu o'i ras, trwy ei Fab yn unig.

IV. Dadl y Salmydd yn y weddi, 'Er mwyn *dy enw*.' Y mae Duw yn enwog wrth faddeu trwy Grist. Y mae ei holl briodoliaethau yn disgleirio yn ogoneddus, a'i ogoniant yn cael ei fynegi yn y gwaith.

Yna pregethodd Mr. David Howell, o Swansea, oddiar Ieremiah 17. 9, 10. 'Y galon sydd fwy ei thwyll na dim,' &c.

Sylwodd ar y pethau canlynol:—

I. Beth yw y galon?

II. Y disgrifiad a roddir o honi yn y testyn.

III. Ymddygiad Duw tuag at y galon.

I. Beth yw y galon? Nid yn ei chymmeriad naturiol, ond yn ei chymmeriad gyffelybiaethol y mae ystyred y galon yn y testyn. Wrth y galon yma y golygir enaid dan lywodraeth llygredigaeth y cnawd: enaid heb ei gyfnewid trwy ras. Anian ddrwg yn ynhyfrydu yn ngweithredoedd y tywyllwch.

II. Y disgrifiad a roddir o'r galon.

1. Un ddrwg ydyw. 2. Un falch. 3. Un ddiffrwyth. 4. Un galed. 5. Un dwyllodrus ydyw. Tri twyllwr sydd yn y byd. (1) Y byd. (2) Diafol. (3) Calon dyn.

III. Ymddygiad Duw tuag at y galon.

1. Eisiau ei chael iddo ei hun. 'Fy mab moes i mi dy galon. 2. Ei chyfnewid. 3. Eisiau preswylio ynddi. Gwneuthur yr hyn oedd yn ogof lladron yn breswylfa iddo ei hun sydd ryfeddod. Y ffordd a gymmerodd yr Arglwydd er cyfnewid y galon oedd trwy Anwylyd ei fynwes, Mab ei gariad. Er cael modd i breswylio ynghalon pechadur, aeth i'w galon ei hun i ymofyn am galon ei Fab.

6 y boreu, pregethodd Mr. R. Williams, Lle'rpwll, oddiar Diar. 18. 24. 'Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gariad.' Oddiwrth y testyn sylwodd, yn

I. Fod cyfeillgarwch yn bod rhwng Crist a'i bobl.

II. Fod y cyfaill hwn yn well na phawb arall.

1. Fod cyfeillgarwch yn bod rhwng Crist a'i bobl. Er prawf o hyn. 1. Y mae Crist wedi caru ei bobl; a hwythau yn ei garu yntau, 'Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni.'

2. Y maent bob amser yn rhoi gair da i'w gilydd. Crist yn dywedyd am yr Eglwys, 'Ti oll ydwyt dêg, fy anwylyd.' Can. 4. 7. A'r eglwys yn llefaru am Grist, 'Y mae efe oll yn hawddgar.'

3. Y maent bob amser yn cefnogi eu gilydd, y pechadur yn gwaeddi, Attolwg *Arglwydd maddeu*, a Christ yn y nefoedd yn dadleu ei achos ger bron y Tad.

4. Y maent bob amser yn rhodio gyda eu gilydd: Crist yn rhoddi y gorchymyn, a'r credadyn o barodrwydd meddwl yn ufuddhau, ac yn dywedyd, 'Gwell i mi gyfraith dy enau,' &c.

5. Y maent yn chwennych myned at eu gilydd i fyw.

II. Fod y cyfaill hwn yn well na phawb arall. Er prawf o hyn, y mae wedi eu caru.

1. Er tragwyddoldeb, nes rhoi ei hun yn eu lle.

2. Wedi eu caru yn ei fywyd poenus yma yn y byd.

3. Wedi eu caru ar y groes yn yr ing mwyaf.

4. Wedi eu caru ar ol ei adgyfodiad oddiwrth y meirw.

5. Y mae yn eu caru yn y nefoedd, ac fe a'u câr dros byth.

Yn nesaf pregethodd Mr. Robert Davies, Sîr Drefaldwyn, oddiar Math. 1. 21. rhan olaf. 'Efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau.'

Sylwodd yn I. Ar y Gwaredwr, '*Efe*.'

II. Y gwaredigion, '*Ei bobl*.'

III. Y waredigaeth, '*oddiwrth eu pechodau*.'

I. Am y Gwaredwr. 1. Y mae yn un addas. 2. Yn un ewyllysgar. 3. Yn Waredwr galluog.

II. Y gwaredigion. 'Ei bobl.' Ei bobl, yn gyntaf, trwy roddiad y Tad. 2. Trwy bryniad. 3. Trwy eu hymroddiad hwythau iddo yntau.

III. Y waredigaeth 'oddiwrth bechod.' 1. Oddiwrth euogrwydd pechod. 2. Ei lywodraeth. 3. Ei halogrwydd. 4. Perffaith waredigaeth oddiwrth ei holl effeithiau, ei fod, a'i ganlyniadau.

10 o'r gloch, Gweddiodd Mr. Robert Williams, Cenhadwr Cymraeg, yn Nublin: a phregethodd y Parch. David Stewart o Ddublin, yn Saesoneg, oddiar Psal. 86. 11. 12. 'Moliannaf di, O Arglwydd fy Nuw, â'm holl galon, a gogoneddaf dy enw yn dragywydd. Canys mawr yw dy drugaredd tuag attaf fi: a gwaredaist fy enaid o uffern isod.'

Sylwodd, yn gyntaf. Ar y fendith a gynnwys y testyn, sef Gwaredu, gwaredu oddiwrth bechod, a gwaredu o uffern isod.

II. Fod y waredigaeth neu y fendith yn cynnwys nid yn unig dwyn dyn o afael ei bechod, ond i hawl yn holl gyfoeth y cyfammod newydd. 'Dy drugaredd tuag attaf fi.'

III. Gwreiddyn tarddiadol y fendith, 'dy drugaredd.'

IV. Diolchgarwch am y fendith, 'Molianaf di, O Arglwydd fy Nuw, â'm holl galon: a gogoneddaf dy enw yn dragywydd.'

I. Y fendith, sef gwaredu. 1. Gwaredu oddiwrth bechod. Yn ei euogrwydd, yr hyn a gymer le trwy yr Iawn.

2. Gwaredu oddiwrth ei lywodraeth trwy ei ras, Rhuf. vi. 14.

3. Gwaredu oddiwrth ei halogrwydd, trwy gymmwysiad o waed Crist at yr enaid. 'Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod.'

4. Ei fod a'i ganlyniadau. Llwyr waredigaeth oddiwrth ddeddf yr aelodau, a llwyr waredigaeth er gochel uffern obry.

II. Fod y waredigaeth nid yn unig oddiwrth bethau, ond yn dwyn at bethau eraill.

Y mae gan yr enaid hawl yn Nuw a'i holl briodoliaethau, yn Nghrist a holl ddoniau y prynedigaeth, ac yn holl addewidion Duw: hefyd, ei ddwyn ar ddelw Duw,—ac yn y diwedd i fwynhad o holl gyfoeth nefoedd Duw.

III. Gwreiddyn tarddiadol y fendith. *Dy drugaredd.* O ras yn gwbl y mae gwaredu.

IV. Diolchgarwch am y fendith. 'Molianaf di.' &c.

Sylwodd fod diolchgarwch am y fendith yn tarddu oddiar sicrwydd ein hawl o honi; ond nad yw sicrwydd o'n hawl yn hanfodol i wir grefydd, onid ê darfyddai am yr ofnus: ond y mae adnabyddiaeth o hawl yn rym i'r ffyddiog i ymafael yn Nuw, fel ei ran, a thrwy hyny allu dywedyd Abba, Dad.

Yn nesaf pregethodd Mr. Daniel Evans, Ceredigion, oddiar Act. xvii. 31. 'O herwydd iddo osod diwrnod,' &c.

Sylwodd oddiwrth y testyn ar y pethau canlynol:—

I. Sicrwydd y bydd barn. Oddiwrth dystiolaeth ysgrythyrol.

II. Yr angenrheidrwydd am y farn. 1. Oblegid fod Duw. 2. Cymmeriad yr Arglwydd Iesu yn y byd. 3. Rhagluniaeth Duw.—Y mae yr erlidiau y bu yr Eglwys ynddynt ymhob oes o'r byd yn galw am farn.

III. Pwy fydd y barnwr? Iesu. Addasrwydd hwn i fod yn farnwr. 1. Y mae wedi ei eneinio. 2. Y mae yn meddu dwy natur. 3. Y mae yn meddu perffeithrwydd gwybodaeth. 4. Perffeithrwydd grym. 5. Perffeithrwydd parotoadau.

IV. Cyffredinolrwydd y farn. 1. Yr Arglwydd ei hun gyda ei lu nefol. 2. Dynion da a drwg. 3. Yr holl angylion da a drwg.

Am ddau o'r gloch, Gweddiodd Mr. J. Morgan, Morganwg, a phregethodd Mr. Wm. Williams, Talgarth, Brycheiniog, oddiar Ioan xvi. 7. 'Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith,' &c.

Sylwodd ar y testyn fel y canlyn:—

I. Fod mynediad Crist ymaith i'r nefoedd yn fuddiol i'r disgyblion. 'Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith.'

II. Fod Crist wedi myned mewn trefn i'r Diddanydd ddyfod attynt i'w cysuro.

III. Gan fod Crist wedi myned, y mae y Diddanydd wedi dyfod. I. Fod myned-iad Crist ymaith yn fuddiol i'w disgyblion, oblegid y mae yn 1. Wedi myned fel eu pen a'u cynnrychiolwr.

2. Er egluro, dangos, a phrofi fod gwaith eu hiachawdwriaeth wedi ei orphen.

3. I'r dyben o lwyddo y gwaith trwy y byd.

4. Y mae wedi myned i eistedd ar ddeheulaw Duw i ddadleu eu hachos.

5. Y mae wedi myned i barottoi lle iddynt.

II. Fod Crist wedi myned mewn trefn i'r Diddanydd ddyfod attynt i'w cysuro.

1, Cysuro chwi, fy Apostolion.

2. Fy Ngweinidogion a'm disgyblion.

3. Fy nghanlynwyr gwan ymhob oes o'r byd.

III. Gan fod Crist wedi myned y mae y Diddanydd wedi dyfod.

1. Person y Diddanydd, yr Yspryd Glan.

2. Natur ei waith, sef diddanu. (1.) Y mae yn ddiddanwch cyfammodol. (2.) Y mae yn ddiddanwch gwirioneddol. (3.) Y mae yn ddiddanwch sanctaidd. (4.) Y mae yn ddiddanwch ysgrythyrol. (5.) Y mae yn ddiddanwch tragywyddol.

Yna pregethodd Mr. David Howells, Swansea, oddiar Col. i. 12. 'Etifeddiaeth y saint.' Fe briodolir yr enw hwn am ran y Cristion.

II. Gwrthrychau yr etifeddiaeth, 'y saint.'

III. Natur yr etifeddiaeth, 'yn y goleuni.'

I. Etifeddiaeth y saint. 1. Etifeddiaeth oherwydd ei helaethder. 2. Oblegyd ei gwerth. 3. Oherwydd ei pharhad.

II. Gwrthrychau yr etifeddiaeth, y saint 1. Saint trwy neillduad. 2. Trwy alwad. 3. Trwy gymmwysiad.

III. Natur yr etifeddiaeth: etifeddiaeth yn y goleuni ydyw. 1. Goleuni ynddynt oedd gras. 2. Goleuni iddynt oedd y gair. 3. Goleuni o'u blaen oedd y nefoedd.

IV. Y cymmwysder angenrheidiol er mwynhau yr etifeddiaeth. 1. Cymmwysder cyflwr. 2. Anian. 3. Hawl. 4. Addfedrwydd. 5. Iaith.

Cyn diweddu, tri gair wrth yr annuwiol, a'r duwiol. 1. Wrth yr annuwiol, Ymha le yr oeddit ac ydwyt yn dy gyflwr drwg. 2. Yr hyn ydwyt yn wneud, myned yn waeth. 3. Y lle y byddi, yn waeth etto.

2. Wrth y duwiol, neu y saint. 1. Yn mha le yr oeddit, colledig, 2. Y lle yr ydwyt, yn Nghrist. 3. Y lle y byddi, yn y nefoedd.

Yn y Capel am 6 ar gloch. Gweddiodd John Jones, Mon; a phregethodd Mr. Thomas Evans, Ceredigion, oddiar Heb. 2. 3. 'Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?' Sylwodd, 1. Ar fawredd yr iachawdwriaeth yn ei pherthynas a'i hawdwr. 2. Y pwysfawrogrwydd pa dderbyniad a wneir o honi. 3. Yr anmhossiblrwydd o ddiange os esgeulusir hi.

Yna, pregethodd Mr. D. Evans, Ceredigion, ar Dat. 14. 1. a 5. 'A mi a edrychais, ac wele Oen yn sefyll ar fynydd Sïon, a chydag ef bedair mil a saithugeinmil—ac yn eu genau ni chaed twyll,' &c. Sylwodd, Fod preswylwyr mynydd Sïon yn rhai didwyll. 1. Tuag at Dduw. 2. Tuag attynt eu hunain. 3. Tuag at bawb.

O'R CÔF GAN WRANDAWR.

## Gofynion.

Syr,—Gwelir fod y Pedwar Efengylwr yn wahanol yn yr hanes mewn perthynas i'r hyn a welodd y gwragedd wrth y bedd. Pa fodd y maent yn cytuno?

*Wrexham.* A. JONES.

Matthew 28. 2. 'Ac wele bu daear gryn mawr; canys disgynodd angel yr Arglwydd o'r nef, ac a ddaeth ac a dreiglodd y maen oddiwrth y drws, ac a eisteddodd arno.'

Marc 16. 5. 'Ac wedi iddynt fyned i mewn i'r bedd, hwy a welsant fab ieuanc yn eistedd o'r tu deheu, wedi ei ddilladu â gwisg wenllaes; ac a ddychrynasant.'

Luc 24. 4. 'A bu a hwy yn petruso am y peth hwn, wele dau ŵr a safodd yn eu hymyl mewn gwisgoedd dysglaer.'

Ioan 20. 12. 'Ac a ganfu ddau Angel mewn gwisgoedd gwynion, yn eistedd, un wrth ben, ac un wrth draed y lle y dodasid corph yr Iesu.'

---

Syr,—A ydyw yn addas galw Bedydd a Swper yr Arglwydd yn Sacramentau?

YOT.

## Attebion.

***Atteb i Ofyniad Gwr lleyg, Rhif. 77. tu dal. 145. mewn perthynas i'r hyn a ddywed y pedwar Efengylwr am ganiad y Ceiliog yn amgylchiad gwaith Pedr yn gwadu ei Feistr.***

Dywed yr Efengylwr Marc yn Pen. xiv. 68. Wedi i Pedr wadu y tro cyntaf, 'efe a aeth allan i'r porth; a'r ceiliog a ganodd.' A'r adnod 72. Ar ol iddo wadu y drydedd waith, 'a'r ceiliog a ganodd.' Nid yw yr efengylwyr ereill yn son dim ond am ganiad y ceiliog ar ol iddo wadu y drydedd waith.

Gwybydder gan hyny fod dau 'ganiad y ceiliog;' un o ddeutu hanner nos, a'r llall gyda thoriad y dydd. Mae y ceiliog yn canu oddeutu hanner nos, ond nid yn gyson, ac nid mor uchel, a chryf, ac nid cynnifer o weithiau ag y mae efe yn canu tua thoriad y dydd. Ac am hyny yr ail ganiad y ceiliog a elwir yn neillduol a phennodol yn y Bibl yn 'Ganiad y Ceiliog.' Gwel Marc 13. 35. 'Gwyliwch gan hyny, canys nis gwyddoch pa bryd y daw meistr y tŷ, yn yr hwyr, a'i hanner nos, ai ar ganiad y ceiliog, ai y boreuddydd.'

Yr oedd yr Iuddewon yn rhanu y nos yn **bedair *Gwyliadwriaeth*:** — *Y gyntaf*, O'r hwyr hyd naw ar gloch y nos. *Yr ail*, neu *y ganol*, fel y gelwid hi, o naw ar gloch hyd hanner nos. *Y drydedd*, neu 'Ganiad y Ceiliog,' o hanner nos hyd dri ar gloch y boreu. *A'r bedwaredd*, neu y Wyliadwriaeth fore, o dri hyd y boreu. Mae y Gwyliadwriaethau sydd yn cael eu nodi wrth enwau heblaw y gyntaf, yr ail, &c. yn cael eu henwau oddiwrth yr amser y maent yn diweddu. Megis, yr ail wyliadwriaeth a elwir y *wyliadwriaeth ganol*, am ei bod yn diweddu ar ganol nos; y drydedd wyliadwriaeth a elwir 'Caniad y Ceiliog,' am ei bod yn diweddu oddeutu amser Caniad y Ceiliog, sef amser ei brif ganiad ef; yn gymmaint felly, fel y dywed rhai* mai y Bedwaredd wyliadwriaeth a elwir Caniad y Ceiliog. Ond mae lle i farnu oddiwrth Marc 13. 35. a grybwyllwyd uchod, mai y drydedd wyliadwriaeth a enwir felly, canys y bedwaredd a enwir yno yn 'foreuddydd.'

Felly gan hyny, pan y dywed Matthew a'r Efengylwyr eraill am eiriau Crist 'Cyn canu o'r Ceiliog, y'm gwedi deirgwaith,' fe feddylir 'Cyn yr amser neu yr awr a elwir yn bendant 'Caniad y Ceiliog;' ac felly fu, canys wedi i Pedr wadu dair gwaith, fe ganodd y ceiliog, a hyny oddeutu tri ar gloch y boreu.

Ac mewn perthynas i'r caniad cyntaf a sonia Marc, yr oedd hyny oddeutu hanner nos. Mae yn ymddangos fod Iudas gyda'n Harglwydd ar ei Swpper diweddaf, sef yn y Cymun sanctaidd, ar ol bwytta y Pasc, Luc 22. 21. Dywedir am yr amser y dechreuasant fwytta y Pasc, 'Ac wedi ei myned hi yn hwyr efe a eisteddodd gyda'r deuddeg.' Yr oedd hi yn gryn hwyrach erbyn darfod o honynt, pryd yr aeth Iudas allan. Mae yn ddiamheuol y treuliwyd rhai oriau wedi hyny, cyn y dygwyd Crist i Dŷ yr Archoffeiriad, lle y gwadodd Pedr ei Feistr. Aeth cryn amser i Iudas i gasglu 'byddin a swyddogion, a pharotoi lanternau, a lampau, ac arfau.' Ac ar yr un amser tra y bu Iudas yn gwneud hyn, y llefarodd yr Iesu yr holl ymadroddion grasol a gawn yn Ioan Pen. xiii. xiv. xv. xvi. xvii. Ac wedi hyny efe a aeth i Ardd Gethsemane i weddio. Yno y cymmerwyd ac y rhwymwyd ef, ac y'i dygwyd gan y llu mileinig i Dŷ Annas, ac oddiyno i Dŷ Caiaphas, yr hwn oedd Archoffeiriad y flwyddyn hono. Gallwn feddwl ei bod rhwng unarddeg ar gloch a hanner nos erbyn ei ddyfod yno.

Ac wedi i Pedr eistedd i lawr i ymdwymno, canfu llances ef, &c. dyna y tro cyntaf y gwadodd efe ei Feistr. Yna dywedir, 'Ac efe a aeth allan i'r porth; a'r ceiliog a ganodd,' Marc xiv. 68. Dyma ganiad y ceiliog ar hanner nos. Ac wedi iddo wadu y trydedd tro, y ceiliog a ganodd.' Dyma brif ganiad y ceiliog, sef oddeutu tri ar gloch y boreu. Am y caniad hwn, sef prif ganiad y ceiliog yr hwn a enwir yn bendant felly Marc 13. 35., y sonia

---

* Gwel Dr. Whitby ar Math. 26. 34.

yr Efengylwyr ereill yn unig. Mae yr Efengylwyr hyn, yn adrodd yr hanes yn gywir; ond mae Marc yn adrodd yn fanylach ac yn helaethach.

Mae yn ddigon amlwg mai y dynion sydd yn edrych yn fwyaf arwynebol ar ymadroddion ysgrythyrol yw y rhai sydd yn meddwl fod anghyssondeb yn y Bibl; ond y dynion sydd yn chwilio yn fanylaf, ac yn treiddio yn ddyfnaf iddynt maent yn canfod godidogrwydd a chyssondeb digyffelyb yn ngeiriau y Llyfr Sanctaidd.

CYHOEDDWR.

---

*Agoriad ar y geiriau annghynnefin a nododd ein Gohebwr, John Powell allan o Lyfr Numeri, yn Rhif.* 77. *tu dal.* 145.

Num. 20. 3. *Ymgynhennu* — sènu, ffraeo.
13. *Dyfroedd Merriba—Merriba*, cynnen; *Dyfroedd Merriba*, Dyfroedd y gynnen.
21. 1. *Ysbiwyr*—y dynion a anfonodd Moses i ysbïo, neu i edrych Gwlad Canaan.
8. *Trostan*—pawl, polyn.
15. *Rhaiadr*—ffrydlif dwfr—disgyniad afon ar hyd lle serth a garw.
24. *Goresgyn—goresgyn ei dir ef* —cymmeryd meddiant o'i dir ef.
27. *Diarhebwyr— Dihareb*—ymadrodd cyflawn, byr, a chynnwysfawr. *Diarhebwyr* — dynion a wnelynt, neu a arferynt y cyfryw ddiharebion.
22. 24. *Magwyr*—mur, gwàl.
23. 22. *Unicorn*—Creadur cryf ag un corn iddo. Y Rhinoceros, medd rhai.
24. 6. *Aloewydd—gwydd*-coed. Aloeŵydd, coed yn dwyn *aloes*. Cesglir dail y pren hwn yn irion, a gwesgir eu sudd allan o honynt, a dodir ef i'w sychu yngwres yr haul; a dyna yr *aloes*.
24. 6. *Cedrwydd*—Coed cedr, y rhai a dyfant yn fawrion ac uchel iawn, yn enwedig yn mynydd Libanus.
25. 7. *Gwaewffon*—ffon a phiccell llym yn ei blaen hi.
8. *Gwanu*—gwthio, brathu.
8. *Ceudod*—y bol.
11. *Eiddigedd*—hewyd, zêl.
31. 12. *Cyffaeliad*—anrhaith, yspail. Mae y gair Cymraeg *caffaeliad* yn tarddu o'r gair *caffael*, neu *cael*, yn arwyddo, *yr hyn a gafwyd*.
22. *Alcam*—tin.
28. *Teyrnged*—mael-ged, treth.
50. *Breichledau*--addurn y breichiau, tlwswisg y breichiau.
Num. 31. 50. *Clust-dlysau*--Addurn y clustiau.
50. *Torchau*—Cadwynau, Ecsod. 35. 22.
32. 14. *Cynnyrch*—ffrwyth, chwanegiad, cynnydd.
14. *Angerdd*—ffyrnig, gerwin, tanbaid.
26. *Ysgrubliaid*—da byw, gwartheg, *cattal.*
33. 55. *Cethri*—pigau, symbylau.
35. 6. *Dinasoedd noddfa* — Dinasoedd yn Israel, y rhai a bennodwyd i fod yn noddfa neu ddiogelwch i lofruddion y rhai a laddent ddyn yn amryfus.
6. *Llawruddiog*—llofruddiog, y neb a laddo ddyn.
21. *Galanastra* — Galanas, cyflafan, lladdfa.
21. *Llofrudd*—dyn llawruddiog, dyn a laddo ddyn arall.
36. 3. *Rhandir*—tir a ddel ar ran un drwy goelbren, &c., rhan dyn o dir.

---

*Atteb i Ofyniad R. J. yn Rhif.* 77. *tu dal.* 145. *ynghylch cyssondeb* 2 *Sam.* 14. 27. *a'r* 18. 18.

Att. Yn 2 Sam. 14. 27. dywedir am Absalom, mab Dafydd, 'A thri mab a anwyd i Absalom, ac un ferch.' Ac yn Pen. 18. 18. dywedir, 'Ac Absalom a gymmerasai ac a osodasai iddo yn ei fywyd golofn, yn nyffryn y brenin: canys efe a ddywedodd, Nid oes fab gennyf i wneuthur coffa am fy enw: ac efe a alwodd y golofn ar ei enw ei hun. A hi a elwir Lle Absalom, hyd y dydd hwn.

Wrth yr adnod gyntaf a nodwyd uchod, mae yn amlwg y ganwyd i Absalom dri o feibion; ac wrth yr adnod olaf a nodwyd, mae mor amlwg a hyny eu bod oll wedi marw ymhell o flaen marwolaeth eu tad. Fe'u lladdodd Duw hwynt i dorri ymaith ei enw ef oddiar y ddaear, am iddo ef gyfodi gwrthryfel yn erbyn ei dad, a cheisio ei einioes ef, a myned a'r llywodraeth o ddiarno.

Ac wedi marw o feibion Absalom, efe a gododd golofn ardderchog, yn yr hon neu yn agos iddi, y bwriadodd gael ei gladdu, mae yn debygol; a thrwy y golofn hon efe a fwriadai gadw coffadwriaeth o'i anrhydedd, a'i fri, am oesoedd i ddyfod. Gwel Gen. 11. 3, 4. Psal. 49. 11. Dan. 4. 28—33. Ond i'r gwrthwyneb y bu, canys claddwyd ef â chladdedigaeth drwg-weithredwr, 'mewn ffos fawr yn y coed, ac a osodasant arno garnedd gerrig fawr iawn.' 2 Sam. 18. 17. Gwel Jos. 10. 26, 27. Diar. 10. 7. Jos. 7. 25, 26. a 8. 29.

CYHOEDDWR.

---

*Atteb i Ofyniad Yot, Rhifyn* 77, *tu dal.* 145.

*A ydyw yn addas dywedyd Iehofa mawr? &c. &c.*

Att. Nid wyf fi yn deall fod un anaddasrwydd yn yr ymadrodd 'Iehofa mawr,' a'r cyffelyb; megis, Yr Hollalluog mawr, Y Goruchaf mawr, &c. Ond y maent yn ymadroddion clogyrnog a thrwsgl, canys digon yw dywedyd, Y Iehofa, Yr Hollalluog, Y Goruchaf. Y mae mawredd anfeidrol yn ystyr a golygiad y geiriau hyn fel nad oes dim o eisiau y gair *mawr* i'w chwanegu attynt, oblegyd nid ydynt yn perthynu, ac nis gallant berthynu i neb, ond i'r gwir a'r bywiol Dduw, i'r hwn yn unig y mae mawredd ac anfeidroldeb yn eiddo. CYHOEDDWR.

---

*Cyfieithiad o'r Llinellau Saesoneg, a ymddangosasant yn Rhif.* 70. *tu dalen* 308. '*The children of Israel's Passage out of Egypt.*

MYNEDIAD PLANT ISRAEL, ALLAN O'R AIPHT.

Pan yn ymlidiaw dewisolion Duw,
Y llwythau teg, y cafwyd Aiphtaidd Lyw,
Yn furiau cain, y safai'r dyfroedd crych,
Aruthrawl drem; ymdorchent,—gwyllt eu drych!
Pan gym'rent ffordd trwy'r maith anialwch cras,
Ymdoddai'r creigiau'n lli' o beraidd flas:—
Daioni Hollalluawg, beth a all,
Pan moroedd geir yn furiau cain, diwall,
A'r creigiau celyd, mawrion, erchyll, certh
Yn esgor dylif chweg, —trwy wyrthiawl nerth!

---

ARALL, YN OL RHEOLAU, 'PRYDDEST DDÏODL.'

Pan yr ymlidiai Brenin cyndyn, certh,
Yr Aiphtiaid; ddewisolion lwythau Duw,
'N grisialaidd furiau, safai'r dyfroedd erch,
Aruthrawl wedd, ymdorchent, ceulent, farn:--
Pan drwy y gwyllt anïalwch, Cym'rent ffordd,
Ymdoddai'r creigiau, allan treiglai ffrwd!
Ddaioni Hollalluawg, beth a all
Pan moroedd geir yn galed furiau, cain,
A'r creigiau certh, yn ddylifiadau chweg!

IORWERTH GLAN ALED.

---

COFNODAU CYMDEITHASFA LLANRWST RHAG. 22, 23, 1836.

Gan fod y cyfarfod hwn yn un blynyddol yr Ysgolion, yr oedd yn angenrheidiol defnyddio y cyfarfod cyntaf i hwyluso amgylchiadau y cyfarfod mewn golwg ar hyny. Ac, yn 1. ymofynwyd am gyfrifon yr Ysgolion o'r amrywiol Siroedd, ac o'r Trefydd, a chafwyd hwy o Flint, a Dinbych, a Threfaldwyn; a chafwyd hwy hefyd o Liverpool a Manchester, a Chaerlleon, ond yr oedd, ac y mae Siroedd Mon, a Chaernarfon, a Meirionydd ar ol. Paham a pha fodd ni wn; debygid fod y peth trwy esgeulusdra y cyfarfodydd Misol, neu yr Ysgrifenyddion, neu y Cenhadau. Pa fodd bynag, y mae yn dyrysu Adroddiad cryno y flwyddyn hon etto. Os ceir hwy i law mewn rhyw bryd cyfaddas, anfonir hwy i chwi etto.

Yn 2. Penderfynodd y Siroedd yn un llais ymgymeryd â chynhygiad y cyfeisteddiad yn *Association* Caernarfon, tu ag at Capel Cymreig yn Dublin, yr hyn a ddygir i Ddinbych o'r amrywiol Siroedd. Gan obeithio y bydd trigolion Porthladdoedd y Deheudir hefyd yn awyddus i gynnorthwyo yr un amcan daionus. Fe allai y cofir ef hefyd gan y cyfeillion yn Llundain, Liverpool, a Manchester, a Chaerlleon; os felly, cyflawnir yr amcan yn hwylus a chyflym iawn, ac yr ymgeleddir yr achos yn y fan hono, nes ceir gweled y fechan yn fil, a'r wael yma yn genedl gref.

3. Darllenwyd llythyr oddiwrth frawd parchus yn annog at ryw sefydliad Cenhadol mewn golwg ar y Gwyddelod tlodion yn yr Iwerddon. Yn yr hwn yr haerai fod cyflwr y Gwyddelod yn resynus iawn, fel y maent yn orllawn o egwyddorion pabyddiaeth, heb fanteision i wybod gwell. Ac onid yw yn eithaf rhesymol arfer rhyw foddion er eu lleshad tragywyddol. Dybygid hefyd y byddai yn hawdd sefydlu Cenhadaeth o gylch lled eang mewn golwg ar Iwerddon; ac os ydym yn ddyledwyr i'r Paganiaid ac eulunaddolwyr pellfanau y byd, diameu ein bod i'r Iwerddon; ïe, a'n cig a'n gwaed ein hunain yn Frainc hefyd. Gadawyd hyn dan ystyriaeth y Siroedd hyd Gymdeithasfa Dinbych; sef, A wneir rhyw beth? Pa beth a wneir? A pha fodd y gellir gwneuthur peth a etyb ddiben?

2 o'r gloch. Bu cyfarfod i Athrawon ac Athrawesau yr Ysgolion Sabbathol. Sylwyd gan y Cadeirydd, fod edrych ar y fath lu a'r rhai hyn, yn cyd-weithredu, yn olwg gysurus iawn. Pa faint y lles a wneir ond cael Duw yn blaid? Ond beth yw hyn at yr holl nifer trwy wledydd Cristionogol y byd! With edrych ar gymaint a hyn o weithwyr wedi eu cyflogi, ac wedi eu cymhwyso i ryw raddau at y gwaith; ni feddyliasid ddeugain mlynedd yn ol fod digon o le i gymifer gyd-weithio, ond rhyfeddol y cyflogi fu yn yr awr ddiweddar hon; ac y mae y lles a

---

* Da genyf allu hysbysu fod hyn yn disgyn ar feddyliau amryw, a bod Casgliadau o gryn swm yn debyg o gael ei gwneuthur yn un ymysg ewyllyswyr da. Boneddigesau Dinbych sydd hynod lafurus, a chanmoladwy iawn yn hyn. Casglasant eleni Dros £20 yn ddiboen. YSGRIFENYDD.

wnaed trwy y moddion hyn yn fwy nag y gellir ei fynegi hyd ddiwedd y byd.

I. Sylwyd ychydig ar ddyledswyddau yr Athrawon yn gyffredinol. Peth sydd yn dyrchafu cenedl yn uchel iawn ydyw manteision gwybodaeth gywir am y gwir Dduw. 'Pa genedl mor fawr, a'r hon y mae hyn iddi,' &c. Yr oedd cenedlaeth au mwy mewn llawer o bethau nag Israel, ond yr oedd hyn yn ei dyrchafu hi uwchlaw iddynt oll: a pheth o fawr bwys ydyw gweled gweith y rhagorfraint hon, a'i defnyddio yn deilwng. Peth naturiol i wir wybodaeth am Dduw, ydyw gweithio y dyn i ufudd-dod iddo; a gwybodaeth chwyddedig ac anfuddiol ydyw yr hon ni wna hyny. Y mae dyledswyddau dyn fel creadur cyfrifol i Dduw yn lluosog iawn, ond y mae dyledswyddau neillduol yn perthynu i Athrawon yr Ysgolion Sabbathol fel y cyfryw; sef, gwneuthur ewyllys Duw, a gwasanaethu eu cenhedlaeth yn lledaeniad yr addysg sanctaidd hon yn eu mysg. Tebygol nad oedd yr un Ysgol yn y wedd yma ers talm, ond yr oedd yr addysg yn y teuloedd mor foreu a dyddiau Abraham; ie, y mae yn amlwg ei bod mewn llaweroedd o deuluoedd y crybwyllir am danynt yn yr hanesiaeth sanctaidd. Yr oedd gan Abraham bedwar cant o hyfforddus weision, ac fe allai y meddwl y gair i ryw fesur, eu bod yn hyfforddus yn y wybodaeth am y gwir Dduw.

Peth syn ydyw gweled cynnifer yn y swydd hon; a gellir gofyn gyda syndod yn yr olwg 'Beth a wnaeth *Duw!*' Y mae genym erbyn hyn lawer o bethau nad oeddynt genym ychydig amser yn ol, ond dylem gofio'r perygl i ni dybied fod y gwaith ymhellach ymlaen nag ydyw. Hen ddyledswydd bwysig iawn ar Athrawon yr Ysgolion Sabbathol ydyw llafurio am wybodaeth eu hunain, fel y gallont roddi gwybodaeth i ereill; etto nid ydym i feddwl fod yr Athrawon i ddatgloi holl ddirgelion yr Ysgrythyrau i'r plant, ond y maent i egluro trefn achub hyd yn nod i'r plant bach, gan fod a'u meddyliau yn aros yn ei phethau mawrion fel y byddont ar y bwrdd ganddynt yn wastad yn eu holl ymdriniaeth â hwy. Chwithig iawn yw fod yr Athraw heb wybod, a'r hwn sydd yn dysgu arall heb ddeall, er hyny felly y mae yn digwyddo yn aml yn y byd. A chwithig fyth ydyw gweled Athraw dilafur am wybodaeth; a dirmyg mawr ar Dduw ydyw bod yn ddilafur am wybodaeth dreiddgar a manwl ymhethau goruchel ei air sanctaidd.

Byw yn sanctaidd hefyd ymhob ymarweddiad. Traed prydferth, ac esamplau gogoneddus o flaen y rhai a ddysgir genym yn wastadol. Bod yn ganmoladwy yn mhob man am ymarweddiad prydferth. Gofalu am fod yr holl fywyd yn ol yr addysg, ac yn gefnogiad iddi. Fod yn flaenllaw yn y dyledswyddau a berthyn i ni fel Cristʼnogion. 'Gwadu annuwioldeb a chwantau bydol,' &c. dyma bethau a berthyn i bawb, a dylai Athrawon fod ar y blaen yn hyn. Disgwylid hefyd i Athrawon yr Ysgolion fod yn flaenllaw iawn ymhob ymosodiad yn erbyn llygredigaethau cyhoeddus, megys ymosodiad Cymdeithas Cymmedroldeb, a Chymdeithas Dirwest,† neu lwyr ymattaliad. Ni bu amser mae yn debyg ar y wlad ag annghymmedroldeb mor uchel ei ben ynddi, ag ydyw yn y blynyddoedd diweddaf, ac y mae ymosodiadau cyffredinol cryfion iawn yn ei erbyn y dyddiau hyn, a phwy a ddysgwylid gyntaf, i groesawu'r amcan, ac i bleidio yr ymdrech hwn sydd yn y wlad ond Athrawon yr Ysgolion Sabbathol?

Y mae llawer o bethau, o'u hystyried, yn galw am ofal a phwysigrwydd mawr yn yr holl lafur; megis, gwerth y pethau a ymddiriedwyd i'n gofal——anfarwoldeb yr eneidiau sydd dan ein gofal—Y byd diddiwedd sydd o'n blaen—y cyfrif manwl a raid ei roddi genym—y canlyniad diddiwedd fydd i'r llafur—effeithiau ein llafur yn y byd hwn pan fyddom ni yn y beddau.—Y mae yr holl bethau hyn yn galw am egni a diwydrwydd mawr a manylaidd iawn.

II. Sylwyd ychydig ar y pethau sydd yn tueddu at aflwyddo'r gwaith sydd yn ein dwylaw.

1. Nodwyd fod segurdod yn yr Athrawon, a bod o honynt hwy yn ddilafur am wybodaeth eu hunain, a thywyll am y pwys o roi gwir addysg, fod hyny yn tueddu yn fawr at aflwyddo'r gwaith. Yn lle bod o honynt fel y gwenyn, chwilio a phrofi pob blodeuyn yr haf, fel y llanwont y cwch â mel erbyn y gauaf du a thlawd.

2. Esiamplau croes a roddir—pryd y dylai rybuddio pan fyddo perygl, ac annog at yr hyn sydd dda, ac â'i esiamplau yn cadarnhau hyny oll, ac y mae palldod yn hyn yn aflwyddo'r gwaith.

3. Diffyg gofal teuluaidd am bleidio ac amgeleddu yr addysg hon. Y mae hi i'w magu a'i meithrin, a gofalu am dani yn y teuluoedd, heb hyny y mae yn sychu ac yn gwywo, a thuedd yn hyny i beri gwywdra megys ar yr holl waith i gyd—Trueni

† Arwydd dda dybygid, yw fod yr Arglwydd yn rhoddi hyn ar feddyliau ei bobl, a gwrthyn yw fod neb crefyddol yn sefyll yn erbyn hyn. Er fod llawer o waeleddau yn bod yn y dull yr ymdrechir, megis lled wael yn dywedyd pethau gwael a gelynion yr amcan yn cymmeryd hyny yn ddadleuon i wrthwynebu yr amcan, er hyny y mae yr amcan yn dda, ac ni wna yr erlidiau ond lles, nac ymollyngwn.

Yss.

meddwl am lawercedd o rieni plant sydd fel hyn.

4. Meddwdod ac anghymmedroldeb sydd aflwydd hynod hefyd i'r Ysgol Sabbathol—Dryga hwn y gwaith lawer o ffyrdd. Pâr ddyryswch ar gysondeb dyfodiad yr Athraw i'r Ysgol; a phan ddel, bydd ei galon wedi trymhau a chilio oddi wrth symledd. Tuedda hefyd i beri ffieiddiad ar y gwaith, gan ereill, ïe, i dynu cerydd trwm ymguddiad *Duw* oddiwrthym. Pe ceid holl Athrawon yr Ysgolion Sabbathol yn ddirwestwyr, ni byddai cymmaint ag *amheuaeth* am eu sobrwydd, tra y pharhaent i fod yn gyfryw; ac onid digon priodol ydyw cymell dynion i fyw ar *ddiodydd* yr holl greadigaeth, sef, dwfr a llaeth?

5. Anserchogrwydd hefyd sydd ddyryswch ac aflwydd mawr ar yr Ysgolion. Tân rhyfedd at bob peth ydyw serch, ni ellir trin dau neu dri o blant heb serchogrwydd. Ac y mae angen am hyny i lywodraethu cystal ag i ymgeleddu. Y mae serchogrwydd yn beth y mae ei angen at bob peth, hyd yn nod at drin creadur direswm: peth o werth, ac angenrheidiol hefyd rhwng y bugail a'i braidd, a mwy rhwng meistr a gwas, meistress a morwyn; a'r diffyg o hono rhwng yr Athrawon a'r rhai dan eu gofal sydd ddiffyg mawr, a'i ganlyniad yn hynod o niweidiol.

6. Balchder ac ysgafnder ydynt elynion, a phethau niweidiol iawn i'r gwaith da hwn; y meddwl yn ysgafn a dyeithr i'r pwys sydd yn mhethau Duw, ac yn achubiaeth dragywyddol dynion, nes esgor o hyny ar agweddau gwamal, diofal, a chellweirus, gan anghofio yr angen am yr Yspryd Glan. Y lle mwyaf ofnadwy i fod felly yw tŷ Dduw; a'r gwaith y mae yn fwyaf melldigedig a niweidiol bod felly gydag ef, yw gwaith yr Arglwydd, a gwaeth fyth yw bod felly mewn sefyllfa y bydd dylanwad ein esiampl yn rhwym o effeithio yr unrhyw ar eraill, ac yn gwrthdaro holl amcan yr achos yr ydym gyd ag ef.

III. Rhoddwydd gair o Gyfarchiad i'r holl athrawon, &c. na byddo iddynt ymdawelu ar wastadedd yr Ysgolion heb feddiant iddynt eu hunain o'r iachawdwriaeth dragywyddol, ac heb y fraint o arddel crefydd, a chredu yn Nghrist, a'i broffesu mewn cenhedlaeth wyrog a throfaus. Da ydyw eu gweled gyda'r gwaith, yn trin y Bibl a'r egwyddorion bob Sabbath; ond eu bod heb iachawdwriaeth sydd drwm!! Gwelir hwy yn yr Ysgolion; ond Oh, leied o'r athrawon tirion hyn a welir yn gwneud côf am angau y Gwaredwr wrth ei fwrdd, ac yn selio cyfammod i fod yn eiddo cyflawn iddo!

Dyddiau tywalltiad yr Yspryd a weler yn bedyddio yr holl dorf o athrawon ac eraill filoedd hefyd gyda hwy i fod yn eiddo tragywyddol i Grist, ac yn ffyddloniaid dros ei ogoniant ef ar y ddaear.

Am 8, Yr ail dydd, 1. Sylwyd ar sancteiddhad. Yn benaf, yr angen am sancteiddrwydd. Wrth sancteiddio weithiau y dyellir neillduad at bethau sanctaidd. Ond yn benaf arwydda sancteiddrwydd duedd at ddaioni, a'r holl egwyddor o dduwioldeb. Y mae sancteiddrwydd yn gweddu i grefydd yn wastad, yn beth uchel yn y Bibl, ac i fod yn addurn ar holl bethau gwasanaeth Tŷ yr Arglwydd.

2. Y mae yr hyn yw Duw yn profi yr angen am sancteiddrwydd. 'Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi,' sancteiddrwydd ydyw gogoniant yr holl ddaear, a delw hyfryd yr holl nefoedd. Gogoniant Duw, a'r hyn a'i gwna yn hyfryd i ddynion feddwl am dano ydyw ei sancteiddrwydd; heb hyny buasai Duw yn un ofnadwy i feddwl am dano. Er fod yr Arglwydd yn ofnadwy mewn mawredd, ac yn ei gosbedigaethau hefyd; etto am ei fod yn sanctaidd, ni wna ond yr hyn sydd dda.

3. Dyma ddiben holl geryddon Duw ar ei bobl, sef ei sancteiddio, Heb. 12. 10. 11. Hyn ydyw y nod mawr y mae tuedd holl oruchwyliaethau Duw yn nhrefn achub yn cyrchu atto. *Ethol* fel y byddem yn sanctaidd. Eph. 1. 4. *Prynu* fel y sancteiddiai efe hi. Eph. 5. 25, 26. *Rhoddi y gair* er sancteiddiad pechaduriaid. Ioan 17. 17., &c. *Eiriol* yn y nef er sancteiddiad. Ac y mae hyn oll yn dangos yr angen am y sancteiddiad hwn.

4. Dedwyddwch dyn ydyw bod yn sanctaidd. Dedwyddwch penaf Adda yn ei greadigaeth oedd ei sancteiddrwydd; a phan y collodd ef ei sancteiddrwydd, dyrysodd ei holl ddedwyddwch. Cyffelyb ydyw yn yr ailenedigaeth ar ddyn. 'Adnewyddu yn ol Delw Duw.' Col. 3. 10. h. y. mewn sancteiddrwydd.

5. Gwelir yr amlygiadau o sancteiddrwydd Duw yn ei ddeddf ogoneddus; ac ni all yr anghydffurfiad o hono fod o *ychydig*, ond o fawr bwys; yr hyn a ddengys yr angenrheidrwydd am sancteiddrwydd.

6. Y mae hyn yn ddymuniad yr holl saint, sef bod yn lân, Salm 50. 'Calon lân,' yspryd uniawn, golch fi yn llwyr ddwys, glanha fi oddi wrth fy mhechod, &c. Y mae yr egwyddor o sancteiddrwydd sydd ynddynt yn sychedu am y perffeithrwydd o hono; a'r cariad at Grist a'i ddelw yn ennyn ynddynt hiraeth dwys am ei ddelw yn berffaith arnynt. 'Hyd at adgyfodiad y meirw.' 'Cyd-ffurfio â'i farwolaeth ef,' oedd gan Paul yn ddymuniadau, Phil. 3. 'Ac ni byddant wrth ei bodd hyd nes cant ei weled ef megis ag y mae, a bod yn debyg iddo.' 1 Ioan 3. 1. 'A'u digoni a'i ddelw ef.

7. Y mae holl drefn yr oruchwyliaeth seremonïol yn dangos hyn. Y mynych olchi, a'r mynych daenellu, ynghyd a'r aberthu dros lanhad. Yr holl ddeddfau ynghylch y gwahanglwyf, a'r dyferlif, a chyffwrdd â chorph marw, &c. Y dwfr yn

y babell a'r Deml hefyd, oll yn cyd ddangos yr angenrheidrwydd am sancteiddrwydd. Rhaid fod yr holl seremoniau hyn yn bentwr o wagedd, neu fod eu harwyddocâd yn beth o bwys, a'u sylwedd yn werthfawr.

8. Y mae glendid yn angenrheidiol at gysur ac iechyd ysprydol, ac anhepcorol angenrheidiol i fwynhau cymdeithas â Duw. 1 Ioan 1. Fel y mae aflendid tymhorol yn afiachus, felly hefyd yn ysprydol. Y mae clefyd o euogrwydd, &c. yn llenwi yr enaid, ac nid hyny yn unig, ond y mae sancteiddrwydd yn harddwch penaf a all fod ar greadur.

9. Y mae cynnwysiad addewidion Duw, a'r aml anogaethau sydd yn yr ysgrythyrau sanctaidd yn dangos yr angen am dano; megis taenellaf arnoch ddwfr glân. &c. Ezec. 36. 25. A chan fod genym yr addewidion hyn, ymlanhawn. 2 Cor. 7. 1. Dylem gofio mai y sancteiddydd yw yr Yspryd Glan; a bod holl sancteiddrwydd yr Eglwys yn Nghrist, i'w gael trwy undeb a chymdeithas ag ef. Efe yw y ffurf ogoneddus y codir yr Eglwys byth yn debyg iddi; trwy ei Iawn ef y cafwyd llwybr at yr aflan, ac y sicrhawyd y fendith hon i bechaduriaid. Yn ei farwolaeth ef y ceir angau i bechod, ac yn ei fywyd ef y ceir yr anogaethau cryfaf i sancteiddrwydd.

Un arwydd o hono ydyw *syched* am dano; a'r peth y mae y saint yn dymuno'r nefoedd gymmaint ydyw er mwyn bod yn sanctaidd. Ni allwyd ymhelaethu am fod yn rhaid agor y Capel yn brydlon, o herwydd oerder y tywydd. Da oedd i ni fod yno. J. FOULKES.

## Llythyrau, &c.

Anwyl a Pharchedig Frawd,—Mae yn debyg y byddai yn dda gan lawer, yn gystal a chenyf fi fy hun, weled dosparth o bob Rhifyn o'r Drysorfa, dan y dynodiad GWEDDILLION YR HYNAFIAID; yn cynnwys llythyrau, a rhyw gofion eraill, o'r eiddo ac am ein hen Dadau enwog, y rhai ydynt heddyw yn huno yn dawel yn llŵch y bedd, ac heb hanner y coffa am danynt a ddylai fod. Fel dechreuad o'r cyfryw ddosparth, dyma i chwi lythyr a ysgrifenwyd gan y diweddar Barch. Daniel Rowland, gynt o Langeitho: os bernwch ef yn addas i'r Drysorfa, fel darn o weddillion un o'r Hynafiaid, mae at eich gwasanaeth; a gall daflu peth golau ar symmudiadau y gwr rhyfeddol hwnw, yn more ei weinidogaeth, a chyn ei sefydliad mae yn debyg yn Llangeitho. Cafwyd hyd iddo yn ddiweddar gan ferch ieuanc, gorwyres i Mr. Rowland, yn meddiant cangen arall o'r teulu, ger llaw yr Amwythig: Saesoneg yw y cysefin; cymmerodd y foneddiges ieuanc uchod adysgrif o hòno, ac o'r adysgrif hòno cymmerais innau y cyfieithiad hwn, trwy ei chaniatâd hi a'i rhïeni. Dyddiad y llythyr yw 1742; ac wrth gymharu y dyddiad uchod âg oedran Mr. Rowland yn marw, 77, yn y flwyddyn 1790; rhaid mai tua 29 oed oedd efe, pan ysgrifenodd y llythyr hwn. Yr oedd yn ei ddanfon at ryw wraig grefyddol o'r enw Mrs. James, yn Abergafeni; ac yn hanes y Parch. Mr. Whitfield, ni a gawn y gwr enwog hwnw yn ymbrïodi â rhyw Mrs. James o'r dref uchod, yn 1741; (Gwel Trysorfa, Llyfr ii. tu dal. 287.) a chan fod dyddiad y llythyr hwn y flwyddyn ar *ol* hyny, ac eto at Mrs. *James*, efallai mai rhyw un arall, o'r un enw, oedd Mrs. James hon: cyd-chwaer yn ngyfraith, efallai, â'r weddw a brïododd Whitfield.—Ydwyf, yr eiddoch, Anwyl a Pharchedig Frawd,

JAMES HUGHES.

*Llundain, Ebrill*, 16, 1837.

---

Anwyl Chwaer,—Mae yn ofid calon genyf nas gallaswn ddanfon atoch yn gynt: dirfawr brysurdeb gyda phethau eraill a'm lluddiodd; o gobeithio y maddeuwch i mi. Nis gallaf lai na diolch i chwi, am y llês a dderbyniais (trwy Dduw) wrth eich adroddiad chwi o'ch profiadau: gobeithiaf fod yr Arglwydd yn eich galluogi chwi i fyned yn mlaen fwy-fwy; ïe, yr wyf yn gobeithio yn wir, eich bod chwi yn cael eich porthi yn feunyddiol â'r manna ysbrydol, yr hwn sydd yn dyfod i waered o'r nef; ac eich bod mewn mesur rhyfeddol wedi profi fod yr Arglwydd yn dda i chwi. Pan gefais i yr hyfrydwch o'ch cyfeillach, nis gallaswn gael lle ynof fy hun i'ch beio chwi yr holl amser; am y gwelwn eich bod chwi yn fwy *selog* nâ mi, ac yn golygu gogoniant Duw yn fwy: pa fodd bynag, nis gallaswn foddloni fy hun am eich gwaith chwi yn dàl allan; yr oeddwn yn ddrwgdybus o ryw bechod dirgel; ond pan feddyliwn am rad ras, a thragywyddol gariad Crist, nis gallaswn lai na cheryddu fy hunan am y cyfryw ddrwg-dybiaeth. Yr wyf yn gobeithio, fy anwyl anwyl chwaer, na wnâ hyn eich digio chwi: yr wyf yn agoryd fy nghalon; yr wyf yn eich caru chwi yn anwyl yn Nghrist Iesu. Gobeithio bod eich gweddïau chwi drosof fi hefyd; yr hwn wyf y llai nâ'r lleiaf o weinidogion Crist. Mae fy enaid mewn undeb â chwi: boed i'r Arglwydd chwanegi y cariad hwn fwy-fwy.

Nis goddefir i mi aros yn hwy yn *Ystradffin*: traddodais yno fy mhregeth ymadawol, ar Act 20. 32. Cyrhaeddodd eu calonau yr wyf yn meddwl; y fath lefain ac wylo ni chlybuwyd mewn unrhyw angladd, o fewn cof dynion. Boed i'r Arglwydd wrando eu cri hwynt, a danfon iddynt weinidog doniol a nerthol; yr hwn a gyfrana iddynt air y gwirionedd megis y mae yn yr Iesu. Yn awr yr wyf i ymsefydlu yn *Llanddewi-brefi*, yr hon sydd eglwys fawr, ac a gynnwys amryw filoedd o ddynion. Daw amryw o'm Cymunwyr yn *Ystrad-ffin*

drosodd yno, i ymuno â ni ddiwedd y mis nesaf.

Am achos eich enaid chwi, gobeithio ei fod yn ddiogel, ie yn eich golwg chwi eich hun; os nad yw, os ydych chwi yn eich cael eich hun yn glaf, mae Iesu yn *Feddyg*;—os yn aflan, mae efe yn *Sebon*; (Mal. 3. 2) —os yn ddigysur, mae efe yn *Falm*;—os yn gondemniol gan y ddeddf, mae Crist yn *Eiriolwr gyda'r Tad*: am hyny bwriwch eich hunan yn hollawl arno ef, deued bywyd neu deued angau. Byddwch yn aml wrth orsedd gras: ac attolwg cofiwch yn fynych, ie attolwg meddyliwch, am dano ef yr hwn yw.—Eich ufudd a gostyngedig was, a'ch anuheilwng frawd,

DAN. ROWLAND.

At Mrs. James, i'w adael yn ei thy hi yn Abergafeni, Arysgrifwyd hyn, Parch. Dan. Rowland, 1742.

---

## Y WYDDELAEG.

Barchedig Syr,—Erfyniaf am eich hynawsedd tra yn cynnyg diwygio rhai camgymmeriadau yn eich Rhifyn am Dachwedd diweddaf. Mae yr hyn y cyfeiriwyf atto wedi ymddangos o barth i'r Iaith Wyddelaeg. I'r dyben o arbed meithder ac efelly o roi lle i destynau mwy derbyniol gan y cyffredinolrwydd o'ch darllenyddion mi a gaf grynhoi fy sylwadau cyn fyred ag y gallwyf.

(1) Nid yw fy nghyfaill Mr. R. Williams yn unigol pan y dywed 'fod y fath agosrwydd rhwng y Gymraeg a'r Wyddelaeg fel na byddai y draul ond ychydig a'r amser ond byr i ddysgu yr Iaith.' Mae hyn wedi ei haeru gan lawer; ond, fel y meddyliwyf, gan rai a adawent i syniadau y cyffredin dueddu eu barn yn lle chwilio i mewn i ansawdd a chyfansoddiad yr Ieithoedd dan sylw. Gallaf ddywedyd yn eofn nad yw y tebygolrwydd rhwng y ddwy Iaith nemawr agosach os dim na'r hyn a ganfyddir rhwng y Groeg a'r Lladin, ac ettoni ddywedai neb fod yr wybodaeth o un o'r Ieithoedd *hyn* yn hyrwyddo y ffordd i ddysgu y llall.

Yn yr adnodau a ddyfynwyd gennych o ddechreuad yr Efengyl yn ol St. Ioan nis gallaf ganfod onid deuddeg neu 13 o eiriau (heblaw y rhai a ailadroddir) ag sydd yn gyffredin i'r Gymraeg neu yn honni hawl i'r un Tadogaeth yn y ddwy Iaith—a llyma hwynt, *Ann*—yn; *bhi*—bu; *Dia*—Duw; *Air*—ar; *huile*—oll; *e*—efe; *ni*—ni; *beatha*—bywyd; *duine*—dyn; *ainm*—enw; g-*creidfidis*—credai; *thrid*—trwyddo; *firinneach*—gwirionedd.

Yn yr un adnodau yn y cyfieithiad Lladin a elwir y cyffredin (*Latin Vulgate*) mi a welaf ddeg o eiriau yn dal y berthynas a grybwyllwyd â'r Groeg. Yn ngweddi yr Arglwydd megis ag ei gosodir i lawr yn St. Matt. 6. 9—13. ni a welwn naw o eiriau yn y cyfieithad Lladin yn dwyn perthynas agos efo'r Groeg, tra yn yr un adnodau yn y Testament Gwyddelaeg nid oes onid pedwar (neu bump o'r mwyaf) yn tarddu o'r un gwreiddyn a'r Gymraeg. I'r dyben o osod hyn allan yn eglur mi o ddyfynaf yr adnodau gan nodi y geiriau hyny mewn llythyrenau Italaidd:—

Ar nathair atá ar *neamh*, náomhthar *thainm*, tigeadh do rioghacht, deuntar do *thoil* ar an tlalamh, mar do nithear ar neamh. Ar narán laethamhail tabhair dhúinn a niugh. Agus *maith* dhúinn ar bhfiacha, mar mhaithmidne dar bhfeitheamhnuibh (fein). Agus *na* leig sinn a ccáthughadh, achd saor inn ó ole. Amen.

(2) Nid cywirdeb ychwaith ydyw dywedyd mai Saeson oeddynt awduron y sillebiaeth a ddefnyddir yn y Testament Gwyddelig, oblegid gwyddys yn dda, fod yr enwogion Bedell a Daniell yn cael eu hyfforddi yn y gyfran hon o'r gwaith pwysig, yn gystal ac yn nghyfansoddiad a chystrawen yr Iaith ganddynt awdwyr ag oeddynt frodorion o'r Iwerddon. Dylasid dywedyd yn hytrach fod y sillebiaeth dan sylw yn briodol i'r Iaith er pan daeth yn wrthrych coleddiad dysgedigion. Mi a welais fy hun yr un drefn o sillebu mewn ysgrif Lyfrau Gwyddelig ag ynt uwchlaw 400 o flynyddoedd oed—a rhai o rhai hyn yn honni bod yn adysgrifenadau o'r hyn a gyfansoddasid tu a'r chwechfed ganrif. Nis gwn i am un 'fantais a darddai i'r Gwyddelod hyd ddiwedd y byd (!) pe buasai Cymro yn sillebu eu Bibl hwynt.'—namyn gwrthino eu hen Iaith glodwiw.

(3.) Nid cywir ydyw dywedyd nad oes un sain yn y Wyddelaeg nad oes llythyren yn Gymraeg yn atteb i'r sain hwnw. Heb grybwyll am lawer o'r llafariaid cyfansoddedig (*Diphthongs* & *Triphthongs*) seiniau pa rai sydd ammhosibl cyrhaeddyd iddynt yn gywir heb gydymddiddan dros ryw amser a'r brodorion. Nid oes un o'r llythyrenau Cymreig yn atteb yn gyfiawn i *d* a *t* y Wyddelaeg, rhyw fath o gymmysgedd ydyw y gyntaf o sain *d* a *dd* yr ail o *t* a *th*.

Cynnygiaf yn nesaf rai cyfarwyddiadau tuag at seinio y llythyrenau mewn perthynas i ba rai yr ydych naill ai yn cyfeilorni neu ynte yn petruso.

*Bh* ac *mh* pan yn dyfod o flaen neu ar ol y llafariaid *a o u* a seiniant megis *w*; *a bhad*-a wawd-dd (ei Fâb,) *du mhadadh* d-ddu wod-ddw (dy gi).

Ond pan ddeuant o flaen neu ar ol y llafariaid *e* ac *i* seinir hwynt megis *f* Gymraeg —*bhidheas*-fivs (buais h. y. bûm) *a mhian* a fi-an (ei ewyllys.)

*Dh* ar ddechreu gair neu sill ac o flaen un o'r llafariaid *a o u* a seinir megis *ch* Gymraeg ond ychydig yn llarieiddiach—*dhosan*, chosan (iddo ei hun)

Ond o flaen un o'r llafariaid eraill seinir hi megis *i* Gymraeg—*mudheoin*—my-io-in (fy ewyllys).

*Dh* ar ddiwedd gair neu sill, ac ar ol un o'r llafariaid *e i*, a seinir megis *i* Gymraeg —*deanfaidh sé* i-an-ffw-shê (efe a wna.)

*Gh* ar ddechreu gair neu sill a seinir megis *dh* yn yr un sefyllfa—ond ar ddiwedd gair neu sill y mae yn ddistaw, fel y dywed Grammadegwyr, h. y. ni seinir mo honi.

Yr oeddwn yn meddwl cynnyg rhai hyfforddiadau i'r gwyr ieuaingc hyny ag ynt wedi ymgynnyg i gludo cenhadaeth hedd i blith y Pabyddion tywyll, yn fwyaf neillduol mewn perthynas i'r ffordd oreu a rhataf o ddyfod yn gyfarwydd â'r Iaith Wyddelaeg, ond mae arnaf ofn fy mod wedi blino eich amynedd yn gystal ac eiddo eich darllenwyr eisoes. Os gallaf mewn un modd rwyddau eu llwybr—yr ydwyf yn dra adnabyddus â'r Ysgolheigion Gwyddelig goreu o'r oes—bydd yn ddywenydd genyf wneuthur hyny.

Terfynaf trwy ewyllysio pob llwyddiant idd eich Cylchgrawn buddiol, ac ydwyf yr eiddoch yn ddiffuant, D. E. J.

*Llanafan, Chwef.* 20, 1837.

---

ADOLYGIAD Y WASG.

'*Buch-draeth y Parch. George Whitfield, A.C. wedi ei gyfieithu gan Glan Pherath, a'i gymeradwyo gan y Parch. J. Hughes, Pont Robert.*'

Anwyl Syr,—A fyddwch chwi mor fwyn a chaniatau i mi ryw gongl fechan o'r Drysorfa i alw sylw eich darllenwyr at y llyfryn uchod? Nid wyf yn gwybod pa fodd y gallant dreulio chwe cheiniog o'u harian, ac awr neu ddwy o'u hamser yn well na thrwy ei brynu a'i ddarllen. Gallaf sicrhau na fydd yn edifar ganddynt. I'r gwrthwyneb, os cymerant ond digon o hamdden i edrych dros ran o hono, diau genyf na fyddant yn foddlawn heb ei ddarllen i gyd, a'i ddarllen hefyd yn fynych. Yr wyf yn deall fod y cyfieithydd yn un o bregethwyr y Trefnyddion Calfinaidd, ond oblegid rhyw resymau anadnabyddus, nid yw yn dewis i ni wybod mwy am dano ei hun na'i fod yn byw yn rhyw le tua glan Euphrates. Beth bynag am hyny, y mae wedi ysgrifenu y llyfryn hwn mewn Cymmraeg led esmwyth a rhwydd; ac nid yw hyn yn ychydig o ganmoliaeth, oblegid y mae cyfieithu yn dda yn un o'r pethau mwyaf anhawdd.

O ran ei gynwysiad, nis gallai dim fod yn fwy dyddorol. Whitfield! Yr anfarwol Whitfield! A oes neb gwir grefyddwyr yn Nghymmru nad ydynt yn teimlo eu calonau yn llosgu ynddynt wrth edrych ar ei enw? Os oes, nis gallant fod yn gwybod ond ychydig am dano. A pha beth a wnaeth y gwas hwn i Grist mor enwog mewn defnyddioldeb? Nid helaethrwydd gwybodaeth, ac nid grym cynneddfau eneidiol. Yr oedd llawer yn rhagoru arno yn hyn. Nis gellir gwadu nad oedd yn meddu ar gymwysderau naturiol i fod yn areithiwr hyawdl; ond ei fawr ddefnyddioldeb a darddai yn benaf oddiwrth ei hollol ymgyflwyniad i waith Duw, a'i hollol ymddibyniad ar Dduw. Nid oedd ganddo amser na thuedd i feddwl am enw a phlaid iddo ei hun. Ac er cymaint ei lafur wrth bregethu i'w gyd-ddynion, nid llai oedd ei ymdrech gyda Duw drostynt. Os bydd neb o weinidogion yr efengyl yn teimlo eu hunain un amser yn marweiddio gyda gwaith yr Arglwydd, darllenent hanes Whitfield.—Yr eiddoch, L. E.

*Bala, Ebrill* 18, 1837.

---

## Hanesiaeth Cenhadol.

Dydd iau, Mai 11, cynnaliwyd cylchwyl flynyddol Cymdeithas Genhadol Llundain, yn Llŷs Exeter, T. Wilson, Ysw. yn y Gadair. Yr oedd y cyfarfod hwn yn ddwbl, sef yn y Llŷs uchaf, a'r Llŷs isaf, a'r ddau yn llawn hyd y gannent. Dyma y 43ain gychwyl flynyddol y Gymdeithas hon.

Darllenodd y Parch. W. Ellis dalfyriad o'r Adroddiad. Yma y canlyn nifer sefyllfannau y Cenhadon yn perthyn i'r Gymdeithas yn amrywiol barthau y byd, lle y mae y Cenhadon hedd yr awr hon yn llafurio.

| | Y sefyllfanau. | Y Cenhadon. | Y Cynnorthwywyr. |
|---|---|---|---|
| Ynysoedd Môr y de - - - | 50 | 21 | 70 |
| Yr India tu draw i'r Ganges | 5 | 7 | 5 |
| Yr India Ddwyreiniol - - | 310 | 36 | 375 |
| Rwssia - - - - - - - - | 3 | 4 | 1 |
| Môr y Canoldir - - - - | 1 | 1 | 0 |
| Affrica a'i hynysoedd- - - | 31 | 29 | 21 |
| Yr India Orllewinol - - - | 28 | 16 | 10 |
| Y cyfanswm - - - - | 428 | 114 | 482 |

Anfonwyd allan gan y Gymdeithas yn nghorph y flwyddyn 16 o Genhadau a'u teuluoedd heb gyfrif y plant. Nifer yr Egiwysi a gyfodwyd dan olygiad y Gymdeithas ydynt 84. Nifer yr aelodau 6,615. Yr ysgolheigion yn ei hysgolion 34,222: sef ychwaneg nag oedd yn y flwyddyn o'r blaen o 10 o eglwysi; 1,376 o aelodau; a 4,621 o ysgolheigion.

Swm yr holl arian a dderbyniwyd o bob man yn y flwyddyn ddiweddaf yw £64,372. 16s. 5c. sef chwaneg na'r flwyddyn o'r blaen o £11,507. 13s. 6c. Yr arian a dreuliwyd yn y flwyddyn oedd £63,160. 9s. sef chwaneg na'r draul y flwyddyn o'r blaen o £2,533. 0s. 7c.

Areithiodd ar yr achlysur, y gwyr canlynol, James Montgomery, Ysw. Y Parch. C. Mead, o Travancore, Cadpen Fitzroy, R. N., Y Parch. E. Crisp, Cenhadwr o'r India, C. Lushington, Ysw. M.P. Y Parch. J. Freeman, Cenhadwr o Madagascar, Jan Tzatzoe, o Affrica, a areithiodd yn ei iaith anedigol, a'r Parch. Mr. Read yn cyfieithu o ddarn i ddarn, fel yr oedd efe yn myned ymlaen, y Parch. W. H. Medhurst, o China. Y Parch. J. Williams, y Cenhadwr o Ynysoedd môr y de. Yna canwyd mawl i'r Drindod, a dybenwyd y cyfarfod, gyda llawenydd a boddlonrwydd mawr iawn.

## MADAGASCAR.*

### *Cenadwriaeth oddiwrth Frenhines Madagascar at Frenin Brydain.*

Yn ddiweddar anfonodd Brenhines Madagascar Genadwriaeth at Frenin Brydain, yn arwydd o barhad heddwch, ewyllys da, a masnach rhwng y ddwy deyrnas.

Mae yn hysbys i rai o'n darllenwyr ddarfod i Lywodraeth Brydain wneud cyttundeb â Radama, diweddar Frenin Madagascar, os byddai iddo ef roi i fynu Gaethfasnach, y gwnai Brenin Brydain ddanfon rhodd flynyddol i Frenin Madagascar tuag at ei ddigolledu ef drwy attal y fasnach felldigedig. Ac felly fu tra bu y Brenin byw. Ac wedi marw y Brenin, ac i'w weddw ef, Ranavalomanjaka, gael dyfod i lywodraethu yn Madagascar, hi a wrthododd y rhodd.

Yn agos i'r un amser hefyd darfu i'r Frenhines wrthod gadael i Oruchwyliwr Brytanaidd breswylio yn ei Llys. Y cyfnewidiadau hyn yn Llywodraeth Madagascar, a barodd leihad ar gyfeillach a masnach rhwng y ddwy deyrnas, ragor oeddynt yn nyddiau y Brenin Radama.

Ac i chwanegu yr oerfelgarwch rhwng y ddwy wlad yn fwy fyth, darfu i lywodraeth Madagascar, fel y gwyr amryw o'n darllenwyr, yn y flwyddyn 1835, roi llwyr attalfa ar broffes o Gristionogaeth ymhlith y trigolion, yr hyn a effeithiodd i beri i'r holl Ewropëaid fyned allan o'r wlad, gan roddi pen ar lafur y Cenhadon ar unwaith drwy luniad cyfreithiau caethion, gorthrymus, ac erlidgar.

Oddiar yr ystyriaethau o'r pethau hyn, mae lle i feddwl fod y Frenhines, ar ol iddi ymwrthodd â threfniadau llywodraethol Radama, ar ba rai yr oedd undeb a chyfeillach yn sefyll rhyngddo ef a Llywodraeth Brydain, wedi barnu y byddai yn fuddiol anfon Cenadwriaeth at Frenin Brydain i arwyddo ei bod yn ewyllysio cael ei hystyried fel un yn parhau i barchu Brenin Brydain, ac yn dymuno cynnal i fynu gyfeillgarwch a masnach â'r deyrnas hon.

Y Genadwriaeth yn cynnwys chwech o Swyddogion yngwasanaeth y Frenhines, a adawsant Tamatawe, prif ddinas Madagascar, yr haf diweddaf, i gychwyn tuag yma. Cyflogodd y Frenhines Lestr o Ffrainc o'r enw Mathilde, Cadpen Garnot, i ddwyn y Swyddogion hyn i Loegr a Ffrainc, ac yn eu hol. Cyrhaeddodd y Genadwriaeth Ynys Mauritius yn nechreu mis Hydref. Cawsant dderbyniad croesawgar gan Syr William Nicolay, y Llywydd; ac wedi aros yno ychydig hwyliasant ymlaen i Cape of Good Hope, lle y derbyniwyd hwynt yn barchus gan y Llywydd, Syr B. D. Urban.

Gadawsant y Cape, a hwyliasant i Havre de Grace, o'r lle y cludodd Cadpen Garnot hwynt mewn Agerdd Long i Loegr; a chyrhaeddasant i Lundain yn mis Chwefror diweddaf, ac a wnaethant eu trigfod yn Hotel Radley.

Wedi iddynt gael cyd-ymweliad â'r gwir Anrhydeddus Is-Iarl Palmerston, Prif ysgrifenydd Tramor ei Fawrhydi, dygwyd hwynt o flaen y Brenin, mewn cyfarfod yn Llys St. James, ar y dydd cyntaf o Fawrth. Yn yr amser y buont yn Llundain fe'u harweiniwyd i weled amryw o'r Prif Weithfaoedd, a rhyfeddodau y ddinas. Aeth y Cenhadon a fuont drosodd yn Madagascar, ac sydd yn awr yn Lloegr, gyda hwynt i'r gwahanol sefydliadau yn Llundain. Hwy gawsant barch a bri a charedigrwydd mawr iawn yn y Brifddinas, a hwy a ddangosasant eu bod yn dra diolchgar am yr anrhydedd, a'r sylw a gawsant gan bawb lle y buont.

Dydd llun, Mawrth 6, hwy a fuont mewn Cyfarfod Cyfeisteddwyr y Gymdeithas Genhadol, a gynnaliwyd yn Nhŷ y Genhadaeth, Llundain, lle y gwnaeth W. A. Hankey araeth o gyfarchiad parchus iddynt ar ran Swyddwyr y Gymdeithas; hwythau a'i hattebasant ef mewn araeth fer i'r perwyl: Mr. Freeman yn cyfieithu rhyngddynt.

Dydd mawrth, Mawrth 7, cawsant fyned i gymdeithas y Brenin yn Windsor, a'r Parch. Mr. Freeman gyda hwynt i gyfieithu, ar archiad arbenig ei Fawrhydi, yr hwn yn y cyfamser a wnaeth anrheg i'r Brenin o Fibl cyfan yn Madagascaraeg, yr hwn a gyfieithwyd gan y Cenhadon, ac a argraffwyd yn Argraffwasg y Genhadaeth yn Madagascar.

Derbyniodd y Brenin yr anrheg gyda pharch addas i'r Llyfr Dwyfol, yn y fath fodd, fel nad allai y Boneddigion tramor beidio canfod y bri oedd Brenin Brydain yn ei roi ar y Bibl, ac ar lafur y Cenhadon yn ei gyfieithu ef i iaith ddieithrol Madagascar.

Dyg y Brenin Foneddigion y Genhadwriaeth dan sulw y Frenhines, yr hon a'u cyfarchodd hwynt mewn modd urddasol a charedig. Ac wedi hyny wrth dramwy drwy barthau o'r Castell, hwy a gawsant yr anrhydedd o gyfarfod y Frenhines drachefn, yr hon yn ostyngeiddiaf a safodd i ymddyddan â hwynt, a chan ei bod yn gwybod, er i lawer gael eu dysgu gan y Cenhadon yn y grefydd Gristionogol yn Madagascar, etto o herwydd cyfraith orthrymus y

---

* Ynys fawr, perthynol i Affrica yw Madagascar, yn sefyll 120 milldir i'r Dwyrain oddiwrth Gyfandir Affrica. Mae hi yn 900 o filldiroedd o hyd o'r Gogledd i'r Dê, ac o 200 i 300 o filldiroedd o led. Mae y trigolion yn dal, ac yn heirdd o gorpholaeth, ac o liw tywyll, a rhai o honynt yn lled dduon.

Gwelir yma liaws mawr o locustiaid, a crocodiliaid, cameleoniaid, a chreaduriaid ereill naturiol i Affrica. Yr helaethrwydd a'r amrywiaeth o ymborth o bob math, y rhai a ddichon i hinsawdd hyfryd a thir ffrwythlawn eu cynnyrchu, ydynt mor ragorol yn Madagascar ag mewn un rhan o wyneb y ddaear. Mae y trigolion oll yn baganiaid, oddigerth ychydig nifer a oleuwyd drwy offerynoliaeth y Cenhadon tra fuont yn eu plith.

Frenhines, nad oedd neb, yn awr, o drigolion Madagascar yn cael cymmaint a phroffesu Cristionogrwydd, ei Mawrhydi y Frenhines a gyfarchodd Foneddigion y Genadwriaeth, gan ddywedyd, 'Dywedwch wrth Frenhines Madagascar oddiwrthyf fi, na ddichon iddi wneuthur dim mor fuddiol i'w gwlad, a derbyn y Grefydd Gristionogol.'

Dydd mercher, Mawrth 8, ciniawodd y Genadwriaeth gydag Arglwydd Palmerston: a chiniawodd gyda hwynt, Cadpen Garnot, y Parch. W Ellis, Ysgrifenydd tramor y Gymdeithas Genhadol, a'r Parch. J. J. Freeman, diweddar Genhadwr i Madagascar.

Gobeithir yn ddifrifol y bydd i ymweliad y Genadwriaeth i Frydain droi allan yn y canlyniad, i balmantu y ffordd i ailddderbyniad y Cenhadon yn Madagascar. Nid oes dim modd i aelodau y Genadwriaeth anghofio iddynt ganfod y fath fri, mawredd, a chyfoeth yn y wlad hon, ac wedi dychwelyd o honynt i'w gwlad, nis gallant lai na thaenu ar led drwy yr holl Ynys, y fath bethau a welsant, a'r fath barch a charedigrwydd a gawsant yn Mrydain. Ac yr ydym yn hyderu y bydd i'r pethau hyn godi awydd yn llywodraeth yr Ynys fawr hono am gynnal cyfeillach a masnach mwy bywiog a helaeth â Brydain fawr—ac y bydd iddynt groesawi Cristionogaeth fel ffynnonhell dedwyddwch a mawredd gwladwriaethol—ac y bydd iddynt ddiddymu y cyfryw arferiadau gwrthryfelgar a barbaraidd, y rhai yn y dyddiau hyn a barant i Madagascar gael ei llenwi a chreulondeb, dychrynfeydd, a brawiau, digon i beri natur arswydo.

O na bai Cristionogion ymhob gwlad yn cyd-weddio am i Dduw agoryd drws helaeth i weinidogion yr Efengyl gael rhyddid etto i dramwy yr Ynys, ac i gyhoeddi Efengyl hedd, nes bydd yr holl eilynod yn cwympo i'r llawr, a phechaduriaid yn cael eu hachub wrth y miloedd.

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

### CYLCHWYLIAU BLYNYDDOL

*Y Cymdeithasau Crefyddol, yn Llundain.*

Dydd llun, Mai 1, cynnaliwyd cylchwyl flynyddol corph y Wesleaid yn Llys Exeter, Syr Andrew Agnew, M. P. yn y Gadair.

Yr un dydd cynnaliwyd y 40fed gylchwyl flynyddol Cymdeithas Genhadol Gartrefol y Bedyddwyr, yn Nghapel Finsbury, Mr. Hindley, M. P. yn y Gadair.

Dydd mawrth, Mai 2, cadwyd 23in cyfarfod blynyddol Cymdeithas y Bedyddwyr i addysgu y Gwyddelod, yn Nghapel Finsbury, J. Freeman, Ysw. yn y Gadair.

Yr un dydd, yn yr hwyr, cadwyd y 12fed cyfarfod blynyddol Cymdeithas Addysg Cristionogol, yn Nghapel Finsbury, Syr Culling Eardley Smith, Barwnig, yn y Gadair.

Dydd mercher, Mai 3, cadwyd y 33in gylchwyl flynyddol y Bibl Gymdeithas yn Llys Exeter, Arglwydd Bexley yn y Gadair. Ar bob llaw i'r Cadeirydd anrhydeddus yr eisteddai Iarll Lifford, Iarll Chichester, Ardalydd Cholmondeley, Arg. Morpeth, Arg. Teignmouth, Arg. Mountsandford, Arg. Glenelg, Iarll Harrowby, Arg. Maidstone, Esgob Winchester, Esgob Caerlleon, Esgob Chichester, Esgob Ripon, Dean Ardagh, J. Hardy, Ysw. M. P. Y Parch. Dr. Bennett, Dr. Reed, Dr. Morrison, Dr. Philip, Dr. Bunting, Y Parchedigion Cunningham, Morell, Pratt, Jowett, G. Clayton, J. Sherman, &c.

Darllenodd y Parch. A. Brandam yr Adroddiad. Ac areithiodd Ardalydd Cholmondeley; ac ar ei ol ef Esgob Ripon, Arg. Glenelg, Iarll Harrowby, y Parch. H. Raikes, (Canghellwr Esgobaeth Caerlleon), y Parch. J. Crowther, Arg. Morpeth, y Parch. Mr. Fraser, y Parch. Dr. Philip, J. Thornton, Ysw. y Parch. J. Williams, y Parch. G. Brandam, Arg. Teignmouth, Esgob Chichester.

Swm yr arian a dderbyniwyd ynghorph y flwyddyn ddiweddaf yw £108,700, sef yn nghylch un mil ar hugain o bunnau ychwaneg na'r flwyddyn o'r blaen. Swm y draul yn y flwyddyn ddiweddaf yw £103171. 5s. 2c. Nifer y Biblau a Thestamentau a wasgarwyd y flwyddyn ddiweddaf ydyw 541,843. Yr hyn oll a wasgarwyd er dechreu y Gymdeithas ydyw 10,293,645; sef deng miliwn, dau gant a thriar ddeg a phedwar ugain o filoedd, chwe chant a phump a deugain o Fiblau a Thestamentau! Ni welwyd gyfarfod mwy lliosog a siriol er amser sylfaeniad y Gymdeithas: mae hyn yn arwyddo yn dda iawn.

Dydd mercher, Mai 3, cadwyd cylchwyl Cymdeithas y Llongwyr Brytanaidd a Thramor, yn yr hwyr, yn City of London Tavern, y Gwir Anrh. Arg. Mountsandford yn y Gadair. Mae y Gymdeithas hon wedi gweithredu yn rhagorol, ac wedi bod o fawr lesâd.

Dydd iau, Mai 4, cadwyd cyfarfod blynyddol Cymdeithas Genhadol y Bedyddwyr yn Nghapel Finsbury, G. Rawson, Ysw. yn y Gadair.

Yr un dydd, cadwyd cyfarfod blynyddol Undeb yr Ysgolion Sabbathol, yn Llys Exeter, W. B. Gurney, yn y Gadair. Yr oedd y Llys eang hwn yn llawn o bobl.

Dydd gwener yn yr hwyr, Mai 5, cadwyd cyfarfod blynyddol Cymdeithas y Traethodau Crefyddol, yn Llys Exeter, Samuel Hoare, Ysw. yn y Gadair. Yr oedd y cyfarfod hwn yn llawn iawn. Cyhoeddwyd gan y Gymdeithas hon yn y flwyddyn ddiweddaf 196 o lyfrau a thraethodau newyddion. Yr holl rai a gyhoeddwyd yn y cyfamser 16,077,265; sef ychwaneg na'r flwyddyn o'r blaen o 163,117. Swm yr arian a dderbyniwyd oedd £6,826 1s. 11c. sef chwaneg na'r flwyddyn o'r blaen o £1,712. 16s. Gwerth y traethodau a roddwyd yn rhad ynghorph y flwyddyn oedd £8,570. 11s. 10c. Swm y Cymunroddion oedd £2,747. 19s. 6c. A'r

hyn a dderbyniwyd am lyfrau a thraethodau oedd £57,173. 16s. 1c. Felly yr holl arian a dderbyniwyd yn y flwyddyn oedd £67,775. 7s. 6c. sef chwaneg na'r flwyddyn o'r blaen o £4,740. 13s. 10c.

Dydd mawrth, Mai 9, cadwyd yr 22in cychwyl flynyddol Cymdeithas pregethu yr Efengyl i'r Gwyddelod, yn Nghapel Finsbury, T. Walker, Ysw. yn y Gadair.

Nis gallwn roddi hanes y Cyfarfodydd ereill o herwydd byrdra lle.

---

## COF-RESTR

O Enwau a Chartrefleoedd Gweinidogion a Phregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd, perthynol i Gyfarfod Misol Sir Drefaldwyn; sef y rhai sydd yn awr yn fyw, a'r rhai a fuont feirw ac a aethant i orphwysfa.

*Y Gweinidogion a fuont feirw.*

Y Parch. Owen Jones, y Gelli.
——— William Jones, Dolyfonddu.

*Y Pregethwyr a fuont feirw.*

John Thomas Abel.
Evan Dafydd, Rhôs y Gweision,
Lewis Evan, Llanllugan,
William Jones, Llaethbwlch,
Evan William, Cigidfa,
Mr. Foulkes, Machynlleth,
John Pierce, Llanidloes,
Ellis Edward, Darowen,
John Llwyd, Trefeglwys,
Jeremiah Williams, Llanwyddelan,
John Thomas, Rhos fawr,
William Lewis, Darowen,
Richard William, Bryn Mair,
Edward Gwalchmai, Llanwyddelan,
Thomas Morris, Llanfihangel,
Thomas Meredith, Llanbrynmair,
Edward Watkin, Llanidloes,
Ismael Jones, Llanddinam,
Thomas Jones, Llangynog.

Bu rhai ereill yn pregethu am dymmor, ond gan na ddarfu iddynt barhau hyd y diwedd nid gweddus fyddai eu coffâu.

*Y Gweinidogion sydd yn awr yn fyw.*

Y Parch. Evan Griffith, Meifod,
——— John Hughes, y Bont,
——— Abraham Jones, Llanfyllin,
——— Foulk Evans, Machynlleth,
——— Robert Evans, Llanidloes,
——— William Hughes, Tabernacle,
——— David Morgan, Trallwm,
——— Robert Davies, Llanfair,
——— Richard Jones, Llanllugan.

*Y Pregethwyr sydd yn fyw.*

Mr. John Williams, Trenewydd,
— Robert Griffith, Llanwyddyn,
— Richard Bumford, Llanwyddelen,
— Daniel Williams, Tregynon,
— Thomas Davies, Llanwyddelen,
— Rowland Jones, Llanwrin,
— John Owens, Halfen,
— Edward Hughes, Llanidloes,
— Thomas Griffiths, Llanwyddelen,
— Foulk Parry, Croesoswallt,
Mr. Richard Newell, Llansantffraid,
— John Williams, Llansilin,
— David Williams, Lanidloes,
— Richard Evans, Llanidloes,
— John Morgans, Mochdre,
— Daniel Davies, Cefn Canol,
— John Evans, Llanrhaiadr,
— John Price, Drefeglwys,
— Thomas Kinnerton, Hirnant,
— John Evans, Llanddinam,
— Richard Baxter, Bettws,
— David Lewis, Neuadd,
— Richard Jones, Mallwyd,
— William Hughes, Y Bont,
— John Herbert, Drenewydd,
— Richard Herbert, Drenewydd,
— Thomas Evans, Llanidloes,
— Thomas Jones, Berw,
— Thomas Evans, Carneddau,
— Thomas Hughes, Machynlleth,
— John Davies, Llanfair,
— Griffith Jones, Mallwyd.

*Cof-restr o'r Capeli a'r Ysgoldai perthynol i Gyfarfod Misol y Trefnyddion Calvinaidd, yn Swydd Drefaldwyn.*

*Capeli.*

1 Aberangell
2 Bettws
3 Bethesda
4 Bethlehem
5 Beulah
6 Brithdir
7 Caersws
8 Llanidloes
9 Llanddinam
10 Llanwyddelan
11 Llanwddyn
12 Llanfair
13 Llanfyllyn
14 Llangynog
15 Llanrhaiadr
16 Capel Pentre Llangirig
17 Capel uchaf ditto
18 Capel isaf ditto
19 Carmel
20 Carneddau
21 Cefn canol
22 Carno
23 Cemaes
24 Croesoswallt
25 Cywarch
26 Darowen
27 Gleiniant
28 Gosen
29 Graig
30 Gwernbant
31 Horeb
32 Hirnant
33 Llawryglyn
34 Machynlleth
35 Mallwyd
36 Myfod
37 Neuadd
38 Parc
39 Pentyrch
40 PontLlanbrynmair
41 Pont Dolaenog
42 Pont Robert
43 Pennant
44 Rehoboth
45 Rhyd y felin
46 Saron
47 Sion
48 Sychnant
49 Tabernacl
50 Trefaldwyn
51 Tregynog
52 Trenewydd
53 Trallwm

*Ysgoldai.*

1 Bethania cywnu
2 Cymdu
3 Derwenlas
4 Forge
5 Llanfechan
6 Llawr y cwm
7 Llanwrin
8 Pant perthog
9 Pont Newydd
10 Tabor plwyf castell
11 Wern Llanbrynmair
12 Siloh

Oll yn 65 o nifer.

TREFN Y TEITHIAU SABBATHOL.

1 Meifod. Bontnewydd.
2 Bont Robert. Bont Dolaenog.
3 Trallwm. Tir newydd.
4 Llanfair. Tabor.
5 Bethlehem, Soar. Pentyrch.
6 Gosen. Rehoboth. Siloh.

7 Llanwyddelan. Carmel. Horeb.
8 Tregynon. Beulah.
9 Y Drefnewydd.
10 Llanddinam Caersws.
11 Saron. Carno.
12 Llawr y Glyn. Gleiniant.
13 Llanidloes. Sychnant.
14 Neuadd. Park.
15 Llangirig. Capel ucha. Capel isa.
16 Y Graig. Pennant. Llanbrynmair.
17 Darowen Rhyd y felin.
18 Machynlleth.
19 Seion. Cemmaes.
20 Cywarch. Mallwyd. Aberangell.
21 Croesoswallt. Carneddu.
22 Llanfechan. Llansantffraid. Gwern-bant.
23 Cefn canol. Rhiwlas. Llansilin.
24 Llanfyllin. Llawr yr cwm.
25 Llangynog. Hirnant. Brithdir.
26 Llanrhaiadr. Cymdu.
27 Llanwrin. Llanwyddyn.

*Y Goror Saesoneg.*

28 Porth y waun, &c.
29 Tabernacle, &c.
30 Castell, &c.
31 Trefaldwyn, &c.
32 Bethesda, &c.
33 Bettws, &c.
34 Dolfôr, &c.

## DIRWEST.

## "Y Seren Ddirwestol."

### AT DARLLENWYR Y DRYSORFA.

Gyfeillion,—Trwy diriondeb Parchedig Gyhoeddwr y Drysorfa, cymmerwyf y cyfleusdra presenol i hysbysu i Dderbynwyr y 'SEREN DDIRWESTOL,' nad ydwyf yn bwriadu cyhoeddi y Seren mwyach, gan na dderbyniais hyd yn hyn gymmaint o gefnogrwydd ag i dalu traul ei chyhoeddi.

Dymunaf gyflwyno fy niolchgarwch gwresocaf i'r sawl o'm brodyr a'm cynnorthwyasant yn y gorchwyl; ac yr wyf yn ëofn yn datgan fy marn nad ymddangosodd mewn unrhyw Gylchgrawn Cymreig cystal traethodau a'r eiddynt hwy ar y matter.

Cyhoeddir y Feirniadaeth ar y Cyfansoddiadau ar Ddirwest, ar y dydd cyntaf o Awst;—Ac os oes rhai cyfansoddiadau etto heb eu hanfon, dymunir i'r cyfryw gael eu danfon cyn neu ar y 10fed o Orphenaf, *yn ddidraul*, wedi eu cyfarwyddo fel y nodwyd, To A. B. to the care of T. Thomas, Printer, Eastgate-street, Chester, or Mr. J. Phillips, (*Tegidon*) Bala. Rhoddir y Gwobrwy o 'Cowper's Poems' yn ol yr addewid; ac argreffir y cyfan yn llyfr bychan hardd. Gwel y Seren, Rhif. 4, td. 25.

Gan fod amryw o Draethodau dyddorawl ac adeiladol ar Ddirwest yn fy meddiant, cyflwynwyf hwynt i law Cyhoeddwr y Drysorfa, fel y caffont ymddangos er budd i'r darllenwyr, ac nad elont i ddifancoll. Yr eiddoch yn ostyngedig, T. THOMAS.

*Caerlleon, Mai 20, 1837.*

*⁎* Fel hyn, yn wirfoddol, ymarllwysodd holl drysorau dirwestol y Seren i gelloedd y Drysorfa, er chwanegiad at ei gwerthfawrogrwydd, ei derbyniad, a'i buddioldeb.

### CRYNODEB O DEITHIAU
### Y PARCH. DAVID CHARLES, B.A. BALA, dros
### Y GYMDEITHAS DDIRWESTAWL.

Syr,—Gan i mi a'm parchedig frawd Mr. Richard Humphreys, o'r Dyffryn, gael gwahoddiad gan ein brodyr yn y Deheudir i ymweled â rhai o'u Siroedd dros yr achos Dirwestawl, a myned o honom ar eu cais a dychwelyd, tybiaf na fydd yn annymunawl gan Ddirwestwyr y Gogledd weled hanes byr o'n llwyddiant yn y manau hyny llo buom. Bwriedais cyn hyn anfon hanes fy nhaith gyntaf dros yr achos hwn yn Nhach weddaf diweddaf i ryw Fisolydd neu gilydd; ond fe'm lluddiwyd yr amser hyny gan y llafur diddarfod ag yr oeddwn ynddo gyd â'r gwahanawl Gymdeithasau yn fy nghymmydogaeth fy hun, a manau ereill. Ar ddeisyfiad rhai o'm cyfeillion, a chan nad anfuddiawl fyddai i'r wlad weled hanes dechreuad yr amrywiol Gymdeithasau a nodir, wele yma ryw grynodeb byr o hwnw hefyd.

| Amser. | | Lle. | nifer a nododd. |
|---|---|---|---|
| Tach. | 2 | Llanfyllin | 36 |
| | 4 | *Drefnewydd | 100 |
| | 7 | Neuadd | 28 |
| | 8 | Llangerrig | 18 |
| | 9 | Llandinam | 25 |
| | 10 | Gleinant | 124 |
| | 11 | Llawrglyn | 45 |
| | 12 | *Llanidloes | 26 |
| | 13 | Graig | 11 |
| | 13 | *Llanbrynmair | 50 |
| | 13 | Cemmaes | 27 |
| | 14 | Machynlleth | 69 |
| | 15 | Llanowrin | 32 |
| | 15 | Coris | 35 |
| | 16 | Penal | 27 |
| | 16 | Aberdyfi | 105 |
| | 17 | Maethlon | 16 |
| | 17 | Towyn | 61 |
| | 18 | Cwrt | 86 |
| | 18 | Bryncrug | 86 |
| | 19 | Llanegryn | 54 |
| | 19 | Bwlch | 81 |
| | 20 | Llwyngwril | 52 |
| | 20 | Capel Seion | 140 |
| | 21 | Abermaw | 105 |
| | 22 | Talysarnau | 50 |
| | 23 | *BlaenauFfestiniog | 81 |
| | 24 | Ffestiniog | 92 |
| | 25 | Tremadog | 50 |
| | 26 | Peniel | 55 |
| | 26 | *Beddgelart | 116 |
| | 28 | Penrhyn | 213 |
| | 29 | *Trawsfynydd | 180 |
| | 30 | Siloam | 55 |
| Rhag. | 1 | *Dyffryn | 175 |
| | 2 | *Dolgellau | 96 |
| | | | 2602 |

D. S. Yn y lleoedd hyny a nodir â * dechreuasid y Gymdeithas o'r blaen.

Wedi hyn bum gyd â'm hanwyl frawd, y Parch. H. Rees, trwy ranau o Sir Drefaldwyn; ond ni chadwyd mor nifer a lawnodasant yn y Cyfarfodydd; ond tybygaf bod yr enwau oddeutu 500 yn y cwbl.

Cychwynasom ar ein taith trwy y Deheudir o Gymmanfa Aberystwyth ar y 7ed dydd o Ebrill.

| | | Nododd |
|---|---|---|
| | *Sir Aberteifi.* | |
| Ebrill | 7..Peallwyn ...... | 13 |
| | 7..Aberiffrwd ...... | 26 |
| | 8..Cynnon ........ | 38 |
| | 8..Llanafan ........ | 6 |
| | 8..Llanilar ........ | 3 |
| | 10..Bethania ...... | 114 |
| | 10..Penant ..... .... | 63 |
| | 10..Aberaeron........ | 32 |
| | 11..Llanarth ........ | 18 |
| | 11..Pensarn ........ | 73 |
| | 11..Penmorfa ....... | 84 |
| | 12..Twrgwyn........ | 50 |
| | 12..Salem .......... | 45 |
| | 12..Castell newydd yn Emlyn ........ | 24 |
| | 13..Bwlch groes...... | 35 |
| | 13..Cilgerran ....... | 29 |
| | 13..Llechryd ........ | 52 |
| | 14..Blaenanerch...... | 58 |
| | 14..Blaencefn........ | 14 |
| | 14..Aberteifi ........ | 42 |
| | *Sir Benfro.* | |
| | 15 .*Glanrhyd ...... | 0 |
| | 15..Trefdraeth ...... | 24 |
| | 17..Abergwaun ...... | 61 |
| | 17..Trefin .......... | 37 |
| | 18..Ty Ddewi ...... | 45 |
| | 19..Solfach .......... | 30 |
| | 19..*Rhydygele ...... | 0 |
| | 19..Hall ........... | 17 |
| | 20..Woodstock ...... | 26 |
| | 20..Casgwys ........ | 5 |
| | 20..Hwlffordd ...... | 22 |
| | 21..Narberth ........ | 5 |
| | *Sir Gaerfyrddin.* | |
| | 21..Llanddowror ... | 16 |
| | 22..Bancyfelin ...... | 5 |
| | 22..Caerfyrddin ...... | 8 |
| | 24..New Inn ....... | 8 |
| | *Sir Aberteifi.* | |
| | 24..Llanbedr ........ | 25 |
| | 25..Abermeirig ...... | 34 |
| | 25..Llangeitho ...... | 103 |
| | 26..Tregaron ........ | 26 |
| | 26..Pont rhydfendigaid | 27 |
| | 26..Swyddffynnon .. | 25 |
| | 27..Lledrod.. ....... | 57 |
| | 27..Rhydyfelin ...... | 27 |
| | 27..Aberystwyth .... | 38 |
| | 28..Pengarn ........ | 46 |
| | | 1528 |

Yn y ddau le a nodir â * darfu i ni fethu a sefydlu un math o Gymdeithas yn eu plith. Yr oedd Cyfarfod i gael ei gynnal yn Nghaerfyrddin y Nos Llun nesaf ar ol ein hymweliad ni â'r dref hòno gan Mr. Hockins, o Birmingham, ac yn hwnw fe arwydd-nododd oddeutu 50.

Cyfarfyddasom â phob sirioldeb yn ein brodyr yn y Deheudir yn gyffredinol, ac y mae llawer o honynt yn teimlo yn wresog dros yr achos Dirwestawl. Mae genym le i feddwl na bu ein hymdrech yn ofer, oherwydd fe ddaeth amryw feddwon ym mlaen i gofrestru eu henwau o dan yr Ardystiad Dirwestawl, a dau o Dafarnwyr.

* * * *

Yr eiddoch, &c. DAVID CHARLES.

*Bala, Mai* 3, 1837.

## NEWYDD DA O'R AMERICA.

Anwyl Syr,—Gan eich bod yn ymgyflwyno yn hollol at wasanaeth Dirwestwyr, byddwch mor fwyn a hysbysu iddynt y newydd da canlynol, yr hwn sydd yn cael ei daenu ym mysg ein cymmydogion yn Lloegr ar y seiliau cadarnaf.

Gwyr pawb o honynt mai yn America y torodd y diwygiad hwn allan gyntaf, yr hwn sydd yn lleibio y diodydd meddwawl mor llwyr, ag y lleibiodd tân Duw ar allor Elias y dwfr oedd yn y ffos o'i hamgylch. Ac nid yw eu sel yn oeri at y gwaith, na'u cariad at ereill yn diflanu; o herwydd y maent wedi penderfynu gyru anrheg i Ddirwestwyr Prydain o werth *Pum mil o Bunnau* o bob math o gyhoeddiadau Dirwestol, er eu rhanu ym mhlith trigolion y deyrnas hon. Pa beth! a ydyw Prydain uchel ei breintiau—Prydain oedd yn arswyd cenedlaethau y byd—Prydain, enwog am ei Chymdeithas Cenadol a'i sefydliadau gwerthfawr—Prydain preswylfa rhyddid a theml crefydd—a ydyw Prydain, wedi syrthio mor isel trwy ymarfer a diodydd meddwol, fel ag y mae yn rhaid i'w meibion Americanaidd ddysgu iddi egwyddorion symlaidd sobrwydd? Pa beth, a ydyw ei deddfwyr a'i gweinidogion, ai chrefyddwyr wedi eu dallu gymmaint gan feddwdod eu tadau, ag y rhaid i genadon o wledydd cenedlig ddyfod yma i ddysgu i ni egwyddor gyntaf ygrefydd Gristionogol? 'Pa fodd y cwympodd y cedyrn!'

Gwnaed hyn yn hysbys mewn Cyfarfod Dirwestol mawr yn Llundain gan Mr. Buckingham, Dirwestwr enwog ac Aelod o'r Senedd. Ac y mae rhai o'n brodyr yn Lloegr wedi anfon Deisebau i'r Senedd am eu cael yn ddi doll, a thra dymunol fyddai i Gymdeithasau Cymru wneuthur yr un egni. Dyma gopi o un o'r Deisebau, yr hwn a ddanfonwyd: fe allai y gall fod o ymorth i ffurfio rhai ereill.

"TO THE RIGHT HONOURABLE THE LORDS OF HIS MAJESTY'S TREASURY."

"The humble memorial of the undersigned individuals, being the President and Committee, on behalf of the —— Temperance Society,

"Respectfully showeth,

"That the American Temperance Society has resolved to expend the sum of £5000 on Temperance Publications, to be sent to this country for the purpose of *gratuitous* distribution.

"That the duty upon their importation into Britain would amount to a large sum, and tend, in a great measure, to defeat the benevolent object contemplated by the donors, besides creating numerous practical difficulties to their entrance or distribution at all.

"Your memorialists, therefore, feeling the deep importance of counteracting, by every proper agency, the demoralizing progress of Intemperance, and viewing the free circulation of Temperance documents as a powerful means for effecting this end, most respectfully call the attention of your Lordships to this subject, and pray that your Lordships will be pleased to order that the publications granted by the American Temperance Society, and intended for gratuitous distribution, may be admitted *duty free* into this country."

Hyn yn fyr oddiwrth yr eiddoch

J. PHILLIPS.

## GWELLIANT GWALLAU.

Yn yr ail Restr o enwau y Capeli yn Rhif. 72. tu dalen 121. yn lle *Bryn bychan*, darllen 'Bryn bachau.' Ac yn chwanegiad at enwau y Capeli yn y tu dalen hwnw, doder i mewn 'Ysgoldy morfa Nefyn,' yr hwn sydd yn dŷ hardd, a'r gwrandawyr

ynddo yn lliosog iawn, a'r olwg arnynt yn gwrando gydag astudrwydd mawr.

G. SOLOMON.

## DAMWAIN DDYCHRYNLLYD.

Ar y 10fed o Mai, yn Ngwaith Glo Argoed Hall, gerllaw y Wyddgrug, Swydd Ffiint, rhedodd dwfr o ryw hen waith cyfagos i'r gwagle lle yr oedd y Glowyr yn gweithio, ac a lanwodd y fan yn fuan a disymwyth iawn. Collwyd unarddeg ar hugain o ddynion yn y dylif.

Buwyd yn llafurus iawn ddydd a nos yn codi y dwfr i fynu o'r *shaft*. Ac erbyn nos wener, Mai 12, dyhysbyddwyd y dwfr cyn belled, fel y cafwyd deg o'r dynion allan yn fyw. Ac ymhen rhyw gymmaint o amser fe gafwyd unarddeg o gyrph allan wedi boddi yn y dwfr neu fygu yn y tawch o awyr afiach, a drwg sawyr y dwfr a redodd o'r hen waith. Pan ydym yn ysgrifenu hyn o hanes y mae etto ddeg o'r dynion heb gael gafael arnynt, ac yn ol pob tebygolrwydd y maent erbyn hyn wedi marw. Ac os felly y mae, bydd wyth o wragedd gweddwon a deg ar hugain o blant amddifaid yn byw i alaru ar ol eu gwyr a'u tadau.

Mae caredigrwydd ac elusengarwch mawr iawn yn cael eu dangos tuag attynt, drwy gyfraniadau helaeth yn y Wyddgrug a'i hamgylchoedd, a manau ereill hefyd. Cafodd y dynion rybudd fod y dwfr yn mwyhau ac yn llenwi cyn iddo redeg gyda grym anorchfygol.

Nid oes dim bai yn cael ei roi yn erbyn neb perthynol i'r gwaith o herwydd un esgeulusdra na difatterwch; canys er fod y dwfr yn codi yn araf o'r blaen, fe ddaeth y genllif ar unwaith, ac yn anorchfygol iawn. Pwy sy mor ddall na wel yn hyn o dro dychrynllyd, yr angenrheidrwydd o fod yn barod, 'canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn.'

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Cynnygiodd Arg. Melbourne ar fod i Ysgrif Diwygiad y Corphoraethau Bwrdeisiol y Werddon gael ei darllen yr ail waith, a chaniatawyd hyny, heb nemawr o wrthwynebiad. Yna, trefnwyd y bydd i'r Tŷ droi yn eisteddfod bennodol i ystyried yr Ysgrif o bwnc i bwnc. Ond i'r dyben o gael holl Ysgrifiau y Llywodraeth mewn perthynas i'r Werddon ger gwydd, taflwyd yr ystyriaeth eisteddfodawl hwn i'r 9fed o Mehefin.

*Tŷ y Cyffredin.*—I ddilyn siampl Tŷ yr Arglwyddi, taflodd y Tŷ hwn Ysgrif Diwygiad y Degwm yn y Werddon hyd y 9fed o Mehefin.

Yna cymmerwyd mewn llaw Ysgrif cynnaliaeth y tlodion yn y Werddon, ac ystyriwyd hi o ddarn i ddarn, yr hyn a barhaodd amryw ddyddiau olynol.

Dyg Syr Andrew Agnew ei Ysgrif i mewn am gael diwygiad ar gadwraeth y Sabbath, a chafodd dderbyniad. Ystyrir y matter mewn Eisteddfod.

# BARDDONIAETH.

## AWDYL

Er coffad am y diweddar Mr. Thomas Jones, (*alias* Tyfrydog) yr hwn a hunodd yn yr Iesu Ebrill 22, yn y 35 flwydd o'i oedran. Yr oedd yn gristion enwog, yn ddirwestwr aiddgar a gwresog; a maith y teimlir colled ar ei ôl ymhlith ei holl gydnabyddion yn Lle'rpwll, o bob enwad, moesol a chrefyddol.

Trallod mewn trallod mae'n troelli—gofid
Am gyfaill ddaeth ini;
Ah! gallwr, Ow! ei golli,—ddyn siriol
Mwy nychusol y mae'n achosi.

Sïon sy' a'i bron yn brudd;
Ac estyn mae ein cystudd,
Rhoi brawd ar ôl brawd i bridd,
Obry yr y'm i'r du-bridd.

Y'm alaethus, a helbulus,
A gofidus, am gyfoedion;
A hunasant, a orphwysant,
A noswyliant, yn iselion.

Brawd anwyl o bryd uniawn,
Oedd Thomas yn ddïos a'i ddawn,
Gorodlig, a gwiw radlawn,—eu euraidd
Waith *rholaidd athrylawn.

Mâd enaid y'myd annuw,
Oedd syw-ddyn yn dilyn Duw;
Câ'dd ddeifron o ffynnon ffaeth,
Dirion yr iechydwriaeth;
Câ'dd 'nabod y cymmod cu'
Un dewisol Duw 'n *Iesu:*
Sugnai o'i gôl fywiol faeth,
Ag hylawn fuddugoliaeth;
Ar fyd a chnawd a'u ffawd ffôl,
A dyfais erch y diafol.
O fro llid o'i ofid aeth,
Mawr elw i hwn—Marwolaeth.

Tymmer ein mwyn-frawd Thomas, — a gaffom
A'i gyffes unionwas;
Ei fwriad a'i brofiad brâs,
Doethaidd un mewn cymdeithas.

Difrodwyd hardd 'Dyfrydog'†—wech asgre
Awch ysgrif odidog;
Cymreigydd accenydd, côg,
Uniawn ddirwestwr enwog.

Dwnedydd‡ da hynodol,
Gwawl ei waith i'r iaith ar ôl
Duwinyddwr dawn addien,
Enaid o bwyll hynod ei ben;
Ffyddlondeb, duwioldeb, do,
Ymdaenai 'rhein am dano.

Serchus ofalus filwr,—haelionus
Ddilenawg gyfranwr;
Ys gedawl fyw ddysgawdwr,—deallus
Un llafurus fu ein llefarwr.§

* Y mae llawer o'i ysgrifwaith etto heb ei argraffu erioed.

† Dewisodd y ffug enw 'Tyfrydog' oherwydd ei fod yn briodor o blwy' Llandyfrydog,—y' Mon. ‡ Gramadegwr

§ Mynych yr areithiai yn ein cyfarfodydd Dirwestaidd.

*Hyderus*|| fedrus fydrwr,—rhëolaidd
Nyddor lunaidd, a gwiw ddarllenwr;
Gwych iawn fu ef y mwyn dangnefwr
Un di absen fu ein 'sgrifenwr,
Ir ei ddelw, oedd *Ior* addolwr
Y didoledig adeiladwr.
Gem hoenusol gymmwynaswr—Diflin
Enaid dibrin cu' ein dadebrwr
YnLlynlleifiad un mâd a mwy ffrwythodd
Iawn aroglodd ei rin i'r Eglwys.

Hael un têr am hwylio'n tŷ,
A Gildas** ein ysgoldŷ:
Didrist câdd fyned adref,
Areulydd ddinasydd Nêf,
At *Iesu*. pen tywysydd,
Drwy'r nefol berffeithiol ffydd,
Yngoleu llu angylion,
I fawl *Nêr* a'i dynner dôn.

Yn *Iesu* hoyw ddyn isel—hunodd
Wr hynnod yn dawel
Trwy 'nabod ddiwrnod, pan†† ddêl
Ni hyddir—*Iôn* a'i harddel.

RICHARD JONES, (Asiedydd.)

*Llynlleifiad, Mai* 3, 1837.

## MARWNAD:

*Neu goffadwriaeth alarus am y diweddar frawd Mr.* MORGAN HUGHES*: yr hwn a fu yn flaenor a henuriad ffyddlawn, am* 32 *o flynyddoedd, yn Eglwys y Trefnyddion Calvinaidd yn Jewin Crescent, Llundain; ac a fu farw Ionawr* 17, 1837, *yn* 72 *oed.*

Ai fel bydd marw yr ynfyd,
Bydd marw y cyfiawn hefyd, heb neb i'w gofio?
Os cysgu yr y'm yn esmwyth,
Fel creaduriaid diffrwyth, mae'n bryd ein deffro:
Rhag mai, rhyw fflangell sy'n nesâu,
A Duw'n cymmeryd, o flaen y drygfyd,
Ei blant i'r bywyd; pwy all ddywedyd llai,
Wrth glywed yr arwyddion, trwst dynion yn tristâu?
Bob dydd, rhyw sŵn galarus sydd;
Yn mhob sefyllfa, ma'r gwych a'r gwaela',
A'r hoenus iacha', a'r hena' myn'd yn rhydd;—
Am MORGAN HUGHES, mae 'i drasau, i'w gwel'd a'u bronau'n brudd.

E ddaeth ei olaf elyn,
A'i ddolur, do, i'w ddilyn, dierfyn arfau:
Ac er pob meddyginiaeth,
Nid oedd dim gwaredigaeth, rhag ing rhwyg angau;
Yn ffraw, er ceisio cadw draw
Ei flin ergydion, o'i ddwylo oerion,
Dôi y meddygon, a moddion llês mewn llaw;
Ond er pob ymgais ddiflin, i mewn daeth brenin braw.

'Doedd ef, yn gwrando llais na llef;
Ac nid oes yma, er dyddiau Adda,
O'i ŵydd a ymguddia, na noddfa tan y nef,
Rhag saethau angau engur, a grym ei bladur gref.

Och rhag y rhwyg a'r poenau,
A'r ing a wnaeth yr angau, nid â yn angho';
Ein MORGAN HUGHES sy'n eisiau.
Mae wedi cau ei enau, a'i roi i huno;
Mewn bedd, mae'i gorph yn wael ei wedd,
Ei blaid fel blaenor, ni chair yn rhagor,
Na gair o'i gynghor, am hylawn drysor hedd.
Ehedodd yn ddiangol i wlad y nefol wledd.
Fy nghwyn, sydd anhawdd iawn ei ddwyn
A mawr yw colled, ei blant amddifaid,
Am dad i'w gwylied, fel am ei weiniaid wyn;
A'i addysgiadau gweddus, cynghorion medrus mwyn.

Fel milwr aeth yn dawel,
O faes y gwaed a'r rhyfel,—neu long i'r hafan;
Diosgodd ei arfogaeth
A rhoes ei gleddyf ymaith, wr dewr, a'i darian;
Bu'n hir, ar daith yr anial dir,
Bob dydd yn gwisgo 'r rhai hyn am dano,
Ac yn milwrio, ymguro o blaid y gwir;
Yn mhlith pen milwyr Sion, wyr mawrion ar y mur.
O hyd, tra yma yn y byd,
Er gwaetha'r gelyn oedd yn ei erbyn,
Bu gyda byddin ei Frenin, o wir fryd;
Duw Iesu a'i dewisodd, ac ef a'i cadwodd cyd.

Cynghorion ar gynghorion,
A gafwyd gan y gwron, a gwin o gariad;
Cynghorion dwys a manol,
Am bethau angenrheidiol, er ffydd a rhodiad;
E wnaeth, dderchafu llawer saeth
At Dduw mewn gweddi, trwy ddagrau heli,
Ar ran ei deulu, oedd gwedi eu geni'n gaeth,
I'w cael yn rhydd ysbrydol, a phrofi o fywiol faeth.
Dirith, yw'r galar sy yn ein plith,
Ei weddw dirion, ar dori ei chalon,
A gair yr awron, mewn dagrau chwerwon chwith;
O, caffed hon ei lloni, â g'leuni nef a gwlith!

E gaiff yr enaid etto,
Y corph heb gur i'w gario, er eu hysgariad;
E ddaw y rhan ddaearol,
I fynu'n gorph ysbrydol, 'nol breiniol bryniad;
Rhyw ddydd, y rhoddir hwn yn rhydd,
Er bod yn fyddar, ac yn ddilafar,
Yn awr mewn daear, fel yn y carchar cudd;
Pan gaffo ei ollyngdod, rhyw fawr ryfeddod fydd.
Gwir yw, ni bydd all gloi ei glyw,
Pan y daw galw ar bawb o'r meirw,
E gwyd yn hoyw, ar lun a delw Duw;
'Nol esgyn uwch wybrenau, byth byth yn dechreu byw!

DAFYDD AB IAGO, o Emlyn, a'i cânt.

|| Gwel ei Brydyddwaith yn y Drysorfa am Ebrill a Mai, 1837.

** Gildas—Enw un o'r hen Athrawon dysgedig gynt.

†† Ddydd y farn ddiweddaf i nol ei [illegible]weddi adref.

// Y DRYSORFA.

RHIF. LXXIX.] GORPHENAF, 1837. [LLYFR. VII.

## BUCHDRAETH CRISTIONOGOL.

RHIF. IV.

### JOHN CALVIN.

(Parhad td. 164.)

Y dyfalwch a'r hwn y gwyliai Calvin dros ei ddïadell ei hunan, oedd ddiball; efe a ymwelai â hwy, a'u rhybuddiai ac a'u cynghorai yn ddiflino; a phan oedd y pla a'r newyn yn ymosod ar y ddinas, efe a ddibrisiai ei einioes ei hun, yn ei ofal am les tymhorol ac ysbrydol y bobl druain dlodion. Pa le bynnag y byddai eisiau ei wasanaeth, yno y gwelid ef wrth ei waith yn y fan. Ond pan fyddai achos crefydd mewn perygl, y gwelid galluoedd Calvin mewn egnïad annghyffredin. Defnyddiai ei ysgrifell gyda dewrder a deheurwydd dihefelydd o blaid y gwirionedd, ac yn erbyn cyfeiliornadau, o ba barth bynnag y cyfodent.

Y gwaith a gyhoeddodd efe ar yr angenrheidrwydd o ddiwygio yr eglwys, yr hwn a ymddangosodd tu a'r amser yr oedd y cyngor yn eistedd yn Spiers, a fu yn foddion neillduol dan fendith Duw, i ddeffroi sylw llaweroedd at hyny.

Ei ffyddlondeb yn y cyflawniad o'i swydd weinidogaethol, a gynhyrfai y dosparth anfoesol o boblogaeth Genefa i'w waradwyddo a'i wrthwynebu yn chwerw. Ond efe a ddaliai ei dir yn ddiysgog yn wyneb y cyfan, gan ddatgan y gwir gyda phob hyfder; a cheryddu y drygau a ffynnent yn y ddinas, yn ddidderbyn wyneb; ac ni adawodd Duw y ffyddlondeb yma yn ei waith yn ddiwobr; ond cynnyddai yr eglwys yn Genefa yn ddirfawr mewn rhifedi; a'r diwygiwr effro a gynnyddai mewn bri yn barhaus, yn nghyfrif holl brotestaniaid Ewrop, o herwydd y caredigrwydd a ddangosai at y rhai a ffoent i Genefa o bob parth am nodded rhag erledigaeth eu gormeswyr.

Tua'r pryd hwn, efe a fwynhaodd ychydig seibiant oddiwrth ddadleuon ac ymrysoniadau cyhoeddus, ond yn y cyfamser efe a alwyd i ddal dyrnod llym, yn marwolaeth ei wraig, yr hon a berchid yn fawr am ei duwioldeb, a'i challineb cristionogol. Ei geiriau olaf oedd ddymunol iawn, 'O adgyfodiad gogoneddus! Duw Abraham a'n tadau ni oll! ni chafodd un o'r ffyddloniaid a obeithiasant ynot ti dros gymmaint o oesau, eu siomi: minnau hefyd a obeithiaf.'

Y pryd hyn, darfu i'r eglwys yn Genefa, ymgymeryd a'r dull henaduriaethol yn ei holl ehangder: a'r cynghor a ordeiniasant, fod i'r holl weinidogion, heblaw pregethu y gair, ymweled â phob teulu o dŷ i dŷ, esponio yr ysgrythyrau, a holi y teuluoedd, er mwyn gweled pa faint a wyddent am bethau Duw. Tynid pob rhyw wylion i lawr, ac ni chenhadid i unrhyw ddydd heblaw y Sabbath gael ei gyfrif a'i gadw yn sanctaidd; ond ni ddygwyd y trefniadau hyn i weithrediad, heb wrthwynebiad llym; ïe mor hyn ag a fuasai yn digaloni pawb arall, ond John Calvin. Ond efe a ddyoddefodd y cwbl âg ymröad cristionogol, ac amynedd anorfodol; ac yn nghanol pob rhyw wrthwynebiadau, efe a barâi yn ddiysgog i amddiffyn yr athrawiaethau a farnai yn gyttunol â gair Duw; ac yn bwyllog, etto yn wrol, efe a ddymchwelai y gwrthddadleuon a gyfodid i'w herbyn. Rhaid addef fod y iaith a arferai weithiau wrth lefaru am elynion y gwirionedd, yn gref; ond, e ddichon y lliniarid llawer ar ein barn, pe y meddem wybodaeth o'r holl amgylchiadau. Cyhuddid ef hefyd o fod yn rhy lym yn ei ymddygiadau tu ag at hereticiaid, yn enwedig Servetus, o losgi yr hwn yr haerid ei fod ef mewn mesur mawr

yn gyfrannog. Ond, ni ddylem annghofio, mai gweithred y Senedd, ac nid yr eglwys, oedd cospi yr heretic crybwylledig; ac er nad oedd Calvin a'i gydlafurwyr yn barnu yn gymmhwys iddynt ymyraeth â'r hyn a gyfrifent yn iawnderau y swyddogion gwladol, nyni a ddylem fod yn gynnil i feiaw, lle ni feddwn hysbysiaeth o ansawdd yr achos.

Ymdeimlai Calvin yn fywiog dros achos yr eglwys yn dramor cystal a chartrefol, ac efe a weinyddai lawer o galondid ac adnerth i'r protestaniaid oeddynt dan erledigaeth yn Poland, Ffrainc, a Lloegr, drwy ei ohebiaeth â hwy; a'r ffoedigion o'r gwledydd hyny a gyrchent i Genefa, a drinai efe gyda phob tynerwch cristionogol.

Efe a gymerwyd yn glaf iawn unwaith tra yr oedd efe yn pregethu, fel y bu raid iddo ymadael o'r gadair ymadrodd. Y pabyddion a ddechreuasant daenu y chwedl o'i fod ef wedi marw, gan lawenychu yn fawr dros ben, wrth feddwl cael ymwared oddiwrth y fath ddraen gofidus o'u hystlys; a'r newydd a barai y fath lawenydd iddynt, fel y pennodwyd dydd o ddïolchgarwch cyhoedd am hyny yn Noyon, ei le ganedigol: ond hwy a gawsant brawf buan o eudeb y chwedl, canys efe a wellaodd ar fyrder, i'w gynnefin iechyd a'i fywiogrwydd; ac yn fuan wedi adferiad ei iechyd, efe a gyhoeddodd ei esponiad rhagorol ar y Salmau. Bu ei feddwl dros rai misoedd yn llawn trafferth, o herwydd ansawdd gymmylog pethau yn y wlad hono, lle yr oedd erledigaeth lem wedi ymdori yn ddiweddar, yn enwedig yn Paris, y brif ddinas, yn yr hon yr oedd gwaed y protestaniaid yn cael ei dywallt yn ddïarbed. Ond ar ddymuniad Calvin, cymerodd taleithiau yr Almaen arnynt gyfryngu yn achos y Protestaniaid yn Ffrainc; a llwyddasant drwy eu heiriolaeth gyfeillgar drostynt, i gael gan y llywodraeth beidio a'u creulonderau tuag attynt.

Yn mhen ychydig mwy na blwyddyn ar ol yr afiechyd o'r blaen, cymerwyd Calvin yn glaf drachefn, gan fath o gryd, yr hwn a barăodd dros wyth mis, ac a barodd y fath wanychdod iddo, fel nad adferwyd ei gryfder cyntefig iddo byth mwyach: a thrwy gynghor ei feddygon, a thaerni ei gyfeillion, efe a berswadiwyd i roddi heibio bregethu yn gyhoeddus, a thraddodi ei ddarlithoedd duwinyddol. Ond etto, efe a barhai i dreulio ei ddyddiau a'i nosweithiau i ysgrifenu llythyrau i wahanol barthau Ewrop; a mynych y gwaeddai yn nghanol ei lafur diflin, 'Mor anhyfryd i mi yw bywyd dilafur!' Ac ni phallodd ar hyn, a chyfrannogi mewn pethau cyhoeddus. Trwy ei gyfarwyddyd a'i annogaeth ef, y darfu i'r Genefiaid sefydlu athrofa ëhang i ddysgu eu ieuenctyd y pryd hwn, er cymmaint oedd eu trallodau a'u helbulon. Can gynted ag y goddefodd ei iechyd, efe a ail ymaflodd yn ei lafur yn y pulpud a'r gadair dduwinyddol, er mai trwy wendid mawr, ïe, yn nghanol llawer o wendid; ond gwanychu yn raddol yr oedd efe, hyd y 6ed o Chwefror, 1564, pan draddododd efe ei bregeth olaf gyd ag anhawsder mawr, gan boen yn ei ddwyfron. O'r dydd hwnw allan, nid athrawiaethodd efe mwyach yn gyhoeddus, oddieithr yn achlysurol pan ei cludid i'r eglwys, y cyfarchai efe ei bobl mewn ychydig eiriau. Ei gystudd olaf oedd lym iawn; ond ynddo ef yr oedd amynedd yn cael ei 'pherffaith waith.'

Ni allwn roddi darluniad gwell, o amser olaf y gwas enwog a gwir ddefnyddiol yma i Dduw, nac yn ngeiriau Beza, un o'i gyfeillion mwyaf trwyadl a dïanwadal. Ar y 10fed o Fawrth, fel yr oeddym ni, ei gyd weinidogion yn myned yn nghyd, yn ol ein harfer, i ymweled âg ef, nyni a'i cawsom wedi ymwisgo, yn eistedd wrth fwrdd bychan, lle yr arferai ysgrifenu neu fyfyrio. Pan ein gwelodd, efe a eisteddodd yn ddystaw dros beth amser, gan orphwyso ei dalcen ar ei law, fel yr arferai pan yn myfyrio yn ddwys ar ryw beth; ac yna, gan edrych arnom yn siriol efe a ddywedai, 'Yr ydwyf yn dychwelyd i chwi fy nïolchgarwch mwyaf calonog, anwyl frodyr, am y pryder dwys, a'r gofal diball a ddangosasoch am danaf, ac yr wyf yn gobeithio y caf fod gyda chwi yn y Gynghorfa* yn mhen y pymthengnos am y tro olaf; canys yr wyf yn meddwl yr amlyga yr Arglwydd ei ewyllys tuag ataf y pryd hyny, gan fy nghymeryd ato ei hun. Efe a ddaeth i'r Gynghorfa ar y 24ain o Fawrth, fel arferol, ac wedi gorphen y gwaith yn dangnefedd-

* Y gynghorfa hon oedd fath o frawdlys eglwysig, er dysgyblaeth mewn moesau.

us, efe a ddywedai ei fod yn teimlo fod ei Arglwydd yn caniattau iddo arhosiad dros ychydig yn hwy; yna efe a dynodd allan Destament Newydd Ffrengig, ac a ddarllenodd rai o'r nodiadau ymyl ddalenol, gan ddymuno barn y brodyr am danynt, yn gymmaint a'i fod ef wedi cymeryd arno eu diwygio. Trannoeth, yr oedd efe yn glafach, yr hyn a achlysurid ond odid gan flinder drwy lafur y dydd o'r blaen; ond ar y 27ain efe a gludwyd hyd ddrws y Senedd-dy, a chan gael ei gynnal gan ddau o'i weinyddion, efe a rodiodd i'r neuadd, ac wedi cynnyg llywydd newydd ar yr Athrofa i'r Senedd, efe a ddïosgodd ei ben, ac a ddychwelodd ei ddïolchgarwch iddynt am y tiriondeb a gawsai efe oddiar eu llaw hwynt yn barod, ac yn enwedig am eu caredigrwydd ato yn ei glefyd olaf:—'Canys yr wyf yn meddwl,' eb efe, 'fy mod I wedi dyfod i'r tŷ hwn am y tro olaf yn bresenol.' Wedi adrodd y geiriau uchod gyda gradd o anhawsder, a llais bloesg, efe a ganodd yn iach i'r Senedd mewn dagrau a galar. Ar yr ail o Ebrill, yr hwn oedd Ddydd y Pasg, er ei fod yn boenus ac yn llesg iawn, efe a gludwyd i'r eglwys mewn cadair, lle yr arhosodd gyd a'r holl gynnulleidfa, y derbyniodd Swper yr Arglwydd o'm llaw, ac y cydunai i ddatgan yr Emyn, â'i lais yn grynedig; ond ag arwyddion amlwg o lawenydd yn dysgleirio oddiar ei wynebangenol.'

Yn mhen ychydig ddyddiau wedi hyny, efe a anfonodd at y seneddwyr a'r swyddogion dinesig, i'w hysbysu y dymunai gael cyfarfod â hwy unwaith yn rhagor; ac am hyny efe a fwriadai gael ei gario drannoeth i ystafell y cynghor; ond y seneddwyr, gan ofni y gallai hyny fod yn niweidiol iddo, a aethant mewn gorymdaith trefnus o'r senedd-dy i dy Calvin; ac ar yr amgylchiad hwnw, efe a'u cyfarchai gyda dwysder a difrifoldeb annghydmarol. Mae y cynghorion pwysig â'r rhai y terfynai ei araeth, yn dra theilwng o sylw.

'Os mynwch chwi gadw y werin lywodraeth hon mewn dïogelwch, gofelwch yn ddiball, na byddo i eisteddfa sanctaidd yr awdurdod, yn yr hon y gosododd Duw chwi, gael ei halogi gan aflendid pechod; canys efe yw yr unig Dduw Goruchaf, Brenin breninoedd, ac Arglwydd arglwyddi; yr hwn a anrhydedda ei anrhydeddwyr; ond ar y llaw arall, y mae efe yn sicr o daflu ei ddirmygwyr i lawr, a'u toi â chywilydd. Addolwch ef gan hyny, yn ol ei air; a bydded eich meddyliau yn fwyfwy ymroddgar i ufuddhau i'w ewyllys ef; oblegid yr ydym ni yn mhell iawn o gyflawni ein dyledswydd bob amser. Myfi a adwaen eich tymher a'ch dullwedd chwi oll, ac a wn fod arnoch chwi eisiau cynghor. Nid oes neb, hyd yn nod o'r rhai sydd yn rhagori, heb lawer o anmherffeithrwydd; a holed pob un ei hunan yn hyn yn ofalus, a gofyned gan yr Arglwydd gyflawni ei holl ddiffygion adnabyddus.

'Yr ydym yn gweled y fath ddrygau a deyrnasant yn y nifer fwyaf o gymmanfaoedd cynnulledig yn y byd yma. Rhai yn oer a dïofal am y lles cyffredinol, yn erbyn eu helw eu hunain yn frwdfrydus; eraill ydynt a'u bryd yn gwbl ar foddio eu nwydau eu hunain: rhai ydynt yn gwneuthur defnydd drwg o'r talentau rhagorol â'r rhai y'u doniwyd gan Dduw; tra mae eraill yn wagogoneddgar, ac yn haerllug yn ceisio gan eu cyd-gynghoriaid gwympo i'w golygiadau hwy.

'Yr ydwyf yn cynghori yr oedranus, na chenfigenont wrth wyr ieuainc a fyddont wedi eu doniaw gan Dduw â galluoedd annghyffredin, ac yr ydwyf yn rhybuddio gwyr ieuainc i ymddwyn yn wylaidd, ac i ochel pob rhyfyg ac ucheldyb. Na fyddwch ar ffordd eich gilydd yn y cyflawniad o'ch dyledswyddau. Gochelwch ymrysonau, a'r holl surni hyny, a rwystrodd gynnifer i ymddwyn yn addas yn y cyflawniad o'u swyddau. Chwychwi a ochelwch y drygau hyn, os ymgeidw pob un o fewn ei gylch prïodol, ac os cyflawna pob un yn ffyddlawn, y rhan bennodedig iddo gan y Wladwriaeth. Yr ydwyf yn attolwg i chwi, ochelyd o honoch bob ffafr, a phob gelyniaeth mewn treialon gwladol; ac na arferoch unrhyw ddichellion gwyr-draws i attal cyfiawnder; na fydded i neb o honoch drwy unrhyw ddawn deg o'r eiddo ei hun rwystro i'r cyfreithiau gael eu hargraff priodol; ac nac ymadewch ag uniondeb a daioni. Os bydd y nwydau drwg yn cynhyrfu teimtasiwn mewn neb un, gwrth-

wynebed hwy gyda dewrder, ac edryched at yr hwn a'i gosododd ef ar orseddfa barn, a gofyned i'r un Duw, am arweiniad ei Ysbryd Sanctaidd ef.

'Yn olaf, yr ydwyf yn attolwg i chwi faddeu fy holl wendidau, y rhai yr ydwyf yn eu cydnabod a'u cyffesu ger bron Duw, a'i angelion, ac yn eich gwydd chwithau hefyd, fy arglwyddi anrhydeddus.'

Wedi gorphen yr araeth yma, efe a weddïodd dros y seneddwyr, a roddes ei ddeheulaw iddynt oll bob yn un ac un, ac a ganodd yn iach iddynt. Yn nesaf, efe a anfonodd am weinidogion y gair, perthynol i Genefa, ac wedi eu cynghori yn y modd mwyaf effeithiol i ddyfalbarhau, a bod yn zelog yn ngwaith yr Arglwydd, efe a'u gorchymynodd hwynt bob yn un ac un i Dduw. Hwy a'i gadawsant ef mewn dagrau, gan alaru am eu colled o wr, yr elwasant gymmaint drwy ei weddiau, ei gynghor, a'i addysgiadau. Treuliodd Calvin weddill ei ddyddiau, hyd angau, mewn gweddi wastadol o'r bron. Attelid ei lais yn fynych, mae yn wir, gan ddiffyg anadl; ond ei lygaid dysglaer yn ddyrchafedig tu a'r nef; oeddynt brofion diamheuol o wresawgrwydd ei dduwiolfrydedd, ac o'i ymddiried diysgog yn Nuw. Mynych adroddai eiriau Dafydd yn ei weddïau, 'Aethum yn fud, ac nid agorais fy ngenau, canys ti Arglwydd, a wnaethost hyn i mi;' ac weithiau yr eiddo Heseciah, 'Griddfenais megis colomen.' Unwaith hefyd, clywais ef yn adrodd y geiriau canlynol, 'Ti, Arglwydd, a'm dylliaist, ond yr ydwyf yn eithaf tawel, gan mai dy law di ydyw.'—Gan faint y cyrchu i ymweled âg ef, a'i analluogrwydd yntau o herwydd y diffyg anadl i ymddiddan llawer, efe a ddymunai hysbysu ei bobl, ei fod yn dymuno arnynt weddïo drosto, yn hytrach na thrafferthu llawer i ddyfod i ymweled ag ef. Ar y 19eg o Fai, pan arferai y gweinidogion gyd gyfarfod er adeiladaeth eu gilydd, ac yr arferent gydfwyta pryd cyfeillgar, ddeuddydd cyn y Sulgwyn, pan gyfrannogent o Swper yr Arglwydd, efe a ddymunai ar fod i'r swper cyffredin gael ei ddarpar yn ei dy ef y pryd hyny; a chan gasglu hyny o nerth a adawsid ganddo, efe a gludwyd o'i wely i'r ystafell nesaf, pan gyfarchai ei frodyr, gan ddywedyd, 'Yr ydwyf yn dyfod i'ch gweled, fy mrodyr, am y tro olaf, ac ni chaf eistedd wrth y bwrdd gyda chwi, byth mwyach.' Y cyfryw gyfarchiad a lanwodd feddyliau pob un o honynt â thristwch, fel na buant erïoed, ef allai, yn dechreu ar wledd mor drymaidd a galarus eu meddyliau. Efe a offrymodd weddi ar ddechreu swper, a gyfrannogodd o ychydig ymborth, ac a ymddiddanodd a'i gyfeillion mor siriol ag y gallai gan ei wendid dirfawr. Ychydig cyn gorphen swper, dymunai gael ei gludo yn ol i'w ystafell wely; o'r hon ni ddychwelodd mwyach yn fyw; ond ar y 27ain o Fai, efe a hunodd yn dawel yn yr Iesu.

Fel hyn y bu farw un o'r gwyr enwocaf a addurnodd daflen Hanesiaeth mewn unrhyw oes: a phob dosparth o ddynion a gwynent am ei golli. Ynddo ef y collodd eglwys Genefa fugail ffyddlawn a duwiolfrydedig; y ddinas, ddinasydd doeth, gwladgarol, a gweithgar; yr athrofa, athraw galluog a dysgedig; a phawb, dad a chyfaill cyffredin. Dylynid ei weddillion marwol i'r gladdfa, gan holl swyddogion gwladol ac eglwysig Genefa, a'r rhan fwyaf o'r dinasyddion. Tywelltid dagrau lawer ar yr achlysur, ac ymddangosai y ddinas fel dan orchudd cymmylog o alar, dros ddyddiau lawer.

Yn ol ei ddymuniad, ni chyfodwyd unrhyw gof-adail i'w goffadwriaeth, ac nid oedd angenrheidrwydd ychwaith; ni eliir annghofio Calvin byth 'Os mynnt ti weled ei gofadail ef ddarllenydd, edrych o'th amgylch.'

O. JONES.

*(Philip Melancthon yn nesaf.)*

---

GOLYGIADAU Y CREDADYN YN ANGAU.

Mae y credadyn yn angau yn teimlo ei fod ar ei fynedfa i gyflwr ymha un y bydd ei ofalon wedi darfod, ei ofnau wedi diflanu, ei ddymuniadau wedi eu cyflawni, ei bechodau wedi eu cuddio, ei rasau wedi eu perffeithio; lle na bydd temptasiynau i'w gwrthsefyll na nwydau i'w darostwng. Ni bydd dim marweidd-dra mewn gwasanaeth, dim gofidiau i'w teimlo drosto ei hun, na dagrau i'w tywallt dros eraill. Mae efe yn myned i le ag y bydd ei ddefosiynau heb nychdod, ei gariad heb gymmysgedd, caiff ei amheuon eu newid am sicrwydd, ei obaith am fwynhâd, a'i ddisgwyliad am feddiant.

Bydd pob peth yn berffaith, canys bydd Duw iddo oll yn oll. Efe a dderbyn ei *holl* ddedwyddwch oddi wrth Dduw. Ni ddeuant mwyach trwy y cyfleadau y bu ef yn eu mwynhau, ni roddir hwynt mwy trwy unrhyw ail achosion a all ffaelu—goruchwyliwr cyfryngol a all dwyllo—na ffisygwriaeth ansicr a all siomi. Bydd y gwynfydedigrwydd nid yn unig yn berffaith ond bydd hefyd yn drag'wyddol; fel y mae yn nesau at wlad y pethau sylweddol, fe dderfydd cysgodau y ddaear a bod o fudd iddo, ac ni chamarweinir ef ganddynt mwy: tynir ymaith y pilenau oddi ar ei lygaid, diosgir gwrthrychau oddi wrth eu gau loywder, nid ymddengys dim bychan yn fawr, chwelir y niwl o wagedd ac ymddengys y pethau a dderfydd yn ddim, a phethau tragywyddol yn eu maintioli a'u gwerth priodol. Mae efe wedi darfod a phwyso ar y byd, canys mae wedi gweled ei fod yn myned heibio, ac nad oes sylwedd ynddo; nid yw yn pwyso arno ei hun: o nag ydyw yn rhoddi dim pwys ar ei *rinweddau*, canys y mae wedi gweled ei ddiddymdra, ac nas gallant wneuthur dim lles iddo.

Pe na buasai ganddo noddfa well, mae yn teimlo y machludai ei haul mewn tywyllwch, a'i fywyd a derfynai mewn anobaith; ond y mae yn gwybod i bwy y credodd ac am hyny y mae yn dawel. Mae yn edrych i fynu gyd a hyder sanctaidd a gostyngedig at y Bugail mawr, yr hwn a'i harweiniodd lawer gwaith i'r porfeydd gwelltog, a cher llaw y dyfroedd tawel, yr hwn a'i ceryddodd â'i wialen, ac a'i cynnorthwyodd â'i ffon; ac y mae yn ymddiried y bydd iddo ei arwain trwy ddyffryn tywyll cysgod angau yn ddiogel i ardaloedd heddychlon llawenydd a gorphwysdra trag'wyddol, 'marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau.' NIHIL.

*Stilton, Mai* 1, 1837.

# Rhagoriaethau y Bibl.

PENNOD XVI.

*Hanesiaeth Iuddewaidd rhwng amseroedd yr Hen Destament a'r Newydd.*

Malachi, yr olaf o'r hen brophwydi sanctaidd, a rag-ddywedodd am ddyfodiad Crist Iesu, a'i rag-redegwr Ioan Fedyddiwr, oddeutu pedwar cant o flynyddoedd cyn y dygwyddiadau pwysfawr hyny. Golygiad cyffredinol ar gyflwr yr Iuddewon, am yr amser cyfryngol, allan o'r ysgrifenadau hanesyddol goreu, a raid fod yn ddymunol a phwysfawr i bob darllenydd y Bibl; ychydig sylwadau byrion, gan hyny, ar yr yspaid hwnw a roddir yn y bennod hon.

Nehemiah ydoedd yn cyd oesi â Malachi: ond pa cy-hyd y bu efe byw yn Ierusalem ar ol ei ddiwygiad o achosion crefyddol a gwladol yr Iuddewon nid oes genym sicrwydd pendant o hono. Ar ol ei farwolaeth mae yn ymddangos i Iudea gael ei rhoddi yn ychwanegiad at raglawiaeth Syria, a'r cwbl ynghyd ydoedd yn aros yn ddarostyngedig i lywodraethwr Persiaidd y dalaith hono, o dan ba un yr ydoedd yr arch-offeriad yn arolygu, ac yn rhoddi mewn grym y cyfryw gyfreithiau o lywyddiaeth wladol gyffredinol ag a dybiai ef yn briodol, neu agwedd pethau yn gofyn am danynt.

Hyd yn nod yr arch offeriad ei hun, mewn rhai esamplau, ydoedd wedi ei bennodi gan y llywodraethwr.

Alexander fawr, yn bod ei hun yn Gâdflaenor dewisedig y galluoedd Groegaidd yn erbyn y Persiaid, a orchfygodd eu byddin yn Cilicia, dan Darius eu pennaeth, C. C. 333.

Wedi hyny efe a ddarostyngodd holl Syria a Phœnicia, ac a dramwyodd i Iudea i gospi yr Iuddewon am gyfnerthu ei elynion â lluniaeth, tra yr oeddynt yn nacâu y cyfryw gynnorthwy iddo ef. Iaddua yr arch-offeiriad, yn clywed am ei ddyfodiad, a alwodd y bobl i uno âg ef i aberthu a gweddio, fel y byddai i Dduw droi heibio y drygfyd bygythiedig. Wedi ymddarostwng o flaen yr Arglwydd, fe hysbyswyd i Iaddua mewn breuddwyd, fod iddo ef fyned i gyfarfod y gorchfygwr, wedi ei ddilladu yn ei wisgoedd arch-offeiriadol, yn ei ddilyn gan yr holl offeiriaid yn eu dillad offeiriadol. Gydâ nifer lliosog o'r bobl ar ei ol, efe a gerddai mewn gorymdaith ddifrifol i uchelfa a elwid Sapha, yr hon ydoedd yn rhoddi golygfa ar y deml a'r holl ddinas. Y brenin a nesaodd, ond wedi ei daraw âg arswyd gor-ddwfn, gan yr olygfa anghyffredinol, fel yn lle ymlochi mewn ymddial,

efe a brysurodd yn mlaen, ac a gyfarchodd yr Duw gyd â chrefyddol barch. Yr holl dyrfa a safasant yn synedig wrth ei ymddygiad neillduol; a Parmenio, un o gyfeillion anwylaf y brenin, a ofynodd y rheswm o'r weithred hon o barchedigaeth annisgwyliadwy. I hyn dywedir i Alexander atteb, nad oedd yr addoliad yn cael ei offrymu i'r offeiriad ond i'w Dduw; mewn diolchus gydnabyddiad am weledigaeth yn Dio, yn Macedonia: yn mha un yr offeiriad neillduol hwn, ac yn y gwisgiad neillduol yma, a ymddangosodd iddo, yn addaw rhoddi iddo ymerodraeth Persia.

Ar ol cofleidio Iaddua yn garedig, dywedir i Alexander fyned i mewn i Ierusalem ac offrymu aberthau yn y deml. Dangosodd yr arch-offeiriad iddo brophwydoliaethau Daniel, y rhai sydd yn rhagddywedyd dymchweliad ymerodraeth Persia gan frenin Groegaidd; wrth ddarllen y rhai hyn, fe aeth Alexander yn erbyn Darius gyd â mwy o hyder drachefn o lwyddiant yn ei ymgyrch; ac, ar ddeisyfiad Iaddua, a ganiataodd i'r Iuddewon ymarferiad rhydd o'u crefydd, cadwraeth eu cyfreithiau, a rhyddâd oddi wrth dalu teyrnged bob saith mlynedd, ar ba rai yr oedd y gyfraith yn gofyn na fyddai iddynt hau na medi. Fe orchfygodd Alexander fyddin ddirfawr Darius, a phrophwydoliaethau Daniel a gyflawnwyd yn nymchweliad y Persiaid, Dan. ii. 39. viii. 2, 5, 7, 20, 21, x. 20. xi. 2—4.

Y gorchfygwr a ddangosodd gymmwynasgarwch mawr tu ag at yr Iuddewon, ac wedi i'r Aipht ymddarostwng i'w awdurdod, efe a adeiladodd Alexandria, ac a gymhellodd lïaws o'r bobl i drigo yn y ddinas newydd, gan ganiatau iddynt gyfartal rhagorfreintiau â'r Macedoniaid. Y gorchfygwr galluog hwn a fu farw, a'i oedran yn unig ond deuddeng mlwydd a'r hugain, C. C. 323; ei holl deulu a fwrddrwyd, a phedwar o'i gâd-flaenoriaid a ranasant yn eu mysg eu hunain lywodraeth helaeth eu meistr brenhinol. Yr Aipht a syrthiodd i ran Ptolemy Lagus, yr hwn a ymosododd ar Iudea, ac a arweiniodd gan mil o'i thrigolion yn gaethion i'w wlad ei hun: ond yn ymddwyn yn dirion tu ag attynt: a llawer oeddynt yn llawen o ddilyn eu brodyr, o herwydd yr agwedd druenus i ba un yr oedd rhyfeloedd wedi darostwng eu gwlad enedigol.

Yn y flwyddyn C. C. 292, bu farw Simon, a gyfenwid y cyfiawn, arch-offeiriad yr Iuddewon. Yr ydoedd efe yn ddyn o ddoethineb a rhinwedd neillduol, a'r olaf o wyr y synagog fawr, cynnwysedig o gant ac ugain o bersonau, a bennodwyd gan Ezra er perffeithio adferiad yr eglwys Iuddewig. Simon y cyfiawn, fel y tybir, a wnaeth yr adolygiad olaf o lyfrau yr Hen Destament, ac a orphenodd y llyfr sanctaidd canonaidd trwy ychwanegu llyfrau y Croniclau, Ezra, Nehemiah, Esther, a Malachi.

Yr Iuddewon yn yr Aipht yn anghofio yr iaith Hebraeg, a fynasant gyfieithu y llyfrau sanctaidd i'r Groeg er defnydd iddynt hwy, ac adysgrifeniad o honynt a roddwyd yn llyfr-dŷ brenhinol Ptolemy Philadelphus, oddeutu y flwyddyn, C. C. 284. Y cyfieithiad hwn o'r ysgrythyrau i'r Groeg, yr hwn a elwir cyfieithiad y deg a thrugain, a ddaeth i arferiad cyffredin yn holl eglwysi yr Iuddewon i ba le bynnag eu gwasgarwyd. 'Y cyfieithiad hwn, gan hyny,' mal y sylwa Rollin, 'yr hwn sydd yn gwneuthur ysgrythyrau yr Hen Destament yn ddealladwy i nifer helaeth o bobl, sydd un o ffrwythau pwysfawrocaf buddugoliaethau y Groegiaid. Yn y dull hwn yr oedd Duw yn parotôi y ffordd i bregethiad yr efengyl, yr hyn oedd y pryd hwnw yn agosâu, a rhwyddâu undeb cynnifer o genhedloedd, o wahanol ieithoedd a defodau, yn un gymdeithas, a'r un addoliad ac athrawiaethau, trwy offerynoliaeth yr iaith buraf, gyflawnaf, a mwyaf cywir a siaradwyd erioed yn y byd, a'r hon a ddaeth yn gyffredin i'r holl wledydd a oresgynwyd gan Alexander.'

Dros fwy na chan mlynedd, fe ddyoddefodd Iudea yn ofidus ryfeloedd parhaus olynwyr Alexander; yn enwedig oddi wrth Antiochus, a gyfenwid ganddo ef ei hun Epiphanes, yr enwog, (*neu yr ardderchog*), ond gan eraill, Epimanes, y gwallgof ddyn. Efe a ddiswyddodd Onias, arch-offeiriad duwiol yr Iuddewon, ac a werthodd y swydd sanctaidd am y deyrnged flynyddol o 360 o dalentau i'w frawd Iason. Hwn yn fuan a ddiswyddodd efe drachefn, ac wedi hyny a'i gwerthodd hi i'w frawd Menelaus am

660 o dalentau. Ar adroddiad celwyddog fod Epiphanes wedi marw, fe ymdrechodd Iason i ad-enill yr offeiriadaeth; gyd â mil o filwyr efe a aeth i mewn i Ierusalem, a thrwy y cleddyf, a thrwy amryw arteithiau, efe a roddes i farwolaeth yr holl rai ag ydoedd yn eu hystyried yn elynion iddo. Wedi i Antiochus glywed fod yr Iuddewon yn llawenychu am ei farwolaeth, gan dybied fod yr holl genedl wedi anffyddloni, efe a gymmerodd Ierusalem trwy ruthrgyrch, y flwyddyn C. C. 170: efe a laddodd 40,000 o bobl, ac a werthodd gymmaint a hyny ychwaneg yn gaethion; ac a yspeiliodd y deml o'i dodrefn claer-wych hyd y swm o 800 o dalentau aur. Mewn diystyrwch ar Dduw Israel, efe a aeth i mewn i'r cyssegr sancteiddiolaf, ac a aberthodd hwch ar allor y poeth offrwm. Antiochus wedi hyny a ddychwelodd i Antioch, yn llwythog â chyfoeth ei yspail, ac a bennododd Philip, Phrygiad barbaraidd, yn llywodraethwr Iudea; Andronicus, adyn drygionus, i arlywio yn Samaria; a'r dïegwyddor Menelaus i'r arch-offeiriadaeth.

(I'w barhau.)

## COFIANT
### MR. THOMAS JONES, (TYFRYDOG)* O LIVERPOOL.

Mr. Thomas Jones ydoedd fab i Mr. William Jones, Gaer, Llandyfrydog, Swydd Mon. Ganwyd ef yn y lle uchod Awst 18, 1802, a chan fod ei dad (fel y dywedir) yn wr gwir grefyddol, ac yn flaenor yn Eglwys Crist yn mhlith y Methodistiaid Calvinaidd yn yr ardal hono, mae yn amlwg i Mr. Jones gael ei ddwyn i fynu yn yr eglwys. Ond buan y dangosodd efe mai nid o waed nac o ewyllys gwr y mae, canys gwrthododd yr iau a bwriodd hi ymaith oddi ar ei ysgwyddau. Er hyny gwelodd yr Arglwydd yn dda ymweled ag ef, a phryd nad oedd ond o bedair blwydd ar ddeg i bymtheg oed dygodd ef yn ol idd ei dy, a phlanodd ef yno, fel allan nad aeth mwyach.

Yn fuan wedi hyny rhwymwyd ef gyd â y diweddar Mr. Richard Lloyd, Beaumaris, i ddysgu y gelfyddyd o fasnachaeth gyffredinol. Ar ol gwasanaethu ei dymhor yn ffyddlon a boddaol, ymsymudodd oddi yno i Wrexham, a chafodd y fraint o fod yn wasanaethol yn y dref hono ac mewn ardal gymmydogaethol gyd ag Ysgol Sabbathawl, a rhanau ereill o waith yr Arglwydd. Oddiyno symudodd i dref yn Lloegr, (Lutterworth, meddyliwyf), ac oddiwrth ychydig nodiadau anmherffaith a ysgrifenodd efe yno, canfyddaf bod crefydd yn cynneu yn fywiog yn ei yspryd, a'i fod yn frwdfrydus a llafurus gydag Ysgol Sabbathawl a gynnelid yn y dref hono. Oddi yno dychwelodd yn ol i Wrexham, ac oddi yno i Beaumaris.

Ar y 3ydd o Mehefin, 1828, priodid ef â Mary merch hynaf Mr. John Parry o Beaumaris, o'r hon y ganwyd iddo dri o feibion, un sef John yr hynaf, a'r hwn yn unig sydd yn fyw yn bresennol, yn Beaumaris. Ganwyd y ddau ereill yn Liverpool, ac yno y buont farw. Bu ei wraig farw Awst 2, 1832, 'wedi bod bum wythnos yn glaf o'r parlys (*palsy*), achlysuredig trwy ddychryndawd, dan yr hwn yr ymddygodd yn amyneddus a chyd ag ymddarostyngiad i ewyllys ei Thad nefol.'

Hyd yn hyn nid oedd genyf ond ceisio olrhain hanes fy Nghyfaill, i raddau megis yn y tywyllwch, ond bellach ysgrifenaf yr hyn a ganlyn mewn goleuni gwybodaeth ac adnabyddiaeth o hono, a gyrhaeddais trwy gyfeillach a chymdeithas fynwesol ag ef a fwynheais er fy hyfrydwch a'm adeiladaeth, dros yspaid ychydig o flynyddoedd olaf ei oes.

Yn fuan ar ol ymadawiad Mr. J. o Beaumaris a'i symudiad i Liverpool, canfyddai ei frodyr crefyddol fod ynddo gymhwysderau i fod yn ddefnyddiol gyda rhanau o waith yr Arglwydd. Ac yn gweithredu yn gyhoeddus yn un o oruchwylion yr Ysgol Sabbathol yn Pall Mall, y cefais i adnabyddiaeth o hono ef gyntaf.

Fel dyn yr oedd yn gynnysgaeddedig â galluoedd meddyliawl cryfion, a defnyddiai bob moddion cyrhaeddadwy iddo er cyrhaedd gwybodaeth, a thrwy hyny daeth yn feddiannol ar wybodaeth gyffredinol yn ehelaeth yn ei hamrywiol ganghenau. Yr oedd ganddo hefyd helaethrwydd o wybodaeth ysgrythyrol, yn hanesiol, yn athrawiaethol, yn ysprydol a phrofiadol. Ac nid

* O herwydd mai Llandyfrydog oedd ei ardal gynhenid y dewisodd iddo ei hun y ffug enw, Tyfrydog.

hyn yn unig, ond fel yr oedd yn gyfoethog mewn gwybodaeth, yr oedd yr un modd yn gynnysgaeddedig a graddau helaeth o gariad a gostyngeiddrwydd trwy yr hyn yr arferai ei wybodaeth mewn modd defnyddiol ac adeiladol iddo ei hun a y rhai a gymdeithasent ag ef. Llanwed yr Arglwydd yr eglwysi â dynion ieuaingc yn tebygu iddo yn hyn.

Fel priod, tad, cyfaill a chymmydawg, yr oedd yn ffyddlawn, yn garedig, yn gydymdeimlawl a chymmwynasgar. Mewn gair, yr oedd yn yr hyn oll ag ydoedd yn wr dysyml, cyflawn a pherffaith. Wrth ddywediadau fel hyn, nid wyf yn golygu ei fod yn hollol rydd oddi wrth wendidau. Ond nid wyf yn gwybod am unrhyw wendidau neillduol yr oedd yn ddarostyngedig iddynt, ac yr wyf yn coelio nad oedd ei wendidau mewn cydmhariaeth ond bychain ac anaml o rifedi.

Yr oedd yn ddirwestydd trwyadl o ran barn, egwyddor, ac ymarweddiad, yr hyn a welir yn amlwg yn lliosogrwydd ac amrywiaeth defnyddiau yr ysgrifeniadau a ysgrifenodd o bryd i bryd o blaid dirwest. Heblaw ysgrifeniadau cyhoeddedig Mr. Jones, ysgrifenodd amrai lythyrau at bersonau neillduol o berthynas i ddirwest a chymmedroldeb, ac un at Gymdeithasfa Chwarterol y Methodistiaid Calvinaidd yn Ngogledd Cymru, tu a thair blynedd yn ol. Yr oedd felly yn mhell cyn sefydliad y Gymdeithas ddirwestawl yn Liverpool, a pharhaodd yr un modd hyd ddiwedd ei oes. Pan y sylwai un o'i gyfeillion yn el bresennoldeb ychydig dyddiau cyn ei ymadawiad, ar y llwyddiant â'r hwn y coronwyd ymdrechiadau y Gymdeithas ddirwestol yn Nghymru, dywedai yn siriol iawn, 'A feddyliasai eich calon chwi ddwy flynedd yn ol y gwnaethid y fath bethau trwyddi?'—Ac ar waith ei gyfaill yn mhellach yn sylwi—bod diotta a meddwdod wedi cael y fath ddyrnod a darostyngiad trwyddi, fel pa beth bynag a ddel o'r gymdeithas nad ymiachant ac nad ymgyfodant yn Nghymru byth, neu o leiaf yn oes y genedl bresennol, idd y graddau y buont, ymddangosai yn dra siriol a boddhaol.

Fel cristion yn ol pob argoelion yr oedd yn gywir—yn Israeliad yn wir yn yr hwn nid oedd dwyll. Fel aelod proffesedig yn eglwys weledig Crist, yr oedd yn foneddigaidd a hawdd ei drin, yn ddiduedd a diragrith. Yn rhodio yn ol cariad, nid yn llawen am annghyfiawnder, ond yn cydlawenhau â'r gwirionedd, yn gobeithio pob dim, yn ymaros a phob dim, ac yn hynod o ddiabsen am bawb. Yr oedd ei bwyll a'i arafwch yn amlwg, ac yn hysbysi lawer. Byddai yn wastad yn dra brwdfrydawl gyda phob rhyw sefydliadau y meddyliai eu bod o duedd adeiladol, pa un bynag ai hen ai diweddar a fyddent. Ond os canfyddai lawer o annghydweled yn mhlith ei frodyr a'i gyfeillion o berthynas iddynt, ymarafai nes yr elai hyny heibio. Gweithredodd yn y dull hwn ar un amgylchiad yn nodedig iawn mewn modd gwir anrhydeddus iddo ei hun, a theilwng ac adeiladol i ereill.

Yr oedd ei gariad at Dduw a'i gymmydog idd ei ganfod yn amlwg yn ei haelioni o'i feddiannau bydol, at achos yr Arglwydd yn ei amrywiol ganghenau, a thu ag at angenrheidiau ei gyd-greaduriaid.

Deallais er ys talm trwy gydymddyddan ag ef, ei fod o'r farn, y dylai pawb neillduo yn wirfoddol y ddegfed ran o'i ennill, neu gynnyrch ei lafur, at wasanaeth yr Arglwydd ac achos y tylodion. Ond hyd yn bresennol ni's gwyddwn yn hollol fod hyny yn egwyddor lywodraethol a gweithredol ynddo. Yn awr yr wyf yn deall yr arferai efe wneuthur felly. Y tro diweddaf y derbyniodd ei gyflog, ychydig cyn ei farwolaeth, neillduai ei ddegfed ran o hono yn y modd hwn, fel yr oedd idd ei ganfod ar ol ei ymadawiad, yr hyn sydd hysbys i lawer. Yr oedd hyn ynddo yn siampl dra theilwng o'i chofio, ac addas o efelychiad pob cristion. A byddai yn llesol a daionus pe dilynid ef gan laweroedd yn hyny, oblegyd felly, dygid achos yr Arglwydd yn mlaen mewn modd teilwng ac anrhydeddus, a byddai lawer o dylodion yn well arnynt. Nid anweddus sylwi yn gyferbyniol a hyn, ddarfod i'r Arglwydd ymddwyn yn dirion a daionus tu ag atto yntau, yn enwedig yn ei glefyd diweddaf, yr hyn oedd amlwg i bawb ystyriol cydnabyddus ag ef.

Am ei brofiad ac agwedd ei feddwl yn ei glefyd a'i ddyddiau diweddaf, cyfeiriaf

y darllenydd am eglurhad o hyn at ei linellau barddonawl—'Hyder y Credadyn,' a ymddangosasant yn y ddau rifynau diweddaf o'r 'Drysorfa,' y rhai a gyfansoddodd ychydig o flynyddoedd yn ol.* Fel yr ydoedd i raddau mawrion yn grefyddwr gwastad, ac fel (meddyliwyf) mai o helaethrwydd ei galon y llefarodd efe hwynt y pryd hwnw, yr wyf yn eu golygu fel darluniad cywir o'r hyn oedd efe yr amser hwnw ac y parhaodd hyd ddiwedd ei oes. Gallaswn ychwanegu ar hyn, a gallaf hysbysu ei fod i raddau mawrion yn ymddarostyngedig i ewyllys yr Arglwydd mewn perthynas iddo. Dywedai wrthyf yn fuan ar ol ei fynediad yn glaf. 'Da yw i mi fy nghystuddio,'—Dywedai yn mhellach, ei fod yn ei deimlo ei hun yn bur foddlawn i'r driniaeth, ac yr oedd arwyddion bod hyn yn cynnyddu ynddo hyd ddiwedd ei ddyddiau. Bryd arall wrth sylwi yn fy mhresennoldeb, bod gerwindeb yr hin yn milwrio yn erbyn ei wellad, ac arwyddo ei ddysgwyliad dyfal am gyfnewidiad yn y tywydd, pan y dywedai un mewn sylw ar ei ddywediadau, 'Bydd y tywydd yn sicr o gyfnewid o hyn i ben ——o wythnosau, dywedai yntau, 'oni chyfnewid cyn hyny byddaf fi wedi myned i *Low Hill;* ond os felly, cysurus a fyddaf —ni theimla y corph unrhyw anesmwythder yno. A dywedaf i chwi beth arall—mae y pechod wedi ei ddileu—*the sin is cancelled.* Onid e buasai yn anghysurus iawn meddwl myned yno a'r pechod i orwedd ar y corph yn y bedd.' Mewn atebiad i gyfaill a ofynai iddo a oedd arno ofn marw, dywedai, 'Oes y mae arnaf ofn yr amgylchiad: ond pe bawn unwaith wedi lanio y tu draw, llawer iawn gwell ydyw.' Pan y gofynwyd iddo gan gyfaill arall, y Parch. Richard Williams, Beth a debygai ef y pryd hwnw am Grist, atebai, 'Yr wyf yn ei weled yn ddigon a digon byth.' A thrachefn, pan y gofynai iddo, a ydoedd yn gallu ymaflyd yn y digon hwnw fel ei ddigon ef ei hun yn bersonol, dywedai, 'Ydwyf. Yr wyf wedi rhoddi fy hun iddo lawer gwaith, a fy anwyl Brynwr I ydyw.'

* Sef yn fuan ar ol marwolaeth ei wraig. Dangosai ranau o honynt i mi y pryd hwnw, a dywedai wedi'n wrthyf, ei fod wedi eu hanfon i Gyhoeddwr y Drysorfa, ond o herwydd eu meithder, nad oedd yn dysgwyl iddynt gael ymddangos. Soniai am danynt wrthyf rai gweithiau drachefn, a dywedai wrthyf ychydig cyn ei fyned yn glaf y dangosasai efe hwynt i'r Parch. J. Hughes, Llundain, a'i fod ef wedi eu cymmeryd gydag ef gan ddywedyd wrtho am beidio a rhyfeddu os gwelai hwynt ryw bryd yn y Drysorfa. Ymddengys i mi fod rhyw beth neillduol, os nad dirgel weithrediad rhagluniaeth ddoeth a daionus, yn hyn, sef eu bod wedi aros cyhyd yn guddiedig megis wrth ddrws y Drysorfa, ac yn y pryd yr oedd efe mewn amgylchiad o'r hwn ac o hono yntau ynddo y mae rhanau o honynt yn ddarluniad tra chywrain, yn cael ymddangos. Diammheu y bu yr ymddangosiad o y rhan gyntaf yn llesol ac adeiladol iddo yn ei waeledd. Dywedai wrth gyfaill eu bod yn cynnwys ei brofiad, a bod y sylwedd o honynt o ddydd i ddydd yn fwy-fwy felly iddo. Ar ol ysgrifenu fel hyn, deallwyf, yr ail argraphir y llinellau crybwylledig er llesâd tymhorol y bachgen amddifad a adawodd Mr. Jones ar ei ol. Gobeithir y bydd i Gristionogion dyngarawl wneuthur a allont er atteb y dyben, trwy eu lledaenu. Pwy a wyr nad oedd hyn hefyd megis yn nghylwg rhagluniaeth? Un o enwau gwerthfawr iawn yr Arglwydd yw, 'Tad yr amddifaid,' ac y mae ei holl wir ganlynwyr, o dymher yn tebygu iddo yn hyn.

Sadwrn, Ebrill 22, 1837, bu farw, a chasglwyd ef at ei bobl. Rhifedi blynyddoedd ei ymdaith oeddynt namyn pedwar mis, pymtheng ar hugain, ugain o ba rai, yn ol tystiolaeth o'r eiddo ei hun, a dreuliodd yn meddiannu y rhagorfraint o fod yn nghymmanfa a chynulleidfa y rhai cyntafanedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd. Claddwyd ef y dydd Mawrth canlynol yn *Low Hill*, yn y bedd y claddesid ei wraig a'i feibion ynddo o'r blaen.

Boreu dydd ei gladdedigaeth cyfansoddwyd y llinellau canlynol:—

Fy Nghyfaill a ddiangodd ehedodd i'r lan
O'i nychdod i breswyl ei Brynwr a'i ran,
Yn ol o'i gymdeithas rhyw ruddfan yr wyf,
Ond ennill yw iddo—mae'n awr heb un clwyf.

Clodforedd i'n Ceidwad a'n c'lymodd yn un
Y' ngh'lwm ein perthynas a'i Berson ei hun,
Yn rhwymyn yr undeb, mewn gwynfyd a gwawl
Cawn adgwrdd hyfrydlawn, cydseiniwn ei fawl.

Nid gwiw mor galaru—'dyw'r amser ond brau;
Hir dymhor gorfoledd sy'n prysur nesau;
Er claddu mewn ceufedd dan d'wyllwch yn do,
Daw dydd prynedigaeth ein cyrph ar fyr dro.

Heb lesgedd na phechod, heb lygredd na phoen,
Heb ofid na bregedd, mewn gwiw fraint a hoen,
Cawn godiad i fywyd a hyfryd fwynhad
O'r Iesu bendigaid yn nheyrnas ein Tad.

*Liverpool.* WILLIAM PUGH

## COFFADWRIAETH

*Am Margaret Roberts, Llanelltyd, Swydd Feirionydd.*

Margaret Roberts oedd ferch i Richard a Jane Roberts o'r lle uchod, yr hon fu farw yn 23 oed. Pregethwr yw ei thad, ymysg y Trefnyddion Calfinaidd. Ganwyd Margaret yn y fl. 1814; cyflwynwyd hi i'r Drindod drwy fedydd, dygwyd hi i fynu yn yr Eglwys, a glynodd wrth ei phroffes ar hyd ei hoes. Gellir dywedyd am dani fel y dywedwyd am Iacob, merch 'ddisymyl' ydoedd hi; o'r ddau yn ormod felly i wneuthur fawr o gyfeillach a'i chyfoedion yn gyffredinol.

Aeth i wasanaeth, a chyda chrefyddwyr y bu hi hyd y tri mis olaf o'i gwasanaeth. Tra y bu mewn teuluoedd crefyddol teimlai ei hun yn awyddus at bob moddion o ras; ond wedi ymadael a hwynt teimlai ei hawydd yn colli, oherwydd ei bod yn cael ei llyngcu i fynu i ysbryd dynion diofn Duw. Hi addefodd yn yr Eglwys ei bod yn colli ei hawydd at y moddion. Rhoddodd yr Eglwys iddi rybuddion, cynghorion, ac annogaethau dwysion iawn.

Dywedodd unwaith wrth ei brawd, ei bod yn meddwl mai gadael yr eglwys oedd oreu iddi: torrodd ei brawd i wylo, a dywedodd, 'O fy chwaer, ti a ddygi benwyni fy nhad a'm mam mewn gofid i'r bedd, a phechi yn erbyn Duw yn ddirfawr.' Torrodd hithau i wylo yn fawr. Ar ol hyn ymroddodd i weddio. Un tro, wrth weddio, llewyrchodd y geiriau hyn ar ei meddwl, 'Cadarnhaf fy nghyfammod â thi, i fod yn Dduw i ti, ac i'th had.' Gwelodd ei bod hithau yn un o'r had; a phenderfynodd drwy gymhorth lynu wrth yr Arglwydd. Yn y cyfamser, gwelodd ei meistriaid yn gwneud gwawd o'i Bibl Cymraeg, aeth hyn yn saeth at ei chalon, a hi a'i cuddiodd ef fel nas gwelsant mo hono mwy.

Ynghylch y pryd hyn, ymaflodd afiechyd ynddi, ac nis gollyngodd hi: ac ar ddymuniad ei thad, hi a ddaeth adref. Daeth adref ddiwrnod cyn Cymdeithasfa Dolgellau, a chafodd fuddioldeb neillduol wrth wrando ar Mr. Ebenezer Richards, yn trin y geiriau, 'Pa hyd yr ydych yn loffi rhwng dau feddwl?' Nid anghofiodd yr ymweliad hwn tra y bu byw. Yn ysbaid maith ei chlefyd ei Bibl bach oedd ei chyfaill gorweddfa; a'r Psalmau yn benaf a ddarllenai. Gwlychodd lawer ar ei gorweddle â'i dagrau o herwydd ei bywyd diogoniant i'r Arglwydd.

Er arferyd pob moddion a allem, cynyddu yr oedd ei hafiechyd, a'i meddwl hithau mewn dychryn mawr wrth edrych ar y byd tragywyddol. Un diwrnod wrth ymdeimlo â'i chlefyd, a theimlo ei hun yn tueddu i rwgnach, llewyrchodd y geiriau hyn i'w meddwl, 'Ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol, tra na bom yn edrych ar y pethau a welir.' Teimlai ei meddwl yn cael tawelwch mawr trwyddynt. Yn yr amser hwn cafodd lawer o gysur wrth gofio amryw ddywediadau Mr. Henry Rees, yn dangos parodrwydd yr Arglwydd i dderbyn pechadur, ac yn neillduol dywediad y diweddar Mr. W. Jones, Dolyfonddu, wrth gyfranu swper yr Arglwydd, 'a fu farw yn dy le,' yr hwn ymadrodd a goffaodd lawer gwaith yn ei chystudd.

Un diwrnod yr oedd yn isel iawn ei meddwl drwy'r dydd, ac yn methu codi o'r gwely fel arferol; gofynai ei thad, a oedd hi yn salach y diwrnod hwnw. Attebodd, nac ydwyf, ond anghrediniaeth sy bron a fy lladd! Ynghylch chwech ar gloch y prydnawn, cafodd afael yn y penill,

'Fe dd'wedodd anghrediniaeth,
Do wrthyf lawer gwaith,
Am beidio phoeni'r Athro,
Mai ofer fyddai 'ngwaith,' &c.

Ac wrth ganu ei ddiwedd, 'Af at yr orsedd etto,' &c. hi neidiodd o'i gwely, ymwisgodd, a daeth i lawr o'i hystafell.

Ychydig cyn ei marwolaeth, ymwelodd Mr. R. Griffith â hi, a chyfranodd swper yr Arglwydd iddi; pryd hyn llonodd ei meddwl yn fawr, canys gwelodd ddigon yn Nghrist i bechadures fawr fel hi. Ebrill 18, 1837, am dri ar gloch y boreu, cafodd lewyg drom drwy rym effeithiau ei phoenau mawrion a dwys. Galwodd am ei mam a'i brawd, ac a ffarweliodd â ni oll gyda gwedd siriol iawn. O hyny hyd ganol dydd dyoddefodd gystudd mawr, a'i meddwl yn llawn diddanwch yn ei ganol. Am un ar gloch brydnawn, galwodd am ei

Bibl, a darllenodd y 84 Psalm, gyda llais eglur, a llawenydd mawr yn ei gorlenwi: a diolchodd i'r Arglwydd am gael ei darllen unwaith etto cyn marw. 2 ar gloch, yr oedd yn edrych yn hynod o ddigalon. Gofynodd ei thad, a oedd hi yn fwy tywyll arni. Attebodd, ei bod. Beth yw'r achos? eb yntau. O, anghrediniaeth, meddai. Yn fuan dywedodd, 'Yn y dyfroedd mawr a'r tonnau, nid oes neb a ddeil fy mhen; ond fy anwyl Briod Iesu, yr hwn fu farw ar y pren.' Gofynodd ei thad, Pa le y mae anghrediniaeth? Mae ef dan draed, meddai hithau. Adroddodd y pennill drachefn; a gofynodd, 'Anghrediniaeth, pa le yr wyt ti yn awr?' Gofynodd ei thad, Pa fodd y cefaist ti ef i lawr? Mi a'i llusgais ef at y groes! meddai hithau.

Ar ol hyn edrychodd ar ei Bibl oedd ger llaw, a dywedodd, Daccw fe, mae pob peth ynddo, son am faddeuant pechodau, cnawdoliad, dyoddefaint, a dyrchafiad Grist; ïe, mae pob peth ynddo sydd ar bechadur eisiau. Yna crybwyllodd am y llen lliain fawr, a dywedodd, yr oeddwn innau yn bono: yr oedd e, Pedr, yn o *fiti* wrth edrych ar y pethau oedd ynddi; ond yn wir, 'fe roddodd Duw i'r Cenhedloedd hefyd edifeirwch i fywyd.' Cysgodd ychydig ar ol hyn; a phan ddeffrodd, ymaflodd yn llaw ei thad, a dywedodd, Wel, fy nhad bach, ni ddeuwch chwi ddim pellach na glan yr afon, ond mae genyf gyfaill can mil gwell na chwi. Y pryd hyn y dywedodd gyntaf, fod yn well ganddi farw na byw. Dywedai, peth rhyfedd fy mod wedi colli ofn marw heddyw. Gofynodd ei thad, beth a dynodd yr ofn? Yr Yspryd, beth arall? meddai. Yna dywedodd, 'Gollwng fi Arglwydd mewn tangnefedd.'

Am dri ar gloch, dywedodd, mae yn ddiwrnod go galed heddyw, ond mae yn gwenu arnaf weithiau. Yna gorchymynodd i ni roddi ei haddurn ddirwestol i fyned gyda hi i'r bedd. Galwodd am ei Bibl drachefn, a dywedodd, mae yn rhy ddrwg genyf fyned ag ef yn fwyd i'r pryfed. Trodd at y 12fed o'r Pregethwr, a darllenodd yr adnod gyntaf, a dywedodd, mae 'y dyddiau blin wedi dyfod heddyw;' yna trodd at adn. 7. 'Yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu, ac y dychwel yr yspryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef.' Chwanegodd, O mae yn anhawdd dywedyd, 'Bydded dy ewyllys ar y ddaear.' Wedi hyny, dywedodd, 'Myn'd yr wyf o awr i awr, tua'r trag'wyddoldeb mawr.' Medd ei thad, mae noddfa gyda Christ yn Nuw. Oes, meddai, ac mae wedi cuddio fy mhechodau 'y tu ol i'w gefn:' a chwanegodd, 'O angau pa le mae dy golyn?' Caiff fy yspryd fyn'd at Dduw yr hwn a'i rhoes. Onid ydwyt yn dychrynu? meddai ei thad. Nac ydwyf, meddai, mae angau heb ei golyn, a'm pechodau wedi eu maddeu, O diolch byth! Edrychodd ar ei brawd oedd gerllaw, a dywedodd, 'Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau; Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw.'

Ar ol hyn, dywedodd fel yr oedd yn ewyllysio rhanu ei llyfrau. Yna gofynodd pa amser oedd hi, a phan attebwyd mai 4, dywedodd, caf lawer o boenau cyn 4 y boreu os byddaf byw; ond mae yr Iesu i mi yn ddigon yn y dŵr ac yn y tân: dyma'r cyfaill goreu a gaed. Peidiwch digio wrthyf fy nhad bach, mae yn gan mil gwell na chwi, mae yn medru maddeu a chuddio bai. Yr amser a fyno aed a'm bywyd. Oh mae yn beth rhyfedd os gwelir fi yn y nefoedd! Ar ol hyn, dywedodd, fy nhad bach, pa bryd y daw y commisiwn i fy mofyn? Nis gwn, meddai yntau. Wel, wel, meddai, yr amser y gwelo fy Nhad nefol yn dda: yr oeddwn yn meddwl y cawswn fyned er y boreu; ond fe allai y caf fyw un noswaith etto i ddweud am waed y groes. Rhyw gornel sydd heb ei gorphen, onite cawn fyned: codi y meini o'r tyrau llwch, mae gwaith cymhwyso mawr arnynt. Edrychodd drachefn ar ei Bibl, a dywedodd, O fy Mibl bach, yr ydwyf wedi cael digon ynddo i gadw fy enaid am byth.

O, meddai, pe cawn fyned ymaith! Cei yn fuan fy merch, medd ei thad, oblegid fe aeth yr Iesu i barottoi lle i bechadur. Nid i un, fy nhad, onitê ychydig o obaith fuasai i mi; ond i 'dyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo, o bob llwyth.' Yr ydym wedi haeddu bod yn uffern, fy merch, meddai ei thad. O ydym, ac ni buasai dim cwmwl ar gyfiawnder Duw pe yno y buasem. O, meddai, dyma y nos olaf wedi dyfod; ond mae yn nos hyfryd iawn. Pryd hyn cwynai ei mam iddi fod ei thafod yn ddolurus. Tafod o bridd ydyw hwn fy mam, meddai,

tafod ysbrydol fydd genyf yn fuan. Ar hyn daeth cymmydog i'r tŷ. Gofynodd iddo, a wnai efe un peth a geisiai hi. Attebodd gyda dagrau, y gwnai os gallai. Ymuno a'r Gymdeithas Dirwest, meddai; mae yn bur dda genych hanner peint, a hen wrthgiliwr ydych: ond mae gan yr Arglwydd faddeuant i wrthgilwyr. Yna gwelodd ei chwaer yn wylo. Paid ag wylo fy chwaer, mae genyt ddwy chwaer etto: mae genyf finau 'frawd wedi ei eni erbyn caledi.' Ar ol hyn cafodd lewyg. Ac wedi dadebru, dywedai ei thad, yn bellach bellach yr wyt yn myned. O ïe, meddai; ond mae pob peth yn dda. Afon angau yr ydwyf wedi myned iddi, ond nid ydyw ond ffos bach, cam ydyw! ac nid ydwyf yn dychrynu, oblegid mae angau heb ei golyn; ac mae genyf gyfaill yn gwenu arnaf yn dda iawn. Dyma y cyfaill goreu gaed; mae yn parhau yn ffyddlawn mewn caledi.

Ar hyn daeth un o'n cymmydogesau i'r ystafell. Gofynodd iddi pa fodd yr oedd. Attebodd, mae yn dda iawn arnaf fi, mae angau heb ei golyn. Pan oedd hono yn myned ymaith, ffarweliodd am byth a hi. Attebodd hithau, deuaf yma y foru i'th edrych. O, meddai hithau, mi fyddaf fi ar ystyllen boreu foru. Yna dywedodd, mae y nos yn dyfod; ond fe allai mai y nos y bydd hi oleuaf: 'cyfyd goleuni yn yr hwyr.' Edrychodd ar ei chwys mawr ar ei dwylaw, a dywedodd, Wel, fy nhad bach, Nid oes yma ddim chwys gwaed, ac nid oes dim o'i eisiau: nid oedd eisiau ond un i chwysu y gwaed: a chwanegodd, 'Na thaw, O Dduw fy moliant.'

Ar ol hyn, gwelodd ei brawd yn ysgrifenu. Gofynodd, Beth oedd efe yn ysgrifenu. Attebwyd, ysgrifenu ychydig o dy hanes di i'w ddangos i'th ddwy chwaer sydd yn absennol. O, meddai hithau, hanes fy mywyd annuwiol i, dywedyd fy null annuwiol i iddynt, ai ië? Yna meddai, Claddu merch 23oed, ond nid yn meddau'r blys! Oh diolch, nid claddu puttain chwaith! Attebodd ei thad, gobeithio fy merch nad ydwyt yn pwyso ar y pethau yna. Nac ydwyf; ar ufudd-dod Crist yr wyf yn pwyso; ond nid pethau bach ydyw y rhai hyn y dyddiau yma.

Ar ol hyn, soniodd rhyw un am gysgu; clywodd hithau, a dywedodd, yr ydwyf finnau yn disgwyl cysgu yn fuan yn y bedd; 'y fan lle gorweddodd yr Arglwydd.' Beth y gwnewch chwi yn siarad? Nid oes dim *damp* yno chwaith! a daeth Iesu oddiyno, ac agoriadau uffern a marwolaeth wrth ei wregys. Yna chwanegai, peidwch ag wylo fy nhad bach, a minnau mor dda arnaf: mae genyf gyfaill yn fy nghuddio yn y dydd blin o fewn ei babell, yn nirgelfa ei babell: ac mae wedi taflu fy mhechodau 'y tu ol i'w gefn.' Yna dywedodd, gwrandawodd yr Arglwydd fy ngweddïau pan oeddwn yn fy nghystudd yn methu myned ar fy ngliniau. Bellach, caf fyned yn fuan i'r fan lle na ddywed y preswylydd claf ydwyf; lle y mae 'yr hwn a'n gwnaeth ni yn frenhinoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef.' Yna gofynodd i'w mam oedd yn wylo, mam bach, a ydych chwi ddim yn foddlon i mi i fyned? 'Cysgod angau a heb drefn' yw hwn, fy mam bach. Wrth edrych ar ei chyfyngder, dywedai ei thad, Oh'r glyn tywyll! Nage yn wir fy nhad, meddai, mae yn oleu iawn, oblegid mi roddais fy hun i bwyso ar Iesu Grist.

Ynghylch un ar gloch y boreu, Ebrill 19, dywedodd mae y llewyg yn dyfod, a diolch am hono; beth a wnaf yn grwgnach, caf fyned at Iesu yn gynt: yr wyf yn synu fy mod heb ofn marw, fy nhad. Y Sabbath diweddaf atteliais chwi i'ch cyhoeddiad gan ofn marw, ond chwi gewch fyned heddyw os mynwch. Yna, wedi dadebru ychydig, torrodd allan i ganu gyda llais mor glir nes ydoedd pawb yn yr ystafell wedi synu,

'Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn ein lle.'

Cenwch fy nhad bach, cenwch, mae hi yn yn oleu iawn, O diolch!

'Swm ein dyled mawr fe'i talodd.'

Lle yr ydych, fy nhad bach? cenwch yn lle wylo, a hithau mor oleu ar hen bechadur! Nid ydwyf wedi byw er gogoniant i Dduw. O na, torri Sabbathau, a'u sathru dan fy nhraed; ond, O rhyfedd, maent wedi eu maddeu. O na bai genyf ddigon o nerth, mi a waeddwn diolch nes y daddseiniai'r ddaear! 'Er nad yw fy nhŷ i felly gyda Duw; etto cyfammod tragywyddol a wnaeth efe a mi.' O diolch iddo! 'Y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symmudant, ond fy nhrugaredd ni chilia.' O..

diolch! Yr ydwyf yn meddwl y caiff anghrediniaeth ei rwymo â rhaff dair cainc, a'i daflu gyda Satan tros fil o flynyddoedd. Janet Davies, deffro i ganu, hen bechadur fel fi yn myned adref dan orfoleddu!

Y pryd hyn, dywedai ei brawd, Wel, fy chwaer, yr ydwyt yn myned ymaith. Ydwyf fy mrawd, meddai, yn myned adre i ganu! Beth a geni di wedi myned? medd yntau. 'Iddo ef, yr hwn a'n carodd, ac a'n golchodd yn ei waed ei hun.' Lle sydd yno heb ddim cenfigen, dim ond cariad i gyd! Ië, y babell hon a ddattodir; ond ni ddettyd y llall byth: 'byw i mi yw Crist, a marw sydd elw.' Ar ol hyn, syrthiodd i galedi mawr, ac ynddo dywedodd weddi yr Arglwydd oll, a dywedodd, 'Gwneler dy ewyllys fy Nhad,' drachefn a thrachefn.

Ar ol hyn, wrth edrych ar ei chyfyngder, dywedodd ei thad, O angau caled! O'r hen bechod cas a barodd hyn! Medd hithau, Ië, ie, ffordd ddyrys iawn yw hon, ond mae yn go dda gydag Arweinydd wedi bod ar hyddi o'r blaen. Sal iawn ydwyf; ond beth a wnaf yn grwgnach? bu fy Ngwaredwr yn salach: nid oes dim gwaed yn fy chwys i. Ar ol hyn bu ysbaid bach yn ddistaw; a dywedodd, Mae arnaf ofn cychwyn garw iawn, fy nhad bach. A ydyw hi yn dywyllach arnat? meddai yntau. Ydyw o lawer yn wir. Yna, gyda hyn dywedodd, Dyma hi yn goleuo etto! O ba le? Medd ei thad. O ben Calfaria, meddai hithau. 'Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria.' Fe fu anghrediniaeth yn faich trwm ar fy nghefn; ond yn awr cefais ymadael ag ef, mae wedi ei rwymo ar ben Calfaria.

Eilwaith dywedodd, sal iawn ydwyf. Mi geisiais dy wellâu fy ngoreu, meddai ei thad. Do, a methasoch, medd hithau. Mae genyf fi un a ddichon fy nghwbl iachau: 'Does dim o'ch eisiau chwi. 'Ië, ïe, meddai, 'nid rhyw *sham* o gystudd a rydd Iesu Grist i'w bobl: O na, rhyw *chwip* go ddwys i gael ei blant adref.'

Yna gofynodd, 'A wnewch chwi ganu gyda mi, 'Aeth i'r lladdfa yn ein lle?' Yn fuan iawn ar ol hyn, clywem hi yn dywedyd yn ddistaw iawn, 'Arglwydd Iesu derbyn fy yspryd.' Ac ehedodd ymaith ychydig funudau cyn tri ar gloch y boreu, Ebrill 19, 1837.

### CYNGHORION I BREGETHWYR IEUAINC GAN MR. LELAND O VIRGINIA.

Os ydwyt wedi ymrwymo yn ngwaith yr Arglwydd, mae arnat eisiau llawer o addysgiadau i'th hyfforddi ar dy daith; gan hyny cyflwynaf it y rheolau canlynol:—

1. Ymwrthod â phob peth, ac a'th hunan, ac ymorphwys yn unig ar y digonolrwydd sydd yn addewid Crist, Math. xxviii. 20. Y mae hyn oll yn angenrheidiol i wir grefydd fel nad oes le i ti byth golli dy olwg arnynt.

2. Y mae cristion a phregethwr yn ddau beth gwahanol: fe ddichon dyn fod yn gristion da, ac yn bregethwr drwg; ond ni all dyn fod yn bregethwr da ac yn gristion drwg: gan hyny, rhaid i bregethwr wilio arno ei hunan, ac ar yr athrawiaeth.

3. Y mae cymundeb gwastadol â Duw yn fywyd pregethwr, gymaint ag yw arian yn ewinion rhyfel.

4. Ofer yw i bregethwr ddisgwyl crefydd oddi cartref, heb iddo fyw bywyd sanctaidd yn ei deulu; neu ddisgwyl presennoldeb Duw wrth bregethu yn gyhoeddus, heb iddo ei daer geisio yn y dirgel.

5. Darllain, gwrando, myfyrio, gwilio, a gweddio, ydynt foddion angenrheidiol i gadw y pregethwr yn ngoleuni bywyd, a chariad Duw: disgwyl y mwynhad o honynt, heb y cyfryw ofal fyddai mor ofer a disgwyl cnawd heb lafurio am dano.

6. Na ddynwared ym ddygiad, llais, neu foesau un dyn, (ddim pellach nag y byddont yn tueddu i rinwedd), oblegid fe roddes y Duw doeth gynheddfau i bob dyn i'w arferyd ei hunan, ac nid i ddynwared eraill. Y mae'r hwn sydd yn ymorchestu i bregethu, gweddio, canu, neu ymddwyn fel un arall, yn mhob dim, yn debyg i'r dynion hyny a gynnygiodd *fwrw allan gythreuliaid yn enw yr Iesu, yr hwn oedd Paul yn ei bregethu.*

7. Gochel hunan-dderchafiad, ar ol hwyl dda wrth bregethu, neu pan y caffech dy arddel yn fawr, i ennill eneidiau at Dduw, rhag dy fyned yn falch ac anwiliadwrus. Na fydd chwaith yn rhy athrist pan fyddo y bendithion yn cael eu hattal, rhag it lwfrhau yn ngwaith yr Arglwydd. Nac ymfalchia pan fyddo rhifedi lawer o bobl yn dy wrando; ac na lwfrha pan na byddo ond ychydig—ychydig a llawer oedd rhan dy feistr o'th flaen.

8. Gochel ymfalchio pan y'th ganmolir, na myned yn ddigllon pan y'th ddirmygir; dy ffordd yw myned ymlaen yn gymmwys, trwy glod ac anglod, heb wrando ar gleber gwrageddos, canmoliaeth na gwawd neb pobl, tra fyddoch ar lwybr dy ddyledswydd.

9. Na chymer un ffurf neu drefn o bregethu, os na fyddi yn cael dy dueddu felly ar y pryd; ac na wrthod hyny, os cei dy ogwyddo felly er lles cyffredinol.

10. Bydd ddiwyd i roi cynghorion dirgelaidd a theuluaidd: y mae hyn wedi bod yn fwy buddiol rai gweithiau na'r pregethiad mwyaf llafurus.

11. Gochel bregethu i foddio dy wrandawyr yn unig: y mae hyn wedi bod yn niweidiol lawer gwaith; ond ni ddylit o'r ochr arall lwyr ddiystyru tymmer neu elfen y bobl rhag it golli dy ddefnyddioldeb yn eu plith.

12. Na feddwl fod dy alwedigaeth mor uchel, fel na ddylit ar un achos ymdrafferthu â negeseuau y bywyd hwn. Paul, pan gaffai odfa a wnai bebyll.

13. Fel y mae gwaith y weinidogaeth yn galw am ymarferiad gwastadol y meddwl: felly mae'n aml yn galw am ddiwydrwydd y corph. Nid oes dim yn fwy ffiaidd yn ngolwg Duw a dynion da, na phregethwr segur dioglyd.

14. Na fydd yn rhy bendant yn dy haeriadau, nac yn cymeryd arnat dy fod yn anffaeledig yn dy resymau. Oddi eithr iti (fel yr Apostolion) allu eu cadarnhau trwy wyrthiau.

15. Bydd yn wastad yn agored i argyhoeddiad, c yn ewyllysgar i adael pob cyfeiliornad i gofleidio y gwirionedd, pa le bynag y caffech di ef.

16. Gwna dy hun yn hyddysg yn yr holl ysgrythyr; darllain hwynt yn ddiragfarn: yn neillduol yr Efangylwyr a'r Epistolau Paul at Timotheus.

17. Ysbryd y testyn, yn wastad a wna'r araith fwyaf bywiog: llais cynghannedd, codi a gostwng y lleferydd, fel y byddo achos, ac ymddygiad hardd ac addfwyn ydynt addurnol; ond yr areithydd goreu yw yr hwn sydd ganddo fwyaf o dân cariad at eneidiau ei wrandawyr.

18. Wrth bregethu, dylit yn wastadol ystyried amgylchiadau, lle, ac amser, a chymeryd testynau perthynol i'r gwrandawyr: ond ni ddylit fod mor sefydlog ar un testyn, na ellych gymeryd un arall os byddi yn cael dy dueddu yn fawr i hyny.

19. Nac ymyraeth byth âg achosion teuluaidd, ac nac ymddarostwng at ragfarn sefydlog cymydogaethau. Ond trefna dy holl fwriadau wrth odidog waith Duw. Pan fyddoch mewn cyfeillach gyffredin, gwell i ti ymddiddan am hanesion eglwysaidd, egwyddorion llywodraeth, ac arwyddion yr amserau (yr hyn a ddylai pob pregethwr ei wybod) na goddef i'r gyfeillach fyned yn mlaen yn ddifudd a phechadurus.

'Ystyria yr hyn a ddywedais, a'r Arglwydd a roddo iti ddeall da yn mhob peth.'

Cyfieithiad D. W.

Mae'n sicr fod yn y 'Cynghorion' uchod lawer o bethau tra theilwng o sylw, yn enwedig, cynghor y 6ed ar 12fed. Os bydd pregethwr enwog wedi cael ei godi mewn rhyw wlad, ceir gweled y rhai ieuaingc a godir ar ei ol yn ymdrechu tebygoli iddo o ran dull, agwedd, a llais: bydd llais amryw a wn i am danynt mor annhebyg wrth weddio neu bregethu i'r hyn a fydd mewn ymddiddan cyffredin, fel y bydd yn anmhosibl eu hadwaen oni bai ini gael eu gweled â'n llygaid. Peth arall hefyd teilwng o sylw sydd yn y 12fed cyngor, oblegid cyn pen hanner blwyddyn ar ol i rai gael myned i waith y weinidogaeth, rhoddant ffarwel i'r gwaith a'r gelfyddyd oedd ganddynt yn flaenorol, a byddant a'u llygaid dros eu hysgwydd am ryw gyfle i gael bywioliaeth foethus a segur. Y Cyfieithydd.

---

## LLYTHYR VI.

*Oddiwrth hen Weinidog yr Efengyl at ei Fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

Anwyl Blentyn—Gyda yr hyfrydwch mwyaf yr ydwyf yn ysgrifenu attat, yn enwedig pan y deallaf fod yr hyn a ysgrifenais wedi effeithio yn ddaionus ar dy feddwl a'th ymarweddiad. Wedi im' ymdrechu i'th addurno a'th gyfarwyddo yn lleoedd ac achosion dirgel dy swydd, mae yn ddyledus arnaf bellach fod yn rhyw gymorth er dy addurno â gweddeidd-dra i ymddangos yn y rhanau amlwg o'r gwaith. Pan aeth doethineb i 'adeiladu ei thŷ, hi a naddodd ei saith golofn.' Gan fod Eglwys Crist yn

cael ei galw yn 'Golofn a sylfaen y gwirionedd,' felly hefyd mewn rhyw ystyr, yn fwy arbenig, y mae bugeiliaid Eglwys Crist, yn rhai sydd yn cynal gair y bywyd, yn eu calonau mewn profiad a myfyrdod; yn eu bywyd, mewn ymarweddiad; ac yn eu pulpudau mewn athrawiaeth.

Ond gan fod *geiriau yr Arglwydd yn eiriau puriaun*, angenrheidiol a gweddus yw, fod y colofnau wedi eu naddu yn gymwys i'w cynnal. Gwedi dy rybuddio yn daer ar fod dy holl fuchedd yn sanctaidd, ïe, mor ddichlynaidd ag y gellit gerdded mewn esiamplau o flaen holl braidd Crist, 'Obleg id RHAID i Esgob fod yn ddiargyhoedd.' Deuaf yn awr i adrodd it, y dylit fod yn weddus hefyd yn dy bulpud, ac nid yn unig peidio a bod yn achos i'th gynnulleidfa wrido a gostwng pen mewn cywilydd o'th herwydd, ond yr ochor arall y gallont lawenhau ac ymffrostio yn nestlusrwydd dichlynaidd a hardd eu gweinidog. 'Bydded dy arafwch yn hysbys i bob dyn,' yn dy anturiaeth a'th fynediad i ymddangos yn nghyhoeddus le a chafell y cysegr, (y pulpud wy'n feddwl.) Pethau disylw sydd genyf, etto yn haeddu sylw mawr: byddaf yn gofidio yn yr olwg ar lawer yn eu byrbwylldra hyfaidd yn anturio i bulpudau gyda'r brys mwyaf, fel pe byddai rhyw bendro ar eu ymenyddiau, neu ofn yn eu poeni rhag i ryw un arall redeg ac achub y blaen arnynt i'r pulpud. Mae dringo ei risiau yn orchwyl y bydd arafwch syml yn fy meddiannu i bob amser (nid cymmaint o herwydd henaint) wrth ei gyflawni.

Byddwn yn annog ein gwrandawyr i fod yn weddus yn eu dyfodiad i dŷ Dduw, pa faint mwy mae y rhan a sengwn ni arno yn galw am weddeidd-dra wrth fyned iddo, ac ynddo hefyd. Mae yn gof i mi weled un yn ddiweddar, yr oedd yn ddigon buan ganddo dynu ei het pan oedd hoel y pulpud yn ddigon cyfleus iddo i ei chrogi arni. O, ni a ddylem ymddwyn mor addas a syml yn ein pulpudau nes cenhedlu syniadau difrifol ymhawb a'n gwelom i farnu wrth ein hagwedd cyn i'n adrodd â'n tafodau mai gweision y Duw Goruchaf ydym; a'n bod fel y Seraphiaid yn meddu ar ddigon o adenydd i guddio ein penau a'n traed ger bron yr Arglwydd Hollalluog, yn gystal ag i fod yn barod i ehedeg ar ei orchymyn yn ein gweinidogaeth. Mae y lle y safwn, y Person a gynnrychiolwn, y gorchwyl yr ymdrinwn, y weinidogaeth a gyhoeddwn, y trysorau a gynnygiwn, a'r gwrthrychau a berswadiwn, yn taer ddeisyf ïe, yn gosod y rhaid mwyaf arnom i ymddwyn yn addas i Efengyl Crist yn ei bulpud wrth ei chyhoeddi.

Bydded gofal arnat hefyd am fod dy ymadrodd yn eglur ac addas yn dy ymdriniaeth â'r gwaith. Hynod o anweddus yw ein bod yn is ac yn fwy annealllus yn ein lleisiau pan y byddom yn darllain rhan o air Duw, na phan y byddom yn adrodd ein geiriau ein hunain. Mae yn arferiad lled gyffredin fod rhyw besychu a thrafferth anniben gan lawer wrth adrodd eu testyn, ac mewn helynt mawr wrth geisio cael eu llais i gywair erbyn iddynt ddechreu cyfrif eu pyngciau: bydd yn anmhosibl i'r rhan fwyaf o'r gwrandawyr ddeall y testyn; hyn sydd wrthuni mawr y dylid ei ochelyd.

Ymdrecha hefyd i gael agwedd dy gorph a'th aelodau yn gydunol â'th eiriau: mae y gwaith o bregethu yn gofyn ein holl egni i'w gyflawni; a chywrain yw y gweinidog hwnw a fedr bregethu i'w gynnulleidfa â'i agwedd, fel â'i eiriau. Oh, fe fu, ac y mae gan Grist etto, rai wedi eu haddurno âg ysgogiadau pregethu. Pan y byddai Hervey yn ei areithiau yn arwain ei wrandawwyr i ystyriaethau am dragywyddoldeb, byddai mewn deheuder ymadrodd fel yn agor y drws iddynt i graffu tu mewn i'r llen; ac ar fethiad geiriau, byddai gwywdra ei aelodau, gwelwlasder ei wynebpryd, yn cyd atteb gyda mudandod ymadrodd, nes peri argraff a sawyr byd tragywyddol ar ei gynnulleidfa. Whitefield, yntau hefyd, pan yn cynnyg trysorau yr Efengyl, byddai yn ei agwedd fel yn dirgymell y perlau, ac yn meddu rhyw ddull ar ei gorph fel pe buasai yn ennill dynion i'w dderbyn.

Ond os ydym ni yn fyr o fedrusrwydd y sêr disglaer yma, etto dylem ninnau wneud egni ar fod ein holl ysgogiadau yn deilwng i'n cenhadwri. Byddaf yn rhyfeddu mor ddoeth yr oedd yr Yspryd Glan yn dysgu hên bregethwyr y Bibl: dysgodd Ezeciel i daro â'i law, a churo â'i droed, wrth ddatgan barnedigaethau Duw; dro arall i gyfnewid ei lais, 'Gwaedda ac uda, fab dyn,

taro y naill law yn y llall mewn galar. Wrth ddysgu Esaiah gorchymynodd iddo 'lefain â'i gêg, a pheidio arbed.' A chawn yr Arglwydd Iesu yn wylo uwch ben Ierusalem. Ac wrth ddarllain y Bibl, yr wyf yn gorfod barnu mai arwydd o fod y gogoniant yn ymadael oddi ar y Cerub yw yr agwedd lonydd, foneddigaidd, a digyffro, a welir ar lawer sydd ar enw gweinidogion. Mae gweision Satan, y chwareuwyr, a'r darogenwyr, mor ddeheuol yn gwneud ystumiau, ac yn amlhau eu hagweddau i gyd-atteb â'u geiriau, nes peri argraff effeithiol iawn ar eu hedrychwyr. Clywais am un o honynt yn rhoi cerydd llym i hên weinidog am ei agwedd glaiar ac anghyson â'i genadwri.

Y peth nesaf etto, ar ol it ymdrechu gosod dy hun mewn agwedd addas, yw cael dy gynnulleidfa hefyd yr un modd. Camp lled anhawdd yw ennill sylw ac ystyriaeth y gwrandawyr na byddo ar un ochor i wamalrwydd ysgafn lywodraethu arnynt, nag yr ochor arall i syrthni a difatterwch ormesu arnynt. Ac mae hyn mewn rhan i gael ei ennill neu ei golli gan y Gweinidog. Bydd y Crïwr (*Bellman*) yn rhoi tinc ar ei gloch i ennill dystawrwydd a sylw cyn adrodd ei newydd: bydd y ceiliog yn ymguro â'i adenydd cyn canu. Ac felly rhaid i ninnau ymdrechu trwy ryw foddion gweddus i ennill sylw ein gwrandawyr, onide bydd y cwbl o'n gwaith yn ofer. Mae hyn gwedi bod yn nod ymdrech llawer o weision Crist, ac arferasant lawer dull i ennill ystyriaeth eu gwrandawyr.

Un pregethwr wrth weled golwg farwaidd ar ei gynnulleidfa, a ddywedodd, fod ei destyn yn y 14eg o'r Pregethwr; 'O na,' meddai 'mi a gamsyniais, yn yr 8fed y mae;' 'hynod iawn,' meddai eilwaith, 'mi gamsyniais etto.' Yna dechreuodd y bobl sylwi arno, ac yntau yn canfod hyny a adroddodd ei destyn yn gywir. Un arall, wrth wel'd colli sylw ei wrandawyr, a lefodd yn annisgwyliadwy, 'Boreu llun diweddaf y crogwyd dyn yn ———' Yn y foment newidiodd gwedd y dorf, a chafodd yntau wrandawiad. Nid wyf yn hoffi dull cecrus llidiog wrth alw sylw ein gwrandawyr, a'r bygwth mawr os na cheir ufudd-hâd: mae yn wir nad yw hyny bob amser, ond yn caledu yn hytrach nag ennill. Nid mor foddhaol genyf arfer ymadroddion cyffelyb i 'deliwch sylw,' a 'gwrandewch,' bob deuair trwy y bregeth; fe gynnefina y gwrandawyr â hyny. Ond mae eisiau ein callineb i fedru arfer moddion a phethau a serchog ennillo glustiau ac astudrwydd ein gwrandawyr, heb i ni eu symbylu fel asynod dan eu pwn.

Ar ol it dy gael dy hun a'th gynnulleidfa i agwedd addas i addoli, yna y peth nesaf im' dy grybwyll yn ei gylch yw y gorchwyl o bregethu. Y gwrthrych, yw Crist Iesu yr Arglwydd, ac nid neb llai, ei fwy nid oes i'w gael: dyma wrthrych addoliad angelion, gwrthrych serch a chariad y saint, a gwrthrych addas i'w bregethu i bechaduriaid: pethau am dano ei hun o'r ysgrythyrau a esboniodd efe i'r ddau ddisgybl ar y ffordd i Emmaus. Dyma y Crist a bregethodd Philip i'r Cesareaid, ac ni wyddai am neb gwell i'w bregethu i'r Eunuch. Oh wrthrych, mae fy mywyd yn ei law; mae fy enaid yn ei garu! Yr ymhyfrydaf yn ei wasanaethu! Y mwynhâf bleser yn ei bregethu! a'm nefoedd byth fydd ei gwinni! Ond gan fod yr Iesu y fath un, nid y pwngc lleiaf yw y dull goreu i'w bregethu, dywedodd un fod eisieu cymaint o ddoethineb i wybod beth i'w adael allan o'r bregeth ag sydd i wybod beth i roi ynddi. Ond mae gan bob un o honom ei ddawn ei hun, ac mae gan ein gwrandawyr hefyd eu dewis ddoniau o honom.

Yr oedd Paul yn ysgrifenu 'yn ol y ddoethineb a roed iddo ef;' a llawer yn ei hoffi, ond eraill yn ei farnu yn rhy ddysgedig, a'i ymadrodd yn anhawdd ei ddeall; a Phedr zelog yw eu pregethwr hwy, er i wrandawyr Paul ei farnu yn un dirëol—a rhyw un arall yn barnu y dylai y ddau draddodi eu cenadwri yn fwy serchoglawn fel Ioan gariadus, ac felly mae gwahanol ffyrdd i gwblhau yr un gwaith, ac oll yn fuddiol a derbyniol.

(I'w barhau.)

## DIRWEST.

### PENDERFYNIADAU YNGHYLCH DIRWEST.

Syr,—Yn Nghyfarfod Misol y Methodistiaid Calvinaidd yn swydd Dinbych, a gynnaliwyd yn Mochdref, Mai 17 a'r 18, Cynhygiwyd a chymmeradwywyd y pethau canlynol yn un llais, o'r bron, y rhai y dymunwyd arnaf eu hanfon i'r Drysorfa.

1. Fod y Cyfarfod Misol yn cymmeradwyo amcan ac egni y Gymdeithas Ddirwestaidd, fel yr amcan *cyffredinol* rhagoraf at wrthwynebu a thynu i lawr feddwdod ac anghymedroldeb y wlad a'r byd.

2. Ein bod yn annog ein holl frodyr crefyddol i gefnogi y Gymdeithas hon. Ac na oddefir i neb o'n cyfeillion ei dirmygu, na dywedyd yn ei herbyn, heb eu ceryddu am hyny; oblegyd fod hyny yn gablu daioni, ac yn gefnogiad i anghymedroldeb.

3. Ein bod yn ystyried tori yr Ymrwymiad Dirwestaidd yn dori ammod syml, a a chan hyny yn bechod: gan benderfynu fod y rhai a wnant hyny i'w ceryddu am y bai hwn, yn ol ei amgylchiadau, fel pechodau ereill.

Fel hyn, gwelwch beth yw ein barn ni fel Cyfarfod Misol.

Ydwyf yr eiddoch, dros y Cyfarfod Misol,

JOHN FOULKES.

*Bettws*,
*Mai* 18, 1837.

## DYLEDSWYDD YR EGLWYS

### YN RHAID LLWYR-YMATTALIAD ODDIWRTH WLYBYROEDD MEDDWAWL

Yr eglwys sydd i feddiannu y lle blaenaf yn mhob diwygiad moesol. Ni ddylai di-ogi nac annewredd ei hattal i ymddwyn yn briodol i'w sefyllfa oruchel. Y diwygiad dirwestaidd sydd anturiaeth sanctaidd. Cafodd ei ddechreuad dan ddylanwad y Bibl a'i ddyngarwch sanctaidd, wedi i'r byd roddi ymaith y gobaith o ddiwygiad. Dechreuodd yn yr eglwys. Dynion ym-roddedig Duw a roddasant y cynhyrfiad cyntaf iddo. Hwy a gawsant allan yr eg-wyddor ardderchoca erioed a wobrwyodd lafur yr athronwyr—y bydd i lwyr ymattal-iad waredu y byd o'r felldith ddychrynllyd, a'r pla dinystriol, anrhaith pa rai ydoedd yn ymhelaethu yn flynyddol. Dechreuodd mewn gweddi, a rhyfedd ydyw fod Cristion-ogion yn amheu y priodoldeb o weddio yn y cyfarfodydd cyhoeddus cysylltiedig a'r achos hwn. Peidiwch a chyssylltu gweddi âg ef, gadewch iddo syrthio ymaith i dir-oedd isel cymmwysder a threfnyddiaeth wladol, ac mae'r achos yn annocheladwy yn diflanu. Yr ydym yn ddyledus am ein holl lwyddiant i wenau Duw. Bydded i'r eglwys yn wastadol a dibaid erfyn eu par-hâd.

Mae yr eglwys yn rhwym trwy ei holl addunedau a'i phroffes, trwy ei rhwymedig-aethau cyfammodol, trwy ei dyledswydd i ddyn, ac i achos rhinwedd, i gynnal i fynu bob cymdeithas ag sy'n amcanu diwygio y byd trwy foddion priodol. Mae amrywiol ffyrdd trwy ba rai y dichon iddi weithredu yn ei chylch priodol ei hun tu ag at gyflawni y gwaith hwn.

1. *Trwy bregethu.* Dyledswydd y gwein-idogion yw arddangos yr achos hwn yn ngoleuni y Bibl a thragywyddoldeb. Pe buasai yn cynnwys matter o drefnyddiaeth gwladwriaethol, yn achosi diwydrwydd a chyfoeth y genedl; pe ymholiad yn unig a fyddai am iachusrwydd neu niweidiolrwydd unrhyw sylwedd neillduol; yna ni byddai yn dyfod yn bennodol dan sylw gweinidog yr efengyl. Ond os yw y fasnach mewn gwlybyroedd meddwawl, a'u harferiad fel diod, yn bechod ac yn bechod ysgeler; os yw eneidiau dynion yn cael eu distrywio gan y fasnach hon; os yw ei llwyddiant a'i helaethiad yn ddymchweliad i grefydd; os nad eill y mil blynyddoedd ddyfod tra y ffyna hon; yna dylai gweinidogion Crist seinio nodau larwm. Dylent roddi dar-luniad goleu a difrifol o'r euogrwydd a'r canlyniadau tragywyddol sy'n gyssylltedig a'r ymarferiadau hyn. Mewn ffaith, nid wyf yn gweled pa fodd y gallwn ddisgwyl diddymiad masnach ag sydd o gymmaint o elw i gynnifer, oddieithr i'r cyffredin gael eu dwyn i'w hystyried yn ddifrifol yn ei chanlyniadau tragywyddol i yfwyr a gwerth-wyr. Gwn ein bod yn fynych yn clywed sylwadau yn nghylch myned yn rhy gyf-lym i'r farn gyffredin; ac mi a ddymunwn fod amser digonol i'w gael i drin y pwnc hwn yn y cyssylltiad yma. Mae cyfeil-iornad ymddangosiadus, helaeth, a niweid-iol yn ei gylch. Mi a ofynaf yr holiad hwn: a ddylai gweinidogion wrth bregethu *ddilyn* y farn gyffredin, *araf-gerdded* gyd â hi, neu ei *harwain* a'i diwygio? Os dywed gweinidog i'r bobl y peth a wyddent o'r blaen, efe a all adfywio eu cof; ond nis gall eu haddysgu fel ysgrifenydd yn dwyn allan bethau newydd a hen. Os dywed efe i'r bobl fod y pethau hyny yn feius, y rhai y gwyddent hwy eu bod yn feius cyn iddo ddywedyd iddynt, ni wna mo'u tram-gwyddo yn wir, na thynu arno ei hun y cyhuddiad o wallgofrwydd. Ond a wna efe iddynt unrhyw les? Os yw y farn gyffredin yn dywell, pwy sydd i'w goleuo? Os yw yn wyrgam, pwy sydd i'w hunioni?

Onid gorchwyl neillduol prophwydi yr Arglwydd ydyw, dysgu moesolrwydd a chref-ydd? Oni ddylent hwy ddangos i'r bobl fod llawer o bethau a dderbyniasant hwy oddi-wrth eu tadau, ac ydynt yn awr yn arfered-ig, ac yn cael eu rhyfeddu yn fawr, eu bod er hyny yn bechadurus? Neu a fydd yn rhaid iddynt hwy yn wastadol aros hyd onis caffo y bobl allan trwy ryw foddion arall, pa beth sydd yn uniawn a pheth sydd yn feius. Nid felly y gwnaeth Enoch, na Lot, na Ieremia, na Ioan, na'n Iachawdwr. Yr ydoedd y farn gyffredin yn hollol wyrog ar lawer o byngciau pwysfawr mewn moes-olrwydd; ïe, ac fe'i hamddiffynid ar y pyngciau neillduol hyny, gyd â chyfeiriad at y Bibl; ond ein Hiachawdwr a'u hadd-ysgai yn oleu ac a'u ceryddai yn difrifol. Mae yn wir na ddarfu i hyny chwanegu llawer ar ei boblogrwydd. Ac nis dichon iddo, yn ol natur yr achos; gwrthwynebu yr hyn sydd boblogaidd mae yn rhaid iddo fod yn anmhoblogaidd. Ond ei foddlon-deb ef ydoedd mewn puro yr awyr-gylch foesol, ac mewn achub miliynau ag oeddynt y pryd hwnw heb eu geni, oddiwrth gyfeil-iornad, pechod, a thragywyddol drueni. Os yw yr egwyddorion hyn yn gywir, ni wnawn ond ychydig o les i chwi ac achos dirwest, os, yn ara-deg a chachgïaidd, na bydd i'n hymddiddanion ymlusgo i fynu ond cyn uwched yn unig ag y mae'r farn gyffredin wedi cyrhaeddyd. Ein dyledswydd yw syllu i dragywyddoldeb, a benthyca ein goleuni o'r dydd hwnw pan na bydd gwran-dawiad i ddadleuon arferiadau, chwant, ac elw, ond gwirionedd—gwirionedd eglur, noeth, a thragywyddol—a brawf waith a nodweddiad pob dyn, ac a sefydla eu tyng-hedfen. Ac os rhaid i unrhyw waradwydd-iadau ddyfod i unrhyw ddosparth o ddyn-ion am amddiffyn y gwirionedd, bydded i'r blaenoriaid dderbyn yr ymosodiad cyntaf.

Dichon i'r eglwys gynnorthwyo y diwyg-iad hwn trwy—

2. *Ymddiddan drwy y Wasg.* Mae def-

ayddioldeb y wasg yn weledig i'r rhan fwyaf: ac fe allai na ddangoswyd ef erioed yn fwy grymus nag yn nghynydd yr achos hwn. Ond mae o bwys hefyd fod yr oll a ddyweder gan bob aelod eglwysig ar y testyn hwn yn wirionedd. Un proffeswr crefydd, trwy ddal allan y dyb nad yw y fasnach yn y gwlybyroedd meddwawl yn ddrwg moesol, a eill barâu drygioni llawer o werthwyr hyd ddydd eu marwolaeth, ei drosglwyddo fel cymyn-rodd i'w plant, ac anfon llawer o'u cyd greaduriaid i ddychrynfeydd tragywyddol y meddwyn. 'Na fyddwch gyfranogion o bechodau rhai eraill.' Ar yr eglwys a'r weinidogaeth, yn fwy nag unrhyw ddosparth arall o ddynion, mae goleuo a diwygio y farn gyffredin yn ymddibynu. 'Chwi yw goleuni y byd.'

Dichon i'r eglwys ei gynnorthwyo trwy—

3. *Ei harferiad*. Golyg-ddysg pa mor gywir bynag, ni effeithia i gyfnewid y byd, os bydd y rhai fyddont yn ei bleidio yn ei wrthwynebu yn eu harferiad. Os yw y fasnach yn fwrddrad, pa fodd y gall aelodau eglwysig barâu i'w brynu a'i werthu? Mi ofynaf yn unig i gydwybod yr eglwys a synwyr cyffredin y byd. Os yr eglwys yw goleuni y byd, pa fath oleuni mae yr aelod hwnw yn ei ddangos sy'n gwerthu gwirf? Goleuni *ignis fatuus*: mae yn llewyrchu i hudo a dinystro. Mae'r pwngc yn benderfynedig, mai tra bydd i grefydd gael ei pharchu, ni chyfyd y byd uwchlaw yr eglwys mewn moesau. Un proffeswr crefydd, ag sydd yn gyson mewn golygiadau eraill, trwy barâu i ymarferyd a'r gwenwyn hwn, a eill dawelu cydwybodau a chaledu calonau haner cant eraill, a bod yn darian effeithiol i'w hamddiffyn rhag y gwirionedd. 'Na fyddwch gyfranogion o bechodau rhai eraill.'

Mae yr eglwys yn rhwym

1. I buro ei hun. Ai masnach fwrddrol ydyw, neu a ydyw yn ddrwg moesol ar unrhyw dir arall? Yna pa fodd y gall un eglwys gristionogol dderbyn i'w mynwes, a chroesawu fel ffyddlawn ac ufudd ddisgybl i Iesu Grist, un dyn a fo yn parâu ynddi? Fel gweinidog, nis gallwn i dderbyn i gymundeb a chymdeithas gristionogol y cyfryw berson. Golygwyd hyn, gan rai, yn dir rhy uchel ac anniffynadwy: nis gallaf fi weled un fodfedd islaw hyn yn sefyllfa o gysondeb. Os oes gwerthydd diodydd meddwawl yn eich eglwys, llafuriwch gyd âg ef mewn cariad, gweddiwch drosto, wylwch yn ei achos; ond, Oh, na adewch ef hyd onis gadawo ef y fasnach euog a chreulon hon. CYFIEITHIAD,

## CYMDEITHAS DDIRWESTAIDD LLANFYLLIN.

Syr,—Dywenydd genyf allu eich hysbysu fod diwygiad mawr wedi bod yn mhlith y meddwon, yn y dref hon a'i hamgylchoedd, a hyny trwy offerynoldeb y Gymdeithas rinweddol a boneddigaidd hon. Sefydlwyd hi ryw bryd yn niwedd y flwyddyn ddiweddaf; ond ni bu ei chynnydd ond lled araf am beth amser; ond yn awr, y mae ei chynnydd i'w weled o'r bron bob dydd. Ei harogl sydd esmwyth, a'i lefain sydd fel pe byddai am lefeinio yr holl does ar frys.

Nis gellir dywedd fod Mr. *Alcohol* wedi gollwng ei afael yn llwyr o'i holl hen ddeiliaid gyddfau sychlyd: mae ganddo rai, yn mhlith y byd a'r Eglwys, yn aros etto.

Yr ydwyf fi yn credu fod yma sylfaen castell cadarn wedi ei osod, nas gall yr un gelyn, gloddio atto, er maint ei gyfrwysdra a'i ddichellion, na'i dynu i lawr, er cael holl gywaid Annwn i'w gynnorthwyo—Llwydd i ddirwest medd eich ewyllysiwr da hyd angau. MOESGARWR.

## Y FFLWYDDYN SABBATHAWL.

### *Rhai Sylwadau ar Lefit. 25. 4, &c.*

Mae pob rhan o air Duw yn haeddu ein sylw, am mai gair Duw ydyw, ac am mai er ein haddysg ni yr ysgrifenwyd ef, Rhuf. 15. 4. Mae rhai rhanau o'r gwirionedd yn fwy disylw gan ddynion yn gyffredin na rhanau eraill o hono, a da y gwna gweinidogion y gair ystyried y rhanau hyny weithiau, eu codi i sylw y bobl, a cheisio dangos eu hystyr, a'r defnyddioldeb o honynt: hyny yw amcan y papuryn hwn.

Er nad yw y ddeddf hon, am y flwyddyn Sabbathawl mewn grym i ni, nac i neb yn awr; etto fel rhan o air Duw, ac fel cysgod daionus bethau i ddyfod, mae yn werth ein sylw ni, er ceisio ei deall: am hyny ceisiwn ddangos yn fyr, beth oedd dyben rhoddi y cyfryw ddeddf a hon, yr hon a gadwyd gyntaf, mae yn debyg, tua 14 blynedd wedi i Israel fyned i Ganaan; fel hyn:—Bu Iosuah 7 mlynedd yn darostwng y wlad, yn ei rhanu rhwng y llwythau, ac yn sefydlu pob teulu yn ei etifeddiaeth; gwedi hyny yr oedd 6 blynedd i lafurio y tir a chasglu ei ffrwythau; (adn. 3.) felly rhaid bod y flwyddyn Sabbathawl gyntaf yn dyfod y 14 flwyddyn, wedi i Israel fyned dros yr Iorddonen i Ganaan.

Ar y dydd cyntaf o Fis *Tisri*, dechreu blwyddyn *wladol* yr Iuddewon, a dydd lleuad newydd ein *Medi* ni, y dechreuai y Sabbath saith flynyddawl hwn; ac i barâu hyd y dydd hwnw y flwyddyn ganlynol. Y pryd hwnw yr oedd yr holl gynhauaf, yn ydau a ffrwythydd coed, wedi ei gasglu i mewn; ac yna gorphwysid am flwyddyn gyfan, heb na hau na medi, na thrin dim ar y ddaear, ond casglu yr hyn a dyfai o hono ei hun, megys dogn dydd yn ei ddydd; a hyny yn eiddo cyffredin i bawb, hyd yn nod dieithriaid, anifeiliaid, a bwystfilod y maes. Rhaid mai ar yr amser uchod, a diwedd y cynhauaf, y dechreuai y flwyddyn Sabbathawl; nis gallasai ddechreu yn mis *Abib*, dydd lleuad newydd ein *Mawrth* ni

yr hyn oedd ddechreu blwyddyn *eglwysaidd* yr Iuddewon; oblegyd yr oedd y cynhauaf oll ar y maes y pryd hwnw, heb ei gasglu, a'r gwenith heb addfedu am 7 wythnos wedi hyny, a ffrwythau y coed yn ddiweddarach eilwaith na hyny, meddant.

Weithian ceisiwn ddangos beth oedd dybenion cadw y flwyddyn Sabbathawl hon, neu rai o'r dybenion hyny; yr hyn oedd fel y canlyn:—

1. Cedwid y Sabbath hwn, i ddangos awdurdod Duw ar amser, a'i hawl ef i gael a fynai o hono at ei wasanaeth ei hun; megys dydd o bob *saith*, blwyddyn o bob *saith*, a Jubili bob *seithwaith saith* o flynyddoedd.

2. I wasgu ar y bobl yn fwy, eu rhwymau i gadw y Sabbath wythnosol; ac i wneud y cadwedigaeth hwnw yn ysgafnach neu esmwythach yn eu golwg.

3. I roddi hamdden ac amser iddynt, i ddarllen cyfraith eu Duw, ac i droi eu meddyliau oddiwrth y byd at bethau crefydd, ac achos eu heneidiau. Darllenid y gyfraith yn gyhoeddus i'r holl bobl, ar y flwyddyn Sabbathawl yn wastadol, Gwel Deut. 31. 10—13.

4. I roddi seibiant i'r gweithwyr tlodion, oddiwrth eu llafur caled drwy y blynyddoedd eraill; ac fel y caent fwynhau esmwythder, a chyfran chwanegol a rhad o bethau da y ddaear; oblegid y flwyddyn hono yr oedd yn rhydd iddynt hwy gasglu o gnwd hunan-dyfol y ddaear, ar faesydd y neb a fynent, ac o'u gwinllanoedd, eu holewyddlanoedd, &c.

5. I ddangos neu gydnabod, mai Duw oedd Arglwydd y tir, ac nad oedd y bobl ond deiliaid dano ef ac wrth ei ewyllys: megys rhent, neu ardreth i'r Arglwydd oedd hyn, yn cael ei dalu bob saith mlynedd.

6. I arbed y tir bob saith mlynedd, fel y byddai yn frasach, yn fwy cynnyrchfawr, ffrwythlawn, a thoreithiog, o'r arbediad hwnw am y 6 blynedd i ddyfod. Arfer gyffredin gan amaethwyr etto, yw gadael eu tiroedd i orphwys am flwyddyn yn awr ac eilwaith.

7. I ddysgu y bobl i fod yn gynnil a darbodus am y 6 blynedd eraill, yn enwedig ar y chweched, blwyddyn y llawnder; (adn. 21.) fel y byddai ganddynt fodd i fyw yn ddibrinder ar y flwyddyn Sabbathawl.

8. I'w dysgu i ymddiried yn nghofal Duw a'i ragluniaeth ar y flwyddyn orphwys, tra yr ymroddent i'w wasanaeth ef yn ol ei orchymyn.

9. I ddangos gallu a daioni Duw tu ag attynt, yn rhoddi digon iddynt ar y chweched flwyddyn, i'w cynnal ar y seithfed; ïe, hyd gynhauaf yr wythfed flwyddyn. Ac yna dywedwn, Pa ddeddf-roddwr ond un dan ysbrydoliaeth Duw, a fuasai yn beiddio rhoddi cyfraith o'r fath hon i wlad a chenedl o ddynion; ac anturio dywedyd y caent hwy gnwd digonol ar y chweched flwyddyn i'w cynnal am dair blynedd? Pe buasai hyny yn methu, buasai yn brawf nad oedd Moses yn llefaru o Dduw, eithr o hono ei hun; a buasai ar unwaith yn dymchwelyd awdurdod ac ysbrydoliaeth ei holl ysgrifeniadau a'i holl gyfreithiau ef. Ond ni fethodd Duw gyflawni ei addewid yn adn. 21, gymmaint ag unwaith; pe amgen cawsid gwybod yn fuan hyny, trwy ddigon o dystion ag oedd yn fyw yn yr oesoedd olynol hyny. Dywed rhai i'r bobl esgeuluso cadw y Sabbathau hyn am gynnifer a 70 o weithiau; ac mai am hyny y cawsent fyned i Babilon dros y nifer pennodol hyny o flynyddoedd. Gwel 2 Cron. 36. 21.

10. I beri i'r cyfoethogion wybod i ryw raddau, pa fodd yr oedd y tlodion yn gorfod byw bob amser; sef ar brinder a thrwy gynnildeb mawr. Er bod *digon* y flwyddyn hon, etto gallwn feddwl nad oedd *ond* digon, a bod yn rhaid i'r cyfoethogion fyw yn gynnil, fel y tlodion bob blwyddyn.

11. I ddwyn ar gof iddynt fywyd dedwydd Eden, heb na hau na llafurio, cyn y farn o orfod bwyta bara drwy chwys y gwyneb: dygai y flwyddyn hon ar gof iddynt ddedwyddwch dyn cyn y cwymp, yn nghyd â'r cwymp a'i effeithiau dilynol.

12. I gysgodi gorphwysiad ysbrydol a sanctaidd y credinwyr yn Nghrist, a'u hymneillduad oddiwrth y byd i'w wasanaethu ef.

13. I gysgodi Sabbath dedwydd y Milflwyddiant, medd rhai; sef yr amser hyfryd a fydd ar y byd yn y Mil Blynyddoedd a ddaw.

14. I gysgodi y Sabbath mawr, dedwydd a thragywyddol, a gaiff yr holl waredigion, Israel ysbrydol Duw, yn y nef; wedi i'w holl lafur a'u cystuddiau ar y ddaear ddarfod byth, a hwythau yn mwynâu cyflawnder o ddedwyddwch, didrai a diddarfod, i dragywyddoldeb.

15. I gysgodi y byddai bendithion yr Efengyl yn rhydd ac yn rhad i bawb, cenhedloedd yn gystal ac Iuddewon, fel yr oedd cnydiau hunan-dyfol y blynyddoedd Sabbathawl felly i bawb, i ddieithriaid yn gystal ag i Israeliaid, ïe i anifeiliaid a bwystfilod y ddaear. Gwel Act, 10. 10—12.

*Rhai sylwadau diweddol.*

1. Cyflwynwn ein hamser a'n gwasanaeth i Dduw, fel mae efe yn gorchymyn ac yn galw am dano: ein rhesymol wasanaeth yw hyny.

2. Ymddiriedwn iddo ef i ofalu am danom, tra byddom ni yn ufuddâu iddo ef, ac yn ymroddi i'w wasanaeth.

3. Gwelwn gymmaint yn esmwythach yw arnom ni nac ydoedd ar Israel; diwrnod o bob saith mae Duw yn geisio genym ni, heb y flwyddyn.

4. Byddwn foddlawn, ïe, awyddus, i bawb gyfrannogi o'n breintiau rhad ni; fel y cai pawb o ffrwyth rhad y flwyddyn Sabbathawl gynt.

5. Edrychwn yn mlaen a hiraethwn, am y Sabbath mawr a pherffaith ddedwydd yn y nef; nid am flwyddyn ond am byth bythoedd, ie, tragywyddoldeb ei barâd. Amen. Medd yr eiddoch, J. HUGHES.
*Llundain, Mehefin* 2, 1837.

O. Y. Nid dychymygion yr ysgrifenydd ei hun yw y sylwadau uchod oll am y flwyddyn Sabbathawl; eithr lloffion a gasglodd efe o wahanol awdwyr enwog, yn ystod ei waith yn dethol Sylwadau Eglurâol ar yr Hen Destament. Efallai y bydd yn ddywenydd gan rai eu darllen, ac y byddant yn foddion i dynu sylw rhywrai at y gwaith uchod ar yr Hen Destament, yr hwn sydd yn awr yn cael ei gyhoeddi: tybia y Detholydd ei hun, gyda gostyngeiddrwydd, ei fôd yn werth ei brynu a'i ddarllen, yn enwedig gan bob Cymro uniaith.

## Gofynion.

Syr,—Y mae cysondeb yr adnodau sydd yn Philippiaid 1. 21, 23. a 2. 25—27. yn anhysbys i mi, gan hyny, A ganiattewch chwi i mi ffurfio 'chydig o Ofyniadau oddiwrthynt ger gwydd eich Gohebwyr fel y gallwyf trwy hyny gyfleu iddynt y *peth* sydd ynddynt fal yn ddyryswch i fy meddyliau. A gobeithiaf na bydd iddynt fod yn rhyw hir iawn cyn dyfod a'u hystyriaethau atto, ac anfon i mi oleuni arno.
GOREU Y GALLWYF.

1. A oedd Epaphroditus yn wir gristion? Ac os oedd, A ellir meddwl ei fod ef fel yr oedd yn gyfryw, yn agos i'w le o ran agwedd ei gyflwr, ei ysbryd, a'i brofiad, yn yr amser y coffeir gan Paul ei fod ef yn glaf ac yn agos i angau? Gwel Phil. 2. 27.

2. A oedd Paul yn meddwl wrth y geiriau, 'Ond Duw a drugarhaodd wrtho ef,' yn Phil. 2. 27. fod Epaphroditus y pryd hyny wedi cael ei hollol waredu rhag angau natturiol fel nad oedd raid iddo ef ofni'r amgylchiad mwy?

3. A ellir casglu oddiwrth Phil. 1. 21, 23. fod Paul yn golygu fod marw yn elw ac yn ynnill i bob gwir gristion? Ynte iddo ef yn unig fel Apostol?
Darllener yr adnodau.

4. Os oedd Paul, a'i lygaid ar ei holl frodyr crediniol yn yr Arglwydd, pan yn ymadroddi felly; ac yn golygu eu bod hwythau hefyd yn ennillwyr mawr wrth farw. Attolwg, Pa fodd y cydsaif y meddylddrych hyny, a'r gosodiad a wneir ganddo mewn perthynas i Epaphroditus yn Phil. 2. 27. pan y dywed, mai *trugaredd* a gafodd Epaphroditus gan Dduw yn ei *adferiad* a'i *waredigad* rhag marw?

Syr,—Teimlwyf fy hun yn bur ddiolchgar i chwi am yr eglurhad a gefais ar ddywediadau yr Efengylwyr ynghylch 'caniad y Ceiliog' yn amgylchiadau Pedr, pan wadodd efe ei Feistr, canys rhoddodd i mi foddlonrwydd mawr.

Ond cododd hyny awydd arnaf, am ofyn etto am oleuni ar y personau a fuont yn achlysurol i Pedr wadu ei Feistr. Dywed Mathew a Marc mai 'llances' oedd yr offeryn iddo wadu yr ail dro; ond Luc a ddywed mai 'un arall,' yr hwn a eilw Pedr 'y dyn.' A Ioan a ddywed mai 'hwythau a ddywedasant wrtho.'

Hefyd, am ei waith yn gwadu y trydydd tro, dywed Mathew a Marc mai 'y rhai oedd yn sefyll yno;' ond dywed Luc, 'rhyw un arall,' a Ioan 'Un o weision yr Archoffeiriad, a ddywedodd, oni welais i di gydag ef yn yr ardd?' Dangosiad o'r cyssondeb sydd yn yr ymadroddion hyn a bair i mi fod fyth yn fwy diolchgar.
GWR LLEYG.

## Attebion.

*Atteb i Ofyniad Yot yn Rhif. 78. tu dalen 178. 'A ydyw yn addas galw Bedydd a Swpper yr Arglwydd yn Sacrament?'*

Att. Nid wyf fi yn gallu gweled nemawr o annaddasrwydd galw yr Ordinhadau hyn yn Sacrament; er yn ddiau mai mwy addas fyddai eu galw ar yr enwau a roddir iddynt yn yr Ysgrythyrau. Mae y gair *Sacrament* yn tarddu o'r gair lladin *Sacramentum*, yn arwyddo *llw*, neu *ymrwymiad trwy lw cyssegredig: llw milwr*, y mae rhai yn dewis ei esbonio, sef llw a gymmeraf milwr wrth ymrwymo i fod yn ffyddlon i'w frenin.

Mae llawer iawn o ddadleuon wedi codi erioed oddiar arfer geiriau anysgrythyrol am bethau duwinyddol neu grefyddol. Da iawn fyddai pe diwygid yn hyn. Megis pa sawl sacrament y sydd? Saith medd y Pabyddion. Dau medd y Protestaniaid. Ond nid yw *Sacrament* yn air Ysgrythyrol.

Y bedydd cyntaf, a elwir 'bedydd Ioan,' Marc 1. 4. a 'bedydd edifeirwch,' Luc 3. 3. A'r bedydd efengylaidd a elwir mewn ffordd o enwogrwydd, 'y bedydd.' Col. 2. 12. 'un bedydd,' Eph. 4. 5. 'bedyddio yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan,' Math. 28. 19. 'bedyddio yn enw Iesu Grist,' Act. 2. 38. 'Yn enw yr Arglwydd Iesu' Act. 8. 16. 'Bedyddio i'w farwolaeth ef,' Rhuf. 6. 3.

Ac am yr Ordinhad arall, gelwir hono yn 'Swpper yr Arglwydd.' 1 Cor. 11. 20. 'Cymmun corph Crist—cymmun gwaed Crist.' 1 Cor. 9. 16.

Wrth son am bethau dwyfol, y 'geiriau a ddysgir gan yr Ysbryd Glan' yw y geiriau cymhwysaf i'w gosod hwy allan yn eu gwir ystyr, eu dyben, a'u cyflawnder. Megis pan soniom am yr ordinhad hon dan yr enw 'Swpper yr Arglwydd,' mae y meddwl yn cael ei ddwyn i'r oruwch ystafell yn Ierusalem, lle yr oedd yr Arglwydd Iesu gyda'i ddeuddeg disgybl yn eistedd i fwyta'r pasc, ac ar ol hwnw, efe a osododd i fynu

yr ordinhad hon, yn ei swpper diweddaf, ac a'i hordeiniodd i barhau hyd ddiwedd y byd, gan ddywedyd, 'Gwnewch hyn er cof am danaf.' Matt. 26. 26—30. 1 Cor. 11. 26.

A thrachefn, pan soniom am dani dan yr enw 'Cymmun corph a gwaed Crist,' mae yn ein cyfeirio at yr ordinhad fel moddion cymmundeb pechaduriaid â'r corph a ddrylliwyd, a'r gwaed a dywalltwyd drostynt ar y groes. Mae yn wir nad allwn ni byth weled corph Crist yn cael ei ddryllio, na'i waed ef yn cael ei dywallt, yn sylweddol, â llygaid ein cyrph; ond mae torriad y bara yn y Cymmun, a thwalltiad y gwin yn yr unrhyw, yn foddion wedi eu gosod gan Grist, Pen yr Eglwys, drwy yr hyn, y gallwn ni, yn yr oes hon o'r byd, weled drwy ffydd yr Iesu, Cyfryngwr y Testament Newydd, yn marw ar y Groes, ac ymborthi arno, er ein budd ysbrydol.

CYHOEDDWR.

## CATECISM NEWYDD.

Fe'm taer gymhellwyd gan rai pregethwyr, ac yn enwedig gan amryw athrawon yr Ysgolion Sabbathol, yn Nghaerlleon a'r cymmydogaethau amgylchiadol, i ffurfio Catecism bychan yn Saesoneg, i'w ddefnyddio rhwng y Rhodd Mam a Chatecism y Parch. Mr. Charles.

A phan gaethiwyd fi gan afiechyd a gwaeledd, rhag llafurio yn gyhoeddus yn ngwaith y weinidogaeth fel arferol, mi a ddefnyddiais y Gauaf diweddaf i ffurfio y cyfryw Gatecism: gelwais ef 'A Father's Gift to his Children,'—'Rhodd Tad i'w Blant,'—ac argreffais ddwy fil o honynt. Ac yn awr mae plant bach y Saeson wrth y cannoedd yn ei brysur ddysgu, gydag awydd a difyrwch mawr.

Y darlun addurniadol yw y canlynol.



Come forward, my children, I'll teach you the way<br>
Lest wicked companions should lead you astray.<br>
The Book of instruction I hold in my hand,<br>
Will lead you to heaven, that true happy land.<br>
It shews you are sinners, like all of mankind,<br>
And in it, for sinners, a Saviour you'll find.<br>
It teaches your duty to God and to men:<br>
That you may be happy, I'll add my *Amen*.

Ei gynnwysiad sydd fel y canlyn:—

*Y Dosparth cyntaf.*

Pennod I. Am Dduw.<br>
II. Am Briodoliaethau Duw.<br>
III. Am waith y Greadigaeth.<br>
IV. Am gyflwr dyn yn Mharadwys.<br>
V. Am gwymp dyn.<br>
VI. Am bechod.<br>
VII. Am gyflwr dyn wrth natur.<br>
VIII. Am Iesu Grist y Gwaredwr.<br>
IX. Am farwolaeth Crist.<br>
X. Am adgyfodiad Crist.<br>
XI. Am ddyrchafiad Crist.<br>
XII. Am Swyddau Crist.<br>
XIII. Am argyhoeddiad ac edifeirwch.<br>
XIV. Am y cyfammodau.<br>
XV. Am ffydd.<br>
XVI. Am gariad Duw.<br>
XVII. Am gyfiawnhad.

*Yr ail Ddosparth.*

Pennod I. Am gyfraith Dduw.<br>
II. Y Deg Gorchymyn.<br>
Eglurhad ar y cyfryw Orchymynion a berthynant yn bennodol i blant.<br>
III. Y trydydd Gorchymyn.<br>
Engraifft o'r drwg sydd mewn torri y trydydd Gorchymyn, ac o ddigofaint Duw yn erbyn yr euog. Ynghyd a Holiadau ac Attebion ar y cyfryw.<br>
IV. Y cyffelyb am y 4ydd Gorchymyn.<br>
V. Y cyffelyb am y 5ed Gorchymyn.<br>
VI. Y cyffelyb am y 6ed Gorchymyn.<br>
VII. Y cyffelyb am yr wythfed a'r nawfed Gorchymyn.<br>
VIII. Am Weddi.

*Y trydydd Dosparth.*

Hanesiaeth Ysgrythyrol.<br>
Pennod I. Am y Diluw.<br>
II. Am yr Israeliaid yn yr Aipht.<br>
III. Am y Brenhinoedd Dafydd a Solomon.<br>
IV. Am y Caethiwed yn Babilon.<br>
V. Am wasgariad yr Iuddewon.

Wedi i'r Cymru weled y Catecism uchod, anfonwyd attaf yn daer am ei gyfieithu i'r Gymraeg. Diolchaf gan hyny os bydd i ryw rai o'r Prydyddion cystal ag anfon i mi gyfieithiad o'r llinellau Saesoneg uchod, a'r goreu o'r rhai a anfonir a gyhoeddir.

*⁂* Gwel ei bris ef ar Amlen y Drysorfa, Rhifyn 77. CYHOEDDWR.

## Dysgawdwr Cyffredinol.

### V. Am ADEILADAETH.

98. Mae dyn, fel creaduriaid eraill, yn gofyn cael lleoedd i'w ddiddosi ei hun rhag afrywiogrwydd y tywydd. Bwystfilod ysglyfaethus ydynt yn encilio i frysglwyni ac ogofëydd; yr afangcod ydynt yn adeiladu tai o laid; a'r cwningod yn gwneuthur tyllau dan y ddaear. Dyn, yn ei gyflwr

mwyaf anwar, ydoedd yn dynwared eu harferion; ond wedi hyny mae wedi rhagori arnynt, trwy gymmorth ei reswm.

99. Yn mhlith llwythau anwar, yr ydym yn cael, yn y dydd hwn, fod llawer o'r Siberiaid a'r Americaniaid-Gogleddol yn trigo dan y ddaear; gan fod a'u hanneddau aflan wedi eu ceuad i fynu yn hollol am fisoedd y gauaf. Mewn parthau gwresocach mae yr Americaniaid yn adeiladu cytiau (*wigwams*) o bolion, dail, a thywyrch, ar ddull pabell milwr.

Syl. 1. Yn Affrica, defnyddiau y Kraals neu'r tai ydynt yr unrhyw â'r wigwams: ond eu dull sydd gylchaidd, gyd â thwll yn ei grib i ollwng allan y mwg; ac, i gadw allan fwystfilod ysglyfaethus, mae y ddyfodfa i mewn yn cael ei gwneuthur yn isel, a'r trigolion yn ymlusgo i fewn ac allan.

2. Yr Esquimaux, y genedl sy'n byw yn eithafoedd y Gogledd oer, oherwydd diffyg o ddefnyddiau eraill, ydynt yn adeiladu tai o iâ, yn cael eu twymno â llusernau.

100. Nifer o'r trigfanau tanddaearol hyn mewn un lle, neu gasgliad o'r wigwams neu'r kraals, ydynt yn gwneuthur llwyth o'r Siberiaid, Americaniaid, neu Affricaniaid. Mewn llawer o ynysoedd Môr y Dê, y brodorion, pan gafwyd hyd iddynt gyntaf, oeddynt wedi dysgu dyrchafu y cronglwydydd ar bolion, a llenwi ystlysau gwastad eu tai â cheingciau neu frwyn, llaid neu dywyrch, fel ein tai ninnau.

Syl. Bythod llawer o'r tlodion, ydynt etto yn cael eu hadeiladu yn y modd hyn, yn Mrydain; ac ni raid i ni ond ychydig deithio o'n cartrefi i weled dulliau dechreuol adeilad-waith.

101. Y cenhedloedd hyny, y rhai a godasant nenau eu tai yn gyntaf, ac a wnaethant ystlysau gwastad iddynt a gyfrifid yn rhai celfyddgar yn y gelfyddyd hon. Y rhai a ddechreuasant arferyd cerig gyntaf, pa mor anghelfydd bynag, a llaid neu glai i lenwi i fynu y gwagleoedd rhwng y cerig, ac i'w cymmrydu ynghyd, a wnaethant welliant arall.

Syl. Ar ol y caffaeliad o haiarn a metteloedd, pan ddaeth y fwyall, y morthwyl, y llif, a'r llyfniedydd, yn drec adeiladwyr, gallir tybied y byddai i dai yn fuan gael eu codi i ddau uchder, a'u cynnyddu mewn maintiolaeth a chyfleusdra.

102. I wneuthur cerig celfyddgar a chyfartal-luniedig, trwy losgi clai yn briddfeini, ydoedd ddyfais yn mhellach o fawr bwys; oherwydd ei fod yn rhoddi defnyddiau cyffredinol at adeiladaeth, mor barâus a cherig, heb y gost o gludo, ac yn aml gyd â llai o lafur nag ydoedd angenrheidiol i gloddio a llunio y cerig.

Syl. Priddfeini goreu Llundain ydynt yn cael eu gwneuthur o glai, tyfod, a lludw; ac maent yn naw modfedd o hyd, pedair a hanner o led, a dwy a hanner o dewder. Yn ganlynol, wrth osod priddfeini, dwy yn y lled, gyda chyfryngau i'r cymmrwd, ydynt gyfartal i un yn yr hyd, a'r croesau a'r rhwymiadau angenrheidiol a allant felly gael eu gwneuthur heb anghyfartalrwydd yn y mur.

103. Y cymmrwd cyntaf i furiau ydoedd naill ai llaid ai clai; ond, mewn amser, arweiniodd profiad i wneuthur dewisiad yn hytrach o galch, tywod, a dŵr yn gymmysgedig; at yr hyn, tu ag at gymmrwd parâus, mae blew ychen yn awr yn cael ei chwanegu. Coed ydynt yn gwneuthur y defnydd nesaf i adeiladaeth, at fod yn drawstiau a byrddau llorio. Gyd â phriddfeini a chymmrwd, gan hyny, wedi eu gosod yn dda, gan saer priddfeini; gyda choed, wedi eu hiawn ddodi ynghyd a hoelion, gan saercoed; mae anneddau yr holl fyd gwareiddiol yn awr yn cael eu gwneuthur.

Syl. Calch sydd gareg wedi tynu ymaith yr awyr sefydledig, (*carbonic acid*) ohoni trwy dân; trwy ei gymmysgu a thywod neu ludw, yn cynnwys awyr sefydledig, yr ydys yn attroi y calch i gareg drachefn yn fuan. Oherwydd hyn mae y cymmysgedd o gymmrwd haiarn-bwrw, i lawer o ddybenion, i ba rai y defnyddid coed yn gyffredinol, yn ddiweddarach wedi cael ei arferyd er mawr fuddioldeb.

104. Megis nad yw y ddyfais o simneiau i ddwyn y mwg ymaith ond peth diaddurn, etto peth a gafwyd allan yn ddiweddar ydyw; ac, wrth adeiladu tai, oeddynt anadnabyddus hyd o fewn y pum canrhif diweddaf. Hyd yr amser hwnw, byddai y mwg yn diangc trwy dwll yn y tô.

Syl. Dyfais yn y canol, rhwng twll yn y tô, a lle tan caeedig, ydoedd y simnai agored, yn ochr y mur; yr hon yr ydym yn ei gweled etto mewn hen dai ffermydd; a'r teulu yn eistedd o amgylch y tân, o dan y twll llydan sydd yn myned a'r mwg ymaith.

105. Y moddion i ollwng goleuni i mewn, ac ar yr un pryd cadw yr oerni allan, sydd hefyd yn ddyfais ddiweddar. Gynt, byddent yn gwneuthur tyllau i'r goleuni gyda chauadau preniau, i'w hagor y dydd, a'u cauad y nos.

Syl. Amrywiol oeddynt y dyfeisiadau i ollwng goleuni i mewn; ac, ar yr un pryd cadw yr oerni allan. Chwysigenod, corn, a sylweddau croenenaidd anifeiliaid a physgod, a arferid i'r dyben hwn yn rhai y mawrion; ond yr holl bethau hyn a roddasant le i'r ddyfais ragorol o wydr.

106. Y tryloywder defnyddiol hwnw a gafwyd allan trwy ddamwain. Rhyw gludwyr soda o Phœnicia yn dygwydd goleu eu tân rhwng rhai telpynau o'r mwyn hwn, toddai yntau, a thrwy ymgymmysgu â thyfod, dygodd allan wydr. Soda, gyd â thyfod, neu gellt, wedi eu toddi ynghyd ydynt etto y defnyddiau o ba rai mae gwydr yn cael ei wneuthur.

Syl. 1. Gwneuthuriad gwydr a gyfyngwyd yn hir i Phænicia; ond cyn lleied oedd y cynnydd a wnaid ynddo, fel y rhoddai Nero £60,000 am ddwy gwpan wydr a dolenau iddynt. Fe'i harferwyd yn gyntaf mewn ffenestri oddeutu y flwyddyn 300, ond ni ddaeth i ddefnydd cyffredinol hyd oddeutu oes y fuddugoliaeth Normanaidd.

2. Gweithfa gwydr sydd wrthrych priodol i foddâu cywreinrwydd dynion ifengc. Callestr, neu dywod caregog puredig, a elwir silex, yn cael ei gymmysgu a soda pur, a'u rhoddi yn agored i wres cymmedrol, sydd yn cynnyrchu yr hyn a elwir *frit*; hwn wedi hyny a roddir mewn llestri o faintioli gweddol, ac a roddir yn agored i wres tanbaid, hyd nes byddo yn cael ei doddi; ac, wedi iddo oeri ychydig, mae yn myned yn fath o lud poeth, yr hwn a ellir ei weithio a'i lunio i unrhyw ddull:—cywreinrwydd a medrusrwydd y gweithwyr, yn ei ddylunio a'i ffurfio felly i amrywiol lestri, sydd bur ddyfyrus.—Gwel *Muckenzie's*.

107. Priddlechau ar nenau y tai a wneir o glai, yn yr un dull a phriddfeini. Llechau a godir o chwarelau, a arferir hefyd i'r un dyben. Mewn lleoedd yn y wlad, lle mae yr arferion cyntefig yn parâu etto, y nenau ydynt yn cael eu toi â gwellt; gwna y rhai hyn gadw ymaith y glybaniaeth a'r oerni, ond achosant arogl lwydlyd.

Paent, yn gynnwysedig o *oxides* metteloedd, ac o briddoedd lliwiedig neillduol, neu *oxides* naturiol, wedi eu cymmysgu ag olew, sydd ar unwaith yn gwasanaethu er cadwraeth y coed, ac i bureiddio a harddu oddifewn i'r tai.

108. Wedi i'r gelfyddyd o adeiladaeth gyrhaeddyd yr hyn oedd angenrheidiol a defnyddiol, Rhysedd a amcanai at addurn; y saer-coed cywraint a ddenai yn gerfiwr; a'r saer-maen celfyddgar yntau hefyd a âi i gerfio.

Syl. Y colofnau a gynnalient y gwaith, ni oddefid iddynt fod yn hollol lyfnion, ond fe'u torid ac eu cerfid yn addurnau, yn y pen a'r bon; a'r rhanau eraill o'r ystafell a wnaid i gyfatteb. Oddi wrth hyn y cododd yr hyn a elwir, y pum dull o adeiladaeth.

109. Y pum dull o adeiladaeth a ddyfeisiwyd yn olynol yn hen wlad Groeg, ac Itali; ac ydynt yn cael eu galw y Tuscan, y Doric, yr Ionic, y Corinthian, a'r Composite, ac maent i'w cael yn holl brif adeiladau y byd Cristionogol.

110. Yr oedd gan y *Saxons* hefyd ddull diaddurn o adeiladaeth; yn cael ei wahaniaethu gan fwäau hannergylchol a cholofnau ffyrfion a llyfnion; ac mae y rhai'n etto i'w cael mewn llawer o'n hadeiladau hynaf.

Y *Normaniaid* hefyd, a ddyfeisiant ddull hardd o adeiladaeth a elwir y Gothic, gwahaniaethedig trwy ei fwäau blaen-llymion; a thrwy ei golofnau wedi eu cerfio fel i ddynwared amryw yn gysylltedig.

Y dull hwn sydd i'w gael yn ein holl hen eglwysydd cadeiriawl; ac mae'n aml yn cael ei arferyd gyda phryferthwch mewn anneddau neillduol.

Syl. Mae gan yr Hindooaid, yr Aiphtiaid, y Chineaid, a'r Mooriaid hefyd eu dulliau gwahanol o adeiladaeth addurnol; nis gall dim fod yn fwy mawr-wych, cyson a darluniadol, na phob un o'r rhai hyn, yn y cynnyrchau hardd-deg sydd i'w gweled yn eu hamrywiol wledydd. Yn Lloegr, y Pagoda yn y *Kew Gardens* sydd gynnyrch hyfryd o adeiladaeth Chineaidd; ond mae yn ymddangos, yn gyffredinol, ein bod yn dewis yn hytrach y pum dull eraill o flaen y Gothic.

---

## EGLWYSYDD NEWYDDION.

*Enwau bonedigion sy wedi adeiladu Eglwysydd ar eu traul eu hunain; ac oll o'r bron o fewn tair blynedd o amser.*

Duc Newcastle, a adeiladodd Eglwys harddwych yn agos i'w Eisteddfod yn Clumber; a chynysgaeth flynyddol hefyd.

Marquis Westminster a ail adeiladodd Eglwys Pulford.

Arglwydd Rolle, a adeiladodd Eglwys yn Exmouth.

Arglwydd Ashburn, a adeiladodd Eglwys yn Northington Hants.

Countess o Bridgwater, o adeiladodd eglwys yn Whitchurch, Salop.

Rees Goring, Ysw. o Gelli wener, Sir Gaerfyrddin wedi adeiladu amryw eglwysydd yn ei blwyf, a rhoddi cynysgaeth i'w canlyn.

Henry A. Herbert, Ysw. a adeiladodd Eglwys yn Clochreen, Sir Cerry, Iwerddon.

Y Parch. George Chamberhyw, a adeiladodd Eglwys yn Salsbury, ac un yn Weymouth.

J. Richards, Ysw. a adeiladodd Eglwys yn Michinhamton,

John Davies, Ysw. a adeiladodd Eglwys yn Fisherton, Delemara.

H. Gough, Ysw. a adeiladodd Eglwys yn Perry Bar.

Henry Cooper, Ysw. a adeiladodd Gapel yn Herfordshire.

Y Parch. William Hilton a adeiladodd Eglwys yn Wolverhampton,

Syr Thomas Acland a adeiladodd Eglwys yn Bade Cornwal.

Ralph Borne a adeiladodd Eglwys yn Hilderstone, Stone.

Y Parch. W. Daniels a adeiladodd Eglwys yn Warwickshire.

Y Parch. W. F, Ponsiby a adeiladodd Eglwys yn Longfleet, Pool.

Y Parch. H. Sawers a ail adeiladodd Eglwys Delby Leicestershire.

Y Parch. T. L. Fog a adeiladodd Eglwys yn Sturnunster.

J. B. Chichester Ys. M. P. a ail adeiladodd Eglwys Arlington, Devon.

Bolton King, Ys. M. P. a ail adeiladodd Eglwys Nuthurst, Warwick.

G. Byng Ys. M. P. adeiladodd Eglwys St. John Pollerd's, Bar Burnet.

Y Parch. P. C. Bassier a adeiladodd Eglwys Malvern Wells.

Mrs. Shepperd a adeiladodd Eglwys yn Theale Reading.

William Wilberforce Ys. a adawodd arian i adeiladu Eglwys.

Mrs Hannah Moor a adawodd arian i adeiladu St. Phillips, Bristol.

Y Parch. J. M. Rodgers a adawodd arian i adeiladu Eglwys ac ysgoldy.

Rector Kennington a adeiladodd Eglwys yn agos i Oxford.

Mrs. Goodwin a adeiladodd Eglwys yn Cowes Isle of Wight.

Y Parch. J. Clay a James Clay a adeiladasant Eglwys yn Newhall.

J. Evans Ys. a adeiladodd Eglwys yn Darley yn Leicestershire,

Messrs. Harrisons a adeiladasant Eglwys yn Wadsley Yorkshire.

Y Parch. Mr. Telard adeiladodd Eglwys yn Herdres Kent.

Syr J Aubery a adeiladodd Eglwys yn Borstall Bucks.

John Jarett Ys. a adeiladodd Eglwys yn Dorcester a chynysgaeth blynyddol.

Wele Gofrestr o wyr yn gwneuthur gwasanaeth o elusengarwch yn eu hoes, y bydd coffa am danynt oesoedd dyfodol: gan obeithio y bydd llawer yn dilyn eu esampl.—"*Allan o'r Church of Scotland Magazine*"——* * *

### Y GWYDDELOD.

Yn ddiweddar dygwyd y Dr. Mason,* ger bron y Dirprwywyr a osodwyd gan y Llywodraeth i chwilio i mewn i agwedd dysgeidiaeth yn y Werddon, i'w holi ynghylch y dull goreu o addysgu y Gwyddelod. Tystiodd y Dr. ar ol yr ymofyniad manylaf a allai wneud, 'Fod tair miliwn o'r Gwyddelod yn siarad y Wyddelaeg; a bod o'r rhai hyny, fwy na phum can mil nad allent ddeall na siarad un iaith arall. Ac o'r gweddill o'r Gwyddelod, sef dwy filiwn a hanner, y mae medd efe, 'ddau ddosparth; un yw y rhai sydd yn deall Saesoneg, ond yn bur anmherffaith; a'r llall ydyw, y rhai sydd yn medru Saesoneg yn dda, ac yn gallu ei siarad yn hwylus, o'r cyfryw y mae nifer mawr, er hyny mae eu rhagfarn at yr iaith hono, yn eu hattal rhag derbyn addiaith hono, yn eu hattal rhag derbyn addysg ysbrydol ynddi, o eisiau cael hyny yn eu hiaith eu hunain.' Dyma eiriau y gwr dysgedig hwn. 'Yn awr,' medd Trysorfa Saesoneg Eglwys Loegr. 'Diau na ddylai cyflwr ysbrydol cynnifer o'n cyd-ddynion, a'n cyd-ddeiliaid yn ein chwaer Ynys, fod yn beth ysgafn ar feddwl neb o honom.' Gwel *Church of England Magazine for May* 1837.

* Gwel Reasons and Authorities for using the Irish Language, by H. I. Monck Mason, L. D, 1830.

---

### DIRGELWCH Y GWIR GRISTION.

1. Mae y cristion yn byw mewn arall, Gal. 2. 20. Mae yn *ddoeth* mewn arall, 1 Cor. 1. 30. Mae yn *gyfiawn* mewn arall, Rhuf. 10. 4. Ac mae'n *gadarn* mewn arall, Esay 45. 24.

2. Y mae'n hynod o'r isel mewn gostyngeiddrwydd, ond yn dra uthel mewn gobaith. Fe wyr ei fod yn anhaeddiannol o'r drugaredd leiaf, etto yn disgwyl yr un fwyaf, Gen. 32. 10—12.

3. Y mae ef yn y byd, ond nid ydyw o'r byd, Ioan 15 19. Yn y byd fel pererin, ond nid fel dinesydd. Ei breswylfa sydd isod, ond ei ymarweddiad sydd uchod.

4. Y mae'n addfwyn, ond yn zelog; yn addfwyn yn ei achos ei hun, ond yn zelog yn achos Duw, Fe gydsynia ag unrhyw beth sydd foesgar, ond nid a dim sydd bechadurus. Fe ymostynga i angenrheidiau y gwaelaf, ond nid ymogwydda i dueddiadau pechadurus yr ardderchocaf.

5. Fe weithia ei iachawdwriaeth allan trwy ofn a dychryn, etto a gred yn Nghrist *heb* ofn a dychryn. Fe ymdrecha i wneud llawer o wasanaeth i Dduw, etto a gyfrif ei hun yn was anffyddlon. Fe a weithia a'i ddwylaw fel pe byddai i fyw yma byth, ond a addola fel pe byddai i farw y foru.

6. Pryd mae'n wan, yna mae'n gadarn 2 Cor. xii. 10. Pan mae'n fwyaf profiadol o'i waeledd ei hun, a'i ymddibyniad mwyaf ar gadernid Crist, dyna'r pryd y mae'n sefyll ddiogelaf.

7. Pan mae'n fwyaf gwael yn ei olwg ei hun, yna mae'n fwyaf gogoneddus yn ngholwg Duw. Pan y ffieiddiodd *Job* ei hun, Duw a'i dyrchafodd ef, Job xlii. 6. Pan y meddyliodd y *Canwriad* ei hun y mwyaf annheilwng, dywedodd Crist, 'Ni chefais gymmaint *ffydd*, na ddo yn yr Israel.' Matt. viii. 8—10.

8. Y mae'n foddlon yn ei sefyllfa, etto yn hiraethu ac yn dymuno am un well 2 Cor. v. 4.

9. Ei golled sydd *elw*, megis Job: Job xlii. 2. Ei gwymp sydd *esgyniad*, fel Pedr, Ioan xxi. 17. Ei gystudd sydd *ddyrchafiad*; fel Jacob; 'yn fy erbyn i y mae hyn oll,' Gen. xlii. 36, etto yr ydoedd yr holl bethau hyny o'i blaid ef. Ei siomedigaeth sydd *uchgodiad* iddo; fel Moses, er nad aeth i Ganaan, fel ag y dymunodd, er hyny aeth i'r nefoedd, yr hon ydoedd lawer iawn gwell. Deut. xxxiv. 4, 5.

10. 'Ni all efe bechu,' 1 Ioan 3. 9; er hyny ni ddichon efe beidio a phechu, 1 Ioan 1. 8. Ni ddichon bechu'n ymarferol, gyda llawn gydsyniad ei ewyllys; etto, ni

ddichon lai na phechu yn weithredol, trwy wendid.

11. Fe a ddywed 'Ys truan o ddyn ydwyf fi! pwy a'm gwared i?' Rhuf. 7. 24. Er hyny fe a ddywed, O ddyn gwynfydedig ydwyf, 'pwy yw yr hwn a'm damnia?' Rhuf. 8. 12.

12. Y mae'n gofidio, etto yn gorfoleddu oddi-tan geryddon dwylaw ei *Dad* nefol. Y mae'n gofidio am fod llaw ei *Dad* yn ei geryddu, etto yn gorfoleddu am mai llaw ei *Dad* ydyw, Heb. 12. 6, 7.

13. Fe wyr nad oes berffeithrwydd hollol yn y bywyd presennol, etto y mae beunydd yn ymestyn atto, Phil. 3. 12, 14.

14. Pa leiaf y cynnydda ei faich, mwyaf y teimlir ef. Pa leiaf o bechod sydd ganddo, mwyaf teimladwy a fydd o bechod; nid am y cynnydda pechod, ond y chwanega gol-euni, sancteiddrwydd, a thynerwch cydwybod.

15. Y mae'n foddlon i fyw, etto yn ewyllysgar i farw; y mae'n dymuno gwasanaethu Crist yma, etto yn hiraethu am gael ei ddattod, a bod gyda Christ yn y nefoedd, Phil. 1. 23.—*Mason*. Cyf. J. MORRIS.

---

### CYNGHOR MEDDYGOL.

*Rhag poen mewn clust.*—Cymmerwch ewin Garlleg, a throchwch ef am ychydig funudau mewn *salad oil* cynnes, amgylchwch y garllegyn â *muslin*, a dodwch ef yn y glust boenus. Ymhen ychydig fe dawdd y garlleg yn y glust, ac fe symmudir y boen. Yna cymmerwch ychydig o wlan neu gottwm, a dodwch ef yn y glust i gadw yr awyr oer allan o honi.—*Magazine of Domestic Economy*.

---

## Hanesiaeth Cenhadol.

### TRAVANCORE.

**Araeth y Parch. C. Mead, Cenhadwr o Travancore, India Ddwyreiniol, yn Nghyfarfod blynyddol y Gymdeithas Genhadol Llundain, Mai 11, 1837.**

'Myfi a fum yn llafurio yn benaf yn Nhalaeth Travancore; ac yn ganlynol, fy sylwadau fyddant yn benaf mewn perthynas i'r parth hwnw o'r India Ddwyreiniol. Pan ddaethum yno gyntaf, ynghylch ugain mlynedd yn ol, mi synais lawer wrth weled y lliaws mawr o demlau, y nifer mawr o eilunod, a'r aneirif luoedd o drigolion oedd yn y wlad hono. Y *Brahminiaid*, sef offeiriaid yr eilunod—y gwyr mawr—y cyfoethogion, a'r awdurdodau, a wgent arnom oherwydd ein hamcan a'n hymgais. Y Brahminiaid yn enwedig, a brophwydent, na lwyddem ddim byth yn ein gwaith Cenhadol, oherwydd fod y wlad wedi ei rhoi iddynt hwy gan eu duwiau. Hwy ddywedasant wrthym, 'Yr ydych yn awr yn sathru ar dir sanctaidd.' Ond canfuom nad sanctaidd iawn oedd—fod y Brahminiaid yn ddynion mwyaf llygredig ac anghyfiawn ar wyneb y ddaear. Dywedasant, 'Mae genym ni Vishnu, a'i gynnrychiolydd Krishnu—yr hwn a addolir mewn teml odidog; efe yw ein duw amddiffynol; nid yw efe byth yn cysgu.' Ond camgymmeriad oedd hyny, canys maent yn rhoi eu duwiau i gysgu bob nos. Dywedasant wrthym, fodd bynag, y deffroent oll yn y boreu, ac yr ymddiffynent eu bywydau, eu rhwymau llwythol, (*castes*) eu harferiadau, &c. Crybwyllwyf hyn, oherwydd peth arall sydd yn perthynu i'r eilun Krishnu yr hwn sydd yn bentwr o ddrygioni.

Y Brahminiaid a ddywedasant, mai yn nghylch mil o flynyddoedd yn ol nad oedd y duw hwn yn adnabyddus; iddynt ei gael ef yn y llwyni coed yn y wlad, ac iddynt gael allan drwy ryw foddion ei fod wedi bod yn llechu mewn ceudwll hen bren. Hwy gymmerasant y pren, a hwy a dystiasant ei fod yn bren sanctaidd, ac na wnai bydru; hwy a'i cerfiasant ef, ac a'i gosodasant i fynu mewn teml fawr iawn, lle y'i hamgylchir gan amryw o Frahminiaid. Ar rai prydiau nid oes dim llai na deng mil ar hugain o'r Brahminiaid yn ymgynnull ynghyd, a'r cyfan yn cael eu cynnal gan y bobl am amryw ddyddiau, a phan ddychwelont adref o'u cymmanfa, nid ydynt yn dychwelyd yn waglaw, ond mae y bobl gyffredin yn rhoi anrhegion iddynt o ddarnau arian, dillad, &c.

Ond yn awr, gallwn ddywedyd fod yr Efengyl wedi llwyddo gryn lawer yn y wlad eilunaddolgar hon; ie y tu hwnt i'n dysgwyliad. Ychydig ddyddiau cyn i mi ymadael o Travancore, dymunodd y bobl i mi ddyfod i Gyfarfod Cenhadol, yr hyn a wnaethum gyda hyfrydwch mawr. Mae ein llafur Cenhadol wedi bod yn hynod o lwyddiannus ymhlith y bobl a elwir y *Chowariaid*, y rhai sydd yn llafurio mewn trin tiroedd i gynnyrchu Rice, a ffrwythau ereill o gyffelyb natur.

O fewn diwrnod neu ddau cyn i mi ymadael o Travancore, fe'n galluogwyd ni drwy gynnorthwy Cymdeithas Gynnorthwyol Madras, i roi un Testament yn llaw pob Cristion brodorol o fewn ein sefyll-fan, a'r a oedd yn medru darllen. Yr wyf fi, ac un arall o'm brodyr wedi bod yn llafurio i bregethu yr efengyl yn agos i ugain mlynedd yn y wlad frwd hono, heb braidd ddim attalfa drwy afiechyd na dim arall dros yr holl amser: yr wyf yn cyfrif hyn yn fawr drugaredd ac yn rhyfeddol amddiffyniad yr Hollalluog. Fe fu y Cholera morbus a chlefydau ereill yn troelli o'n hamgylch, ac yn cludo cannoedd i'r beddau; ond dyma ni ein dau yma yn eich gwydd yn fyw ac yn iach, i dystiolaethu fawrion weithredoedd Duw. Mae fy mrodyr yno yn llafurio yr awr hon.

O fewn y flwyddyn ddiweddaf, nyni a dderbyniasom alwad o bymtheg o fanau am ysgolion newydd, yn ein sefydliad ni yn Travancore, ac hefyd fe sefydlwyd amryw gynnulleidfaoedd newyddion. Fel hyn mae y gwaith yn cynnyddu. Bob blwyddyn, o'r deng mlynedd diweddaf, y mae yr Efengyl yn llwyddo fwy fwy. Mae genym yn awr, rhwng y ddau sefyll-fanau Neyoor a Nagercoil ynghylch pedwar ugain o bentrefydd, lle y mae lleoedd o addoliad, rhai o honynt yn gyfleus, a'r lleill yn lled anghyfleus. Ond y maent yn lleoedd y gallwn gyfarfod a'r bobl, a'r lleoedd ag y maent yn ymhyfrydu yn ymgynnull ynghyd i wrando darllen ac esbonio gair yr Arglwydd. Mae genym hefyd Ysgol ymhob un o'r pentrefydd hyn; canys yr ydym yn ymroddi i addysgu yr ieuenctyd hyd y gallom. Pan ymadewais i oddiyno yr oedd yno chwe mil o fechgyn a gwyr ieuainc dan addysg.

Ond mae yn tatter o fawr bwys rhoi addysg i'r genethod, yr hyn y gallnogwyd ni i wneud yn y blynyddoedd diweddaf y buom yn en plith. Mae genym yn awr ddau gant o enethod o dan addysg drwy lafur gwragedd a merched y Cenhadon. Yr wyf yn dal yn fy llaw yn bresennol law ysgrifen geneth fechan, o'r enw Elizabeth Fletcher, yr hon sydd yn cael ei chynnal gan yr Eglwys yn Stepney. Ail Epistol Ioan ydyw, wedi ei ysgrifenu ar ddalen y pren Palmyra â phin o haiarn. Peth newydd iawn yn yr India ydyw gweled merched yn gallu darllen ac ysgrifenu; ond yn awr mae eu rhieni yn awyddus am gael hyfforddiant iddynt.

Yr argraff-wasg, hefyd a fu yn weithgar iawn yn Travancore, ond yr ydym yn canfod nad ydyw yn gallu gweithio yn ddigon cyflym i ni. Mae cynnyrfiad ysbrydol drwy yr holl dalaith. Hyd yn nod y Brahminiaid ydynt yn dyfod ymlaen i'n cynnorthwyo yn y gwaith, ac mae y Brenin ei hun yn cefnogi addysg. Y Brenin (*Raja*) presennol a'i frawd ydynt ysgolheigion Saesoneg go dda. Bu y *Raja* ieuanc yn astudio Physigwriaeth, i'r dyben o argyhoeddi y Brahminiaid ystyfnig fod physigwriaeth yn well i iachau clefydau nag aberthu offrymau i'r eilunod mudion.

Byddai yn hyfrydwch mawr genych pe gwelech y fath astudrwydd sydd yn y bobl wrth wrando gair Duw: braidd y gallech ddirnad y dichon fod y fath drefn ac addasrwydd ag sy i'w ganfod yn eu plith. Mae yn wir nad ydynt yn bobl penboethion, ond yn gyffredinol, maent yn astud, gweithgar, a sobr, a phan ddeuant i le o addoliad, maent yn rhoi llwyr wrandawiad.

Chwi ellwch ddirnad rhyw faint pa fath yw ein Capeli pan ddywedaf i chwi, y gellir eu hadeiladu am ddeg punt yr un—hyny yw heblaw llafur, a rhoddion o goed, &c. Mae arian yn brin iawn yn y wlad hono. Nid ydym ni yn talu i Athro brodorol, y bachgen sy yn myned allan gydag ef i'w gynnorthwyo i ddarllen yr Ysgrythyrau, ddim ond tair ceiniog yn y dydd ynghyd: ac felly y maent yn gwneuthur llawer iawn o waith drwy ychydig foddion.

Goddefwch i mi grybwyll am un amgylchiad a ddygwyddodd ychydig cyn i mi adael yr India. Dymunodd y bobl arnaf ddyfod gyda hwynt i gyfarfod i ddinystrio teml fawr a dau eilun ynddi. Ar fy nyfodiad cefais hwynt oll yno, yn sefyll yn bur sobr. Dywedasant, 'Mae yr ysbrydion drwg ag mae y rhai hyn yn gynnrychioli, wedi terfysgu y gymmydogaeth am amser maith; ac mae amryw o honom ni wedi rhoi heibio eilunaddoliaeth. Yn awr ni a ddymunem i'r gweddillion hyn gael eu llwyr symud ymaith; ond nid oes neb o honom yn ddigon calonog i wneud hyny.' Dywedasom wrthynt, y dylid ystyried hawl pawb yn ei eiddo, pa un bynag fyddont a'i paganiaid a'i cristionogion. Ond os gallant hwy ddangos i ni mai eu heiddo hwynt ydynt, ni a'u symmudwn hwynt ymaith yn fuan. Dygasant i ni enwau deunaw o ddynion, yn hysbysu eu bod yn rhoi y deml i fynu i ni, i wneud a fynom a hi. Yr oedd un o'r eilunod yn ofnadwy ei llun a'i hagwedd, yr hon a ddinystriwyd yn fuan; ac wedi dryllio hono, nyni a ymneillduasom i weddio; ac yr oedd nifer y meibion a'r merched ynghylch tri chant.

Dyma yr eilunod olaf a ddinystriwyd cyn i mi ymadael o'r India. Yr eilun arall oedd o bren, yr hon a fynai y bobl ei llosgi; ond o herwydd nad oedd yn drom iawn, mi a ddywedais yr awn i a hi adref i Loegr, fel y gallai aelodau Cymdeithas Genhadol Llundain weled eich bod chwi yn bwrw ymaith yr eilunod allan o'r tir, ac y byddo yn brawf diamheuol eich bod yn troi at y grefydd gristionogol, yr hyn a fydd yn annogaeth gref iddynt i barhau yn eu cyfraniadau at y gymdeithas: ac felly fu.

## Hysbysiadau Crefyddol.

### YSGOLION SABBATHOL CAERLLEON.

Ar yr wythnos gyntaf yn Mai y mae cyfarfod llygredig Rhedegfa Ceffyllau yn Nghaerlleon, pryd ag y mae cynnifer ag ugain mil o bobl yn ymgynnull o Loegr a Chymru i edrych ar y rhyfeddod wael hono. Yn y cyfarfod annuwiol hwn y mae pob math o ddrygau yn cael eu cyflawni, megis cyfeddach, meddwdod, putteindra, lladrad, twyll, yn gymmaint ag y mae yr awr hon, ein carchar yn llawn o bob math o ddihirod, a drwg-weithredwyr.

Ar yr amser llygredig hwn, y mae gweinidogion yr efengyl o bob enw, a holl athrawon yr Ysgolion Sabbathol o bob parth o'r ddinas, yn cyd-ymegnio i geisio cadw eu cynnulleidfaoedd a'u hysgolheigion rhag ymlygru gyda dihirwyr a dynion ffolion yr

oes. Mae pob ysgol yn cael eu galw yn nghyd i'w hamrywiol leoedd o addoliad, bob dydd, ar amser y rhedegfa; ac oddiyno yn cael eu harwain i faes o'r neilldu i'r ddinas, i ymddifyru mewn ffordd ddiniwed o chwareu, fel wyn bach yn y Gwanwyn. Wedi hyny dygir hwynt i'r lle addoliad yn ol, pryd y gwobrwyir hwynt a thafell o fara resinau, neu deisen fara melus, bob un. Ac o'r cyfryw mae Ysgol Sabbathol y Cymru, ymysg eraill.

Ar un diwrnod, sef dydd mercher, Mai 3, cyfarfu yr Ysgolion Sabbathol perthynol i Eglwys Loegr, a'r holl bleidiau crefyddol, ac Ysgol Marquis of Wesminster, oll yn nghyd, yn Monwent eang St. John: yno canasant Hymnau o fawl i Dduw, a blaenoriaid y gân yn sefyll ar garreg fedd uchel yn eu canol hwynt. Gwelwyd yma dri neu bedwar o Weinidogion Eglwys Loegr, a thri neu bedwar o Weinidogion yr Ymneillduwyr, a thros ddwy fil o blant, heblaw nifer mawr o feibion a merched yn dyfod i edrych ac i wrando. Yr oedd yma olwg hyfryd iawn o undeb a chyd-ymdrech yn erbyn annuwioldeb yr oes, ac o blaid crefydd a rhinwedd.

Oddiyno, oddeutu tri ar gloch, ymwahanasant; aeth hanner yr Ysgolion i Eglwys St. Paul, lle y pregethodd y Parch. Mr. Tayler, i'r Athrawon a'r Ysgolheigion, ac eraill. Yr oedd yr Eglwys yn llawn o blant a phobl. A'r hanner arall o'r Ysgolion a aethant i Gapel y Wesleaid, yn Pepper-street, lle y pregethodd y Parch. Mr. Luke, Gweinidog yr Independiaid, i'r Athrawon a'r Ysgolheigion, a'r capel mawr hwnw yn llawn o wrandawyr. O'r lleoedd addoliad hyn, aeth pob Ysgol i'w lle ei hun i gael gwobrwy.

Ac ar ddydd Gwener, gwnaed Gwledd i'r holl Athrawon a'r Ysgolheigion, lle y cyfranogwyd o dê a bara ac ymenyn blasus, ynghyd a gweddi a mawl, a diolchgarwch. A dybenwyd y cyfarfodydd hyfryd hyn, drwy i Weinidog pob cynnulleidfa roi gair o gynghor i'r Athrawon a'r Ysgolheigion. Yr oedd dros gant rhwng yr Ysgol Gymraeg, a'r Ysgol Saesoneg, a'u Hathrawon yn cyd-gyfarfod y prydnawn hwn yn Nghapel y Methodistiaid Calvinaidd Cymreig. A chyn ymadael canwyd y Pennillion,

'O hyn fydd yn hyfryd, hyfryd, hyfryd, hyfryd,
O hyn fydd yn hyfryd, cwrdd heb byth ymadael mwy.'

Caerodor, (*Bristol*)

Anwyl Syr,—Ar ddymuniad yr Eglwys yn cyfarfod yn y lle hwn, i addoli yr Arglwydd, ac i gyflawni dyledswyddau crefyddol yn yr Iaith Gymraeg, yr wyf yn anfon hanes y Gymmanfa a gynnaliwyd yma ar y 14eg, a'r 15ed o Mai, i'w ddodi yn y Drysorfa. Fe allai y bydd yn dda gan rai yn Nghymru glywed fod gan yr Arglwydd achos as Eglwys yn y ddinas hon, ymhlith y rhai a elwir y Trefnyddion Calvinaidd.

Mai 13, yn yr hwyr am 6, cyfarfu Blaenoriaid yr Eglwys a'r Llefarwyr; pryd y rhoddwyd cyfarwyddiadau buddiol i'r Blaenoriaid i fyned ymlaen gyda'r gwaith.

Y 14, yn y boreu am 6, ymddyddanwyd ar y pethau canlynol. Pa beth sydd yn cyfansoddi Eglwys, yn ol gair Duw? Beth yw ei dyledswydd fel y cyfryw, mewn ymddwyn yn deilwng i'r efengyl ymhob peth, tuag at Dduw, tuag at eu gilydd, a thuag at bawb? Ymdrinwyd yn ddoeth ac yn fuddiol â'r matterion hyn.

Am 10 y bore, Gweddiodd Mr. Daniel Evans, Capel y Drindod. Pregethodd Mr. David Roberts, Abertawe ar 2 Cor. 3. 18. a Mr. Evan Harris, Aberhonddu ar Diar. 16. 1.

Am 2, y prydnawn, Gweddiodd Mr. John Rhydderch, Swydd Benfro. Pregethodd Mr. John Jones, Llangendeirne ar Dat 19. 8. a Mr. Henry Jones Llanwrog ar Eph. 2: 13.

Am 6 yn yr hwyr, Gweddiodd Mr. David Roberts. Pregethodd Mr. E. Harris ar Mal. 4. 2. a Mr. D. Evans ar Ioan 3. 7.

Y 15, yn y bore am 6, cadwyd cyfarfod Eglwysig, cynnwysedig o'r holl aelodau yn gyffredinol. Rhoddwyd amryw gyfarwyddiadau yn y cyfarfod hwn. Cafodd y brodyr a ddaethant i'r cyfarfod blynyddol y tro hwn achos mawr i lawenhau am weled ohonynt y fath agwedd siriol ar yr eglwys, mewn undeb yn cyd-weithio gydag achos yr Arglwydd. Yr Arglwydd a'n chwanego fwy fwy.

Am 10 y boreu, Gweddiodd J. Jones. Pregethodd E. Harris ar Es. 28. 16, 17. a H. Jones ar Rhuf. 1. 16.

Am 2, Gweddiodd H. Jones. Pregethodd J. Jones ar Dat. 3. 4, 5. a J. Rhydderch ar Math. 16. 26.

Am 6 yn yr hwyr, Gweddiodd J. Jones. Pregethodd D. Roberts ar 2 Tim. 3. 5. a D. Evans ar Math. 24. 44.

Cafwyd cymhorth i bregethu, ac yr oedd agwedd sobr a difrifol ar y gynnulleidfa wrth wrando trwy yr holl gyfarfod. Gobeithio y bydd i'r had gwerthfawr wreiddio ynghalonau y gwrandawyr, a dwyn ffrwyth i ogoniant Duw. Yr eiddoch,

*Broad Mead.* T. WILLIAMS.

## CYMDEITHASFA LLUNDAIN.

Mawrth 24, 26 a 27. sef Gwener y Groglith, a Sul a Llun y Pasc, cynnaliwyd Cyfarfod blynyddol y Trefnyddion Calvinaidd Cymreig yn Nghapel Iewin Crescent, Llundain.

Boreu Gwener am 10, bu cyfarfod gweddio.

Ac am 2, Gweddiodd y Parch. David Howells Abertawe, a phregethodd y Parch. William Roberts Amlwch ar Ioan 3. 19.

Am 6 Gweddiodd y Parch. James Hughes

Deptford, a phregethodd y Parch. D. Howells ar Act. 3. 26. a W. Roberts ar Rhuf. 6. 26.

Sul y Pasc, am 10 pregethodd y Parch. W. Williams, Llundain, ar Luc 8. 40. a W. Roberts ar Rhuf. 5. 10.

Am 2 pregethodd J. Hughes ar Act. 4. 11. a D. Howells ar Esa. 1. 18.

Am 6 pregethodd W. Roberts ar Math. 23. 37. a D. Howells ar Heb. 8. 1, 2.

Llun y Pasc, am 10 pregethodd D. Howells ar Col. 3. 1, 2. a'r Parch. Mr. Harry Broad Street yn Saesoneg ar 1 Ioan 3. 1, 2.

Am 2. pregethodd y Parch. David Davies, Borough, (Anymddibynwr) ar Ioan 17. 17. a W. Roberts ar Rhuf. 13, 14.

Am 6 pregethodd D. Howells ar Ioan 7. 37. a W. Roberts ar Math. 13. 45, 46.

Yr oedd yr hin yn hyfryd, a'r gwrandawyr yn hynod o liosog, a chafodd y gweinidogion gymhorth anarferol drwy gorph y gymanfa i bregethu Crist yn ddigonol Geidwad i bechaduriaid euog yn eglurhad yr Yspryd a nerth. E. W.

---

## CYMDEITHASIAD Y BALA.

Cynnaliwyd Cymdeithasiad y Trefnyddion Calfinaidd yn y dref hon ar y 13, 14, 15, a 16 o Mehefin diweddaf; a threfn y moddion cyhoeddus ydoedd fel y canlyn:—

Nos Fawrth gweddiodd y Parch. Abraham Jones, Llanfyllin; a phregethodd y Parch. John Jones, Penmorfa, Sir Aberteifi, oddiar Heb. 4. 2. a'r Parch John Hughes, Pont Robert, oddiar Gal. 3. 13, 14.

Nos Fercher, (ar y maes) gweddïodd y Parch. John Davies, Caio, a phregethodd y Parch. Moses Jones, Sir Gaernarfon, oddiar Ioan 14. 1, 2, 3. a'r Parch. Edward Jones, Aberystwyth, oddiar Act. 11. 18.

Boreu ddydd Iau am 6 o'r gloch, gweddiodd y Parch. Benjamin Williams, a phregethodd y Parch. Rees Phillips, oddiar 2 Cor. 4. 5. a'r Parch. Daniel Jones, Llandegai, oddiar Iob 20. 7.

Am 10 o'r gloch, gweddiodd y Parch. J. Jones, Tremadoc, a phregethodd y Parch. Evan Harris, Aberhonddu, oddiar Esa. 28. 16, 17. a'r Parch. John Elias, Môn, oddiar Ier. 3. 16.

Am 2 o'r gloch, gweddïodd y Parch. John Prytherch; a phregethodd y Parch. Daniel Evans, Capel Drindod, oddiar Mat. 21. 44. a'r Parch. Henry Rees, o Le'rpwll, oddiar Eph. 3. 19.

Am 6 o'r gloch, gweddïodd y Parch. Rd. Williams, Le'rpwl, a phregethodd y Parch. D. Morgans, Trallwm, oddiar 2 Bren. 4. 33. a'r Parch. Moses Parry, Dinbych, Deut. 32. 29.

Boreu ddydd Gwener (yn y Capel) gweddiodd Mr. Hugh Parry, a phregethodd y Parch. J. Phillips, Treffynon, oddiar Ezec. 9. 4. a'r Parch. J. Davies, Nantglyn, Diar. 8. 20. 21.

Yr oedd y dorf yn lluosog iawn a'r Arglwydd yn gwenu arnynt, ... y ... nefydd. Cafwyd hamdden dda i addoli Duw, ac y mae lle i farnu hefyd y gall miloedd ddywedyd fod Duw yn amlwg gyd â'i weision, ac mai da oedd iddynt fod yno. Yr oedd effeithiau Dirwest hefyd yn amlwg iawn, a rhinwedd a moesoldeb yn cynnyddu i'r fath raddau fel ag y gellir meddwl fod tyrfa i gael ei geni yn yr un dydd. A phrysured yr Arglwydd hyn yn ei amser da ei hun. J. P.

---

## Y GENHADAETH I'R IWERDDON.

*'Deuparth gwaith, ei ddechreu.'*

Anwyl Frawd,—Mae yn anmhossibl i mi ddatgan yr hyfrydwch a fwynheais yn ystod y misoedd diweddaf wrth sylwi ar effeithiau eich ymdrechion yn achos yr Iwerddon dlawd ac ofergoelus. Gallaf eich sicrhau fod llawer o'n brodyr a'n chwiorydd, yn teimlo eiddigedd cryf dros eneidiau ein cymmydogion truain, y Gwyddelod; ac yn fawr eu hawydd am weled Cymdeithas yn cael ei ffurfio mewn perthynas uniongyrchol â Chyfundeb y Trefnyddion Calfinaidd, i anfon Cenhadon drosodd, a'u cynnal yno, i bregethu i'r Gwyddelod, yn eu hiaith eu hunain, 'fawrion weithredoedd Duw;' a datgan i'r rhai sydd yn trigo mewn tywyllwch fel y fagddu, 'ffordd iachawdwriaeth.' Paham na ddechreuid sefydlu Cymdeithas i'r perwyl yma allan o law? Ai difater, fy mrodyr, yw yn eich golwg, fod pum miliwn o eneidiau yn ein Chwaer Ynys, yn cael eu dyfetha gan dwyll Pabyddiaeth, a'u cau dan gloion anwybodaeth?

Gobeithiaf y caf glywed fod hyn dan sylw neillduol yn Nghymdeithasfa y Bala, ac y penderfynir yno yn galong i sefydlu Cymdeithas Genhadol, mewn undeb neillduol a'r Trefnyddion Calfinaidd yn Nghymmru, a than lywodraeth Cyngor dewisedig o'u mysg, fel cynnrychiolwyr ein cynnulleidfaoedd o bob Sir yn Nghymmru; ond os na wneir hyny yno, gobeithiaf yn ddibetrus y bydd i'r fath Gymdeithas gael ei chyfodi yn Nghymmru yn ystod yr haf hwn.

Meddyliodd ychydig foneddigesau crefyddol yn Nhref Dinbych am wneyd rhyw beth tuag at yr achos yma ddechreu y flwyddyn hon, ac i'r perwyl mynasant argraffu ychydig docynau wedi eu llinellu i dderbyn enwau cydroddwyr, ac er na ofynasant am fwy na swllt yn y flwyddyn o gydroddiad, yr oeddynt wedi derbyn PYMTHEG PUNT erbyn Cymdeithasfa Dinbych, y rhai a fynasent eu cyflwyno at y Genhadaeth, pe buasai y Gymdeithasfa yn gafael yn y peth.

Nid yw y boneddigesau uchod wedi digaloni, ond, y maent yn penderfynu, yn ol tystiolaeth un o honynt mewn llythyr ataf yn ddiweddar, fyned yn mlaen gyda'u gwaith, tra bydd y gobaith lleiaf o lwyddiant ganddynt. Fy Ngohebyddes a ychwanegai, gan ddywedyd, 'Os geilwch-lwyddo

i sefydlu gorsaf Genhadol yn Iwerddon ni ni a gasglwn gymmaint a hyny, neu fwy bob blwyddyn at y Genhadaeth. Gallaf finnau addaw yn ddibetrus, debygwn, oddiar yr addewidion a dderbyniais I eisoes, y gwnawn ninnau gymmaint a hyny, yn y Wyddgrug a'i chyffiniau at yr un achos. Mewn cyfarfod misol a gynhelid yn y Sir Flint yn ddiweddar, dangosai yr holl bregethwyr a'r henuriaid oeddynt yn bresennol (ac yr oedd yno rai o bob cwr o'r wlad) eu hawydd g resog am i'r fath Gymdeithas gael ei chyfodi, a'u penderfyniad unfryd i ymegnio yn rymus o'i phlaid. Penderfyniad hefyd ar gennadwri o barth hyn i'w chludo i'r Gymdeithasfa Chwarterol; pa un a wnaed hyny a'i peidio, nis gwn.

Byddai cyfleusdra braf yn awr i ieuenctid Dirwestgar, y rhai a ryddhawyd eleni oddiwrth reffynau rhai o arferion mwyaf llygygredig yr oes; i ymroddi yn egniol i gyfodi cof golofn ddïolchus am eu gwarediad; trwy ddyfalwch i gasglu, a haelioni i gyfranu at sefydlu Cymdeithas Genhadol o'r fath a grybwyllwyd, fel moddion at ryddhau ein cymmydogion Gwyddelaidd, a'n brodyr Llydawaidd, o gadwynau ofergoelion Pabaidd.

Nid oes eisiau ond penderfyniad, ffyddlondeb, ac unfrydedd, na allem yn fuan iawn, gynnal deg o genhadon yn Iwerddon, a deg eraill yn Llydaw, i ddyrchafu baner y groes, a chyhoeddi efengyl gras Duw, i filoedd sydd hyd yma wedi treulio eu hoes heb obaith ganddynt, ac heb Dduw yn y byd.

Gan obeithio anwyl Syr, y derbynir y cyfarchiad yma yn garedig gan bawb a'i darlleno, ac y gweithredir arno yn fywiog gan laweroedd, y terfyna y tro hwn.—Eich brawd anwiw, OWEN JONES.

*Y Wyddgrug.*

## Helyntion yr Amseroedd.

Y DYWYSOGES VICTORIA, A'I BRENHINOL FAM.

Dydd mercher, Mai 24, y daeth y Dywysoges Victoria i'w hoed, sef deunaw; yr hyn yw oedran addas merch i eistedd ar orsedd Brydain, yn ol y gyfraith.

Ar Mehefin 6, am dri ar gloch, y daeth Arg. Maer Llundain i Lys Kensington, yn ei Gadair freinol; a chyd ag ef yr oedd ei Gaplan, a lliaws o aelodau yr Henaduriaeth, ac amrywiol o Swyddogion y ddinas, a chant a hanner o aelodau y Cynghorfa Cyffredin, yn gwisgo eu baneriau priodol, a'u mentyll swyddawl.

Dygwyd hwynt gan y Cadpen, yr anrh. F. Spencer, &c. ger gwydd ei Huchder Brenhinol y Duces Kent, ac i wydd ei Huchder Brenhinol y Dywysoges Victoria. Yna darllenodd y Cofiadur, yr anrh. C. F. Law y cyfarchiad canlynol i'r Duces Kent:—

'*At ei Huchder Brenhinol Duces Kent.*

'Yr ydym ni, yr Arglwydd Maer, Henaduriaeth, a Chyngorfa Dinas Llundain, cynnulledig mewn Cynghorfa Gyffredin, yn dyfod i wyddfod eich Uchder Brenhinol, i gynnyg ein llon-gyfarchadau ar yr achlysur dedwyddol, o fod eich Merch Frenhinol, y Dywysoges Alexandrina Victoria wedi cyrhaeddyd yr oedran o ddeunaw mlwydd. Mae agos yn anmhossibl i ni ddarlunio teimladau eich Uchder Brenhinol ar yr achlysur hyfryd hwn; ond erfyniwn gael dangos ein gobaith diffuant, y bydd i chwi gael byw yn hir i gael gweled ffrwyth eich gofal a'ch dyfalwch, a ddangosasoch mor hynod yn nygiad eich Brenhinol Ferch i fynu yn ngorhoffder a serchawgrwydd y genedl uchel freinol.'

Yna yr attebodd ei Huchder Brenhinol, fel hyn:—

'*Fy Arglwydd Faer, Henaduriaeth, a Chynghorfa Dinas Llundain.*

'Ped ymgynghorwn â'm teimladau fy hun, mi a ymattaliwn rhag atteb, heblaw sicrhau fod fy nghalon yn llawn o ddiolchgarwch.

'Goruwch Reolwr holl ddygwyddiadau dynol a welodd yn dda ganiattau i mi gael fy ngwobrwyo ymhell tu hwnt i'm haeddiant, drwy gael gweled ar yr amser nodedig hwn, mor hoffus i'm teimladau fel mam, fynegiadau mor gyffredinol o ffyddlondeb i'n Breuin, gobaith a hyder yn fy mhlentyn, a chymmeradwyaeth o'r ffordd y dygais hi i fynu. Mae hyn yn peri i'm teimladau fy nhueddu i feddwl y dylwn ddweud ychydig ymhellach, yn gymmaint ag y gall yr hyn a ddywedwyf gyrhaeddyd amryw o'r rhai sydd yn cyd-lawenychu â chwi ar yr achlysur yr ydych yn fy nghyfarch o'i herwydd; ac hefyd, fe allai, mai dyma y weithred gyhoeddus olaf yn fy mywyd, y gelwir arnaf i wneuthur felly.

'Mi âf heibio i'r gyfran boreuol o'm cydgyssylltiad â'r wlad hon. Ni wnaf ond yn unig sylwi yn fyr ddarfod i amgylchiadau fy niweddar ofidiedig briod, a'm dyledswydd innau, ein rhwymo i breswylio yn Germani; ond darfu i'r Duc o Kent, drwy fawr anhawsder, a minnau drwy fawr berygl personol, ddychwelyd i Frydain, fel y byddai i'n plentyn 'gael ei eni a'i fagu yn Frytwn.'

'Ychydig fisoedd ar ol hyny, cafodd fy maban a minnau yn arswydlawn ein hymddifadu o dad a phriod. Yr oeddym yn unig iawn, agos yn ddigyfeillion, ac yn anadnabyddus yn y wlad hon; ni fedrwn i gymmaint a siarad ei hiaith.

'Ni phetrusais ynghylch fy nyledswydd, mi roddais i fynu fy nghartref, fy mherthynasau, fy nyledswyddau, i ymroddi at y ddyledswydd, yr hon oedd i fod yn unig wrthrych fy mywyd dyfodol. Fe'm cefnogwyd yn nghyflawniad fy nyledswydd gan y wlad; hi ymddiriedodd i mi, ac ysgrif y Rhaglawiaeth a roddodd i mi ei gweithred olaf o ymddiried.

'Ar amserau o fawr anhawsder, mi a

ymwrthodais â phob cysylltiad gydag unrhyw blaid yn y Wladwriaeth; ond os gwnaethum felly, ni pleidiais un amser a gwasgu at fy merch ei dyledswyddau, fel ag i ennill, drwy ei hymddygiad, barch a serchogrwydd y bobl. Hyn a ddysgais iddi, a ddylai fod ei phrif ddyledswydd ddaearol, fel Penllywydd y llywodraeth.

'Mae y Dywysoges wedi cyrhaeddyd y cyfryw oedran ag sy yn fy nghyfiawnhau i pan ddywedwyf fy mod yn dysgwyl yn hyderus, y ceir hi yn gymmwys i gyflawni yr ymddiried cysegredig, a rodder iddi; canys drwy ymgyfeillachu, fel y mae hi gyda phob dosparth o gymdeithas, nis gall lai na chanfod mai po fwyaf a wasgarer arwybodaeth grefyddol, a chariad at ryddid, mewn gwlad, mwyaf trefnus, diwyd, a chyfoethog fydd ei thrigolion, ac mai gyda dymuniad o gadw rhagorfreintiau gwladwriaethol y goron, y dylid cyd-drefnu amddiffyniad rhyddid y bobl.'

'Yna y darllenodd y Cofiadur y Cyfarchiad canlynol :—

'*I'w Huchder Brenhinol y Dywysoges Victoria.*

'Yr ydym ni, yr Arglwydd Maer, yr Henuriaeth, a Chynghorfa dinas Llundain, cynnulledig mewn Cynghorfa Gyffredin, yn dynesu i wydd eich Uchder Brenhinol, ar yr achlysur hyfryd o fod eich Uchder Brenhinol wedi cyrhaeddyd deunaw mlwydd oed. Yr ydym yn edrych ymlaen yn hyderus, gyda'r hyfrydwch mwyaf, ar y buddioldeb a ddeillia oddiwrth y dygiad i fynu rhagorol a gafodd eich Uchder Brenhinol dan ofal nodedig eich ardderchog fam, ac mewn llawn sicrwydd, mai yn mha sefyllfa bynag y gelwir eich Uchder Brenhinol i weithredu, y bydd i chwi barhau i roddi y cyfryw engraifft o rinweddau ag sydd yn mawrygu ac yn addurno y rhyw fenywaidd; ac yr ydym yn awyddfrydus obeithio y bydd i chwi gael byw yn hir, yn y mwynhad o'ch iechyd, ac yn ngorhoffder a serchiadau pobl ryddion a dedwydd.'

Y Dywysoges, gyda chwaeth dda, ac ystyried ei hamgylchiadau, a'i hieuenctyd, a gyfyngodd ei hun i'r atteb canlynol :—

'Yr wyf fi yn ddiolchgar iawn i chwi am eich tiriondeb, ac mae fy mam wedi adrodd fy holl deimladau i.'

Mae yn debygol nad oes un ferch ieuanc ar y ddaear wedi cael dygiad i fynu mwy addas i'w chymhwyso i lywodraethu teyrnas na'i Huchder Brenhinol y Dywysoges Victoria.

## Y SENEDD YMERODROL.

***Tŷ yr Arglwyddi.*** Darllenwyd Ysgrif Gwelliant Cyfraith y Corphoraethau Bwrdeisiol yn Mrydain y drydedd waith, ac a basiwyd. Penderfynwyd cynnyg gwneud ysgafnhad ar doll llythyrau yn gyffredinol drwy'r deyrnas.

*Tŷ y Cyffredin.* Ystyriwyd Ysgrif Cyfraith treth y tlodion yn y Werddon, mewn Eisteddfod, o ran i ran hyd y dosparth 42.

Trodd y Tŷ yn Eisteddfod i ystyried Gwelliant yr Ysgrif am Gofrestraeth priodasau, genedigaethau, a marwolaethau. Ac aethant ymlaen hyd y dosparth 18.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Meh. 5. Dyg Arg. Brougham ymlaen ei gynnygiad addawedig; sef 'Am gael Eisteddfod neillduol i ystyried y Gorchwylion gwneuthuredig yn nau Dŷ y Senedd y tymhor hwn.' Dywedwedodd, mai y gwir oedd, 'na wnaeth y Senedd wedi eistedd bedwar neu bum mis, ond ychydig iawn, neu ond megis dim, o orchwylion pwysig y llywodraeth.' A chafodd ganiattad i gael Eisteddfod i ystyried yr achos.

*Tŷ y Cyffredin.* Meh. 6. Aed ymlaen gydag Ysgrif y Tlodion yn y Werddon hyd y dosparth 48.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Meh. 9. Dyg Arg. Melbourne yr Ysgrif am Ddiwygiad yn Nghorphoraethau y Bwrdeisdrefi yn y Werddon, i'w ddarllen yr ail waith. Gwrthwynebodd Arg. Lyndhurst ef, drwy roi cynnygiad am ei oedi ymhellach hyd Gorph. 3; a dadl a fu. Rhanwyd y Tŷ, a chafwyd mwy o blaid cynnygiad Arg. Lyndhurst o 86. Ac felly, gohiriwyd ef hyd Gorph. 3. Passiodd geiriau pur flaenllym rhwng y ddau arglwydd hyn ar y matter hwn.

*Tŷ y Cyffredin.*—Meh. 7. Dyg Syr Andrew Agnew ei Ysgrif i mewn am welliant ar Gadwraeth y Sabbath, i'w ddarllen yr ail waith. Dadl boethlyd iawn a fu yngylch y Sabboth. O'r diwedd rhanwyd y Tŷ, a chafwyd,—

| | |
|---|---|
| O blaid yr Ail-ddarlleniad ...... | 110 |
| Yn erbyn ............... ... | 66 |
| Mwy o blaid o. .............. | 44 |

Meh. 9. Dyg Arg. William Bentick ei gynnygiad ymlaen am gael Eisteddfod detholedig i chwilio i mewn i'r posiblrwydd o lunio tramwyfa i'r India Ddwyreiniol drwy y Môr Coch. Ac â hyny cyttunwyd.

Yna Dyg Arg. Morpeth Ysgrif Diwygiad y Degymau yn y Werddon, i'w ddarllen yr ail waith; a chynnygiodd Mr. C. Crawford am fod i'r ystyriaeth o hyn gael ei fwrw ymaith am chwe mis. Dadleuwyd ar yr achos; a rhanwyd y Tŷ, a chafwyd,

| | |
|---|---|
| O blaid yr ail ddarlleniad.. ... | 229 |
| O blaid ei fwrw ymaith ......... | 14 |
| Mwy o blaid ei ail ddarlleniad o.. | 215 |

Felly darllenwyd yr Ysgrif yr ail waith.

Meh. 10. Dyg Arg. J. Russell ymlaen Ysgrif Cyfraith gwelliant ar Gyfraith y Corphoraethau Bwrdeisiol, a'r cyfnewidiadau a wnaed ynddi yn Nhŷ yr Arglwyddi. Dywedodd hefyd, mai yn hytrach na gwrthwynebu y cyfnewidiadau hyny, y cynnygiai efe am wneud rhyw welliadau arnynt. Ac felly y gwnaeth: ac â hyny cyttunwyd.

Yna pennodwyd naw o wyr cymmwys i ysgrifenu y Rhesymau oedd ganddo o blaid y gwelliadau hyny. A phennodwyd fod i'r gwyr hyn gyfarfod â nifer detholedig o Dŷ yr Arglwyddi i ymresymu ar yr achlysur, ac i gynnyg sefydlu'r matter sy mewn dadl rhwng y ddau Dŷ.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Meh. 12. Dyg Ardalydd Westminster Ysgrif ffordd Haiarn o Gaerlleon i Birkenhead, i'r Tŷ, ynghyd ag Adroddiad yr Eisteddfod arni.

Meh. 13. Hysbysodd Arg. Ganghellwr, y bydd iddo ef, ddydd gwener nesaf, ddwyn ger bron y Tŷ y rhanau hyny o Ysgrif gwelliant Cyfraith y Corphoraethau, ag mae Tŷ y Cyffredin yn methu cyd-weled â Thŷ yr Arglwyddi yn eu cylch. Darllenwyd Ysgrif Ffordd haiarn o Dublin i Drogheda y drydedd waith, a phasiwyd hi.

Gwnaeth Arg. J. Russell gynnygiad am gael Eisteddfod detholedig i chwilio i mewn i'r dull y mae Ammod rwymau yn cael eu rhoi wrth osod tiroedd Eglwysig; i'r dyben o egluro y ffordd i gael arian oddiyno i drwsio Eglwysydd Gwladol yn lle y dreth Eglwys ag y mae cymmaint o ymryson yn ei chylch. Rhanwyd y Tŷ ar hyn etto, ac yr oedd mwy o blaid cynnygiad Arg. J. Russell nag yn ei erbyn, ac felly penderfynwyd gwneud.

*Penderfyniadau yn Nghymdeithasfa y Bala, y rhai a ddaethant i law yn rhy ddiweddar i'w dodi yn eu lle priodol.*

Mae y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf i fod yn Pwllheli, Medi 6, 7, 8. Cyfeisteddiad y Siroedd i fod am 3 a'r gloch y dydd cyntaf.

*Bala.* D. CHARLES.

*Cymdeithasiad Conwy, Swydd Gaerynarfon.*

Cynnelir Cymdeithasiad y lle hwn ar y 19 a'r 20 o Orphenaf, pryd y disgwylir y bydd i lawer o'r brodyr ymgynnull a bod yn ffyddlon. E. RICHARDSON.

## GWELLIANT GWALLAU.

Dihangodd gwall yn Nghofrestr Pregethwyr Sir Drefaldwyn, Rhif. 78, tu dal. 188. Ymhlith 'y Pregethwyr sydd yn fyw,' lyle y dylasai fod y brawd cymmeradwy a defnyddiol, 'David Davies, Cywarch.' Ac yn lle 'Thomas Kinnerton,' dealler 'Thomas Kinaston.'

Hefyd, yn 'y Teithiau Sabbathol,' yn lle 'Llanwrin a Llanwddyn,' dealler, 'Llanwddyn a Chywnu.'

*Y Bont.* J. HUGHES.

Anwyl Syr,—Y mae ein Cymdeithasfa Chwarterol nesaf ni yn y Deheudir i gael ei chadw yn Castell Newydd Emlyn yr 2il. a'r 3ydd. o Awst nesaf, pryd y dysgwylir i lawer o'r brodyr ddyfod ynghyd.

*Castell newydd Emlyn.* GRIFFITH THOMAS.

## MARWOLAETH Y BRENIN.

Dydd mawrth, Mehefin 20, 1837, am ugain munud cyn tri ar gloch y boreu, er mawr alar i'r holl deyrnas, bu farw ei Fawrhydi y Brenin WILLIAM IV. Yr oedd efe yn un o'r Brenhinoedd mwyaf doeth, gwladgarol, a heddychol, a eisteddodd erioed ar orsedd Brydain fawr. Bellach, dywedwn, Eled erfyniau filoedd i fynu at Dduw, yr hwn sydd yn llywodraethu yn mrenhiniaeth dynion, am iddo ryngu bodd rhoddi i'n Brenhines ieuanc, ddoethineb, a chalondid, a phob cymhwysder i reoli ei deiliaid lliosog, er cynnydd gwir grefydd a dedwyddwch.

# BARDDONIAETH.

### GALAR-GAN

*Plant Ysgol Sabbathawl Tregaron, ar ol y Parch.* EBENEZER RICHARDS, *Gweinidog y lle, yr hwn a ymadawodd a'r byd hwn y 9fed o Fawrth* 1837.

Oh! ein tad—ein brawd—ein cyfaill,
Oh! ein mawr-ddoeth,—mwyn-ddyn cu!
A gymmeraist ti dy aden,
I'r trigfaunau nefol fry?
Oh'n! hyfforddwr; ein harweinydd,
A'n dysgawdwr medrus iawn;
Beth wnawn hebot,—beth ond wylo
O foreu-ddydd hyd brydnawn.

Yn naturiol iawn tywalltwn,
Ddagrau'n heilltion bob yr un,
Can's amddifaid i'n gadawyd,
Daliwyd ni gan ddyddiau blin;
O ein coron a'n llawenydd!
O ein blaenor gyda'r gwaith!
O mor ofer yw dy ddisgwyl,
Adref mwy o'th deithiau maith.

Nid gwiw edrych i'r pulpudau
Lle'r ymhoffaist fwyaf fod;
Nid gwiw gofyn i'r blaenoriaid,
Trwy'r eglwysi is y rhod;
Nid gwiw disgwyl mwy o Lundain,
Nac un dref yn Lloegr faith;
Pe croch-lefem fil o weithiau,
Dim ond ofer fyddai'n gwaith.

Ofer holi yn y teulu,
Ofer chwilio conglau'r tŷ;
Ofer 'mofyn trwy'r ardaloedd,
Ofer tywallt dagrau'n lli;
Ofer gwaeddi 'cerbyd Israel,
'A'i farchogion,—O fy nhad!'
Na, nis medr wrandaw'n llefau,
Yn nrhigfanau'r nefol wlad.

O mor anwyl ydoedd genym,
Weled pryd ei wyneb ef!
Ar ei liniau'n dadleu trosom,
O flaen gorsedd fawr y nef;
Treiglai'r chwys i lawr yn ddafnau,
'Rhyd ei ruddiau mwynaidd gwiw;
Pan yn ymdrech yn ein hachos,
O flaen mainc trugaredd Duw.

Mae'n calonau ar ymdorri
  Wrth adgofio'i eiriau mwyn;
Ac wrth feddwl nad oes mwyach,
  Fel efe 'ddweud wrtho'n cwyn,
Pwy wna bellach ein cynghori,
  Pwy a'n dysg yn llwybrau'r nef,
Pwy a'n hola gyda'n pyngciau,
  Pwy mor gymmwys ag oedd ef?

Mawr yr hoffai waith yr ysgol,
  Yn ei holl ganghenau' gyd;
Deiliaid hon oedd ei hyfrydwch,
  Llwyddiant hon a lanwai fryd;
Dawn oedd ganddo i'n hegwyddori,
  Gwir briodol iddo'i hun;
Trwyddo'r dafnau gwlith ddisgynai
  I'n calonau bob yr un.

O! mor hyfryd oedd ei gwm'ni,
  Yn ein cymmanfaoedd oll;
Coronai ef â'i bresenoldeb,
  Bob cyfarfod yn ddigôll;
Tynai'r nefoedd am ein pennau,
  Nes bai pawb yn llawenhau;
Wrth wel'd llawer o'u cadwynau,
  'N cael yn hollol eu rhyddhau.

O bêr awen! rho oleuni,
  Dyrcha'n meddwl egwan trist;
I fynegu hoff rinweddau,
  Ffyddlon was i Iesu Grist.
T'wysog dewr ar furiau Sïon,
  Hên warchaedwr heb ei fath;
'Nawr sy'n gorphwys hûn yn dawel,
  Yn ei ddystaw garchar caeth.

Gwr mawr ydoedd hwn a syrthiodd.
  'N archolledig ar y maes;
Galar sydd trwy'r holl eglwysi,
  Am waith cleddyf angau glâs;
Galar wisgoedd ar bulpudau,
  Mewn Capelau llawer lle;
Galar sydd trwy Ogledd Cymru,
  Galar dwys sydd yn y Dê.

Galar mawr o fewn cwmpasoedd,
  Lle trigiannai'n hanwyl dad;
Galar yn y byd a'r eglwys,
  Galar yn y dre a'r wlad;
Galar yn mhlith hen ac ieuainc,
  Gweddwon ac amddifaid rai;
Er bod amser yn myn'd heibio,
  Nid yw'r galar nemawr llai.

Ichwi frodyr yn yr eglwys,
  Chwi gyd-unwch yn ein cân;
Coll'som un o gedyrn Israel,
  Ni fydd arnom fel o'r blaen;
Gwiliai hwn oddeutu'n caerau,
  Cadarn oedd fel angel Duw;
Safai'n wrol dros ein hachos,
  Ymladdai'n brwydrau o bob rhyw.

Byddai'n manwl brofi barnau,
  Pawb a fyddai 'ngwinllan Duw,
Gwiliai rhag pob cyfeiliornad,
  Ddod i mewn i'r eglwys wiw;
Gwelai dwyll y gwag ragrithiwr,
  Chwiliai' holl lechesau gau;
Byddai 'eiriau tanbaid treiddgar,
  Yn ceryddu'r beius rai.

Chwithau wragedd mwyn yr eglwys,
  Unwch yn yr alar gân;
Hwn gyflwynai eich babanod,
  Fynu, Dduw mewn bedydd glân;
Cofiwch fel'r arferai gymm'ryd,
  Eich rhai bach o'ch breichiau chwi;
Yn ei gynnes gôl a'u cariai,
  At yr addfwyn Iesu cu.

Cofiwch fel'r oedd yn gweddio,
  Drostynt at ei nefol Dâd;
Modd 'roedd dagrau'n hidl dreiglo,
  Dros ei ruddiau mwynion mâd;
Cofiwch fel'r arferai ddiolch,
  Am eich gwaredigaeth chwi,
Yn eich cyfyng awr drallodus,
  O'ch peryglon fwy na rhi'.

Daeth yr awr i'r nefol gerbyd,
  I'w hol adref at ei Dad;
I fwynhau y gwleddoedd hyfryd,
  Yn y baradwysaidd wlad;
Cymm'rwyd ef oddiwrth ei briod,
  'N ddiarwybod iddi hi;
Prin gwybuwyd gan y teulu,
  Fod e'n croesi'r afon ddu.

'Da was da a ffyddlon fuost,
  Medd ei Arglwydd oddi fry;
Dos i mewn i wlad tangnefedd,
  At y glân nefolaidd lu;
Gad dy gleddyf a'th holl arfau,
  Gad y cwbl ar y maes;
Ni bydd eisiau rhei'na mwyach
  Dos a gad hwynt ffyddlon was.'

'Y mae'r palmwydd yn dy aros,
  Ti gei'r goron ar dy ben;
Cei deyrnasu yn oesoesodd
  Gyda'r Gwr fu ar y pren;
Trwy ei waed ef ti orchfygaist;
  I gael dy wisgo oll yn wyn;
'N y cyfiawnder perffaith dysglaer,
  Wnaeth wrth farw ar y bryn.

Dydd o alar, dydd o wylo,
  Dydd o chwerw ofid dwys;
Oedd y dydd y rhow'd ein Richards,
  Lawr i orphwys dan y gwys;
Dydd llawenydd yn y nefoedd,
  Dydd o ochain ar y llawr;
Dydd o golled oedd i filoedd,
  Er fod ef yn 'nillwr mawr.

Rhowd ei gorph ef yn y ddaear,
  Mynwent Caron ydyw'r lle,
Y gorphwysa'i rannau marwol
  Dan warchaedaeth engyl ne.
Ffarwel, ffarwel, hoff gydymaith,
  Ffarwel mwy tu yma'r bedd,
Mil melusach fydd dy gwmni,
  Draw ar fro Caersalem hedd.

*Tregaron.* UN O BLANT YR YSGOL.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXX.] AWST, 1837. [LLYFR. VII.

GWIREDD CRISTIONOGAETH, A CHYWIRDEB Y TESTAMENT NEWYDD;

*Yn cael ei osod ger bron, a'i brofi yn gadarn a diamheuol: sef sylwedd tair Pregeth rhagorol Dr. Doddridge ar y matter hwn.*

2 Pet. i. 16. 'Canys nid gan ddilyn chwedlau cyfrwys, yr hysbysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid.'

I. OS CYMMERWN YR ACHOS MEWN DULL GOLYGIADOL YN UNIG, FE YMDDENGYS YN HYNOD O DEBYGOL, FOD Y CYFRYW GYFUNDRAITH A'R EFENGYL, MEWN GWIRIONEDD YN DDATGUDDIAD DWYFOL.

1. Mae cyflwr dynolryw yn gyfryw, ag sy'n sefyll mewn mawr angen am Ddatguddiad dwyfol.

2. Mae goleuni natur yn rhoddi gryn gefnogiad i ddysgwyl, y byddai i Dduw o'i ewyllys da i'w greaduriaid, roddi iddynt y cyfryw fendith angenrheidiol ag yr ymddengys fod Datguddiad dwyfol.'

3. Os rhoddid Datguddiad dwyfol, fe fyddai i'r cyfryw, (fel y gellid yn hawdd gasglu), gael ei ddwyn i mewn a'i drosglwyddo, yn y cyffelyb fodd ag yr hysbysir i ni ddarfod dwyn y Datguddiad dwyfol i mewn.

4. Fod prif bynciau yr Athrawiaeth cynnwysedig yn yr Efengyl, o'r cyfryw natur ag y dysgwyliem yn gyffredinol, i Ddatguddiad dwyfol gynnwys.

II. BOD Y SICRWYDD MWYAF AM GRISTIONOGRWYDD EI BOD MEWN GWIRIONEDD YN DDATGUDDIAD DWYFOL.

*I. Mae seiliau sicr i gredu fod Llyfrau y Testament newydd, fel y maent yn awr yn ein dwylaw, wedi cael eu hysgrifenu gan gyhoeddwyr cyntaf Cristionogaeth.*

(1.) Mae Cristionogaeth yn awr yn Hen Grefydd, ac nid yn rhyw Athrawiaeth newydd ddiweddar; ond fe'i proffeswyd gan liaws mawr, yn fuan iawn ar ol ymddangosiad yr Iesu.

(2.) Mae yn sicr y bu y fath Berson a Iesu o Nazareth, yr hwn a groeshoeliwyd yn Ierusalem, pan oedd Pontius Pilat yn Rhaglaw yno dan lywodraeth Rhufain.

(3.) Darfu i gyhoeddwyr cyntaf y Grefydd hon ysgrifenu Llyfrau, y rhai sy'n cynnwys hanes Bywyd ac Athrawiaeth yr Iesu, eu Hathraw; ac fe'i cyhoeddwyd dan yr enwau y rhai sydd yn awr yn gwneud i fynu ein Testament Newydd ni.

(4.) Mae Llyfrau y Testament Newydd wedi cael eu cadw, yn ddigyfnewid hyd yr amser presennol, yn yr Iaith wreiddiol, yn yr hon yr ysgrifenwyd hwynt.

(5.) Mae cyfieithiad y Llyfrau hyny, y rhai sy'n awr yn eich dwylaw, yn gywir, o ran pob peth o bwys yn cyfatteb i'r hyn ydynt yn yr Iaith wreiddiol.

*II. Trwy addef cywirdeb y Testament Newydd, mae yn sicr o ganlyniad fod Cristionogrwydd yn Ddatguddiad dwyfol.*

1. Mae yn amlwg y gwyddai Ysgrifenwyr y Testament Newydd, pa un a oedd y pethau a dystiasant yn wir neu yn gau.

2. Mae Nodweddiad yr Ysgrifenwyr hyn, cyn bellad ag y gallwn ni farnu wrth eu gweithredoedd, yn dangos eu bod yn haeddu parch, ac nid oes un sail i feddwl eu bod yn bwriadu ein twyllo.

(1.) Mae y dull y maent yn adrodd yr Hanes rhyfeddol, yn rhwydd, eglur, a natturiol.

(2.) Mae eu gonestrwydd yn ymddangos yn amlwg yn y rhwyddineb â'r hwn y maent yn crybwyll am bethau, drwy y rhai yr oeddynt yn rhoi eu Hathraw a hwy eu hunain yn agored i'r dirmyg mwyaf yn mhlith dynion rhagfarnllyd ac anystyriol.

(3.) Yn Ysgrifenadau y Testament Newydd gellir gweled y cywirdeb mwyaf; ac nid yn unig tymher ddidwyll, a gonest, ond

hefyd tueddfryd duwiol a chrefyddol, cymmwynasgar a haelionus.

3. Nid oeddynt dan un demtasiwn i lunio Hanes o'r fath yma, neu i'w chyhoeddi hi i'r byd, gan wybod ei bod yn gelwydd.

4. Yn ol pob golygiad dynol, yr oedd yn rhaid eu bod yn gwybod y dyfethid hwynt o'i herwydd; ac felly dyfethasid yr holl Hanes a gyhoeddasant gyda hwynt, heb ennill byth un gradd o barch ac anrhydedd o'i herwydd yn y byd.

(1.) Ystyriwch natur y gweithredoedd mawrion a dystiwyd ganddynt, sef Marwolaeth, Adgyfodiad, a Dyrchafiad Crist.

(2.) Ystyriwch y dull a gymmerodd yr Apostolion i brofi gwirionedd eu Tystiolaeth am y gweithredoedd hyn, sef drwy Wyrthiau.

5. Mae yn wirionedd sicr ddarfod i'r Apostolion ennill dynion i'w credu yn fuan iawn, a llwyddo mewn modd rhyfeddol; oddiwrth yr hyn y canlyn, fod eu Tystiolaeth yn wirionedd.

6. Os addefwn fod tystiolaeth yr Apostolion am weithredoedd Crist yn wirionedd, yna yr oedd yn rhesymol i ninnau roddi derbyniad i'r Efengyl, yr hon a draddodasant hwy i ni fel Datguddiad dwyfol.

7. Mae Gwirionedd yr Efengyl, wedi derbyn ychwaneg a llawer helaethach sicrhad, oddiwrth yr hyn a ddygwyddasant yn y byd er pan gyhoeddwyd hi ar y cyntaf.

1. Ystyriwch pa bethau a wnaeth Duw er cadarnhad yr Efengyl, er y pryd y cyhoeddwyd hi gyntaf, a chewch weled ychwaneg o sicrwydd o'i tharddiad dwyfol.

Y llwyddiant rhyfeddol a fu arni, a thaeniad anghydmarol yr Efengyl drwy'r byd.

Y Gwyrthiau a wnaed er cadarnhad yr Athrawiaeth Gristionogol, am gryn amser ar ol marwolaeth yr Apostolion.

Cyflawniad amryw Brophwydoliaethau, y rhai a nodir yn y Testament Newydd: mae hyn yn gadarnhad pellach o wirionedd yr Efengyl.

Cadwraeth yr Iuddewon, fel pobl neillduedig oddiwrth genhedloedd y ddaear, sydd brawf o Ddwyfoldeb y Bibl.

II. Y Cadarnhad a ddeillia i'r Gwirionedd oddiwrth y dull a gymmerodd ei Elynion i geisio ei ddinystrio, sef Rhith-waith, a Dichel-waith. Rhith-waith o Erledigaeth yn yr oesoedd a aethant heibio; a Dichellwaith, a gwatwargerdd Deistiaid yr oesoedd diweddar.

Y CASGLIADAU.

I. Cydnabyddwch gyda diolchgarwch fawr ddaioni Duw am ein cynnysgaeddu ni â'r fath Ddatguddiad ardderchog, ac am ei sicrhau ef i ni â'r fath brofion helaeth.

Bendithiwch Dduw am oleu yr Haul a'r lleuad a'r sêr: pa faint mwy am drefn fawr yr Efengyl!

Ystyriwch gyflwr y Byd Paganaidd, mawr ddiffyg eu Hathrawiaethau a'u Moesau.

II. O fel y dylem dosturio wrth y rhai sy'n gwrthod yr Efengyl ogoneddus hon, pan y mae ganddynt y fantais o chwilio i mewn i'r profion egluraf o'i gwirionedd.

III. Rhesymol iawn yw i Gristionogion fod yn hysbys ac adnabyddus â'r profion cedyrn sy genym o wirionedd y ffydd Gristionogol.

IV. Cofleidiwch yr Efengyl, ac ufuddhewch iddi, yr hon sydd iddi y fath brofion cedyrn o'i gwiredd.*

---

## CYFRANIADAU AC ELUSENGARWCH.

Mae Duw weithiau, yn fford ei ragluniaeth, yn galw arnat ti, o ddyn, i ddiwallu angenion dy frawd, ac i gynnal ei achos bendigedig ef yn y byd; ac hefyd ar bryniau eraill i gyfranu at achosion y wladwriaeth mewn rhyw ffordd neu gilydd. Yn awr, cyn ymesgusodi o honot dan yr hen orchudd twyllodrus, 'na's gelli wneuthur hyn,' ystyria yn ddifrifol rhyngot a thi dy hun, fod Duw yn bod, yr hwn ni chymmer un amser ei fwrw heibio âg esgusodion ac anwiredd o'r fath hyn. Mae efe yn gwybod yn hollol pa beth a elli ei wneuthur, ac hefyd pa beth ni elli.

Y *cybydd*, (ac mae aml un o'r cyfryw,) sydd ormeswr ac anghenfil; ac mae'n gwestiwn pa un ai ei galon sy fwyaf caled,

---

* Gwel y Pregethau yn gyflawn, Doddridge's 3 Sermons.

Dr. Jennings's clear and masculine Sermons: A Proof of the Truth and Divinity of the Holy Scriptures on the Principles of Common Sense.

Mr. Benjamin Bennet's Fourteen Sermons, on the Truth and Inspiration of the Scriptures.

ai ei law sy fwyaf cauad. Y mae'n fwy gwangcus na'r môr, ac yn fwy *diffrwyth* na *thywod* y môr Y mae'n warth i grefydd, ac yn llysiant dynoliaeth cyffredin; ac nid yw yn gymmwys i fyw yn y byd yma, ar un cyfrif, oud i'w wneud yn esiampl o gyfiawnder Duw yn y nesaf. Mae gwyr cyfoethog, rai gweithiau yn cael parch ac anrhydedd *allanol*, tra *yn dufewnol* mae'r *moddion* drwy yr hyn y daethant yn gyfoethog yn cael eu casâu a'u ffieiddio. Haelioni a thosturi a ennill barch bob amser, tra byddo gorthrech a thrachwant dan eu gwarth, fel yr haeddant, drwy'r holl fyd. Pan mae *gorthrymwr* llwyddiannus yn disglaerio mewn aur, y mae'r peth *gwaelaf* yn gorwedd dan y gorchudd cyfoethocaf.

---

ANNIOLCHGARWCH.

Anniolchgarwch! tydi fwystfil anfoddus, tydi wrthuni dynoliaeth, a gwarth y greadigaeth; beth a ddywedwn am danat, neu i ba beth y'th gyffelybwn di? Canys yr wyt yn eithriad yr holl fyd gweledig; ni welir yn y nefoedd uchod, na'r ddaear isod ddim cyffelyb iti! Os mynit weled dy gyffelyb, dos i *uffern*, yr hon yw bro anniolchgarwch, ac arwydd-lun o hono. Canys heblaw ti dy hunan, nid oes dim ond uffern, beunydd yn *derbyn*, ond byth yn *adferu*.—'*Beauties of South.*' Cyf. J. MORRIS.

---

## SYLWADAU

### AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O GANU MAWL.

( Parhad tu dal. 136. )

III. Ceisiaf ddangos bod y modd neu y moddau y dylid dwyn y gwaith goruchel o ganu mawl i Dduw yn mlaen, yn ordinhadol, ac felly, bod yn ddyledswydd arnom, nid yn unig ganu mawl, ond gwneuthur hyny yn y dull a'r modd, ac yn ol y rheolau y gwelodd efe fod yn dda ymddarostwng i'n cyfarwyddo a'n gorchymyn yn ei Air.

Pan oedd Moses ar fedr gorphen y Babell, a gosod i fynu drefn gwasanaeth Duw yn mhlith cenedl Israel, 'Gwel,' (meddai yr Arglwydd wrtho) 'ar wneuthur pob peth yn ol y portreiad a ddangoswyd iti yn y mynydd.' Heb. 8. 5. Exod. 25. 40. Gan yr Arglwydd yn unig y mae hawl i drefnu a gosod ordinhadau yn ei dŷ idd ei bobl ymarfer â hwynt. Ac iddo ef y perthyn rhoddi rheolau a gorchymynion perthynol idd eu dygiad yn mlaen, a'n hymddygiadau ni yn ein hymarferiad â hwynt. Gosododd efe yr ordinhad o ganu mawl i fod yn ddyledswydd barâus. Ac y mae y cyfarwyddiadau, y gorchymynion a'r rheolau perthynol idd ei dygiad yn mlaen a gawn yn yr ysgrythyrau, fel portreiad cyflawn a pherffaith o'r dull a'r modd y dylem ymarfer â'r ordinhad sanctaidd. Mae ei awdurdod ef yn sefydliad yr ordinhad yn gosod y rhwymedigaethau cadarnaf arnom i ufudd-dod iddo, ac yn dwyn megis adlais attom, beunydd, yn dywedyd, 'Gwel ar wneuthur y cyfan yn ol y portreiad.'

Er mwyn dwyn y cyfarwyddiadau perthynol i'r ddyledswydd hon, a gawn yn wasgaredig yn yr ysgrythyrau sanctaidd, i gof, ac yn fwy uniongyrchol i sylw dynion yn gyffredinol, nodaf rai o honynt fel y gallwyf, a sylwaf arnynt yn y drefn a ganlyn.

1. 'Cyd-genwch i'r Arglwydd.' Psalm 147. 7.

Gallwn ganfod oddi wrth Iago 5. 13, bod canu mawl i Dduw yn ddyledswydd briodol i ddyn ei chyflawni tra wrtho ei hun. Ond y mae y gair cydgenwch yn dysgu i ni bod canu mawl yn ddyledswydd gymdeithasol, deuluol a chynnulleidfaol. Ac fel dyledswydd gynnulleidfaol y bwriadwyf sylwi ar ganu mawl o hyn hyd ddiwedd fy Nhraethawd. Yn y dull hwn y 'canodd Ser y boreu, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw.' Felly y canodd yr Israeliaid ar lan y Mor Coch. Felly y canodd yr Arglwydd Iesu a'i ddisgyblion ar ol swpper. Ac yn y dull hwn y cân addolwyr ysbrydol y Mil blynyddoedd, a'r holl waredigion yn niwedd amser. Iob 38. 7. Exod. 15. 1—20. Marc 14. 26.

Mae cyd-ganu, nid yn unig yn arwyddo gwneuthur hyny yn gynnulleidfaol, ond hefyd cydgordiad manylaf aelodau cynnulleidfa â'u gilydd yn eu mynediad yn mlaen a'u cydweithrediad yn nghyflawniad y ddyledswydd. Cydeiriaw a chydseiniaw pob sillaf, oddi eithr pan y byddo amrywiol ranau peroriaeth wedi eu trefnu a'u rheolaiddio i symudiadau gwahanol. Cyd-ddechreu, cyd-symmud, cyd-orphwys, cyd-ddiwedd, a chyd-accenu yn ol modd amserawl ac accenawl y beroriaeth a ddefnyddier. Gan mai un o brif ddybenion y def-

nyddiad o beroriaethau neu erddyganau neillduol mewn cyn'lleidfa, yw iddynt fod fel iau neu rwymau i glymu aelodau cyn'lleidfa yn nghyd i gyd ganu, ac megis prif-ffordd i lu o fforddolion gyd gerdded, dylai gofal neillduol fod ynom am ddysgu yn dda a chywir y rhai a ddefnyddiom, ac ymgadw ynddynt, heb ychwanegu attynt na thynu oddi wrthynt yn ein hymarferiad â'r gwaith. Heb hyn anmhosibl yw cydganu. Mae rhai idd eu beiaw yn fawr yn eu gwaith yn ymruthraw i ymyraeth â chanu gwahanol ranau peroriaethau yn addoliad yr Arglwydd, heb eu dysgu yn flaenorol, ac ydynt yn rhy anfedrus i gyfansoddi mewn cysondeb â y rhanau cyferbyniol. A thrwy hyny achlysuro yn aml, annghydgerdd anmhrydferth yn y gerddoriaeth, ac felly troseddu gorchymyn Duw! Dyledswydd a doethineb y cyfryw fyddai dysgu y rhanau a ddewisont, neu ymostwng i ganu y rhanau a gân y nifer liosocaf o'r cynnulleidfaoedd.

Mae yn gynnwysedig hefyd mewn cyd ganu mawl i Dduw, bod aelodau cynnulleidfa yn un o ran eu dyben. Ac hefyd bod ein hysbrydoedd yn cyd gymdeithasu yn ansawdd neu sylwedd ysbrydol yr hyn a genir. Pan y gosoder allan fawredd ac ardderchawgrwydd Duw, bod ein heneidiau yn ei gydfawrâu a'i addoli. Pan y caner am ogoniant Crist, bod ein hysbrydoedd yn ei gyd-ddymuno, yn cyd-gredu ac ymostwng iddo. Pan osoder allan wagedd pethau daearol, a sylwedd gwrthddrychau tragywyddol, bod ein serchiadau yn cydymfudaw oddi ar y naill ac yn ymdderchafu ac yn cydymsefydlu ar y lleill.

2. Yn weddus a threfnus.—'Gwneler pob peth yn weddus ac mewn trefn.'

Yn gymaint ag mai creadur cyfansawddedig o gorph ac enaid ydyw dyn, fel y cyfryw y mae Deddf yr Arglwydd, beunydd yn llefaru wrtho, ac yn gofyn ufudd-dod ganddo. Mae pob dyn yn ddeiliad o honi, a'r oll o bob dyn yn ddarostyngol iddi, yn mhob man a phob amser. Mae yn gofyn yr enaid, ei ddeall, ei serch a'i holl alluoedd i weithredu yn addas tu ag at Dduw mewn gwasanaeth ac addoliad ysprydol, ac y mae yn gofyn ac yn gorchymyn y corph a'i holl aelodau i ymddygiad addas er dangos yn allanol yr hyn yw dyn (neu o leiaf yr hyn a ddylai fod) tu ag at yr Arglwydd, mewn cariad, gwylder a pharchedig ofn o ran dirgel ddyn y galon yn dumewnol. 'Gogoneddwch Dduw yn eich corph ac yn eich yspryd y rhai sydd eiddo Duw.' 1 Cor. 6. 20. Gan hyny y mae o fawr bwys a chanlyniad pa fath agweddau a gair arnom o ran ein cyrph a'n hysprydoedd yn addoliad yr Arglwydd.

Dylem bob amser, oni bydd rhyw achos rhesymol a chyfreithlon yn ein lluddias, sefyll yn daclus ar ein traed i ganu mawl i Dduw. Oblegyd y mae cyfarch ei anfeidrol Fawrhydi ef yn gynnulleidfaol, yr hyn a wneir trwy ganu ei fawl a gweddio arno, mewn dull neu ystum amgen nag yn ein sefyll neu ar ein gliniau, yn weithrediad anmhriodol iawn, yn ymddygiad sydd yn iselu y neb a'i gwnel islaw dynoliaeth, ac yn arwydd neillduol o ddiffyg o'r parch a'r gwylder perthynol i addoliad dwyfol. Heblaw hyn, y mae sefyll i ganu mawl i'r Arglwydd yn ystum sylfaenedig ar orchymyn ysgrythyrol, 'Cyfodwch, bendithiwch yr Arglwydd eich Duw.' Nehem. 9. 5. Felly y mae hyn yn ansigledig benderfynol, fel nad oes achos holi nac ymofyn ychwaneg yn ei gylch, ond yn unig er mwyn ei ddwyn i gof, sylw a gweithrediad addolwyr.

Mae pob anffurfiad afreidiol a gwrthun yn yr wynebpryd, a phob ysgrechfloedd anmheraidd a wneir â'r llais wrth ganu, yn hollol anweddus ac anmherthynol i ganu mawl yn ddestlus a threfnus, ac yn eithaf anaddas yn addoliad yr Arglwydd. Dylem osod ein lleisiau allan yn ol eu grym a'u hamgylchiadau priodol eu hunain, gan ochelyd eu chwyddo ond idd y graddau y gallom heb niweidio eu pereidddra. Dichon rhai ganu yn uwch o lawer nac ereill heb anmharu pereidd-dra. Beth bynag a wna neb uwchlaw hyn, anweddeidd-dra ydyw.

Tu ag at ganu yn drefnus a gweddus mae accenu yn gywir a rheolaidd yn hollol angenrheidiol. Mae accen mor briodol i ganu ag ydyw i lefaru. Ac y mae mor angenrheidiol i ganu yn weddus a threfnus ag ydyw seiniau. Diamheu mai dyben penaf bàrau mewn erddyganau, ydyw, bod yn arwyddion o'i sefyllfaoedd, oblegyd y mae y ton-nodau eu hunain yn arwyddo yr

amser a ddylid ei gadw. Gofala yr holl gerddorion deallgar a chelfydd, yn Feirdd ac yn Beroriaethwyr, yn wastad, ar fod y sillafau a'r seiniau accenawl yn cyd gyfarfod a'u gilydd mewn cerddoriaeth, yn ol rheolau y mesur, a modd mynediadawl (*mood*) y beroriaeth a ddefnyddier.

Dylai pob datganydd gymeryd yr un gofal beunydd am iawn seinio yr accen, oblegyd heb hyny, byddai y gerddoriaeth yn fath o lusgfa anmhrydferth ac annymunol. Ond etto y mae cymhedroldeb yn hyn yn wir angenrheidiol, canys fel y mae yr esgeulusiad o hyn yn arwain i annhrefn; y mae yn y gormodedd o hono yn tywys o'r tu arall ar gyfeiliorn i anweddeidd-dra. Gweithreda rhai yn hyn, gyd â'r fath rym, ac yn y fath ddull chwyrn a thrystfawr ag a niweidia bob pereidd-dra ac a ddyfetha bob destlusrwydd a gweddeidd-dra. Ac felly dygant eu cerddoriaeth yn mlaen yn y modd mwyaf gwrthun. Ond gan mai i esgeulusdawd o'r accen y gogwydda y rhan liosocaf o'r Cymmry, nis gall y sylw hwn fod yn briodol ond i nifer bychan, y rhai a fabwysiadasant yr arferiad anweddus oddi wrth ychydig gynnulleidfaoedd seisnig, a'r rhai hyny yr un modd oddi wrth estroniaid tramor (*foreigners*). Ychydig meddaf, canys nid yw y dull gwrthun hwn berthynol i gerddoriaeth seisnig mwy nag i gerddoriaeth gymmreig, oblegyd y cynnulleidfaoedd seisnig, yn y rhai y cenir yn fwyaf destlus a gweddus ydynt yn wastad yn accenu yn dra addas a chywrain. Ond, fel y mae y duil y beiwyf arno yn anmherthynol i gerddoriaethau brytanaidd, y mae yn hollol yr un modd mor anmhriodol ac estronol i gerddoriaeth drefnus a gweddus yn mhob rhyw iaith, ac felly idd ei wrthod a'i fwrw allan.

I ganu mawl i Dduw yn drefnus a gweddus, rhaid bod yr hyn a genir, o ran y sylwedd a'r ansawdd o hono yn fawl a gogoniant iddo. Nid oes i ni olygu y dylai y geiriau, mawl, gogoniant, a diolch, fod bob amser yn ein caniadau, ond dylent fod yn wastad yn cynnwys yr hyn a ddueddo at ei ogoniant mynegol ef, ac o ran eu sylwedd yn deilwng idd ei Fawrhydi. Gosyd y Psalmau ei fawredd, ei glod a'i ogoniant allan yn aml yn ardderchog iawn trwy ei weithredoedd. 'A'i holl weithredoedd a'i clodforant,' Ps. 145. 9—12. Byddaf fi yn golygu y Psalmau fel portreiad cyflawn o'r hyn a ddylai ein caniadau fod. A meddyliwyf eu bod oll yn addas idd eu canu yn fawl i'r Arglwydd. Ac er y golyga rhai, ranau o honynt fel yn annghymwys i hyny, etto, meddyliwyf, pe deallem hwynt yn gywir, y canfyddem i'r gwrthwyneb, ac felly, mai nid ynddynt hwy eithr ynom ni y ceir yr annghymhwysder hwn. Ond âf yn mlaen yn bresennol, gan fwriadu ymhelaethu ar bethau o'r natur yma, yn y rhan olaf.

I ganu mawl yn weddus a threfnus angenrheidiol yw bod yr iaith yn addas, y farddoniaeth yn gywir a phrydferth, a'r beroriaeth yn rheolaidd ac ardderchog. Nid pob math ar sothach o y rhai hyn, sydd yn deilwng i addoliad yr Arglwydd. Dylem fod yn ofalus i arferyd barn yn mherthynas iddynt. A phe dygid i mewn i ganiadau yr Arglwydd, bethau isel, mersenaidd, salw neu anmhrydferth, dylem eu gwrthod a'u bwrw ymaith.

I ganu mawl i'r Arglwydd yn drefnus a gweddus, rhaid bod y beroriaeth a ddefnyddier yn cydweddu ag ansawdd neu sylwedd a matter y gân. I ganu caniadau a osodant allan yn uniongyrchol, fawredd, goruchelder ac ardderchawgrwydd Duw, dylid bob amser ddefnyddio peroriaethau uchelaidd a mawredig. Dylai y caniadau hyny a osodant allan fawredd a dirgelwch person Crist, ei ogoniant yn ei swyddau cyfryngol, ei fynediad llwyddiannus trwy waith y prynedigaeth; ei adgyfodiad, ei esgyniad, a'i eisteddiad gogoneddus ar ddeheulaw Duw, gael eu canu ar beroriaethau mawreddig, mewn modd hŷf, gwrol a gorfoleddus. Dylem ganu caniadau a osodant allan degwch, cadernid, grasau a rhagoriaethau yr eglwys, yn wastadol ar beroriaethau uchelaidd, gorfoleddus ac hedegawg. O'r tu arall, dylai y caniadau a osodant allan gwymp, iselder a thruenusrwydd dyn, gael eu canu bob amser ar beroriaethau iselaidd a phruddaidd. Y caniadau a osodant allan sicrwydd marwolaeth a breuolder einioes dyn, dylem eu canu ar beroriaethau pruddaidd a golomadol.

Caniadau yn cynnwys deisyfiadau, dylid eu canu ar beroriaethau addas yn y cywair lleddf mewn modd erfyniol. Manylu ar

hyn i'r graddau y byddai ddefnyddiol a'm harweiniai i ormod meithder. Ond rhaid i'm gael goddefiad i sylwi, y dylid canu y caniadau a osodant allan ddarostyngiad, dyoddefaint, ing, croeshoeliad, marwolaeth a chladdedigaeth yr Arglwydd Iesu, yn anad unrhyw ganiadau ereill, gael eu canu ar beroriaethau lleddf a galarus, mewn modd trwy yr hwn y dangoser i bawb, bod y rhai a weithredant yn y gerddoriaeth yn ystyriol o ddwysder a phwysfawrogrwydd yr hyn a fyddo ganddynt mewn llaw. 'Edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant, galarant hefyd am dano' Zech 12. 10. Byddai canu y rhan gyntaf o Ps. xxii, a Hymnau cyffelyb idd y rhanau canlynol:—

'Efe yw'r Iawn fu rhwng y lladron,
Dyoddefodd yno angau loes,—
Dyma'r person a ddyoddefodd,
Yn ein lle ddigofaint llawn,—
Rhoi awdwr bywyd i farwolaeth,
Claddu'r adgyfodiad mawr,'—

Byddai canu y rhai hyn a'u cyffelyb, meddaf, ar beroriaethau bywiog, gorfoleddus a hedegawg, yn hollol anweddaidd ac annyoddefol, ac yn arwydd allanol o'r anystyriaeth mwyaf. Yn wir ni feddaf eiriau nac ymadroddion addas i osod allan wrthuni y fath weithred. Ond er dywedyd fel hyn, nid wyf yn golygu fod pawb a weithredasant felly, yn anystyriol, ond darfod i lawer wneuthur felly, mewn anwybodaeth a dyeithrwch i drefn a gwedddeidd-dra cerddoriaeth. Gan fod trefn a gwedddeidd-dra o osodiad ac ordeiniad yr Arglwydd, ac mor ddefnyddiol a rhagorol, ymestynwn yn egniol attynt. Ac na ddywedwn, ac na chynnwyswn y meddwl o fod yn haws gan yr Ysbryd Glan roddi ei gymdeithas a'i arweiniad gyd ag annhrefn na chyd â threfn. Byddai golygu felly am dano yn ddynesâd agos at gabledd. Mae efe yn anfeidrol fwy cydunol ag ef ei hun, nac y gorchymyna un peth, ac yr hoffa beth arall hollol groes.

Ac nid yw efe yn awdwr annghydfod nac annhrefn, ond tangnefedd a threfn yn holl gynnulleidfaoedd y saint, 1 Cor. 14. 33.

Ond er nad yw efe yn awdwr nac yn achos annhrefn, gyda gwylder a pharchedig ofn y dymunwn sylwi, nad wyf yn gwadu, na bu iddo ef lawer gwaith, ac na bydd iddo etto, trwy ei ddylanwadau cryfion ac annghyffredinol ar ddynion, megis ar Saul brenin Israel. Dafydd o flaen yr Arch,—a'r tair mil yn Ierusalem, fod yn achlysur i ymddygiadau a olygir gan rai fel yn anweddaidd ac annhrefnus, 1 Sam. 10. 5, 6. 10—14. 2 Sam. 6. 14—23. Act. 2. 37—41. Ond nid oes yn hyn o ysgrif yn erbyn annhrefn gyfeiriad mewn unrhyw fodd at hyny, ac nis gall fod, oblegid nid wyf o nifer y rhai a gyfrifant hyn yn annhrefn. Etto, pe byddai hyn mewn gwirionedd yn annhrefn, nid efe, eithr ein gwendid a'n bregedd ni yn ein sefyllfa bresennol, yw yr achos o'n hymddangosiadau fel yn annhrefnus.

Ond er ein gwendid, os cawn y rhagorfraint o fod yn y gwaith tan ei oruchwyliaethau a'i ddylanwadau sancteiddiol, a'i dywysiad daionus ef, gallwn fod yn hyderus nas gád ni, ac na rydd mo honom i fynu nes ein cyflawn gymhwyso i ddal ein llond o ogoniant, heb achos ofni anhwyl nac annhrefn o fewn nac oddi allan byth! O herwydd hyn, a chan flinaw o honom lawer gwaith ar fod yn drefnus oddi allan yn y gwaith heb ei gymdeithas a'i arweiniad ef, ac nad yw trefn ar y goreu hebddo ef, ond fel corph marw mewn dillad gwychion heb enaid ynddo, llefwn yn daer a gwirioneddol am dano, a rhoddwn ein hunain i fynu yn hollol idd ei reolaeth ef, gan ddywedyd o galon, cymmer yr awenau, Arglwydd, yn hollol i'th ddwylaw dy hun!

(I'w barhau.)

## Rhagoriaethau y Bibl.

PENNOD XVI.

*Hanesiaeth Iuddewaidd rhwng amseroedd yr Hen Destament a'r Newydd.*

(Parhad tu dal. 199.)

Pan oedd Antiochus yn ei bedwaredd hynt filwraidd i'r Aipht, daeth cenhadon oddiwrth y Rhufeiniaid, yn ei fygwth â dialedd eu llengau buddugawl oddieithr iddo dynu ei fyddinoedd yn ol. Wedi ei gyffroi i gynddeiriogrwydd gan eu cyfryngiad awdurdodawl, efe a arweiniodd ei fyddin yn ol trwy Palestine, ac a anfonodd Apollonius gyd âg ugain mil o'i ryfelwyr, gyda gorchymyn i ddinystrio Ierusalem, i ladd yr holl wyr â'r cleddyf, a chymmeryd yr holl wragedd a'r plant yn gaethion. Y gor-

chymyn hwn a gwblhawyd gyda chreulondeb ffyrnigaidd ar y dydd Sabbath, pan ydoedd y bobl wedi ymgynnull i addoliad cyhoeddus; ac ni ddiangodd neb ond y rhai a allasant gyrhaeddyd y mynyddoedd trwy ffoi, neu a guddiasant eu hunain yn ogofeydd y ddaear. Y ddinas a yspeiliwyd o'i chyfoeth gan yr anrheithwyr annuwiol hyn, ac a osodwyd ar dân mewn amrywiol fanau: hwy a dorasant i lawr ei muriau, ac a ddymchwelasant y tai, a chyd a'r defnyddiau hwy a adeiladasant amddiffynfa gadarn ar fynydd Acra; yr hwn, yn ngolwg y deml, y gwarchawd-lu oeddynt yn barod i ruthro allan a lladd y rhai a feiddient nesau atti i addoli.

Ar ei ddyfodiad i Antioch, cyhoeddodd Antiochus orchymyn, yn gofyn i'r holl bobl yn ei lywodraeth ef gyd-ffurfio âg addoliad y Groegiaid, ac fe bennodwyd Atheneus i addysgu yr Iuddewon yn seremoniau eilun addolgar y Groegiaid, ac i roddi i farwolaeth gyd â'r arteithiau mwyaf poenus, y rhai a wrthodent ymostwng i'w orchymyn. Ar ol cyrhaeddyd i Ierusalem, efe a gafodd gyd-weithrediad rhai Iuddewon gwrthgiliedig: efe a roddodd i lawr yr aberth beunyddiol, attaliodd holl ymarferiadau cyhoeddus a dirgel y grefydd Iuddewig, halogodd deml Duw ei hun, ac a wnaeth yr adeiladaeth sanctaidd hono yn anaidas i'r addoliad sanctaidd. Efe a geisiodd hefyd bob adysgrifen o'r ysgrythyrau, ac a losgodd yr holl rai a ellid eu cael; efe a gyssegrodd deml y Iehofa i Jupiter Olympus, a gododd ei ddelw ar allor y poeth offrwm, ac a gospodd â marwolaeth bawb a ellid eu cael y rhai a weithredasant yn groes i orchymyn ei bennaeth.

Mattathias, offeiriad anrhydeddus o deulu yr Asmoneaid, gyd â'i bum mab, Ioan, Simon, Iudas, Eleazer, a Ionathan, a enciliasant o'r erledigaeth yn Ierusalem i'w dinas enedigol Modin, yn llwyth Dan Hwy a ddilynwyd gan Appelles, swyddog i'r brenin, yr hwn a ymdrechodd i'w cymhell i gadw gorchymynion Antiochus. Wedi galw y bobl ynghyd, Appelles a gyfarchodd Mattathias i gyduno yn ei ymostyngiad i addoliad yr eilun, gan addaw iddo wobr o fawr anrhydedd a chyfoeth. Yr Offeiriad oedranus nid yn unig a wrthododd ei gynygion, ond a laddodd yr Iuddew gwrthgiliedig cyntaf a nesâodd at yr allor eilunaddolgar. Hefyd efe a ymgododd yn erbyn gorchwyliwr y brenin, ac, trwy gynnorthwy ei feibion, a'i rhoddodd ef i farwolaeth gyda'r holl rai oeddynt gydag ef, a ddystrywiasant yr eulunod a'u halloru, ac yna a enciliasant i'r mynyddoedd. Wedi ymgyssylltu â nifer o'i ffyddlawn gydwladwyr, efe a gerddodd trwy Iudea; efe a dorrodd i lawr yr allorau cenedlig yn yr holl ddinasoedd; adferodd yr enwaediad; a dorrodd ymaith offeiriaid yr eilunod, a'r Iuddewon hyny a wrthgiliasant at eu ffieidd-dra, ac a ail sefydlodd wir addoliad Duw, C. C. 167. Bu farw Mattathias yn y flwyddyn ganlynol, gan bennodi ei fab Iudas, a gyfenwid Maccabeus, i'w ddilyn i flaenori y fyddin, yr hon yn fuan a ymunwyd gan lawer ag oeddynt yn selog dros gyfraith Dduw. Efe a orchfygodd amrywiol fyddinoedd lliosog o eiddo Antiochus dan eu blaenoriaid mwyaf dewrwych, a adenillodd Ierusalem, a burodd y deml, a adferodd addoliad gosodedig Duw, ac a adgyweiriodd y ddinas, yr hon o'r bron ydoedd wedi myned yn bentwr o adfail, C. C. 165. Wedi ei wallgofi gan gynddaredd am orchfygiad ei swyddogion milwraidd, Antiochus a fygythiai lwyr ddyfetha holl genedl yr Iuddewon, a gwneuthur Iesusalem yn gladdfa gyffredin iddynt: ond pan ydoedd y geiriau balchaidd hyn yn myned dros ei wefusau, syrthiodd barn y nefoedd arno; efe a darawyd â chlefyd anfeddyginiaethol a phoenau gofidus yn ei ymysgaroedd, ac â dolur annyoddefol, pryfed yn ei ysu, trwy yr hyn y rhoddwyd terfyn ar ei fywyd euog, C. C. 164. Ei fab Eupator, dan Lysias ei ben-ciwdod, a annogodd y cenhedloedd cymmydogaethol i ymuno i ddyfetha holl genedl yr Iuddewon; ond Iudas, yn clywed am y cynghrair, a ddygodd y rhyfel i wledydd ei elynion, ac a fu yn fflangell ddychrynllyd i'r Syriaid, yr Idumeaid, a'r Arabiaid. Bu farw Iudas mewn rhyfel, C. C. 161 ac efe a ddilynwyd gan ei frawd Ionathan; yr hwn gyda Simeon ei frawd, a barhaodd i drin achosion ei bobl gyda gwrolder a challineb neillduol. Wedi i Onias, yr archoffeiriad, sefydlu yn yr Aipht, darfu i Ionathan gymmeryd y swydd offeiriadol yn Ierusalem, gan uno â hi yr anrhydedd o lywodraethwr gwladol, a ffurfio cynghrair

â'r Rhufeiniaid, C. C. 161. Ar ol i Ionathan gael ei ladd yn Ptolemais, trwy fradwriaeth Tryphon, yr hwn ydoedd wedi traisfeddiannu gorsedd Syria, dewiswyd Simeon i fod yn olynwr iddo, C. C. 144; ac ar ol diwygiad yn Ierusalem, efe a wnaeth yr Iuddewon yn annibynol ar genhedloedd estronol. Wedi iddo wneuthur cylch-daith trwy ddinasoedd Iuda, i'r dyben o ddwyn ymlaen eu heddwch a'u trefn, ei fab yn nghyfraith Ptolemy a'i croesawai ef yn ei gastell Dochus, yn Iericho, ac a'i lladdai ef a'i feibion Iudas aMattathias, C. C. 135.

Simon a ddilynwyd yn y llywodraeth a'r offeiriadaeth gan ei fab Ioan Hyrcanus, yr hwn a ehangodd ei awdurdod i amrywiol daleithiau cyfagos; efe a ddystrywiodd deml y Samariaid ar fynydd Gerizim, C. C. 130, ar ol iddi sefyll ddau cant o flynyddoedd, ac a gymhellodd yr Idumeaid i gofleidio y grefydd Iuddewig. Efe a adnewyddodd y cynghrair gydâ'r Rhufeiniaid, trwy yr hyn y sicrâodd efe lês mawr i'w genedl, ac efe a fu farw, C. C. 107, gan adael y llywodraeth a'r offeiriadaeth i'w fab Aristobulus. Y tywysog hwn a ddygodd Iudea drachefn dan un-bennaeth, ac efe ydoedd y cyntaf ar ol y caeth-gludiad a gymmerodd iddo ei hun yr enwad o frenin. Efe a ddilynwyd gan ei fab Alexander Ianneus, yr hwn a gymhellodd y Philistiaid i gofleidio y broffes o'r ffydd Iuddewig, C. C. 97. Efe a deyrnasodd saith ar hugain o flynyddoedd, ac a fu farw trwy anghymmedroldeb, C. C. 79.

Y cynghrair Rhufeinig a drodd yn niweidiol i lesiant yr Iuddewon, y rhai a ddioddefasant lawer trwy ymrafaelion gwladol y Rhufeiniaid. Yr urddas brenhinol ac archoffeiriadol a ddaeth yn destyn ymryson gerwin, ac wedi galw cynnorthwy y Rhufeiniaid gan Aristobulus, yn erbyn ei frawd hynach Hyrcanus, Pompey a osododd Hyrcanus ar yr orsedd, ond a wnaeth Iudea yn dalaith drethedig o'r ymerodraeth Rufeinig, C. C. 63. Pompey, gyd â rhai o'i swyddogion, a aeth yn rhyfygus i mewn i'r cyssegr sancteiddiolaf; a Crassus, llywodraethwr Syria, a yspeiliodd y deml o ddeng mil o dalentau arian, C. C. 54: Yn fuan wedi hyny, Antipater, pendefig cyfrwysgar a dichellgar o Idumea, trwy ffafr Julius Cæsar, a wnaethpwyd yn orchwyliwr ar Iudea, C. C. 47, tra yr ydoedd Hyrcanus yn dal yr offeiriadaeth Antipater a ddilynwyd gan ei fab Herod fawr, yr hwn, trwy gynnorthwy Antony, triad Rhufeinig, a thrwy dywallt llawer o waed, a wnaethpwyd yn frenin Iudea, C. C. 40. Ei awdurdod a gadarnhâwyd gan Augustus Cæsar, C. C. 30, ac efe a gynnaliodd ei urddas gyd â grymusder nodedig, ond hefyd gyd â'r creulondeb mwyaf ysgeler. Yn ystod ei hir deyrnasiad efe a adeiladodd lawer o ddinasoedd; ac i ennill iddo ei hun gymmeriad gyd â'r Iuddewon, efe o'r bron a ail adeiladodd eu teml, Marc xiii. 1. Ioan ii. 20. Ei greulondeb annynol tuag at blant Bethlehem, wrth geisio lladd y baban Iesu, a goffeir gan yr Efengylwr Matthew. Bu Herod farw yn fuan gwedi hyny, gan ddyoddef y poenau mwyaf arswydus. Dan lywodraeth ei feibion daeth Iudea yn fwy cyflawn i'w chydnabod fel talaith Rufeinig; daeth y Silo, ac ymadawodd y deyrn-wialen o Iuda, Gen. xlix. 10. canolfur y gwahaniaeth rhwng Iuddewon a Chenedloedd a ddattodwyd, Eph. ii. 14. goruchwyliaeth dwyfol drugaredd tu ag at yr holl genhedloedd a ddygwyd i mewn; ac ar ol bod dan lywodraethiad y gorchwylwyr Rhufeinig am rai blynyddoedd, yr holl wladwriaeth Iuddewig, ynghyd a'i seremonïau a'r deml, a ddymchwelwyd yn llwyr, O. C. 70, gan Titus, mab yr ymerawdwr Vespasian, a'r bobl a wasgarwyd trwy'r byd, fel cof-arwyddion byw o wirionedd Cristionogaeth.

---

## LLYTHYR VI.

*Oddiwrth hen Weinidog yr Efengyl at ei Fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

(Parhad tu dalen 208.)

Dylem ymofyn yn ddyfal, pa beth sydd genym *ni* i'w wneud, a *pha fodd i gael y dull goreu i bregethu Crist i ddynolryw*: dyna brif nod y Gweinidog; ac os medr wneud rhyw ddaioni yn gydfynedol â'i swydd fe'i gwna, onid ê fe gwblha ei ddyledswydd. A bydded diben ein hegni i ennill pobl at Grist: o bossibl y gallwn ennill rhai i newid eu hopiniynau, a'u hennill i'n hoffi ninau; a'u hennill yn bleidiol i *barty zeal*, yn lled hawdd; ond dyna fyddai yn gywirdeb ynom, ennill

proselytiaid i'r *gwirionedd*, ac nid i'n *golygiad* ni arno.

Ond, anwyl fachgen, gochel wrth geisio pregethu, ymwthio i ddull a dawn eraill, yr hyn fe allai nad yw naturiol a gweddus i ti: er i'm ganmawl dull eraill, ni ddymunwn i ti eu lladratta, oddieithr fod yr Arglwydd wedi dy gynnysgaeddu â'r un ysbryd gweddus a hwythau. Gochel hefyd ymddilyn gormod ar draethodau a gwaith eraill; er o bosibl it allu eu bwrw yn ddeheu i'th *fold* dy hun: gwell it fenthycio a chyfaddef, na chyfrwys ladratta, rhag it fod fel y pregethwr hwnw, ar ol gweu pregeth wych, darn o waith un, a darn o waith y llall, yr oedd ganddo un o'i wrandawyr mor gydnabyddus a hwy ag yntau. A thra yr oedd ef yn pregethu, yr oedd hwnw yn sisial wrth ei gyfnesaf. 'Dyna Gurnal, dyna Burkitt, dyna Henry', &c. O'r diwedd, wrth i'r pregethwr glywed y distaw sisial, dymunodd am yru y gwrandawr terfysgaidd allan; ac ar hyny, ebe'r gwrandawr, 'dyna'r dyn ei hun.'

Ac mae ymarferiad o waith eraill yn debyg o gael eu trin yn oeraidd a throi i suro ar ystymog y gwrandawyr, am na elli eu dwyn allan mor felys a'r awdwr o honynt, a thrwy hir ymarferiad felly, ti golli dy dderbyniad. Pan aeth Siân y Widow, yn rhy ddiog i ddarllaw ei hun, ac i brynu cwrw Bristol, hi gollodd ei chwsmeriaid.

Gochel hefyd, wrth bregethu Crist, ryw gynllwyn llawer o addurniadau trwsiadus geiriau. Mae y gwaith yn sicr deilwng o'n haddurn penaf; etto dichon i ni aberthu i hunan, hyd yn nod Crist Iesu'r Arglwydd; ac yn aml, dyma y rhai pellaf o bawb oddi wrth iawn gyfranu gair y gwirionedd. Bregethwyr, cymerwch ofal gyda'r ddawn lithrig, a'r dysg mawr, a'r geiriau dyfnion, rhag i Grist fyn'd yn aberth i'r eilun o hunan! Yr oedd gan yr *Hawker* fasged hardd, a chnau da, ond fod ol ei ddannedd ef ar bob un o honynt! Mae dirgelwch yn mhregethu Crist, nad oes neb ond y gonest a fedr ei gael allan; nid yw y cnâf haner digon call.

Rhaid hefyd i'r *holl genadwri* gael ei thraethu, a gwell yw ei thraddodi yn frâs a thrwsgl na chelu dim o honi. Meddyginiaeth ydyw yr Efengyl, a rhaid ei derbyn fel y mae. Paid a rhoi gormod o bwys ar ddyfeisiau, a threfniadau rhesymol gyda'r gwaith. Mae rhai yn cyfrif eu hunain yn gelfydd yn hyn, ac yn tybied y gallant lunio eu pregeth fel na chaiff neb wel'd dim penboethder ynddi, a thrwy hyny wedi syrthio i drefniadau testlus er mwyn gochelyd y groes. Ond mae pob tueddiad i lygru y genadwri trwy dwyll resymiad yn ei ddifuddio o'i heffeithiolrwydd; eithr bydded iti ddangos dysgeidiaeth mor bell ag i egluro ei bod yn dwyn tystiolaeth i'r gwirionedd; a bod yn weddus mewn trefn a ddylai darddu oddiar ostyngeiddrwydd calon.

Am hyny paid a phwyso gormod ar dy drefn a'th reswm; oblegid y ffordd sicraf i wanhau peth yw pwyso gormod arno. O mae yn efengyl Crist ryw neillduolrwydd uwchlaw medr yr Eglwyswr i dynu gwir bortreiad o honi, a chywreinrwydd tu hwynt i fedr yr Ymneillduwr hefyd. 'I ba rai,' medd Paul wrth y Galatiaid, 'O flaen eu llygaid y portreiadwyd Iesu Grist, wedi ei groeshoelio yn eich plith.' Yr oedd Paul yn gallu tynu llun y groes yn gelfydd iawn, a darluniad o Iesu Grist yn dioddef, yn llawer mwy effeithiol â'i ymadrodd, nag y geill y Papistiaid yn eu delwau. Dyma ddirgelwch y rhaid cael Ysbryd Duw i ddysgu y Gweinidog i'w gyflawni. Clywais amryw, (dan alaru y dywedaf), wrth son am ddioddefiadau y Cyfryngwr yn eu pregethau, mor amheuol ac angelfydd yn tynu portreiad o hono, fel nad oedd eu son cnawdol am y dioddef, y gweddio a'r gruddfanu yn yr ardd, y gwaedu, y chwysu, y fflangellu, a'r hoelio, a'r cwbl yn rhoi dim mwy o effaith ar y gwrandawyr na phe buasai rhyw ferthyr o dan y driniaeth! Dysged Duw ei weision i iawn bortreiadu Crist.

Mae rhai hefyd fel pe baent yn tybied mai mewn enwi Crist bob dau funud yn y bregeth, y mae ei iawn bregethu. Ond wrth enwi Crist y mae eisiau fod peraroglau Paradwysaidd o adnabyddiaeth o hono, ffydd fywiog ynddo, a serch cywir atto; agoriad hyfryd ar ei swyddau, ei berthynas â ni, a ninnau âg yntau: dyma adnabyddiaeth o Grist, a thrwy hyn y cawn ni ein hunain gysur, nerth a hyfrydwch anhraethol. Ac yn yr agwedd fywiog a goleu yma, y gallwn ei bregethu, hwyrach heb ei enwi ond yn anaml.

Nid chwaith mewn ymgylymu wrth y pwngc a'r pen y mae iawn bregethu yn gorwedd. Dichon it ganlyn y rhai hyny, ac heb gael dy arwain trwyddynt at Grist. Mae yr hwn sydd yn ymarfer âg olrhain ei bwngc, a'i ben, mewn perygl: fe gymer un pen, ac a olrheinia hwnw, fe gymer un arall, ac a ddilyna hwnw; ac o'r diwedd daw Iesu Grist yn bwngc iddo, ac yna fe ddilyn hwnw. Ond os na elli feddwl a phrofi, fel ag i rwymo pob mater i fod yn naturiol a phrydferth ddybenu yn Nghrist, rhaid i ti ymofyn gwellhâd trwy ddewis matterion mwy efengylaidd. Mae'n gôf gennyt am y Ffarmwr hwnw, gwedi gwrando ei fab newydd dd'od o'r Ysgol yn pregethu; fe ofynodd iddo, 'Machgen i, p'le 'roedd Crist genyt heddyw?' I hyn yr attebodd yntau. 'Ni ddigwyddodd iddo ddim bod yn fy ffordd heddyw.' 'Wel,' meddai'r tad, 'buaswn yn myn'd ynte o'r ffordd dros y clawdd i ymofyn am dano.' Ond dyna ein pwngc ni, peidio cerdded ffyrdd os nad arweiniant ni at Grist.

Ond y peth penaf, ac uwchlaw pob agwedd corphorol yw, cael yr ysbryd yn ei le, ein bod mewn ysbryd ennillgar wrth draethu ein holl genadwri: ïe, yn ysbryd yr Efengyl wrth gyhoeddi 'r ddeddf a'i tharanau. Nid mewn ysbryd sarrug a beiddgar y mae'r ddeddf i'w chyhoeddi gymwysaf. Ond er mai mewn addfwynder ysbryd y pregethir hi ragoraf, etto os na bydd gan y gweinidog yr addurn yma bob amser, gwell iddo fod yn llym na chyfeiliorni: gwell i ymdeithydd gael atteb craslyd gan gyfarwyddwr, na cholli ei lwybr.

Ond un o brif ganghenau y gwaith o bregethu, yw pregethu athrawiaethol. Fel y mae Eglwys Crist wedi ei chyflawni â phob doniau, felly mae dawn naturiol rhai o'i gweinidogion yn rhedeg fwyaf yr ochor yma; a bod gweinidog dan ddylanwad yr Ysbryd Glan wrth drin pynciau athrawiaethol sydd yn ei wneud y mwyaf adeiladol a difyrus genyf ei wrando o bawb o'm brodyr. Athrawiaeth yr Efengyl yw yr hyn a wybyddir yn unig trwy ddwyfol ddatguddiad; ac y mae yn wrthrych teilwng o fanwl driniaeth y gweinidogion. Ond, dylent wrth anturio i ymdrin â hi, ochelyd pob anmhriodoldeb: ac un peth a enwaf yw, nad ymhonnont unrhyw bwngc o athrawiaeth heb ddigonol brawf sylfaenol iddo yn yr Ysgrythyrau.

Nid wyf yn meddwl am i ti fwrw ymaith bob parch i ysgrifenwyr galluog ar fatterion duwinyddol, eithr byddant genyt mewn ffordd o eglurhad, ac nid profion. Na osod hwynt fel cyfraith ar y peth, eithr fel cynghorwyr dysgedig yn y gyfraith. Hefyd, wrth i ti brofi sylfaeniad matter ar yr Ysgrythyrau, bydded dy brofion yn ychydig ac i'r pwrpas. Cadwyn hir o ysgrythyrau a ddyrysa'r dyfal wrandawiad, ac a orlwytha y côf; ac yn aml wrth eu harolygu ceir gweled nad ydyw llawer o honynt yn perthyn i'r pwngc, ond mewn sŵn yn unig.

Bydded dy brofion hefyd yn addas i ddeall a medr dy wrandawyr. Fe ellir arfer beirniadaeth fel eglurhad, neu i ddadymchwelyd dadl, ond nid fel sicr gadarnhad i unrhyw bwngc arbenig, oblegid os eir felly, rhaid i'r cyffredin o'th wrandawyr roi eu crediniaeth i orphwys ar dy air, dy ddysgeidiaeth, a'th onestrwydd di, yn fwy nag ar air Duw.

Hefyd, na fydded it ymddyrchafu uwchlaw gwyleidd-dra yr ysgrifenwyr sanctaidd mewn dim, neu gymmeryd arnat fod yn ddoeth uwchlaw yr hyn a ysgrifenwyd. Gellir gwneud hyn amryw ffyrdd: megis trwy ymhonni i roi eglur a chyflawn ddehongliad ar wirioneddau dyfnion a phwysfawr, lle nad yw yr Ysgrythyrau ond yn unig yn eu datguddio. Mae y dirgeledigaethau hyn mor oruchel ac ardderchog fel y golofn niwl a thân ar y Tabernacl, a phwy bynag a gynnygia roi Spïeinddrych i'w golygu i fanylrwydd a ddynoetha ei hun i wawd. Athrawiaeth y Drindod, yr ymgnawdoliaeth, &c. ydynt ddirgelion ofnadwy, ac ymgynnyg i'w olrheinio i'r gwraidd, a'u darostwng i fanwl ymsylwad sydd yn eu difreinio i rifrês mwys-eiriau ysgolheigaidd. Clywais rai wrth eu trin, mor hyf a chynnefin arnynt, ac yn eu hiaith isel yn dangos eu bod mor fedrus a'r nodiadau ag yw y Deialwr ar ei Ddeial.

Na fydded i ti ymddyrchafu mewn ym-

arferiad o ryw iaith ac ymadrodd a geiriadaeth, heb fod a'u hawdurdod o'r Ysgrythyrau: crybwyllais am hyn o'r blaen.

Hefyd na fydded it yn hollol nac yn benaf geisio arddangos y perffeithiau dwyfol trwy byngciau dyfnion arfaeth a chyngor, eithr hefyd trwy weithredoedd Duw, pa rai a fwriadwyd i'w datguddio.

Mae hyny fel un yn syllu yn barhaus ar y sêr a'r planedau, a'r awyr a'r cymylau, a'r greadigaeth isod yn ddiwerth i'w sylw; gwyrddlesni'r maes, amryfiodau yr ardd yn annheilwg o ystyriaeth. Nid wyf yn condemnio pregethu ac olrheinio athrawiaeth y tragywyddol gyngor yn y Pulpit; eithr yn erbyn trigo ac aros ar *un* gwirionedd, a llwyr esgeuluso'r llall. Mr. Newton a ystyriai athrawiaeth y Cyfammod a'r tragywyddol gyngbor, fel siwgwr yn y *tea*, yn melysu'r cwbl, ac heb ei weled yn un man. Bydded hefyd i bob pwngc ac athrawiaeth gael ei drin genyt a'i ystyried yn gydunol â'i ddylanwad ar y galon a'r fuchedd.—Crybwyllaf am hyn etto.

(I'w barhau.)

---

## GWEINIDOGAETH CYSTUDD.

Barchedig Syr,—Tra yr ydwyf yn canfod y mawrion mewn dysg a doniau, yn bwrw i mewn i'ch Trysorfa, ffrwyth addurnfawr eu myfyrdodau; tueddir fy meddwl i farnu ar yr un pryd, na fydd i chwi wrthod oddi wrthyf finau fy hatling gyntaf hon; gan y dichon iddi fod, dan fendith y nef, er lleshad a chysur i ryw enaid cystuddiedig fel fy hunan yn bresennol.

Er nad yw cystudd *ynddo ei hun* yn ddymunol gan neb, er hyny gall rhai gyda'r Salmydd ddywedyd, 'Da yw i mi fy nghystuddio, fel y dysgwn dy ddeddfau: cyn fy nghystuddio, yr oeddwn yn cyfeiliorni; ond yn awr cedwais dy air di.' 'Ymddengys drygau a chystuddiau y bywyd hwn,' ebe un ysgrifenydd, 'o bell fel creigiau a chlogwyni, yn arw a diffrwyth; ond ar ein dynesâd attynt, ni a ganfyddwn leoedd bychain ffrwythlon, a ffynhonau bywiol yn gymmlith a garwder ac anharddwch natur.' Felly y mae llawer o blant Duw wedi eu cael rai prydiau, er eu llawenydd a'u cysur. Gall ysgrifenydd y llinellau hyn, dystio eu geirwiredd i raddau yn mherthynas iddo ei hun. Wrth i mi gael ychydig seibiant ar brydiau yn fy nghystudd, i fyfyrio; daeth y pethau canlynol i fy meddwl:—Yn

1. *Fod pechod yn fawr ddrwg.*—Pe buaswn heb bechod buaswn heb gystudd. Er na chanfyddir drygedd pechod yn hyn, i'r un graddau ag y canfyddir ef mewn rhai pethau ereill; er hyny y mae yn anwadadwy wirionedd, pe buasai pechod heb ddyfod i'r byd, y buasai cystudd ac afiechyd yn ddieithr i brofiad a theimlad y natur ddynol. Gan i bechod ddyfod i mewn, daeth ei holl annymunol ganlyniadau gydag ef. Fel ag y mae *effaith* i *achos*, felly un o effeithiau annymunol pechod yw cystudd. Bydded i'n teimlad annymunol o gystudd, ynte, fel *effaith*, beri i ni gasâu pechod fel *achos*; yn hytrach na thuchan a grwgnach oblegid yr *effaith*, ond ar yr un pryd garu a chofleidio'r *achos*. Yn

2. *Fod iechyd o fawr werth.* Pan y byddom yn mwynhau graddau o iechyd bydd ei fawr werth i raddau mawr, yn syrthio yn fyr o'n ystyriaeth ddyladwy; ond pan yr ymddifadir ni o hono am dro, teflir ein golwg yn ol gydag ystyriaeth hiraethlon o werthfawrogrwydd yr iechyd a fwynhasom amser a aeth heibio. Y mae yr Arglwydd yn tynu rhai pethau oddi wrth ei blant i'r dyben iddynt ddyfod i weled eu gwerth. Dywed Solomon, mai 'Y dyn llawn a fathra y dil mel: ond i'r newynog pob peth chwerw sydd felus.' Pa bryd y gwerthfawrogwn *ymborth* yn fwy nag yn amser *newyn*? neu, Pa bryd y gwelir gwerth *rhyddid* yn fwy nag mewn *caethiwed*? Felly iechyd, er mor werthfawr yw mewn mwynhad, y mae ei werth yn *ymddangos* yn *fwy* yn yr ymddifadrwydd o hono. Er mai yr un gwerth sydd mewn iechyd, a'r pethau a enwyd, *ynddynt eu hunain* bob amser fel eu gilydd; etto yr ystyriaeth o hyny sydd brin, a'r gydnabyddiaeth sydd ddarnio, hyd nes y syrthiant yn fyr o'u mwyniant arferedig. Yn

3. *Mai peth o drefniad neu oddefiad yr Arglwydd ydyw cystudd.* Nid rhyw ddigwyddiad anffodus yw. Tystiolaeth ysgrythyrol yw, 'Na ddaw cystudd allan o'r

pridd, ac na flagura gofid o'r ddaear;' a *gorchymyn* ysgrythyrol yw, 'Gwrandewch,' neu ystyriwch 'y wialen a *phwy* a'i *hordeiniodd*.' Er mai Satan fel offeryn trwy oddefiad Duw, oedd cystuddiwr a phoenydiwr Iob; etto, cawn ef yn cydnabod ddyfod hyny i'w ran oddi wrth Dduw; pan yn ceryddu ei wraig am ei anog i felldithio ei Dduw a marw. 'A dderbyniwn ni,' ebe fe 'gan Dduw yr hyn sydd dda, ac oni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg?' Iob. 2. 10. ac mewn lle arall efe a ddywed 'Oblegid iddo (sef Duw) ddattod fy rhaff, a'm cystuddio,' &c. pen. 30. 11. a'r Salmydd a gadarnhâ yr un gwirionedd, pan y dywed, '*Ti* yr hwn a wnaethost i mi weled aml a blin gystuddiau,' &c. Es. 71. 20. canys 'pwy a ddywed y bydd dim, heb i'r Arglwydd ei orchymyn? Oni ddaw o enau y Goruchaf ddrwg a da?' Galar. 3. 37, 38. 'Ond er iddo gystuddio, etto efe a dosturia,—canys nid o'i fodd y blina efe, nac y cystuddia blant dynion,' adn. 32, 33. Gochelwn edrych ar gystuddiau fel *damweiniau*, ond edrychwn arnynt oll o dan lywodraeth a rheolaeth yr Hwn ag y dywedir gan y Prophwyd am dano, 'Canys efe a'n drylliodd, ac efe a'n hiachâ ni; efe a darawodd, ac efe a'n meddyginiaetha ni,' Hos. 6. 1. Yn

4. *Fod gan yr Arglwydd ei ddybenion doeth a sanctaidd i'w hatteb drwy gystudd.* Nid yw yr Arglwydd yn gweithredu dim nac yn goddef i ddim gymeryd lle, heb fod ganddo mewn golwg ddybenion teilwng o hono ei hun yn y cwbl. Meddwl i'r gwrthwyneb, fyddai yn anfri anesgusodol ar anfeidrol ddoethineb, Llywydd nef a llawr. Dichon mai ei ddyben weithiau yw darostwng balchder. Bryd arall anfona gystudd fel cerydd oblegid anniolchgarwch am, a chamddefnydd o, iechyd blaenorol. Dichon i ambell i ben-teulu tlawd roddi heibio ei ymddiried yn yr Arglwydd, a chymeryd ei berswadio fod cadwraeth a bywyd ei deulu yn ymddibynu ar lafur ei ddwylaw ef yn unig, pryd y teifl Duw ef i gystudd maith, ac y portha ei deulu; trwy yr hyn y dysgir ef i newid sylfaen ei ymddiried gyda chywilydd a gofid. Ond yn fyr: dichon fod ganddo mewn golwg wrth gystuddio ei blant, ragflaenu eu pechod—eu puro oddiwrth anwiredd—profi eu grasusau—eu dwyn i ddarfod mwy a phethau'r byd—enill eu serch at bethau sydd uchod—a chyfodi eu hiraeth am y nefoedd—ac yn y cwbl, ogoneddu ei hun yn ei oruchwyliaethau tu ag attynt. Os yw y dybenion hyn, neu'r cyffelyb, ganddo mewn golwg; ymollyngwn i'w ddwylaw mewn serchiadol ddistawrwydd, a meddianwn ein heneidiau mewn amynedd. Yn

5. *Fod y nefoedd yn lle hyfryd a gogoneddus.* Ni ddaw cystuddiau plant Duw idd eu canlyn yno. Y mae meddwl am hyny, pan yn rhodio y dyffrynoedd iselaf yma, yn llawenhau'r galon, yn cynhyrfu'r serch, ac yn gallnogi y tafod i ganu weithiau,

'A pob gwahanglwyf ymaith,
Glân fuddugoliaeth mwy;
'Rwy'n canu wrth gofio'r borau,
Na welir arna'i glwy.'

Y mae pechod yn y saint perffeithiaf tra yn y byd hwn; gan hyny na chymerwn y peth yn chwith, os 'Ymwelir â'n camwedd â gwialen, ac â'n hanwiredd a ffrewyllau.' Ps. 89. 32. Ond yn y nefoedd, bydd y saint a'u pechodau ar wahan tragywyddol oddi wrth eu gilydd, ac yna, bydd 'Cystudd a galar' wedi ffoi ymaith a 'llawenydd a hyfrydwch' wedi cymeryd eu lle, yn y ddidranc nefawl fro, lle 'ni chlywir mwyach lais wylofain na llef gwaedd,' nac un preswylydd o'i mewn yn dywedyd, 'Claf ydwyf.' Yno ni fydd yr un groes i'w chyfodi, yr un gelyn i'w orchfygu, na'r un perygl i'w ofni mwy; oherwydd bydd pob llygredd wedi ei gwbl farweiddio, pob pechod wedi ei faddeu, a phob deigryn wedi ei sychu ymaith, yn y mwynhad perffeithiawl o ddedwyddwch yn ngwyddfodoldeb Duw â'r Oen, yn mro dawel anfarwoldeb!! Ond er hyfryted ydyw sôn am y wlad a'i mwynderau, rhaid i ni etto ganu gyda'r Bardd, a dweyd,—

'Ond ancau fel môr cul y sy
Rhyngom a'r wlad nefolaidd fry.'

6. *Fod iawn ymddwyn mewn cystudd o bwys a chanlyniad nid bychan i ni.* Y mae llawer cristion da cyn hyn, trwy gamymddygiad mewn cystudd, wedi ymddifadu ei hun o lawer o gysur, diddanwch, a chynhaliaeth, i'w feddwl, a allasai eu mwynhau pe yr ymddygasai yn amgen.

Yr wyf yn ysgrifenu hyn oddi ar fy mhrofiad fy hun; a diau fy mod wrth hyny, yn ysgrifenu profiad athrist llawer un arall. Y mae'r cyfryw ymddygiad hefyd yn tueddu i wrthdaro y dybenion daionus, angenrheidiol, a bwriadedig, sydd gan Dduw mewn golwg wrth ein cystuddio: mae yn tueddu i attal oddiwrthym y llesâd a fwriada i ni trwyddynt. Yr ymddygiad yw, bod o yspryd anfoddlawn, grwgnachlyd, annioddefus a diamynedd, parod i farnu Duw yn galed wrthym yn yr hyn a ddyga arnom. Dengys y cyfryw ymddygiad lygredigaeth y galon, gwendid gras, a dieithrwch y meddwl oddiwrth Dduw. Ni all na ddigia Dduw, na thristâ ei Yspryd, ac na chlwyfa yr enaid Effeithia'r cyfryw ymddygiad i'n gwneud yn annghysurus i ni ein hunain, yn faich i'n teuluoedd, yn boen ac yn ofid i'n perthynasau a'n cyfeillion. Gesyd ni yn fwy agored i ymgyrch y gelyn, yn fwy diarfogaeth i wrthsefyll ei ymosodiadau, ac yn fwy analluog i ymryddhau o'i gadwynau. Oddi wrth y cyfryw ymddygiad, dywedwn, 'Gwared ni Arglwydd daionus.' Ond trwy fod o ymddygiad gwahanol, sef 'Yn ddioddefgar mewn cystudd, yn dyfal-barhau mewn gweddi:' Rhuf. 12, 12. gyda meddwl ymroddgar i ewyllys Duw; nerthir ni ar ein claf wely, a chyweirir ein holl wely yn ein clefyd, Ps. 41, 3. a llenwir ein heuaid â diddanwch goruchel a sanctaidd; a diau yr attebir y dybenion daionus sydd gan Dduw, wrth ein cystuddio. Yn awr, gan fod ein cysur a'n lles yn ymddibynu cymaint ar iawn ymddygiad mewn cystudd, dichon nad anfuddiol fyddai cyn terfynu, grybwyll rhai pethau sydd a thuedd ynddynt fel anogaethau, i ni fod yn dawel a dioddefgar dan law gystuddiol ein Tad nefol. Fel anogaeth i fod felly, ystyriwn, Yn

1. *Yn llaw pwy y mae'r wialen.* Nid yn llaw gelyn, ond yn llaw Tad. Mae'n wir ei bod yn llaw ein trech, ond nid yn llaw ein gorthrymwr. Ac er ei bod yn llaw un cyfiawn; er hyny nid yw yn llaw un annrhugarog. Y mae yn ceryddu y rhai y mae yn eu caru, megis tad ei anwyl feibion; Diar. 3. 12. am hyny dylem beidio dirmygu'r cerydd, nac ymollwng dano; Heb 12. 5. ond ei oddef fel meibion; adn. 7. a'i werthfawrogi, fel arwydd o'n perthynas â Duw; adn. 8. Ac os darfu i ni barchu ein tadau naturiol, pan oeddynt yn ein ceryddu, Pa faint mwy y dylem barchu, ac ymostwng i, Dad yr ysprydoedd? adn. 9. Gan hyny na rwgnachwn, na chnown y wialen, ac na wingwn yn erbyn y symbylau; ond dioddefwn yn dawel, ymfoddlonwn yn ddistaw, a charwn y wialen er mwyn y llaw sy'n ei chodi: 'Canys efe yw dy Iôr di; ymostwng dithau iddo ef.' Ps. 45. 11. Ystyriwn, Yn

2. *Mai ein lles a olygir.* Nid am ein dyfetha y mae Duw pan y mae yn ein cystuddio, ond am wneuthur daioni i ni yn y diwedd. Deut. 8. 16. Y mae'r Arglwydd trwy'r Prophwyd yn gosod allan *ddull* a *dyben* ei ymdriniaeth âg Israel yn hynod, yn Esa 27. 7—9, &c. Y mae yn ei daraw, a'i ladd; ond nid *fel* y gwnaethai â'i elynion ef: adn. 7. y mae yn dyfod allan i ymddadleu âg ef, ond y mae hyny yn cael ei wneuthur ganddo *wrth fesur*; ac er iddo orchymyn i'r dwyreinwynt chwythu arno, etto efe a'i cymhesura, y mae wrth ei reolaeth, ac ni âd iddo ei ddinystrio, canys efe a *ettyl* ei wynt *garw*; adn 8; a'r *dyben* ffrwythlon o'r cwbl yw, glanhau Iacob oddi wrth ei anwiredd, a thynu ymaith ei bechod ef. adn. 9. Pan gerydda Duw ei blant, y mae hyny er eu llesâd, fel y byddent gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef, Heb. 12, 10. ac fel na'u damnier gyda'r byd, 1 Cor 11. 3. gan hyny, y mae yn afresymol i ni fod o yspryd anhydrin ac annioddefus. Yn

3. *Haeddiant ein pechodau.* Diau mai ein troseddau sydd yn galw am y wialen; 2 Sam. 7. 14. 'Canys nid o'i fodd y blina efe, nac y cystuddia blant dynion,' Galar. 3. 33. gan hyny priodol yw gofyn, 'Paham y grwgnach dyn byw, gwr am gospedigaeth ei bechod?' adn. 39. Ond er mai o herwydd ein pechodau y'n cystuddir; nid yw oes o gystudd, ond megis dim, mewn cydmariaeth i'n haeddiant. Ond gallwn ddywedyd gyda'r Salmydd, 'Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni; ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni;' Ps. 103. 10. a chymhwyso attom ein hunain eiriau Zophar wrth Iob er cymaint ei gystudd, 'Cydnebydd gan hyny i Dduw ofyn genyt

lai nag a haeddai dy anwiredd.' Iob. 11. 6. Pe gwelem ni fwy o *ddrwg* ein pechodau, ni a welem fwy o *haeddiant* ein pechodau; ac ond i ni weled eu *drwg* a'u *haeddiant*, tueddai yn fawr i'n cadw yn isel ac amyneddgar yn mhob amgylchiadau darostyngiadol. Ystyriwn, Yn

4. *Dioddefiadau Mab Duw, a'i ymddygiad danynt.* Dyma lle mae pob dioddefiadau yn gwelwi, ac yn myned megis yn ddim. Yr oedd ef yn *wir*, yn wr gofidus a chynefin â dolur, wedi ei daro gan Dduw a'i gystuddio, ei archolli a'i ddryllio, &c. Yn wyneb *mawredd* ei ddioddefiadau ef, gallem ni ddywedyd yn wir, am oes gystuddiedig, 'Ein *byr ysgafn* gystudd.' Ond pa beth a ddywedir genym, pan ystyriom pwy oedd y *Person* oedd yn dioddef, a'r *achos* o'i ddioddefaint! 'Y cyfiawn' oedd ef dan ei holl ddioddefiadau; yr Oen difeius a difrycheulyd; 'yr hwn ni wnaeth bechod, ac na chaed twyll yn ei enau.' Nid oedd ynddo ef yr un bai i ddioddef o'i blegid; gan hyny, yr oedd achos ei ddioddefiadau ef o'r tu allan iddo ei hun yn gwbl. Cafodd ei ladd, ond nid o'i achos ei hun, Dan. 9. 29. 'Ond efe a archollwyd am ein camweddau *ni;* efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau *ni:* cospedigaeth ein heddwch *ni* oedd arno ef; oherwydd yr 'Arglwydd a *roddes arno ef ein hanwiredd ni* i gyd.' Esa. 53. 5, 6. Dioddefodd ef ei holl gystudd hefyd yn addfwyn, ac yn ymroddgar i ewyllys ei Dad. 'Efe a orthrymwyd, ac efe a gystuddiwyd, ac nid agorai ei enau: fel oen yr arweinid ef i'r lladdfa, ac fel y tau dafad o flaen y rhai ai cneifiai, felly nid agorai yntau ei enau,' adn. 7. Gadawodd i ni esampl, fel y canlynem ei ol ef, mewn addfwynder ac amynedd, 1 Pedr 2. 21. &c. Er i'w enaid fod yn drist hyd angau, ac iddo dan bwys dioddefiadau ei ddynoliaeth ddywedyd, 'Fy Nhâd, os yw bosibl aed y cwppan hwn heibio oddi wrthyf,' gwelwn ef yn rhoddi ei hun i fynu i'r ewyllys dwyfol, er hyny, ac yn dywedyd, 'Etto *nid* fel yr ydwyf *fi* yn ewyllysio, ond *fel* yr ydwyt *ti*.' Mat. 26. 39. Gweithier ninnau i'r un agwedd meddwl, caffed amynedd ei pherffaith waith; a dilynwn ei gamrau ef trwy bob cystuddiau a gorthrymderau, hyd yn Nghanaan breswyl Iôn. ELLIS HUMPHREYS.

*Bwlch, Llanengan.*

## COFIANT

**Mrs. Catharine Hughes,** *gwraig Mr. Robt. Hughes, Gaerwen, Mon.*

Merch ydoedd Mrs Hughes i Mr. a Mrs. Williams, y Gaerwen uchaf. Cafodd ei magu yn Eglwys Dduw, yr hyn a gydnabyddai yn annrhaethol fraint hyd ddiwedd ei hoes. Diameu i'r Arglwydd gyflawni addewid ei gyfammod ar ei rhan yn foreu, trwy dywallt ei Yspryd i'w hargyhoeddi o bechod, a'i fendith i'w rhyddhau a'i gwaredu oddiwrtho. Gwelwyd hi yn cael y fath hyfrydwch yn moddion gràs, pan yn blentyn, nes y torrai allan mewn gorfoledd. Teimlai awydd cryf i ddyweud ei phrofiad yn y Gymdeithas eglwysig pan oedd yn wyth oed. Byddai ei chalon yn doddedig, a'i thymherau yn ddrylliog dan bregethiad y gair, ac yn enwedig wrth gyfranogi o Swpper yr Arglwydd.

Pan y byddai rhyw brofedigaeth yn y teulu, neu iselder ar achos crefydd, ymneillduai i weddio, a thystia ei mham, y byddai yn dra gwasgedig a chyfarwydd yn y gorchwyl pwysig hwnw. Yr oedd o ran ei chorph yn wanaidd iawn, ac ni chafodd nemawr iechyd ar hyd ei hoes, ond er cysur eraill ymdrechai yn wastad i fod yn fywiog a siriol ei thymherau. Yr oedd yn dawel ac ymostyngar dan alluog law Duw yn ei holl gystuddiau, eithr, yn enwedigol yn ei chystudd diweddaf. Pan y caffai radd o seibiant ynghanol ei gofidiau mawrion, diolchai i'r Arglwydd â'i holl galon, ac annogai eraill i gyd-ddiolch. Yr oedd ei Thad nefol, yn gweinyddu cysuron ei iachawdwriaeth i'w henaid yn fynych iawn. Tystiai y byddai ei gofidiau corphorol yn llawer mwy pan na phrofai ddiddanwch yr Ysgrythyrau. Gan y meddyliai, fod y pregethau yn iachau ei chorph a'i hyspryd, ymegniai fwy na'i gallu i fyned iddynt. Soniodd lawer am y bregeth ddiweddaf a wrandawodd, oddiar Galar. 3. 39. dywedai mai cenadwri oddiwrth Dduw atti hi yn unig ydoedd, i'w chadw rhag grwgnach.

Gwelai ei hun y bechadures fwyaf, a phrofai felusder maddeuant trwy waed Crist, nes y dywedai, ei bod yn rhyfeddu, fod Duw yn maddeu y pum cant yn gystal a'r deg-a-deugain. Gofynwyd iddi un boreu, A oedd hi yn caru Iesu Grist? Attebodd hithau; 'Er mor anwyl ydyw fy mhriod naturiol gennyf, y mae Iesu Grist

yn anwylach nag ef.' Y dydd sadwrn diweddaf y bu hi byw, ymddangosai yn well, a llai gofidus, nag er ys dyddiau o'r blaen, a gofalai am bob peth perthynol iddi. Cynghorai ei gwr i feddwl am y Sabboth canlynol, a'r gwaith mawr oedd ganddo i'w gyflawni. 'Ni ellwch ddirnad, *meddai*, y fath ofid i mi, yw eich bod yn cael eich rhwystro i'r Cyfarfodydd misol, ac at eich cyhoeddiadau.' Yr oedd yn amlwg fod achos yr Arglwydd yn agos at ei meddwl, ac y buasai yn dda ganddi gael byw i wneuthur rhyw wasanaeth iddo.

Tu a phump o'r gloch y boreu sabboth, llewyrchodd yn rhyfeddol ar ei henaid. Adroddai yn ysgrythyrau, oedd yn gadarnach na'r creigiau, er cynnal ei meddwl. Nid oes arnaf, (meddai) ofn marw, nac eisiau byw yn hwy; ond er mwyn fy ngwr, a'm baban bach, a nhad a mam.' 'Os myned a wnaf, (meddai wrth ei gwr) y mae genyf hyn o gysur i chwi ar fy ol,' 'Byw i mi yw Crist a marw sydd elw.' Os fy naearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, mi a wn fod i mi adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw tragywyddol yn y nefoedd.' Annogai ei brawd hynaf i beidio ymorphwys ar lai na gwir grefydd, oherwydd nad oedd dim cydwerth iddi, ïe, mewn ieuengtyd. Ni ellir disgrifio y pwyll a'i meddianai, a'r serchawgrwydd a ymddangosai yn ei gwynepryd, er mewn llawn ystyriaeth o agosrwydd ei hymddattodiad. Hunodd yn yr Iesu, tu a phedwar o'r gloch prydnhawn Sabboth, yr 16eg o Hydref 1836.

Trwy ei hymadawiad, collwyd priod serchog, merch ufudd, ac aelod prydferth yn eglwys filwriaethus Crist ar y ddaear. Y prydnhawn cyn ei chladdedigaeth, pregethodd y Parch. John Elias, oddiar 2 Cor. 4. 18.

Er iddi adael plentyn bach ar ei hol, ni chafodd yntau ond tymor byr iawn. Bu farw yn mhen ugain wythnos ar ol ei fam, yn 32in wythnos oed.

Yr oedd ei golli ef yn archoll newydd i feddyliau ei berthynasau, ac yn ail agor yr archollion a gawsant o'r blaen, ond sicr y bydd y naill dro a'r llall, yn cydweithio er daioni i'r rhai hyny o honynt, ag sydd yn caru Duw. Noson cyn claddedigaeth y bachgen bach pregethodd y Parch. Cadwalader Williams, oddiar 1 Thes. 4. 14.

HUGH PRITCHARD.

---

*Cofiant am* JANE, *merch* ROWLAND a GRACE JONES, *o'r Dugoed, yn mhlwyf Mallwyd, swydd Feirionydd.*

Yr oedd Jane Jones yn ferch ieuanc hynaws, arafaidd ei thymmerau, ac o dueddiad cyfeillgar. Byddai sobrwydd a sirioldeb ar yr un pryd ymron yn wastadol i'w canfod yn ei gwynebpryd. Efelly hoffid hi yn fawr ymhlith ei pherthynasau a'i chydnabyddiaeth.

Cafodd addysg grefyddol yn ieuanc yn yr Ysgol Sabbathol a gedwid yn nhŷ ei rhieni,* a dywedai fod gweinidogaeth y gair wedi effeithio yn ddwys ar ei meddwl pan oedd o gylch deuddeng mlwydd oed. Y testyn oedd Esa. 40. 15. 'Wele, y cenedloedd a gyfrifwyd fel defnyn o gelwrn, ac fel mân lwch y clorianau; wele, fel brycheuyn y cymmer efe yr ynysoedd i fynu.' Yr oedd y pregethwr yn traethu am fawredd yr Arglwydd oddiwrth y pethau cynnwysedig yn y testyn, nes oedd ei meddwl tyner gwedi synu, a dywedai nad aeth effeithiau y bregeth hono byth yn gwbl oddiar ei meddwl.

Pan oedd oddeutu pymtheg oed aeth i fyw at fodryb iddi i'r Bala, ac yn fuan ymunodd âg eglwys Crist ymhlith y Trefnyddion Calvinaidd yno, ar y cyntaf yn benaf oddiar ufudd-dod i'w modryb, ac ystyriaeth o'i hawl i'r breintiau eglwysig drwy ei pherthynas a'i rhieni crefyddol,

* Yn yr Haf, yn y flwyddyn 1815, y sefydlwyd yr ysgol Sabbathol yn yr ardal hon, ar y cyntaf yn Nhafarndŷ Nant yr hedydd, wedi hyny mewn llofft melin oedd yn ymyl y tafarndŷ. Yn fuan aeth y lle yn rhy gyfyng ac anfanteisiol, gan y lliaws oedd yn dyfod ynghyd; ac yn y cyfwng hwnw tueddwyd meddwl Rowland Jones o'r Dugoed Mawr i gymmeryd yr Ysgol i'w dŷ ei hun, a mawr y lles a wnaeth yn ei deulu ac yn yr ardal yn gyffredinol. Daeth R. J. a'i deulu at grefydd, a bu diwygiad yn yr ardal.—Bu farw mab hynaf R. a G. Jones, Gor. 14, 1836, yn 15 ml. oed. Yr oedd arwyddion gobeithiol ei fod wedi derbyn lles tragywyddol, a gwir ddychweliad at Dduw, trwy yr Ysgol Sabbathol fel moddion, ac yr oedd y rhanau o'r Bibl a ddysgasai yn yr Ysgol yn gynnaliaeth i'w enaid yn wyneb angau.

ond yn fuan ennillwyd ei chalon i garu y gyfeillach a'r frawdoliaeth yn fwy fwy beunydd. Cafodd ei chadw oddiwrth, a buddugoliaeth ar lygredigaeth y byd: ei buchedd addas a ddangosai ei bod yn caru ffyrdd duwioldeb, a'i phrofiad gwerthfawr a gobeithiol, ei bod yn derbyn o amgeledd yr iachawdwriaeth.

'Ni swniai 'i throed yn nawns y dref,
Ni charai ffol bleserau'r byd,
Na balchder oes, na'i uchel lef,
Na'i grechwen ef ynghyd;
Ond carai wrthddrych uwch y llawr,
Ymlonai mewn llawenydd pur,
Cadd gysur lle'r oedd cysur mawr,
A hedd mewn heddwch gwir.'

Yr oedd yn llafurus i ddysgu gair yr Arglwydd, ac yn ddiwyd i fyfyrio ynddo. Cymmaint oedd ei hymlyniad wrth y Bibl, fel y gellid yn fynych ei weled yn agored yn ei hymyl pan wrth ei goruchwylion cyffredin: achubai flaen gwyliadwriaethau y nos a thoriad gwawr y bore i'w ddarllen a'i drysori yn ei chof. 'Yr Hyfforddwr,' ydoedd hoff-lyfr ganddi hefyd, a chafodd fudd a bendith lawer trwyddo; ac hyd yn nod 'Rhodd Mam i'w Phlentyn,' a adewir yn hollol heibio gan lawer o ieuenctyd fel y tyfont i fynu, yr oedd hi yn cael hyfrydwch a chysur i'w henaid yn y llyfr bychan hwnw.

Fel Athrawes yn yr Ysgol Sabbathol yr oedd yn awyddus nid yn unig i ddysgu ei Dosparth i silliadu a swnio geiriau y Bibl yn gywir, eithr hefyd am eu dwyn oll i ddeall meddwl ac i adnabod sylwedd mawr yr ysgrythyrau.

Yr oedd yr adroddiadau o'i phrofiad yn y cyfarfodydd eglwysig yn amlygiad o'r ysbryd rhagorol oedd ynddi, ac yr oedd ei chynnydd mewn gras yn amlycach fel yr oedd yn dynesu at derfyn ei hymdaith fer. Wrth adrodd ei phrofiad y tro olaf yn y Bala, â lleferydd syml o galon deimladwy, dywedai, 'Y mae cael bod ar ddelw Duw yn beth rhy fawr ymron genyf i'w ddysgwyl, ond etto pa beth a wnaf heb hyny?'

Yn fuan gwedi ei chymmeryd yn glaf dychwelodd adref, gan obeithio y buasai awel ei bro enedigol yn foddion adferiad i'w hiechyd. Ymhen ychydig aeth yn ol i'r Bala, ond glynu yr oedd ei hanhwyldeb, a gorfu arni ddychwelyd drachefn i dŷ ei rhieni, yn mis Hydref 1835. Ei hafiechyd oedd *annhreuliant yr ymborth yn y cylla*. Ond pan oedd y bara beunyddiol yn methu â gweinyddu cynnaliaeth briodol i'w chorph, yr oedd 'y bara a ddaeth i wared o'r nef, yr hwn sydd yn rhoddi bywyd i'r byd,' i'w henaid,

'Yn ei flas yn beraidd iawn,
Yn ei maethu fore a nawn.'

Yn ei chystudd yr oedd yn hynod o dawel a hawdd ei thrin. Ofnai yn fawr rhag grwgnach yn erbyn triniaethau ei Thad Nefol. Dywedai yn fynych, 'Y mae arnaf ofn grwgnach yn fy ngalon,' anaml y gwelwyd neb yn fwy dyoddefgar. Pan oedd nifer o'i chyfeillion crefyddol wedi dyfod i ymweled â hi, gofynodd un brawd iddi 'pa sut yr oedd hi?' Attebodd hithau, 'Go sâl ydwyf fi.' Gofynodd yntau, 'A oedd hi ddim yn tybied ei hun yn cael cam?' 'O nag wyf,' ebai hi, 'Yr wyf yn meddwl am Naomi, er iddi ddywedyd, 'Yr Arglwydd a wnaeth yn *chwerw* iawn â mi,' etto nis dywedodd, 'Yr Arglwydd a wnaeth yn *greulawn* iawn â mi.' Gofynwyd drachefn, 'A oedd hi yn gallu gollwng ei gafael o'r creadur?' Attebodd 'Ei bod; ac er yr ofnai hi rhag bod yn debyg i Ionah, etto y gwyddai hi fod yn well iddi farw na byw.'

'Yr oeddwn yn meddwl neithiwr,' meddai hi, 'am 'Rhodd Mam,' lle y gofynir, 'I ba le yr â plant da ar ol marw?' Atteb 'I'r nefoedd.' 'Pa fath le yw y nefoedd?—Pwy fydd gyda ni yno? &c. A fydd pechod yno?' Atteb 'Na fydd, na phechod, na phoen byth.' 'Aeth y nos heibio yn gynt nag y dysgwyliais wrth feddwl am y pethau hyn.'—Gofynwyd iddi, 'A oedd hi ddim yn ei weled yn beth rhyfedd ei bod wedi taraw wrth bobl yr Arglwydd yn y byd?' 'O ydwyf,' ebai hithau, 'bu yn dda iawn genyf lawer gwaith fod gyda fy mrodyr a'm chwiorydd anwyl yn y Bala, ac yr wyf yn gweled ei bod yr un fath yma.'—'Mi glywais lawer gwaith fod y fath beth i'w gael a *thangnefedd yn angau*, etto ni feddyliais y byddai i mi byth ei fwynhau; ond mi feddyliwn fy mod yn awr yn ei brofi; nid oes arnaf ddim ofn marw, 'Canys mae yn ddiogel genyf na all nac angau nac einioes, &c. ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd. Diolch am bethau sicr!'

Cadwyd amryw gyfarfodydd i bregethu, gweddio, ac ymddyddan crefyddol, gyda hi yn yspaid ei saldra, a byddai yn fynych yn tori allan i ddiolch, a chanmawl Duw a'r Iachawdwriaeth, nes y byddai ymron bawb a'i clywai yn methu peidio ag wylo. Canai neu adroddai amryw ranau o Emynau, megys,

'O sancteiddia'm henaid, Arglwydd,
Ymhob nwyd, ac ymhob dawn,' &c.

'Gwyn fyd y rhai dileaist eu bai,
Eu pechod a'u hanwiredd,' &c.

'Ymadaw wnaf â'r babell
'Rwy'n trigo ynddi 'n awr,' &c.

ac amryw ddarnau melysion o Farwnad Mrs. Grace Price, gan y Parch. W. Williams, o Bantycelyn. Gwel y GOLEUAD am Hydref 1827.

Prydnawn ddydd mawrth cyn ei marw daeth un o'i chyfeillion i edrych am dani, pryd y dywedodd, 'Y mae y babell bridd wedi myned yn rhy wan i mi allu dywedyd fawr wrth neb—O na chawn i fyned adref!' Dywedodd ei chwaer y câi hi fyned yn fu-

on. Attebodd hithau, 'O na chawn i fyned o hyn i'r bore!' Dywedodd ei chwaer, 'Ni bydd yno neb yn glaf.' 'O na,' meddai hithau, 'ni ddywed neb o'r preswylwyr claf ydwyf.' Ar hyn daeth ei brawd i mewn (gefeilliaid oedd ef a hithau.) 'O, fy mrawd anwyl, buasai yn dost iawn arnaf fi, pe buasit ti yn marw gyntaf, ond yr wyf yn awr yn gallu ffarwelio â thi yn ddigon hawdd.' Yna cynghorai ef i ymofyn am grefydd iawn, ac i ddal ati hyd y bedd. 'O,' meddai, 'pan gefais lythyr yn dywedyd dy fod wedi myned i'r *Society*, yr oeddwn yn crio o lawenydd.'—'Nid oes arnaf ddim ofn marw;—ni feddyliais erioed y cawswn y fath dawelwch yn yr hen Iorddonen: yr oedd arnaf ei hofn bob amser yn fy nghalon, ond mae y gwaelod wedi ei galedu, a'r Arch-offeiriad mawr yn mlaenaf gwr; mae Efe yn gryfach na'r cryf arfog, ni wiw iddo fo ddangos mo'i big. Nid oes arnaf ddim ofn y bedd. Cysgu esmwyth a fydd yno: ni chlywaf ddim oddiwrth y pryfed mân. Byddaf yn hollol rydd oddiwrth fy mhoen yn uniawn; mi a fyddaf yn nghymdeithas yr angylion.' 'Yr ydwyf,' meddai hi gwedi hyny, 'yn eich caru chwi oll, ond nid ydych chwi ddim wrth Iesu Grist: mae Efe yn rhagori arnoch i gyd. Mae yn atteb i'w holl addewidion.

'Yr addewid a roddodd ni thorodd erioed.'

Rhy faith fyddai gosod i lawr yma y cwbl o'i dywediadau melys a ffyddiog, a gofiwyd ac a ysgrifenwyd gan ei chyfeillion, er nad oedd hyny fawr wrth a ddyferodd dros ei gwefusau yn amser ei chystudd. Bu farw yn dawel, bore dydd Iau, Tach. 26, 1835, pan ydoedd yn 26 mlwydd oed, namyn un mis.

Megys rhosyn têg, blodeuodd;  
Megys rhosyn, buan gwywodd;  
Ond daw bore gwynfydedig,  
Ail-flodeua 'n anllygredig.

CYFAILL.

---

## COFNODAU CYMDEITHASFA DINBYCH,

Mawrth 15 a 16, 1837.

10 ar gloch y dydd cyntaf, ynghynulliad y Llefarwyr.

1. Rhoddwyd cyngor i'r brodyr i fod yn ddoeth yn eu hymddygiadau tu ag at y Gymdeithas ddirwestaidd. Dylem fawrhau'r Arglwydd trwy yr hyn a wneir yn Nghymru y dyddiau hyn yn yr amcan hwn. Mae'n debyg mai un o'r pethau penaf a barai i Dduw guddio ei wyneb ydoedd meddwdod ac anghymedroldeb y wlad; a phe gellid cael pén cybydd dod etto i lawr, y byddai cwymp ar y *ddau* lô megis, sydd yn bechodau erchyll yn y wlad. Yr oedd y camgymmeriad mor fawr gyda y diodydd hyn, fel y mae genym achos i ryfeddu ein bod cyhyd ar ein traed. Hwyrach y gallai fod *blys* yn cadw rhai rhag dyfod (hyd yn hyn) i'r fyddin fawr hon; buan y darfyddo, ac y diddymer yr holl rwystrau.

Cwynir hefyd o herwydd gwaeledd llawer o rai sydd bleidwyr yr achos hwn; er fod yn debyg mai cwsg yr eglwysi fu yr achlysur; oblegid pe buasai yr eglwysi mor effro ag y dylasent fod, y buasai hyny yn attal llawer o'r gwaeleddau y cwynir o'u herwydd. Sylwyd hefyd fod perygl i ni sefyll ar yr egwyddorion mwyaf arwynebol gyda hyn, megis son am wenwyn y diodydd a'r gwastraff a'r gwarth, &c. heb geisio troi llygaid y bobl at bechadurusrwydd y peth, a'r angenrheidrwydd am edifeirwch a maddeuant; oblegid hwn ydyw y tir sicr i gael y rhai a enillwyd oddi wrth y diodydd i sefyll arno; ac heb hyny ni bydd dim ymddiried iddynt y parhânt yn hir yn y diwygiad hwn.

Gallem edrych ar yr amcan hwn yn waredigaeth fawr i rai crefyddol oddi wrth achlysuron profedigaethau, a'r eglwysi hefyd oddi wrth y gofidiau a gan yn hyny: 'Puro meibion Lefi' sydd yn hyn; gan obeithio y daw dynion effro, ysbrydol, a syml ymlaen i bleidio a chefnogi yr amcan a'r egni hwn; trwy hyny symudid yr achos o gwyn oblegid dynion a phethau gwael, a chodir yr achos i enwogrwydd a chadernid mawr, nes diddymu grym yr anghymedroldeb trwy'r wlad a'r byd.

2. Rhoddwyd cyngor i'r holl frodyr i fod yn ocheigar iawn yn ein holl ymyraeth â phethau gwladol.

3. Sylwyd ychydig yn fwy uniongyrchol ar bethau'r weinidogaeth fawr, a rhoddwyd annogaethau i ystyried mawr bwysigrwydd gwaith y weinidogaeth, a'r mawr bwys o weled hyny fel cymhwysder angenrheidiol atto. Un o'r pethau teilyngaf o'i ystyried gan bob gweinidog i Grist ydyw, yr angenrheidrwydd o'i fod ef ei hun yn gydnabyddus â mawredd ac effeithiau dwyfol y pethau y byddo yn eu traddodi i eraill. Dichon i un astudio pwngc, ffurfio araeth ar y pwnc, a thraddodi hono yn hyawdl; ond y mae *gogoniant* yn mhethau Duw; ac Oh mor ryfedd y traddodir hi yn y goleu hwnw; a bydd rhyw dân efengylaidd yn dilyn hwnw, nes bydd y gwrandawyr yn teimlo rhyw beth o'i naws ryfedd arnynt hwythau.

4. Sylwyd mai oddiar y Cerubiaid yr oedd y gogoniant yn cychwyn gyntaf, Pwy (yn y dyddiau diweddaf) ydynt ond gweinidogion y gair; ac os ymâd y gogoniant oddi yma, onid â o'r wlad? Os y rhai hyn ydyw y Cerubiaid, Pa le y mae y Shecinah?

Mewn amgylchiadau o adfeiliad fel hyn yr oedd y saint gynt, megis Dafydd yn ystyried fod gweddio, 'Na ad ni,' yn rhy fychan o weddio, gweddiai hefyd 'Dychwel *di ni*,' ac yna 'llewyrcha dy wyneb arnom,' nes byddai gweddio felly yn dilyn, 'Dychwel di ni.' Fe allai fod genym ni yn awr ryw bethau nad oeddynt gan ein tadau; Duw yn *unig* oedd ganddynt hwy i bwyso arno;

ond y mae yn y dyddiau hyn fwy (fe allai) o wybodaeth, dawn, a hyawdledd nag oedd ganddynt hwy, ac nid ydym heb fod yn y perygl o edrych ar ryw bethau fel hyn yn rhyw degwch ynom, a thrwy hyny yn y perygl hefyd o dristâu yr Yspryd Glan.

5. Sylwyd hefyd mai nod hyfryd i gyrchu atto gan bob gweinidog ydyw y broffes oedd yr Apostol Paul yn ei wneuthur yn ei enw ei hun a'i frodyr, 'Nid oes yr un o honom yn byw iddo ei hun,' &c. A hyny hefyd 'Nid ydym yn ein pregethu ein hunain, ond Crist Iesu'r Arglwydd.' Byw i ni ein hunain ydyw gwneud hunan yn ddiben bywyd, megis esmwythder, parch, a chlod yn ddiben yr holl ymdrech Byw i Grist yw byw dros achos yr Efengyl, a marw i Grist ydyw marw dros achos yr Efengyl a gogoniant Crist. Fel milwr ar faes y gwaed, byw a marw i'w Frenin ac achos ei wlad. Twyll ofnadwy a rhagrith dychrynllyd yd yw bod o ran enw eros Dduw, ac er hyny yn ceisio yr eiddom ein hunain. Chwiliwn lawer arnom ein hunain yn hyn, y mae hyny yn beth hynod o ddiberygl; os cawn ein hunain i fynu, bydd hyny yn gysur mawr; ac os prin y canfyddwn ein bod, bydd hyny yn swmbwl hynod i'n prysuro at Dduw. Nid oes tuedd yn hyny i ddigaloni neb, ac ni ddigalona neb, ond y rhai sydd yn ceisio myned ymlaen mewn pellder oddi wrth yr Arglwydd.

6. Sylwyd hefyd fod angen neillduol pregethu gwaith yr Yspryd Glan; ac fe allai fod y dyddiau hyn yn ddyddiau a mwy o angen am hyny. Y mae ei waith ef yn cymhwyso iachawdwriaeth, ac yn sancteiddio pechaduriaid yn anhebgorol angenrheidiol; ac y mae hyny i ei bregethu yn oleu, a chadarn; '*Creu*' y mae ef yn '*Ngrist Iesu*,' '*Ail eni* trwy air Duw.' Y mae perygl ini esgeuluso hyn yn y weinidogaeth, oblegid tuedda yr esgeulusdod hwn i dristâu yr Yspryd, a pheri iddo ef gilio ymhell oddi wrthym.

7. Y mae gofal am yr Eglwysi hefyd yn perthyn i waith gweinidogion y gair. Gwelir hyn yn amlwg yn llythyrau Paul, megis 2 Cor. 11. 28. Heblaw y pethau sydd 'yn digwydd oddi allan—y gofal sydd arnaf dros yr holl eglwysi,' 'Er mwyn bod yn eglur i chwi ein *gofal* drosoch ger bron Duw,' 2 Cor. 7. 12. 'Oni fedr un lywodraethu ei hun yn dda pa fodd y cymmer efe ofal dros eglwys Dduw,' 1 Tim. 3. 5. Porthi y praidd a *bwrw golwg* arnynt,' 1 Pedr 5. 2. *Golygwyr* ydynt a osodir gan yr Yspryd Glan, Act. 20 28. Y maent i ofalu am egwyddorion yr eglwysi, am eu profiadau, a'u bucheddau; ie, a'u helyntoedd tymhorol hefyd. Os tadau ydynt, tadau i *ofalu*; os bugeiliaid, rhai i ofalu; os athrawon, rhai i ofalu. Dylai fod gofalu am yr eglwys ar feddwl pob gweinidog, ac anhawdd y gellir disgwyl cael neb o wir ddefnydd yn y Pulpit heb fod gofal yr eglwys ar ei galon.

Fe allai fod mwy o angen am hyn y dyddiau presennol na nemawr ddyddiau a fu, wrth feddwl fod y canghenau eglwysi yn aml, ac heb fod yn enwog mewn gwybodaeth a doniau lleol, ac y byddai cael rhyw lwybr i wybodaeth a doniau y gweinidogion fod yn wrtaith cyffredinol i'r eglwysi yn beth gwerthfawr iawn, ac yn beth y dylem ymestyn atto.

2 ar gloch pethau cyffredinol.

Yn y cyfarfod neillduol am 8 ar gloch:

Yn gyntaf coffawyd am y cyfarfod gweddi Chwarterol, a chafwyd wrth hyny achlysuron i sylwi ar y pethau canlynol:—megis,

I. Mai gwatwar Duw ydyw gofyn pethau ganddo un amser, yn enwedig mewn dull fel hyn, heb deimladau bywiog o'r angenion o honynt, a gwasgfa briodol am danynt.

II. Fod genym achos i ofni fod rhyw ddirywiad yn y ddisgyblaeth eglwysig. Ein bod yn goddef pethau na oddefai ein tadau mo honynt, ac na fynai Duw i ninnau eu goddef. Mae'n debyg mai y cam cyntaf o ddirywiad mewn disgyblaeth ydyw *goddef* yn gnawdol, yna fe gynhydda wedi hyny i'r graddau pellaf. Sylwyd hefyd fod ein golwg ar y rheol gyntaf, o'r rheolau, yn colli wrth dderbyn i mewn i'r eglwysi: sef cael arwyddion amlwg o argyhoeddiad o bechod, a hyny yn arwain i gnawdolrwydd ac ysgafnder yn y canlyniad. Un arwydd o hyny ydyw yr anhawsdra mawr sydd i gael meddyliau y rhai ieuengaf o grefyddwyr at eu colledigaeth hollol wrth natur. Mae'n wir fod y rhai hyn yn dysgu rhyw gwyno oherwydd gwaeledd a llesgedd, ond eu meddyliau ar ol yn y dirnadaeth fywiog am ddamnedigaeth eu sefyllfa wreiddiol. Dylem chwilio yn ddyfal na byddo hyn yn colli o'r athrawiaeth; os cyll oddi yno yn ei oleuni a'i bwysfawrogrwydd, fe ganlyn yr adfaeliad ymhell iawn.

III. Gofynwyd: Pa rai yw yr arwyddion goleu o'r argyhoeddiad hwn?—Attebwyd, nad yr arwydd fwyaf anobeithiol ydyw ofnau dwys y'nghylch y matter tragywyddol, ac awydd am fyw yn dduwiol, &c. Ond rhyw ddynion cryfion a hunanol sydd fwyaf yn y perygl a nodwyd, ac yn peri mwyaf o boen. Gofynwyd, beth a wneir i'r rhai a fagwyd yn yr Eglwysi, ac nid oes arwyddion argyhoeddiad arnynt? Attebwyd. Mai eu hegwyddori oreu a allom, a hyny yn y llwybr tebycaf o enill eu hystyriaethau; sef, arfer dull pwysig a gwasgedig iawn at hyny, i'r dyben o gael eu meddyliau yn ddifrifol uwch ben y golledigaeth.

Gofynwyd, Beth a wneir i'r rhai a fagwyd yn yr Eglwys, ac sydd yn tyfu i fynu heb gyfranogi o Swper yr Arglwydd? Attebwyd, y dylid bod yn ddyfal iawn wrth y rhai hyny, gan ceisio dangos iddynt y fraint o fod yn gyfranog, a'r pechadurusrwydd o beidio bod. Ychydig, fe allai, o addysgu teilwng sydd ar y plant at hyn gan eu rhieni. Eu gwaith hwy ydyw hyny yn benaf. Fe allai fod yr awgrym am fagu

plant yn dduwiol yn brin, ac hwyrach mai prin y dyoddef rhieni wasgu pethau fel hyn yn ddifrifol at eu meddyliau, a'r esgeulustra yn fwy nag y goelid yn yr ymdrech angenrheidiol gyda'r plant. Ychydig o'r saint sydd a meddwl eang am Dduw ganddynt wrth feddwl am eu plant ac wrth weddio trostynt; ac y mae eu crediniaeth o addewidion Duw i'r plant, a'u hymorphwysiad arnynt wrth weddio, &c. yn rhy fach; ac yn ddirmyg ar Dduw Ac nid yn unig hyny, ond y mae yn ymddifadu yr enaid o'r grym a'r cysur wrth eu magu. Mae yn ddiameu fod y diffyg hwn yn y rhieni (o'u rhan hwy), yn attal bendithion cyfamod yr Arglwydd i'r plant. Gall Duw gyflawni addewidion ei gyfammod fel y myno, eto anhawdd meddwl yr anrhydedda'r Arglwydd rieni esgeulus o'r fraint hon heb weithio eu meddyliau i'r wasgfa a'r diwydrwydd yn y ffordd ogoneddus a ordeiniodd yr Arglwydd at hyny.

Dylid ymddiddan yn fynych â rhieni plant am hyn; a chyfle rhagorol i ddechreu ar hyn ydyw, pan fyddo ganddynt blentyn i'w fedyddio. Byddai hwn yn gyfle rhagorol i ymddiddan am holl bethau yr ordinhad a'r cyfammod, a'i freintiau, ynghyd a dyledswyddau y rhieni tu ag at eu plant, a'u gwasgu attynt fwy fwy.

Sylwyd hefyd fod amser crefydd deuluaidd yn brin iawn, yn enwedig i'r cyffredinolrwydd o rieni plant, ac yr esgeulusir hi yn fawr oblegid hyny, hyd yn nod yn ei phethau allanol. Fe allai mai iselder crefydd ydyw yr achos fod cymmaint o ymdrech yn angenrheidiol gyda'r Ysgol Sabbathol, &c. Pan ddelo crefydd i'w llwyddiant blodeuog, mai yn y tai y bydd llafur egwyddori yr Ysgolion Sabbathol. Y mae dau lwybr gan yr Arglwydd i gyfranu bendithion, un ydyw, yn benarglwyddiaethol, a'r llall ydyw yn ffordd y cyfammod, ac y mae'n rhaid ein cael ninnau i ddysgwyl am fendithion y cyfammod ar lwybr ufudddod.

Ni ymhelaethwyd ar ddysgyblaeth eglwysig hyd y cyfarfodydd nesaf. J. F.

---

## COFNODAU CYMDEITHASFA Y BALA.

Mehefin 13, 14, 15, 16. 1837.

*Dydd Mawrth*, am 2 ar gloch, ymgynnullodd y llefarwyr yn unig. Ymddiddanwyd â thri o'r brodyr nad oeddynt yn Nghymdeithasfa Llanidloes, gyda golwg ar eu neillduad i gyflawn waith y gweinidogaeth.

Sylwyd fod lle i ofni fod adfeiliad yn ein plith, a hyny yn ddiarwybod i ni; nad yw dysgyblaeth yn cael ei chadw i fynu yn y modd y dylai; a bod dynion yn cael eu derbyn i'n heglwysi na fuasai ein tadau yn eu goddef; tra mae eraill yn cael eu goddef yno, yn ngwyneb arwyddion o waeledd mawr.

Mae perygl oddiwrth gyfeiliornadau yn egwyddorion sylfaenol crefydd. Mae cyfeiliornadau ar led yn ein gwlad y dyddiau presennol, a'r rhai hyn ydynt:

1. *Mewn perthynas i gyflwr dyn.* Llawer yn ein gwlad a wadant i Dduw erioed wneuthur cyfammod â dyn yn Eden, ac o herwydd hyny, haerant na wneir cyfrifiad o gamwedd Adda i'w hiliogaeth; a'r canlyniad yw, nad ydynt yn dal hollol lygriad y natur ddynol trwy y cwymp.

2. Mewn perthynas i waith pen-arglwyddiaethol Duw yn achub dyn.

3. Mewn perthynas i waith yr Yspryd Glan. Gall y cyfeiliornwyr hyn meddynt hwy fod yn gadwedig heb yr Yspryd Glan: gallant gredu, caru, ac ufuddhau, hebddo; ac nid oes arnynt ddim mo'i eisiau: fel hyn maent yn digio yr Yspryd.

Sylwyd fod athrawiaeth fawr y cyfrifiad yn anamlach o lawer yn ein pregethau yr oes hon. Pregethau yn mha rai yr oedd yr athrawiaeth hon yn ymddisgleirio, hwy oeddynt yn rhwygo yr anialwch ac yn hollti y creigiau. Mae rhai yn gadael heibio bethau a ddylent eu dwyn yn mlaen, ac yn cuddio y gwir o'r tu cefn, pan y dysgwylid ei ddangos yn eglur. Eraill a arferant eiriau anhysbys a philosophaidd, rhai nad yw y bobl yn eu deall. Ymddengys fod amcan y cyfryw i ddefnyddio geiriau dieithrol, nas gall neb amghyffred eu cynnwysiad. Gwasgaru gwybodaeth yw ein dyledswydd ni ac nid ei guddio. Cul yw llwybr y gwirionedd, ac anhawdd yw ei gerdded yn uniawn; os ydym ddieithr i orsedd gras, mae yn dra thebygol y cwympwn i ryw ochr neu gilydd.

*Dydd Mercher* am 10, ymgynnullodd y Gweinidogion, y Pregethwyr, a'r Henuriaid, i'r dyben o neillduo wyth o Frodyr i weinyddu yr ordinhadau o Fedydd a Swpper yr Arglwydd: dau o Sir Gaernarfon, tri o Sir Drefaldwyn, a thri o Sir Flint.

Dechreuwyd y Cyfarfod trwy ddarllain a gweddio, gan y Parch. Daniel Evans, Capel Drindod.

Ymofynwyd am reoleidd-dra dewisiad y brodyr gan y Parch. John Jones, Tremadog, ac attebwyd er boddlonrwydd gan un o'r Henuriaid, sef Mr. Jones, Llanidloes.

Gwedi darllen y rhanau penodol o'r Ysgrythyr, gweddiodd y Parch. Abraham Jones; yna

Galwyd ar y Parch. John Elias i ddywedyd am natur Eglwys a neillduad Gweinidogion Sylwedd yr hyn a draddododd sydd fel y canlyn.

Mae yn amlwg mai yn perthyn i'r Eglwys y mae y gwaith hwn o neillduo. Gair anghyfiaeth yw y gair Eglwys, gair a arferid gan y Groegiaid yw. Byddent hwy yn golygu wrth y gair gynnulleidfa o bobl wedi eu casglu ynghyd; mae yn arwyddo, rhai wedi eu galw allan neu wedi eu neillduo: mae y gair yn arwain yn uniongyrchol at ras pen-arglwyddiaethol Iehovah yn galw allan rai i fod yn saint etholedig iddo ei hun.

Mae yr Eglwys i ei hystyried yn ei golygiad gweledig a dirgeledig.

Mae rhyw fath o alwad yn gwneuthur rhai yn aelodau o'r Eglwys weledig er nad ydynt felly yn yr un ddirgeledig. Mae rhyw fath o ffydd gan aelodau yr Eglwys weledig, heb eu bod yn aelodau o'r ddirgeledig. Etholedigion Duw yw yr Eglwys ddirgeledig. Bod yr aelodau o'r Eglwys ddirgeledig ddylai fod yn ddifrifol ar ein meddwl ac yn wrthddrych ein cais a'n dymuniad parhaus. Hyn a ddylem chwilio am dano, sef ein bod wedi ein galw â galwedigaeth effeithiol, a chyfiawnder Crist yn wisg am danom. Er bod yn aelodau o'r Eglwys weledig, os na wyddom am hyn, yn nydd Crist byddwn yn danllwyth ac yn ysfa yn nwylaw y Duw byw. Un yw yr Eglwys weledig. Un oedd teulu Iacob yn myned i'r Aipht, ac un oeddynt hefyd yn myned o'r Aipht; nid oeddynt ond deg a thriugain o nifer pan yr aethont yno, ond yr oedd cymaint a chwe chan mil o honynt yn myned oddi yno. Teulu bychan iawn oedd yr Eglwys ar ddydd y Pentecost, ond yr un teulu yw yr holl Gristionogion sydd ar y ddaear yn awr. Y bychan a aeth yn fil erbyn heddyw, ie, mor fawr yw y teulu nas gellir eu cynnwys yn awr dan yr un gronglwyd. Yr oedd yn Antiochia fwy nag un gynnulleidfa, ond un Eglwys oedd yno, felly yn Ephesus, &c. ond un Eglwys oedd ynddynt. Un Eglwys ydym ninau o Gaergybi i Gaerdydd, carem fod gyda'n gilydd i gyd yn yr un lle, ond nis gallwn, gan hyny, wele yma gynddrychiolwyr y brodyr wedi ymgasglu ynghyd, a'r Eglwys ynddynt hwy yn trin ei hachosion. Nid oes ddim dwy athrawiaeth i Eglwys Dduw—yr un teulu yw, a'r un gwirionedd sydd ganddi. Cedwch at eiriau Duw ac ni fethwch chwi ddim. Mae gair Duw yn ein gorchymyn i 'fod bawb o honom wedi ein cyfan-gyssylltu yn yr un meddwl ac yn yr un farn,'—'un ffydd' a roddwyd i'r saint ac ni roddwyd ond un.

Mae Crist yn dewis ac yn cymhwyso gweinidogion at ei waith; ein gorchwyl ni yn awr yw edrych allan pwy mae Efe wedi ei ddewis, ei nodi ef allan, a'i ddewis ef. Nid dewis llefarwr da—nid dewis dyn medrus i ddifyru y bobl â siarad—nid dewis dyn poblogaidd; ond dewis un a fo wedi ei gynnysgaeddu â chymwysderau priodol at waith y weinidogaeth. Mae melldith yn gytun a phob dewisiad arall.

Mae gan weinidogion y gair ddau orchwyl. 1af, Cenhedlu rhai yn Nghrist trwy yr efengyl. 2il, Bod â'u bronau yn llawn i roi llaeth i'r rhai hyny.

Yr ydym ni, y Methodistiaid Calfinaidd, heddyw yn gan mlwydd oed, Duw a'n dygodd hyd yn hyn. Gofalwn rhag colli Duw o'n plith, os collwn ni ef, ni a gollwn y gogoniant. Eled pob un oddi yma heddyw gan weddio, 'aros gyda ni.'

Gofynwyd barn y brodyr ar yr amrywiol ganghenau o'r athrawiaeth gan y Parch. Edward Jones, Aberystwyth, a chafwyd boddlonrwydd yn yr attebion.

Gofynwyd cymmeradwyaeth y corph o'r brodyr gan y Parch. Evan Harries, Aberhonddu.

Rhoddwyd y cyngher *(charge)* gan y Parch. John Hughes, Bont Robert.

Dywedodd fod eisiau ystyried pwysfawrogrwydd y swydd weinidogaethol, a'r gwaith a berthyn iddi. Nid oes yr un swydd ar y ddaear mor bwysig a bod yn Weinidog y Testament Newydd. Mae pob swydd arall islaw hon ac yn wasanaethol iddi. Yngolwg hyn, ynte, dylem grynu a myned at y gwaith bob amser â'r geiriau hyny genym, 'Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?'

Gwelir pwysfawrogrwydd y swydd oddiwrth yr enwau a osodir ar y rhai a weinyddant yn y swydd a'r pethau sydd ganddynt mewn llaw.

'Gweinidogion Crist' y gelwir hwy, a 'dirgeledigaethau Duw' wedi eu hamlygu i ni yn ei air sanctaidd, sydd ganddynt i'w gweinyddu. Hefyd, os ystyriwn y gwrthddrych mawr, y maent yn wasanaethwyr iddo, sef Crist, 'gweinidogion Grist.' Efe yw y Pen-prophwyd a'r Bugail mawr: ganddo ef y mae awdurdod i ddanfon gweinidogion. Efe a raid eu cymhwyso i'r gwaith trwy yr Yspryd Glan. Mae y swydd yn bwysig a'r cyfrif yn fawr: dyma ddyfnion bethau Duw a gwerth gwaed Crist dan eich gofal.

Mae dyledswyddau 'gweinidogion Crist' i'w gweled yn y gair. Megis y rhai hyn. 'Gosod dy hun yn brofedig gan Dduw;' nid gan ein gilydd, ond gan Dduw, 'yn weithiwr difefl' dianaf i'r gwaith, heb fod yn achos cywilydd i'r gwaith, 'yn iawn gyfranu gair y gwirionedd.'

Hefyd yr ydym i fod yn 'weinidogion Crist' yn ein hesiamplau. Yr ydym yn annog y bobl i ddilyn rheolau sanctaidd cyfraith Duw, pa mor agos iddynt y rhodiant pe dilynent hwy ni? Mae ein hesiamplau yn dysgu yn fwy na dim arall.

Mae yn anghenrheidiol hefyd i 'weinidogion Crist' fod ganddynt 'athrawiaeth iachus, ac ymadrodd iachus, nas gellir eu beio,' eu bod hwy yn 'mynegu holl gynghor Duw,' peidio ag attal dim o bethau Duw, ond dwyn yr '*holl gynghor,*' sef, yr oll sydd yn ddatguddiedig, yn mlaen ger bron y bobl, nid ydynt i gymysgu eu tybiau eu hunain âg un gangen o athrawiaeth. Bydded i ni ennill *carictor* Moses o 'fod yn ffyddlon yn yr holl dŷ.'

Mae y gwaith mor fawr, fel ag y mae yr holl amser yn anghenrheidiol ato. Dylem oll roi cymaint o'n hamser at waith y weinidogaeth, ag a oddefa ein hamgylchiadau i ni. Dylai fod llafur ein meddwl yn fawr, er cael golygiadau eglur ar ddiben ac arwyddocâd yr ordinhadau. Gochelwn

awelon yr oes, ysbryd dychrynllyd yr amser, mae gwenwyn a dinystr yn awelon yr oes. Mae dynion yn cymysgu philosophi a gwag resymau a thwyll ynghyd â chrefydd; yn diystyru pob llywodraeth, yn wladol, yn deuluaidd, ac yn eglwysig: pawb am fod yn arglwydd ar ei dŷ ei hun.

Na fydded i neb o honom draethu, mewn lle yn y byd, ddim yn groes i'n proffes mewn perthynas i'n hundeb â'r corph, yn ei reolau a'i athrawiaeth.

Mae yn anghenrheidiol mwynhau cymdeithas agos â Phen mawr yr Eglwys, fel yr ymhelaethom yn ei gariad ef, ac o'i gariad y gallem gael i borthi ei braidd ef.

Mae lle i ofni fod Duw wedi codi oddiar y cerubiaid; help i lefain am iddo ddychwelyd: rhy fach iddo aros lle y mae ef.

Gofynodd y Parch. John Elias i'r brodyr am eu cydsyniad â galwad y Corph, ynghyd a'u hymroddiad i'r gwaith; a chafwyd atebion tra boddlonol ganddynt.

Dibenwyd y Cyfarfod trwy weddi gan y Parch. John Davies, Nantglyn.

Am 2 ar gloch, ymgynnullodd y Llefarwyr a'r Henuriaid drachefn ynghyd, ac ar ol trefnu amryw bethau amgylchiadol, darllenwyd cofnodau Cymdeithasfa Machynlleth yn y flwyddyn 1795. Y rhan a ddarllenwyd sydd fel y canlyn. 'Sylwyd ychydig hefyd yn neillduol am ein rhwymedigaethau o ufudd-dod i'r awdurdodau goruchel. Y mae gorchymyn yr Arglwydd yn eglur ac yn bendant ar yr achos hwn: 'Ymddarostynged *pob enaid* i'r awdurdodau goruchel: yr awdurdodau *sydd*, gan Dduw y maent wedi eu hordeinio.' Rhuf xiii. 1. Y mae siampl Crist yn waraidd ac o barod rwydd meddwl yn talu teyrnged, yn dangos yn amlwg y llwybr sydd i ni gerdded, fel ei ganlynwyr. Efe a barchodd y llywodraeth, trwy ufudd-dod parod iddi, yr hon a wyddai a wnai ei roddi yn anghyfiawn i farwolaeth. Nid yspryd *Politician* pigog, chwerw, (sydd yn barnu pawb yn fflyliaid ac yn droseddwyr ond efe ei hun) yw yr yspryd a welir yn yr Iesu addfwyn. Nid cablwr urddas oedd ein Harglwydd ni; ac nid gweddus yw hyny yn neb o'i ganlynwyr: un yw hon, o lawer ffordd sydd gan Satan, i dynu cabl ar ffyrdd sanctaidd Duw, ac i nychu a llygru eneidiau dynion Trefnu llywodraethau daear, heb ein galw erioed i hyny, ac esgeuluso y pethau mwyaf eu pwys a berthynant i ni a'n teuluoedd, sydd ynfydrwydd mawr, ac yn un o faglau'r Diafol, yn mha un y mae yn fynych yn dal dynion trofaus, llygredig, wrth ei ewyllys. Rhoddwyd rhybudd caredig i bawb i ochelyd y cyfryw lwybrau dinystriol, ac ar iddynt yn ddiddig dalu 'teyrnged i'r hwn y mae teyrnged yn ddyledus; toll i'r hwn y mae toll; ofn i'r hwn y mae ofn; parch i'r hwn y mae yn ddyledus.' (*Cofnodau Cymdeithasfa Machynlleth*, 1795.)

Dangoswyd ein bod, fel Corph, yn cydsynio â'r cofnodau hyn, a phenderfynwyd i lynu wrthynt, trwy godiad dwylaw. Sylwyd mai ein dyledswydd ni fel Cristionogion, oedd bod yn bobl lonydd. Nad oeddid yn meddwl taro ar y naill blaid, ragor y llall, ond annog i lonyddwch—nad ydyw yn iawn ymyraeth â *pholitics* mewn un dull, fel *crefyddwyr*—nad oes raid i Gristion ddwyn ei grefydd yn mlaen i bleidio y naill *barti politiciaidd* neu'r llall—nad yw yn bosibl i weinidog ddyfod yn mlaen ac ymddangos mewn un lle heb ddwyn ei *garictor* hefyd gydag ef—nad yw yn bosibl i weinidog ymddiosg o'i *garictor* fel *gweinidog i Grist*—nad yw yn weddus i weinidogion yr Efengyl sefyll i fynu i lefaru dros y naill blaid neu'r llall. Rhodded pob un ei bleidlais fel y mynno, yn ddistaw ac yn llonydd, a danfoner deisebau i'r Senedd oddiwrthym fel gwladwyr, ac nid fel Methodistiaid.

Yna sylwyd ar yr achos Dirwestol—yn gobeithio fod pob Methodist yn Ngwyned yn Ddirwestwr. Nid ydys yn cymeradwyo personau o gymeriad ammheuus i areithio dros Ddirwest yn ein Capelau. Mae yn anghenrheidiol i'r Pregethwyr ddyfod yn mlaen yn gyffredinol i areithio yn y cyfarfodydd, onite fe adewir yr achos i ddynion gwael. Mae yr achos yn amlwg o Dduw, ac felly dylai pob un ag enw Crist arno ei bleidio. Traddododd amryw eu meddyliau ar y testun hwn, a dangoswyd brwd-frydedd a gwresogrwydd nid bychan dros yr achos, er na chaniatai amser i ymhelaethu arno. Sylwyd hefyd y byddai yn dda i'r eglwysi gyfranogi mwy o ddoniau y Weinidogaeth. Penderfynwyd newid amser Cymdeithasfa Sir Flint o Fis Mawrth i Fis Hydref. Mae y cyfarfod chwarterol i weddio am dywalltiad yr Yspryd Glan i fod ar yr 8ed o Awst

Dydd Iau. Am 8 Ymddiddanwyd â chwech o lefarwyr ieuainc Sir Feirionydd, y rhai a dderbyniwyd yn aelodau o'r Gymdeithasfa. D. CHARLES.

*Bala.*

# Gofynion.

Anwyl Frawd—Gan eich bod wedi rhoddi y fath foddlonrwydd i mi, (a channoedd eraill hefyd mae'n ddiameu) yn eich gwaith yn egluro y geiriau anghynnefin, a anfonwyd attoch o'r blaen, i'r perwyl hyny; wele fi yn anfon i chwi Restr o'r cyfryw a gasglais o Lyfr Deuteronomium: gan ddymuno yn ostyngedig arnoch yn ol eich arferol barodrwydd, roddi y cyfryw eglurhad ar y rhai hyn hefyd. JOHN POWELL.

*Coed llai.*

Deuter. i. 36. Sangu.
ii. 19. Ymyrr.
iii. 6. Difrodi.
18. Pybyr.
iv. 11. Entrych.

Deuter. vi. 24. Ysol.
8. Rhactalau.
15. Ennyn.
vii. 3. Ymgyfathrachu.
13. Diadellau.
26. Ysgymmunbeth.
viii. 15. Seirph tanllyd. Ysgorpion.
xiii. 16. Heol. Carnedd.
xiv. 5. Iwrch. Llwdn hydd.
7. Camel.
12. Eryr. Wydd-walch y Forwenol.
15. Hebog.
xv. 2 Echwyn.
xvi. 4. Arhôed.
xviii. 10. Planedydd, Darogan-wr, Hudol.
11. Consuriwr.
xix. 5. Cymmynu. Menybr.



Syr,—A fyddwch chwi neu un o'ch Gohebwyr lliosog a deallgar mor hynaws a rhoddi eglurhad ar Salm 68. 22. Beth sydd i'w ddeall oddiwrth fod pobl yr Arglwydd wedi bod yn 'Basan ac yn nyfnder y môr,' a bod yr Arglwydd yn addaw eu dwyn hwynt oddiyno drachefn? J. W.

## Attebion.

*Atteb i Ofyniad Gwr lleyg, Rhif.* 79, *tu dal.* 212, *am y personau a fuont yn achlysurol i Pedr wadu ei Feistr.*

*Am y Gwadu y tro cyntaf.* Matth. xxvi. 69. 'Daeth morwynig atto, ac a ddywedodd, a thithau oeddit gydag Iesu y Galilead'

Marc xiv. 66. 'Daeth un o forwynion yr Archoffeiriad, a phan ganfu hi Pedr yn ymdwymo,' &c

Luc xxii. 56 67. 'A phan ganfu rhyw lances ef yn eistedd wrth y tân, a dal sylw arno, hi a ddywedodd, yr oedd hwn hefyd gydag ef.'

Ioan xviii. 17. 'Yna y dywedodd y llances oedd ddrysores wrth Pedr, onid wyt tithau o ddisgyblion y dyn hwn?'

Felly nid oes yma ddim ond pob cyssondeb hanesyddol; y naill Efengylwr yn cadarnhau y llall, a'r naill yn egluro'r llall. Dywed Luc mai 'rhyw lances' oedd yr hon a ddaliodd sulw gyntaf ar Pedr, ac a'i cyhuddodd ef, heb nodi pwy oedd hi. Dywed Marc mai 'un o forwynion yr Archoffeiriad' oedd hi. A dywed Ioan mai hi oedd y 'ddrysores,' yr hon ar archiad Ioan a agorodd y drws i Pedr i ddyfod i mewn. A Matthew a eglurha ymhellach mai 'morwynig oedd hi, sef morwyn fechan neu ieuanc: dyma eglurhad cyflawn rhwng y pedwar ynghyd.

*Am yr ail waith.*

Matth. xxv. 71. 'A phan aeth efe allan i'r porth, gwelodd un arall ef; a hi a ddywedodd wrth y rhai oedd yno, yr oedd hwn hefyd gyda'r Iesu o Nazareth.'

Marc xiv. 69. 'A phan welodd y llances ef drachefn, hi a ddechreuodd ddywedyd wrth y rhai oedd yn sefyll yno, y mae hwn yn un o honynt.'

Luc xxii. 58. 'Un arall a'i gwelodd ef, ac a ddywedodd, yr wyt tithau hefyd yn un o honynt. A Phedr a ddywedodd, O ddyn, nid ydwyf.

Ioan xviii. 25. 'Hwythau a ddywedasant wrtho, onid wyt tithau hefyd o'i ddisgyblion ef?

Nid oes yma ddim anghyssondeb, canys dywed Marc mai 'y llances a'i gwelodd ef drachefn.' A Matthew a ddywed, mai 'un arall' oedd hi. Llances oedd hi, ond nid y ddrysores, eithr 'un arall.' Dywedodd hon 'wrth y rhai oedd yn sefyll yno, y mae hwn yn un o honynt.' Galwodd hyn sulw y dynion ar Pedr, yn enwedig 'un o honynt,' fel y dengys Luc, yr hwn oedd fab, ac nid merch, gan i Pedr ei alw 'O ddyn.' Cadarnhaodd y dyn hwn ymadrodd y llances, gan ddywedyd, 'Yr wyt tithau hefyd yn un o honynt.' Ac Ioan a ymhelaetha gan ddywedyd fod chwaneg nag un wedi edliw iddo y tro hwn, 'Hwy a ddywedasant wrtho, onid wyt tithau hefyd o'i ddisgyblion ef?' Mae yr hanes rhwng y pedwar ynghyd, yn fanwl, helaeth, a naturiol iawn.

*Am y drydydd waith.*

Matth. xxvi. 73. 'Ac ychydig wedi, daeth y rhai oedd yn sefyll ger llaw, ac a ddywedasant wrth Pedr, &c.

Marc xiv. 'Y rhai oedd yn sefyll ger llaw,' &c.

Luc xxii. 59. Rhyw un arall a daerodd, gan ddywedyd, 'mewn gwirionedd,' &c.

Ioan xviii. 26. 'Dywedodd un o weision yr Archoffeiriad (câr i'r hwn y torrasai Pedr ei glust) oni welais i di gydag ef yn yr ardd?'

Nid oes yma etto ddim ond pob cyssondeb ac iawn drefn. Dywed Luc 'rhyw un a daerodd, &c. mewn gwirionedd yr oedd hwn gydag ef: canys Galilead yw.' Galwodd hyn sulw 'gwas yr Archoffeiriad' ar Pedr, ac efe a ddywedodd, yn chwanegol, yn ol Ioan, 'Oni welais i di gydag ef yn yr ardd:' gan eglurhau mai 'câr i'r hwn y torrasai Pedr ei glust' oedd hwn. Dechreuodd Pedr feddwl yn ddifrifol iawn erbyn hyn ei fod ef mewn perygl am ei fywyd. Ac i gryfhau y demtasiwn, dywed Matth. a Marc fod chwaneg na'r ddau hyn yn ymgynhyrfu ar yr achos, 'daeth y rhai oedd yn sefyll ger llaw ac a ddywedasant wrtho, yn wir yr wyt tithau yn un o honynt; canys y mae dy leferydd yn dy gyhuddo.' Yr oedd y peth erbyn hyn wedi tynu sulw bron bawb oedd yn y llys.

Gobeithiwn y bydd hyn yn ddigonol i oleuo a boddloni meddyliau y Gwr lleyg am gyssondeb a manylrwydd yr hanes sanctaidd. CYHOEDDWR.

***Atteb i Ofyniad Ymt, Rhif.* 77, *tu dalen* 145.**

A oes graddau yn ngogoniant y saint yn y nefoedd?'

**Os dywedir mewn ffordd o atteb, 'Oes.' Mae yn ddigon tebyg y bydd i ryw un anfon attebiad arall, gan ddywedyd, 'Nac oes.' Ac felly byddai hyny yn ddechreuad dadl na wyddis pa le na pha bryd y diweddai. Ond hyn a ddywedaf, gyda'ch cenad Syr, mi wn I fod gwahanol farnau gan ddifinyddion enwog ynghylch y pwngc hwn. Gan hyny dylem fod yn gynnil yn ein penderfyniadau, ac yn ochelgar yn ein haeriadau wrth geisio rhoi atteb i'r Gofyniad uchod.**

**Ymhellach, os bydd rhyw un yn ewyllysio mewn ysbryd addfwyn a charuaidd, anfon atteb i brofi fod graddau yn ngogoniant y saint yn y nefoedd, canys dyna y farn gyffredin, dyged ymlaen Ysgrythyrau a rhesymau, faint a fyno, i brofi hyny. A minnau, os caniattewch, a anfonaf attoch Ysgrythyrau a rhesymau sydd yn ymddangos i mi yn profi nad oes graddau yn ngogoniant y saint yn y nefoedd, sef y naill yn llai, a'r llall yn fwy ei ogoniant. Ac mi a ymrwymaf i arferyd geiriau llariaidd a digeccraeth ar yr achlysur; ac nid ysgrifenaf ddim chwaneg o ysgrif na'r un cyntaf. Ond ni oddefir i'r naill na'r llall o honom ysgrifenu dim ond un traethawd. Wedi hyny barned pawb drosto ei hun am y peth hwn. Nid ydwyf fi yn gwybod am un ffordd well ac esmwythach i gynnyg rhoi eglurhad boddhaol ar bwngc dyrus.** DIFRIFOL.

***Attebion i Ofynion Goreu y gallo, Rhif.* 79. *tu dalen* 212. *ynghylch clefyd ac adferiad Epaphroditus,* Phil. i. 21, 23. a ii. 25—27.**

1. Gofyna. A oedd Epaphroditus yn wir gristion?

Att. Oedd. Mae sail i gredu oddiar y darluniad rhagorol a rydd Paul am dano, ei fod ef yn wir gristion, Gwel Phil. ii. 25—30.

2. A ellir meddwl ei fod ef, fel yr oedd yn gyfryw, yn agos i'w le, o ran agwedd ei gyflwr, ei ysbryd, a'i brofiad, yn yr amser y cofféir gan Paul ei fod ef yn glaf, ac yn agos i angau? Gwel Phil. ii. 27.

Att. Nid oes genym un sail i amheu nad oedd efe felly.

3. A oedd Paul yn meddwl wrth y geiriau, 'Ond Duw a drugarhaodd wrtho ef,' yn Phil. ii. 27. fod Epaphroditus y pryd hyny wedi cael ei hollol waredu rhag angau?

Att. Dim o'r fath beth. Yr oedd yn rhaid i'r dyn farw fel dyn arall wedi hyny, canys 'Gosodwyd i ddynion farw unwaith.'

4. A ellir casglu oddiwrth Phil. i. 21. 23. fod Paul yn golygu fod marw yn elw ac yn ennill i bob gwir gristion? ynte iddo ef yn unig fel Apostol.

Att. Am dano ei hun yn unig y mae yr Apostol yn son yn y geiriau crybwylledig, 'Canys byw *i mi* yw Crist, a marw sydd elw,' &c. Er hyny gellir yn ddibetrus gasglu am bob gwir gristion fod marw yn elw iddo, canys mae cael 'bod gyda Christ,' yn llawer iawn gwell i bob un a gaiff fod felly y tu draw i angau, yn gymmaint ag mae'r nefoedd yn well na'r ddaear hon.

5. Ond mi dybygwn mai prif Ofyniad y 'Goreu gallo,' ydyw, 'Os buasai yn llawer iawn gwell ar Epaphroditus wedi marw, nag oedd arno yn y byd hwn, pa fodd y dywed yr Apostol mai *trugaredd* a gafodd efe gan Dduw yn ei *adferiad* a'i *warediad* rhag marw?'

Att. Nid yw yr Apostol yn son dim am farwolaeth Epaphroditus; canys nid oedd efe wedi marw; ac mae yn ddiammeu na wyddai Paul ddim pa bryd y byddai efe farw, chwaith.

Son am glefyd trwm Epaphroditus y mae Paul, a'r achlysur o hono: 'canys yn wir efe a fu glaf.' Ac efe a chwanegodd,' yn agos i angau.' Nid yn agos o ran amser, canys yr oedd efe yn nes yn yr ystyr hyny i farw pan oedd efe wedi gwellâu na phan oedd efe yn glaf. Ond ystyr y gair 'yn agos i angau,' ydyw, ei fod yn glaf iawn; fod ei glefyd yn hynod o drwm, fel yr oeddis yn ammeu y cai efe fyw. Ond er trymed oedd ei glefyd hwn, 'Duw a drugarhaodd wrtho' yn ei glefyd trwm; efe a ysgafnhaodd ei law arno, ac a'i iachaodd ef, i allu ymaflyd yngwaith Crist drachefn.

Mae yn amlwg i bob dyn ystyriol mai trugaredd fawr i ddyn ydyw ei iachau ef o glefyd dirfawr, a'i godi o'i wely cystudd. Ac mae pawb o'r duwiolion yn gyffredinol ar ol eu hiachau fel hyn, yn cydnabod trugaredd, tiriondeb, a daioni Duw yn adferiad eu hiechyd; fel y gellir gweled yn Llyfr y Psalmau, ac mewn amrywiol fanau yn yr Ysgrythyr Lân. Gan hyny adferiad iechyd o glefyd peryglus iawn oedd y *drugaredd* a gafodd Epaphroditus gan Dduw.

Dysgwyliaf y bydd yr ychydig sylwadau byrion uchod yn tueddu i ddangos i'r Gofynydd nad oes un gradd o anghyssondeb yn yr adnodau a grybwylla efe; ac yn offerynol i dynu y dyryswch o'i feddyliau ef yn eu cylch. CYHOEDDWR.

## DIRWEST.

### TYSTIOLAETH CYCHWYR PENTRWYN Y GARNEDD O BLAID LLWYRYMATALIAD.

Hybarch Syr,—Y mae llawer iawn o ddadleu yn bod yn y dyddiau hyn fod rhai amgylchiadau ag y mae angenrheidrwydd anhebgorol am y diodydd meddwawl ynddynt. Wel, yn awr, ni a ofynwn yn bwyllus pa rai ydynt yr amgylchiadau hyn? Ai gwres? 'Nagé,' medd lluaws o wydrwyr ac ereill, yn Swydd Lancaster, 'nid oes eu heisiau yn yr un gangen o'n gwaith, a gwnawn yn well heb-ddynt.' Ai caled-waith ynte? 'Nagé,' medd deuddeg llifiwr Preston, a morwyr llawer o longau

Prydain y rhai sydd eisoes wedi cyhoeddi Ardystiad yn eu herbyn. Ai oerfel a thywydd, ynte? 'Nagé,' medd pedwar ar bymtheg o'n cydwladwyr sydd mewn llafur blin a thywydd enbydus yn llwytho, yn dadlwytho, ac yn rhwyfo, ac yn neidio i'r dwfr hyd yr ên yn fynych, ie, yn gorfod gweithio ac aros yn y gwlybaniaeth hyny o lasiad y boreu hyd ledaeniad yr hwyr, ac fel arwydd o'u tystiolaeth am ragoriaeth Dirwest y maent yn foddlon i gyhoeddi i'r Dywysogaeth yr ardystiad canlynol:—

'Gan fod rhagluniaeth oruchel y nef wedi trefnu i ni y llafurwaith caled o ymdrin â'r cychod, mewn tywydd blin, a dyddiau oerfelog, yr ydym yn barod i dystio i'r Dywysogaeth ein bod yn gallu cyflawni ein gorchwylion yn *gryfach*, yn *iachach*, yn *well*, ac yn *fwy cysurus* o lawer o dan adenydd Dirwest, nag a allem yn y dyddiau hyny pryd yr arferem yfed ein dognau o ddiodydd meddwawl. Y mae byr brofiad o effeithiau Llwyr-ymataliad wedi ein cwbl argyhoeddi ni, nad oes angen am danynt i wrth-weithio gwlybaniaeth allan, pan y mae *coffee*, &c. yn gwneuthur hyny yn llawer mwy rhagorol i'r corph, ac heb ammharu yr un peiriant ynddo. Ac os gall ein henwau ni fod o un rhwyddineb i ledaeniad yr achos da, ac yn foddion i symud un mynydd mawr o gyfeiliornad, wele hwy at eich gwasanaeth.

| *Enwau.* | *Oed.* | *Blynyddoedd gyda'r cychod.* | *Llwyr ymatal* |
|---|---|---|---|
| David Jones .... | 41 | .... 27 .... | 7 mis |
| David Lloyd ... | 48 | .... 28 .... | 7 mis |
| Evan Williams . | 28 | .... 1 .... | 7 mis |
| John Williams .. | 39 | .... 12 .... | 7 mis |
| William Morris . | 22 | .... 6 .... | 7 mis |
| Daniel Rowlands | 40 | . . . 12 .... | 7 mis |
| Richard Roberts | 47 | .... 25 .... | 7 mis |
| John Richards | 44 | .... 18 .... | 6 mis |
| William Jones .. | 26 | .... 16 .... | 6 mis |
| Griffith Evans .. | 34 | .... 12 ... | 6 mis |
| Edward Roberts | 30 | ... 10 .... | 6 mis |
| MorrisHumphreys | 19 | .... 6 .... | 6 mis |
| Thomas Morris .. | 45 | .... 15 .... | 6 mis |
| Griffith Edwards | 27 | .... 4 .... | 6 mis |
| William Roberts | 50 | .... 33 .... | 6 mis |
| Harry Owen .... | 39 | .... 1 .... | 6 mis |
| Edward Williams | 19 | .... 2 .... | 6 mis |
| William Pugh .. | 31 | .... 9 .... | 5 mis |
| John Williams .. | 37 | .... 25 .... | 2 fis |

Byddai yn anghyfiawnder terfynu yn y fan hon, heb ddywedyd gair yn mhellach am y Dirwestwyr aiddgar a ffyddlon hyn, ac yr ydwyf yn mawr obeithio y bydd i Dduw roddi iddynt bob cyfnerthiad i sefyll yn ddi gwymp at eu hymrwymiad. Cofleidiasant egwyddor fawr Dirwestaeth yn nechreuad y tân yn Ngogledd Cymru, a hyny hefyd pan oedd llawer hunan ddoeth a siaradus yn gwaeddi yn groch fod eu natur yn debyg o gael eu dryllio yn chwilfriw os llwyr ymatalient oddi wrth y Diodydd meddwawl. Cadwasant eu hadduned hefyd mewn llawer profedigaeth lem, ac amgylchiad blinedig. Wedi rhwyfo yn galed 6 milldir o fôr, yn ol ac yn mlaen ddwy waith yn y dydd weithiau, ni bu iddynt gofleidio yr achlysur i dori eu haddunedl, a llwytho a dadlwytho miloedd lawer o lechau (*slates*) yn ystod y mordeithiau hyn, ni dderbyniasant addewid a rhodd, er taerineb a hudoliaeth llawer Cadben Gwrth-Dirwestol, gan ei farnu yn llawer gwell oddef peth gwawdiaeth gyda Dirwestwyr na chael mwyniant y dyfroedd meddwawl a cholyn cydwybod euog yn y diwedd. Ac nid hyny yn unig, ond gwrthodasant yr hyn oedd gyfreithlon, yn ol arferiad iddynt, sef '*allowance*' o gwrw gan Gadbeniaid llongau, er bod ar brydiau yn golledwyr o'r herwydd, ond yr ydym yn tra mawr obeithio y gwawria y dydd cyn hir y cânt yr hyn sydd gyfreithlon iddynt yn unol a'u hegwyddorion eu hunain. Terfynaf y waith hon gan ddymuno Duw yn rhwydd iddynt a phob llwyddiant yn dymhorol ac yn ysprydol.

Ydwyf, yr eiddoch, J. P. P.
*Mehefin* 19, 1837.

### LLWYDDIANT DIRWEST.

Yn y blynyddoedd o'r blaen yr oedd Treffynnon a'i hamgylchoedd yn treulio mwy o frâg i wneud cwrw na holl wlad Fon; yr hyn sy yn hawdd i'w weled drwy y doll a dalwyd ar frâg yn y mannau hyny. Ac yr oedd y draul yn chwanegu bob blwyddyn. Ond yr oedd llai o doll ar frâg yn *District* Sir Flint, (yr hon sydd yn cynnwys Sir Flint, rhan o Sir Ddinbych, rhan o Sir Gaernarfon, a holl Sir Fon,) yr oedd llai meddaf o doll brâg yn cael ei dalu yn y *District* hwn yn y flwyddyn yn diweddu Mai 1, 1837, o ***un mil arddeg, a phum cant a saith o bunnau,*** (£11,507) na'r flwyddyn o'r blaen yn diweddu Mai 1, 1836!!! Yn awr gofynaf i ryw Gyfrifydd cyflym, a fydd efe cystal a hysbysu drwy Gyfrwng y Drysorfa, Pa faint llai o frâg o ran mesur a gwerth sydd yn cyfatteb i doll o'r swm uchod!

*Treffynnon* WILLIAM PIERCE.

### SYLFAEN GOBAITH

***Yr hen Gymry, yn yr oesoedd tywyll gynt.***

Oddeutu deng mlynedd a deugain yn ol, neu chwaneg, fel yr oedd y diweddar Barch. John Roberts, gynt o Langwm, a chyn hyny o Lanllyfni, yn dychwelyd o bregethu am ddau ar gloch yn mhlwyf Llandwrog; ar fin y ffordd gwelai hen lances yn sefyll yn ei ddysgwyl heibio. Yr oedd y llances hon o nifer yr ychydig ag oedd wedi eu goleuo am eu cyflwr tragywyddol, ac wedi gweled mawr werth yn Nghrist, Ceidwad pechaduriaid.

Dymunodd am gael siarad gair â Mr. John Roberts. Dywedodd wrtho fod ei thad yn sal iawn, ac yn debyg o farw, yn gorwedd yn ei dŷ yn lled agos i'r ffordd, a'i bod yn ofni yn fawr ei fod mewn cyflwr annharod i farw, oherwydd ei fod mor dywyll ac anwybodus. Wrth adrodd hyn, hi a wylai yn dost ac a ddymunai yn daer ar Mr. J. Roberts i ddyfod i'r tŷ i ddweud gair wrth yr hen wr, ac i weddio drosto; ac yn gyffelyb i'w Arglwydd o'i flaen efe yn ewyllysgar a aeth gyda hi i'r tŷ. Yn y fan arweiniwyd ef i ystafell y gwr claf, yr hwn oedd yn hen iawn.

Wele, eb J. Roberts wrtho, yr ydych yn bur sal, druan. Ydwyf, medd yntau. Chwi fyddwch yn meddwl em farw, mae yn debyg, eb y pregethwr; byddaf, eb yntau. A fydd arnoch ofn marw weithiau? medd y pregethwr. Na fydd ddim, eb yr hen wr! Felly yn wir, peth mawr iawn ydyw symmud ofn marw o feddwl dyn, medd J. R. Yr ydych chwi felly yn meddwl yn sier, mae yn debyg, y byddwch chwi yn y nefoedd ar ol marw? Ydwyf, medd yntau. Ar ba beth y mae sail eich gobaith chwi am nefoedd ar ol marw? gan eich bod mor hyderus, medd J. R. Wel, mi a ddywedaf i chwi, medd yr hen wr: 'Nid oes arnaf fi ddim i neb—yr ydwyf wedi talu i bawb ei eiddo yn onest, fel nad oes neb yn fy ngofyn i am un geiniog: ac mi geuais bob llidiart ar fy ol, ar hyd fy oes.* Synodd y pregethwr yn fawr wrth ei glywed yn adrodd am sail ei obaith am fywyd tragwyddol, ac yntau mor agos i fin y byd mawr.

Efe a geisiodd ddangos iddo ei fod ef yn bechadur, ac fel y cyfryw fod yn rhaid iddo gael cyfiawnder Crist yn wisg am dano i ymddangos ger bron Duw. Bod cyfiawnder, gonestrwydd, a gweithredoedd da yn angenrheidiol fel ffrwythau ffydd; ond nad oes un sylfaen gobaith i bechadur ond yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd yr Arglwydd Iesu dros bechaduriaid pan fu yma yn y byd, &c. Ond nid oedd yr hen wr druan yn deall dim o'i ymadroddion.

Fe ddarllenodd y pregethwr Bennod o'r Bibl, ac a aeth i weddi wrth erchwyn ei wely. Ond yr oedd efe wrth weddio, o ran ei deimladau, fel pe buasai mewn niwl a thywyllwch, bron yn methu cael geiriau i'w hadrodd wrth Dduw yn achos yr hen wr. Yn y dull hwn bu gorfod arno ymadael, a myned i'w ffordd, yn drist ei feddwl o achos dirfawr dywyllwch a chaledwch yr hen wr. Adroddodd Mr. J. Roberts yr hanesyn hwn wrth yr ysgrifenydd. CYHOEDDWR.

* Yn yr amseroedd hyny, byddai dyn a fai mewn malais yn erbyn ei gymmydog, yn arferol o fyned allan yn y nos, ac agoryd llidiart maes ei gymmydog i ollwng yr anifeiliaid i'r ŷd, i'r perwyl o ddrygu ei gymmydog. Ac yn y gwrthwyneb, fe fyddai dynion cyfiawn a gonest yn arferol o ofalu wrth fyned trwy bob llidiart, am fod yn sier o'i gau ar eu hol, rhag i anifeiliaid y naill gymmydog ddrygu maesydd cymmydog arall, neu i anifeiliaid gwr ddrygu cynnyrch ei faesydd ei hun.

---

## "YMHOB DIM DIOLCHWCH."—1 Thes. v. 18.

Mewn Cymdeithasfa yn y Wyddgrug amryw flynyddoedd yn ol, anfonodd y brodyr Mr. John Williams o Lanergain, ac ysgrifenydd y llinellau hyn, i Manchester, i gynnyg cynnorthwyo y brodyr yno i wneuthur gwell trefn ar gynnaliaeth pregethwyr a fyddent yn arferol o fyned yno i lafurio yn mhlith y Cymry ar y Sabbathau ac amseroedd ereill. Felly hwy a aethant, ac a gyflawnasant yr amcan daionus gyda siriol-deb mawr.

Ar eu dychweliad adref, ar ben y Cerbyd, ymddangosai yr hin yn gysurus i ni, gan ei bod yn sych uwch ben, a ninnau o'r tu allan i'r cerbyd. Dywedai J. Williams wrth yr ysgrifenydd, 'Oni ddylem ni fod yn ddiolchgar iawn i'r Arglwydd mawr, am ei bod yn hin mor hyfryd, yn lle bod yn wlaw ac yn anghysurus arnom mewn lle fel hyn?' Dylem yn ddiau, eb finnau.

Ymhen o awr i ddwy, dyma hi yn dechreu gwlawio arnom, ac yn parhau i wlawio am gryn dair neu bedair milldir. Ebe John Williams, 'Ni a ddylem gydnabod daioni yr Arglwydd yn ei diriondeb mawr tuag attom, am nad ydyw hi yn wlaw trwm, i'n gwlychu trwy'r cwbl at y croen: nid yw hwn ond gwlaw mân a thyner iawn: ni wna hwn ddim niwed i ni.' Na wna niwed yn y byd, eb finnau. Ond, J. Williams, eb fi, beth pe bai hi yn fras-wlaw mawr i'n gwlychu drwy ein holl ddillad, a ninnau cyn belled oddi cartref; beth ddywedech chwi yn y cyfryw amgylchiad? Wel, eb yntau, mi a adroddaf i chwi fy hanes mewn amgylchiad felly. 'Un tro, pan oeddwn yn myned ar fy nhraed i Gymdeithasfa Rhuthun, fel yr oeddwn ar lechwedd Gogleddol y mynydd, ger llaw Moel famau, torrodd i wlawio yn drwm iawn; a minnau heb gôb am danaf, na chyfle i lechu. Teimlais fy hun yn tueddu i rwgnach: yna sefais, a throais fy llygaid tua thref Flint, a dywedais ynof fy hun, Mae yn y carchar acw yr awr hon, ddynion wedi eu cau i fynu yno am ddyledion, heb fodd i fyned i Gymmanfa Rhuthin i wrando yr Efengyl, ond dyma fi a'm traed yn rhyddion heb neb yn fy ngofyn, nac yn fy attal: dyma fi hen bechadur mawr yn wr rhydd! Cwympais ar fy ngliniau ar garreg ynghanol y curwlaw mawr, i ddiolch i'r Arglwydd am ei fawr ddaioni a'i aml drugareddau.'

Fe fu profiad y gwr duwiol hwn yn addysg dda i mi, i beri i mi farnu y dylem ystyried, bob amser, pa mor isel bynag y byddom fod ereill o'n cyd-greaduriaid yn is na ni; a pha mor ofidus a phoenus bynag y byddom yn y byd hwn, ein bod ni yn cyfiawn haeddu ei bod hi yn waeth arnom. Gobeith-

iwyf y bydd i ddarllenwyr yr hanesyn hwn gael y gyffelyf fendith drwy ei ddarllen.

CYHOEDDWR.

---

**ARDYSTIAD**

*Ei Mawrhydi, Victoria, Brenhines Brydain Fawr a'r Werddon, ar ei mynediad i'r Deyrngadair.*

Ar ddydd mawrth, Mehefin 20, y bu farw y Brenin, ac yn foreu yr un dydd, dygwyd y newydd galarus i Aeres y Goron, i Lys Kensington, yr hon yn ddioed a anfonodd am Arglwydd Melbourne, y Prif Swyddog, yr hwn a arosodd am ryw hyd yn ei phresennoldeb. Wedi iddo ymadael o'i gwyddfod, efe a anfonodd at holl aelodau y Cyfrin-Gynghor i ddyfod at Aeres y Goron yn ddioed i'r Llŷs; ac felly y daethant, dros gant o nifer, ynghyd âg Arglwydd Maer Llundain, a nifer o Genhadau dinas Llundain yn eu Gwisgoedd Swyddawl.

Darfu i'r rhan fwyaf o'r Cyfrin-Gyngor yn y fan dyngu llw o ffyddlondeb i'r Frenhines ieuanc fel aelodau Anrhydeddus ei Chyfrin Gynghor-hi.

Yna mewn Ystafell arall, darfu i Aelodau y Teulu Brenhinol, Archesgob Canterbury, Archesgob York, a'r Aelodau ereill o'r Cyfrin Gynghor, yr Arglwydd Maer, a Chenhadau Dinas Llundain, law-arwyddo Cyhoeddiad o ddyfodiad y Frenhines Victoria i'r Orsedd.

Ac yna y Frenhines a wnaeth Ardystiad Ffurf Lywodraethol ar ei dyfodiad i'r Orsedd, fel y canlyn:—

'Y gofidus a'r llym-dost golled a gafodd y genedl, yn marwolaeth ei Fawrhydi, fy anwyl Ewythr, a barodd ddisgyn arnaf fi y ddyledswydd o weinyddu llywodraeth yr Ymerodraeth hon. Disgynodd y rhwymedigaeth arswydlawn hwn arnaf mor ddisymwth, a minnau mor ieuanc, fel y buaswn yn teimlo fy hun yn hollol soddi dan y baich, oni bai fy mod yn cael fy nal i fynu gan obaith y bydd i Ragluniaeth Duw, yr hon a'm galwodd i at y gorchwyl hwn, roddi i mi nerth i'w gyflawni, ac y bydd i mi gael yn uniondeb fy amcanion, ac yn fy awyddfryd am wneuthur daioni i'r Wladwriaeth, y cyfryw gynnaliaeth ac adgyfnerthiad y rhai a berthynant yn gyffredin i oedran addfettach, ac i brofiad helaethach.

'Yr wyf yn gosod fy ymddiried diysgog ar ddoethineb y Senedd, ac ar ffyddlondeb a serchawgrwydd fy mhobl. Yr wyf hefyd yn ei chyfrif yn fantais neillduol fy mod i ddilyn y cyfryw Benllywydd ag y bu i'w ofal gwastadol am amddiffyn iawnder a rhyddid ei ddeiliaid, a'i ddymuniad am welliant ar y cyfreithiau a gosodiadau y wladwriaeth, beri bod ei enw yn wrthrych o serchawgrwydd a bri.

'Wedi cael fy nwyn i fynu yn Mrydain dan dyner a goleuedig ofal y fam fwyaf serchoglawn, mi a ddysgwyd o'm mebyd i barchu a charu trefn llywodraeth fy ngwlad enedigol.

'Fy astudiaeth ddibaid gaiff fod am ddal i fynu y Grefydd ddiwygiedig fel y mae yn sefydledig drwy gyfraith, gan sicrhau ar yr un pryd gyflawn ryddid crefyddol i bawb; ac mi yn ddiysgog a amddiffynaf hawl, ac a ddygaf ymlaen hyd eithaf fy ngallu ddedwyddwch a llwyddiant, pob dosparth o'm deiliaid.'

Wedi hyny, dymunodd Arglwyddi y Cyngor yn ostyngedig ar ei Mawrhydi roddi caniattad i wneuthur Ardystiad ei Mawrhydi yn gyhoeddus, yr hyn yn y modd rhadlonaf a ganiattaodd. C. C. GREVILLE.

Yn awr, nyni a ofynwn i'n lliosog ddarllenwyr, a oedd modd disgwyl cael Ardystiad mwy addas, cyflawn, caruaidd a chadarn gan etifeddes coron Brydain na'r un uchod? Pa fodd y gellid ei ddiwygio neu ei wellâu? Onid yw yn gysurus iawn weled Brenhines mor ieuanc a deunaw oed, yn myned dan goron Brydain gyda'r fath Ardystiad cynnwysfawr a chymmwys yn ei genau, a phob argoelion fod y cyfryw yn tarddu o'i chalon gynnes a serchiadol at ei lliosog ddeiliaid, ac yn argoeli mor amlwg o uniondeb ei hamcan, a chywirdeb ei dybenion wrth ymaflyd yn y deyrnwialen lywodraethol.

Mae yr ystyriaeth o hyn yn uchel alw arnom i gydnabod gyda diolchgarwch law rasol yr Arglwydd yn nhrefn ei Ragluniaeth ddaionus yn goruwch reoli pob peth er cysur a dedwyddwch Brydain aml ei breintiau. Pwy sy mor ddall heb weled, ac mor galed heb ystyried llaw yr Arglwydd yn cyddrefnu pethau, fel ag i beri fod ein Brenhines newydd ddyfod i'w hoed, pan gymmerwyd ein diweddar radlonaf Frenin i ffordd yr holl ddaear?

Gwelsom Portugal, ar farwolaeth y Brenin, yn gosod i fynu Aeres ieuanc y goron, a'i Hewythr Don Miguel yn codi gwrthryfel, ac yn peri rhyfel gartrefol a thywallt gwaed am flynyddoedd.

Gwelsom wedi hyny Spaen yn gosod i fynu Etifeddes ieuanc y goron, a'i Mam yn Rhaglywyddes, a'i Hewythr Don Carlos yn codi gwrthryfel maith a gwaedlyd iawn, yr hwn sydd yn parhau hyd y dydd hwn: ac ni wyddys pa bryd y dybena.

Ond wele ein Brenhines ieuanc ni yn esgyn i'r Orsedd mewn heddwch, a'i hymddiried yn Rhagluniaeth Duw am gynnorthwy i reoli ei lliosog ddeiliaid, yr hon Ragluniaeth a gydnabyddai, oedd yn ei galw i ymaflyd yn ei gorchwyl pwysfawr ac arswydlawn. 'Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, llawenyched y ddaear, a gorfoledded ynysoedd lawer.'

Dydd mercher, Meh. 21, cyhoeddwyd y Frenhines yn ol yr arferiad, mewn amryw barthau o leoedd amlwg dinas Llundain. Daeth hi a'i mam mewn cerbyd i St. James's Palace, pryd y darfu i'r Cyhoeddwr ei chyhoeddi hi yn Frenhines Brydain fawr

a'r Werddon yn wyneb y Llys mawr hwnw, pan oedd miloedd lawer o bobl yn bresenol. Gwelid cannoedd o'r Boneddigesau mwyaf y deyrnas yn sefyll i edrych ac i wrando yn y ffenestri ymhob man o fewn cyrhaedd golwg. Safodd y Frenhines, yn wyneb ffenestr ëang a chyhoeddus y Llys. Ac ar ei hymddangosiad, ysgydwai cannoedd o'r Boneddigesau eu llaw-lieiniau gwynion o orfoledd a llawenydd, a thynai y meibion eu hetiau oddiam eu penau gan floeddio o orfoledd â llawenydd mawr dros ben. A hithau wrth weled y fath serchawgrwydd a ffyddlondeb, a hidlai ddagrau yn llif, ac a sychai ei hwyneb â'i llaw-liain. Y Boneddigesau hwythau wrth weled hyn, a meddwl am ei hieuenctyd yn wynebu swydd mor oruchel, a dywalltent ddagrau oddiar gydymdeimlad a serchawgrwydd at ei rhadlonaf Fawrhydi. Y Frenhines wrth weled yr arwyddion o hyn, yn eu gwaith yn sychu eu llygaid â'r llieiniau oedd yn eu dwylaw, a ymgrymai iddynt amryw weithiau, ac yna hi a giliai yn ol i'r ystafell o'u golwg.

Dydd Iau, Meh. 22. Dyg Arglwydd Melbourne genadwri oddiwrth y Frenhines i Dŷ yr Arglwyddi. Ac ar yr un dydd dyg Arg. John Russell yr un genadwri i Dŷ y Cyffredin. Cynnwysai y genadwri ymhlith pethau eraill, gyfarwyddyd am i'r Senedd brysuro i orphen y gorchwylion gwir angenrheidiol ag oedd mewn llaw, a pheidio dwyn dim newydd i mewn, fel y gellid rhoi pen ar Eisteddiad y Senedd mor fuan ag y byddo modd, i'r dyben i ail ddewis Aelodau y Senedd yn ol arferiad y wlad ar ol marwolaeth y Penaeth.

Darllenwyd y genadwri yn y ddau Dŷ, a chytunwyd i anfon Cyfarchiad caredig at y Frenhines, ac felly y gwnaethant. Yna y Frenhines a anfonodd yr attebiad i'r cyfarchiad yn yr ymadroddion hyn:—

VICTORIA Y FRENHINES.

'Myfi a dderbyniais gyda mawr foddhad eich Cyfarchiad ffyddlawn a serchiadol. Y tristwch a adroddasoch oherwydd marwolaeth y diweddar Frenin, a'r dystiolaeth a roddasoch am ei rinweddau, ydynt yn hollol gydunol â'm teimladau i fy hun.

'Yr wyf yn dychwelyd i chwi fy niolchgarwch am sicrwydd o'ch ymlyniad ffyddlawn wrth fy mherson, ac yr wyf yn cyduno â chwi mewn gweddi daer ar yr Hollalluog Dduw am iddo nerthu a chyfarwyddo fy nghynghoriadau.'

---

Y FRENHINES VICTORIA.

Yn fuan wedi marwolaeth y Brenin, ys grifenodd y Frenhines lythyr cydymdeimladol a charedig at y Frenhines Waddolog, (weddw), i'w chysuro hi, ac i adgoffa iddi ei hymgais dibaid a diflino i weinyddu cysuron i'w diweddar Frenhinol Briod, ac mor ddiolchgar oedd hi, a'r wladwriaeth yn gyffredinol, iddi am hyny, &c.

Wedi gorphen y llythyr, cyfarwyddodd ef fel hyn, 'At y Frenhines, Adelaide.' Crybwyllodd rhyw un o'r teulu wrthi, mai hi ei hun oedd y Frenhines yn awr; onid gwell fuasai iddi gyfarwyddo ei llythyr fel hyn; 'At y Frenhines Waddolog (weddw) Adelaide.' 'Na,' eb hithau, 'mi wn I mai gweddw yw, ond nid y fi gaiff fod y gyntaf i goffâu hyny iddi.'

## Hysbysiadau Crefyddol.

*Casgliadau a wnaed gan y Cynulleidfaoedd, ymgynnulledig mewn pedwar o Gapelydd perthynol i'r Methodistiaid Calvinaidd yn Liverpool, o Mai* 1, 1836, *i Mai* 1, 1837.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Tuag at y Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor ..... ...... | | | | £ 184 | 12 | 6½ |
| „ at Gymdeithas Genhadol Gartrefol ........ | £ 40 | 4 | 4 | 75 | 5 | 7 |
| „ Gan Gymdeithas yr Ieuengctyd at yr un ... | 35 | 1 | 3 | | | |
| „ at Gymdeithas Genhadol dramor ............ | | | | 114 | 11 | 2¼ |
| Casgliad Sulgwyn 1836, at dalu dyled y Capelydd.. | £ 120 | 16 | 10 | 764 | 7 | 2¼ |
| y Gymdeithas o Lwyr dalu dyled y Capelydd.. | 643 | 10 | 4½ | | | |
| Tuag at adeiladu Capel yn Dublin, a thraul lle addoliad a gynhelir yn Sir Gaer.......... | | | | 23 | 7 | 10 |
| Casgliadau Chwarterol at draul yr achos yn gyffredinol .......... | | | | 51 | 9 | 5¼ |
| „ „ at Gynhaliaeth y tlodion .......... | | | | 141 | 3 | 5¼ |
| „ „ at Gynorthwyo tlodion mewn Cyfyngder yn Scotland .. | | | | 19 | 5 | 10½ |
| „ „ at Gynhaliaeth Ysgol ddyddiol i blant y Cymry yn Liverpool .......... | | | | 35 | 8 | 10 |
| „ „ at draul yr Ysgol Sabbathol (gan y deiliaid) ........ | | | | 17 | 1 | 9½ |
| Ymysg yr Ysgolion Sabbathol at yr *Hibernian Society* ........ | | | | 4 | 12 | 6 |
| Y cyfan swm .......... | | | | £1431 | 6 | 3 |
| Mwy wedi cael ei gyfranu y flwyddyn hon na'r flwyddyn o'r blaen o | | | | £648 | 6 | 4 |

---

COF-RESTR

O Enwau a chartrefleoedd Gweinidogion a Phregethwyr Methodistiaid Calfinaidd perthynol i Gyfarfod Misol, Sîr Aberteifi; sef y rhai sydd yn awr yn fyw, a'r rhai fuont feirw, ac a aethant i orphwysfa.

*Y Gweinidogion a fuont feirw.*

Oed 'yn marw.

Y Parch. Danl. Rowlands, Llangeitho 77
„ D. Jenkins, Llanddewibrefi.. 25
„ Lewis Lewis, Carrog....... —
„ John Williams, Llangeitho.. 82
„ John Hughes, Llangeitho.... 54
„ Ebenezer Morris, Twrgwyn.. 56
„ Ebenezer Richards, Tregaron 56
„ David Evans, Llannon...... 56
„ Evan Rees, Llannon........ 59

*Y Pregethwyr a fuont feirw.*

Mr. Griffith Lewis John, Llangeitho
„ Evan Jenkin Rees, ditto
„ David Lewis, ditto
„ William Richards Llwyd, ditto
„ Daniel Jenkins, ditto
„ Evan Evans, ditto
„ John Jones, ditto
„ Thomas Jenkins, ditto
„ John Jones, Tregaron
„ Theophilus Jones, ditto
„ John Edwards, ditto
„ Thomas Grey, Abermeiric
„ David Morris, Twrgwyn
„ Jenkin Morgan, Lledrod
„ William Davies, Bontrhydfendigaid
„ John Edwards, Llanddewi Brefi
„ David Edwards, Llangwyryfon
„ Lewis Lewis, Pen y gara
„ David Davies, Llanbedr
„ John Griffith, Pennant
„ John Davies, Ffôs ffin
„ Nathaniel Williams, Llannon
„ David Jenkins, Pensarn
„ Edward Williams, Llangwyryfon
„ John Evans, Pennant
„ David Thomas, Llanrhystyd
„ Evan Jones, Lledrod
„ David Williams, Swydd ffynnon

*Y Gweinidogion sydd yn awr yn fyw.*

Y Parch. John Thomas, Aberteifi
„ Daniel Evans, Capel Drindod
„ Edward Jones, Aberystwyth
„ Evan Evans, Aber
„ David Jenkins, Llanilar
„ Jenkin Davies, Pensarn
„ John Jones, Llanbedr

*Y Pregethwyr sydd yn awr yn fyw.*

Mr. John Williams, Llangeitho (98 ml. oed)
„ Richard Jones, ditto
„ Evan Jones, ditto
„ Daniel Jones, ditto
„ Lewis Edwards, Penllwyn
„ John Jones, Borth
„ Isaac James, Pengarn
„ Rees Jones, Lledrod
„ John Jones, Capeldewi
„ Thomas Green, Aberauron
„ Joseph Rees, Capel Drindod
„ John Hughes, Tregaron
„ David Thomas, Llanddewi-Brefi
„ John Edwards, Elim
„ Evan Edwards, Blaenpenal
„ Thomas Lewis, Pennant
„ John Jones, Blaenannerch
„ John Jones, Penymorfa
David Owen, ditto

Mr. Daniel Davies, Aberporth
„ John Rees, Twrgwyn
„ James Davies, Penymorfa
„ Edward Mason, Blaenplwyf
„ David Jones, Llanilar
„ William Williams, Aberteifi
„ Rees Jones, Swydd ffynnon
„ Joseph Jones, Aberauron
„ Thomas Evans, Llanddewi'r Aberarth
„ John Jenkins, Blaencefn

*Trefn y Teithiau Sabbathol.*

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Llangeitho | Llwynpïod |
| 2 | Aberteifi | Llechryd |
| 3 | Pensarn | Porthnewydd |
| 4 | Llannon | Rhywbwys |
| 5 | Graig | Tretaliesin |
| 6 | Aberffrwd | Sïon |
| 7 | Swydd ffynnon | Rhyd fendigaid |
| 8 | Aberauron | Llanddewi-Aberarth |
| 9 | Blaenannerch | Blaenafon |
| 10 | Abermeiric | Maesfelin |
| 11 | Pen Garn | Y Borth |
| 12 | Tabor | Bethel |
| 13 | Cwmystwyth | Ysbytty |
| 14 | Soar | |
| 15 | Aberporth | Penymorfa |
| 16 | Aberystwyth | Gosen |
| 17 | Twrgwyn | Salem |
| 18 | Ffôs ffin | Llanarth |
| 19 | Blaenpenal | Bronnant |
| 20 | Cynon | Llanafan |
| 21 | Penllwyn | Capeldewi |
| 22 | Elim | Blaenplwyf |
| 23 | Tregaron | Llanddewi-Brefi |
| 24 | Llanbedr | Pensheding |
| 25 | Pennant | Bethania |
| 26 | Carmel | Rhydlwyd |
| 27 | Ponterwyd | Capel Trisaint |
| 28 | Llandysyl | Waenyfor |
| 29 | Capel Drindod | |

O. Y.—Y Parchedig James Hughes, John Lewis, a William Williams, o Lundain, oeddynt o Sir Aberteifi.

*Enwau Gweinidogion yn yr Eglwys Sefydledig, y rhai fuont yn Gweinidogaethu yn Capeli y Methodistiaid Calfinaidd, yn Nghymru, ynghyd a'u hoedran yn marw.*

Y Parch. Danl. Rowlands, Llangeitho 77
„ Howel Davies, Sir Benfro.. 53
„ Wm. Williams, Bantycelyn 74
„ Peter Williams, Caerfyrddin 76
„ David Jones, Llangan...... 75
„ David Griffiths, Nefern... 80
„ Nath. Rowland, Sir Benfro 82
„ Thomas Charles, Bala..... 59
„ Simon Lloyd, Bala........ 80
„ Wm. Davies, Castell Nedd.. 60
„ D. Jenkins, Llanddewi-Brefi 25
„ William Jones, Llandudoch 70
„ John Williams Llangeitho.. 82
„ John Hughes, Llangeitho .. 54
„ John Williams, Pantycelyn 74
„ Christr. Basset, Aberddawen 33

Y Parch. Lewis Lewis, Carrog...... —
„ Hezeciah Jones, Sir Forganwg —
„ Daniel Jones, Sir Forganwg —

Mr. Williams, Llandilo'r fan..... —
„ Davies, Conwil.............. —
„ Davies, Llanarthney......... —

*** Yr holl Weinidogion uchod oeddynt o'u Dechreuad, o'r deheudir; oud y Parch. S. Lloyd, Bala.

Nid oes ond Tri Gweinidog o'r Eglwys Sefydledig yn Gweinidogaethu yn bresennol yn mhlith y Methodistaid Calfinaidd yn Nghymru. Sef, y Parch. Mr. Evans, Crossinn, Mr. Howells, Sir Forganwg, a Mr. Lloyd, Carnarfon.

## Helyntion yr Amseroedd.

### Y SENEDD YMERODROL.

Mae y Ddau Dŷ yn prysuro i orphen y gorchwylion sy ganddynt mewn llaw, ac felly i dynu pen ar yr Eisteddiad, trwy fwrw ymaith holl Ysgrifau dyrys a phwysfawr, a'u gadael hyd yr Eisteddiad nesaf, gan y Senedd newydd. Mae y Frenhines wedi ail-ddodi yn eu lleoedd yr holl Swyddogion ag oedd gan ei Hewythr, y Brenin, o'i blaen; yr hyn sydd yn arwyddo y bydd iddi ddilyn ei siampl ef, a dilyn ei ol ef. Mae hyn yn naturiol iawn iddi hefyd, am ei bod yr un olygiadau âg ef, ac mor nodedig hoff o hono, yn ei fywyd, ac yntau o honi hithau; a bod ganddi, a chan y Wladwriaeth yn gyffredinol, a fath barch i'w goffadwriaeth ef.

#### GODORRIAD Y SENEDD.

Dydd llun, Gorph. 17, godorrwyd y Senedd, gan y Frenhines Victoria, yn bersonol. Am ddau ar gloch brydnawn, cychwynasant o'r Llŷs Brenhinol tua Thŷ yr Arglwyddi, a chyrhaeddasant ynoerbyn ugain munud cyn tri. Yr oedd y Frenhines, wedi ymwisgo mewn *satin* gwyn, yn y Cerbyd Brenhinol, yn cael ei dynu gan wyth o Geffylau. Eisteddai gyda hi yn y Cerbyd Iarll Abermarle, ac Iarlles Mulgrave. Yr oedd yn canlyn bedwar o Gerbydau, bob un yn cael ei dynu gan chwech o Geffylau. ynghyd âg amryw swyddogion ar draed, yn y gorymdaith arbenig arddercho hon. Yr oedd miloedd lawer o bobl o bob gradd wedi llinellu o bob tu y ffordd ar ei hyd, at y Senedd dŷ.

Wedi dyfod o'r Frenhines i Dŷ yr Arglwyddi, ac eistedd o honi ar yr Orsedd, cyfarchodd Cadeirydd y Tŷ hi, yn barchus iawn.

Yna y Frenhines a ddarllenodd yr Araeth oddiar yr Orseddfainc, yn yr ymadroddion canlynol:—

#### ARAETH Y FRENHINES.

"FY ARGLWYDDI A'M BONEDDIGION."—Yr oeddwn yn awyddus i ymaflyd yn y cyfleusdra cyntaf i eich cyfarfod, fel y byddai i mi ail-adrodd yn bersonol fy niolchgarwch diffuant am eich cydalar â mi ar farwolaeth ei ddiweddar Fawrhydi, ac am eich mynegiadau o ymlyniad a serchawgrwydd â'r rhai y'm cyfarchasoch fi ar fy esgyniad i'r orsedd. Yr wyf yn awyddus iawn i adnewyddu sicrwydd am fy mhenderfyniad i ddal i fynu y Grefydd Brotestanaidd, fel y mae yn sefydledig drwy gyfraith; i ddiogelu i bawb gyflawn ymarferiad o ryddid cydwybod; i amddiffyn rhyddid, a dwyn ymlaen ddedwyddwch, pob dosparth yn y wladwriaeth.

'FONEDDIGION O DY Y CYFFREDIN.'—Yr wyf yn ddiolchgar i chwi am y cynnorthwyon haelionus, a ganiattasoch at wasanaeth cyffredin y flwyddyn, yn gystal ag am y darpariaeth a wnaethoch i gyfarfod y taliadau arferol o fod yn ofynol yn rhestr y wladwriaeth.

'Mi a roddaf gyfarwyddyd am fod i draul y wladwriaeth yn ei holl ganghenau i gael eu gweinyddu gyda'r cynnilwch mwyaf.

'FY ARGLWYDDI AM BONEDDIGION,—Wrth ymadael a'r Senedd hon, yr wyf yn dychwelyd i chwi fy niolchgarwch am yr awyddfryd a'r dyfalwch a ddangosasoch yn eich ymroddiad at wasanaeth cyhoeddus y wladwriaeth.

'Er i'ch llafur, yn annisgwyliadwy, gael ei rwystro drwy y dygwyddiad galarus a gymmerodd le, yr wyf yn hyderu y bydd iddynt gael yr effaith dymunol o arwain i gynnydd gwneuthuriad deddfau yn y Senedd newydd. Yr wyf yn gweled, er fy moddlonrwydd, eich bod wedi dwyn i ben rai mesurau buddiol, ymhlith y rhai yr wyf yn cyfrif o fawr lesâd, gwelliant ar y cyfreithiau cospawl, a lleihad nifer y prif gospedigaethau. Yr wyf yn llawen ystyried yr ysgafnhad hwn yn ngerwinder y gyfraith, fel dechreuad ffynadwy fy llywodraeth.

'Yr wyf yn esgyn i'r orsedd gyda theimlad dwys o'r rhwymedigaeth a osodir arnaf; yr wyf yn cael fy nghynnal gan dystiolaeth fy nghydwybod o gywirdeb fy nybenion, a thrwy ymorphwys ar amddiffyniad yr Hollalluog Dduw. Fy ngofal a gaiff fod am gyfnerthu ein Gosodiadau, Gwladol ac Eglwysig, drwy welliadau pwyllog; lle bynag y byddo gwelliant yn ofynol, a gwneud yr hyn oll a allwyf tuag at dawelu a lleihau dygasedd ac anghydfod.

'Gan weithredu ar yr egwyddorion hyn, myfi, ar bob achlysur, a edrychaf yn hyderus ar ddoethineb y Senedd, a serchiadau fy mhobl, y rhai a ffurfiant wir gynnaliaeth anrhydedd y goron, ac a sicrhant gadernid y Llywodraeth.'

Yna yr Arglwydd Ganghellwr, a ardystiodd fod y Senedd i'w gohirio hyd ddydd iau, Awst 10fed nesaf; ac 'yna fe'i cynnelir hi yma.'

Wedi hyny, daeth ei Mawrhydi y Frenhines, i lawr oddiar yr orsedd—Ei hardderchog Fam, Duces Dent, yr hon oedd yn bresennol yr holl amser, ac yn gwylio gyda'r pryder mwyaf a thynerwch mam ar yr holl ymdriniaeth, a'i dilynodd hi yn y fan. Y Frenhines, wrth ymadael o Dŷ yr Arglwyddi, a ymgrymodd gyda gwên dirionaf i amryw o'r Arglwyddesau ag oeddynt yno yn bresennol.

Ar ol i'r Frenhines fyned i mewn i'r

Cerbyd Brenhinol, y Cydgor a ddychwelasant yn yr un drefn yn ol i'r Llŷs Brenhinol.

Yr oedd y bloeddiadau gorfoleddus ar hyd yr holl ffordd, gan y miloedd edrychwyr, yn oruchel a syfrdanllyd iawn; yr oedd yr hin mor hyfryd; ac ymddangosiad gorwych Brenhines yn myned i ohirio y Senedd yn beth mor newydd—ac am gylchiadau dedwyddol y Frenhines ieuanc yn nghychwyniad ei theyrnasiad mor lewyrchus, fel yr ymgasglodd meibion a merched o bob gradd a sefyllfa yn aneirif i weled yr olygfa—ac fe aeth y cyfan drosodd heb un math o ddygwyddiad annghysurus.

---

CADWRAETH Y SABBATH.

Wedi i Ysgrif am welliant ar gadwraeth y Sabbath gael ei ddarllen yr ail waith yn Nhŷ y Cyffredin, gan Syr Andrew Agnew, cyn iddi yn gyflawn fyned drwy y Tŷ, bu farw y Brenin. Ar yr achlysur galarus yma, dewisodd y Boneddwr diflino hwn, fwrw yr Ysgrif heibio, ac ail ddechreu etto ar ei orchwyl yn eisteddiad y Senedd newydd ar ol yr etholiad presennol, gan hyderu y bydd etto ychwaneg y pryd hyny o Aelodau y Senedd yn ei bleidio.

---

**CLADDEDIGAETH Y BRENIN.**

Nos sadwrn, Gorphenaf 8, y claddwyd gweddillion marwol ei Fawrhydi, ein diweddar ardderchog Frenin William y IV., yn Naear-gell Frenhinol Capel St. George, dan yr allor, yn Windsor. Ei Frawd, Duc Sussex oedd y prif alarwr.

Ei uchder Brenhinol, Duc Sussex, y prif alarwr, a wisgid â chlog ddu laes, a Seren Urdd y Gardys yn addurn-wnïedig arni. Ei Uchder Brenhinol Tywysog George o Cambridge, mewn clog ddu laes, gyda chyffelyb urdd, a'i dilynai. Wedi hyny Duc Saxe Meningen, H. G.; Tywysog Meningen; Tywysog Ernest, o Hesse Philoopothall Barchfeld, C. C. B.

Yn eu dilyn, Gweinidogion y Llywodraeth, Prif Swyddwyr y Teuluwriaeth, yr Uchel-Fonedd, Esgobion, Y cyfrin Gynghorwyr, y Barnwyr, Swyddogion y Gyfraith, &c. &c. &c.

Ar ddyfodiad y Cydgordaith i'r Capel, derbyniwyd y Corph Breninol gan y Dëon a'r Côr-Beriglorion. Yr oedd hi erbyn hyn yn unarddeg ar gloch y nos. A chyn hanner nos, gosodwyd y Corph yn ei le: fel erbyn hanner nos, yr oedd yr holl wasanaeth a'r seremonïau sobr wedi dybenu.

Yr oedd yr holl fasnachdai yn Llundain yn gauad ar hyd y dydd Sadwrn; ac felly yn Nghaerlleon, ac yn gyffredinol drwy y deyrnas.

Yr oedd claddedigaeth y Brenin mor barchus, a chymmaint o fri yn cael ei ddangos iddo, a chymmaint galar ar ei ol ag un Brenin a gladdwyd yn Mrydain.

---

Y CWPAN ERCHYLL, NEU Y GWYDRYN MEDDWAWL.

Y cwpan erchyllaidd—pa ŵr sydd a'i gwâd ?
Yw addurn cwmnïaeth, ac eilun y wlad ! ! !
Mae swyn ,o'i mewn yn drysor llawn,
Sy'n gwneyd y chwerw yn felys iawn ! ! !
Un llun â'r cwpan hwn yw oes
Y sawl a'i harfer hi heb loes :—
Genau 'i chwant yn eang sydd,
A'r gwaelod sydd yn gul a phrudd.
Mae seirph yn troelli dan y grawn,
Yn chwareu yn eu sudd yn llawn.
Os nawdd hufen ar ei wedd,
Y mae gwaddod yn y medd ;
Os hyfryd yw o flas a sawr,
Mae gwenwyn dipyn is i lawr.
Cyn hir y daw y dydd,
Yr adeg boenus brudd,
Ceir sychu blas
Y cwpan cas—
O'r genau mwy
Yn uffern dân,
Dan eitha clwy
Yn ddiwahan.
Dwyn
cwyn
caeth
aml
saeth
siom,
Wna cymmysg wîn y cwpan hwn,
O farnau Duw am byth yn uffern drom,
Y wlad ofnadwy sydd o drugareddau 'n llom.

J. PHILLIPS,
*Bala.*

### YMDDIDDANION Y BARDD A'R TRANCEDIG,

*A anfonwyd mewn llythyr oddiwrth Mr. John Hughes, yr hwn a breswylia yn bresennol yn ninas Paris, yn Ffrainc, pan y derbyniodd y newydd galarus o farwolaeth ei chwaer, Miss* JANE HUGHES, *gynt o Blas yn Nannerch, swydd Fflint.*

"Behold the lot of mortal man,
Short are his views, and turbulent his span;
He issues forth, the creature of a day,
Just looks about him, and then *fades away.*"

Chwaer! ehedaist oddi yma,
Rhoist ffarwel i'r ddaear hon;
Braidd cyn profi dyfroedd Mara,
Cyn dy guro gan un dòn;
A thi laniaist gyd a'r awel,
Yn y tragwyddol-fyd mawr:
Er bod dy gorph di yma'n dawel,
'Rwyt ti yno'n byw yn awr.

O d'wed im' pa fodd newidiodd
D'enaid bach i sefyll gwedd
Gogoniant Duw, a'r hwn a'th brynodd,
Mewn gwynfyd pur tu draw i'r bedd:
A ddarfu it' erioed ddych'mygu,
Pan yn yr ysgol un prydnawn;
Fod taledigaeth gweision Iesu,
Mor fawr ei faint, mor berffaith lawn?

Dywed Jane wyt ti'n hiraethu,
'Rol mam neu dad yn ol y cnawd?
'Rol brodyr neu ryw un o'r teulu,
Neu a yw Iesu'n well na brawd?
A wyt ti'n erfyn ar angylion,
I wylio'r rhai oedd frodyr mâd,
Oedd echdoe yn chwiorydd mwynion,
Oedd hoffaf fam oedd hoffaf dad.

A wnaet gynghori pawb i ddilyn,
A cherdded yn y llwbr cûl?
Pa genadwri i Ben-y-felin,
I anwyl blant yr ysgol sul?
A wyt ti'n ewyllysio danfon,
Rhyw genadwri attom ni?
Neu ynte'r gwr fu rhwng y lladron
Yn unig yw d'hyfrydwch di?

A ydyw plant y'nghwmni'r Arglwydd,
Fel rhai mewn oed yn ei fawrhau?
Neu fel rhyw ddosparth gyda'u gilydd,
Fel ysgolheigion dan yr iau?
A wyt ti yn adnabod Adda,
Ac Efa'n mhlith y nefol lu?
Iacob a'r hen batriarch Noah,
A hen ddysgyblion Iesu cu?

A ydyw'r hen ganiadydd Dafydd,
Yn canu'n beraidd yn y ne'?
Oes yna neb y'mro'r llawenydd,
Yn chwareu'i dannau fel efe?
Pa fath yw iaith y gwaredigion,
A wyt ti'n moli yn Gymraeg?
Neu a ydyw teulu Sion,
Yn canu yn yr iaith Hebraeg?

O dywed Jane yr awrhon imi,
A wyt ti'n 'nabod dy frawd bach?
A aeth i'r nefoedd cyn dy eni,
A yw ê'n awr yn berffaith iach?
A yw ê'n d'wedyd it' ei hanes,
Er pan ehedodd uwch y llawr?
Ai nas dichon gwres'i fynwes,
Attal moli am funud awr?

Yn awr ffarwel fy chwaer a dd'wedaf,
Er fod hiraeth dan fy mron;
Pe down dros y moroedd adref,
Ni chawn wel'd dy wyneb llon:
Ond paid fawen a galaru,
F' enaid ymdawela'n Nuw;
Fel y caffech di gyd-foli,
Gyd a Jane mewn gwynfyd gwiw.

---

### LLWYDDIANT YR EFENGYL.

Clywch, clywch y sain, hoff udgorn clir
Yn swnio 'n gain yn China dir;
Addewid nef ar esgor sydd
Ar fyddin gref, neshau mae'r dydd
Bydd teyrnas Arglwydd Ior
Ar led o fôr i fôr,
Mawr, mawr fydd Arglwydd nef,
A theulu 'r llawr a'i haddef Ef.

Cenedloedd fyrdd ddaw ato Ef
I ddysgu'i ffyrdd, yn dyrfa gref;
Mawrhânt yr Ion gan lawenhau,
Darfyddant sôn am dduwiau gau;
Rhyw Iubil lawn o hedd
A hoff ddanteithiol wledd
Gânt, gânt ar Sion fryn,
A chanu wnânt nefolaidd hymn.

Fe dorodd gwawr Milflwyddiant pur,
Y fagddu fawr â'n oleu clir,
Fe gwyd yr haul, mae'r nos yn ffoi,
Tywyllwch gwael, sydd yn ysgoi,
Pelydrau'r Seren ddydd
O fryniau Salem sydd,
Pur, pur, fydd llewyrch gras
Ar uchel fur hen China fras.

*Bala.* J. PH.

---

### PENNILL.

Beth yw bywyd?—d'rysfan blinder;
Beth yw lloniant?—cysgod gwyw;
Beth yw pleser?—dim ond gwagter;
Beth yw gwynfyd?—breuddwyd yw.

J. P. P.

---

### TROI Y DWFR YN WIN.

"*The modest water saw the Lord, and blush'd.*"

Er pured y Dyfroedd yn Cana,
Nid oeddynt yn gymhwys i'r wledd;
Ein Harglwydd amlygodd ei Dduwdod,
*Edrychodd* a *gwridodd* eu gwedd:
Pwy adyn all ommedd addoliad
I'r Duw sydd a'i wyrthiau mor fawr!
Yr hwn, yn ei wisg o gnawdoliad,
Sydd Arglwydd ar nefoedd a llawr.

IOSEPH CALLESTR.

NEFOEDD AR Y DDAEAR. M. B. D.






# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXI.] MEDI, 1837. [LLYFR. VII.

## BYWGRAFFIAD

## Y DIWEDDAR DUC KENT.

EDWARD, DUC KENT, tad ein tirion a'n hardderchog Frenhines Victoria, ydoedd bedwerydd mab i George III, diweddar Frenin Brydain. Ganwyd ef Tachwedd 2, 1767. Fe'i dygwyd ef i fynu yn filwr, ac nid oedd neb mwy prydferth yn ei wisg filwraidd, a mwy medrus a pharod at ei arfau nag ef yn ngorph y lluoedd Brytanaidd.

Pan yn ddeunaw oed, fe'i hanfonwyd i Germani, ac a breswyliodd yn Lunemburg, ac weithiau yn Hanover, hyd nes oedd yn agos i ugain oed. Oddiyno, efe a symmudwyd i Geneva, lle yr arosodd ddwy flynedd.

Dros yr holl amser hwn yr oedd ei dad yn rhoi iddo fil o bunnau yn y flwyddyn, yr hwn swm a ddodid yngofal ei Lywiawdr, heblaw *guinea* a hanner yn yr wythnos a roddid iddo fel arian llogell.

Ryw amser cyn dechreu rhyfel Ffrainc, pan oedd y cadflaenor O'Hara yn Llywydd Gibralter, yn y flwyddyn 1790 a 1791, gosodwyd y Tywysog ieuanc hwn yn llywydd ar y 7fed Gadrawd o'r milwyr a elwid *Fusiliers.* Yn y swydd a'r sefyllfa hon, fodd bynag, yr oedd efe y pryd hyny yn lled anmhoblogaidd.

Tua diwedd y flwyddyn 1791, symmudwyd ef i Canada yn Ngogledd America, ac oddiyno i Halifax yn Nova Scotia; a thrachefn yn ol i Canada. Yma fe fu yn fwy clodfawr, gwnaed cyfiawnder â diniweidrwydd ei ymddygiad, ac efe a gafodd ei anrhydeddu yn fawr gan bawb o'i gydnabod.

Yna anfonwyd gorchymyn o Brydain am iddo hwylio i'r India Orllewinol, ac ymuno â'r milwyr oedd dan Syr Charles Grey yn ymladd am ennill Ynysoedd y Ffrancod oddiarnynt. Yn yr ymosodiad milwraidd ar Ynys Saint Lucia, er i'r milwyr gael eu gorchfygu a'u troi yn ol, efe a ennillodd serchawgrwydd ei filwyr, ac a berchid yn fawr ganddynt oherwydd ei wrolder. Efe a wynebai y mwg a'r tân yn bersonol, er i'r Cadflaenor amryw weithiau ddymuno arno beidio gosod ei hun mewn cymmaint o berygl personol.

Wedi hyny, efe a osodwyd yn Llywydd ar yr Amddiffynfa ddwys-ganlyniadol hono, Gibralter. Efe a gafodd lawn gorchwyl yn y lle hwn, ac oni buasai ei fod o feddwl cryf, ac o ansawdd corphorol grymus, ni allasai ddyfod drwyddo. Yr oedd yno annhrefn mawr ymhlith y milwyr, yn benaf o herwydd fod yno gynnifer o dai Gwirod, a'r gwin mor isel ei bris. Byddai y milwyr yn chwilgyrn feddwon, ac yn torri allan yn y nos i ladratta a thorri tai y trigolion, fel nad allent gysgu yn ddiogel yn y nos, na rhodio yr heolydd yn ddiberygl, ac heb gael eu anmharchu. Goddefid hyn i raddau helaeth gan y Llywyddion a fuasai yno o'i flaen. Y canlyniad o'r annhrefn hwn oedd, afiechyd, anufudd-dod i'r Penaethiaid, anfoesoldeb o bob math yn cynnyddu, hyd nes oedd y lle mewn mawr berygl o gael ei gymmeryd oddiarnynt. Ond gyda bwriad cywir a ffyddlawn, yr hwn yn wastad a ganfyddid yn ymddygiadau y Tywysog hyglod hwn, gan ddirmygu yr elw a'r manteision y rhai fuont o gymaint gwarth ar gymmeriad y Llywyddion a fuont yno o'i flaen ef, efe a benderfynodd lanhau y tŷ—carthu ymaith y ffieidd-dra, yr hwn a lechasai ac a gannyddasai yno ers blynyddoedd.

Ond yn y gorchwyl pwysfawr ac anhawdd hwn, efe a gyfarfu a'r hyn y mae pob diwygiwr yn gyfarfod ar y fath achlysuron. Ni chynnorthwywyd ef gan yr awdurdodau goruchel, a'r rhai a ddylasent fod

yn flaenaf yn y gorchwyl canmoladwy; hwy a'i gadawsant ef i ymdaro drosto ei hun; y rhai, er hyny, a gydnabyddasant wedi hyny mai efe oedd ar yr iawn.

Mynodd roi attalfa ar drwyddedau *(licence)* gwirodydd a Gwin. Parodd hyny ddiwygiad mawr iawn: nid oedd yno wedi hyny ddim meddwi; ac yr oedd y cospedigaethau milwraidd yn llai o lawer; gwelläodd iechyd y milwyr; gwagawyd y Clafdai i raddau mawr; adnewyddwyd glanweithdra mewn tai, ac yn y dillad, a'r cwbl oll. Adnewyddwyd dysgyblaeth milwraidd; a phob iawn drefn. Erbyn hyn gallai y trigolion gysgu yn esmwyth yn eu gwelyau, a cherdded yr heolydd yn ddiofn, ac mewn tangnefedd a diogelwch, yn gystal a myned ymlaen a'u masnachau, a'u gweithydd.

Er hyny, galwodd Llywodraeth Brydain ef oddiyno, yn bersonol, er ei fod wedi hyny yn parhau i fod yn Llywydd ar Gibralter o ran enw. A chyn ei ymadawiad oddiyno, efe a gafodd yr hyfrydwch o dderbyn diolchgarwch cyffredinol gan y trigolion am ei wroldeb a'i lafur diflino yn diwygio y milwyr a'r dref. Ar ol hyny ni chafodd efe alwad uwch na Swyddog byddinol *(Colonel)* ar y fyddin traed, y laf, neu y fyddin frenhinol (*Royals*). Ac efe a ddyrchafwyd yn rheolaidd i restr Maes-lywydd, ac hefyd yn Farchog y Gardys.

Ei fywyd a enwogwyd drwy yr ymarferiad o'r rhinweddau hyny ag sydd yn gwneud i fynu Foneddwr Brytanaidd synwyrlawn, yr hyn a chwanegodd fri ar ei sefyllfa oruchel fel Tywysog, ac a ddyg i weithrediad dalentau a'i cododd i fawr barch ac anrhydedd gan ei gydwladwyr. Yr oedd ar y blaen yn wastad ymhob gorchwyl o haelioni. I'r anghenog yr oedd ei bwrs yn agored yn wastadol, er nad oedd ei amgylchiadau yn gysurus; yr oedd ei bresennoldeb, ei amser, ei hyawdledd, a'i arian, bob amser yn barod ac yn ewyllysgar at gynnorthwyo pob Cymdeithas elusengar, a hwy fuont yn foddion arbenig i'w dwyn yn mlaen a'u cefnogi.* Yn fyr, nid oedd un eisiau nac angen ar neb adnabyddus iddo, na byddai efe yn ymgais am ei ddiwallu.

Mae yn anhawdd meddwl y bydd i neb byth fyned tu hwnt i'r Duc Kent mewn pob achos a fyddai yn tueddu at hapusrwydd lliosog drigolion Dinas fawr Llundain; ac ni ddichon i ddim dynu ymaith y côf am dano o galonau diolchus y miloedd a'i gwelsant ac a'i clywsant ef.

Fel cyfaill, yr oedd efe yn gywir; fel meistr, yn hynaws; fel gwr, yr oedd yn batrwn; ac fel tad, yr oedd yn meddu ar y fath serchawgrwydd, ag a'i hanwylodd i'w hiliogaeth, ac i'w briod, yr hon oedd yn weddw Tywysog Leiningen, a chwaer i'r Tywysog Leopold, yn awr Brenin Belgium.

Ei angau a ddaeth iddo drwy ei esgeulusdod ei hun. Wedi iddo fod allan ar ddiwrnod gwlawog, a gwlychu yn drwm; ac yn lle newid ei ddillad gwlybion, efe a ddewisodd chwareu gyda ei eneth bach, ein Brenhines bresennol, y pryd hyny dan ddwy flwydd oed: y canlyniad a fu, cymmerodd y dwymyn ef, ynghyd ag ennynfa yn yr ysgyfaint, y rhai orchfygasant holl ymdrech y meddygon. Ni adawodd y Duces ef yn holl amser ei glefyd, ac ni ddiosgodd ei dillad oddiam dani tra y bu efe byw.

* Myfi a'i clywais ef yn areithio amryw weithiau mewn cyfarfodydd cyhoeddus; yn enwedigol yn Nghyfarfodydd y Bibl Gymdeithas, gyda'r hwn achos yr oedd efe yn frwdfrydig a llafurus iawn, ac i'r hwn y bu efe o fawr gefnogrwydd yn ei ddydd. Mewn Cyfarfod blynyddol y Bibl Gymdeithas a gynnaliwyd yn Llundain, Mai 3, 1815, yn y *Free Mason's Hall*, clywais ef yn areithio yn rhagorol o dda wrth ddychwelyd diolchgarwch i Arglwydd Teignmouth am fod o'r dechreuad mor gynnorthwyol i'r Gymdeithas rhagorol hono.

Ar dro nodedig arall, bum mewn Cyfarfod Cymdeithas y Boneddigesau, sef Cangen o Gymdeithas y Biblau. Yn y Cyfarfod hwn yr oedd mil o foneddigesau yn eistedd yn ddigymmysg mewn un Ystafell, a Duc Kent yn Gadeirydd y Cyfarfod, yn eistedd ar esgynlawr y naill ben i'r Ystafell, ac amryw weinidogion o wahanol enwadau crefyddol ar bob llaw iddo, yn areithio y naill ar ol y llall, ar yr achlysur. Yr oedd yn ymddangos i mi ei fod wrth fodd ei galon yn y cyfarfodydd hyn.

Yr oedd ei Uchder Brenhinol, Duc Kent, yn wr prydferth iawn, cryf, tal, a nerthol o gorpholaeth; gwrol iawn ei feddwl, ac yn areithiwr hyawdl, medrus, a zelog. Mae yn rhaid fod pob un a'i gwelodd ac a'i clywodd yn cofio hyn am dano.

Dyoddefodd lawer o wawd ac erlid, mewn geiriau ac argraff yn ei ddydd, gan elynion y gwirionedd, oherwydd ei frwdfrydedd gyda phob achos da, ac am ei fod mor rydd yn ei gyfeillach a'i ymddygiad tuag at bob plaid grefyddol mor ddiwahan.

CYMODDWR.

Efe a fu farw yn ei dŷ ei hun yn Sidmouth, yn Devonshire, ar y Sabbath, Ionawr 23, 1820, a mawr a chyffredinol fu y galar ar ei ol.—*Guide to Knowledge, July* 20, 1837.

---

## COFFADWRIAETH
### AM DAFYDD ROBERTS, BODROCHWYN.

Dafydd Roberts a anwyd yn y flwyddyn 1745, mewn tŷ bychan a elwir Pen'refail, yn agos i'r tŷ y bu farw ynddo. Mab ydoedd i Robert Roberts, o'i wraig Cathrin Evans. Bu iddynt naw neu ddeg o blant, pa rai a fagasant drwy lafur caled a mawr gynnildeb. Mae yn debyg na chafodd y plant yma Ysgol o un math, o herwydd nid oedd Ysgolion Sabbath y pryd hyny, nac ond ychydig o ysgolion eraill chwaith. Ac felly yr oeddynt yn troi allan yn fechgyn bychain i wasanaeth caled yr Amaethwyr. Fel hyn y bu i'w mab Dafydd am lawer o flynyddoedd, hyd farwolaeth ei dad.

Yn ysbaid yr amser yma y symudodd ei rieni i le a elwid Penymynydd; tyddyn lled fychan oedd ger llaw; ac yn fuan wedi hyny bu farw ei dad: yntau a ddewiswyd gan ei fam i'w chynnorthwyo i drin y tyddyn yma. Hithau hefyd a fu farw ar ol rhyw gymmaint o flynyddoedd; ac efe a gafodd fod yn y lle ar ei hol.

Ei agwedd dynol oedd led fyr a chadarn; gwallt du crych pan oedd yn ieuangc, ond gwynodd fel gwlan, yn ei henaint. Ei wyneb oedd wridcoch, glân, a'i dymer yn fywiog iawn. Gweithiwr rhagorol a diarbed ydoedd. Codai'n foreu, a gofalai am ei anifeiliaid a'i faesydd yn wastad, a llwyddiant mawr a fu ar ei lafur.

Pan yn llanc, cychwynodd redeg yn gyflym ar hyd y ffordd lydan gyd â'i gyfoedion i chwareuau a champau yn ol ei duedd naturiol ac arferiad yr oes hono. Ond cyn myned yn nepell, galwodd yr Arglwydd arno trwy ei Efengyl, yr hon a bregethid gan y Trefnyddion Calfinaidd, nid mewn Capelau gwychion, (gan nad oedd y pryd hyny tebygid ond dau neu dri Chapel yn y Sir); ond mewn teiau tlodion, hen ysgyboriau, clytiau ar y mynyddoedd, glanau afonydd, ochrau'r ffyrdd, &c.

Ymunodd â'r Gymdeithas fechan a ymgynhullai yn nhŷ Thomas Roberts o'r Bryngwyn, un o'r tai lleiaf yn mlwyf Abergele. Hwn oedd yr offeryn cyntaf a ddefnyddiodd Duw i ddwyn yr Efengyl i'r cymmydogaethau hyn. Bu hefyd yn flaenor Eglwys diargyhoedd a ffyddlon nes huno yn yr angau, tua dechreu y ganrif hon, yn ddeg a thriugain oed. Pan gafodd D. R. flas ar wrando'r Efengyl, gwelodd fod eisiau dysgu darllen, yr hyn a fu'n orchwyl caled iddo o herwydd anfanteision yr amser hwnw.

Y Primer oedd y llyfr goreu a ellid gael i ddechreu dysgu, a diwyd iawn y bu ef gyd â'i lyfr bychan yn cyrchu yn ol ac ymlaen at ei gyfeillion i gael ganddynt ei ddysgu. Felly trwy ei lafur a'i ddiwydrwydd fel hyn dysgodd yn lled ryfedd ddarllen lleoedd hawdd o'r Bibl, megis y Psalmau, a rhanau yn yr Efengyl, er difyrwch ac adeiladaeth iddo ei hun o leiaf, ac ychydig yn gyhoeddus hefyd.

Byddai yn taer annog y rhai fyddai dan ei ofal megis teulu, i ddyfod i foddion gras: rhoes arian ac aur hefyd i'r Ysgrifenydd yma, am beidio a myn'd i'r gwylmabsant, ac am ddyfod i'r odfäeon. Dioddefodd lawer o wawd a difenwad gan ei berthynasau, ei hen gyfeillion, a'i gymydogion annghrefyddol: ceisient ei demtio a'i hudo i bechu, &c. Un tro yr oedd ciniaw gwyliau'r nadolig mewn palas bychan yn y gymydogaeth, ac yntau a wahoddwyd yno. Ac wedi bwyta ac yfed yn dda, arferasant ddichellion i'w feddwi, ac efe a wybu hyny, ac a gododd i fyn'd adref, ond ni adawent iddo; yntau a dystiodd fod angenrheidrwydd arno i fyn'd allan; ac i'w boddloni efe a adawodd ei hett yn y tŷ; ond yn lle myn'd yn ol at y cymydogion llawen, wynebodd tu ag adref drwy y rhew a'r lluwch eira, yn bennoeth: canys noswaith o ddrychin mawr, rhew ac eira ydoedd.

Pan ydoedd tu a 50 oed, symudod o Penymynydd i Bodrochwyn-ganol i fyw. Ac y flwyddyn hon hefyd y priodwyd ef gyd a gwraig weddw, Jane Davies o'r Ty'n y caeau; ac am nad oedd hi mewn undeb eglwysig, cafodd ef ei geryddu â diarddeliad. Rhyngodd bodd i'r Arglwydd yn lled fuan wedi hyn, ymweled â hi yn ffordd ei drugaredd a'i ras; a bu yn disgwyl i'w gwr dros ryw amser ddyfod gyda hi i'r Eglwys: ac o'r diwedd aeth ei thywydd mor fawr nes y

wynebodd yno ei hunan, a rhoddwyd iddi ddeheulaw cymdeithas. Arhosodd ef allan am gryn amser wedi hyn, yn methu torri trwodd; ond pan ddaeth yn ol, yr oedd arwydd fod y cerydd er lles iddo, yr oedd ei liniau yn ystwythach nag y buasent erioed, i blygu i weddio. O ddeutu 9 neu 10 mlynedd y buont gyd a'u gilydd; ni bu iddynt blentyn, ac ni fwynhaodd Jane Roberts fawr o iechyd yn yr amser hyny; ond mwynhaodd lawer o gysuron ysbrydol; a'i phriod a fu'n dyner iawn o honi yn yr holl amser.

Yn y flwyddyn 1808, un o flaenoriaid y Gymdeithas a ofynodd iddo, yn ei dŷ, pa faint a roddai tu ag at ail adeiladu Capel Abergele; attebodd y rhoddai bum punt: dywedodd ei wraig, gwell i chwi roddi deg punt; yntau gan edrych yn foddhaol, a ddywedodd, mi a roddaf ddeg.

Ynghylch y pryd hyn y dechreuwyd Cymdeithas Eglwysig yn Bettws Abergele, yr hon a darddodd o Eglwys Abergele, a chafodd D. R. ei ddewis yn Ddïacon ynddi: nid o herwydd ei ddoniau; ond o ran ei oedran a'i ffyddlondeb: a gofalus iawn a fu yn ei swydd tra y gallodd. Gofalai am bob peth yn deg yn ei amser; a phan â'i i'r Cyfarfod Misol, byddai yn anhawdd cael ganddo eistedd i fwyta, fel gwas Abraham gynt, nes gorphen ei waith.

Ond yr hyn a addurna ei goffadwriaeth yn benaf yw y Capel a wnaeth ef yn y Bettws, ac a'i cyflwynodd i'r Corph. Yr amgylchiad a fu fel hyn. Yr oedd y Parch. J. Davies, o Nantglyn, yn ei dŷ ryw noswaith, wrth yr hwn y dywedodd y boreu cyn ymadael, fod ar ei feddwl wneuthur ei Ewyllys, a gadael ychydig arian at achos yr Arglwydd; a'i osod ef, a'r Parch. Peter Roberts, yn Olygwyr. Gofynodd yntau iddo pa swm oedd efe yn feddwl adael at yr achos mawr? Ebr yntau, cant neu ddau o bunnau. Fe allai y cewch chwi fyw rai blynyddoedd etto, ebr J. D. cym'rwch yr hyfrydwch i wneuthur yr hyn sydd ar eich meddwl yn eich bywyd. Beth a wnaf, ebr yntau? Wel, chwi a wyddoch fod mawr angen am Gapel yn y Bettws: gwnewch y goreu a alloch tu ag atto. Ac ar hyn canasant yn iach.

Yn fuan wedi hyn dywedodd D. R. wrth ei frodyr crefyddol, fod Mr. Foulkes o Beniarth fawr, mor dirion ag addo lle cyfleus i wneud y Capel, yr ún a fynoch ai ar ammod, ai ar werth: prynwch chwi y tir, mi wnaf innau'r Capel. Ac felly fu: prynwyd y tir yn ddigon rhad; diolch yn fawr i'r gwerthwr. Mae yn addas coffâu yma, fod y gymydogaeth wedi gwneud eu rhan yn dda mewn cludiad a chasgliad fel y mae'n arferol; ond efe a fu dan bwys y gwaith nes ei orphen: ac efe a'i dodrefnodd hefyd oddifewn âg eisteddleodd cysurus, a phob peth arall oedd yn angenrheidiol: fel y gellir dweud, ('rwyf yn meddwl), na wnaeth neb gymmaint tu ag at Capelau yn Sir Dinbych hyd yma ag a wnaeth efe. Ond hyderwn y bydd yr esampl yma er annogaeth i lawer etto i wneuthur mwy.

Dywedai rhai o'r frodyr crefyddol wedi hyn wrtho; Wel, Dafydd Roberts, chwi aethoch i gost fawr efo'r Capel yma. Do meddai yntau, ni wn i ddim pa faint, ac ni waeth genyf chwaith: y mae genyf ddigon etto imi; ac ni wn i ddim am danynt bellach. Gellir dweud yma am dano, 'Felly y llanwyd ei ysguboriau â digonoldeb:' canys yr oedd ganddo nid yn unig y can cymmaint, ond y deg can cymmaint yn ei ddiwedd yn fwy nag yn ei ddechreu; a'r cyfan a ddaeth iddo drwy fendith yr Arglwydd ar ei lafur diwyd.

Er i'w law gyrhaedd gryn lawer o bethau 'r byd yma, etto yr oedd yn hen wr gostyngedig iawn, ni ymrysonai â neb; ac nid ymddadleuai un amser ar bwngc crefyddol, gwyddai fod ei ddawn yn rhy fechan i osod allan ei feddwl. Ac yn yr Ysgol Sabbathol, ei waith mwyaf dewisol fyddai edrych ar ol y drws.

Mae'n rhaid bellach grynhoi ei gred a'i brofiad i ddau fatter mawr mewn crefydd, y rhai yr oedd yn sicr o honynt; sef ei golledigaeth a'i lygredigaeth dan y cwymp ac ynddo ei hun: a'i unig obaith am iachawdwriaeth oedd drwy ras a thrwy ffydd yn y Gwaredwr.

Mwynhaodd iechyd rhagorol drwy ei oes, ac yr oedd mor syth a chwyrn ei dro yn bedwar ugain oed a bachgen ieuangc. Ond rhyw gynnifer o'r misoedd olaf y bu'n boenus iawn, ac yn orweiddiog; yr hyn a fu o achos i'w anifail syrthio dano fel y

symmudodd asgwrn o'i le y'mhen ei glûn, yr hyn yn y diwedd a fu'n angau iddo.

Yr oedd gair da iddo am ei gyfiawnder ymarferol: talai i bawb ei ddyledion mewn pryd cyfaddas. Rhoddai fenthyg i'w gymmydogion er eu gwared o'u cyfyngderau, a dysgwyliai eu cael yn ol yr amser yr addawent. Ac arferai roddi carlod o ŷd a llaeth yn ei ddrws bob amser.

Parhaodd brawdgarwch a lletengarwch yn ei dŷ am hanner cant neu fwy o flynyddoedd, yn ei amser ef. Edrychodd hefyd ymlaen, gan chwenychu i'w hen gartref fod yn gartref i weinidogion y gair ar ei ol: a gosododd yn olynwr a meddiannydd i y rhan fwyaf o'i eiddo ar ei ol, ddyn crefyddol o berthynas iddo, ac ar ei enw. Bu hwnw hefyd yn Ddïacon yn yr un Eglwys hyd ei ddiwedd. Ac er i angau ei gwympo yntau hefyd i'r bedd yn mlodau ei ddyddiau, etto y mae ei anwyl wraig yn cadw yr un drws yn agored i achos mawr yr efengyl hyd heddyw.

Claddwyd ef yn barchus gyd a'i hynafiaid yn mynwent Llanfair Talhaiarn, yn y fl. 1828, Medi 26, a'i oedran yn 83. Y mae ei fedd a'i enw arno yn ymyl pared y Llan, talcen dwyreiniol. R. ROBERTS.

*Abergele.*

## LLYTHYR VI.

*Oddiwrth hen Weinidog yr Efengyl at ei Fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

(Parhad tu dalen 208.)

Etto, un o brif byngciau y gwaith o bregethu ydyw, *pregethu ymarferol*, neu annog i weithredoedd da. Y matter arall, oedd i'th warchod rhag myn'd yn rhy uchel frydig mewn pyngciau; hwn sydd rhag it roi gormod o bwys ar bregethu moesoldeb; i'th gadw fel 'angel yn ehedeg ynghanol y nef.' Sylfaena dy holl annogaethau moesol ar egwyddor efangylaidd, a dirgymell i gyflawni gweithredoedd y ddeddf oddi ar ysgogiad efangylaidd. Gad i ddisgyblion Moses, os ydynt yn deilwng o'r enw, eu rhoi yn ammod bywyd, a'r philosophyddion i areithio a'u cymhell oddi ar harddwch rhinwedd, a chymhwysder pethau; eithr ein hunig reol ni yw, ewyllys datguddiedig Duw yn ei air; gwneuthur yr hyn oll a orchymynwyd, ac yna oddi ar ysbryd efangylaidd, dystio, mai 'gweision anfuddiol ydym.' Dylem amcanu at, a chyflawni y dyledswyddau oddi ar egwyddor efangylaidd, o gariad at Dduw, o gydnabyddiaeth o drugareddau a dderbyniwyd, 'i fynegu' rhinweddau yr hwn a'n galwodd,' ac o obaith am y wobr cristionogol. Nid o ddyled ond o ras, yr hyn sydd (yn lle difrio a bychanu,) yn dyrchafu y gogoniant dwyfol, yn gogoneddu gras yn yr addewid, a ffyddlondeb yn y cwblhad o honi; ac hefyd yn meithrin arswyd rhag tynu yn ol a gwrthgilio. Nid yw hyn yn anweddus i gristion, canys mae cysur, a gwybodaeth am sicrwydd ein cadwedigaeth, yn sefyll yn fawr ar wyliadwriaeth a manylrwydd buchedd dduwiol; ac mae honni sicrwydd ffydd, a myn'd ymlaen mewn difyrwch pechod, yn nod duaf y rhagrithiwr. Y mae'r Efengyl yn cyhoeddi taranau ar y cyfryw mor ofnadwy a tharanau Sinai.

Cylyma di ymarweddiad efengylaidd wrth brofiadau cristionogol, dangos yr angenrheidrwydd o ailenedigaeth a chalon newydd fel gwreiddyn a tharddiad crefydd ymarferol. Gwneud y pren yn dda, a'i ffrwyth yn dda, oedd athrawiaeth ein Harglwydd, ac a ddylai fod yn rheol ei weision. Llawer a ellir ddweud fel annogaethau i weithred oedd da, ac ni a ddylem eu crybwyll ymysg matterion eraill. Eithr prif nod y gweinidog yw annelu at y galon: gwir yw nad allwn ni ei chyfnewid, etto dylai ein diwydrwydd fod gymaint a phe bai y cwbl yn gorphwys ar ein llafur ni. Pa beth, a ddylwn i ymdrechu i argyhoeddi y rhai na etholwyd? Dylit â'th holl egni, ac os methi yn dy amcan, fe faddeuir i ti. Ni raid it byth ofni allu ennill mwy i'r nefoedd nag y parotowyd lle iddynt gan Grist. Dyledswydd y gweision yw cymhell, a gwaeddi 'etto mae lle.'

Etto, *pregethu priodol.* Wrth olrheinio crefydd brofiadol yn dy bregethau, cofia ei sylfaenu ar y gwirionedd datguddiedig. Y Bibl yn unig yw crefydd y Protestaniaid, hwn sydd i fod yn ffynhonell ei hegwyddorion, ac o hono ef y mae i ni dynu ei phrofiadau eglurhaol yn gyffredinol; ond etto, hyd yr wyf yn deall, dylem yn ein pregethau wrth eu hannelu at y profiad, ddilyn yn fanwl sylwadau ar weithrediadau ac arwyddion tröedigaeth ac iechydwriaeth pechadur, er mwyn dal y drych i bawb i edrych ynddo. Egwyddor gyntaf mewn tröedigaeth yw argyhoeddiad o bechod, hyn

a arwain i ddwysbigiad acedifeirwch calon: a'r galar yma a fâg drwm frydedd hiraethlon am waredigaeth, a chri yn y galon am faddeuant. Ac yna fe gymmer y Diddanydd o eiddo y Cyfryngwr, ac a lefara heddwch trwy 'waed y taenelliad' i'r enaid cryn-edig, a thrwy ffydd a alluoga yr enaid crediniol i orfoleddu dan obaith. Ac yna bydd cariad yn ffrwyth ac effaith ffydd ac adnabyddiaeth: a'r cariad hwnw a grynhöa serch at Dduw, ac ewyllys da i ddyn, ac yna fe dardd ffrwythau yr Ysbryd mewn bywyd ac ymarweddiad, yn erbyn y cyfryw nid oes ddeddf.

Er mai dyma ffordd gyffredin Duw i ymgeleddu pechadur, ac mai trwy bregethiad y gair yn fwyaf neillduol y mae yn argyhoeddi, etto nid ydym ni i 'osod terfyn i Sanct yr Israel,' ïe, hyd yn nod yn ei drefn gyffredin ei hunan, rhag wrth hyny i ni wneud cam a chenedlaeth plant Duw. Gweddus yw i ddynion ymogoneddu mewn cydymffurfiad, eithr mae amrywiaeth yn ei holl ffyrdd yn ogoniant i Dduw. Dichon amrywiaeth mewn dull o argyhoeddi pechadur darddu oddi ar wahanol bethau, megis gwahaniaeth yn y gwrthrychau, eu hachosion a'u sefyllfaoedd; moddion eu hargyhoeddiad, rhai trwy hir addysg rhieni; rhai trwy afiechyd, gwaredigaeth o berygl; rhai drwy daranau Sinai; ac eraill trwy serchiadau ennillgar Calfaria.

Ac hefyd, mae grasau yr Ysbryd yn amrywio yn eu maint a'u cyflawnder, un yn meddu ffydd gref Abraham, a'r llall ychydig ffydd, etto o'r iawn ryw; ac felly yn dy bregethau, gofala am ddangos crefydd brofiadol, fel i beidio digaloni rhai bach yn Nghrist; a bydd mor onest yn ei darlunio fel i beidio rhoi clustógau tan benelinoedd un rhagrithiwr. Mae y fath o bregethu fel hyn tu hwnt i ddysgeidiaeth un Athrofa yn y byd: a rhaid i'r gweinidog fod yn un o brofiad ei hun, cyn y gall drafaelio y tir yma.

Hefyd, *pregethu cyffelybiaethol*, neu *ddamhegol*. Mae yn wir fod arfer cyffelybiaethau gwedi dechreu yn foreu, ac mae yn debyg gan bob cenedl yn eu hareithiau; a phan aeth Duw i osod trefn crefydd, defnyddiodd gyffelybiaethau a chysgodau; ac mae prophwydi Duw wedi arfer cyffelybiaethau. A'r Prophwyd mawr a gyfododd Duw 'a agorodd ei enau mewn damhegion.' Nid arfer ambell ddameg, &c. yr wyf yn dy rybuddio i ochelyd, ond pob camdriniaeth a llygriad ar hyny. Mor bell ag y bo cyffelybiaeth yn harddu iaith, rhwyddhau addysg, ac yn egluro dirgelwch, mae yn hynod o dda.

Gochel ymhonni fod rhyw ranau o'r gair sanctaidd yn ddamhegawl, neu yn arallegawl, heb fod tystiolaeth o hyny yn y rhan hono ei hun, neu ryw ysgrythyr arall yn tystio mai felly y dylid ei dehongli. Rhai a gymmerant lawer o wir hanesyddiaeth y Bibl yn ddamhegawl. Origen a wnaeth felly â hanes Pharaoh gyda phlant Israel a'r Bydwragedd. Un arall a fynai ysbrydoli gwas Elias a'r cwmwl bychan, &c. Mae oddiwrth y cyfryw addysg ysbrydol a buddiol i'w dynu, ond nid dehongliad.

Gochel hefyd roi dehongliad llythyrenol a gwirioneddol ar ddamhegion. Gwir yw fod amryw a'u cyfeiriad at arferiad gwlad, ac felly o bossibl dichon fod rhai o honynt yn wir hanes; ond anfuddiol i ni bob amser briodoli hyny. Gofala hefyd am gadw eglurhad llythyrenol ac arallegawl ar wahan oddiwrth eu gilydd. Mae eu cymysgu yn dueddol i wneud gwê o nodiadau anghyttun annealladwy ynddynt eu hunain, ac anfuddiol i'r gwrandawyr. Gwahaniaetha hefyd rhwng eglurhad unrhyw ran o'r gair, a'r cymhwysiad ysbrydol a feddyli di ei dynu o'r lle, rhag it wanhau gwir ystyr unrhyw hanes, a rhoi achlysur i'r gelyn gablu, ac ystyried mai ar ddychymyg yn unig mae dy gredo yn sylfaenedig.

Hefyd, wrth it arfer cyffelybiaethau, na ddefnyddia rai rhy wael ac isel, tra y gellych gael eu gwell, yn enwedig os na byddi ddigon medrus i'w gwisgo âg iaith weddus i'w harddu, ac i arddangos dy feddwl trwyddynt. Ac uwchlaw y cwbl gochel arfer cyffelybiaethau gwael ac isel wrth son am berson, enw, neu swyddau y Cyfryngwr. Anweddus yw ei gyffelybu i bawb a phob peth yn y Bibl; llawer llai i lawer o bethau a allwn ni eu hel fel rhyw gyffelybiaeth o hono.

Etto, *pregethu cymmwysiadol*. Dyma beth a ddylai gael dy ofal trwy'r bregeth: nid yn unig am ychydig funudau yn ei diwedd, ond wrth athrawiaethu, moesoli, profi, a dammegu, cofia gymhwyso at y gydwybod

yn barhaus. Ond wrth gymhwyso gochel arfer golygiad rhy bersonnol at neb, fel pe bait wedi ei benu yn dy gynnulleidfa i'w nodi allan, rho di 'r saeth iawn ar antur, a gad i'r Ysbryd Glan benu'r nôd. Ac ar yr un pryd, os gwyddost am lygredigaeth un o'th wrandawyr, dylit ei argyhoeddi mewn tiriondeb a gonestrwydd, ac fe allai mai ar ei ben ei hun, ac nid yn y Pulpud y derbynir hyny oreu. Ac hefyd, wrth gymhwyso at dy wrandawyr, dyro dy hunan a'th gydwybod yn yr un bwndel, ac nac ymddyrchafa bob amser lawer uwchlaw iddynt, er mae yn wir y gelli fod felly weithiau.

Na fydded it gymhwyso na thaeru tros un pwngc yn dy ysbryd dy hun, yn enwedig os bydd yn gynhyrfus. Mae ymborth a meddyginiaeth yn beryglus os rhoddir hwynt yn ferwlosg. Dyro arddangosiad taer wrth gymhwyso, dy fod yn grediniol dy hunan. Pe hysbysai cymydog i'm fod fy nhŷ ar dân, gyda golwg ddiofal, ddigyffro, a lleferydd gwamal, byddwn yn barod i daeru nad yw yn coelio hyny ei hun, onidê ni byddai ei olwg mor ddideimlad wrth adrodd ei genadwri.

Pregeth ac ynddi fwy o lafur pen nag o deimlad calon, sydd aneffeithiol; bydded dy ben wedi ei gyflawni â doethineb; ond uwchlaw y cwbl dy galon â phrofiad o'r hyn a drini. Bydded hefyd dy olygiad wrth gymhwyso at annelu at y gydwybod; mae hon fel carreg atteb i'r pregethwr difrifol: a medru argraffu y pethau arni sydd orchwyl annileäadwy. Mae hefyd lawer dull o gymwyso yn fwy effeithiol na'u gilydd; ac yn medru dal gafael ar y gwrandawyr mewn modd awdurdodol. Y barcut a saif, gan ysgwyd ei adenydd uwch ben ei ysglyfaeth nes ei ddyrysu, ac yna mewn annisgwyliad o ddisgyn arno. Wedi i Nathan syfrdanu Dafydd â'i ddameg nes ei gael i'w rwyd, yna cymhwysodd 'tydi yw'r gwr,' at ei gydwybod.

Ond dichon fod i lawer o bethau ymosod arnat er dy ddigaloni. Rai gweithiau bydd drws ymadrodd yn gauedig it; na fydded i ti ymegnïo i'w agor yn dy ysbryd ffraeth dy hunan, ond ymarfer weddi, a deisyf weddiau yr eglwys. Yr eglwys yw Llyfr gweddi gyffredin goreu i'r gweinidog, a dysg wers fod gwaith ganaf i'w wneud gystal a gwaith yr hâf. Dichon it gael profedigaeth oddiwrth bresennoldeb ambell un yn dy gynnulleidfa, ac y gwyddost na elli lefaru dim yn dy Bulpud nad yw ef yn ei wybod, fe allai yn llawer gwell na thi; wel, i'th Arglwydd dy hun yr wyt ti i sefyll neu i syrthio; ac os bydd hwnw yn un ysbrydol, profiadol, bydd dy waith di yn eu hadgoffa iddo, yn felys gan ei enaid: a gwybydd pe byddai it allu gwneuthur gwyrthiau, ni allit fyn'd fawr tu hwnt i gywreinrwydd manwl rhai dynion.

Ond i'th galonogi, nid yw gwaeledd llestri pridd yn tynu dim o werth y trysor; dichon llaw un ar fin marw dansgrifio gweithred o ddirfawr werth; a bachgen gyru a eill ddangos y ffordd i philosophydd; a chardottyn a eill gario anrheg neu rodd werthfawr. Cymer hwn er ei faithed, oddi wrth dy dad gofalus am danat, yn ei henaint,

Pastor Senior.

---

SYLWADAU AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O GANU MAWL.

(Parhad tu dal. 230.)

3. 'Cenwch fawl yn ddeallus—Canaf â'r deall, Ps. 47. 7. 1 Cor. 14. 15.

Byddai dywedyd nad oes i'r deall ddim idd ei wneuthur â'r beroriaeth a ddefnyddier wrth ganu, yn gyfeiliornus, canys y mae canu a'r deall yn cynnwys ein bod yn deall y beroriaeth a ddefnyddier, yn nghyd a grym ac amgylchiad ein llais mewn gweithrediad yn yr arferiad o'r cyfryw. O'r tu arall byddai golygu mai hyn yn unig neu yn benaf sydd gynnwysedig mewn canu â'r deall yn gyfeiliornus yr un modd, oblegyd y mae canu â'r deall yn cynnwys, heblaw ein bod yn deall y beroriaeth a grym ac amgylchiadau ein llais, yn y gerddoriaeth, ein bod hefyd yn deall yn athrawiaethol, a bod genym raddau o wybodaeth ysprydol a phrofiadol o'r hyn a genir o ran y sylwedd neu yr ansawdd o hono. Heb hyn, pa lesâd neu ddaioni bynag a ddichon ddeillio i eraill oddiwrth ein gwaith yn ymyraeth â'r ordinhad sanctaidd, y mae yn sicr o fod yn aflesol a diffrwyth i ni ein hunain, a hollol ddifawl i Dduw.

Mae canu mawl yn ddeallus yn cynnwys hefyd, gwneuthur hyny er adeiladaeth eraill a fyddo yn gynddrychiol ac yn cyd addoli

a ni. Tu ag at gyrhaedd y dyben hwn, dylem ofalu am gyflawni y ddyledswydd mewn modd, iaith ac ymadroddion mor eglur, fel y gallo pawb ein deall, gan seinio pob gair a sillaf yn ei swn priodol. Mae seiniau yr iaith Gymraeg mor beraidd ac ystwyth, fel nad oes angenrheidrwydd am eu cyfnewid wrth ganu mwy nag wrth lefaru. Ac y mae pereidd-dra, trefn a defnyddioldeb cerddoriaeth, yn ymddibynu i raddau mawrion, ar y modd y gweithredir yn hyn.

4. 'Cenwch yn gerddgar.' Ps. 33. 3.

Mae y geiriau Hebraeg *Haitibŵ nagen*, a gyfieithir, Cenwch yn gerddgar, yn ararwyddaw taraw neu chwareu ar offeryn cerdd, a hyny yn dda, yn y modd mwyaf cywrain a chywir. Geiriau o'r un arwyddocad yw, *Wmaitib nagen*, yn Ezeciel 33. 32. a gyfieithir, 'Ac yn canu yn dda.' Gan hyny mae yn amlwg y dylid defnyddio y dawn yn ei gywreinrwydd a'i arddercha wgrwydd penaf yn nghaniadau ac addoliad yr Arglwydd. Felly y gwneid gynt yn y cynoesoedd. Diamheu y byddai caniadau yr Arglwydd yn nyddiau Dafydd, ac yn nyddiau ei olynwyr, yn y deml yn Ierusalem, yn rhagori yn fawr yn mhob ystyr ar holl ganiadau y gwledydd. Byddaf fi yn golygu mai oherwydd hyn y gofynai y Babiloniaid i feibion caethglud Iuda, gan ddywedyd 'Cenwch i ni rai o ganiadau Sion.' Ps. 137. 3. Nid wyf heb ddeall y golyga rhai, mai mewn gwawd y gofynent felly iddynt. Ond ymddengys i'm meddwl i, yn debycach, bod son trwy y gwledydd am odidawgrwydd caniadau ardderchog Sion, a bod y Babiloniaid wedi clywed hyny, ac felly yn llawn awydd am eu clywed.

5. 'Cenwch yn llafar. Cenwch yn soniarus.' Ps. 100. 1, a 33. 3.

6. 'Gan ganu trwy ras yn eich calonau i'r Arglwydd.' Col. 3. 16. Ephes 5. 19.

Heb ras yn y galon, neu heb fod yn rasol, anmhosibl yw i neb gyflawni y ddyledswydd hon mwy nag unrhyw ddyledswydd arall yn deilwng i Dduw, nac yn gymmeradwy ganddo. Ac nid yw yn ddigon ein bod o ran ein hegwyddor yn rasol, ond dylem ofalu am gyflawni y ddyledswydd, â phob gras mewn gweithrediad ynom.

7. 'Canaf â'r yspryd. Yspryd yw Duw a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn yspryd a gwirionedd.' 1 Cor. 14. 15. Ioan 4. 24. Phil. 3. 3.

Mae canu â'r yspryd ac addoli a gwasanaethu Duw mewn yspryd a gwirionedd, yn cynnwys bod yr holl ddyn, yr yspryd yn gystal a'r corph yn gweithredu yn fywiog a gwirioneddol yn y gwaith o addoli a moliannu yr Arglwydd. 'Fy enaid bendithia'r Arglwydd, a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd ef.' Ps. 103. 1. Ac y mae yn cynnwys hefyd ein bod yn y gwaith tan arweiniad ac yn nghymorth yr Yspryd Glan. Addoliad glin a gwefus, pa mor deg bynag y dichon iddo ymddangos, heb ei fod yn darddiant o weithrediadau yr enaid yn dumewnol mewn tymher addas tu ag at Dduw, nid yw ond addoliad hanerog ac annerbyniol. Ac nis dichon i enaid weithredu yn deilwng mewn addoliad i Dduw, ond dan dywysiad ac yn nghymhorth yr Yspryd Glan. Felly y mae yr angenrheidrwydd anhebgorol o hono yn hollol eglur. Gan hyny na fydded i ni fod mor ffol a cheisio myned yn mlaen gyda'r gorchwyl goruchel hebddo ef.

8. 'Trwyddo ef gan hyny offrymwn aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr hyn yw ffrwyth ein gwefusau yn cyffesu i'w enw ef. Iddo ef yr hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun. Ac a'n gwnaeth ni yn freninoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef,' Heb. 13. 15. Dat. 1. 5, 6. Ps. 130. 4.

Dylem bob amser yr wynebom ar y gwaith o ganu mawl i Dduw, dderchafu ein golwg trwy ffydd at yr Arglwydd Iesu fel Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw, yn rhinwedd ac urddas ei aberth, ei iawn, a'i eiriolaeth, am gymeradwyaeth o'n gwaith gyd â Duw. Ac ni ddylem ymorphwys ar fod hyn megis yn erthygl neu ran egwyddorol fel yn ein credo neu'n cyffes yn unig, ond dylem er pob peth ei fynu yn brofiad gweithredawl beunyddiawl ynom. Bod yn y gwaith yn ddiffygiawl o hyn a fyddai yn dra annheilwng, ac yn sicr o achosi annghymeradwyaeth o'n gwasanaeth ger bron Duw. O'r tu arall, bod yn y gwaith sanctaidd yn y profiad a'r agwedd yma sydd dra addas a chymeradwy ger bron Duw, a'r buddioldeb a darddai i ni ein hunain trwy hyny fyddai annhraethol. Gan hyny caffer agwedd felly arnom.

Yn arych y cyfarwyddiadau ysgrythyrol hyn gwelwn bod perffeithrwydd ac ardderchawgrwydd neillduol yn briodol i ordinhadau yr Arglwydd; a bod yr ardderchawgrwydd hwnw idd ei ganfod pan yr edrycher arnynt yn eu goleuni priodol eu hunain.

Gwelwn hefyd y rhwymedigaethau sydd arnom i gyd-ymagweddiad yn ein hymarferiadau ag ordinhadau yr Arglwydd, â'r rheolau, a'r gosodiad a roddodd efe i ni mewn perthynas iddynt, ac felly am yr ordinhad o ganu mawl. Nid digon i ni gyflawni y ddyledswydd mewn rhyw fodd, ond yn y dull a'r modd y gwelodd ef yn dda ein cyfarwydd'o. Cofiwn mai ei osodiadau ef yw y rhai hyn holl fel eu gilydd, ac felly, eu bod oll yn yr ystyr yma yn gydradd â'u gilydd, ac mor gysylltiedig mal nas esgeulusir un o honynt heb droseddu y cwbl. Diweddaf y rhan hon trwy ddwyn ar gof eiriau yr Arglwydd Iesu.—'Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch hwynt,' Ioan 13. 17. TALMID.

*Diwedd y drydedd ran.*

---

## NATHANAEL DAN Y FFIGYSBREN.

Yr hanes am dano sy fel hyn:—'A Philip a gafodd Nathanäel, ac a ddywedodd, cawsom yr hwn a ysgrifenodd Moses yn y gyfraeth, a'r prophwydi, am dano, Iesu o Nazareth, mab Joseph. A Nathanäel a ddywedodd wrtho, A ddichon dim da ddyfod o Nazareth? Philip a ddywedodd wrtho, Tyred a gwel.' &c. Ioan 1. 45. 46. darllen hyd ddiwedd y bennod.

Wrth ddarllen yr hanes hon, mae yn naturiol i ni feddwl fod Nathanäel yn un o'r ychydig nifer ag oedd 'yn dysgwyl am ddyddanwch yr Israel,' canys dywedodd Crist wrtho, cyn iddo ddyfod yn ddisgybl iddo, 'Wele Israeliad yn wir, yn yr hwn *nid oes* dwyll,' adn. 47. Dywedodd yr Iesu hefyd wrtho, 'Pan oeddit dan y ffigysbren, mi a'th welais di.'

Mae fy nychymyg yn fy arwain i feddwl mai darllen Moses a'r prophwydi, a myfyrio, a gweddio yr oedd Nathanäel, yn ei ardd, dan gysgod y ffigysbren, pan y dywed Crist mor bendant, 'Pan oeddit dan y ffigysbren mi a'th welais di.' Mae y genadwri a ddyg Philip iddo yn cadarnhau fy meddwl i farnu mai felly yr oedd. 'Cawsom yr hwn yr ysgrifenodd Moses yn y gyfraith, a'r prophwydi, am dano.' Fel pe buasai yn dywedyd, Mae genyf newydd da i ti heddyw, yr ydym ni wedi cael yr hwn yr oeddit yn dysgwyl am dano, yn chwilio am dano, yn darllen ac yn myfyrio am dano, ac yn gweddio am gael ei weled, Iesu o Nazareth.

Mae yn anhawdd genyf fi goelio mai o Nazareth y daw y Messiah, a minnau newydd fod yn chwilio, ac yn darllen yn Micah v. 2. 'A thithau Bethlehem Ephrata, er dy fod yn fechan yn mhlith miloedd Iuda, etto, ohonot ti y daw allan i mi, un i fod yn llywydd yn Israel,' fel pe buasai Nathanäel yn dywedyd wrth Philip, 'Tyred a gwel.' Medd Philip wrtho yntau: a gallasai chwanegu, mae ysgrythyr felly hefyd yn rhywle, 'A gelwir ef yn Nazareaid.'

Felly fe aeth Nathanäel gyda Philip at yr Iesu. 'A'r Iesu a ganfu Nathanäel yn dyfod atto, ac a ddywedodd am dano, Wele Iraeliad yn wir yn yr hwn nid oes dwyll. Nathanäel a ddywedodd wrtho, Pa fodd y'm hadwaenost? Iesu a attebodd, ac a ddywedodd wrtho, cyn i Philip dy alw di, pan oeddit dan y ffigysbren, mi a'th welais di.' Nathanäel a attebodd ac a ddywedodd wrtho ef, Rabbi, ti yw Mab Duw; ti yw Brenin Israel.' Fel pe buasai yn dywedyd, yr oeddwn i yn mwynhau yr addewid hono, Mic. 4. 4. 'Eisteddant bob un dan ei winwydden, a than ei ffigysbren, heb neb i'w dychrynu.' fel y bum lawer gwaith. Yr oeddwn yn meddwl yn wastad nad oedd neb yn fy ngweled ond Duw, canys gwnaethwn arferiad o fyned yno, fel y lle mwyaf dirgel a llonydd a allwn gael. Yn wr mi welaf dy fod yn fy nghanfod yno, ac yn adnabod cywirdeb fy nghalon yn fy ngweddiau taerion, a'm myfyrdodau dwysion; wrth yr hyn yr wyf yn credu mai 'ti yw Mab Duw; ti yw Brenin Israel; mi roddaf fy hunan i fod yn wasanaethwr ac yn ddisgybl i ti byth: ac felly fu.

Ni a allwn weled yn hanes Nathanael mai buddiol yw cyrchu yn fynych i ddirgel fanau i weddio, myfyrio, a chwilio yr Ysgrythyrau. Yr oedd llygad yr Arglwydd yn neillduol arno tra yn y gorchwyl hwn. Fe attebwyd ei weddi, ac efe a gafodd yr hwn y bu cyhyd yn dyfal chwilio am dano. Dylai y rhai a gawsant yr Iesu, megis Philip, wahodd eu cyfeillion a'u cymmydogion atto, canys nis gwyddom pa fendith a allwn

fod iddynt, drwy barhau i ddywedyd, 'Tyred a gwel.' MYFYRIWR.

## TREFN YR IUDDEWON WRTH ENWAEDU EU PLANT.

Dilys fod yr ordinhad o enwaediad o Ddwyfol osodiad, (h. y.) wedi cael ei gorchymyn gan Dduw ei hun i Abraham tad y ffyddloniaid, a chyff naturiol y genedl Iuddewig. Cyflawnwyd yr ordinhad hon ar Abraham pan yn yr oedran mawr o namyn un mlwydd cant (99); ac yna ganddo yntau ar ei holl dylwyth. Mae yn sicr fod yr enwaediad yn arwyddo amryw o bethau, ond yn benaf yr oedd i fod yn arwydd o'r cyfammod a wnaeth Duw rhyngddo ef ac Abraham a'i had, ac yr oedd bod yn esgeulus o gyflawniad yr ordinhad grefyddol hon, yn cael ei ystyried yn doriad o'r Cyfamod, ac yn ddibrisdod ar yr Arglwydd eu Duw. Mae'n amlwg bod yr arferiad o enwaedu wedi bod yn mhlith amryw o'r cenhedloedd dwyreiniol megis yr Aifftiaid y Saraceniaid, yr Ishmaeliaid, a'r Arabiaid &c.; ond ni cheir bod un gorchymyn i un genedl ei harfer ond y genedl Iuddewig yn unig, ac felly nid oedd eu hymarferiad hwy a'r ordinhad o un pwys nac yn atteb un dyben amgen na phorthi eu mympwy hwy er ymdrechu tebygoli i'r Iuddewon y rhai oeddynt unig bobl gyfammodol yr Arglwydd yn y dyddiau hyny.

Cyflawnid yr ordinhad hon trwy dori ymaith y blaengroen. Dywed dysgedigion (Calmet ac eraill) bod y gair enwaedu yn *Hebraeg*, *Groeg*, *a Lladin* yn arwyddo TORI YMAITH, CYLCHDORIAD neu DORIAD ODDIAMGYLCH. Ni chawn yn y *Bibl* un gorchymyn pendant am ddull, gweinyddwr, nac offeryn gweinyddiad, yr ordinhad hon, y cwbl o'r pethau amgylchiadol perthynol iddi ar a orchymynwyd ydoedd amser gweinyddiad yr ordinhad, sef ar yr wythfed dydd, ac yr oeddynt yn cadw yn fanwl at hyn fel na byddont yn esgeulus o'i gyflawni er i'r wythfed dydd ddisgyn ar y Sabbath. Cawn brawf o hyn yn Ioan 7. 22, 23.

Gellir casglu hefyd oddi-wrth yr ysgrythyrau, mai y penteulu, neu ryw swyddog o anrhydedd, neu gyfaill hoff i'r teulu, a fyddai'n gweinyddu y swydd amlaf. Cawn i Iosuah enwaedu ar liaws o Israel yn Gilgal, Ios. 5. 3—9. Paul a enwaedodd ar Timotheus, Act. 16. 3. Sephora gwraig Moses a enwaedodd ar Gersom eu mab, Ecs. 5. 24, 25. Hwn yw'r unig fan ag y mae genym hanes am neb o'r rhyw fenywaidd yn gweinyddu y swydd; a'r achos i Sephorah ei chyflawni y pryd hwn, mae'n debyg ydoedd, am i'r Arglwydd daro Moses a rhyw glefyd am ei hesgeuluso, a thrwy hyny ei wneuthur yn analluog i'w chyflawni y pryd hwnw.

Ond ynglyn a chyflawniad yr ordinhad (yn enwedig yn ei dyddiau olaf.) yr oedd llawer o arferion a hen ddefodau traddodiadol wedi ymlusgo i mewn, y rhai sydd yn dangos eu bod yn hynod o'r coelgrefyddol. Pan enid mab yr oedd yn arferiad yn mysg rhai teuluoedd i wneuthur rhyw bapurau bychain, ac arnynt yn ysgrifenedig y geiriau hyn, ADDA, EFA, LILITH A AETHANT.

Byddai hefyd y rhai mwyaf Coelgrefyddol o honynt yn ysgrefnu enwau tri angel ar y papurau dywededig, gan gredu, ond iddynt wneud hyny, y byddai'r angylion ddyfod i amddiffyn eu babanod. Byddant fel y dywedwyd yn enwaedu ar yr wythfed dydd, y nos cyn hyny a alwant *Gwylnos*, o herwydd byddai yr holl deulu ar eu traed yn effro yn gwylied y plentyn.

Byddai cyfeillion y tad a'r fam yn fynych yn ymweled a hwy ar y cyfryw achos, a byddai yn achos o lawer o ddifyrwch, a gwledda; lled gyffelyb mi feddyliwn y byddai'r Iuddewon yn cadw y *Gwylnosau* hyn i'r modd y cedwir Gwylnosau, (sef y nosweithiau o flaen claddedigaeth) y blynyddoedd diweddaf hyn yn yr Iwerddon. Byddant yn dewis cyflwyndad a chyflwynfam yn flaenorol, ac yr oeddynt hwy bob amser i fod yn y wledd neu'r gwylnos; pan aent i gyflawni'r ordinhad, yr oedd i'r gyflwynfam gario y plentyn (os byddent yn myned ag ef o'r tŷ) i'r synagog; ac yna byddai y cyflwyndad yn ei ddal i'w ei enwaedu: os byddai y tad yn meddu ar gymmwysderau gallasai enwaedu ar ei blentyn ei hun.

Yr oedd ganddynt barch mawr i'r MOHEH, h. y. Enwaedwr, oblegid yr oedd yn rhaid i'r neb a gai fyned i gyflawni yr ordinhad o enwaediad fod yn un tra chyfrifol yn ngolwg teulu yr enwaedigedig.

Arferent lawer o drefniadau, seremoniau, ac ofergoelion, y rhai na thybiai y cyffred-

yn olrwydd o'ch lliosog ddarllenwyr yn werth treulio amser i'w darllen, nac o un buddioldeb cadw coffadwriaeth argraffyddol o honynt. Ond er hyny maent yn dangos mor bell yr â dynion o'r ffordd wedi iddynt golli symlrwydd duwiolder, hyd yn nod gydag ordinhadau o drefniad Duw ei hun.

D. W.

---

### SEFYDLIAD GYMDEITHAS Y BIBLAU.

Dichon y byddai yn ddywenydd gan lawer o'n cyd-genedl, (yn enwedig yr Ieuenctyd) yn yr oes hon, ac mewn oesoedd a ddeuant, gael hysbysiad drwy gyfrwng y Drysorfa o'r pryd a'r modd y ffurfiwyd ac y sefydlwyd y Gymdeithas ardderchocaf hono, a elwir, 'CYMDEITHAS Y BIBLAU I FRYDAIN A PHARTHAU PELLENIG.'—Mae hyny i'w gael yn fanwl yn amrywiol ADRODDIADAU (*Reports*) y Gymdeithas ei hun, (yn Saesoneg a Chymraeg, &c.) yn gystal ag mewn llawer o lyfrau a chyhoeddiadau ereill,—yn enwedig yn 'NGHOFIANT' y diweddar Barch T. CHARLES, o'r Bala, a gasglwyd ac a gyhoeddwyd, yn Gymraeg, gan y diweddar Barch. T. JONES, o Ddinbych; ac, yn Saesoneg, gan y Parch. E. MORGAN, A. M. *Ficar* SYSTON, &c. Ond er mor ddymunol fyddai fod un (o leiaf) o'r 'Cofiant,' gwerthfawr uchod yn mhob teulu drwy'r byd, a'r sydd yn deall y naill neu'r llall o'r ieithoedd yn mha rai y cyhoeddwyd yr unrhyw,—etto fe allai nad oes ond prin un o fil yn ein gwlad ein hunain a wyddant ddim am dano—Gan hyny cynnygiaf y crynöad byr a ganlyn o hanes dechreuad '*Cymdeithas y Biblau.*'—

Gwr oedd y Parch. T. CHARLES a arfaethwyd er tragywyddoldeb ac a neillduwyd o'i febyd, i fod yn un o'r offerynau mwyaf enwog a defnyddiol, yn llaw '*Duw pob gras,*' i ddwyn ymlaen achos teyrnas yr IMMANUEL, ac i wneyd yn hysbys ei Iachawdwriaeth Ef,—(yn ein gwlad ni ac mewn amrywiol wledydd ereill)—o nemawr neb dynion, mewn un oes na pharth o'r byd, ers dyddiau yr Apostolion!—Dygwyd ef i fynu yn Weinidog Eglwys Loegr. Bu yn gweinidogaethu ynddi dros rai blynyddau, yn ffyddlawn a llafurus iawn, ac arwyddion amlwg fod Duw yn ei arddel, ac yn bendithio ei lafur mewn modd neillduol.—Ond, drwy ystryw ac ymdrech rhyw ddynion nad oeddynt 'yn caru y gwirionedd,' gwthiwyd ef o'r Eglwys hono, o herwydd ei ffyddlondeb a'i dduwiol frydedd, yn nechreu y flwyddyn 1785.—Ond yn llaw ei Dduw yr oedd efe; a chafodd ei nerthu i barhau i 'rodio gyda Duw,' ac i fod yn ffyddlawn ac offro yn ei ysbryd gyda ei waith Ef, er cael ei wthio allan o'r rhan hyny o winllan ei Arglwydd lle y gosodwyd ef ar y cyntaf. Ac nid hir y bu efe cyn i'r Arglwydd ddangos iddo faes helaeth iawn iddo lafurio ynddo, (sef holl Gymry i gyd, a manau ereill, yn Lloegr, hefyd) mewn cyfundeb â'r Corph o bobl a elwir '*Trefnyddion Calfinaidd.*' A'r Arglwydd yn ddiau a'i tueddodd ef i ymuno â'i bobl Ef o'r enwad hwnw; a chan ba rai y cafodd efe dderbyniad parchus a gwresoglawn; a chyda pha rai y bu efe yn weinidog ffyddlawn a llafurus, dan neillduol arddeliad a bendith Duw ar ei weinidogaeth a'i lafur, hyd oni orphenodd ei yrfa yma, ac yr arweiniwyd ei ysbryd ef gan Angylion, i ddigyfrwng gymdeithas a thragwyddol lawenydd ei Arglwydd.

Yn fuan ar ol iddo ymuno â'r Trefnyddion, cafodd fwy o gyfleusdra nag erioed o'r blaen, (trwy ei fod yn teithio hyd y gallai, ar hyd a lled y wlad, i bregethu yr Efengyl ac i addysgu y trigolion anwybodus yn y pethau a berthynant i fyd a bywyd tragywyddol,—cafodd, meddaf, gyfleusdra) i weled y mawr, y tra mawr ddiffyg oedd ar y Cymry, *filoedd lawer* o honynt, am Air Duw, y Bibl sanctaidd! Ystyriaeth o hyn a ddwys-wasgodd ar ei feddwl; ac ni orphwysodd heb lwyr-ymroddi i ymgais am ffordd a moddion i gyflawni y diffyg tra galarus hwn,—yn ddi-ball. Hysbysodd hyn i rai Gweinidogion enwog, duwiol a dysgedig, ac i gyfeillion duwiol eraill hefyd, yn Nghymru, a Lloegr; pa rai a gydsyniasant o galon âg ef yn ei olygiadau, ac yn ei ymdrechiadau. Ac felly defnyddiodd bob cyfleusdra a moddion addas a chyrhaeddadwy, am gryn amser, i gael gan y Gymdeithas glod-wiw hono a gyfenwir, '*Cymdeithas i ddwyn ymlaen Wybodaeth Cristionogaidd,*' —(drwy offerynoldeb yr hon Gymdeithas yr oedd y Cymry wedi cael rhai argraffiadau o'r Bibl Sanctaidd amryw flynyddau yn ol)—ie, arferodd bob diwydrwydd tuag at gael ganddi anfon allan etto argraffiad hel-

aeth o'r Bibl yn Gymraeg; neu, o leiaf, i wneuthur pob cynnorthwy ar a allai at hyny.

Ond, ar ol dyfal ac amyneddgar ymdrechiadau Mr. Charles a'i gyfeillion, am rai blynyddau, penderfyniad Dirprwywyr y Gymdeithas hono ydoedd, *nas gallent ddim rhoi y cynnorthwy a geisiant,—bod y Gymdeithas yn rhy dlawd, &c.!* Ac felly 'pall a nacâd hollol' a gawsant!—Etto ni phallodd dymuniad ac ymdrechiadau y Parch. T. Charles:—ond, pan oedd efe yn Llundain, ac wedi cael sicrwydd am y 'nacâad' uchod, (fe allai flwyddyn neu ddwy cyn amser ffurfiad 'Cymdeithas y Biblau,) wrth weddio a dwys-fyfyrio, pa beth ymhellach a ellid wneyd,—pa lwybr arall a gymmerai tu ag at gael yr amcan daionus i ben,—ar ryw foregwaith, (boregwaith a gofir byth!) daeth i'w feddwl ef gyda *grym a goleu,*—(yn ddïau o'r nef)*—'*Os gellid cael Dry Fil o Bunnau, y gellid felly cael argraffiad lled helaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, i'w gwerthu am bris isel i dlodion Cymru;—ac ar yr un pryd, tybiodd yn gryf, ac heb ammau, y gellid cael ugain (o leiaf) o foneddigion duwiol a haelfrydig, yn ninas Llundain, a roddent yn rhwydd gan-punt bob un tu ag at y cyfryw achos gogoneddus.*' Cododd yn foreu iawn,—a'i feddwl yn llawn o obaith, diolchgarwch a sirioldeb,—ac aeth felly y boregwaith hwnw at gyfaill hoff a duwiol, yr hwn y gwyddai a wnai yr hyn a allai i hyrwyddo ei amcan ac i'w gynnorthwyo. Yna at gyfeillion ereill y cyfleusdra cyntaf a gafodd.

Ac wrth ymddyddan â'r naill gyfaill â'r llall o dro bwy gilydd, daethant i benderfyniad am gael *cyfarfod* pennodol, i gydweddio, a chyd-ymddyddan ar yr achos, ac i geisio ffurfio rhyw fesurau i gychwyn y gwaith o Gasglu y Cynnorthwy angenrheidiol, &c.—Cyd-ymgyfarfuant drachefn a thrachefn; a chawsant arwyddion tra amlwg o *foddlonrwydd yr Arglwydd*—yn Enw yr Hwn y cyd-ymgynnullent. Ac, yn un o'r cyfarfodydd hyn, a gynhelid yn *bennodol* i ystyried y modd a'r llwybr tebycaf o fod yn effeithiol a llwyddiannus i gaffael Argraffiad helaeth o'r Bibl Sanctaidd i'r Cymry yn eu hiaith eu hunain,—yn un o'r cyfarfodydd hyn, (meddaf)—ac arwyddion amlwg o bresennoldeb grasol Duw gyda hwynt,—y safodd un gwas i Grist i fynu, a than gyfarwyddyd ei Ysbryd Ef,—gofynodd, 'PA'M BIBLAU I'R CYMRY YN UNIG? PA'M NAD I GENHEDLOEDD AC IEITHOEDD EREILL HEFYD?' &c. &c. '*Ie, pa ham, hefyd?*' ebai arall, ac ereill, oedd yno yn ymgynnulledig,—nes aeth y '*pa ham*' hwn drwy *enaid* pob un o honynt nes oedd eu llygaid hwy oll yn *llifo* gan ddagrau o lawenydd a diolchgarwch! (*Tragywyddol fawl i Dduw am y cyfarfod hwn!*)

Ac felly mewn canlyniad i hyn cyd-ymgynnullasent drachefn a thrachefn, gyda llawn awyddfryd i ffurfio a sefydlu, nid yn unig Cynnorthwy i'r Cymry i gael Biblau, ond hefyd, ar yr un pryd, CYMDEITHAS BIBLAU I'R HOLL FYD!—Yr hon a ffurfiwyd yn y flwyddyn 1804; a'r hon a bery yn ffyddlawn ac yn fwy-fwy llwyddiannus, (gobeithiwn) nes y 'bydd y ddaear yn llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megis y mae y dyfroedd yn toi y môr!'—Fel hyn gwelwn mai o'r Nef yr *hanoedd* 'Cymdeithas y Biblau,'—ac mai y diweddar Barch. T. CHARLES, o'r Bala, a gafodd y fraint fawr o fod yr offeryn *blaenaf* yn y *Rhagharotoad* i ffurfiad a sefydliad y Gymdeithas ardderchocaf hon!

[Rhag gormod meithder gadawaf ar hyn y tro hwn, gan obeithio anfon i'r Rhifyn nesaf ychydig ychwaneg o hanesiad cyd-gyssylltedig â'r pethau uchod; yr hyn na bu erioed etto yn argraffedig.] D. I.

*G——m*: *Meh.* 1837.

---

* Gan Mr. C. ei hun y cefais hyn,—yr hyn ni bu erioed o'r blaen yn argraffedig, am a wn i. D. I.

### EILUN-ADDOLIAETH.

Y dyn hwnw ag sydd yn gosod ei holl ymddiried yn, ac yn cyrchu ei brif feddlonrwydd a'i ddiddanwch oddiwrth ei etifeddiaeth, ei gyfaill, a'i fawredd bydol, &c. a phan ballo y *rhai hyn*, y mae'n obeithiol ac yn gwan galoni, fel pe bai gwedi colli y cwbl a fedd efe—yr wyf yn dywedyd, fod y dyn hwnw yn gwneud eilun o'i etifeddiaeth, ei gyfaill, a'i fawredd bydol, mor wirioneddol a phe bai yn adeiladu teml, ac yn ymgrymu ger eu bron, a'u haddoli hwynt. Gan hyny, gosoded pob dyn ei law ar ei galon, ac ys-

ystyried yn ddifrifol rhyngddo ag ef ei hun, pa wrthrych yn benaf sydd yn meddiannu ei brif serchiadau; a thrwy hyny gall wybod yn sicr mai yr unig wrthrych hwnw yw ei dduw ef: ac, os nad ymwadu ac yr ymedy ag ef, a'i fwrw ymaith, fe fydd yn sicr o farw yn *eilunaddolwr*, a threngu yn ei bechod—Mae rhai mor awyddus a chwannog am bethau y bywyd hwn, fel y mae meddwl am farw yn farwolaeth iddynt. Wrth farw, nid ymadael a'r byd y maent, ond cael eu *gyrru allan* o hono, a'u rhwygo oddiwrtho, ac y mae eu hysgariad oddiwrtho, yn galetach nag ysgariad y corph a'r enaid oddiwrth eu gilydd.

O! mor anoddefol yw meddwl am ymadael ag etifeddiaeth deg, cynnysgaeth o ddeng mil ar hugain o bunnau, teulu gwych, ac uchelfri bydol! Mor ddrygnaws y teimlant eu hunain wrth feddwl newid eu nefoedd isod, am yr un sydd uchod! Bydded hysbys i'r dynion hyn, mai pa faint bynag a broffesant hwy eu bod yn caru Iesu Grist, mai dyna y peth y maent hwy yn ei garu fwyaf, sef y peth anhawsaf ganddynt ymadael ag ef. Ystyried y cyfryw rai yn ddwys, fod 'Pwy bynag sy'n gyfaill i'r *byd*, yn elyn i Dduw. Maent mor wrthwyneb i'w gilydd ag yw goleuni i dywyllwch—*Beauties of South.*

---

GOGONIANT YR ARGLWYDD IESU GRIST YN EI YMDDAROSTYNGIAD.

Mor gynted ag yr ymddarostyngodd Iesu Grist yn ei fabandod, i iselder yr *ystabl* a'r *preseb*, fel ei letty, yn y *fan* cymmerwyd ymaith ddirmyg a diystyrwch y lle, gan ogoniant disglaerwych y gweinyddion nefol, y *llu angylaidd*. Gwnaethpwyd y lle hwn yn llawer mwy ardderchog a rhagorach na'r palas mwyaf gorwych, a thu hwnt i orseddfaingc glaer-wych brenhinoedd daear, pan ei prydferthwyd a phresennoldeb sanctaidd yr Iesu bendigedig; a phan ei addurnwyd a phresennolrwydd y cenhadon gwasanaethgar hyn.

Ymddarostyngiad Crist i ordinhad yr enwaediad a urddwyd gan dystiolaeth gyhoeddus Simeon mewn perthynas iddo. Ei ympryd, ei demtiad, a'i gyfyngder dan ymdrech meddwl yn yr ardd, a addurnwyd â gweinyddiad angylion. Ei fedydd a gydnabyddwyd gan lais o'r nef. Yn ei groeshoeliad, rhoddodd holl gyfansoddiad natur dystiolaeth o'i fawredd a'i ddwyfoldeb. Rhwygodd llen y deml, attaliodd yr haul ei belydrau llewyrchawl, a'r ddaear ei hun a grynodd! Ymddangosodd y greadigaeth ehang megis pe buasai yn cyd-ymdeimlo â'i ddioddefiadau dwysion ef. A thrwy adgyfodiad buddugoliaethus ac esgyniad gogoneddus, y rhoddwyd y rhesymau helaethaf i brofi dwyfoldeb ei berson drosodd a throsodd drachefn.*

---

## TROEDIGAETH DAU LEIDR.

Mewn Cyfarfod Bibl Gymdeithas yn Norwich, ychydig amser yn ol, aeth dau gymdeithion lladronllyd i mewn i'r gynulleidfa liosog i'r dyben o bigo poccedau a lladratta. Ond wrth i un o'r Gweinidogion areithio ar werthfawrogrwydd a chynnwysiad y Bibl, effeithiodd ar un o'r ddau i dynu ei sylw ar yr hyn a ddywedwyd. Syrthiodd syndod a dychryn mawr arno, nes y dechreuodd feddwl yn ddifrifol iawn am ei bechadurusrwydd a mawr ddrwg y

* Yn amgylchiadau ymddarostyngiad Crist y canfyddwn yr hyn oll sy'n wrthwyneb i bob mawredd *bydol*. Y preseb yn gryd iddo—heb le o'i eiddo'i hun i roddi ei ben i lawr—ei gyfeillion pysgodwyr tlodion—yn fynych mewn newyn a syched—heb arian i dalu y dreth—pleth-dorch o ddrain yn goron—a chorsen, mewn gwawd, yn deyrnwialen iddo—marwolaeth waradwyddus y groes—ei gladdu mewn bedd benthyg!!!

Ond, fe edrych *ffydd* tu hwnt i'r rhai hyn megis trwy orchudd, a than y *wedd-ddulliad* isel hwnw y canfyddir Arglwydd y gogoniant,—Brenhin y brenhinoedd,—y nefoedd ei orsedd-faingc, y ddaear yn lleithig ei draed,—y goleuni ei wisg—y cymmylau ei gerbyd—y daran ei lais—ei nerth yn hollalluog—ei gyfoeth yn holl-ddigonol—ei ogoniant yn annhraethol—ei osgordd lluoedd y nef, a mil-miloedd o brynedigion o saint. Saint i'r rhai y cyfranodd efe gyfoeth anchwiliadwy—etifeddiaeth ddihalogedig a diddiflanedig, gwleddoedd o lawenydd trag'wyddol, a dyrchafiadau o anrhydedd anfarwol; gan eu gwneuthur yn frenhinoedd ac offeiriaid i Dduw; yn gorchfygwyr, ac yn fwy na choncwerwyr wedi eu mabwysiadu yn feibion i Dduw, ac mewn undeb dirgeledig a'i berson gogoneddus ef ei hun. Gesyd hyn oll sylfaen i dragywyddol ryfeddod, a diolchgarwch annhraethadwy!!!—*Beauties of South.*

J. MORRIS.

gorchwyl melldigedig oedd ganddo ef a'i gydymaith mewn llaw. Llanwyd ef â chywilydd ac euogrwydd nes yr aeth efe allan o'r dorf, ac efe a grwydrodd yma ac acew i ymofyn am le dirgel, ac yno efe a dywalltodd ei feddwl mewn gofid a dagrau heilltion ger bron ei Greawdwr.

Dros gryn amser, nid oedd ganddo ddim ond teimladau o euogrwydd ac ofn fel pechadur euog heb un sail o hyder, yn ei olwg. Yr oedd ei feddwl heb ei oleuo am drefn Duw yn achub pechadur, ac felly yr oedd yn ofni nad oedd y fath beth a thrugaredd i'w chael i'r fath bechadur mawr ag oedd ef. Wedi bod rai misoedd yn bur anghysurus, fe darawodd wrth ryw gyfeillion crefyddol, y rhai a'i dygasant ef i wrando pregethiad yr efengyl.

Trwy ddyfal barhau i wrando y gair, a thrwy gyfeillach â Christionogion profiadol, efe a ddaeth i ganfod peth o oleuni, a mwynhau ychydig o obaith. yr efengyl, O hyny allan dangosodd arwyddion amlwg ei fod yn greadur newydd, a bod yr hen bethau wedi myned heibio; ac efe a ymroddodd i wasanaethu Duw.

Parhodd ei gydymaith i ddilyn ei ffyrdd drygionus, nes o'r diwedd iddo dorri tŷ, a chael ei ddal, a'i roi yngharchar, a'i fwrw i'w ddihenyddio. Ei hen gyfaill dychweledig a dosturiai yn fawr wrtho yn ei gyflwr condemniedig: efe a aeth i ymweled âg ef i'r carchar y cyfleusdra cyntaf a gafodd. Ond y dyn truenus, gan droi clust fyddar at ei holl ymadroddion, a ddywedai wrtho, 'Os wyt ti wedi troi yn *Fethodist*, paid a meddwl y gelli di wneud ffwl o honof fi!'

O'r diwedd goddefodd yr adyn i'w gyfaill ddarllen ychydig adnodau o'r Bibl iddo, a myned i weddi gydag ef. Dywedai ei gyfaill wrth ymadael âg ef, 'Wele, mi a weddiaf fi gyda thi ddydd a nos; ac mi a ymwelaf â thi yn fynych, cyhyd ag y byddych byw, os rhoi di ganiattad i mi ddyfod, ac os rhoi di wrandawiad i mi.' Rhoddodd y carcharor iddo ganiattad i ddyfod.

Ar ei ymweliad nesaf, efe a ddywedodd, ar ei ddyfodiad i mewn, 'Wele fy nghyfaill, a ymwelodd neb arall o'th gyfeillion â thi er pan wyt yn y carchar?' 'Naddo;' ebe y truan, 'neb ond tydi;' a chyda theimladau toddedig, efe a chwanegodd, 'Maent oll wedi fy ngadael pan aeth hi yn galedi arnaf.' Llawenychodd calon ei gyfaill pan ganfu fod rhyw radd o ystyriaeth a theimlad wedi cymmeryd gafael yn y carcharor er pan fu efe gydag ef o'r blaen.

O hyny allan rhoes y carcharor bob gwrandawiad i'w gyfaill, a derbyniad croesawgar i'w gynghorion, tra yr oedd ef yn ceisio dangos iddo ei gyflwr truenus trwy bechod, ac yn ei gyfeirio i'r unig fan lle y mae gobaith i bechadur euog. Gwnaed cyfnewidiad rhyfeddol ar ei feddwl. Ymddangosai yn awr fel pechadur wedi dryllio ei galon, yn gorwedd wrth draed yr Iesu croeshoeliedig, yn gofyn am drugaredd. Cydunodd erbyn hyn â'i gyfaill i dywallt ei erfyniau taerion mewn gweddi am faddeuant o'i bechodau, gan lawenychu yn ngalwad yr efengyl, ac yn addewidion y gair i bechaduriaid edifeiriol.

Yr oedd yn dangos arwyddion fod ganddo obaith ar sail haeddiant y Cyfryngwr, hyd yn nod pan oedd amser ei ymadawiad a'r byd hwn yn agosâu. Parhaodd ei gyfaill i fod yn ei ymyl hyd y munud olaf; ac nid oedd yn ammeu dim am wirionedd ei edifeirwch; a'i fod wedi ffoi am noddfa at yr Hwn sydd yn abl i achub hyd yr eithaf. E.

(Allan o'r *Christian's Pocket Magazine.*)

## TROEDIGAETH MAB AFRADLON.

Ryw amser yn ol, dygwyddodd i Weinidog yr Efengyl, o Loegr, fod yn Edinburgh, yn Scotland. Tarawodd gwr ieuanc wrtho ar yr heol, gan ofyn ei hynawsedd am fod mor hyf, efe a ddywedodd, 'Yr wyf fi yn meddwl, Syr, fy mod i wedi bod yn eich gwrando yn y cyfryw le.' Fe allai hyny Syr, medd y gweinidog, canys mi fûm I yno yn pregethu rai gweithiau. 'A ydych chwi yn cofio,' eb efe, fod papur argraffedig wedi cael ei osod i fynu gan wraig weddw, yn dymuno gweddiau y gynnulleidfa dros ei mab annuwiol!' Yr wyf yn cofio yn dda y cyfryw amgylchiad. 'Syr,' eb yntau, 'myfi yw y mab hwnw.' Ac mae yn beth rhyfedd i'w ddywedyd, fe attebwyd y gweddiau. Wrth i mi fyned heibio i'r fan, gyda gwr ieuanc annuwiol arall, un Sabbath, dygwyddodd i mi weled y papur ar y pared.

Cyttunasom i fyned i mewn, ac i ganol y gynnulleidfa yr aethom, ac a arosasom yno ychydig o funudau, i chwerthin am ben y pregethwr, a'i wawdio, ynghyd a'r papur argraffedig. Yn fuan wedi ein dyfod i mewn, Syr, chwi a ddarllenasoch y papur, yn dymuno gweddiau y gynnulleidfa dros fab annuwiol gwraig weddw. Gwrandewais ef gyda'r fath deimladau nad allaf eu hadrodd. Fe'm dwys bigwyd yn fy nghalon, er nad oeddwn i yn meddwl dim mai fi oedd y gwr ieuanc y cyfeirid atto.

Mi welais ei fod yn dangos chwerwder enaid gwraig weddw, yr hon oedd iddi fab mor ddrygionus ag yr oeddwn yn teimlo fy mod i. Fe sobrwyd fy meddyliau yn y fan. Nis gellais chwerthin dim yn chwaneg. Tynwyd fy holl feddylfryd ar y pregethwr. Mi wrandewais ar ei weddi, ac ar ei bregeth ef, gydag awyddfryd gwahanol iawn i'r agwedd yr oeddwn ynddo pan ddeuais i mewn i'r lle. Er y pryd hyny, mae gwirioneddau yr efengyl yn glynu yn fy nghalon. Myfi a ymunais â'r gynnulleidfa; ac mi ddynesais at Dduw drwy Grist am drugaredd, ac a brofais dangnefedd drwy gredu. Ac yn awr yr wyf yn gysur ac yn ddyddanwch i fy mam, yn lle bod yn flinder ac yn doriad calon iddi; a thrwy ras Duw yr wyf yn parhau i rodio yn neddfau glân yr Arglwydd.

Yn ddiweddar agorwyd drws i mi i gael sefyllfa gysurus yn ngwlad fy ngenedigaeth, mi a ddaethum yma gyda'm parchus fam, ac ers rhai blynyddau mi ymdrechais am sychu i fynu ddagrau y weddw, y rhai y bûm i gynt yn achos iddynt lifo i lawr ei gruddiau; ac i fod yn ddyddanwch a chynnaliaeth iddi yn ei hen ddyddiau, fel y bum gynt yn ofid a blinder iddi am flynyddoedd lawer.'

Gwrandawodd y gweinidog ar yr hanes gyda mawr syndod; a dywedodd, O ryfedd, ryfedd ras!!!

RHINWEDD ADDYSG GREFYDDOL.

Pregethwr poblogaidd, rywamser yn ol, a fynegodd yr hanesyn canlynol, yr hwn sydd yn dangos, am addysg grefyddol, er y gall fod yn hir megis wedi ei gladdu, etto yn fynych, ymhen amser, efe a ddyg ffrwyth o edifeirwch a diwygiad.

Yr oedd gan rieni duwiol un mab, unig-anedig fab, yr hwn y gweddiasant lawer drosto, ac y rhoisant lawer addysg grefyddol iddo; ond yn lle bod yn gysur iddynt yn eu hen ddyddiau, efe a aeth ar gyfeiliorn ar hyd y ffordd lydan, gan fyw yn afradlon, a threulio ei eiddo ar feddwdod a glythineb, hyd nes oedd agos wedi gwario cymmaint oll a feddai ei rieni, ac wedi darn dorri eu c lonau.

Yr oedd ei dad yn canfod ei fod ef, o ran ei oedran, yn nesâu at yr amser pryd nas gallai ddilyn yn hwy ei alwedigaeth dymhorol.

Un prydnawn, fel yr oedd efe a'i wraig yn dwys ymddyddan ynghylch achos eu mab gwargaled ac anufudd, efe a ddywedodd y byddai raid iddo ymattal rhag rhoddi dim chwaneg o arian at un achos elusengar, ac ymdrechu cadw hyny a allant erbyn eu hen ddyddiau. Gwrthwynebodd ei wraig ef yn hyny, gyda mawr zel, gan ei gyfeirio ef at addewidion yr Efengyl, gan chwanegu, os nad oedd efe yn credu addewidion Duw, ei bod hi yn eu credu hwynt, ac ni allai gyttuno â'r hyn a gynnygiodd mewn un modd.

Rhyw gymmaint o amser wedi hyny, derbyniodd y fam lythyr, a chan adnabod y llaw ysgrifen hi wybu mai oddiwrth eu mab y daethai. Hi a agorodd ei sêl ef, ac a redodd gydag ef heb ei ddarllen, at ei gwr, yr hwn oedd yn gweithio mewn maes ger llaw y tŷ, gan ddywedyd, 'Dyma lythyr oddiwrth John!' 'Eisiau mwy o arian, mi wn; nid oes genyf fi ddim iddo,' medd ei dad, gan ddal i weithio o hyd, heb gymmaint ag edrych ar y llythyr. 'Darllenwch ef, beth bynag,' eb hithau. Efe a ymaflodd ynddo, ac a'i darllenodd ef, ac efe a synodd, pan ganfu ynddo fod John ar ei ffordd adref, ei fod wedi gweled ei fawr ynfydrwydd, a'i bechadurusrwydd; ei fod yn wir edifeiriol am ei bechodau a aethent heibio, ac yn penderfynu dilyn buchedd newydd, a bod yn ufudd i'w rieni, ac yn gysur iddynt yn eu hen ddyddiau. 'Bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd, a thi a'i cei ar ol llawer o ddyddiau." Preg. xi. 1.

## Y Dysgawdwr Cyffredinol.

VII. Y GELFYDDYD O WISGIAD DILLAD.

III. Y rhan fwyaf o anifeiliaid ydynt wedi eu darparu â gwisg o flew neu wlan,

yn orchudd iddynt; ond mae dyn wedi ei adaw yn noeth, ac, ar lawer golygiad, yn amddifad, yr hyn, yn amlwg, sydd er annogaeth i'w ddyfais a'i ddiwydrwydd, y rhai, yr un pryd, ydynt gyflawnadau am ddarpariaethau naturiol.

Syl.—Mae dyn, o ran ei angenion a'i alluoedd ei hun, wedi ei wneuthur i gyfartalu yr hinsoddau a gorchfygu yr elfenau. Ei adail ardderchog, ei reolaeth ar dân a dwfr, ei gaffaeliad o oleuni yn y nos, a'i amrywiaeth gwisgiad, ydynt ddangosiad o ragoriaeth ei ddëalltwriaeth.

112. Yn mhob hinsawdd nid yw gwisg o gyffelyb angenrheidrwydd: yn y cylchoedd gwresog nid yw yn ofynedig ond ychydig, oddieithr fel addurn; ond, yn y cylchoedd oerfelog a chymmedrol nis gallai dynion prin fyw heb ryw wisgiad.

Syl.—Dywed yr Ysgrythyr Sanctaidd i ni, mai gwisg gyntaf Adda ac Efa ydoedd dail y ffigysbren, wedi eu gwnio yn nghyd; ac hyd y dydd hwn, gwneuthuriad gwisgiadau yn ein plith ni, sydd yn darddedig, yn benaf, o fân-edafedd llysieuol.

113. Crwyn anifeiliaid oeddynt, mae yn ddiammheu y gwisgoedd sylweddol cyntaf. Y Creawdwr mawr ei hun a gyfarwyddodd y dyn i wneuthur crwyn anifeiliaid yn wisg, fel y gwelwn yn Gen iii. 21. 'A'r Arglwydd Dduw a wnaeth i Adda ac i'w wraig beisiau (*coats*) crwyn, ac a'u gwisgodd am danynt hwy.' Wedi hyny bugail a'i gwisgai ei hun yn nghrwyn ei ddefaid neu ei eifr; a'r heliwr, fel arwydd buddugawl, yn nghrwyn anifeiliaid gwylltion. Y Tartariaid ydynt yn ymwisgo yn nghrwyn ceffylau: yr Americaniaid yn nghrwyn yr ychen gwylltion (*buffaloes*); ac, mewn rhai parthau o Ewrop, crwyn defaid, gyd â'r ochr wlanog oddi fewn neu oddi allan, ydynt yn gwneuthur gwisgoedd yr haf neu'r gauaf.

114. Rhai o frodorion ynysoedd Môr y De ydynt yn gwisgo eu hunain mewn mattrasau, (*mats*,) wedi eu gwneuthur o gawn neu fân edafedd llysieuol; eraill ydynt yn gwneuthur yn ystwyth rhisgl cyffiedin coed; ond nid oes un o'r rhai hyn a wna olchi, ac nid ydynt yn barâus.

Mae dyn gwareiddedig yn cymhwyso addysgiadau natur i'w ddybenion ei hun, trwy ddilyniad o'i eiddo ei hun. Mae yn gwahanu yr edafedd llysieuol, yna yn eu nyddu yn edef gelfyddydol, a thrwy wau yr edef hon, mae yn cael defnydd ystwyth a pharâus.

115. Y planhigyn mwyaf defnyddiol i'r dyben hwn ydyw *llin*. Mae yn cael ei laforio fel gwenith, ac, cyn gynted ag y byddo ei had yn addfed, tynir ef i fynu â llaw: cymmerir y llestri hâd ymaith, a rhoddir y cyrs mewn dwfr, hyd nes y byddo y defnydd arall llysnafeddog, ag sy yn dal yr edafedd a'r gorsen ynghyd, wedi ei ddifa.

116. Ar ol cymmeryd y cyrs neu'r allan â'r dwfr, maent yn cael eu sychu, eu curo, a'u cribo, hyd nes byddo yr hyn fo yn aros yn bur, yn rhydd, ac yn dysgleirio. Wedi hyny mae'r llin yn cael ei nyddu, neu ei gyfrodeddu a'r cogail, a'i ddyrwyn ar gengliadur neu werthyd. Yr edef hon sydd naill ai wedi ei chymhwyso i wnïad-waith; neu fe'i rhoddir i'r gwëydd i'w gwau yn lliain â'i wŷdd.

117. Y gelfyddyd o weyddiaeth sydd ddiaddurn:—yr edafedd ar eu hyd a elwir yr *ystof*; ac fe'u gwneir yn dŷn gan bwysau wrth un pen. Yn y pen arall maent yn cael eu rhanu yn ddwy res, pob rhês yn cael ei gwneuthur i fynu o'r edafedd bob yn ail; ac wrth symmud y troedlath, mae un rhês, neu bob eilfed edafedd, yn cael ei thaflu i fynu, a'r rhês arall yn cael ei dwyn i lawr: ac, yn y cyfrwng hwn, mae edef groes neu *arwe* yn cael ei thaflu rhyngddynt trwy offerynoliaeth y *wennol*.

Y rhês isaf wedi hyny a godir i fynu, a dygir y llall i lawr, a theflir yr *arwe* drachefn rhyngddynt. Fe fydd i'r gweithrediad fel hyn gael ei barâu, hyd nes byddo yr *ystof* ar ei hyd wedi ei gymhlethu gyd â'r edafedd croesion, ac felly bydd y lliain wedi ei wau.

Syl. 1. Dulliau y gwyddion ydynt amrywiol, ac yn aml yn dra dyrys. Mae gwyddion yn bod perthynol i hosanau, brethyn, sidan, cottwm, lliain, bliant, lleni byrddau a lloriau, ysnodenau, &c.

2. Gan fod y gwŷdd yn un o'r peirianau cymdeithgar mwyaf defnyddiol, dylid deall yn dda egwyddor ei gweithrediad. Edrycher ar ddernyn o liain â'r llygad, neu âg unrhyw yspïen ddrych mwyâol, a chanfyddir fod y gwŷdd yn unig wedi croesi yr edafedd, ac felly wedi cymhlethu y cyfan ynghyd. Y pedwar bys ydynt yn rhoddi yr eglurhâd helaethaf o'i weithrediad; ond gall yr astudiwr sicrau chwech neu wyth o linynau wrth y mur, i arddangos yr ystof; ac yna trwy godi pob eilfed llinyn, a gwasgu y lleill i lawr, bydd yn alluog i fyned a'r arwe yn mlaen trwy unrhyw foddion yr hyn a arddangos y wennol. Efe a ddichon fel hyn wneuthur darn o liain pynio: a chael eglurhâd cyflawn o'r egwyddor o weyddiaeth.

118. Wedi i'r dernyn gael ei wau, mae yn ofynol iddo gael ei gânu gan yr awyr a'r haul, neu trwy gymhwysiad o ryw sur (*acid*) atto. Wedi hyny, os bydd yn angenrheidiol, mae yn cael ei argraffu i unrhyw gynllyn, gyd a chyffion o goed neu fettel, wedi eu tori yn ol y cynlluniau hyny, ac yna fe'i gwesgir ac fe'i cabolir cyn ei arferyd.

Mae llawer o gywreindeb a phrofiad yn ofynol i sefydlu lliwiau, fel na bydd iddynt olchi ymaith; ond mewn argraffyddiaeth, lliwyddiaeth, a'r cyffelyb gelfyddydau, yr Hindooaid a'r Chinëaid hyd yn hyn ydynt wedi rhagori ar bob cenedl arall.

119. *Cywarch* sydd gallodryn edafeddog

arall ag sydd yn cael ei lafurio yn helaeth er gwneuthur rhaffau, lliain hwyliau. Ond y sylwedd edafeddog, a arferir fwyaf yn bresenol i bob dyben o wisgiad a dodrefniad, ydyw y sylwedd gwlanog yn nghodenau y *pren cottwm.*

Syl. Gyd â chywarch fel gyd â llin, y rhan risglog o hono a gedwir er gwasanaeth y llaw-weithydd, y bywyn neu y rhan feraidd o'r gorsen wedi ei dori a'i wahanu oddi wrtho; ond gwlan cotwm sydd i'w gael mewn ansawdd agos yn gymmwys i'r gweithydd, yn nghodenau had y planhigion; ac mae'r India Orllewinol yn rhoddi dau gnŵd yn y flwyddyn.

120. Mae cannoedd o longau yn dyfod bob blwyddyn o'r India Orllewinol, yn llwythog â'r defnydd hwn Y prif weithfäau cotwm ydynt yn Lancashire a Lanarkshire; ac maent yn rhyfeddodau dyfais ddynol.

Y defnyddiau arferedig mewn gwisgoedd, a gynnyrchir oddi wrth y sylwedd hwn, ydynt y *muslins* o bob gradd o feindra, y *corduroys,* lliain cynfasau, *calicoes,* llieiniau hulyn, dodrefn gwelyau, ciog-leni, &c.; oll o ba rai fuont yn foddion i helaethu masnach Brydain i bob rhan o'r byd.

Syl. Gweithfäau Cottwm ydynt yn awr wedi eu gwasgaru dros yr holl deyrnas gyfunol; ac maent yn rhoddi gwaith i uwchlaw filiwn o wyr, gwragedd, a phlant. Maent wedi eu darlunio yn gyflawn, gyd â'u holl welliadau diweddaraf, yn *Nicholson's Operative Mechanic,* yn gystal a'r holl law-gelfyddydau a arferir yn bresenol yn Mrydain.

121. Gweithrediadau cywrain y *melinau cotwm* ydynt wedi eu darlunio mor gywir gan Darwin, fel mai prin, mewn cyn lleied o le, y ceir cymmaint o synwyr.

Yn gyntaf, a llygad manwl, morwynion heinif a gwliant o'r codau lledraidd y gwlan llysieuog; a danedd heiyrn y *cyff gribau cylchdroiedig* a ddatodant y dyrys gylymau, ac a lyfnant y cnu crychlyd. Yn nesaf, symmuda y *llaw haiarn* â bysedd meinion, criba y *cyff gryb llydan,* a ffurfia linell drag'wyddol; yn araf, a gwefusau esmwyth, y *piser chwyrn-droawl* a gyrhaedd y *cenglau* tyner, ac a'u goblyga yn nydd-dröadau esgynawl; gyd â phrysur gamrau y *rhol-brenau dilynol* a symmudant, a'r rhai hyn a gadwant, a'r lleill a helaethant, y gwybiad ; yna eheda y werthyd; y chwyrn-echelau a ymboethant tra yr araf gylcu-drös yr olwyn lafurus islaw.

122. Nid yw dyn gwareiddiedig yn dirmygu cyfnewid gorchudd yr anifeiliaid i fod er defnydd iddo ei hun; ond mae yn cyfnewid eu dull, ac yn eu darparu, fel ag ar unwaith i'w cadw, ac i symmud ymaith bob drygsawredd oddi wrthynt.

Syl. Un o'r defnyddiau mwyaf cyffredin o wisgiad allanol a dynir o wlan y defaid; ac mae hwn y mwyaf rhyfedd a defnyddiol o wneuthuriadau cartrefol Brydain Fawr.

123. Mae *cnu* y ddafad, fel mae yn dyfod oddi wrth yr anifail, yn gyntaf yn cael ei bigo a'i drefnu, ac yna ei lanâu oddi wrth frychau, gwybed, ac iraid. Y cribwr gwlan wedi hyny a'i darpara i'r nyddwr; yr hwn a'i nydd-dröa yn edef wlan a elwir *worsted* neu *yarn;* ac, er yn ddiweddar, mae y nyddiad yn cael ei gyflawni gan felinau i'r perwyl hwnw, ar ddull melinau cotwm.

124. Yr edafedd gwlan wedi hyny a weüir mewn gwydd yn frethynau, gwlanenau, neu hosanau, o wahanol raddau o feindra, yn ol natur y cnu. Y gwëydd wedi hyny a draddoda y brethynau i'r pànwr; yr hwn, trwy fath o ddaear sugnawl, sydd yn ei lanau oddiwrth bob iraid fo yn aros ynddo. Mae, drachefn, yn cael ei liwio; yna ei wasgu, ac yn olaf yn cael ei werthu dan yr enw o frethyn llydan a chul.

Syl. Lloegr a Chymru ydynt yn porthi 36 o filiwnau o ddefaid; pob un o ba rai ydynt yr rhoddi cnu yn pwyso pedwar pwys; neu 144 o filiwnau o bwysau, y rhai, yn ol 1s. y pwys, ydynt yn werth £7,200,000. Y rhai hyn wedi eu gweithio, a gynnyrchant 20 miliwn o bunnau; yn gadael yr ennill o dros 12 miliwn o bunau yn y flwyddyn i'r amrywiol weithfäoedd.

125. Llawr-leni ydynt gynnyrch arall oddi wrth wlan; ond yn eu gwneuthuriad hwy, mae yr ystof yn cael ei osod yn union syth yn lle yn wastad. *Shawls* heirddion y Dwyrain (yn ddiweddar a eilfyddwyd mòr dda yn y wlad hon) ydynt yn cael eu gwneuthur o wlan main y defaid y rhai a borant ar fynyddoedd Thibet.

126. Gwisgiad harddaf dyn, pa fodd bynag, sydd yn tarddu o *we* trychfilyn ymlusgiadol, neu fath o lindys, a elwir y pryf sidan. Holl wledydd y dê a'r dwyrain ydynt yn cadw ac yn epilio y pryf hwn; a chynnyrch ei lafur sydd yn gwneuthur i fynu ran fawr o'n masnach yn China, India, Persia, Twrci, yr Ital, a Deheudir Ffrainc.

127. Y prytaid mân hyn ydynt yn cael eu dëor gan wres yr haul, oddi wrth wyau a ddodwyd gan bryfyn byw, yn y flwyddyn o'r blaen. Ei ymborth yw dail y morwydd, yn yr hwn bren mae yn byw mewn hinsoddau cynnes. Wedi iddo gyrhaeddyd ei gyflawn faintioli, mae yn amdroi ei hun yn ei wê sidanaidd, yn gydiol âg un o'r dail, ac yn y rholyn yma o sidan mae yn cyfnewid yn chwileryn dilun! (*chrysalis,* einr, pilai, &c.)

128. Yn mhen ychydig ddyddiau mae y chwileryn yn ymagor, ac yn dwyn allan bryfyn bywiog a thyner, yr hwn a fwyty ei ffordd allan o'r rholyn sidan; efe a

ysgwyd ei edyn am ychydig ddyddiau, ac a esyd ŵyau er adgyflenwadau dyfodol o bryfed sidan,—yna efe fydd farw! Y cyfryw yw goruchwyliaeth gywraint a rhyfedd y pryfyn hwn, yr hwn sydd yn diwallu dyn â defnydd y sidan.

129. Y rholiau hyn o sidan ir ydynt yn nghylch maintiolaeth ŵy colomen, ond pob un o honynt, pan eu dyrwynir ymaith ydynt chwarter milldir eu hyd! Y gwëoedd hyn, ar ol ychydig barotöadau, ydynt yn cael eu nyddu yn edafedd, gyd â pheiriant mewn melinau sidan, ac wedi hyny a elwir yn sidan *cyfrodeddedig* neu *gyfluniedig*. Mae y gwëydd yn cyfnewid yr edafedd i amrywiol ffurfiau heirddion, ac mae y lliwydd a'r gwasgydd yn eu gorphen, i'w defnyddio a'u treulio.

Syl. Gwnawd cynnygiadau er gwneuthur gwe y pryf-copyn yn ddefnyddiol; ac fe ddarfu i hosanau gael eu gwneuthur o'r defnydd hwn! Yn fyr, pa beth bynag y gall dyn ei nyddu yn edef, mae yn dyfeisio i'w wau yn ddillad; ac yn y golygiad hwn nid oes terfyn i'w ddefnyddiau, ond mewn natur.

130. Hetiau ydynt yn cael eu gwneuthur o flew meinion anifeiliaid, wedi eu llaw bânu, neu eu curo; ac yna maent yn cael eu gludio ynghyd, nes byddo y rhanau yn dyn-lynol a chadarn.

Esgidiau a menyg ydynt yn cael eu gwneuthur o grwyn anifeiliaid, yn gyntaf wedi eu darparu gan y crwynwr a'r lledrwr, wedi gyru allan y defnydd bras ac ireidlyd i'r anifail, a thywallt i'w le sŷth rhwymol, wedi ei wneuthur o risgl derw. Y crwyn ydynt yn cael eu mwydo dros lawer o wythnosau mewn cyfleithbyllau neu risgl fwydiadau, cyn iddynt fyned dan y cyfnewidiad hwn; ac yna maent yn cael eu heillio a'u lliwio gan y lledrwr, i'w hamrywiol ddefnyddiadau, er gwasanaeth dyn.

## Gofynion.

Syr,—Teimlwn fy hun yn ddiolchgar i chwi, neu rai o'ch Gohebwyr deallus; pe rhoddech eglurhad ar 2 Tim. 2. 22. Pa rai ydyw 'chwantau ieuengctid?' Fe allai y bydd hyny er lles i lawer, heblaw fy hunan, fel y byddo i ni ffoi oddiwrthynt, a dilyn y pethau sydd yn ganlynol yn yr adnod.

*Nantglyn.* IOAN AB ISAAC.

Barch. Olygydd,--Yr wyf yn gwybod eich bod chwi a'ch Gohebwyr yn bleidwyr pob diwygiad o bwys i'r werin, yn wladol ac yn eglwysig: yr oeddych chwi gyda y cynharaf yn pleidio y Gymdeithas Ddirwestol, yr hon yn awr sydd wedi gwreiddio, Ie yn ffrwytho yn Nghymru er gwaethaf Satan a'i holl gyngreirwyr. Mae Castell Dirwest mor gryf yn awr na wna saethau y gelynion ddim mwy o niwed iddo na saethau brwyn ar graig! Dywenydd genyf weled etto ar ddalenau y Drysorfa, sylwadau mor odidog ar ganu mawl; diamau fod eisiau diwygiad ar y rhan hon o addoliad. Mae ar feddwl amryw yn Mhenllyn am gael Cymdeithas i ddysgu canu, dan yr enw 'Cymdeithas Cantorion Penllyn.' Clywsom ddywedyd fod Cymdeithas enwog a lluosog yn Sir Fon; erfyniaf yn ostyngedig ar ryw un o'ch Gohebwyr o'r Sir hono, anfon rheolau eu Cymdeithas hwy i'r Drysorfa, er mantais i ni, fel y gallom ninau fabwysiadu yr unrhyw, os byddwn yn eu gweled yn dda.

Mae yn sicr yr efelychir Cymdeithas Môn trwy Gymru, ond cael eu rheolau yn y Drysorfa: disgwyliaf y gwelir hwy yn y rhifyn am Hydref nesaf.

*Llanuwchllyn.* E. EDWARDS.

Syr,—Anturiaf apelio y cais canlynol at Henuriaid, a Phregethwyr, perthynol i'r TREFNYDDION CALVINAIDD yn y Deheubarth: i edrych a oes dim yn bosibl cael drwy gyfrwng y Drysorfa dalfyriad byr o'r pethau ag yr ymdrinir a hwy ganddynt yn eu Cymdeithasfâau Chwarterol. Yr wyf yn sicr y byddai gystal gan y Gogleddwyr gael talfyriad o'r eiddynt hwy, ag ydyw ganddynt hwythau gael o eiddo y Gogledd.

Clywais amryw yn cwyno yn herwydd y peth hyn, ond gobeithiaf y bydd i'r Deheuwyr ystyried y cwyn, ac na bydd eisiau gofyn hyn oddi ar eu llaw byth mwy. Ydwyf dros amryw eraill, D. W.

Syr,—Hoffwn yn fawr iawn gael attebiad i'r Gofynion canlynol drwy gyfryngaeth y Drysorfa, genych chwi neu ryw un o'ch Gohebwyr deallus. UN O RIENI PLANT.

I. A oes hawl gan blant crefyddwyr, fel y cyfryw, i aelodaeth eglwysig: nid wyf yn meddwl cyflawn aelodaeth, gan nad ydyw plant bychain mewn oedran cymmwys i 'iawn farnu corph yr Arglwydd?' Ac, a ydyw yr hawl hon ganddynt os na bydd ond eu tad neu eu mam yn grefyddol?

Atteb. Oes, y mae hawl ganddynt; ie hyd yn nod pan na byddo ond naill ai eu tad, neu eu mam yn grefyddol. 'Canys y gwr digred a sancteiddir drwy y wraig, a'r wraig ddigred a sancteiddir drwy y gwr. Pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eich plant; eithr yn awr sanctaidd ydynt.' 1 Cor. 7. 14. Wedi i fab a merch ymbriodi yn eu cyflwr paganaidd, ac i'r naill neu y llall gael ei ennill i'r ffydd, ac i broffesu crefydd, a'r llall gael ei adael, y cynghor a ddyry yr Apostol yn y cyfryw amgylchiad ydyw, i'r credadyn beidio ymadael a'r llall oherwydd ei fod yn aros yn anghredadyn, canys y mae yr anghredadyn, fel perthynas priodasol, yn cael ei sancteiddio drwy y credadyn.

Mae priodas o osodiad dwyfol; cyfammod dros yr holl fywyd ydyw, a hyny drwy appwyntiad Duw. Er i gredadyn fod yn y modd hwn, dan yr un iau priodasol âg anghredadyn, etto os ydyw efe ei hun yn

sanctaidd, y mae y sefyllfa briodasol iddo ef yn sefyllfa sanctaidd; ac y mae cysuron priodas, hyd yn nod, gydag anghredadyn yn yr amgylchiad crybwylledig, yn gysuron wedi eu sancteiddio. Os bydd un o'r ddau gael ei sancteiddio, ni fydd i un ddyledswydd priodasol, neu gysur priodas ei halogi ef, neu beri iddo fod yn wrthodedig gan Dduw, er i'r llall barhau yn bagan, neu yn anghredadyn.

'Pe amgen aflan fyddai eu plant hwy, ond yn awr, sanctaidd ydynt.' Pe bai y peth fel arall fe fyddai eu plant yn baganiaid, y tu allan i furiau yr eglwys ac i gyfammod Duw. Ni fyddent yn 'had sanctaidd,' (fel y gelwir yr Iuddewon, Esa. 6. 13), ond *cyffredin* neu *aflan* yn yr un ystyr ag y mae y cenhedloedd yn cael eu galw gan yr Apostol Pedr yn ei weledigaeth, Act. 10. 28. Ond gan fod un o'r rhieni yn gredadyn, y mae plant y credadyn, er fod ei gydmar priodasol yn anghredadyn, yn *sanctaidd*, neu yn neillduedig i'r Arglwydd, ac felly mewn hawl i freintiau eglwysig.

II. Onid oddiar yr hawl hono y mae'r plant yn cael eu bedyddio, gan ystyried mai ordinhad yn yr eglwys yw bedydd, ac nid drws i'r eglwys?

Atteb. Ië, oddiar yr hawl hono y maent yn cael eu bedyddio.

III. Onid Crist yw'r drws, ac nid dim na neb arall? Atteb. Ië, Crist yw y drws i'r wir eglwys ddirgeledig, Ioan 10. 7, 9.

IV. Onid yw rhieni y cyfryw blant, pan fyddont yn cael eu bedyddio, yn eu cyflwyno i Dduw ac i'w bobl, sef i ras Duw, ac i ofal a gweddi ei bobl? Ac onid ydynt hefyd mewn modd cyhoeddus yn ymgyfammodi â'r Arglwydd ac â'i bobl i faethu a magu y cyfryw blant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd?

Atteb. Ydynt yn ddiau, Gwel yr Ysgrythyrau ar y matter yn y Gyffes Ffydd, Rheol 36. dan y pen 'Dyledswydd Rhieni at eu plant.'

V. Onid peth gorchymynol ac nid goddefol yw i rieni y cyfryw blant eu magu yn yr eglwys? Atteb. Ië, peth gorchymynol yw, fel y mae yn amlwg yn yr holl ysgrythyrau.

VI. A ydyw'r plant y byddo eu rhieni crefyddol wedi marw (os byddant yn ymddwyn yn addas i'r efengyl) yn parhau yn y cyfryw hawl, os bydd y fraint yn eu meddiant yn flaenorol i hyny?

Atteb. Ydynt yn ddiammeu.

VII. A oes dim hawl gan yr eglwys, yn ei swyddwyr, i alw y rhieni a fyddont yn ymddwyn yn groes i hyny, neu yn esgeuluso eu dyledswydd tuag at eu plant, i gyfrif, a'u ceryddu am eu hesgeulusdra, a'u cynghori i ddiwygio trwy ymaflyd yn ddifrifol yn eu dyledswydd?

Atteb. Oes yn sicr; a dyledswydd y Swyddwyr Eglwysig yw gwneud hyny mewn yspryd cariad a phwyll. CYHOEDDWR.

### NATUR YR ENAID.

O fy enaid! Pa beth ydwyt? Sylwedd heb gorph—hanfod ysprydol—crynodeb o'r nefoedd—anadl Duw! Pa beth a'th foddlona, O fy anfarwol enaid? Atteb. Neb llai na'r anfarwol Dduw, yn yr hwn y mae pob cyflawnder yn trigo. Efe yn unig a all lenwi yr enaid, yr hwn sydd yn llenwi y nefoedd a'r ddaear. Fe all y creadur lenwi yr enaid â thrallod; ond nis gall neb ei lenwi â gwir foddlonrwydd ond yr holl-ddigonol Dduw.

O Arglwydd, megis nas gall un weithred o'm heiddo i dy foddloni di, heb i ti fy ngael i fy hunan; felly ni all un creadur o'th eiddo dithau fy moddloni innau, hebot ti dy hunan. Am hyny, cymmer fy nghalon yn eiddot ti, O Arglwydd, a dyro dy hunan i minnau. Cyf. T. LL.

---

### YN ERBYN OFN ANGAU.

Gristion, nac ofna farn angau; cofia y rhai a fuont o'th flaen di, a'r rhai a ddel ar dy ol di: dyma farn yr Arglwydd ar bob cnawd, Heb. 9. 27. Nid yw angau ond mynedfa i orphwysfa, 2 Sam. 7. 12. 'Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno,' medd ein Iachawdwr wrth ei ddisgyblion, Ioan 11. 11. Ac er ein bod ni yn angau yn gadael ein cyfeillion anwylaf, er hyny yr ydym yn myned at ein tadau, Gen. 15. 15. ac yn cael ein casglu at ein pobl, Gen. 49. 33. 'Y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw,' Diar. 14. 32. Oblegid Duw a'n hadgenhedlodd ni i obaith bywiol trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw, 1 Pedr 1. 3. 'Fel trwy farwolaeth y dinystriai efe yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo. Ac y gwaredai hwynt, y rhai trwy ofn marwolaeth oeddynt dros eu holl fywyd dan gaethiwed, Heb. 2. 14, 15. 'Am hyny, pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym.' Rhuf. 14. 8. 'Oblegid efe a fu farw drosom, fel pa un bynag a wnelom ai gwilied ai cysgu y byddom byw gydag ef,' 1 Thes. 5. 10.

'Colyn angau yw pechod,' 1 Cor. 15. 56. Ond Crist a ddyrchafwyd 'yn Dywysog ac yn Iachawdwr i roddi edifeirwch i Israel a maddeuant pechodau.' Act. 5. 31. 'Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cydddyoddef gyda'n gwendid ni. Canys yn gymmaint a dyoddef o hono ef, gan gael ei demtio, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a demtir,' Heb. 4. 15. a 2. 18. Am hyny 'i Dduw y byddo'r diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni y fuddugoliaeth (ar angau) drwy ein Harglwydd Iesu Grist,' 1 Cor. 15. 57. 'Gwyn eu byd y meirw, y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, medd yr Yspryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt.' Dat. 14. 13. Am hyny, 'O angau! pa le mae dy golyn? O uffern! pa le mae dy fuddugoliaeth?' 1 Cor. 15. 55. 'Dawn Duw yw bywyd tragywyddol.' Cyf. T. LL.

## COFIANT
## JOHN WILLIAMS, DOLYDDELEN.

John Williams ydoedd gyntafanedig William a Mary Jones, Ty'nllan uchaf, Dolyddelen, ac ŵyr i'r hen Batriarch John Jones, Ty'nllan, (yn awr yn fyw), a nai fab cefnder i Mr. John Williams yr hynaf, Dolyddelen. Efe a anwyd yn y flwyddyn 1804. Pan oedd o untu 6 blwydd oed, bu farw ei dad yn 29 mlwydd oed, a gadawodd ei wraig a dau fab i alaru ar ei ol. Ac o herwydd nad oedd amgylchiadau ei fam yn ei gweddwdod yn goddef talu am ddysgeidiaeth iddo, ofer oedd dysgwyl cael ynddo yr hyn a eilw rhai yn enwogrwydd, sef *dysgeidiaeth* helaeth, oblegid yr unig foddion a gafodd i ddysgu darllen, ydoedd yr Ysgol Sabbathol, fel y dywedodd ei hun lawer gwaith, '*nid oes neb ar wyneb daear yn fwy rhwymedig i'r Ysgol Sabbathol na mi;*' heblaw rhyw ychydig wythnosau a gafodd, fel y dysgodd ysgrifenu yn weddol, ac y daeth yn alluog i ddarllen ychydig yn yr iaith Saesoneg, ond ni ddeallai nemawr o honi.

Gan fod ei rieni yn aelodau yn yr eglwys sydd yn perthyn i'r Trefnyddion Calvinaidd yn Dolyddelen, cafodd John y fraint o ei ddwyn i fynu o'i febyd yn yr eglwys hono, ac mewn amser cyfaddas, ei dderbyn yn gyflawn aelod o honi.

Gwedi marw ei dad, mawr oedd gofal ac ymdrech ei fam dros ei hamddifaid, i'w dwyn i fynu yn yr eglwys, ac yn ngwybodaeth am bethau crefydd; a gwelodd Duw yn dda fendithio ei llafur; oblegyd yn fuan dangosai John ei fod yn hoffi yr addysg a roddai ei fam iddo: ac er nad oedd rhywbeth amlwg iawn i'w weled ynddo y pryd hwn; etto, gall llawer o'i gyfoedion sydd yn awr yn fyw, dystio iddo ragori llawer arnynt hwy mewn parch ac ufudd-dod i orchymynion yr Arglwydd, &c. Ac yn neillduol mewn sel gyda chanu: yr oedd wedi derbyn cymmwysderau lawer at hyn; yr oedd ei natur yn dra bywiog, a'i lais mor eglur, ac ystwythaidd, fel ei clywid pa le bynag y byddai.

Fel yr oedd yn cynnyddu mewn oedran, yr oedd ei sel, ei wybodaeth, a'i awydd am wrandaw pregethau yn cynnyddu; cerddai lawer er yn ieuangc yn bell ac agos, a sylwai yn graffus ar yr hyn a glywai. Gofalai yn fawr am orphen pa waith bynag a roddid iddo i'w wneud er mwyn cael myned. Arferai fyned i Gymmanfa y Bala bob blwyddyn tra bu byw, er pan ydoedd tua 12 mlwydd oed (20 *milldir o ffordd*); a mawr oedd ei hoffder o son am y pregethau a glywai yno a manau eraill, yr hyn oedd brawf amlwg o'r argraff ddymunol a gaent ar ei feddwl.

Tua diwedd y flwyddyn 1817 a'r un ganlynol, bu diwygiad grymus iawn yn Dolyddelen, a'r pryd hwnw cafodd yntau dro rhyfeddol. Dechreuai amryw o'r plant gadw cyfarfodydd gyda eu gilydd i weddio, ac ymddangosai rhywbeth yn fwy neillduol ynddo ef, na neb o honynt. Byddai yn wyliadwrus iawn rhag gwneud, na dweud dim fyddai yn achos i 'elynion yr Arglwydd gablu,' o'i blegid ef. Arferai er ys blynyddau ddarllen a gweddio hwyr a boreu yn y teulu, cyn hyn.

Yn nechreu haf y flwyddyn 1824, gadawodd dŷ ei fam, ac aeth i wasanaethu at ei ewythr, Mr. John Williams, lle y derbyniodd lawer o hyfforddiadau, a chyngorion buddiol, a da: yr oedd erbyn hyn yn Athraw llafurus, a defnyddiol yn yr Ysgol Sabbathol; ac yn fuan cafodd alwad, ac annogaeth i arfer ychydig ar ei ddawn i egwyddori y plant yn yr Ysgol, a chyfarfodydd ereill a gynnelid i'r dyben hwnw. A mawr oedd ei ffyddlondeb, a'i lafur, a'i fedr i'r gwaith; a hynod mor hoff oedd y plant o hono, ac yntau o honynt hwythau. Dywedai lawer wrthynt am Dduw, a'i Briodoliaethau:—cyflwr dyn wrth natur:—Person, a swyddau Crist:—dyledswyddau plant:—y perygl o fyw yn annuwiol:—y farn, a thragywyddoldeb:—gwahanol sefyllfa dynol-ryw wedi marw, &c. yn y modd mwyaf syml a difrifol.

Tua dechreu y flwyddyn 1829, dewiswyd ef ac un arall yn flaenoriaid yn yr eglwys hono, a chafwyd ef yn oruchwyliwr ffyddlon; cyd ddygai a'i holl frodyr; byddai yn ofalus rhag brifo, na thramgwyddo neb mewn dim; yr oedd yn hynod am gynnal y gweiniaid, a chyfodi y dwylaw fyddent wedi llaesu: ei geryddon, ei rybuddion, a'i gynghorion, fyddent mewn pryd, ac i'r pwrpas. Ni chaed neb parotach, na mwy gofalus am ymweled a'r cleifion, a'r rhai mewn adfyd: yr oedd yn dwyn arno yn amlwg, nodau '*crefydd bur.*' Yr oedd gofal calon arno am ei holl frodyr, 'bwriai olwg tros yr holl braidd;' eu gofid hwy fyddai ofid iddo ef, a'u llawenydd hwy yn llawenydd iddo ef. Yn ei olwg ei hun yr oedd y penaf o bechaduriaid, yngolwg eraill yn sant dysglaer. Hiraethai lawer a llawenychai yn fawr pan y cai olwg trwy ffydd, ar y boreu y bydd y saint wedi cyraedd uwchlaw pob gelyn a *themtasiwn*, yn berffaith ar ddelw Duw.

Nid hir wedi ei ddewis yn flaenor, y buwyd heb weled yn amlwg fod maes arall, ëangach, iddo i lafurio ynddo. Pan ddarllenai ran o air yr Arglwydd yn y teulu, arferai dynu ryw addysgiadau buddiol oddi wrtho. Clywid ef weithiau, mewn nant anial fel pe buasai yn pregethu i dyrfa luosog o wrandawyr, yn y modd mwyaf syml a difrifol. Byddai arferol o dynu i'r lle hwn er ys blynyddau i weddio. Pan ydoedd yn gweddio un tro mewn cyfarfod gweddio yn y Capel, ar nos Sabbath, daeth y fath ddylanwad ar ei yspryd, nes y torodd allan mewn hwyl nefolaidd, i foli a bendithio Duw, a'i enaid wedi ei orlenwi 'o lawenydd â'i wynebpryd.' Yn fuan ar ol hyn, annogwyd ef i arfer ychydig ar ei ddawn yn gyhoeddus; y bregeth gyntaf a

bregethodd, ydoedd tua diwedd mis Rhagfur, 1829; ar Rhuf. 8. 1. Yr oedd ei agwedd yn ostyngedig, a difrifol; ei lais yn fywiog, ac eglur; a'i faterion yn gyson, ac ysgrythyrol; a'i ddawn yn wlithog, a hwylus.

Yn mis Mehefin, 1834, priododd Anne, merch hynaf y Parch. Cadwalader Owen, Dolyddelen, o'r hon y ganwyd iddo ddau o feibion. Wedi iddo briodi rhoddodd ei ewythr heibio fasnachu, a thrin tir, a gadawodd ei le i John, yr hwn a fu yn gymmydog parchus, a thangnefeddus, ac 'a gair da iddo gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun;' teimlir colled fawr ar ei ol trwy yr holl gymmydogaeth.

Fel penteulu, yr oedd yn addfwyn a siriol, 'yn llywodraethu yn ofn Duw:' dosparthai ei amser yn ddoeth, ni adawai i'w alwedigaeth un amser ei ddyrysu gyda dyledswyddau crefyddol; ac er hyny, dygai ei oruchwylion ymlaen yn brydlon, a chyda diwydrwydd, a deheurwydd mawr, fel y gellir dywedyd yn briodol am dano, er ei fod yn *bregethwr*, na chaid neb trwy yr holl wlad, yn fwy *effro* a *diwyd* gyda ei alwedigaeth, wedi dyfod o'i gyhoeddiad, nag oedd ef, na neb chwaith yn fwy gofalus o'i gyhoeddiad wedi ei roddi. Gofalai bob amser wrth roddi cyhoeddiad, na fyddai i ddim yn ei amgylchiadau i fod yn debyg o beri anhwylusdod iddo, ac wedi ei roddi, ni oddefai i ddim ei luddias i'w gyflawni, ond afiechyd yn unig, (*da pe byddai pob pregethwr yn debyg iddo yn hyn.*) Dywedai yn fynych, y dylai fod yn effro iawn gyda gwaith yr Arglwydd, y byddai ei ddyddiau ar ben yn fuan iawn; ei ddywediad mynych er ys blynyddoedd oedd, ei fod yn meddwl yn sicr, na byddai rhifedi ei ddyddiau ond fel yr eiddo ei dad. Nid oedd un man yn rhy anghyfannedd ganddo i fyned iddo i bregethu pan y gelwid am dano.

Fel pregethwr, yr oedd yn efengylaidd, gwlithog, a phoblogaidd; yn ganmoladwy gan ei wrandawyr; pregethai bob amser yn fywiog, ac effro, a'i faterion yn gedyrn a phlaen; sylwedd ei bregethau gan mwyaf fyddent Crist i bechadur, &c. Byddai yn hynod ystyriol o wahanol oruchwyliaethau rhagluniaeth, a gwelai yn fuan law Duw ynddynt.

Y daith olaf a gyflawnodd oedd, i Gymanfa Caernarfon, Medi 7, 1836, ac oddi yno i ychydig fanau yn y Sir hono; ond gydag anhawstra mawr y bu iddo gyflawni y daith hon, oblegid ar y ffordd, rhwng Caernarfon a Llanllyfni, tarawyd ef gan boen fawr yn ei ben, a'i gefn, yr hyn cyn hir, er holl allu meddygol a derfynodd ei fywyd. Yn fuan wedi iddo gyraedd adref, galwyd arno i bregethu mewn wylnos hen chwaer grefyddol; ac er ei fod yn hynod o wael efe a aeth; ei destyn y tro hwn ydoedd, Dat. 14. 13. yr oedd ei wrandawyr yn sylwi fod rhyw beth yn newydd, a dyeithr iawn yn ymddangos ynddo y tro hwn, rhagor arferol. Yr oedd fel pe buasai yn pregethu y waith olaf am byth iddynt, yr hyn er tristwch i lawer a ddygwyddodd fod. Wedi dyfod adref, cwynai ei fod yn gwaelu yn brysur, a pharhaodd ei boenau i gynnyddu yn gyflym, ac mor llymion, nes oedd ei synwyrau yn aml yn ddyryslyd, ond er hyny, ni feddylid fod awr ei ymddatodiad mor agos.

Y noson olaf y bu fyw, daeth brawd crefyddol i ymweled âg ef: ar ol darllen pennod a gweddio, dywedodd wrtho, 'Wel John bach, lle anfanteisiol ydyw gwely cystudd i ymofyn am grefydd, onide?' 'O! ïe, ïe,' (medd yntau â llais bloesg) 'mae bod yn sal yn ddigon yn awr, yr oeddwn i wedi bod mewn cryn *ffys** gyda hi cyn hyn.' Gofynodd iddo, 'Pa fodd yr wyt yn profi dy hun, yr hyn a bregethaist i eraill?' 'Da iawn, da iawn, pob peth yn dda.' Gofynodd, 'Pa beth wyt yn ei feddwl am Iesu Grist?' 'O! mae yn dda iawn genyf am dano; yr wyf yn meddwl i mi deimlo goruchwyliaethau ei Yspryd arnaf lawer waith. Mae yr adnod hono yn felys iawn heno, '*Gwaed Iesu Grist ei Fab Ef sydd yn ein glanhau ni*:' yr wyf yn ei brofi yn rhinweddol iawn heddyw.' Gofynodd, 'A oes arnat ti ofn marw?' 'O! nag oes,' (medd yntau a gwen ar ei enau) 'ddim mwy o ran hyny na myned i'm gwely; ni bu arnaf byth ofn marw ar ol y tro hwnw,' (a'r *tro hwnw* ni wyddai neb dynion am dano, ond ef ei hun.) Fel hyn, ymhen ychydig oriau, ymadawodd mewn tangnefedd, foreu y 26 dydd o Hydref, 1836, yn llawn 32 mlwydd oed, braidd gyda ei fod yn dechreu ar ei waith, a'i enaid yn profi mai 'Gwyn fyd y meirw sy yn marw yn yr Arglwydd.'

Pregethodd y Parch. W. Jones, Rhydddu, Swydd Gaernarfon, yn ei wylnos, oddiar Math. 24. 44. dranoeth rhoddwyd ef i orwedd, yn ngwydd torf luosog o edrychwyr, yn y lle am yr hwn y dywedodd lawer gwaith wrth son am dano, 'Y fan y gorweddodd yr Arglwydd.' Yr oedd arwyddion amlwg i weled ar y dorf i gyd, eu bod wedi colli cyfaill hoff ac anwyl; a phrofiad calon pob un o'i gyfeillion a'i frodyr crefyddol yw, 'Gofid sydd arnaf am danat ti fy mrawd John, cu iawn fuost genyf.'

Ymhlith ei ysgrifenadau cafwyd ychydig sylwadau yn anorphen ar Is. 38. 17. sef ffrwyth ei fyfyrdod yn ei ddyddiau olaf. Bu yn pregethu o untu 6 blynedd a 10 mis, a phregethodd tua 1230 o weithiau. Gadawodd wraig ac un mab i alaru ar ei ol, i'r hon ymhen yr wythnos ar ol ei gladdu ef, y ganwyd yr ail iddi, yr hwn a fu farw ymhen ychydig wythnosau, ac a gladdwyd yn yr un bedd a'i dad.

*Singrig, Dolwyddelen.* WM. JONES.

* Gair arferedig ganddo am ymdrech.

**BU-FARW,**

Mai 3, 1837, Daniel, mab y Parch. Daniel Jones, Llanllechid. Cafodd er yn fachgen wybod yr ysgrythyr lân, a'i fagu yn eglwys Dduw, a thrigo o fewn i'w magwyrydd tra y bu byw. Yr oedd o dymmer wastad a thawel, ac yn hynod o hoff gan bawb o'i gydnabod. Nid llawer o weithrediadau grymus a deimlodd ar ei feddyliau; gellir dywedyd am ei yrfa grefyddol mai 'nid dydd ac nid nos' ydoedd, ond daeth goleuni iddo yn yr hwyr. Yr oedd er's amryw fisaedd cyn ei farwolaeth wedi cael adnewyddiad yn ei ysbryd mewn gweddi, byddai ei gyfeillion crefyddol yn sylwi yn nodedig ar ei daerineb gostyngedig wrth orsedd gras.

Dyoddefodd nychdod trwm dros amryw fisoedd mewn amynedd a thawelwch mawr, heb lewyrch neillduol ar ei feddwl; ond yn ei ddyddiau diweddaf torrodd y wawr arno, a bu farw mewn gorfoledd, a sicrwydd mawr. Wrth alw am ddiod, dywedai na byddai arno syched mwyach wedi yr elai adref i'r wlad yr oedd ei fam wedi myned iddi o'i flaen. Y dydd y bu farw, pan oedd yn llesg a gwan iawn, dywedai un o'i gyfeillion wrtho, 'Nid oes fawr o gysur mewn dim heddyw, ond yn mhethau yr iachawdwriaeth.' 'O nac oes,' ebe yntau. Dywedai ei dad wrtho, 'Beth debygit ti heddyw am aberth mawr Calfaria fryn, y tro rhyfedd hwnw y bu Crist ar y groes?' Dywedai yntau. 'Bydd canu tragywyddol am Galfaria fryn.' Dywedai un arall wrtho, 'Trefn braf yw trefn yr iachawdwriaeth, ond pwyso arni sydd yn beth mawr.' Attebai yntau yn effeithiol a hyderus iawn, '*Yr ydwyf yn pwyso arni!* bendigedig am iachawdwriaeth yn ddigon i bechadur mawr o'm bath i; ie, ac yn ddigon i chwithau i gyd, bobl,' meddai wrth y rhai oedd o'i amgylch. Yn fuan wedi'n ehedodd ymaith yn 24 mlwydd oed.

Y nos Wener ganlynol pregethodd Mr. W. Williams yn ei wylnos oddiar Diar. xiv. 32. a'r dydd canlynol cyn cychwyn y corph, pregethodd Mr. Morris Jones mewn modd priodol iawn i'r amgylchiad yr oedd ei berthynasau ynddo, oddiar Job xxiii. 14.

*Pont y twr.* D. LLWYD.

---

## TY Y GWR TLAWD WEDI EI DRWSIO,

### NEU Y TRUENUS WEDI EI WNEYD YN DDEDWYDD.

Bum mor druenus ag y gallai un wraig fod dros bymtheg mlynedd o'm bywyd priodasol. Ein tŷ nid oedd amgen na drych o drueni yn allanol, ac oddifewn yr oedd yn ymddangos yn druenusach fyth. Y ffenestri oeddynt yn glytiedig, y muriau yn ogwyddedig ac agenog, y dodrefn yn ddilun a drylliedig, ac ol dwylaw anrhaith ar bob peth.

Nid felly y buasai erioed; ond buasai dedwyddwch yn teyrnasu yn fy mwthyn innau unwaith; ac arferwn gael llawer o bleser, ac ymfalchio i raddau weithiau, wrth glywed y cymmydogion yn dywedyd, 'Mor hardd a thrwsiadus y mae tŷ N—— yn ymddangos beunydd.' Ond nid hir y gallasant ddyweyd felly; canys cyfnewidiwyd gwedd y naill beth ar ol y llall yn fuan. Yn fuan pallodd ein bwrdd a bod yn llwythog gan ddefnyddiau dyddanwch, ac yn gylchynedig gan wynebau siriol; yn eu lle nid oedd ond arlwy gul, golygon suraidd, ac uchel eiriau llidus; a gwnawn fy ngorau, ni's gallwn guddio fy ngarpiau fy hun a'r eiddo fy mhlant. Fy ngwr sydd gelfyddwr, a'i alwedigaeth yn un ennillgar, fel y gallai wneud ei deulu mor ddedwydd ag un teulu yn y fro; ond yr oedd efe yn arferu cymmeryd diodydd meddwawl bob dydd, gan feddwl eu bod yn gwneud lles iddo: ond myfi a wyddwn yn amgenach, oblegid yr oeddwn I yn ei gael ef yn fwy fwy annhirion, y naill ddydd ar ol y llall. Ein cysuron a yspeilid o un i un, nes o'r diwedd y gwelwn fy hunan yn wraig i feddwyn trwyadl. Da yr wyf yn cofio fel yr oeddwn un noswaith yn eistedd wrth y tân i geisio trwsio tipyn ar siacced garpiog fy machgen tlawd, a'm calon yn hynod o drwm; wedi bod yn meddwl am y prydnhawniau dedwydd a dreuliaswn gyd a'm gwr cyn ein priodi, am yr ychydig flynyddau difyr a fwynhasom wedi hyny; am y trueni a deimlaswn mewn canlyniad i hyny; am y trueni oedd fel nos bygddu o'm blaen drachefn, heb wawr o obaith na chysur i mi. Fy ngwr oedd yn arswyd i'r teulu, ac yn flinder i'r gymmydogaeth, fy mhlant oeddynt yn ddioglyd, carpiog, ac anufudd; a minnau yn wraig dorcalonus, a mam druenus. Tra yn meddwl am hyn oll, ni allwn fy meddiannu fy hun yn hwy: ond gollyngais fy ngwaith o'm llaw fel un heb nerth; gogwyddais fy mhen ar fy llaw, ac wylais yn chwerw. Buasai fy ngwr allan drwy y dydd, ac yr oeddwn yn ei ddysgwyl ef adref yn awr bob mynyd. Yr oedd y nos yn cerdded ymhell, felly sychais fy nagrau, a dechreuais hel yr ychydig farwor yn nghyd, i geisio gwneyd yr aelwyd cartrefol mor groesawgar iddo ag y gallwn, erbyn y dychwelai. Etto yr oeddwn yn arswydo rhag clywed trwst ei ddychweliad—ei lais garw, a'i eiriau chwerwon, a'm brathent i'r galon —a chwerwach triniaeth na hyny a deimlais lawer pryd oddiwrth yr hwn a fuasai unwaith yn bob peth i mi a ddymunai fy ngalon.

O'r diwedd agorai y drws, a deuai R—— i fewn: a gwelwn yn fuan drwy ei wynebpryd gwridog, a'i eiriau llidiog, mai gorai i mi po ddystawaf y byddwn. Felly, â chalon drom, y dodais y gadair iddo ef, fel yr eisteddai o flaen y tân; ac aethum ymlaen gyd a'm gwaith, heb yngan gair. Ond yn fuan efe a dorai ar y dystawrwydd gan ddywedyd, 'I ba beth yn y byd yr eisteddi di yna, i bwytho yr hen gerpyn budr yna? Paham na roi di rywbeth i mi i'w fwyta?' a chan gipio y dilledyn o'm llaw, efe a'i

taflai i'r tân. Minnau a neidiais rhagof i achub dilledyn fy mhlentyn tlawd o'r tân; ac mor gyflym a fu fy ysgogion, fel y llwyddais i'w gael o'r tân cyn iddo dderbyn nemmawr niwed. Ond tra yr oeddwn yn ysgwyd y lludw o honaw, efe a'i cipiodd o'm llaw eilwaith, a chyda llw arswydus, a'i taflodd i'r tân drachefn, gan fy heriaw i gyffhwrdd ag ef dan boen fy mherygl. Felly gan ofni cynnyg ei achub drachefn, troais ymaith â theimladau galarus, wrth weled fy holl lafur wedi myned yn ofer, a'm plentyn noethlwm, wedi ei ddynoethi yn fwy, drwy law ei dad ei hun. Ond mi a ymdrechais hyd y gellais, i roddi y tammaid a barottoiswn erddo, o'i flaen, mor amyneddus a thirion ag y medrwn: mae yn wir nad oedd ryw olwg wych arno, ond ni allwn I gynnyg dim oedd well iddo. Tyngai nas gallai brofi tammaid o honaw, minnau ar hyny a'i beiwn yntau am na ddarparasai ryw beth oedd yn well i mi a'm plant. Ond nid oedd hwn yn amser cyfaddas i edliw. Cynnyrfodd ei ddigofaint i'r eithaf, fel y taflodd efe y gwpan a'r ddysgl a roeswn I ger ei fron i'r llawr; a chan afael yn gieiddlyd yn fy mraich, efe a agorodd y drws, ac a'm hysgytiodd allan o'r tŷ, gan ddywedyd wrthyf am ochelyd dychwelyd yn ol yno. Y noswaith oedd oer a gwyntog, a minnau heb nemmawr am danaf, ac hyd yn nod yn wael ar fy iechyd. Er hyn oll, ni fynnwn ymofyn am nawdd dan gronglwyd cymmydog. Yn y cyfamser yr ydoedd fy ngalon yn rhy drymaidd i dderbyn dyddanwch dynol; ond yn yr adeg drallodus hono, myfi a gofiais

'Na fedd y ddaear unrhyw drallod,
Na all y nefoedd ei iachau;'

felly cwympais ar fy ngliniau, heb wybod i mi fy hun o'r bron, i weddio ar i Dduw ddyddanu fy ngalon drallodus,—ar i'm pechodau gael eu maddeu,—ac i mi gael fy ngalluogi i ymorwedd gyd a'm holl ofidiau ar fynwes yr Oen graslawn hwnw a addawodd mor dirion, roddi gorphwysdra i'r blinderog a'r llwythog. Yna myfi a weddiais dros fy ngwr truenus, gan ddymuno am i Dduw drugarhau wrtho, a'i waredu o'i ffordd gyfeiliornus cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar. Gweddiais hefyd dros fy mhlant, gyda holl wresawgrwydd enaid mam. Dyma y weddi gyntaf a offrwmaswn er's blynyddoedd; oblegid yr oeddwn wedi byw yn bechadurus iawn; a phe gweddiaswn yn gynt, gallaswn arbed llawer pangfa lem ond odid; ond fel yr oedd, cefais radd o esmwythad i'm meddwl oddiwrth y llwyth o drymder ac anobaith a wasgai arnaf. Yna mi a ddychwelais yn ol yn ddystawaidd tua'r tŷ, ac wedi edrych trwy y ffenestr, gwelwn fod R—— wedi cysgu; felly myfi a agorais y drws yn ddistaw, ac aethum i'm gorphwysle, heb ei ddeffroi ef o'i gwsg swrth.

Nid oedd amgylchiadau y prydnhawn yma yn bethau annghyffredin i mi y pryd hyny; ond y naill ddydd ar ol y llall a esgorai ar yr unrhyw driniaeth lem, yr unrhyw drueni a phrinder; a pharhau yr oedd R—— i fyned waeth waeth. Yr oedd nid yn unig yn dystrywio ein heddwch teuluaidd ni oll, ond hefyd yn peri annghydfod a therfysg trwy yr holl gymmydogaeth, nes aed ag ef i'r carchar o'r diwedd, er mwyn llonyddwch. Ni allaf byth annghofio y noson arswydus hono. Efe a ddaethai adref yn feddw arswydus,—y plant bach a ffoisent i'r gongl bellaf o'r ty, i geisio ymguddio rhag ei gynddaredd;—bygythiai ddystrywio pob peth o'i amgylch; fel yr ystyriwn fy hunan mewn pergyl bywyd oddiwrtho, a rhedais am loches i'r ty nesaf, lle yr oedd gweddw dlawd yn byw. Dcuai R—— ar fy ol—cauasom y drws, yntau a dyngai y rhoddai y ty ar dân uwch ein penau: ond rhyw un wrth fyned heibio, a chlywed y trwst, a aeth i ymofyn am swyddogion y dref. Daeth amryw o honynt, ac fel yr oedd fy ngwr gorphwyllog yn lluchio rhai o'r ffenestri, hwy a'i daliasant ef, a thrwy drais a'i llusgasant ef ymaith, heb gymeryd un sylw o'i lwon a'i regfeydd arswydus. Minnau a eisteddais i lawr ac a wylais, gan gywylidd a gofid. Fy ngeneth fach a ddeuai attaf, a chan roddi ei breichiau am fy ngwddf, a ddywedai, 'Nac wylwch mam, mae nhad drwg wedi myn'd, a gobeithio na ddaw e byth yn ol, mae e mor groes, ac yn curo cymmaint arnom ninnau.' Prin y gwyddwn pa fodd i atteb fy ngeneth fach; ond yr oeddwn yn meddwl mai peth trwm iawn oedd bod fy mhlant yn siarad yn y fath fodd am yr un y buasai yn dda genyf eu dysgu i'w garu a'i anrhydeddu.

Ond yr oedd R—— yn hiraethu am ei ryddid. Penderfynai ddiwygio ei ffyrdd; a chaniattawyd iddo gael dychwelyd yn ol at ei deulu, ar ei addewid i ymddwyn yn well rhagllaw, ac er gwaethed yr ymddygasai tu ag attaf, eto llawenychwn yn fawr am ei ddychweliad yn ol. Edrychai yn ostyngedig, ac ymddiddanai yn dyner a mi. Cusanai a chofleidiai y plant ieuengaf hefyd, ac yr oedd pob peth yn dechreu myned yn mlaen yn esmwyth a hyfryd.

Ymddangosai hyn i mi fel gwawr dyddiau gwell; a phan ddaeth R—— adref un prydnhawn ag esgidiau newyddion ganddo i'n bachgen hynaf, a gŵn newydd i'n Jane fechan, nid allwn beidio a wylo o lawenydd; a'r eneth fach a ddywedai, 'fod ei thad drwg wedi dyfod yn ol yn bur dda.'

Tua'r pryd hwn yr oeddwn yn dwys deimlo yr angen am fwynhad o freintiau yr addoliad cyhoeddus. Yr oedd yr addoldy yn ngolwg drws ein ty, ac arferwn weled plant ein cymmydogion yn myned heibio tu ag yno, yn lanwaith a thrwsiadus i'r Ysgol Sabbathawl; ond nid oedd genyf fi ddillad gweddus i'w rhoi am danaf, a'm plant oeddynt fwy noethlwm na minnau; ac felly yr oeddym yn gorfod treulio y

Sabbath yn bruddaidd gartref. Yr oedd ein gweinidog yn un o'r gwyr da hyny, a'i barnant yn ddyledswydd arnynt ymresymu am 'ddirwest,' cystal ac am gyfiawnder a'r farn a fydd; a thrwy ei ymdrechion diflin ef a'i gydweithwyr duwiol, dechreuasai diwygiad grymus yn yr ardal, yr hwn a barai galondid mawr i garwyr rhinwedd a dedwyddwch dynolryw. Cynhelid cyfarfodydd cymhedroldeb yn amryfal barthau y dref bob mis, ac er cymmaint y gwrthwynebiad, llwyddo a wnaeth y gwaith, nes profi cyn hir, mai gau brophwydi oedd y rhoi a ddaroganent mai rhywbeth a â'i heibio yn fuan ydoedd. Clywswn lawer o swn am y cyfarfodydd hyn, a phenderfynais fyned i'r nesaf a gynhelid yn y dref; ac felly pan ddaeth y prydnhawn yr oedd un i fod, benthyciais glog a bonet gan un o'm cymmydogesau, a phrysurais i'r addoldy. Y gweddïau a glywais yno, oeddynt fel balm i'm hysbryd briw I; ac iaith ddïaddurn, effeithiol y gweinidog, a gyrhaeddai fy nghalon. Penderfynais yr ymdrechwn i berswadio fy ngwr i ddyfod gyda mi i'r cyfarfod nesaf.

Tra yr oedd pethau yn y wedd yma, galwai y gweinidog gyda ni, yn ei ymweliad â thlodion yr ardal, a da iawn oedd genyf ei weled ef; i'r hwn hefyd yr adroddais fy holl dywydd yn rhydd. Yntau a'm cysurai hyd y gallai, ac a ychwanegai fod cyfarfod cymmedroldeb i gael ei gynnal y prydnhawn hwnw; i'r hwn y gobeithiai y deuwn I, 'ac (eb efe) dygwch eich gwr gyda chwi, os gellwch ei berswadio mewn modd yn y byd.' Pan ddaeth R—— adref i'w swper, yr oedd yn dda genyf ei weled ef yn sobr; felly mi a ddywedais wrtho am ymweliad y gweinidog, ac am y cyfarfod oedd i fod yn yr hwyr. Ymddangosai fel un wedi ei foddhau yn fawr drwy ymweliad y gweinidog, a gofynai pa fodd yr oedd pethau yn ymddangos oddeutu yr ystafell; 'canys nid ydym yn ymddangos llawn mor drwsiadus ac y buom unwaith, Mary,' eb efe. 'Nac ydym wir, Robert,' meddwn innau, gan ocheneidio, gan edrych oddeutu yr ystafell dlawd; 'ond pe byddai i chwi ddyfod i'r cyfarfodydd cymmedroldeb, a gwrandaw pa beth sydd gan y gweinidog i'w ddweyd yn nghylch cynnilo arian, yr ydwyf yn meddwl y byddai yma well golwg ar bethau toc, ac y cäai y plant a minnau well dillad am danom yn fuan. O Robert!" ——— mynaswn ddyweyd ychwaneg; ond llenwid fy llygaid a dagrau, ac ni allwn ddweyd un gair. R—— a ostyngai ei ben, ac a ymddangosai fel un wedi cywilyddio. Efe a wyddai ei fod yn gwario digon o arian am *rum*, i borthi a dilladu ei deulu yn dda. Meddyliwn arno ei fod wedi ei led dueddu i ddywedyd yr âi yntau hefyd gyda mi.

(I'w barhau.)

## Adolygiad y Wasg.

### CYDYMAITH I'R YSGRYTHYR.

Cefais bleser nodedig yn ddiweddar yn darllain '*Cydymaith i'r Ysgrythyr*,' gan y Parch. John Hughes, Gwrexham: a meddyliais fod llawer fel finau heb weled ei werth o eisiau ei ddarllain yn fwy dyfal. Wrth i mi ei ddarllain, cefais ef yn 'Gydymaith' a'm harweiniodd i olwg Gwlad Canaan, a'i thymhorau, a'i defodau, mewn hau a medi, gwisgo a bwyta, cyfreithiau a barn, crefydd a defodau, &c. &c. Hyfforddir ni ganddo hefyd yn holl ddefodau a gwasanaeth grefyddol yr eglwys Iuddewig. Y'ngosodiad a chysegriad y Swyddogion; triniaeth yr aberthau a'u dibenion, dodrefn y babell a'r deml; ynghyd â'u harwyddocad. Cawn ynddo grynodeb o hanes y Genedl Iuddewig o alwad Abraham, hyd eu gwasgariad diweddaf trwy'r byd. Ceir ynddo hefyd hanes byr am yr amryw erledigaethau fu ar yr eglwys trwy yr oesoedd; a golwg ar ei chynydd rhyfedd trwy yr oesoedd. Cawn ynddo hanes amryw farnedigaethau Duw ar elynion yr eglwys, a hynod rwydd ei oruchwyliaethau ar wledydd y byd.

Cydymaith ydyw a'm difyra â hanes fy ngwlad a'm Cenedl, ei hofergoelion paganaidd a Derwyddol; dyfodiad yr Efengyl i'w mysg, a'i lledaeniad graddol yn y tir. Caf gymmorth ganddo i fod yn gadarn fy meddwl am ddwyfoldeb yr Ysgrythyrau, ac yn oleu yn y rhanau anhawddaf eu deall o honynt. Mewn gair, yr wyf yn ei gael yn grynhodeb y pethau buddiol. Pa bryd y daw y Cymry i werthfawrogi llyfrau fel hyn, yn lle sothach gwag? Gobeithiaf y cawn yn fuan gan yr Awdwr ail gyfrol, ac y bydd y derbyniad iddi yn groesawgar iawn, yr hyn yn ddiameu a foddhai gannoedd heb law eich cyfaill, IOAN.

*Dyffryn.*

## Hanesiaeth Cenhadol.

### Y CHINEAID.

Mae yn hysbys i amryw o'n darllenwyr nad oes dim rhyddid i bregethu yn China, mae y drws hwnw wedi eu gauad yn hollol. Yr unig foddion a ellir eu harferyd yn bresennol tuag at oleuo y genedl liosog hono, ydynt taenu traethodau crefyddol a rhanau o'r Ysgrythyrau yn eu plith, ac ymddyddan yn bersonol â hwynt. Hefyd addysgu y cyfryw o'r genedl a gaffer yn wasgaredig mewn gwledydd ereill. Un o'r gwledydd hyny ydyw Malacca. Fe fydd yn dda gan bob cristion effro glywed fod rhyw arwyddion y bydd i'r Chineaid gael pregethu yr efengyl yn eu plith, a mwynhau addysg ysprydol a moddion gras. Mae yn llawenydd genym allu hysbysu fod rhyw arwyddion o barottoadau tuag at hyny yn ymddangos yn y dyddiau hyn. Mae newyddion o Malacca yn hynod o obeithiol a chysurus.

MALACCA.

*Talfyriad o lythyr oddiwrth y Parch. John Evans, o'r Brif Athrofa Saesoneg a Chinaeg, a ddyddiwyd yn Malacca, Ionawr* 15, 1837.

'Yn mis Mai diweddaf, 1836, mi a dderbyniais i'r Athrofa chwech o fechgyn o'r Chineaid. Wrth wneuthur hyny, mi a gyfarfyddais â llawer o anhawsderau; ond drwy ddyfal barhad, fe gyflawnwyd y gorchwyl. Mae y gwyr ieuainc hyn yn hollol dan fy ngofal i a'm gwraig. Mae yn dda genyf allu dywedyd fod yr Arglwydd wedi ymddarostwng i fendithio ein dyfalwch, ein gofal, a'n llafur gyda'r bechgyn hyn, fel y mae arwyddion gobeithiol na bu ein llafur gyda hwynt ddim yn ofer. Mi hysbysais i chwi o'r blaen fy mod wedi bedyddio un o honynt, ac yn awr gallaf ddywedyd fod amryw o bethau wedi ymddangos er y pryd hyny, ag sydd yn arwyddo fod goruchwyliaethau difrifol yn parhau ar ei feddyliau. Gellir dywedyd mewn gwirionedd fod ei rodiad yn addurn i'w broffes.

Ddydd Sabbath, Rhagfyr 18, diweddaf, mi fedyddiais dri ereill o'r bechgyn Chineaidd hyn, ynghyd ag un Siamead, yn y Capel Cenhadol yn Malacca, pan oedd yn bresennol gynnulleidfa liosog o Ewropeaid a Chineaid. Bu y bechgyn am gryn amser dan addysg barottöawl, a chafwyd mawr foddlonrwydd o'u sobrwydd a'u cywirdeb, canys hwy a ymadawsant a'u coelgrefydd a u heilunaddoliaeth, ac a goflleidiasant y grefydd gristionogol.

Y rhan fwyaf o'r gynnulleidfa ar yr achlysur hwn oeddynt Chineaid, ac yr oedd yr ymwrthodiad mewn proffes gyhoeddus ag eilunaddoliaeth, a wnaed gan y bechgyn hyn yn eu gwydd hwynt, yn cael rhyw effaith parhaus. Mae y bechgyn yn awr wedi eu derbyn i r eglwys yn aelodau drwy fedydd, ac y maent dan fy ngofal i, ac yn mwynhau addysg priodol i'w parottoi i fyned i bregethu yr efengyl i'w cyd-genedl.

Ar ol eu bedyddio hwy, dyma ddau ereill yn gwneud ymwrthodiad cyhoeddus ag eilunaddoliaeth a choel-grefydd yn y modd mwyaf cadarn a hyf, gan ddymuno cael eu derbyn i Eglwys Crist drwy fedydd. A chan eu bod hwythau wedi mwynhau moddion addysg am lawer o amser, yr wyf yn bwriadu eu bedyddio hwy wythnos i'r Sabbath nesaf.

Fel hyn, chwi welwch fod yr Arglwydd yn rhoddi arwyddion fod gwawr ar dorri ar y Chineaid, ac y daw y dydd y bwrir yr eilunod allan o'u mysg: mae yn sirioldeb mawr i ni weled arwyddion gwawr fechan mewn amser tywyll iawn.

*Dyma gyfieithiad o'r Chinaeg, o rai o'r Gofynion a roddwyd i'r bechgyn, ynghyd a'u hattebion hwy iddynt.*

G. Paham yr ydych yn dymuno derbyn y grefydd Gristionogol? At. Am fy mod yn gweled fy hun yn bechadur mawr: ond yn awr yr wyf yn dymuno edifarhau oherwydd fy mhechodau, ac ymadael â hwynt, fel y derbyniwyf faddeuant, ac y caffwyf obaith am fywyd tragywyddol a dedwyddwch tu draw i angau

G. A ydych chwi yn meddwl y bydd i fedydd yn unig achub eich enaid? At. Nac wyf; ond yr wyf yn credu y dichon i Iesu Grist, yr hwn a orchymynodd fedyddio credinwyr, fy achub.

G. Beth a wnaeth Iesu Grist drosoch chwi? At. Efe a ddyoddefodd, ac a fu farw, i wneud iawn dros fy mhechodau, ac i bwrcasu iachawdwriaeth i mi. Yr wyf fi gan hyny yn dymuno dyfod yn aelod o'i eglwys sanctaidd ef ar y ddaear, ac yn y diwedd gael fy nerbyn i'w deyrnas nefoedd.

G. Paham y dymunwch ddilyn athrawiaeth Iesu Grist yn lle arferion y Chineaid? Att. Am fy mod yn credu mai athrawiaeth Iesu Grist yn unig a ddichon fy arwain i ddedwyddwch a nefoedd.

G. A ellwch chwi yn awr dystio yn wirionedddol eich bod chwi yn ymwrthod âg addoliad eilunod, a gwag goel-grefydd eich gwlad? Att. Gallaf: yr wyf yn cyffesu fy mod i wedi bod mewn anwybodaeth a ffolineb yn addoli eilunod, ond o hyn allan fy nymuniad yw addoli yr unig wir a'r bywiol Dduw, a'i wasanaethu ef.

G. A ydych chwi yn credu, eich bod chwi oherwydd eich mawrion bechodau yn haeddu dyoddef tragywyddol gospedigaeth? Att. Mi a wn fy mod yn bechadur mawr, a'm bod yn haeddu dyoddef tragywyddol gosp sy'n ddyledus am bechod.

G. A ydych chwi yn tybied fod unrhyw weithredoedd o'ch eiddo eich hun, y rhai a wneloch chwi rhagllaw, yn abl eich achub? Att. Mi wn nad yw yr hyn oll a allaf wneud yn ddigonol i fy achub; ac yr wyf yn gobeithio, ac yn gweddio am iachawdwriaeth yn unig drwy haeddiant Iawn Iesu Grist.

G. Fe allai mai mewn golwg ar ryw ddyrchafiad bydol yr ydych yn dymuno cael eich bedyddio?

At. Mi allaf dystio mewn gwirionedd nad felly y mae: yr wyf o'm calon yn dymuno bod yn ddysgybl i Iesu Grist, a dyma yr unig reswm pa ham yr wyf yn ewyllysio fy medyddio.

Yr holl attebion hyn a effeithiasant yn fawr ar y gynnulleidfa; ac yr oedd llawer o honynt yn wylo yn hidl wrth eu clywed. Fe ofynwyd amryw Gwestiynau ereill iddynt, ond y mae hyn yn ddigon i ddangos eu natur hwynt.

Mae y dychweledigion ieuainc hyn yn awr mewn cyflwr ac agwedd barottoawl i gymdeithas eglwysig; ac ymhen ychydig o Sabbathau etto, yr wyf yn hyderu y byddwn yn ffurfio yr Eglwys Gristionogol Chineaidd gyntaf erioed yn y byd.

Parhewch i weddio drosom am i'r Arglwydd lwyddo ei waith yn ein plith. Mae yn hyfryd iawn genyf hysbysu i chwi fod

rhagfarn yn cilio, a'r bobl yn dechreu derbyn yr Ysgrythyrau a llyfrau crefyddol ereill gydag awydd am eu darllen.

Cyfarfu plant yr amrywiol Ysgolion perthynol i'r Genhadaeth yn yr Athrofa ar ddydd llun yr ail o'r mis hwn, eu nifer dros 500, i dderbyn eu gwobr flynyddol. Yr oedd yr olwg arnynt yn foddhaol a siriol iawn.

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

### GAIR O BENFRO.

Barchedig Olygydd,—Ar daer annogaeth a dymuniad amryw o'm brodyr a'm tadau yn ngwaith fy lôn, anfonwyf i chwi er ymddangos trwy gyfrwng eich Trysorfa gyflawn a chyfoethawg, ychydig o hanes achos Brenhin Sïon yn y rhan hon o'r wlad. Tebygwyf eich bod yn gwybod am swydd Dyfed, neu swydd Benfro, eu bod yn uchel mewn llawer peth gyda golwg ar faes crefydd, ymhlith y Trefnyddion Calfinaidd ac enwadau crefyddol ereill; etto, nid hyn ydyw agwedd yr oll o'r wlad, nid yr efengyl ydyw unig lywyddes y gororau, ac nid crefydd sydd fwyaf ei pharch, ac a eistedd uwchaf ar orseddau monwesol y bobloedd: ond y mae 'Tywysog llywodraeth yr awyr' yn cyhwfanu ei faneran byddugawl yn y lleoedd. Y cryf arfog a feddianna y galon, ac a addolir fel 'duw y byd hwn,' gan luoedd o'r dallaidd werinos. Mae y dosparthiadau helaeth a boblogir gan y Saeson, (er eu bod y brasaf o lawer o ran ffrwythlondeb a chyfoeth daear,) 'yn llawn o drigfannau trawsder.'

Mae y trigolion nid yn unig heb eu hefengylu, ond i raddau tra mawr heb eu sobreiddio a'u moesoli. Dian nad oes achos petruso dywedyd, mai gelynion gwaethaf gwir grefydd a duwioldeb yn y parthau hyn, yw coel a gau grefyddau wedi eu sylfaenu ar dwyll a rhyfyg. Os gellir myned i *hen lan y plwyf, druan*, ychydig droiau yn y flwyddyn, yn enwedig dydd y Nadolig a Sabbathau y Pasg a'r Sulgwyn, bydd pob peth yn eithaf da: ystyrir fod crefydd bur a gloyw yn y meddiant. Yr ydwyf wedi cyfarfod ag amrywiol o fath y rhai hyn, ac wrth ymddiddan a hwynt, yn cael eu bod yn eithaf sicr o ran eu hawl i'r dedwyddwch puraf mewn byd arall, er nas gellir darllen yn eu barn a'u bywyd, ond y cwbl yn arwyddion bod yn ol. Ychydig amser yn ol y bum yn ymweled a gwr claf ag ydoedd wedi byw oes dra annuwiol; yr hwn yn nechreu ei glefyd, gafodd ei ysgwyd yn ddrychynadwy gan ueunadau erchyllaidd angau, barn, a byd tragywyddol; ond daeth y Parch. —— ac a weinyddodd iddo y *sacrament*, ar yr hon *weithred rinweddol*, y cefais ef yn cwbl bwyso am dderbyniad i fyw mewn perffaith fwynhad o ddedwyddwch y Ganaan, nas gall neb ond 'creadur newydd' anadlu yn ei hawelon pur.

Och! och! ai yn Nghymru y mae hyn? Ai yn swydd Dyfed y teyrnasa y fath goelgrefydd a hon? Iё, ïe, gyda gwarth y gorfyddwyf gyfaddef, hon ydyw y wlad.

Yn awr, Syr, newidiwyf destun fy nhraethawd, a dangoswyf i chwi fod yma er hyn oll 'beth daioni tu ag at Arglwydd Dduw Israel.' Er nad ydyw haul crefydd yn ymbeledru yn entrych y wlad, fel yn mhlith y Cymry, etto, mae yn 'ddydd y pethau bychain' arnom ni, gan hyny, na ddiystyrer hwn. Nid dydd ydyw mae yn wir, ond, ac nid nos dywyll chwaith, am hyny pwyswn ar ei addewyd Ef am oleuni i ymddangos yn yr hwyr.

Yn yr ardaloedd lle yr ydwyf yn cael yr anrhydedd o lafurio gydag achos y Nefoedd, sef Penfro a'i chylchoedd, y mae pedwar o gapeli perthynol i'r Trefnyddion; sef Bethel yn nhref Penfro, Zoar mewn pentref a elwir Hundleton, Walaston a Thorn yn fwy i'r wlad. Bu capel Hundleton, oherwydd diffyg gweithwyr i'r cynhauaf, yn gau dros o ddwy i dair blynedd, er fod yma angen mawr am bregethu gair yr iachawdwriaeth. Yn awr y mae wedi ei ail agor ers mwy na blwyddyn yn ol, ac y mae yma Ysgol Sabbathol hynod o addawol a blodeuog. Ymwelwyd a'r Ysgol hon yn ddiweddar gan y gwr boneddig tra hynawsedd ac anrhydeddus, Sir John Owen, Bart. M. P. a'i bendefiges a dwy o foneddigesau ereill, a mawr oedd eu siriolder yn eiu mysg. Yn wir, Syr, wrth weled Brevrig (*Baronet*), ac aelod o Senedd Lloegr a'i foneddiges yn ymddigrifo yn ngwaith yr Ysgol Sabbathol, nid oedd fy meddwl heb hedeg at amser nefolaidd y Mil Blynyddoedd, pan y bydd brenhinoedd yn dad maethod, a brenhinesau yn fammaethod, i achos ein Duw ni; ïe, pawb oll, uchel ac isel, cyfoethog a thylawd, fel un gwr, ac o un llais a chalon, yn dwyn yr arch i'w mangre ei hun.

Mae pregethu hefyd yn y lle hwn mor aml ag y mae modd, pan y mae llawer yn cyrchu i wrando yn ystyriol air y bywyd. Y 14eg o Fai diweddaf, cynnaliasom yma gymmanfa yr Ysgolion, a chan fod y gwaith hwn yn beth mor newydd a rhyfedd, ïe, braidd yn cael ei gyfrif yn beth gwrthiol yn y parthau yma, ymgynnullodd cymmaint o bobl, nes y gorlanwyd y capel cyn dyfod o'r Ysgolion ynghyd. Pan welsom hyn, yr oeddem mewn cyfyngder mawr, canys nis gwyddem pa le, na pha fodd i gynnal ein cyfarfod. Ond ar unwaith, wele y wawr yn agor, daeth gwr ymlaen, er ei fod yn was ffyddlawn i ddiafol, ac yn flaenor mewn annuwioldeb, i gynnyg i ni wasanaeth ei gae ag oedd y tu cefn i'r Capel. Tarawodd hyn ni a'r syndod mwyaf, canys nid oedd ynom y meddwl lleiaf y buasai dim yn dyfod o'r parth du hwn, ond cas, gwawd a gelyniaeth. Gyda llawenydd a diolchgarwch mawr y derbyniasom yr anrhydedd, a diau ei fod yn werth ei goffâu, fod annuwiolion a meddwon pennaf y lle,

yn ymdrechu ein gwasanaethu. Yn y cyfarfod hwn yr adroddwyd gyda dwysder mawr, ran o Hyfforddwr y Parch. T. Charles o'r Bala, sef am ddydd y farn. Hefyd adroddwyd rhannau helaeth o Hanesyddiaeth, ac Amseryddiaeth ysgrythyrol, fel y cafwyd crynodeb byr o'r holl Fibl. Eilwaith, adroddwyd rhai hanesion cynnwysfawr am lwyddiant y Bibl, yr Ysgol Sabbathol, &c. gan amryw o'r plant; ac yn eu plith codwyd geneth fechan 6 mlwydd oed i fynu, ac adroddodd yr Hymn ganlynol ar ragorolrwydd y Bibl:—

'This is a precious book indeed,
Happy the child that loves to read,' &c.

Pan oedd yn dechreu adrodd, cododd y Bibl i fynu yn ei llaw ddehau i olwg y dorf, a daliodd ef felly nes y gorphenodd. Yn wir rhy anhawdd yw darlunio hyn fel yr oedd. Yr oedd yr olwg mor rhyfedd, a'r adrodd mor ddwys ac effeithiol, fel braidd y gellid gweled neb llygaid a gruddiau sychion yn y lle. Mae Ysgol Penfro hefyd mewn llwyddiant, ac ar gynnydd gwastadol.

Bob pedwarydd Sabbath yn yr Ysgol hon, yr ydys yn traddodi araeth (*lecture*) ar ryw destun Ysgrythyrol, ac athrawiaethol neu ymarferol. Mae yn bresennol ar yr amser hwn, nid yn unig y plant, ond hefyd amryw o'u rhieni ac ereill mewn oed.

Ychydig amser yn ol, pan ydoedd cyffröad o lwyddiant yn yr Ysgol hon, dygwyd iddi un bachgenyn bychan o gylch 10 neu 11 oed, yr hwn ydoedd fab i wr hynod o annuwiol a meddw; nid oedd wythnos na braidd dydd yn myned heibio, na fyddai y gwr hwn yn fwy tebyg i fwystfil, neu o leiaf i greadur direswm nag i ddyn. Yr oedd ei fab bychan wedi ymlynu i'r fath raddau â'r ysgol, fel y penderfynodd os oedd modd trwy daerni a dagrau, ynnill ei dad meddw i ddyfod iddi. Llawer brwydr deg fu rhyngddynt, a'r bach yn aml yn cael y gwaethaf mewn geiriau, os nid mewn dyrnodiau; ond o'r diwedd, trwy gymmorth brawd o'r eglwys, ac fe allai y Duw sydd a'i ddirgelion o olwg dyn, cafodd y milwr ieuangc y maes ar y dewr: llwyddwyd i'w gael ef i'r Ysgol Sabbathol, ac hefyd i holl foddion gras. Ac O! ryfedd, ryfedd waith Duw Iôn! 'Gyda Duw pob peth sydd bosibl.' Mae allor yn awr i Dduw Israel wedi ei chodi yn y teulu lle y cadwodd meddwdod yr orsedd cyhyd. Mae y llencyn bach, ei ddwy chwaer ieuangach nag ef, a'u mham yn nhŷ Dduw. Mae y tad meddw hefyd wedi newid llwybrau, gwaith, a chyfeillion. Mae ef a'i deulu bob amser yn moddion gras; ac oni bai ein bod am gael prawf mwy perffaith o wirionedd y cyfnewidiad didebyg ynddo, byddai ef fel hwythau yn yr eglwys.

Mae genym hefyd yn Penfro, gyfarfod yn cael ei gynnal bob nos Wener, a elwir *Youth Society*; lle y mae amryw o'r ieuengctid yn cyfarfod, fel yr agorer iddynt yr Ysgrythyrau, yr egwyddorer hwynt, ac yr ymddiddaner a hwynt yn gyffredinol a phersonol, mewn perthynas i grefydd a byd tragywyddol. Mae yn y cyfarfod hwn ddisgyblaeth lawer mwy llem nag yn yr Ysgol Sabbathol; ac nid oes neb i adrodd gair Duw yn gyhoeddus, ond y rhai sydd yn aelodau o honaw.

Nid ydyw ysgrifenydd y llinellau hyn, wedi anghofio yr argraffiadau dwys a wnaed ar ei feddwl mewn cyfarfod o'r fath yn Merthyr Tydfyl, yn swydd Forganwg; lle y cafodd yr anrhydedd o ddechreu ei yrfa grefyddol: gan hyny, nis gallasei lai na chynnyg yr unrhyw ragorfraint i ymddifaid y Saeson.

Yn wir, gallaf ddywedyd, nad ydym heb gael medi i raddau o ffrwyth yr had da a heuir yn y cyfarfod rhagorawl hwn.

Un llanc bach ynghylch 10 oed, o deulu digrefydd, a ddaeth yn ddiweddar i'r eglwys mewn ffordd dra rhyfedd, ïe, i raddau yn groes i'n meddyliau.

Yr ydoedd wedi cymmeryd hoffter nid bychan, yn nghyfeillach teulu ger llaw iddo, ag ydoedd yn perthyn i'r eglwys; a chan eu bod bob amser yn dyfod i'r moddion ynghyd, byddai yn eu holi mewn perthynas i grefydd, yn enwedig y cyfarfod eglwysig. (*Society*). Byddai weithiau yn amlygu iddynt, ei awydd i aros i mewn gyda hwynt yn yr eglwys, a byddai yn gofyn os oedd modd i hyny i fod. Yr atteb oedd, er ei ofid a drylliad ei galon, '*No Charles, that cannot be, for your parents are not in the Society.*'

Ar ol i'r cyfarfod cyhoeddus fyned heibio, pan fyddai yr eglwys yn aros yn ol, nid âi ef adref fel y lleill o'r bobl, ond byddai yn aros o gylch y capel nes dyfod o'r teulu a enwyd allan. O'r diwedd, er nad oedd rhyddid, arosodd i mewn yn yr eglwys yn ddiarwybod i bawb; fel pe buasai yn dywedyd, 'Myfi a âf i mewn, yr hwn beth nad yw gyfreithlawn: ac o derfydd am danaf darfydded.' Yn agos i ddiwedd y cyfarfod, y trydydd tro iddo ef i aros i mewn, clywyd rhyw gyffro tu a'r drws, ac anfonwyd y chwaer sydd yn gofalu am y capel i edrych pa beth oedd yno, ac O ryfedd! pwy ddaeth ymlaen yn ei llaw ond *Charles bach*! Yn wir barchedig Olygydd, nid oedd yma neb gan anwyldeb at yr estron bach, a gynnygiai son gair wrtho am y drws. Yn awr nid oes un cyfarfod o holl foddion tŷ Dduw yn myned heibio, nad ydyw yr un *bach* hwn yn y canol.

Hefyd yn ddiweddar, dwy o'n genethod, yn perthyn i'r *Youth Society*, o gylch 13 neu 14 oed, pa rai oedd yn nod i bawb o ran eu bywyd hardd a'u symlrwydd, a deimlasant awydd hynod o gryf ac anorchfygol, i ddyfod yn aelodau yn nhŷ Dduw. Penderfynasant i wneud eu dymuniad yn hyspys, gan obeithio y caent y

rhagorfraint. Ond cyn i hyn ddyfod i ben, cymmerwyd un o'n rhai anwyl yn glaf yn y *darfodedigaeth*. Arosodd ei chyfeilles hanner blwyddyn, gan ddisgwyl y byddai iddi gael adferiad iechyd, fel y caent 'rodio i dŷ Dduw ynghyd.' Ond yn lle cael dyddiau yn ychwaneg i fyw gyd a'r teulu ar y llawr, ehedodd ysbryd nefoledd ein hanwyl Marianne, i ganol y wlad berffeithlawn, lle nad oes neb sydd o fewn ei gororau yn cyfarfod a blinder na phoen mwy: ac ni chawsom ni ond yr anrhydedd o roi y gweddill clai i dawel orphwys yn y fan 'lle gorweddodd yr Arglwydd.' Ymadawodd a ni fel llestr cyflawn ei hwyliau, a gadawodd dystiolaeth ar ei hol, 'ddarfod iddi ryngu bodd Duw.' Ar awr ei chladdedigaeth, yr oedd agos yr oll o'i chydysgolheigion yn bresennol; cerddasant mewn trefn ar ol ei chorph i fynwent St. Mary's yn Benfro, a chan wylychu ei gwely oerawl â dwfr y galon, rhoddasant hi i orwedd hyd y boreu, pan y daw i fynu yn well ei gwedd. Yn awr dyma gyfeilles ei chalon wedi ei gadael yn ymddifad o'i chyfeillach.

Mae angau yn rhanu rhwng y ddwy wlad lle y maent. Bellach, rhaid ymdrechu trwy bob tywydd er dyfod i eglwys Dduw heb olwg ar ei mhonwesawl Farianne. Yn awr gwnaeth ei dymuniad yn amlwg; gofynodd a gai hi y fraint o drigo yn y fan lle yr edrychir 'ar brydferthwch yr Arglwydd.' Diau Syr, eich bod yn dychymygu nad oedd modd lai na rhoddi iddi ddrws cyflawn agored. Pan ddaeth, gofynwyd iddi, Os oedd yn meddwl fod dyfod i dŷ Dduw yn ddigon am ei hachub? 'O na,' atteb-odd, 'Nid oes iachawdwriaeth ond yn Iesu Grist.' Gofynwyd iddi eilwaith, Pa beth oedd yn cymmell ei meddwl i ddyfod i dŷ yr Arglwydd? Attebodd, 'Am ei fod ef yn gorchymyn ymddidoli a dyfod allan o'u canol hwynt, a mi ddymunwn gadw ei orchymynion ef i gyd, oblegyd y maent yn orchymynion glân iawn i gyd." Gwelwch, anwyl Syr, fod gan Dduw pob enawd ryw beth i wneud o'i ras â'r Saeson ymddifaid yn y parthau hyn. Ac, O! paham yr anghofir y Saeson i raddau mor fawr. Os darfu iddynt hwy yn ddichellaidd ein hymlid ni o ganol braster broydd cyfoethawg Lloegr, i lechu mewn bywyd ymmysg mynyddoedd Cymru, bydded i ni yn daledigaeth am eu gwaith, ymdrechu eu hynnill oll i fynwes Nefoedd. Ydwyf, hybarch Syr, yn ofni fy mod wedi eich blino trwy ormod meithder, am hyny terfynwyf gan obeithio y caf etto yn fuan anfon i chwi ychydig o hanes yr eglwysi yn ein mysg. Ydwyf yr eiddoch, &c. &c. QUERCUS.

---

RHESTR PREGETHWYR, &c. SIR GAERNARFON.

Anwyl Frawd,—Yn nghofrestr Pregethwyr a Chapeli Sir Gaernarfon, mi a angofiais Gapel yr Aberch, ac Ysgoldy Bryn-mawr, ac Ysgoldy Neigwyl. Yr oedd yn ddrwg iawn genyf i mi angofio cynnifer o'r brodyr heb eu rhoddi yn y rhestr. Byddaf yn rhyfeddu fy mod wedi anghofio fy hoff gyfaill O. Jones, Plas-gwyn, yr hwn sydd yn hen Bregethwr hefyd; ieuangc ydyw y lleill; ond er hyny y maent yn anwyl: nid diystyrwch arnynt oedd y peth, ond anghof. Yr oedd yn athrist iawn genyf anghofio Elis Jones, Plas-gwyn, yr hwn fu farw dan ei goron fel Pregethwr ac fel Cristion. Trefnwyd iddo fynediad helaeth i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist.

Nid wyf yn addef i mi gamsynied yn enw William Daniel, fy hen gymmydog, bum dymor gydag ef yn yr un Gymdeithas Eglwysig.

Dafydd Pritchard, Pentir, ddylasai fod; nid Dafydd Pritchard, Pentre.

Pe buasai W. Jones yn gallu dioddef ychydig, mi fuaswn yn Gwellhau y Gwallau fy hun. Ond, druan, gofid un yn esgor a ddaeth arno; ac yr oedd y doluriau mor gryfion, ac mor llym, fel yr esgorodd heb gynnorthwy yr un o Olygwyr y Drysorfa, nac un o'r Henuriaid Eglwysig mewn unrhyw fan. Etto fe ddywaid, "A gwelwch Syr, mai nid heb achos y cwynir na bai y rhai sydd yn anfon eu gwaith i'r Drysorfa yn ei ddangos i'r Golygwyr." Mae yn debyg mai nid efe ei hun sydd yn cwyno o achos hyn. Ac os e nid o'i achos ei hun, canys fe addefodd wrthyf nas dangosodd y peth a elwir Gwelliant Gwallau, i'r un o'r cyfryw ar a rag ddywedais uchod. Ond y mae ei gyngor yn dda ragorol, 'Cymmerer gwell gofal wrth restru y tro nesaf.' Yr wyf yn ddiffuant yn diolch i Mr. Robert Evans, Trefryw, am ei sulw ar yr hen bregethwyr, ac am ddwyn ar gof y gwr enwog Mr. John Edwards, Plas-yn Ngaerwys. Ydwyf, yr eiddoch, G. SOLOMON.

---

ENGRAIFFT O FAWR LESAD DIRWEST.

Arweiniwyd fi yn ddiweddar gan Ragluniaeth i Brestatyn, a hyny ar ddiwrnod ag yr oedd cyfarfod pregethu yno gan y Methodistiaid Calfinaidd, sef Mehefin 29 diweddaf. Treuliwyd y Cyfarfod yn y dull canlynol:—

Am 10, gweddiodd Mr. J. Jones, Rhyl, a phregethodd y Parchedigion J. Edwards, Berthen, ar Psal. 85. 10, 11. a J. Phillips, Treffynnon, ar Ezec. 9. 4. Am 2, gweddiodd John Edwards, a phregethodd J. Jones, ar Galar. 3. 27. a J. Phillips, ar Ezec. 9. 4. Am 6, gweddiodd Thomas Davies, Dyserth, (Henuriad), a phregethodd J. Jones, ar Matth. 1. 25. a J. Edwards ar 1 Ioan 3. 14. Ac yn wir, Cyfarfod wrth fodd fy nghalon i ydoedd; yr oedd y gwlith yn llenwi y cnu, ac yn gwlychu y ddaear hefyd: yr oedd arwyddion amlwg o bresennoldeb yr Arglwydd yn eu plith.

Ac er fy mawr syndod, nid oedd yr olwg ar yr ieuenctyd ac ereill rhwng yr odfeuon,

ac ar ol y Cyfarfod, fel gynt, yn diotta ac yn meddwi; ond yr oedd pawb yn ymddwyn yn syml a difrifol, ac yn dychwelyd i'w cartref-leoedd wedi diweddu y Cyfarfod, dan deimlad, gobeithiaf, o ddwys argyhoeddiadau yr Yspryd Glan.

Meddwl fod y cyfarfod hwn yn ymyl y Dalar-goch, lle y mae cynnifer o feddwon yn byw, a gweled y fath olwg a hyn ar y fan yma, a barodd i mi ddywedyd, 'Bys Duw a wnaeth hyn.' Dywedynt i mi fod cyfarfod ar yr un diwrnod gan y Trefnyddion Wesleaidd yn y Ddyserth, a bod yr olwg yno bron yr un fath. Parodd hyn i mi benderfynu y byddwn byw yn llwyr ymwrthodwr a diodydd meddwawl, pa rai oedd yn gymmaint melldith i fyd ac eglwys, ac yn achosi fod rhai cyfarfodydd crefyddol gynt bron mor lygredig ag ydyw ffeiriau yn awr wedi dyfodiad Dirwest. Llwyddiant i Ddirwest, meddaf fi; a phwy ond rhai yn pleidio annhrefn mewn byd ac eglwys, anghysur mewn gwlad a thref, na fyddai byw a marw yn DDIRWESTWR.

*Glan y weilgi.*

---

ANRHEG O'R AMERICA.

Y mae Dirwestwŷr Lloegr yn parotoi Deisebau i'w hanfon i'r Senedd Newydd mor fuan ag y bydd i'r Aelodau ymgyfarfod, yn erfyn ar Arglwyddi y Drysorfa i oddef i'r Anrheg o werth £5000 o Gyhoeddiadau Dirwestol (y rhai y mae ein brodyr Americanaidd yn eu hanfon yn anrheg i holl deuluoedd Brydain) i gael eu derbyn yn ddidoll.

Da fyddai i Gymdeithasau Dirwestol Cymru wneuthur yr un modd. Gwel y Drysorfa am Mehefin, td. 190.

# Helyntion yr Amseroedd.

## RHYBUDD Y LLYWODRAETH.

### COFRESTRAETH GENEDIGAETHAU A MARWOLAETHAU YN LLOEGR A CHYMRU.

*Y Rhybudd canlynol a anfonwyd yn argraffedig allan gan Lywodraeth Brydain, er hysbysiad cyffredin, i'w ddodi ar ddrysau Eglwysi plwyfau, a lleoedd cyhoeddus ereill, drwy y Deyrnas.*

Mae i bob Genedigaeth a Marwolaeth a ddygwyddo ar ol mis Mehefin, 1837, i gael eu Cofrestru gan Gofrestrydd (*Registrar*) y Dosparth yn yr hwn y dygwyddant, heb dalu dim arian am eu Cofrestru gan y cyfryw a ddygant eu henwau hwynt i'r Cofrestrydd, os Cofrestrir Genedigaeth o fewn chwech wythnos ar ol y dydd y ganwyd y cyfryw.

Nis gellir Cofrestru Genedigaeth plentyn ar ol chwech wythnos wedi geni y plentyn heb dalu 7s. 6c. am ei Gofrestru. Ac nis gellir am arian yn y byd Gofrestru Genedigaeth plentyn ar ol chwe mis wedi ei eni ef.

Am hyny dylai rhieni o bob gradd ymofyn am Gofrestru eu plant yn ddioed wedi eu geni hwynt.

Nid oes amser pennodol wedi ei enwi i Gofrestru Marwolaethau, ar ol Mis Mehefin, 1837; ond dymunol iawn fyddai ei fod bob amser yn cael ei wneud cyn gynted ag y byddo modd.

Bydd raid i'r Cofrestrydd Gofrestru Genedigaeth neu Farwolaeth, os rhoddir rhybudd iddo o Enedigaeth o fewn y chwech wythnos wedi geni y plentyn, ac o Farwolaeth os rhoddir rhybudd iddo o fewn y pum niwrnod ar ol y Farwolaeth, gan ddynion addas i roi y rhybudd.

Gellir rhoddi y Rhybudd i'r Cofrestrydd naill ai mewn geiriau neu mewn ysgrifen.

Gall y neb a fyno roi y rhybudd, ac fe ddymunir ar fod i bwy bynag a gaffo gyfleusdra i wneud hyny.

Gellir cael enw a phreswylfod Cofrestrydd pob Dosparth o'r wlad, ond ymofyn â'r Prif Gofrestrydd, yr hyn y dymunir arno ei wneud yn gyhoeddus.

Pwy bynag a alwo ar y Cofrestrydd efe a gaiff wybod ganddo pa fath hysbysrwydd sydd yn ofynol i'w Gofrestru.

Nid oes i un Genedigaeth a Marwolaeth a ddygwyddodd cyn Mis Gorphenaf i gael ei Gofrestru.

*Swyddfa Gyffredinol Cofrestraeth, Lundain, Mehefin*, 1837.

---

## CYFRAITH NEWYDD PRIODAS.

Y dosparth canlynol, (yr 36in.) o Gyfraith newydd Priodas, Victoria I, pen. 22. a ddylid ei wneud yn gyhoeddus er mwyn hysbysrwydd cyffredinol. Os bydd personau yn ewyllysio cael eu priodi yn Eglwys y plwyf, yn ol trefn yr Eglwys Wladol, hwy a allant yn awr, heb godi trwydded, (*Licence*,) am ddau swllt (am y rhybudd a llythyr hysbysrwydd), gael peidio cyhoeddi eu gostegion yn yr Eglwys fel y byddid arferol gynt. Y Dosparth sy fel hyn:—

'Ac oherwydd paham, fe drefnir yn y rhag-grybwylledig Gyfraith am Briodi yn Lloegr a Chymru, mai lle yr oedd y Gyfraith neu y ddeddf ag oedd mewn grym cyn passio y Gyfraith newydd, yn trefnu priodas i fod ar ol *cyhoeddi Gostegion priodas yn Eglwys y plwyf*, gellir gweinyddu y cyfryw briodas yn yr un modd drwy ddangos *Llythyr hysbysiad y Cofrestrydd*, yn ol y cyfarwyddyd yn y Gyfraith newydd hon. Bydded yn gyfraith o hyn allan, fod *rhoddi Rhybydd i'r Prif Gofrestrydd, a dangosiad Llythyr hysbysrwydd o dan law y Prif Gofrestrydd*, fel y mae y cyfryw Gyfraith yn trefnu, i gael ei ddefnyddio ac i sefyll yn lle *Cyhoeddi Gostegion Priodas* ymhob ystyr pa bynag, pryd na wnaed y cyfryw Gyhoeddiad o ostegion. A bydd raid i bob Person, Offeiriad, Ficar, Gweinidog, neu Gurad, yn Lloegr a Chymru, weinyddu priodas ar ol y cyfryw *Rybudd a Llythyr hysbysiad*, fel y dywedwyd uchod, yn yr un modd a phe buasid yn *Cyhoeddi gostegion*; a chofier yn

wastad, y bydd raid i'r Eglwys yn yr hon y gweinyddir priodas yn ol trefn yr Eglwys wladol fod o fewn i Ddosparth y Prif Gofrestrydd (*Superintendent Registrar*,) gan yr hwn y rhoddwyd y cyfryw lythyr hysbysiad.

### Y SENEDD YMERODROL.

Dywedir y bydd i'r Senedd newydd gael ei hagoryd i gyflawni gweithrediadau y wladwriaeth ar ddydd mawrth y 7fed o Tachwedd nesaf, a dim cynt.

### TRYCHINEB GALARUS

#### GER LLAW NANTYGLO, DEHEUBARTH CYMRU

Boreu dydd Sadwrn, Mehefin 17, digwyddodd yr amgylchiad galarusaf ag a fu yn yr ardaloedd hyn yn ngof neb byw. Yn ngwaith glo Meistri Brown, & Co. Blaenau, ger Nant-y-glo, trwy ymchwythiad y tân gwyllt tan-ddaearol, collodd deuddeg o ddynion eu bywydau yn y fan, a bu un arall farw ar ol ei ddwyn adref. Ac y mae rhai ereill etto mewn sefyllfa beryglus o herwydd y niwed a gawsant. Ac fe fu lliaws ereill mewn cyfyngder annirnadwy gan y *sulphur*, a'r diffyg awyr yr hwn a ganlynodd y taniad.

Yr oedd rhai o'r sawl a fuont feirw wedi llosgi yn ddrwg; ond y nifer fwyaf oeddynt wedi mygu yn y *sulphur*, heb nemawr, a rhai heb ddim, o effaith y tân. Daeth rhai allan yn fyw wedi dwbio eu genau a'u ffroenau â'r llaid o waelod y pwll i attal eu hanadl rhag llyngcu y *sulphur*. Cafwyd ereill wedi cwympo yn hollol ddideimlad yn mysg y meirw, y rhai wedi eu dwyn allan, a gweinyddu cynhorthwyon iddynt, a ddadebrasant. Collwyd amryw o geffylau yno hefyd.

Nis gwyddis yn benderfynol pa fodd y taniodd y pwll. Mwyaf tebygol yw, mai dau wr, o ran arall o'r gwaith, y rhai a ddaethant yno at y gweithwyr yn y pwll hwnw, i ofyn elusen i gymmydog claf, y rhai gan eu bod yn annghyfarwydd yn y lle, a aethant i le nas dylasent, lle yr oedd perygl, lle yr ennynodd y tân oddiwrth eu cannwyllau.

Y mae yn drwm adrodd nad oedd ond dau grefyddwyr yn mysg yr holl rai a fuont feirw. Dynion celyd, annuwiol, a meddwon, oeddynt gan mwyaf. Yr oedd tri o honynt yn benau teuluoedd. Y mae yn arswydus meddwl y fath galedwch ac anystyriaeth oedd yn meddiannu rhai o'r sawl a ddaethant allan yn fyw, er gweled eu cyd-weithwyr wedi myned i'r farn yn ddisymwth; ie meddaf, er bod mewn cyfyngder mawr eu hunain.

Yr oedd un ar ol dyfod allan, a dyfod atto ei hun, yn tyngu a rhegu y dylasai efe gael *Premium* am ddyfod allan yn fyw o'r fath le!! Aeth ereill y noswaith hono i'r tafarnau i feddwi!! Ardal baganaidd iawn yw yr ardal hono. Y mae tua dwy filldir i waered oddiwrth waith Meistri Bailey, Nant-y glo. Nid oes ond dau addoldy, heblaw Eglwys y plwyf, yn yr ardal; ac y mae'r ddau wedi eu gomedd i'r Gymdeithas Ddirwestaidd!! Dywedodd y Parch.—— yn Nghymdeithasfa B—r. Ei fod yn meddwl mai yn ardaloedd Nantyglo y mae canolbwynt teyrnas Satan. Pwy feddyliai lai wrth weled y fath galedwch.

JAFAN GELLILLYNDU.

*Etholiad.*—Mae etholiad aelodau y Senedd newydd wedi ei ddybenu yn Lloegr, Scotland, Cymru, a'r Werddon. Byd blin fu mewn amryw fanau, ac ymryson mawr rhwng dwy blaid gref a fu yn gyffredinol drwy yr holl deyrnas gyfunol. Gwneir prawf ar gryfder y ddwy blaid yn fuan pan ymgyfarfyddont, yn newisiad Cadeirydd Tŷ y Cyffredin.

*Esgob newydd.*—Mae y Dr. Musgrave, Deon Bristol, wedi cael ei appwyntio, i fod yn Esgob Hereford, yn lle yr hen Esgob a fu farw yn ddiweddar. Mae Dr. Musgrave yn wr dysgedig, yn wr o dalentau helaeth, ac yn wr tirion a hynaws iawn at bob plaid o ymneillduwyr crefyddol.

#### Y BARWN GURNEY AR FEDDWDOD.

Yn Llys barn, ddydd llun, y 7fed o Awst, yn ei orchymyn i'r Uchel Reithwyr, (*Grand Jury*) yn Nghaerlleon, gwnaeth y Barwn Gurney y sylwadau canlynol, wrth ddarllen y Cyhoeddiad yn erbyn drygioni, halogedigaeth, ac anfoesoldeb.

'Byddai yn ofid mawr i mi pe meddyliwn fod neb yn barnu mai gweithred o ffurf yn unig yw darllen y Cyhoeddiad hwn yn agoriad Llys barnol. Cynghor difrifol ydyw i ni oll yn ein hamrywiol sefyllfaoedd i ddwyn ymlaen ddedwyddwch y wladwriaeth drwy ddarostwng drygau ymhob dull a modd. Cynghor, nid yn unig i farnwyr, nid yn unig i swyddogion heddwch, ond i bawb.

Foneddigion, Nyni y rhai a elwir yn flynyddol i gynnorthwyo er gweinyddiad dial ar ddrwg-weithredwyr, er darostwng drygioni, gwaredu y diniwed, a chospi yr euog, dedwydd fyddem pe bai ein llafur a'n pryder yn cael eu lleihau drwy ddarostyngiad drygioni. Pe byddai i'r Cyhoeddiad rhagorol hwn gael ei briodol effaith gallem gerdded ein heolydd heb i'n clustiau gael eu poeni gan eiriau drygionus ac anniwair; ni ofidid ein llygaid drwy olygiad beunyddiol ar ddynion yn diraddu eu hunain i gyflwr anifeilaidd drwy yfed diodydd meddwol. Lleiheid trosedd, pe byddai i yr un drwg hwn o feddwdod gael ei ddarostwng. Mewn Sir ar gyffiniau hon, yr oedd yn boenus genyf sylwi, yn y rhestr troseddau duaf a welais erioed, nid oedd dim llai na'r drydedd ran o'r troseddau wedi cael eu cyflawni drwy effeithiau meddwdod.

Dymunwn gynghori yn ddifrifol nid yn unig Heddynadon, ond Swyddogion plwyfau, a phob dyn, i gynnorthwyo i attal troseddau. Mi a gefais allan y dichon i Feistriaid gweithydd arfer eu hawdurdod a'u dylanwad er mawr attaliad arno; pe bai iddynt eu defnyddio yn wrol tuag at y rhai sy danynt.

Yr wyf yn sicr y byddai i droseddau drwy hyny gael eu lleihau yn ddirfawr. Pe byddai pob dyn da a rhinweddol, yn ymroddi i weithredu drwy berswadiad moesol a chrefyddol, i attal dynion rhag ymdroi yn y pechod gwrthun o feddwdod, fe effeithiai hyny lawer iawn. Mi gymmerais y rhyddid i wneud y sylwadau hyn mewn canlyniad i'r profiad a gefais o'r trueni yr hwn y mae y trosedd o feddwdod yn arwain iddo. Mae yn arfogi y dwylaw â thrais; mae yn rhoddi i'r dyn anonest yspryd i gyflawni y trosedd y mae wedi ei fwriadu; mae yn fynych yn arwain i'r graddau o ddrygioni nad oedd y dyn a'i cyflawnodd yn bwriadu ar y cyntaf eu gwneuthur; ac aml y mae yn ei galonogi i drochi ei ddwylaw yn ei waed ei hun.

*Ffair yr Amwythig.*—Yn ffair Awst yr oedd llawnder mawr o bob peth i'w gwerthu, yn gyffredinol, a lliaws mawr o brynwyr, ac felly gwerthwyd am uchel bris. Llawer iawn o ddefaid tewion, y rhai a brynwyd yn awyddus am 6½c. y pwys; ond y rhai a werthwyd yn y boreu a aethant am ychydig llai pris. Wyn a werthwyd yn rhwydd iawn. Moch a werthid yn lled uchel: rhai bychain o 3s. i 4s. yn uwch na'r ffair o'r blaen. Da byw tewion a werthid am 6c. y pwys, yn gyffredinol. Yr oedd galwad mawr am wartheg a lloi. Ymenyn a werthid am o 10½c. i 10½c. y pwys. *Bacon* a *Ham* a werthid am o 7½c. i 8c. y pwys. Yr oedd yno helaethrwydd mawr o gaws: y pris oedd o 35s. i 40s. y cant. Hafod (*Dairy*) o gaws newydd o 50s. i 55s. a'r goreu oll yn 10s. y cant yn uwch. Gwlan a werthid am 13½c. a 14c. a 15c. y pwys. Gwlan wyn am o 1s. i 1s. 2. y pwys.

Bu Farw, ar ddydd Sabbath, Gorphenaf 9, 1837, Mrs. Phillips, gwraig Mr. John Phillips, Penrhyn, gerllaw Conwy, un o'r Aelodau hynaf gyd a Chorph y Trefnyddion Calvinaidd yn Mochdre. Wedi gorwedd oddeutu chwech mis ar wely cystudd dyna oedd yn ei ddyweud y boreu y bu farw, a llawer gwaith cynt, 'O Arglwydd, gollwng fi mewn tangnefedd, dyna ddymuniad fy enaid." Hi a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.—Hugh Williams, *Mochdre.*

---

## ENGLYNION

(*A gafwyd wedi marw o'r cyfansoddydd*) *ar farwolaeth y diweddar Barch.* Peter Roberts *o Lansannan.*

Mil wyth-gant cofiant cyfan—a rhagor,
Naw ar ugain rhifan',
Angau roes o'i ingawl ran.
Loes hynod i *Lansannan.*

Ac nid Llansannan y sydd,—yn unig,
Mewn anhwyl o'r herwydd;
Gwynedd oll, gwyna i ddydd
Dynu gŵr, dan ei geurydd.

Gweinidog enwog union—a dorwyd
O dir y bywiolion;
Colofn lwys o Eglwys Ion,
A fwriwyd draw at feirwon!!

Sef Pedr wr dafedr air difai—Roberts
Gwir hybarch, deilyngai;
O'r golwg draw a giliai
A'i wen glos, i ŵn o glai.

Torodd wr hynaws tirion—o ei le,
I lawr at farwolion;
Enwog weinidog ein Ion,
A ddygwyd i ddu eigion.

Gwr oedd ef rhagoraidd iawn—gwas i Dduw
Gawsai ddod yn brydlawn,
Idd ei dŷ y llety llawn,
Ar enwad ei rai uniawn.

Rhodiodd er mawr anrhydedd - i'w broffes,
Hyd brif-ffordd tangnefedd;
I'w goron ni bu gwyredd,
Na nod o fwlch, hyd ei fedd.

Ac wedy'n er hyn i barhau—cafodd
Mal cofir yn ddiau;
Achos Ion (heb galon gau)
Do, antur i'w dŷ yntau.

Ffyddlon o'i foddion a fu,—o'i galon
I goledd gwaith Iesu:
Gwnai mewn hedd, amgeledd gu,
A dilesg yw ei deulu.

Ef a'i wraig oedd yn fawr iawn—eu hawydd,
A'u dyhewydd ffyddlawn,
At bob achles a lles llawn
I rannau gwaith Ior uniawn.

Digoll a hael gym'dogion—da oeddynt,
O duaddiad calon,
Ac o fryd, holl hefyd llon,
Daionus i bob dynion.

Eu plant heb golliant i gyd—a gawsant
Yn gysur i'w bywyd;
Heb nesáu at byllau'r byd,
A'i anferth ddulliau ynfyd.

Ffyddlon fel dynion ar daith—a fuont,
Trwy fywyd eu hymdaith;
Parch i weision Ion a'i waith
Oedd ynddynt, yn ddiweniaith.

Gwir Gristion union anwyl—da ydoedd
A didwyll ei orchwyl;
Meddai ddawn a hylawn hwyl,
O ryw Parod i'r Perwyl.

Gweithiodd o'i wiwfodd tra fu—ei iechyd,
Heb Och yn caniadu;
A chael ei alw i gadw'n gu
Noswyl o winllan Iesu.

Cwynion tylodion o'i ledol—dian
Wrandawai'n ddifrifol;
Y weddw wan, heb ffwdan ffol,
A 'styriai yn dosturiol.

Cymdeithas addas wiwdda—y Biblau,
Bu wiwblaid i'w chronfa;
At bob achos dios da,
Un ydoedd o'r hynoda.

Robert Jones, *Argraffydd, Dinbych.*

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXII.] HYDREF, 1837. LLYFR VI.

## BUCH-DRAETH CRISTIONOGOL

RHIF. V.

### PHILIP MELANCTHON.

**Philip Melancthon**, cyfaill a chydweithydd Luther, a anwyd yn nhref Bretten, yn Saxoni, yn y flwyddyn 1497. Ei dad George Schwartzerd, (canys nid yw Melancthon namyn cyfieithiad Groegaidd o'r enw teuluaidd) yr hwn a fu yn rhaglaw y fagnelfa yn Mrein-iarllaeth (*Palatinate*) isaf y Rhine, oedd yn ddyn nodedig am ei gywreinrwydd celfyddydol, ei dduwioldeb diffuant, a'r moesolrwydd manylaf. Dywedir hefyd am ei fam, ei bod yn wraig dra rhinweddol; ei thad John Reüter, oedd Faer y dref, ac o herwydd trafferthion amrywiol Schwartzerd, iddo ef yr ymddiriedid gofal dysg Melancthon ar y dechreu.

Mae yn ddïau y buasai rhyw gofion mabaidd am Melancthon yn dra dyddorawl, pe buasem yn feddiannol arnynt; gan y buasent yn foddion neillduol i ddadlenu gwawriad tueddfryd un mor lawn o laeth tiriondeb dynol, fel y dywedid am dano, 'Mae dynion gonest a di ragfarn yn hoff o honaw, ac ni all, hyd yn nod ei wrthwynebwyr ei gashau;' ond, y gwylder oedd mor amlwg a hawddgarwch tymer yn ei nodweddiad ef, a attaliai i'r cyfryw amgylchiadau gymeryd lle yn aml yn ymddygiadau y plentyn, ag a fuasent yn rhag-ddarluniad o'r dyn: eto ni allai ei wylder guddio ei gyrhaeddiadau ehang, a'i dalentau gorwych yn hir: canys efe a flaenorai yn mysg llëenyddion yr oes, pan ydoedd yn ieuanc iawn. Efe a dderbyniwyd yn aelod o Brif Athrofa Heidelberg yn y flwyddyn 1509; ac yn y flwyddyn 1513, efe a raddiwyd yn Athraw yn y Celfyddydau, pan nad oedd onid tuag un-ar-bymtheg oed! Yn fuan wedi hyny, efe a ddaeth yn Ddarlithydd cyhoeddus yn Tubingen, lle yr enillai enwogrwydd a chlod nid ychydig am ei gydnabyddiaeth ehang a llëenyddiaeth gyffredinol, yn enwedig ei hyddysgrwydd yn y prif awduron Groegaidd: ac mor fawr oedd ei enwogrwydd cyn ei fod yn ddeunaw mlwydd oed, fel y dywedai y dysgedig Erasmus,' Pa obeithion na allwn eu coleddu am Philip Melancthon, yr hwn er nad yw eto ond bachgenyn sydd mor gyfarwydd yn yr ieithoedd dysgedig! Mor gyflym ei ddychymyg! Mor bur ei ymadroddiad! Mor ëang ei gof! Mor amrywiol ei ddarlleniad! Mor wylaidd a thelediw ei ymddygiad! a'r fath feddwl tywysogaidd sydd ganddo!' Ac nid oedd ei gyrhaeddiadau ef yn gyffelyb i ryw ardyfiant cein-falch, yn cynnyrchu syndod mewn ieuenctyd; ond yn troi allan yn dra chyffredin erbyn cyrhaedd addfedrwydd oedran; canys tra yr oedd efe eto yn ieuanc iawn, yr oedd ei draethiadau o'r fath ansawdd sylweddol, fel y buant dros amser maith, yn brif destunlyfrau athrofâau yr Almaen ar eu hamryfal wyddorion, yn enwedig rhesym-ddysg, moesddysg, ac anianddysg. Yn mhen tua thair neu bedair blynedd wedi i Erasmus ddatgan y glod uchod iddo, y dywedai Luther am dano,' Nid yw efe ond bachgenyn, wrth ystyried ei oedran: ond pan feddylier am ehangder ei wybodaeth, yr hon sydd yn cyrhaedd pob math o lyfr o'r bron, rhaid addef mai ein gwr mawr, a'n hathraw ydyw. Mae yn nodedig, nid yn unig am ei gydnabyddiaeth â'r Lladin a'r Groeg; ond hefyd am ei wybodaeth fanyl-ddysg o honynt: ac nid yw yn annghyfarwydd mewn llëenyddiaeth Hebreaidd ychwaith.'

Nid yw yn debyg fod neb yn hysbys pa bryd y dechreuodd Melancthon brofi pwysigrwydd pethau dwyfol yn cael eu gwasgu ar ei feddwl. Ond y mae yn ymddangos ddar-

fod i gŵr iddo o'r enw Capnio, gwr tra dysgedig, ei anrhegu tra yr oedd efe eto yn Tubingen, a Bibl bychan, yr hwn a wnaeth efe yn gydymaith gwastadol, ac a eglurodd efe â lluaws o nodiadau. Ac y mae yn hawdd canfod oddiwrth bregeth a draddododd efe yn mhen ychydig wythnosau ar ol cyrhaedd Wittemberg (i'r lle y symmudodd efe wedi bod chwe blynedd yn Tubingen) ei fod ef wedi derbyn y gwirionedd yn y cariad o honaw. Er maint ei barch i ddynol ddysg, mae yn eglur ei fod yn cyfrif y gwirionedd fel y perl gwerthfawr. Wrth son am ddefnyddioldeb llëenyddiaeth Hebreaidd a Groegaidd, i ddeall meddwl gair Duw, mae yn arferu iaith sydd yn dangos ei fod ef wedi ei drwytho âg ysbryd Cristionogaeth, ac âg egwyddor fawr y diwygiad —Chwiliwch yr ysgrythyrau. 'Pan nesäom at ffynnonau gwirionedd, eb efe, yna y dechreuwn gynnyddu mewn doethineb yn Nghrist: ei orchymynion a wneir yn amlwg i ni, ac fe'n gwleddir â *nectar* gwynfydedig, doethineb nefol. Pan fyddom yn casglu y grawnsypiau yn ngwinllanoedd Engedi, daw y prïodfab gan neidio ar y mynyddoedd, a llamu ar y bryniau; ac â chusanau ei enau, ac arogl ei enaint tywalltedig daionus, efe a eneinia y rhai a arweiniwyd i balasau Eden. Mewn undeb ag ef y byddwn byw, ac y ffynnwn; gan edrych ar Sïon a Salem, ac addoli mewn dystawrwydd. Y cyfryw yw ffrwyth gwybodaeth nefol, yr hon a gair yn deilwng o'n gofal a'n parch penaf bob amser pan yn bur a digymmysg â chyfrwys ddadleuon dynol.'

Llawer gwaith y bu rhai yn ymholi, pwy a gychwynodd y Diwygiad Lutheraidd? Ond, y mae yn eglur oddiwrth y rhanau difynol uchod, yn nghyd ag amryw ffeithiau yn hanesiaeth yr amserau, fod yn lled anhawdd penderfynu yr holiad yma. Nid oedd Melancthon wedi cyfarfod a Luther hyd oni ddaeth efe i Wittemberg, a'r araith yma a draddodwyd ganddo yn mhen ychydig wythnosau wedi ei ddyfodiad i'r ddinas; eto nyni a welwn ei fod yn cyhoeddi prif athrawiaeth y Diwygiad ynddi, sef fod yn rhaid 'cadw gair Duw yn bur, heb ei lychwino â chyfrwys ddadleuon dynion;' a hyny mewn iaith mor benderfynol, fel y gwelir yn eglur, ei fod wedi gwneyd ei farn i fynu ar y peth er's talm. Dechreuodd y diwygiad drwy dywalltiad grymus o'r Ysbryd Glan; ac efe a weithredai yn y fath fodd ag ydoedd yn egluräad nodedig ar bregeth ein Iachawdwr i Nicodemus, Nis gwyddom o ba le y mae y gwynt yn dyfod, eto yr ydym yn clywed ei swn ef. Ni allwn ddywedyd o ba le y daeth gras argyhoeddiadol i Luther, neu Melancthon, neu Zuinglius, eto ni a ganfyddwn ei awdurdod yn y tri.

Yr oedd Luther yn Athraw Athroniaeth yn Athrofa Wittemberg, pan bennodwyd Melancthon i'r gadair Roegaidd yn yr un Athrofa; ac er fod y gwahaniaeth mwyaf rhyngddynt o ran tymher a thueddfryd naturiol, eto yr oeddynt wedi eu cenhedlu gan yr un Duw, a'r Ysbryd a drigai yn y ddau a'u gwasgai at eu gilydd yn fuan, i rwymyn y gyfeillach agosaf; ac y mae yn debyg i'r amgylchiad canlynol weini i ryw fesur i ddwyn hyny yn mlaen. Yr oedd Luther y pryd hyn newydd ddechreu astudio yr iaith Roeg, er ei alluogi yn well i ddeall yr Ysgrythyrau; ac i'r perwyl hyny, efe a'i rhoddes ei hun dan hyfforddiad Melancthon. Ac ef allai nad yw yn anmhrïodol i ni feddwl fod rhyw amgylchiadau o'r fath a nodwyd yn ofynol mewn trefn i ddwyn un oedd o duedd naturiol mor wylaidd a Melancthon, i ymgyfeillach âg un mor ëofn a gerwin ei dymher ag oedd Luther. Ond cyffelybrwydd eu syniadau ysgrythyrol, a'r egwyddorion cristionogol a goleddent, a gynnyrchai undeb mor nerthol rhyngddynt, fel na allai unrhyw annghyffelybrwydd tueddfryd naturiol ei ddystrywio na'i ddirymu, a thros wyth mlynedd ar hugain, agos, sef hyd farwolaeth Luther, buant yn cydweithio beunydd o'r braidd, yn ngwaith mawr y Diwygiad: eto rhaid addef fod anwadalrwydd, yn un o brif ffaeleddau Melancthon; ac er ei fod ef ar y cyfan, yn cyduno mewn barn â Luther, cyn cyfarfod âg ef, ni safodd i fynu yn gyhoeddus, fel diwygiwr cyfeiliornadau Eglwys Rhufain dros agos i flwyddyn wedi hyny; a hyn a achlysurid drwy yr ymddadl a gymerodd le yn Leipsic, ar y cyntaf rhwng Carlostadt, Athraw Dwyfyddiaeth yn Wittemberg, ag Eckius, Athraw Dwyfyddiaeth yn Ingolstadt; ac wedi hyny rhwng Luther a'r unrhyw Eckius. Dywedir fod Melancthon yn cynnorthwyo llawer ar Carlostadt yn yr

ymddadl yma, drwy amryw grybwyllion gwerthfawr: ond pa fodd bynnag, ni chymerodd ran amlwg yn y ddadl.

Ond wedi darfod yr ymdrechfa, efe a adroddai ei farn mewn llythyr at gyfaill, fod Eckius wedi cael y gwaethaf yn y ddadlyddiaeth; ac yn rhyw fodd daeth y llythyr yma i ddwylaw Eckius, yr hwn a gyhoeddodd attebiad iddo mor chwerw a sarhaus, fel y gorfu i Melancthon ddyfod allan mewn hunan-ddiffyniad; yr hyn a wnaeth efe mewn traethawd bychan, mor nodedig am ei addfwynder boneddigaidd, ag oedd y llall am ei erwinder anfoesawl. Dywedir am Melancthon, ei fod wedi dychymygu pan gyfnewidiodd ei olygiadau crefyddol, nad oedd yn bossibl i eraill wrthsefyll profiad y gwirionedd, yn y cyhoeddiad o'r efengyl: ond wedi adnabod y natur ddynol yn well, a byw i weled gwagedd ei hoff ddysgwyliadau di sail, y rhai y'i cymmhellid i'w coledd gan ei dduwiolfrydedd gwresog ei hunan, efe a ddywedai, ei fod yn canfod hen Adda yn rhy galed i Felancthon ieuanc.

Wedi Cymmanfa Worms, yn 1520, pan ddarfu i'r Etholydd Frederic, o'i ofal am Luther, yr hwn ni ofalai ddigon am dano ei hun, ei gau ef yn nghastell Wartenberg, yr oedd llywyddiad yr eglwys ddiwygiedig yn disgyn ar Melancthon yn gwbl; ac efe a gyflawnai yr ymddiried yma yn rhagorol, drwy gyhoeddi amddiffyniadau rhagorol yn erbyn ymosodiadau y doctoriaid pabaidd, ac yn enwedig un llyfr rhagorol, fel math o egwyddor-lyfr Duwinyddiaeth, er cadarnhau yr eglwysi yn eu barn am y wir athrawiaeth, yn erbyn ffugresymau eu gwrthwynebwyr.

Yn y flwyddyn 1522, ymddangosai y penboethiaid a elwid *Anabaptists*; y rhai a broffesent ryw bethau mawrion; a'u honiadau eu bod dan ysbrydoliaeth Duw, a siglai feddwl Melancthon, ond ei anymddiriad ynddo ei hunan, a'i harweiniodd i ymgynghori â Luther, synwyr cryf yr hwn a barai iddo ymwrthod â phob cyfryw honiadau, lle na ellid dwyn profion dwyfol o'u gwirionedd. Ond Carlostadt a syrthiodd yn ysglyfaeth i ysbryd penboethder. Ond gan fod Luther yn eiddigeddu am gyfle i wrthwynebu yr hunanolion hyn yn bersonol, ac yn hiraethu am well arfod i gyfieithu yr Ysgrythyrau, nac a allai ei fwynäau yn Wartenberg, efe a fföodd oddiyno; ac yr oedd Melancthon yn gymmhorth mawr iddo yn y gorchwyl olaf yma, oblegid ei hyddysgrwydd yn yr ieithoedd gwreiddiol. Gwneid ymdrechion mawrion gan Campeggio, cenhadwr y Pab, tua'r blyneddoedd 1524 a 1525, i ennill Melancthon yn ol i Eglwys Rhufain; neu, os methai a llwyddo er pob peth yn hyny, penderfynid attal y Diwygwyr i gael ei wasanaeth gwerthfawr. Gwnaeth Campeggio y prawf cyntaf arno ei hun yn bersonol; ond efe a yrid ymaith gyda y dywediad hygof a ganlyn. 'Ei bod yn ddyledswydd ar bawb a werthfawrogent dangnefedd yr eglwys, i gyd-ymdrechu i iachau ei briwiau.' Wedi hyny defnyddid Phillip, tywosog Hesse, i arferu ei ddylanwad er ceisio ei droi, ond yn lle hyny, cafodd Melancthon yr hyfrydwch o'i ennill ef i fod yn gefnogwr penderfynol i'r Diwygiad. Wedi hyny, ceisid gan y cyfrwys Erasmus, arferu ei ddichellion a'i ddoniau, i geisio maglu Melancthon, ond yr atteb a gafodd Campeggio, oedd yn wir anrhydeddus i'r sawl a'i rhoddes, 'O'm rhan I, ni allaf gyda chydwybod dawel, gondemnio golygiadau Luther, pa faint bynnag a gyhuddir arnaf am ynfydrwydd a choel-grefydd. Nid yw hyny o bwys yn y byd gyda mi. Ond myfi a'i gwrthwynebwn yn egnïol, pe byddai yr Ysgrythyrau ar yr ochr arall: ond yn ddiau, ni chyfnewidiaf fy ngolygiadau byth oddiar barch i *awdurdod ddynol*, neu oddiar *ofn gwaradwydd*.' Yn mhen blwyddyn neu ddwy wedi hyny, ar yr heddwch a ddilynodd eisteddfod gyntaf Spires, ysgrifenasai Melancthon Gyfarwyddyd, at wasanaeth yr eglwysi, heb arfer iaith mor galed am y Pabyddion ag a ddysgwylient hwy oddiwrth y Diwygwyr, tybiasant ei fod ef yn lled glaiar yn achos y Diwygiad; a'r brenin Ferdinand a gynnygiodd drachefn ei ddenu yn ol i eglwys Rhufain, trwy addaw iddo unrhyw wobrwy a ofynai; ond yn hyn, fel mewn amgylchiadau eraill, efe a amlygodd drwy ei ymddygiad, nad oes dim annghyssondeb angenrheidiol rhwng cymmedroldeb Cristionogol â dianwadalwch Cristionogol. Yn wir, buasai Melancthon yn anrhydedd i unrhyw achos; ei gymmedroldeb a barai i'r Pabyddion obeithio am dano, y byddai yn haws ei ennill ef yn ol

i'r hen gorlan, na neb eraill o'i blaid. Ac felly yn y ddadl a gymerodd le rhwng diwygwyr Saxoni a'r rhai o Switzerland, o gylch presennoldeb corphorol Crist yn y Sacrament, ymwnäent â Melancthon, o'r ddau du, yn enwedig y Swissiaid; ond er eu bod hwy yn dal y golygiad gwirioneddol ar hyn, mae yn amlwg oddiwrth atteb Melancthon, eu bod wedi gwisgo y gwirionedd â'g ymadroddion caledion, a thra annymunol; canys y mae efe yn llefaru fel un a ofidiai oblegid eu bod wrth wadu presennoldeb corphorol Crist, yn gwadu ei bresennoldeb ysbrydol ef hefyd. 'Ond,' medd ein Diwygiwr, 'er nad ydym yn hollol gyduno mewn barn eto, pa un a yw corph a gwaed Crist yn wirioneddol bresennol, yn y bara a'r gwin; eto, can belled ag y goddefa cydwybod, cyd-ddyged y naill a'r llall mewn cariad; a bydded i'r naill a'r llall weddio yn daer ar fod i'r Hollalluog Dduw, eu harwain a'u sefydlu drwy ei Ysbryd yn mha beth bynnag sydd wirionedd.'

Yn ail eisteddfod Spires, gwaherddid dwyn unrhyw arferion newyddion gyda phethau crefyddol i'r eglwys yn mhellach, ac erchid i bawb ymarferyd a'r offeren yn ddïesgeulus; yn wyneb yr hyn nid oedd gan y Diwygwyr ddim i'w wneyd ond gwrth dystio yn erbyn penderfyniadau yr eisteddfod; o herwydd yr hyn y cawsant eu galw yn *Wrthdystiaid.* Hyn a fu ar y 19 o Ebrill, 1529. Yr oedd Melancthon yn wyddfodol yn yr eisteddfod yma, a gofidiai yn ddwys dros ben o herwydd y canlyniadau o honi. Ond yr oedd dioddefiadau y gwr duwiol yma, yn elw mawr iddo. Pan ymdrechai ei gyfeillion i'w ddyddanu, efe a attebai iddynt, 'Pe collwn yr achosion hyn o bryder, a thrallodion, myfi a gollwn lawer o annogaethau i weddio; ond, pan y mae gofalon a gofidiau yn gyru un i ymarfer a gweddi, yr hyn yw y moddion gorau i gyrhaedd gwir gysur, ni all meddwl crefyddol eu hebgor yn dda. Fel hyn y mae trallod yn fy ngyru i weddio, a gweddi yn gyru y trallod ymaith.'

(I'w barhau.)

---

## Y DIRGELEDIGAETHAU SYDD YN NGWEITHREDOEDD A GAIR DUW.

Y MAE cyfattebiad nodedig rhwng cysondrefn natur, a'r Ysgrythyr Lân; amgylchiad a gadarnha'r dystiolaeth hon, ac a sicrha'r grediniaeth o honi, ydyw, fod y ddau yn deilliaw oddiwrth yr un awdwr Dwyfol.

Canfyddir yn y greadigaeth, harddwch, amrywiaeth, symledd, a mawredd, yn gysylltiedig â dirgelwch anolrheiniadwy. Ffeithiau ydynt amlwg, ac nis gellir gwadu eu gwiredd; ond cenfydd yr hwn a ymgeisia at roddi cyfrif am danynt, nad all fyned ond ychydig ffordd ymlaen.

Er fod yn hawdd cyrhaedd y wybodaeth hono ag sydd fwyaf angenrheidiol a defnyddiol, etto mor gul yw terfynau ein galluoedd, fel na ddeallir un gwrthddrych a ganfyddir, nac unrhyw weithrediad o eiddo natur yn drwyadl a pherffaith. Pe gofynid am y modd y tyf yr ŷd o'r hadau, y modd y ffurfir yr annelwig ddefnydd yn y groth, y modd y llywodraethir anifail gan reddf, neu am y modd yr unir y corff a'r enaid mewn dyn, gorfyddid yr athronydd doethaf i addef ei anallu i ddeongli yr ymchwiliad. Gellir gwneuthur sylwadau cyffelyb drwy gyfeirio i'r Ysgrythyrau.

Canfyddir yn y Beibl, yn gystal ag yn nghyson-drefn natur, harddwch, amrywiaeth, symledd a mawredd. Y mae yn llawn mor eglur, fod y gwirioneddau hyny ag ydynt fwyaf angenrheidiol i'w gwybod, a'r mwyaf defnyddiol i gredinwyr, wedi eu datguddio mor amlwg a gwahanredol, fel nad all un dyn fod yn anwybodus o honynt o ran eu hystyr lythyrenol, ond drwy ei fai ei hun. Etto, onid oes llawer o bethau uwchlaw amgyffredion meddyliau terfynawl—llawer o athrawiaethau yn perthyn i byngciau uwchlaw cyrhaeddiadau galluoedd dynawl, er eu bod wedi eu mynegu yn yr ymadroddion symlaf, ac yn llwythedig a phwysfawredd anfeidrol i ddyn.

Er enghraifft, dengys yr Ysgrythyrau fod Duw yn hunan ymddibynawl a thragywyddol—ei fod wedi creu y bydysawd â gair ei nerth—ei fod yn bresennol ymhob man—yn cynnal, arolygu, a llywodraethu pob peth—fod yn undeb y natur ddwyfol, dri o wahanol bersonau, *Tad, Mab,* ac *Ysbryd Glan*—fod yr ail o'r personau hyn wedi ymostwng i gymmeryd gwisg o gnawd, er effeithio ein prynedigaeth, ac wedi ymddangos ar y ddaear mewn ffurf dyn—hefyd fod modd glanhau pechaduriaid oddiwrth eu llygredigaeth moesol, a'u hadferu i'w

huniondeb cyntefig trwy weithrediad yr Ysbryd Glan ar eu calonau.

Er bod y gwirioneddau hyn wedi eu perffaith egluro, ac er fod gwybodaeth a chrediniaeth o honynt yn wir angenrheidiol, etto perthynant i bethau nad all un bod dynawl eu cyflawn amgyffred.

Y mae y ffeithiau yn wirioneddol yn bwysfawr, ac yn ddwysawl; eithr ymholi pa fodd y gallant fod, a ddengys gywreinrwydd ofer ac annoeth.

Os ymddygwn yn ddoeth, nid ymgeisiwn at ymddyrchafu uwchlaw ein cymmwysderau, i fyned heibio i'r terfynau bwriedig i alluoedd dyn, trwy gynnyg holiadau diangenrhaid, ac analluadwy i'w hatteb.

Gellir cyfeirio y sylwadau hyn at bob un o'r neillduolion blaenorawl, a'u cymmeryd yn wahanedig.

I ysgoi ail adroddiad diangenrhaid, modd bynag, cyfeirir etto at ymgnawdoliad Crist; yr hwn, fel ag yr hysbyswyd, a ffurfia un o byngciau hanfodawl y grefydd gristionogawl, ac sydd o'r canlyniad mwyaf i'r rhyw syrthiedig. Ond, os nad ymfoddlonir ar y *gwirionedd*, dylid myned yn mlaen i olrheinio *trefn* y ffaith hon, neu i ymholi *pa fodd* yr unwyd y Duwdod a'r ddynoliaeth, trwy hyny byddid yn ofer ymchwilio i ddirgelwch anamgyffredadwy; peth nad ellid ei egluro mwy nag uniad yr enaid a'r corff mewn dyn.

Gellir casglu oddiwrth a osodwyd, fod gwrthwynebu unrhyw athrawiaeth, oherwydd ei bod yn cynnwys dirgeledigaethau nad ellir eu hamgyffred, yn anghydfynedawl â rheswm dirodres, ynghyd a gostyngeiddrwydd cristionogol.

Y mae yn ddisgwyliedig gan bob un galluog i ymsyniaw y pwngc, fod i'r datguddiad dwyfol, egluro y gwirioneddau mwyaf goruchel, a mynegu i ni amryw bethau rhyfeddawl ac anamgyffredadwy. Y mae gwrthwynebu yr Ysgrythyrau am eu bod yn cynnwys dirgeledigaethau, gan hyny, yn ymddygiad gwrthyn; a'r hwn a benderfyna beidio credu dim na allo ei gyflawn ddeall, a orfyddir nid yn unig i wrthwynebu cristionogrwydd, eithr troi yn amheuwr cyffredin, ac i ammeu hyd yn od ei fodolaeth ei hunan. Annogwn y darllenydd, gan hyny, i chwilio yr Ysgrythyrau gyd â gostyngeiddrwydd a pharch. Ymgadwer hefyd rhag cywreinrwydd ofer, dealltwriaeth coeg-falch serchiadau llygredig, a'r holl niweidiau dinystriawl a feithrinir yn rhy gyffredin yn meddwl dyn.

Gweddier hefyd am ddylanwad yr Ysbryd Glan, gan yr hwn y gwreiddiol gyfansoddwyd yr Ysgrythyrau, fel y galler amgyffred gwirioneddau yr efengyl yn uniawn heb ryfygu anturio at fesur eu dirgelion. Gallai flurfiad tybiaeth eglur am wrthddrychau a therfynau ymchwiliad crefyddol, fod o gryn ddefnydd, mewn ystyr wybodawl, a chrediniawl. Geill y sylwadau uchod weini ychydig o gynnorthwy, gan e... bod yn nodi y gwahaniaeth sydd rhwng y hyn sydd amlwg, a'r hyn sydd egluradwy. Y mae sicrwydd a phwysfawredd y petha... y siaradwyd yn eu cylch yn amlwg y nghyfun-draeth y gwirionedd dwyfol, ... ddynion o bob graddau mewn galluoedd meddyliol. Er engraifft, y mae dwyfolde... Crist, ei ymddangosiad yn ein nhatur, can... lyniadau ei ddyoddefaint dros ein pechod... au, ac yn neillduol cyfraniad gras i adne... wyddu a phuro y galon, yn mhlith y pri... byngciau a berthynant i'r dystiolaeth ys... prydoledig. Ac angenrheidiol yw, ein bo... yn eu cydnabod a'u credu; oherwydd, ni... yn unig, byddai eu gwa u yn gwrthdaro y... adroddiadau dwyfol, eithr byddai yn ga... at ddymchwelyd yr unig sylfaen, ar ba u... y gallem gyfleu ein gobaith am waredig... aeth oddiwrth bechod, trueni, a cholledig... aeth. Eithr, fel y dangoswyd, tra yr ydym yn caniattau gwiredd a phwysfawredd ... ffeithiau a fu dan ein sylw, nid ydym ... feddwl am gyflawn eglurhad neu amgyf... red, PA FODD Y GALL Y PETHAU HYN FO...

---

## GWIR FAWREDD.

*(Gan Meikle.)*

Cyfrifir llawer yn fawrion gan y byd, a yn aml ceir eu hisafiaid yn cenfigenu wrth... ynt, gan mwyaf a herwydd eu hanwybod... aeth o'r hyn a wna ddyn yn *wirioneddo... fawr*. Llysydd, megys Ahitophel; tywys... og, megis Haman, a brenin, megy... Belsassar, a allant fod yn ddynion gwael ... bryntion, oherwydd mynych y gosodir ... dynion gwaelaf yn y sefyllfaoedd uchaf.

Certwynau a cherbydau, meirch a hüad... llawer o weision, a gosgordd lüosog; bwrd... danteithlawn, a gwisg ddrudfawr; enwa...

uchel, a swyddau urddawl; cyfeillion mawrion, a gwaed uchel; perthynasau goludawg, a chyfoeth dirfawr; ni chyfansodda y pethau hyn *wir fawredd.*

Nid cael bod yn ben cadben mewn llu, neu yn llyngeswr yn y llynges, na chael ei wneuthur yn negesydd i lŷsoedd tramor, a wna un yn fawr. Nid yw y cymmwysder hwn yn gynnwysedig mewn cryfder corff, dewrder naturiol, dygiad i fynu boneddigaidd, rhanau dysglaer, nac athrylith dreiddgar.

A oes gan hyny ddynion mawr i'w canfod yn rhyw le? Oes, er na ddenant lawer o sylw na pharch oddiwrth y werin. Y mae y duwiol, y gostyngedig, a'r enaid hunan-ymwadol yn un o'r cyfryw; yr hwn sydd yn byw uchlaw y gwrthddrychau gweledig, ac sydd a'i fyfyrdod ar Dduw, ac ar wir hanfodion y byd anweledig; yr hwn sydd yn foddlawn ar ychydig o bethau amser—a fedr faddeu i'w elynion—myned heibio ac anghofio niweidiau—talu cariad am gasineb—llawenhau mewn adfyd—ymorfoleddu mewn ffydd—llywodraethu ei yspryd ei hun—galaru am bechodau yr amseroedd—wylo uwch ben diffyg ei gydffurfiad â'r gyfraith ddwyfol—crynu wrth fygythion Duw—hyderu ar ei addewidion—gofidio am ei esgeulusderau—edifarhau beunydd am ei bechodau—ymdrechu mewn gweddi, nes y gorchfyga—ac megys Enoch, a'i ymarweddiad yn y nefoedd, a'i rodiad gyd â Duw: hwn ydyw ef sydd yn *wirioneddol fawr* yn ngolwg Angylion, ac yn ngolwg y Jehovah ei hunan.

*Abergele.* Cyf. IORWERTH GLAN ALED,

ARWYDDION YR AMSERAU.

Ni ddylai i'n golygiadau a'n hystyriaethau gael eu cyfyngu yn *hollawl* at ein budd a'n lles ein hunain. Er mai iechydwriaeth ein heneidiau, ynghyd a chyraeddiad sancteiddrwydd personol sydd i'w hystyried megys y *prif* wrthddrychau i'w ceisio, etto dylai pob un deimlo gofal am ddedwyddwch eraill.

Fe edrych y Cristion gwirioneddol o'i amgylch; gan ystyried cyflwr y byd, ynghyd a sefyllfa ei gyd-ddynion; bydd a fyno ei feddwl caredig a g achos crefydd, llwyddiant yr efengyl, a chynnydd yr eglwys. Ac mae yn ddiddadl fod ymddangosiadau presennol y gorchwylion a berthynant i ddedwyddwch tymhorol ac ysprydol dynolryw, yn ddigon i gynhyrfu sylw a gofál pob dyn difrifol.

Arwyddion yr amserau ydynt hynod. Dyrchefir dysgeidiaeth a gwasgerir gwybodoeth yn mhlith pob graddau o ddynion; anfonir yr ysgrythyrau i pob parth, cynnelir cenhadon Cristionogol gyd a sêl, a'r gwirionedd efengylaidd a ledaena yn amrywiol fanau y byd; yn fyr, y mae gwir grefydd yn ennill goruchafiaeth helaeth er yr holl wrthwynebiad sydd iddi, trwy y fendith ddwyfol a roddwyd ar y moddion arferedig. Ond nid yw yr hyn a effeithiwyd, mewn ystyr, ond megis dim, gan nad ymddengys yn amgen na thoriad gwawr ar ddiwrnod dysglaeriach; dechreuad cylch gwelliant moesol, yr hwn, o'r diwedd, a derfyna yn y gogoniant a rag-fynegwyd yn yr hen broffwydoliaethau.

Mae y boreu yn gymmylawg, a gallai fod tymestloedd i ddyfod, cyn y dysglaeria y goleuni yn ei lawn arwychedd; nid yw lled-daeniad gwirionedd a chrefydd ond araf eto, gan amled yr attaliadau cyffredinol a gyfarfyddant, pa rai cyn hir a symmudir o'u ffordd. Y mae cyflwr y byd o'n cylch fel pe bai yn arwyddo dynesiad cyfnewidiadau mawrion a phwysfawr, y cyfryw, pa mor adfydus bynag y gallont fod yn eu cynnyddiant, a oruwch-rëolir yn ddiamheuol gan ragluniaeth, fel ag i ddiweddu mewn canlyniad dedwydd a dymunol. Mae cyfyngderau yn aml—mae llawer mewn gofal ac awydd am weled dyddiau gwell—mae anfoddlonrwydd i agwedd bresennol pethau i'w ganfod yn amlwg—mae yspryd anesmwyth ar waith mewn amrywiol barthau Ewrop, yn tueddu at ac yn weithredol gynnyrchu terfysg, chwyldröad a rhyfel—hyd yn nod yn ein hanwyl wlad ein hunain, er fod rhagluniaeth wedi ein hamddiffyn yn dirion hyd yn hyn, y mae blinderau, dyryswch, marweiddiad masnach, mynediad achosion gwladawl ymlaen, a llawer o bethau nad ellir eu mhanwl-nodi, a arweiniant y meddwl ystyriol i ymofyn gyd â phryder, pa beth fydd y canlyniad—at yr hyn oll y gellir ychwanegu, fod y rhai hyny a astudiant yn ddyfal lyfr Duw, gan gym-

maru y rhagddywediadau dwyfawl, a chylchredion damweiniau, yn cytuno yn eu barn, fod cyfwng ardderchawg a phwysfawr yn agos; yr hwn a rydd derfyn a'r lywodraeth cyfeiliornad, eilun-addoliaeth, ofer-goelion, gormes, a drygioni.

Ar y pwngc o broffwydoliaeth anghyflawnedig y mae yn gweddu i mi siarad gyd a gofal a phwyll. Modd bynnag, y mae yn debygol nad yw yr amser yn mhell, pan y dymchwelir holl rym anghristnogaeth. Efallai na lithra darn hirfaith o amser heibio cyn y daw dydd mawr y Duw Hollalluog, yr hwn a rag-hyspyswyd yn y Datguddiad; dydd o farn, lladdfa, a distryw, yr hwn a derfyna yn nhrwyadl ddymchweliad angristnogaeth, yn nystrywiad ei ormesawl lywodraeth ar gyrff ac eneidiau dynion, ac a ganlynir gan ffyniad cyffredinol, *gwirionedd a sancteiddrwydd cristionogol.**

"Gwynfydedig yw yr hwn sydd yn gwylio, ac yn cadw ei ddillad,"—yr hwn a rodia yn ochelgar, gan ddysgwyl dyfodiad yr Arglwydd.

*Abergele.* Cyf. Iorwerth Glan Aled.

## HUNAN-YMHOLIAD.

Mae yn anhepgorol angenrheidiol ar bawb sydd yn byw mewn gwlad gristionogol, yn enwedig y rhai sy'n proffesu yr adwaenant Dduw, i ymaflyd yn ddifrifol yn y ddyledswydd o *holi eu hunain* am eu sefyllfa rhyngddynt a Duw, yr hyn sydd yn fatter o dragywyddol ganlyniadau. Gallwn weled yn neillduol yr angen o hyny os ystyriwn mor fynych y mae Duw yn ei air yn gorchymyn hyny. Ac heb gadw hyn mewn gweithrediad nis gallwn wybod pa un ai gelynion ai cyfeillion i Dduw ydym; pa un ai tua'r nef, ai tuag uffern yr ydym yn trafaelu.

Dylem ein holi ein hunain am fod ein calonau mor dwyllodrus; 'y galon sy fwy ei thwyll na dim.' Ier. 17. 9.

Dylem holi ein hunain yn ddwys yn bresennol, am fod dydd yr holi mawr yn nesâu. Holiad sobr fydd hwnw, 'Y cyfaill, pa fodd y daethost ti i mewn yma heb fod genyt wisg priodas?' Matt. 22. 12. Ac mae lle i ofni y bydd llawer yn myned yn fud y boreu hwnw, pan ddel y priodfab, a hwythau yn anmharod, wedi cysgu o ran sefyllfa eu cyflwr trwy eu hoes.

Mae Paul, wrth ysgrifenu at y Corinthiaid, yn eu hannog at y ddyledswydd hon yn gyffredinol fel Eglwys;—'Profwch chwychwi eich hunafn a ydych yn y ffydd; holwch eich hunain, ai nid ydych yn adnabod eich hunain; sef fod Iesu Grist ynoch, oddi eithr i chwi fod yn anghymeradwy.' 2 Cor. 15. 5. Fel pe dywedasai, yn lle barnu yn rhyfygus ac ar gam, a gofyn yn watwarus i mi am brawf o'm hawdurdod apostolaidd, adn. 3. yr wyf yn ymchwelyd y gofyniad i chwi, 'Profwch chwy chwi eich hunain.' Peth trwm oedd, os nad oeddynt yn gwybod pa un a oedd Crist yn trigo trwy ffydd a thrwy breswyliad ei Ysbryd, ac yn ei deyrnas a'i lywodraeth yn eu calonau, ai nad oedd.

Y peth oedd yr Apostol yn ei wasgu attynt oedd, eu profi a'u holi eu hunain. Tebygol iddo arfer iaith gyffelybiaethol oddiwrth y gof aur yn profi y fettel, yn profi ei bwysau yn y glorian, a'i buredd yn y tân. Wrth hyn rhoddai ar ddeall iddynt am gymmeryd yr un manylrwydd i brofi eu crefydd. Mae hyn yn dangos yr anewyllysgarwch mawr sy mewn dyn wrth natur i ymaflyd yn y ddyledswydd o hunan ymholiad.

Fel y mae y ddyledswydd hon yn weithred ysprydol nis gallwn ei chyflawni heb gymmorth Yspryd Duw. Fe wel y llygad naturiol pob peth ond ei hunan. Ac felly mae yn rhaid i ni wrth help yr Yspryd yn ei lewyrchiadau i weled a phrofi tufewnol ddyn y galon. 2 Cor. 4. 4.6. Megis nas gallwn weled yr haul ond yn ei oleu ei hun; ac nis gellir gweled gwrthrychau daearol yn gywir ond yn y goleuni sy yn deilliaw o'r haul, felly nis gallwn adnabod na phrofi ei hunain ond yn y datguddiadau a roddo yr Yspryd i ni: 'yn dy oleuni di y gwelwn oleuni.' Psal. 36. 9.

Mae effaith y bregeth o eiddo y sarph wrth ein rhieni cyntaf, wedi cael y fath effaith, ac wedi gwreiddio mor ddwfn yn eu hiliogaeth, sef, 'chwi fyddwch megis duwiau, yn gwybod da a drwg,' fel y mae tuedd byth wedi hyny mewn dyn i fod yn uchelfrydig, yn lle ofni; a llettya tybiau mawr ac

* Dat. 16. 14—16. 19. 17—21,

uchel am dano ei hun, yn gymaint ag y mae yn fynych yn anghofio mai dyn ydyw. Psal. 9. 20.

Mae yr Apostol wrth ysgrifenu at y Galatiaid yn desgrifio hyn, Pen. 6. 3, 4, 5, 'Olegid os tybia neb ei fod yn rhyw beth ac yntau heb fod yn ddim, y mae efe yn ei dwyllo ei hun.' Ac o bob twyll, y gwaethaf yw i un dwyllo ei hunan. Yn ganlynol i hyn y mae yn gorchymyn i bob un brofi ei waith ei hun, ac yna y caiff orfoledd ynddo ei hun yn unig—'canys pob un a ddwg ei faich ei hun.' Gallwn weled yn eglur oddiwrth y geiriau hyn, a geiriau creill cyffelyb, Yn

I. Fod greddf yn natur dyn i gynnwys tybiau anghywir am dano ei hun.

II. Fod hyn yn galw yn uchel ar ddynion i ddifrifol brofi eu hunain a ydynt yn y ffydd, a holi eu hunain ai nid ydynt yn adnabod eu hunain.

III. Fod pergyl mawr fod neb yn cynnwys tybiau mawr am danynt eu hunain. Mae y cyfryw yn twyllo eu hunain; a phob un a ddwg ei faich ei hun.

IV. Dylem ystyried pa fath beth yw bywyd o hunan-ymholiad.

V. Buddiol fyddai rhoddi ychydig o resymau annogaethol at y ddyledswydd bywysig hon.

1. *Fod greddf yn natur dyn i gynnwys tybiau anghywir am dano ei hun.* Hunan mewn rhyw ddull neu gilydd yw yr amcan penaf y mae pob dyn yn ei sefyllfa naturiol yn ymorchestu tuag atto. Fe ddaeth hyn i afael y natur ddynol, ynghyd a lliaws o ddrygau ereill pan syrthiodd ein rhieni cyntaf yn Eden, wrth ufuddhau i dwyll gwenieithus y sarph, ac ymgyrhaedd yn rhyfygus, yn groes i orchymyn Duw. Ei ymgais oedd ymddyrchafu, ond cwympo a wnaeth, i'r dyfnder erchyll y mae ynddo yn awr.

1. Mae dynion yn dueddol i dybied yn anghywir am danynt eu hunain, sef eu bod yn gyfeillion i Dduw, pan nad ydynt ond gelynion iddo. Mae y dyb hon yn tarddu mewn rhan oddiar eu bod yn llwyddo yn y byd, a bod rhagluniaeth Duw yn gwenu arnynt mewn pethau tymhorol. Ond cofied y cyfryw nas gellir gwybod cariad neu gas yr Arglwydd wrth ei gyfraniadau iddynt yn nhrefn ei ragluniaeth; canys nid ydynt yn un prawf eu bod mewn heddwch â Duw. Iob 21. 7. 13. Psal. 73. 3. 12.

2. Mae rhai o'r tu arall yn tybied eu bod yn wrthrychau ffafr Duw am eu bod yn cyfarfod a llawer o ofidiau a gorthrymderau yn y byd. Mae yn wir mai ffordd y groes yw ffordd y goron. Ac fe ddywed yr Ysgrythyr, mai trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid myned i mewn i deyrnas Dduw. Er hyny nid yw gofidiau a gorthrymderau yn brawf digonol i ni ein bod mewn heddwch a Duw; gall yr annuwiol gael llawer o ofidiau yn y byd hwn, ac mae Duw yn fynych yn rhanu gofidiau yn ei ddig, Iob 21. 17.

3. Mae dynion yn dueddol i feddwl yn anghywir am danynt eu hunain, eu bod yn heddwch Duw, oherwydd eu bod yn meddu ar lawer o wybodaeth a doniau, a'u bod yn cyflawni amryw ddyledswyddau. Da fyddai i ni holi ein hunain yn hyn. Yr oedd llawer o wybodaeth gan Balaam, ac yr oedd yn traethu gydag eglurdeb yn brophwydoliaethol am ddyfodiad y Messiah, a helynt ei bobl hyd ddiwedd amser. Num. 24. 16. 17. Ac yr oedd yn gweled y fath ddedwyddwch mewn gwir grefydd yn y byd arall, fel y dywedodd, 'Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn; a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau,' Num. 23. 10. Ac wedi ei holl wybodaeth a'i ddoniau, nid oedd ei galon yn uniawn gyda Duw, canys yr oedd 'yn caru gwobr anghyfiawnder.'

A phwy oedd fanylach ynghyflawniad dyledswyddau na'r Phariseaid? Yr oeddynt yn gweddio ac yn ymprydio yn fynych; yn degymu cymmaint oll ag a feddynt. Gallesid meddwl mai hwy oedd y rhai mwyaf duwiol a sanctaidd o bawb. Ond yr oedd eu dyben yn cyflawni y pethau hyn 'fel y gwybed meirw yn enaint yr Apothecari,' yn gwneud y cwbl yn annghymmeradwy, am nad oedd yn tarddu oddiar gariad at Dduw. Mat. 23. 23. 1 Cor. 13. 2. Gan hyny profed pob un ei waith ei hun.

4. Fe ddichon dynion gamgymmeryd am rasusau, trwy dybied fod ganddynt y gwir ddelw, pan nad oes ganddynt ond rhith a ffurfiau. Tybied fod ganddynt ffydd iachusol, pan nad oes ganddynt ond ffydd hanesiol, a'i gwreiddyn yn gwbl yn y deall.

Tybied fod ganddynt wir gariad at Dduw, pan na byddo ond hunan-gariad. Tybied fod ganddynt edifeirwch efengylaidd, er hyny i gyd yn ddeddfol. Fod ganddynt sicrwydd gobaith, pan na byddo ond rhyfyg. Tybied eu bod yn mwynhau dylanwadau yr Yspryd Glan, pan mewn gwirionedd nad ydynt ond gweithrediadau tymherau naturiol. 'A chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi.' 2 Tim. 3. 5.

(I'w barhau.)

---

# Rhagoriaethau y Bibl.

RHAN II.

Y TESTAMENT NEWYDD.

ENNOD I.—ENW Y TESTAMENT NEWYDD.

Yr enw Testament, yr hwn a roddir yn fwy enwedigol i'r rhan ddiweddaf yma o'r ysgrythyrau sanctaidd, sydd wedi ei gymmeryd oddi wrth air Groëg, yr hwn yn briodol sydd yn arwyddo cyfammod. Cyfieithir ef testament yn Matt. xxvi. 28. Heb. ix 16, 17. 20., ond cyfammod, Heb. viii. 7—9. ac yn y rhan fwyaf o fanau eraill. Darfu i'r cristionogion, yn yr oesoedd cyntefig, fabwysiadu yr enwad presenol i'r gyfrol hon o'r Ysgrythyrau, oherwydd ei bod yn coffau addewidion rhad cyfammod trugaredd a gras Duw i bechaduriaid edifeiriol a chrediniol: a'r addewidion hyn wedi eu cadarnâu trwy farwolaeth Crist, fel aberth dros bechod y byd. Nid yw yn anmhrïodol yn cael ei galw y Testament Newydd, o herwydd ei bod yn cynnwys yr ysgrifenadau sanctaidd hyny yn mha rai mae etifeddiaeth nefol cristionogion wedi ei selio iddynt, megis meibion a merched mabwysiadol y Duw Hollalluog, trwy Iesu Grist Heb. ix. 15—17.

Llyfrau y Testament Newydd ydynt saith ar-hugain; ac maent yn gyffredinol yn cael eu dosparthu yn dair rhan, hanesiol, athrawiaethol, a phrophwydoliaethol. O'r dosparth cyntaf mae yr efengylau yn ol coffadwriaethau yr efengylwyr Matthew, Marc, Luc, a Ioan, ac Actau yr Apostolion. Yr ail sydd yn cynnwys un-ar-hugain o epistolau, neu lythyrau, y rhai a ysgrifenwyd gan yr apostolion at amrywiol o'r eglwysi cyntaf, ac at gristionogion unigol. Llyfr y Datguddiad sydd yn gwneuthur i fynu y trydydd dosparth.

Y gair efengyl sydd yn fwyaf cyffredinol yn cael ei gymhwyso at ysgrifenadau y pedwar efengylwr, yn cynnwys hanesion bywyd a gweinidogaeth, marwolaeth ac adgyfodiad Iesu Grist ein Hiachawdwr: ond mae weithiau yn cael ei gymhwyso at yr holl Destament Newydd. Y gair efengyl sydd gyfieithiad o air Groëg *eu aggelion*; oddiwrth *eu*, yn arwyddo da, ac *aggelia* yn arwyddo cenadwri neu newydd; fe'i harferir i ddynodi y newyddion da o ddwyfol fadd-euant a thragywyddol iachawdwriaeth trwy Iesu Grist, y rhai a orchymynodd Duw eu pregethu a'u hanfon i bob cenedl a phobl ar y ddaear.

PEN. II.—BUCHDRAETH YSGRIFENWYR Y TESTAMENT NEWYDD.

I ddarllenydd y Testament Newydd, ni bydd o bwys bychan i gael yn bresenol o'i flaen fraslun byr o fywyd a nodweddiad y dynion sanctaidd hyny, y rhai oeddynt ysgrifenwyr ysprydoledig y llyfrau sanctaidd, y rhai ydynt unig rëol ein ffydd a'n hymarferiad, megis yr oeddynt yn sylfaenwyr yr eglwys gristionogol.

I. MATTHEW.

Matthew, neu Lefi, yr Apostol a'r efengylwr, ydoedd fab Alphëus. Cyn ei alwad i'r apostoliaeth yr ydoedd yn bublican, neu dreth-gasglydd yn ngwasanaeth y llywodraeth Rufeinaidd. Yr ydoedd hon yn swydd o gyfrif gwael iawn yn mhlith yr Iuddewon, mewn rhan oblegyd cribddeiliad cybyddlyd y rhai oeddynt wedi eu pennodi iddi, ac mewn rhan o herwydd ei bod yn brawf eu bod yn ddarostyngedig i awdurdod estronol. Yr ydoedd Matthew yn swyddwr yn y dollfa, a'i alwad ydoedd gynnwysedig mewn casglu y tollau ar yr holl eiddo masnachol ag ydoedd yn dyfod gyd â môr Galilea i Capernäum, a'r deyrnged taladwy gan dramwywyr y rhai a deithient gyd â'r dwfr. Y swydd ennillfawr hon darfu iddo ymwrthod â hi yn llawen er mwyn Crist, i'r hwn daeth yn ddilynwr ffyddlawn, ac yr ydoedd yn llygad-dyst o'i wyrthiau.

Paräodd Matthew gyd â'r lleill o'r apostolion hyd ar ol esgyniad Crist; ond ychydig sydd wybyddus am dano yn ganlynol i'r dygwyddiad hyny. Dywedir ddarfod iddo dros wyth mlynedd bregethu yr efengyl yn Iudea, ac wedi hyny iddo fyned i gyhoeddi ffydd Crist yn mhlith y Cen

hedloedd. Efe a lafuriodd i efengylu Ethiopia, Persia, a Pharthia, ac yn y diwedd a ddyoddefodd ferthyrdod yn Nadabbar, yn Ethiopia, Asia, trwy gael ei ladd âg arf-fwyall, O. C. 62. Ei unig ysgrifeniad yw yr hanes efengylaidd sydd yn dwyn ei enw.

---

MYFYRDODAU AR LYFFETHAIRIAD ANIFAIL BARUS.

Pe buasai y bustach hwn yn boddloni i aros yn llonydd o fewn ei derfynau ei hun, ni buasai ei berchenog byth yn rhoddi am ei wddf y fath lyffethair drom; ond yr wyf yn gweled fod yn well gan yr Amaethwr call ei gadw yn ei lyffethair, na'i golli o eisiau bod ynddi. Yr hyn yw y llyffethair yma i hwn, hyny yw fy nhrallodau i minnau. Pe buasai fy enaid yn ymgadw yn agos at fy Nuw yn fy rhyddid am llwyddiant, ni fuasai byth fel hyn yn fy llyffetheirio ag adfyd. Da fyddai i mi pe gallwn ymgadw rhag encilio o hyn allan oddiwrth yr hwn a'm llyffetheiriodd fel hyn â gofidiau er rhagflaenu fy ynfydrwydd; a gallu dywedyd gyda Dafydd, 'Cyn fy nghystuddio yr oeddwn yn cyfeiliorni; ond yn awr cedwais dy air di.' Psal. 119. 6, 7. O fy enaid! gwell i dy falchder gael ei lyffetheirio â thlodi, dy drachwant â gwarth, a'th gnawdol ddymuniadau â mynych siommedigaethau, nag i ti fod yn benrydd i redeg oddiwrth dy Dduw a'th ddyledswyddau.

Mae'n wir, fy mod weithiau mor flin o'r trallodion hyn, ag ydyw yr anifail truan hwn o'r llyffethair y mae yn ei lysgo ar ei ol; a'm bod yn dymuno yn fynych fod yn ddiangol oddiwrthynt; ond er hyny, pe tynnai Duw hwynt ymaith, am ddim ar a wn i, na byddai gennyf achos i ddymuno eu cael yn ol drachefn, i ragflaenu pethau gwaeth.

Dywedir am Basil dduwiol, ei fod ef dros flynyddau hirion yn cael ei flino yn dost gan gur mawr yn ei ben (dyna oedd ei lyffeithair ef), ac iddo weddio llawer ar Dduw ar fod iddo ymadael âg ef; o'r diwedd cwblhäwyd ei ddymuniad; eithr wedi symmud ei gur cafodd chwerwon brofion o gynhyrfiadau llygredigaethau, a themtasiynau i chwantau cnawdol; yr hyn a barodd iddo daer ddeisyfu cael ei gur yn ol drachefn i raflaenu pethau gwaeth.

Arglwydd! os rhagflaenir gweithrediad fy llygredigaethau trwy fy ngystuddiau, nid wyf yn gwrthod cymmeryd fy llyffetheirio â hwynt; ond y mae fy enaid yn dymuno yn hytrach i ti brysuro yr amser dedwydd hwnnw ag y byddwyf wedi fy hollol ryddhau oddiwrth y naill a'r llall dros byth.

IOAN FLAVEL.

---

CYMMWYSDERAU ANGHENRHEIDIAWL ATHRAWON YR YSGOL SABBATHAWL.

Effeithia y Bod Dwyfol ei ddoeth a'i rasol ddybenion trwy offerynau priodol. Er enghraifft, dygir dynion i wybodaeth achubol o'r gwirionedd yn gyffredin, drwy gyfrwng gweinidogion goleuedig a duwiol, rhieni, neu gyfeillion. Os ystyriwn wrthddrych priodol yr Ysgolion Sabbathol, yr hwn ydyw, dwyn ymlaen lesâd ysprydawl yr ysgoleigion, arweinir ni i ganiattau, y dylai yr Athrawon feddiannu amrywiol gymmwysderau lled annghyffredin. Y mae yn ddymunawl eu bod nid yn unig yn hyddysg yn y gelfyddyd o ddarllen, ac yn meddiannu gradd o wybodaeth grefyddol, eithr yn nodweddedig a *duwioldeb, gostyngeiddrwydd, callineb, diwydrwydd, sel sanctaidd, a chariad at dangnefedd.*

I. Y cymmwysder cyntaf ydyw *Duwioldeb.* Dylent feddiannu gwybodaeth diffuant o natur a phwysfawredd crefydd fywiog. Rhieni, gweinidogion, ac athrawon annuwiol ydynt oll yn gyfartal amddifad o'r rhaganhebgorion mwyaf hanfodawl i ddefnyddioldeb yn eu gwahanol sefyllfäoedd.

Heb ryw wybodaeth a theimlad o ddrwg pechod, edifeirwch gwirioneddol, ffydd yn Nghrist, maddeuant drwy'r gwaed, haeledd a gallu dwyfol ras, ynghyd a'i ddylanwad sanctaidd ar y galon a'r fuchedd, pa fodd y gall dyn lafurio yn ddifrifol ac yn effeithiol er gwneuthur y pethau hyn yn hyspys i eraill?

2. Dylai Athraw fod wedi ei wisgo â *Gostyngeiddrwydd.* Mae y cymmwysder hwn yn wir hanfodol i wir dduwioldeb; eithr haedda ystyriaeth wahanol. Er y dylai y swydd dan sylw gael ei hystyried yn uchel ac yn anrhydeddus, etto gallu y rhai a ydynt dueddol i farnu wrth yr ymddangosiad allanol, ei hystyried islaw iddynt. Y plant yn gyffredin ydynt diofal, anfoesgar, a salw eu gwisg; a gall yr [illegible]

hyny a'u haddysgant gael achosion weithiau i ofidio eu teimladau, ac i ymarfer â'r rhëol sydd yn gofyn gostyngeiddrwydd tuag at y rhai isel radd.

Cofiwn fod yr iselaf o'r rhyw yn meddiannu eneidiau anfarwol, o gymmaint gwerth a'r eiddom ninnau, ac y dylem lafurio am fod o les iddynt gyd â phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder.

3. Y cymmwysder arall sydd yn angenrheidiol at y swydd dan sylw, ydyw *Callineb.* Dylai yr Athrawon yn yr Ysgol Sabbathawl, fod yn gynlluniau priodol o addasrwydd a gweddusrwydd.

Dylent sylwi ar rëolau y sefydliad; dylent ymdrechu i addysgu drwy esiampl yn gystal ag wrth rëol; yn fyr, dylent astudiaw i beidio arddangos dim ond a fyddo yn hollawl gymmwys yn eu gwisg, a'u holl ymddygiad.

Gall gorwychder anystyriol, a byrdra sobrwydd yn eu hymarweddiad, neu unrhyw fath o ymddygiad anweddaidd ac anmhriodol, effeithio yn niweidiol ar feddyliau yr ysgoleigion, gwelliant moesol a chrefyddol pa rai y dylent ymgais am ddwyn ymlaen yn wastadol.

4. Dylai Athrawon yr Ysgolion Sabbathawl hefyd fod yn nodweddedig â *Diwydrwydd.* Y mae rhai yn agored i laesu yn eu hymdrechion, pan y digwydd iddynt gyfarfod ag ychydig o anhawsderau, a digalondid. Mewn trefn i lwyddo, modd bynnag, nid yn unig y mae yn rhaid iddynt gadw y dyben yn wastad mewn golwg, eithr ei dilyn gyd a gwroldeb a diwydrwyd parhaus.

Dylid ystyried dau beth yn neillduol; yn gyntaf, bydded iddynt fod yn ffyddlawn, rhëolaidd, a manwl yn eu dyfodiad i'r Ysgol; ac yn ail, bydded yn wasgedig ar eu meddyliau am gyflawni dyledswyddau athrawon. Os cyflawnir y llafur hwn yn siriol, heblaw bod yn debygawl o ddybenu mewn llwyddiant, fe brofir ynddo bleser a boddineb yr hyn a dry allan yn wobrwy helaeth.

5. Y cymmwysder nesaf a ddylid ei ganfod mewn Athrawon, ydyw *Sel sanctaidd.* Ni wneir nemawr o ddaioni oddieithr i'w calonau fod yn ymrwymawl yn y gwaith. Dylent gael eu cyffroi gan ddymuniad gwresog am ddwyn ymlaen lwyddiant ysprydawl a thragwyddawl y plant.

Dylai eu mhynwesau, dànio gan awyddfryd sanctaidd, gyd a fflam anorchfygawl o sêl buraidd. A dylai y sêl hon ymddangos, nid mewn geiriau neu broffes yn unig, nac ychwaith mewn ymddygiad afrëolaidd, eithr mewn ymröad manwl, bywiogrwydd dyfal, a gweddi daer. Yn fyr, dylent lafurio gyd a chymmaint o ddiwydrwydd, a phe byddai iechydwriaeth eneidiau yn ymddibynu yn drwyadl ar eu hymdrechiadau; etto, ar yr un pryd, dylent erfyn yn daer a diball am y dylanwad dwyfawl, gan fod yn teimlo yr anghenrheidrwydd anhebgorawl am dano, er cwblâu y gwrthddrych dymunedig.

6. Y mae un cymmwysder etto i sylwi arno; hwnw yw, *Cariad at dangnefedd* ac undeb, Dichon i ddyn aflonydd, ammëus ac ymyrgar, tueddol i goeg-ddadlu, a datguddio gwallau, fod yn foddion i gynnyrchu llawer o drafferth a therfysg mewn rhai ysgolion. Y mae yn bur ddymunawl, gan hyny, i'r holl Athrawon fod yn unfryd fel y gallont fod o un galon a meddwl, oll yn gyttûn yn y dull o weithredu, yn cydymffurfio yn siriol â rhëolau y sefydliad, 'gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr yspryd yn nghwlwm tangnefedd.'

Gan hyny, dylent sylwi ar gyngor fel hyn; bydded i gariad at eich ysgolheigion gael ei faethu a'i gynnal; gochwelwch bob enllib, anghydfod, anniddigrwydd, neu ymryson; na fyddwch brysur i draws-gymmell eich tybiau eich hunain, nag i dramgwyddo os na bydd pethau yn cael eu trin yn hollol yn ol eich barn chwi: eithr cysylltwch galon a llaw yn nerchafiad y prif wrthddrych y cyffeswch eich bod yn cyfeirio atto, sef llwyddiant yr ysgol, a chynnydd ysprydawl yr ysgolheigion.

Ond y mae llawer o Athrawon yr Ysgol Sabbathawl yn hollawl amddifaid o'r cymmwysderau a nodwyd. Na fydded iddynt dybied yn galed eu hadgoffau yn ffyddlawn o'u diffygion; ni fynwn anghefnogi eu hymdrechion, na'u cael wedi eu diswyddo, mor bell ag y byddont sobr, gweddaidd, a rheolaidd eu hymarweddiad.

Ond ar yr un pryd nis gallaf lai na'u cymmell i ymofyn am ras Duw, fel yr

ıchuber eu heneidiau eu hunain, ac fel y ›yddont gymmwysach i fod o lesâd ysprydıwl i eraill.

Crefydd fywiog ydyw yr un peth anghenʼheidiol. Heb hon, byddis yn amddifad o ›gwyddorion santaidd, heb ba rai nis gellir bod yn gymmeradwy gyda Duw.

Dylai profiad o fywyd a grym duwioldeb ʼod eich prif orchwyl; ac ni ddylech byth ›rphwys yn foddlon, heb eich hardderchogi newn graddau goruchel, gan dduwioldeb, ›ostyngeiddrwydd, callineb, diwydrwydd, sêl ›antaidd, a chariad at dangnefedd. Ond os yn hannerawg y bydd genych y cymmwysleran hyn, er y gall eich llafur fod o ryw s-raddol werth, nid yw yn debygol y byddwch yn offerynol i wneuthur llawer o ldaioni i eneidiau.

Eithr os ydyw y gras hwnw gennych, ›ydd yn goleuo ac yn sancteiddio, chwi ymgeisiwch yn ddifrifol am achub y plant, ı ymddiriedir i'ch gofal; ni fyddwch ʼoddlawn er eu dysgu i ddarllen, a'u gwrando yn traddodi y gwersi a drysorasant yn eu ›ôf, eithr chwi a ddywedwch air yn ei bryd wrthynt, chwi a'u haddysgwch yn serchog a lifrifol, gan weddio yn barhaus am fendith ar eich ymdrechiadau.

Diweddaf yn awr gyd ag un cynghor i Arolygwyr yr Ysgolion Sabbathawl; hyny yw, gan fod y dosparthiadau uchaf yn yr Ysgol yn gyfansoddedig o ieuenctyd ag sydd uchaf mewn gwybodaeth, y rhai ydynt yn nesu at yr amser hwnw o'r bywyd pan y byddont mewn maintioli ac oedran gwyr a gwragedd, dylent, os bydd modd yn y byd, osod athrawon arnynt y rhai a fyddont yn lduwiol, synwyrol, a medrus, y rhai a lafuriant i argraffu gwirioneddau crefydd ar eu calonau.

*Cyf.* IORWERTH GLAN ALED.

*Abergele.*

---

BRAWDDEGAU DEWISOL.

Nid ysgrifenwyd yr Ysgrythyrau i foddio ein cywreinrwydd, nac i'n gwneud yn astronomyddion, ond i'n tywys at Dduw, ac i'n gwneud yn saint.—*Matthew Henry.*

Ni ddylem byth farnu dynion yn unig wrth eu hymddangosiad allanol; nid dillad cochion yw gwroldeb rhyfelwr, ac, nid dillad duon yw symledd crefyddol.

SYLWADAU AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O GANU MAWL.

(Parhad tu dal. 265.)

IV. Oddiwrth y cwbl a ysgrifenwyd, ceisiaf osod rhai sylwadau at ystyriaethau y rhai y mae iddynt a wnelont a gweithredu mewn modd neillduol yn nygiad y gwaith sanctaidd hwn yn mlaen yn ei wahanol ranau.

Dyben llefaru, ysgrifenu, annog, a chynghori, yw *gwneuthur.* Heb hyn ni bydd llafur ond ofer.

Yn ychwanegol at y sylwadau a osodwyd eisoes at ystyriaethau addolwyr yn gyffredinol, er mwyn gweithredu yn wasanaethgar tu ag at ddwyn y cyfarwyddiadau a'r gosodiadau ysgrythyrol a nodwyd, yn rheolau mewn gweithrediad i'n hymddygiadau gyd â'r ordinhad sanctaidd yn ein cyflawniad o'n dyledswydd, ceisiaf osod rhai sylwadau mewn modd arbenig at ystyriaethau dau ddosparth o addolwyr, y rhai y mae iddynt a gweithredu mewn moddau neillduol yn nygiad y rhan hon o wasanaeth yr Arglwydd yn mlaen.

Y dosparth cyntaf yw Gweinidogion gair Duw a Henuriaid eglwysig. Yr wyf yn cydnabod y gweddai i mi, gan yr anturiwyf lefaru yn y modd hwn wrth weinidogion yr efengyl, ac felly wrth fy uwchafiaid, fod yn isel yn y llwch, ac nid anhyderwyf nad yn yr agwedd hon y traethaf yr hyn sydd ar fy meddyliau, ac felly er yr arferaf raddau o ëonder, eglurder, a hyfder, etto bydd hyny yn gyd-dymheredig a chariad a gostyngeiddrwydd. Fy amddiffyniad dros fy ngwaith yn myned yn mlaen yn y modd hwn, yw bod achos, ac na lefarwyf ond pethau teilwng o ystyriaethau difrifol y rhai uchaf eu gradd o fewn muriau eglwys Crist yn ein plith.

Yr ail dosparth y cyfeiriaf atynt yw arweinyddion cerddoriaeth gynnulleidfaol yn y rhan beroriaethol o honi.

1. Gweinidogion yr efengyl.—Fel y mae pob peth bron perthynol i eglwys Crist yn ei chyflwr milwraidd, wedi ei ymddiried mewn ystyr gan Ben mawr yr eglwys i ofal eich cariad a'ch ffyddlondeb chwi, ac fel mai ar eich ysgwyddau chwi yn benaf y gorphwys y rhanau pwysfawrocaf o waith yr Arglwydd yn aml, felly arnoch chwi yn mlaenaf yr ymddibyna dygiad y gwaith o

ganu mawl i Dduw yn mlaen, o ran trefn a defnyddioldeb.

Mae yn ymorphwys arnoch yn ei holl wahaniaethol ranau.—Arnoch chwi, er efallai, mai ar y Diaconiaid yn benaf yr ymddibyna bod y gwaith yn ei ranau allanol fel cerddoriaeth yn cael ei ddwyn yn mlaen yn y cynnulleidfaoedd, yn rheolaidd a gweddus. Mae yn wir nad oes gan swyddogion eglwysig yn aml ond doniau canu bychain, etto er hyny, dylent ofalu am osod dynion cymhwys i flaenori yn y gerddoriaeth, a fedront arwain eu cynnulleidfaoedd yn ddestlus a threfnus. Mae y gwaith yn ymddibynu i raddau helaeth o ran ei ddull allanol, ar y cymhorth neu yr annghymhorth, y wên neu y gwg y mae yn gael oddiwrth Bregethwyr yr efengyl a Blaenoriaid eglwysig.

I chwi, Gweinidogion yr efengyl, y perthyn gofalu ar fod yr hyn a ganer o ran yr athrawiaeth, a'r sylwedd o hono, yn addas a theilwng idd ei ganu yn fawl i Dduw. Mae yn wir bod hyn yn perthyn i holl swyddogion eglwysig, a phawb ar a roddant ganiadau allan idd eu canu yn nghynnulleidfaoedd y saint. Pwy bynag a arweiniaw gynnulleidfaoedd yr Arglwydd yn gyfeiliornus neu yn annheilwng yn hyn a becha yn ddirfawr yn erbyn yr Arglwydd a'i eglwys. Er y perthyn hyn i ereill, etto i chwi y perthyn yn benaf.—Chwi yw Gwylwyr y caerau. Un rhan arbenig o'ch gwaith fel gwylwyr yw gwylied ar yr athrawiaeth, Esa. 62. 6. 1 Tim. 4. 16. Mae gan athrawiaethau megis bwystfilod rheibus, yn gwylio beunydd am adeg a chyfleusdra i dori i mewn i'r eglwys, ac un modd a ddefnyddiant i gyflawni eu dymuniad, yw ymlusgo i mewn idd ei chaniadau. Modd manteisiol iddynt y cawsant hyn lawer gwaith, oblegid ni wylid mor ddyfal rhagddynt ar y ffordd hon ag ar rai ffyrdd ereill. Mae iddynt fantais yn y ffordd hon hefyd, canys cymer llawer sylw mwy o benill o gân, a chofiant yn well nag y gwnant am ddarn o ddarlith neu bregeth. Gan hyny dylai y gofal fod yn fwy yn eu herbyn.

Yr unig ganiadau y mae genym orchymyn ysgrythyrol ac awdurdodiad dwyfol yn sail idd eu harfer yn addoliad yr Arglwydd, yw, 'Psalmau, Hymnau ac odlau ysprydol.' Ephes. 5. 19. Ps. 95. 2. Wrth y rhai hyn y mae i ni ddeall holl Lyfr y Psalmau, y rhai a lefarwyd gan ddynion sanctaidd Duw, megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysprydd Glân, canys y mae y dynodiad 'ysprydol' yn perthyn idd y tri enw fel eu gilydd. Heblaw hyn y mae y tri enw, 'psalmau, hymnau ac odlau, yn cael eu defnyddio gan y *Septuagint* yn nghyfieithiad titlau y Psalmau o'r Hebraeg i'r Groeg, a chan mai cyfieithiad y LXX. (fel y dywed dysgedigion) a ddefnyddiai yr Apostolion, mae yn ddigon eglur mai y Psalmau a olygid gan yr Apostol Paul, yn ei annogaeth a'i gyfarwyddid i'r Ephesiaid. Felly hwynt hwy fel y dywed y Parch. T. Charles, 'yw y psalmau yr hymnau a'r odlau ysprydol, mewn cyfieithiadau addas o honynt, sydd i fod yn yr eglwys fawr trwy y byd hyd ddiwedd amser.' Un o y rhai hyn yn ddiammheu a ganodd yr Arglwydd Iesu a'i ddysgyblion ar ol y swpper sanctaidd, ac a elwir 'hymn' gan Matthew, a 'mawl' gan Marc. A thra thebygol (mal y golyga llawer) mai yr 116 ydoedd. Hymn dra addas i'r amgylchiad, a lefarasid o'r blaen trwy yspryd prophwydoliaeth, yn gosod allan yn amlwg agwedd meddwl yr Arglwydd Iesu, ac yn darluniaw yn fywiog iawn weithrediadau ei enaid, mewn ffydd, gobaith a hyder, yn wynebu yr amgylchiad cyfyng oedd o'i flaen, a'r gogoniant goruchel a osodwyd iddo yn ganlynol idd ei fynediad trwyddaw.

Gan hyny y mae yn amlwg nad oes genym ond goddefiad ac arferiad yr eglwys yn sail i'n gwaith yn defnyddio yn addoliad yr Arglwydd, ganiadau o gyfansoddiad dynion anysprydoledig, neu heb fod dan arweiniad anffaeledig yr Yspryd Glan. Yn oesoedd cyntaf cristionogaeth, pryd yr oedd yr eglwys yn ei phurdeb cynhenid, ni ddefnyddid yn gyffredinol ganiadau yn y cynnulleidfaoedd ond psalmau. Ond fel y tyfodd llygredigaethau ynddi trwy gyfodiad annghrist, gwrthodwyd y psalmau a dewiswyd caniadau dynol yn eu lle. Yn y diwygiad Protestanaidd adferwyd hwynt yn ol, ac ni ddefnyddid-bron ddim arall am hir amser. Ond yn bresennol mae llawer o gynnulleidfaoedd a euwir yn Brotestanaidd yn eu gwrthod, gan ddewis caniadau ereill yn eu lle, ac y mae ereill yn carlamu yn gyflym yn yr un llwybrau.

Ond ni olygir yn anghyfreithlon nac anfuddiol ddefnyddio yn addoliad yr Arglwydd ganiadau o gyfansoddiad dynion heb fod yn hollol dan gyfarwyddiadau anffael dig yr Yspryd Glan cyd y byddont o ran eu sylwedd yn deilwng yn ol cysondeb y ffydd, ac o ran eu hiaith yn ysgrythyrol. Ond byddai gwrthod y Psalmau a ordeiniwyd ac a sefydlwyd gan yr Arglwydd yn ei addoliad, a dwyn y rhai hyn i mewn yn eu lle yn argoel goleu o wagder meddwl, a dynolrwydd y neb a weithredai felly. Dywedai y diweddar Barch. Thomas Charles wrth sylwi ar ragoroldeb y Psalmau—'Anwybodaeth a phlentynrwydd yr addolwyr sydd yn peri iddynt, yn gyffredinol, ddewis dim arall yn eu lle.' Wrth ymddiddan a chyfaill am hyn, yn fy mhresennoldeb, dywedai'—'Byddaf yn blinaw ar hymnau.—Bydd cyfarfod â phennill o Psalm, yn aml i mi, fel dyfroedd oerion i enaid sychedig, yn fy adfywio a'm lloni yn fawr.' Y diweddar William Pugh, Sir Feirionydd, wrth sylwi ar yr un peth a ddywedai—'Mae y rhai a hoffant hymnau yn lle y Psalmau yn debyg i rai a hoffant swn a hwyl yn fwy na sylwedd, ac yn dangos eu bod yn dewis geiriau dynion o flaen ymadroddion Duw.—Mae defnyddio Hymnau yn lle y Psalmau yn nganiadau yr Arglwydd, megis pe y dygid Llyfr yr Homiliau, neu ryw lyfr da arall o gyfansoddiad dynol, i mewn i'r cynnulleidfaoedd, a darllen rhan o hono yn yr addoliad yn lle cyfran o'r Bibl.' Y diweddar Barch. Thomas Hughes, Liverpool, yn cydymddiddan am ragoroldeb, ardderchawgrwydd a defnyddioldeb y Psalmau, a ddywedai—'Os golygwn bod yr hymnau yn cael eu dwyn i mewn i gymmeryd lle y Psalmau, dylem eu hystyried fel o fwy o niwaid nag o lesâd.'

Mae yn y sylwadau hyn o eiddo y tri gwyr a enwyd uchod bethau teilwng o ystyriaethau. Nid oedd yr un o honynt yn wrthwynebol i Hymnau na'r defnyddiad o honynt yn addoliad yr Arglwydd. Yr oedd eu gwaith yn ymarfer â hwynt yn y cynnulleidfaoedd yn profi hyn. Ond yr oeddynt yn erbyn eu defnyddio idd y graddau yr esgeulusid y Psalmau trwy hyny. Mae y Psalmau mewn llawer golygiad yn rhagori ar Hymnau. Maent felly yn yr ordeiniad a'r sefydliad o honynt gan yr Arglwydd yn ei addoliad. Maent hefyd yn rhagori mewn purdeb. Ped ystyrid gyda manylrwydd yr Hymnau a ddefnyddir yn y cynnulleidfaoedd yn y crynswth o honynt, ac fel y maent yn argraffedig yn y gwahanol gasgliadau o honynt, canfyddid llawer o sothach dynol a gwael, ac anmhuredd ynddynt. Ac er eu pigo a'u puro drosodd a throsodd drachefn gan wyr deallus a chymhwys i hyny, y mae eisiau eu puro a'u chwynnu etto Ond ni cheir o'r gwaeledd na'r anmhuredd hwn yn y Psalmau, 'Purwyd dy ymadrodd yn ddirfawr. Geiriau yr Arglwydd ydynt eiriau purion, fel arian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd, wedi ei buro seithwaith.' Ps. 119. 140. a 12. 6. Yn mhellach y mae ardderchawgrwydd dwyfol yn argraffedig ar y Psalmau ac yn briodol iddynt fel y maent yn eiriau Duw, nad yw berthynol ac na cheir mewn Hymnau oddi eithr ychydig mewn cydmhariaeth a gyfansoddwyd o ranau ereill o'r ysgrythyr lan, gan hyny y mae ynddynt addasrwydd idd eu defnyddio yn fawl i'r Arglwydd, yn mhell y tu hwnt i ddim sydd yn yr Hymnau yn gyffredinol.

(I'w barhau.)

---

TY Y GWR TLAWD WEDI EI DRWSIO.

(Parhad td. 280.)

Wedi cadw y llestri swper, a rhoi y plant yn eu gwelyau, rhoddais fy monet am fy mhen, a dywedais, 'Mi a redaf i dŷ y cymmydog W— i ofyn am fenthyg clog Nansi.' 'A oes genych chwi yr un glog eich hunan?' eb efe. 'Nac oes,' meddwn innau, 'ni feddaf fi yr un er's talm.' Ni ddywedai R— yr un gair yn chwaneg; pan ddaethum yn ol gyd a'r glog, mi a ofynais iddo, a ddeuai yntau gyda mi: yntau a ddywedai mewn dull a ymddangosai fel pe ceisiai lethu teimladau tynerach, 'Dos rhagot dy hunan, Mary, a phaid a ffretio yn fy nghylch I beunydd.' 'Gofidiai fy nghalon am yr attebiad yma, ond aethum rhagof tua'r cyfarfod heb ddweyd dim, ond gweddïo ar i Dduw dueddu calon fy ngwr i ddyfod yno. Yr oedd y cyfarfod yn fwy rhagorol na'r llall, a'r hyn oll a ddywedai y gweinidog oedd argyhoeddiadol ac i'r pwrpas. Teimlwn ryw bryder a gofid annrhaethol, am na buasai fy ngwr yno i glywed y fath bethau. Bernwch gan hyny, mor fawr oedd fy synedigaeth a'm hyfrydwch pan yn fuan

wedi i mi ddychwelyd, y deuai yntau i'r tŷ, gan ddywedyd, 'Dyfeisiwch pa le y bum I Mary,' 'Nid yn y cyfarfod Robert.'—'Ie yn y cyfarfod!' Mi a gymerais fy het yn fuan ar ol i chwi gychwyn, gan feddwl myned i rywle i gael rhyw beth i ddarostwng a thawelu fy meddyliau anesmwyth. Ond wrth fyned heibio i'r addoldy, a'i weled wedi ei oleuo mor brydferth, a'r bobl yn ymdyru i fewn iddo, mi a feddyliais y gallai mai gwell fuasai i minnau fyned i fewn, ac y mae yn dda genyf i mi wneyd. Yr ydwyf yn credu yn wir mai y gweinidog sydd yn ei le. Mi a wn fod fy ngwaith I yn dilyn y ddiod gadarn, wedi bod yn ddystryw i mi a'm teulu, ac yr oeddwn yn meddwl tra yr oedd y gweinidog yn llefaru, y treiwn I ymryddhau o'm hen arferion drwg.' 'O Robert, A WNEWCH CHWI DREIO?' meddwn innau, tra yr oedd fy nghalon yn dychlamu o hyfrydwch wrth ei glywed ef yn siarad fel hyn. 'Mae yn orchwyl caled iawn Mary,' medd Robert, 'llawer caletach nag y meddyliasoch chwi erioed.' 'Mi a wn ei fod yn waith caled, fy anwyl briod, ond yn unig ystyriwch y dedwyddwch a barai i ni oll,—y dystryw y gwaredai ein plant bach o honaw, —y loesau meddwl a arbedai i'ch gwraig druan. O Robert, os oes ond un wreichionen o gariad at un o honom yn aros yn eich mynwes,'—Fy nheimladau a orchfygent fy ymadrodd, ac ni allwn fyned yn mlaen; ond gan ymollwng ar ysgwydd fy ngwr, wylwn dros y tŷ: Robert hefyd a ymddangosai yn lled ddrylliog, ac a ddywedai mewn math o oslef amheus, 'Efallai y gallwn ei adael yn raddol.' 'O nage Robert, nage Robert, ni wna hyny mo'r tro byth,' meddwn I. 'Onid ydych chwi yn cofio mor fanol yr oedd y gweinidog yn dweyd, 'Gadowch y ddiod ar unwaith, neu ni wnewch chwi mo hyny byth o radd i radd?' Robert a edrychai yn syn rhyngddo a'r tân ac ni ddywedai air yn chwaneg. Pan na byddo ef dan ddylanwad diod gadarn, y mae efe yn ddyn synhwyrol; ac mi a feddyliais mai gwell oedd i mi ei adael ef i'w fyfyrdodau ei hunan yn bresenol. Pa bethau a fuont yn ymdreiglo drwy ei feddwl yn y cyfamser, nis gwn. Ymddangosai fel pe buasai teimladau tynerach a rhagorach y dyddiau gynt wedi deffroi o'u hirgwsg; neu yn hytrach fod Duw oddiwrth yr hwn y tardda pob meddwl cyfiawn, a dymuniad sanctaidd, yn ei dueddu i benderfynu diwygio. Am danaf fi, yr oeddwn yn hiraethu am gael myned i'r dirgel, i dywallt fy enaid o flaen Duw. Felly mi a aethum i'r ystafell wely, lle yr oedd fy mhlant dan gloion cwsg, ac wedi edrych am fod dillad arnynt oll, a chusanu pob un o honynt, penliniais gerllaw iddynt, i offrymu fy ngweddi at Dduw. Ac ni weddiais I erioed o'r blaen yn debyg. Yr oeddwn yn credu fy mod yn cael rhyw ddyfodfa nes a mwy hyderus, at orseddfainc y gras, trwy fy Mhrynwr bendigedig. Fy nghalon oedd yn llawn o ddwys ddiolchgarwch, edifeirwch, gostyngeiddrwydd, a llawenydd; ac o'r awr hono allan, cefais radd o le i obeithio fy mod yn blentyn i Dduw. O noswaith wynfydedig! Parwyd llawenydd yngwydd angelion Duw, yn y nef, uwch ben ymheddychiad un enaid a'i Wneuthurwr—uwch ben dymuniad enaid arall i ddychwelyd i lwybr ei ddyledswydd. Parid llawenydd ar y ddaear hefyd, yn ein trigfa dlawd ni,—llawenydd yn mynwes gwraig gystuddiedig—llawenydd bod ei henaid hi ei hun yn ymddiried yn Nghrist—llawenydd bod ei phriod yn amcanu gadael ei ffordd ddrygionus, a dychwelyd i lwybr gwell a dedwyddach.

Trannoeth cyn i Robert fyned allan, mi a wnaethum a allwn i'w annog i lynu yn ei benderfyniad; a gelwais i'w gof gymmaint a allwn o'r ddarlith a glywsem yn y cyfarfod, fel y byddent yn fwy newydd i'w feddwl. Efe a'm gadawodd y boreu, yn uchel ei ysbrydoedd, ac addawai fy ngweled yn yr hwyr yn ddyn sobr. Ond O y fath ddiwrnod pryderus a fu hwn i mi! Yr oeddwn yn ofni, eto yn awyddu gweled yr hwyr yn dyfod; a phan glywais drwst ei draed ar y palmant, fy nghalon a gurai o'm mewn. Ond yr oedd efe wedi cadw ei air—ac heb brofi dafn o ddiod feddwawl drwy y dydd—Efe a welsai y gweinidog, ac amryw aelodau o'r Gymdeithas Gymmedroldeb hefyd.

Mewn canlyniad i'r Cyfarfod y nos o'r blaen, yr oedd amryw enwau wedi eu hychwanegu at y gyfres ddirwestaidd; a hwy a addawsent dderbyn ei enw yntau, os

y llwyr ymwrthodai a'r diodydd meddwawl hyd eu cyfarfod nesaf. Prin y gallwn gredu fy synhwyrau fy hun, wrth glywed fy ngwr yn siariad fel hyn; yr oedd y rhagolygiant ar ei ddyfodiad ef yn ddyn sobr, yn rhy ddymunol o'r bron i mi allu dysgwyl ei fwynhau byth yn wirioneddol. Ar y cyntaf, yr oeddwn yn llawenhau mewn dychryn; ond wrth ei weled ef yn dychwelyd adref o ddydd i ddydd, yn drefnus, a sobr, cryfhawyd fy ngobaith, a chredais y daliai ei ffordd.

O'r diwedd, daeth y prydnhawn yr oedd y cyfarfod i'w gynnal, ac â chalon lawen, yr aeth fy ngwr a minnau yno, i roddi ein henwau wrth yr ardystiad! Ni allwn beidio gwenu o lawenydd, pan oedd ein cymmydogion yn ymwasgu i gyfarch gwell i ni, ar y fath gyfnewidiad dedwyddol. Gallwn yn awr wisgo fy mhlant yn drwsiadus a chysurus, a'u hanfon i'r Ysgol Sabbathawl. Minnau a awn gyd a'm priod yn gyson i'r addoliad; ac wedi gwneyd fy nymuniad yn hysbys i'r gweinidog, gwnaethum broffes gyhoeddus o'm ffydd yn Iachawdwr pechaduriaid. Fel hyn y treuliwyd y gauaf a'r haf yn gysurus. Fel yr oedd y gweinidog yn myned heibio, ryw foreu hyfryd yn Hydref, a'm gwr yn sefyll o flaen y tŷ; efe a ddywedai wrtho. 'Mae yn dda genyf Robert weled eich tŷ wedi ei drwsio, ac yn ymddangos mor hardd.'* 'Diolch i chwi Syr, y mae efe yn edrych beth yn well.' Pan oedd y gweinidog ar fyned rhagddo, Robert a ddywedai, 'Mr. G— ni phrofais I ddim o'r gwirod meddwawl er's blwyddyn i ddydd Llun nesaf; ac yma chwi a welwch yr effaith dda ar fy nhŷ a'm tylwyth; o'r blaen mi a arferwn weithio yn galed, a gwario y cwbl o'r bron am ddiod feddwol i mi fy hun neu i eraill. Llawer gwaith y bum wrth fy ngwaith ar y Sabbath, ac yn enill *dollar*, neu o hyny i naw swllt yn nghorph y dydd, ac wedi hyny yn gwario y cwbl am *rum*. Yn bresenol, mi a allaf ddilladu fy nheulu yn dda, a fforddio peth tuag at geisio rhyw beth yn y tŷ heblaw hyny. Yn yr hâf diweddaf, darfu i mi a'r bachgen gynnilo tua phedair punt ar ddeg, heblaw cynnal y teulu.' Cynnilo pedair punt ar ddeg! Ond pwy all draethu gwerth dyddiau a nosweithiau dedwydd y flwyddyn hon? Neu ragoriaeth gwr a thad tirion, diwyd, a sobr, rhagor un ceerus, creulon, a meddw? Gofynwch i'r wraig, pa beth a ddywaid hi? gofynwchi 'r plant, pa atteb a roddant hwy?

Tueddwyd fi i roddi yr hanes uchod o'i ddiwygiad i'r byd, fel, os byddai bossibl, y perswadid eraill i ddilyn ei esampl—i ddangos iddynt *pa fodd* yr adferwyd llonyddwch a llawnder i drigias druenus—rhinwedd a chymeriad, i dylwyth adwythig, *a pha fodd i drwsio ty y tlawd.*

* Yr oedd y tŷ wedi ei liwio yn hardd erbyn hyn.

## LLYTHYR VII,

*Oddiwrth hen Weinidog at ei fab, &c. &c.*

Anwyl Blentyn,—Petrusais i ychwanegu anfon attat, hyd oni chlywais am dy fwriad i fyn'd trwy Siroedd———; yn wyneb hyny tybiais yn ddyledus fod yn rhyw help a chyfarwyddyd it yn dy daith a'th wasanaeth, os gallaf. Ond cyn dechreu ar brif ddyben fy llythyr, angenrhaid i'm alw i'th gôf y cerydd sydd ddyledus it, am dori dy addewid i bobl —, nid yw fod tori cyhoeddiadau wedi myned yn arferiad (er yn un o'r rhai gwrthunaf) gan bregethwyr y dyddiau yma, yn un annogaeth i ti i ddilyn eu siampl. Nis gwn pa adwyth ydyw hyn o gwyn y dyddiau yma; ond da genyf gofio mai yr un rhai yn gyffredin yw gwrthrychau yr achwyn, ac os bernir am y cyfryw wrth y rheol yma, y casgliad cymhwysaf fydd, na waeth ganddynt beth a addunedant, na faint a addawant ond anaml y cyflawnant; ond gan it ddigwydd mor anffodus y tro yma, gwylia rhag yr arferiad, onide ti gynnefini, ac fel eraill ti ymgaledi mewn byddarwch i gwyn a cherydd pawb. Gwybydd fod y tro wedi achosi profedigaeth nid bechan iddynt hwy, fodd bynag y teimlir hi genyt ti. Gwir fod amgylchiadau diarbed rai prydiau yn ein gorfodi i fethu cywiro, am ba achos nid oes genym a farnom. Un cywir iawn i'w gyhoeddiad ydoedd ein hanwyl Waredwr, a gwyddai yr Iuddewon gel nol hyny, oblegid rhyfeddant os byddai achos amheu na ddeuai i fynu i'r ŵyl; ac meddant, mewn syndod. *Pa le y mae? a, pheth debygwch chwi gan na ddaeth efe i'r ŵyl?* Ioan 7. 11. a 11. 56. Ond mor annhebyg iddo ydyw llawer o'i weision yn hyn o beth —Os ein teimladau isel ac ammharod ein hunain a'n cymhella i esgeulusdod, mae ein noddfa yn dwyllodrus. Mae gweinidog yr efengyl yn rhwym i'w alwedigaeth ar bob tywydd a than bob teimlad. *Y neb a ddalio ar y gwynt, ni haua, a'r neb a edrycho ar y cymmylau ni feda.* Hauwr a Medelwr yw y Gweinidog, am hyny ynfydrwydd yw sylwi llawer ar y tywydd teimladol, er i'w ddyfodiad darddu o wynt a chymmylau, pethau tu hwnt i'n rheolaeth, llawer llai ar bethau yn ein cyrraedd. Os pel der y ffordd yw'r maen attal, a estynwyd hi yn llawer hwy er pan yr addewaist? 'Rhyw gyfnewidiad o'u heiddo hwy oedd y trangwydd.' Oedd hyn yn cyfnewid dy ddyledswydd di? 'Rhai eraill fu'n daerach.' A oedd taerineb eraill yn eu habsennoldeb hwy yn ddigon i'th rwystro? Oh fachgen, na fydd fel ceiliog gwynt yn dy eiriau a'th addunedau. Goddef i'th ddychymyg ehedeg i ymwrando ar achwyniadau y rhai a siomwyd gynt. 'Nid gwiw rhoi coel ar ddim a ddywedo,—mae yn arfer a thori, ac wedi ymgaledu yn hyny,—nis gwn i beth y cyhoeddir ef,—nid oedd ei bregeth yn barod heddyw,—'roedd heb gael y datguddiad,—mae ei nyth yn lled

gynes gartref, yn anhawdd a diangenrhaid iddo ei adael, am hyny mae yn llechu yn ddo;—mae ei denewyn yn myned yn fras, anhawdd ganddo ddod cyn belled;' a llawer craill ollir nodi o gas eiriau lled wir a arferir gan y rhai a siomwyd.

Nid oes angenrhaid imi son na phrofi pechadurusrwydd y weithred, na gofid y rhai anwyl a siomwyd, ond bydded i gabiedd eraill dy gywilyddio, a'th ddiwygio. Byddi arferol a dweud, na thorodd yr Ysbryd Glan gyhoeddiad erioed, bydded i tithau fod dan ei oruchwyliaeth a'i gyfarwyddyd. Eithr gan dy fod yn bwriadu myn'd i'r daith a soniaist, dymunaf it bob bendith a rhwyddineb: 'Llawer a gyniweiriant, a gwybodaeth a amlheir.' Un yn 'myned oddi amgylch gan wneuthur daioni' ydoedd Crist; felly hefyd ei apostolion, gan mwyaf. Ac felly yr anfonodd ein Pen bugail y deg a thriugain disgybl; ac ar sefydliad cyntaf cristionogaeth, teithio i bregethu yr oedd ei holl weinidogion, ac yn aml yr oeddynt fel colomen Noah heb gael gorphwysdra i wadn eu troed. 'Ewch i'r holl fyd' ydoedd yr awdurdodiad cyntaf, ac mae heb golli ei *date* hyd heddyw. Ond fel y llwyddodd yr Efengyl, darfu i'r teithwyr Efangylaidd hyn gasglu cynnulleidfaoedd disgyblion draw ac yma, ac eglur yw i Weinidogion, Esgobion, a Henuriaid gael eu sefydlu i fugeilio y cyfryw Eglwysydd, a hyny gan yr Apostolion yn ol dewisiad ac arddelwad yr Eglwysydd.

Ac oddiar felysder bywyd llonydd sefydlog, mae llawer Demas wedi gadael caledwaith Apostolaidd, gan ddewis esmwythder cartrefol; a thrwy i hyn fel pethau eraill, fagu llygredigaeth, gofidus yw adrodd, fod llawer wedi derbyn enw a bywioliaeth Gweinidogion yr Efengyl, pa rai ydynt faich yn eu cartref, ac yn warth i'w hanfon oddi cartref: ond trwy drugaredd nid felly pawb. Mae rhai etto yn gwneuthur gwaith Efangylwyr, ac yn ymarfer i gael cydwybod ddirwystr pa le bynag y byddont. Gwir fod yr Eglwysydd yn derbyn llawer o fanteision oddiwrth breswyliad sefydlog eu gweinidog gyda hwynt; ond hefyd mae ef a hwythau yn colli llawer trwy fod yn rhy gartrefol. Nid anfanteisiol nac annymunol ydyw cymysgedd doniau (ond nid athrawiaethau), yr hyn a ddeilliai trwy fod ysbryd cynniwair yn yr Efangylwyr. 'Gan fod i ni amryw ddoniau,' ar oll yn eiddo, ac at wasanaeth, yr Eglwys, am hyny tra boddäol i'r Eglwys yn gyffredinol gael mwynhau yr amrywiaeth hyn. Mae hefyd fanteision a ddeilliai i'r *Gweinidog* oddiwrth y teithio gyda'r weinidogaeth ar ba rai caf sylwi cyn y diwedd.

Ond cyn anturio i'th daith, cofia y dylit gael cychwyniad anrhydeddus gedde fol, a thrwy bob rhyngu bodd yr Eglwys gartref; a derbyniad cymhelliadol gwahoddedig gan Eglwysydd dy ymdaith. Na syfl o'th le er boddio dy flys a'th fympwy; yn enwedig yn groes i ewyllys dy gyfeillion. Mae dy le a'th swydd yn rhy oruchel i'w bradychu i flys. Mae ysbryd teithio gyda'r efengyl, a'r cymhelliad i hyny, yn tarddu yn aml oddi ar olygiadau rhy annheilwng. Nid wyf yn ammeu na anfonir rhai, am eu bod yn rhy gartrefol; mae hyny yn dda, os nad oddiar eisiau cael gwared o honynt am ychydig y bydd yr Eglwys yn eu hanfon. Eraill oddi ar olygiad eilunaddolgar; ereill er eu dangos ger gwydd byd; ac eraill er mwyn iddynt gael gweled trefn y byd. Mae pob un o'r achosion cymmelliadol hyn yn rhy annheilwng eu tarddiad i weinidogaeth yr Efengyl.

Gwahoddir hefyd weithiau gan ddieithriaid, am eu bod yn ddieithr, a phe y'u hadnabyddid yn well, fe allai y'u gadewid gartref. Trugaredd i Baganiaid yw fod Eglwysi i anfon cenhadau attynt, a thrugareddau i ninau hefyd fod Eglwysi i'n gwahodd a'n derbyn. Ond dylai yr Eglwysi a'n gwahoddant ar led gwlad fod a'u sylw yn deilwng a manwl a fydd yr Eglwysi cartrefol yn anfon. Er fy mod yn lled annebeuol, etto yr wyf yn trafaelio tir ysgrythyrol, ac fe allai fod eisiau mwy nag sydd o sulw arno, am fod llawer fel yr Ahimaaz hwnw a chymmaint o ysbryd rhedeg ynddynt. 'Ond gwelwyd yn dda gan yr Apostolion a'r Henuriaid gyda'r holl Eglwys anfon gwyr etholedig o honynt eu hunain i Antiochia;' a chyda hyny, gofalasant am roddi iddynt drwydded ysgrifenedig. Act. 15. 22. 'A phan glybu yr Apostolion yn Ierusalem dderbyn o Samaria air Duw, hwy a anfonasant attynt Pedr ac Ioan.' Gan hyny dymunaf dy sylw ar hyn; a phaid a myn'd heb dy anfon, ie, gan dy Eglwys. Mae hi yn meddu llygaid i ganfod cymhwysderau, ac nid prysur fydd i anfon neb a bair i'w hwyneb wrido o herwydd annehendra.

Ond gwedi it gael dy gymhell a'th anfon, y peth nesaf, nad yw hollol annheilwng, yw dy weddeidd-dra trwsiadol i ymddangos gyda'r weinidogaeth ger bron dieithriaid. Pan oeddit fachgen byddai dy fam wrth dy gychwyn oddi cartref yn fawr ei helynt am it gael dillad gweddus a glanwaith, os nid rhai newydd. A bydd pob boneddwr parchus, yn ofalus iawn am ddillad ei was. Gobeithiaf na bydd i Eglwys Dduw fod yn llawer llai ei gofal am y gweinidogion a anfonir ganddi, oblegid anrhydedd nid bychan i Eglwys a'i gweinidog ydyw, fod ganddo drwsiad o ddillad gweddus, gyda gwylder a sobrwydd. Gwelwyd rhai o bellder gwlad a'u dillad heb fod yn annhebyg i eiddo hen feiliaid, neu dinceriaid, gwedi colli eu cottwm, a bron dyllau yn y penelinoedd. Yr oedd fy nychymyg i yn yr olwg yn ymofyn am le i briodoli yr achos; gobeithiaf mai nid rhai digyfrif oeddynt gan eu Heglwys gartrefol, a gobeithiaf hefyd mai nid cybydd-dod a dallineb eu Heglwysydd oedd yr

achos o'u llymder. Ond os tlodi, creulondeb yw eu beio; ond ar yr un pryd, mae calon ofalus, er i'r llogell fod yn dlawd, yn achosi rhoi mwy yn y Drysorfa na llawer cybydd tordynn. Na fydded yr achos ychwaith orphwys yn afluniaidd-dra y gweinidog; mae rhai fel llawer plant, waeth beth a gaffont gan faint eu diofalwch brwnt slufenllyd. Wfft byth i'r fath agwedd ac ystum! Glanhaer pob Gweinidog i lân Efengyl Crist; ac na fydded chwaith i'r un safn fod yn halogedig gan glafoeredd *Tobacco*, a'r cyffelyb, wrth draddodi pur eiriau ewyllys Duw.

Ond wrth i'm son am yr ochr wael yma, nid wyf heb gofio bod modd ei methu yr ochr arall, ac fe allai mai dyna y man mae dy berygl di yn gorphwys; sef, bod a'th ofal am ddestlusrwydd yn gwyro at falchder. Mae'n debyg fod dau ryw o hwn, sef un o feddwl a thybiaeth, a'r llall o weithred ac ymarweddiad: y cyntaf yw y peryglaf, ac mi a'th rybuddiais o'r blaen i'w ochelyd, ond mae'r llall yn tarddu yn aml o hono, a c e'i hadnabyddir oddiwrth orwychder dillad, a'r cyffelyb; nes byddo'r creadur er siarad iaith Cymro, yn meddu ar falchder ymddygiad Eidalwr, ac ar ffasiwn newydd Ysbaenwr. 'Oh,' (medd llawer) 'gwisgo yn addas i'r Efengyl yw'r holl ddillad esmwyth yma.' Os daeth y cyfryw i ben a nodi dillad a gwisg addas i'r Efengyl, un digon rhyfedd ydyw! Nid wyf yn ammeu nad yw gwerth drudfawr llawer o honynt yn wastraff, eu dull yn goegffurfiaeth, eu meinder yn fursendod, ac yn lle harddu yr Efengyl fel yr haerir, maent yn dyrysu yr astudrwydd yn eu cywreinrwydd, yn cenhedlu eiddigedd yn eu coegwychedd, ac yn meithrin anniweirdeb yn eu hymddangosiad; gellir gweled hyn ynddynt mor amlwg ag argraff yr ariandy ar y *Banknote*.

(I'w barhau.)

---

### SEFYDLIAD CYMDEITHAS Y BIBLAU.

(Parhad tu dal. 268.)

Dylaswn sylwi yn y rhan flaenorol o'r hysbysiad hwn, fod y Parch. T. CHARLES,—gwedi iddo ymuno â'r '*Trefnyddion Calfinaidd*,' ac i'r Arglwydd osod iddo faes mor helaeth i lafurio ynddo (gwel tu dal. 267,)—wedi cael drwy hyny gyfleusdra ac achlysuron helaethach nag a allasai gael cyn hyny, i weled a gwybod *fod miloedd lawer o bob oedran, yn mhob Sir yn Nghymru, heb fedru darllen Gair Duw, yn eu hiaith eu hunain* (nac mewn un iaith arall y chwaith!) Dwys-wasgodd hyn ar ei feddwl, fel na orphwysodd ddim nes iddo gael moddion ac offerynau addas i godi a sefydlu cryn nifer o Ysgolion Cymreig rhad. Yr ysgolion hyn oeddynt symmudol. Gwedi i Athraw fod yn llafurus addysgu pob plant a ellid gael i'r Ysgol ddyddiol, a phawb o bob oedran, hyd y gallai, mewn ysgolion nosweithiol, (o 6 i 8 o'r gloch yn misoedd y Gauaf) am ryw yspaid pennodol o amser, yna symudid ef i ardal arall, &c.—Fel hyn bu dan arolygiad y Parch. T. C. ryw nifer o Athrawon ffyddlawn dros amryw flynyddoedd.—Cafodd fodd i dalu cyflogau yr Athrawon hyn, drwy haelioni rhyw-rai, heb ofyn dim gan rieni y plant. Bu yr ysgolion hyn dan fendith Duw i lawer o deuluoedd, a miloedd o eneidiau, yn Nghymru. Yn y cyfamser sefydlwyd ysgolion Sabbathol, (Athrofa'r Nefoedd a ddywedaf fi!) agos yn mhob parth o'r Dywysogaeth,—Duw, yr hwn a neillduodd, a gymhwysodd, ac a ddefnyddiodd Mr. *Charles* yn offeryn mor enwog yn ei law, a alwodd ac a ddefnyddiodd laweroedd ereill o'i bobl i fod yn gyd-lafurwyr a chynnorthwyr gwirfoddol a thra ffyddlawn, iddo a chydag ef, yn y gorchwylion gogoneddus a grybwyllwyd; er mai efe a anrhydeddwyd â'r fraint o flaenori ynddynt.—*Sefydliad a chynnydd mawr yr ysgolion a grybwyllwyd a fu yn achlysur arbenig i Mr.* CHARLES *ac ereill i weled y mawr ddiffyg o Fiblau oedd yn Nghymru.*

[Bellach, at y cyn-destyn.] Yn nghyfarfod *cyntaf* 'Cymdeithas y Biblau,'—gwedi ei Rheol-ffurfio:—penderfynwyd yn un-llais ar gael argraffiad helaeth o'r BIBL yn *Gymraeg*, mor ddi-oed ag y byddai modd. Ac, (fel y gallesid dysgwyl) pennodwyd Mr. *Charles* i rag barotoi y pethau mwyaf eu pwys at gychwyn y gwaith, ac i fod yn arolygwr arno, &c. Yntau oedd wedi bod ers amryw flynyddau, (ar amserau pennodol) yn manwl-sylwi ar, ac yn diwygio, hyd y gallai, pob beiau argraffyddol a ganfyddai yn yr amrywiol argraffiadau Cymreig o'r Bibl,—gydâ golwg ar gael yr Argraffiadau dyfodol mor ddi-wallau ag y byddai *bosibl*. Yr oedd efe hefyd wedi cymmeradwyo silliadaeth Cymreig y Dr. W. O. *Pugh*; (fel y gellir gweled wrth arddygraff yr Argraffiad cyntaf o'i *Eiriadur Ysgrythyrol*;) ac wedi bwriadu diwygio silliadaeth amryw eiriau yn yr argraffiad a grybwyllir uchod. Cymmeradwywyd hyn yn Nghymdeithasfa flynyddol y Bala; a phennodwyd tri o Enwogion Cymru i'w gynnorthwyo yn hyn,—Sef, y diweddar Barch. T. JONES, o Ddinbych,—E. RICHARDS, o Gaerynarfon, a'r hynafgwr hybarch, R. JONES, o Rós-Lan.—Crybwyllodd y diweddar Barch. JOHN HUMPHREYS am y diwygiad hwn a fwriedid yn arddygraff yr Argraffiad crybwylledig o'r BIBL SANCTAIDD, (a hyny gydâ sirioldeb a llawn gymmeradwyad o'r amcan) wrth wr dysgedig a duwiol, ffyddlawn a defnyddiol yn ngwinllan ei Arglwydd,—sef, y diweddar Barch J. ROBERTS, A M., Periglor Tremeirchion,—yr hwn oedd Arolygwr yr Argraffiad o'r Bibl a gyhoeddasai y '*Gymdeithas i ddwyn y'mlaen Wybodaeth Gristionogaidd*,' (yn Gymraeg) yn y flwyddyn 1799.—Yntau a gymmerodd y peth dan ei ystyriaeth,—ac, o fesur ychydig, tybiodd

yn gryf y gallasai y newidiad yn yr arddygraff beri peth dyrysodd, o leiaf, yn meddyliau llawer o ddarllenwŷr ieuaingc, &c.; ac y gallasai fod yn *annerbyniol* gan nifer mawr ereill o'n cyd wladwŷr. Am hyny hysbysodd y bwriad rhag-grybwylledig i ryw un neu rai o Esgobion Cymru ac ereill; a'r canlyniad a fu, galw cyfarfod pennodol ar yr achos, yn ninas Llundain; yn yr hwn gyfarfod yr oedd chwech o Esgobion ac un Arch Esgob: ac anfonasant am Dr. W. O. *Pugh*, i'w holi y'mherthynas i'r priodoldeb o'r newidiad yn silliadaeth yr Iaith Gymraeg. Beth bynag oedd ei attebiad a'i sylwiadau yntau, terfynodd trwy ddywedyd yn debyg i hyn,—'*nad oedd efe ddim am ddirgymmell treth newydd ar wlâd rydd.*'—Ac, yn y cyfarfod hwn, penderfynasant na chaniatâent newid arddygraff yr '*Argraffiad Awdurdodedig.*'—Ond, beth gydâ hyny? Ië, pa beth hefyd? (Sylwa, ddarllenydd anwyl),—Penderfynasant ar i'r hen 'Gymdeithas' (amryw o flaenoriaid yr hon oedd yno yn bresennol) 'ARGRAFFU DENG MIL O FIBLAU, YN GYMRAEG, MOR DDIOED AG Y BYDDAI MODD!' *Ac felly y bu!*—Fel hyn gwelwn *ddaionus law yr Arglwydd* yn y cwbl. Efe a drefnodd—a oruch-lywodraethodd—a roddes yn meddwl ei bobl—a'u cyfarwyddodd—a'u cynnorthwyodd, ac a'u llwyddodd, yn mhell tu hwnt i'w dysgwyliad ehangaf!—Bu ffurfiad 'Cymdeithas y Biblau,' dan fendith Duw, yn foddion i ddeffroi, i adfywio, ac i adnewyddu ymdrechiadau y '*Gymdeithas i ddwyn y'mlaen Wybodaeth Gristionogaidd,*' mewn modd a'nghyffredinol. Bu ei llafur a'i llwyddiant yn fwy (tybygaf) er's y flwyddyn 1804, nag a fuasai mewn yn agos *gan mlynedd* cyn hyny!—'*O, na foliannem yr* ARGLWYDD *am ei ddaioni a'i ryfeddodau i feibion dynion!*—Pwy a draetha *werth* UN BIBL? *Y mae yn fwy ei werth na holl drysorau y byd i gyd!* Ac etto dyma drysor y gall pob *Cymro ei feddiannu*, os myn! A phrysuro y mae yr amser y bydd yn meddiant pob teulu dros wyneb yr holl ddaear! Amser gogoneddus iawn fydd hwn yn wir! 'IESU *yn frenin yn mhob man!*'

Yn fuan fuan, doed i ben,—
Dywedwn ninnau bawb, '*Amen*'! D. J.

*G———m. Medi*, 1837.

---

## COFIANT

### AM ELLIN OWENS, STOREHOUSE.

Medi 22, yn y fl. 1836, bu farw Ellin, gwraig Robert Owens, o'r *Storehouse*, Trefriw, yn 45 oed. Gadawodd i alaru ar ei hol, wr, a deg o blant. Ei chlefyd oedd y Dropsi. Dechreuodd yn nghylch tair blynedd yn ol. Ac fe'i *tapiwyd* 17 o weithiau yn ysdod 11 mis diweddaf o'i hoes. A thynwyd 236 o chwartiau o ddwfr oddi wrthi.

Yr oedd Elin Owens yn ferch i Owen Cadwaladr a Jane Richards, Coutmor, Dolyddelan. Cafodd ei dwyn i fynu yn grefyddol gyda'i mam nes oedd yn ddeg neu ddeuddeg oed. Ond pan gynhyddodd mewn oed a maintioli cymmerodd ei hadenydd ac a ehedodd ymaith o Eglwys Dduw dros enyd amser. Ond tueddwyd ei meddwl (o ddaioni yr Arglwydd) i ddychwelyd yn ol yn y fl. 1818, tua diwedd diwygiad mawr Beddgelart. Ac fe'i planwyd yn nhŷ yr Arglwydd, a blodeuodd yngynteddoedd ei Duw holl ddyddiau ei bywyd, fel gwinwydden ffrwythlawn.

Ni oddefir i roddi hanes ei holl rinweddau fel cymmydoges, a gwraig rinweddol, y rhai sy'n adnabyddus iawn yn mysg ei chymmydogion, a'i holl gydnabod. Ond nodaf rai o'i phrif ragoriaethau fel Cristion yn ysdod ei hoes grefyddol; yn enwedig ysbaid amser ei hafiechyd, pryd yr oedd fel tywysen yn prysur addfedu i'w chasglu i'r ysgubor. Ei dull cyffredin oedd yn siriol a chyfeillgar iawn yn mysg ei chyfeillion: etto yn syml, megis y gweddai i santeiddrwydd. Yr oedd ei diwydrwydd a'i llafur diball ar hyd ei hoes gyda'i phlant yn dra nodedig; a'i ffyddlondeb gwastadol yn dilyn moddion gras trwy lawer o anhawsderau yn siampl ragorol i'w dilyn. Ac yn ysdod y tair blynedd diweddaf o'i hoes penderfynoedd na byddai byw yn hir, yr hyn a barodd iddi gloddio a myned yn ddwfn, nes cael craig a'i daliodd yn stormydd angau.

Yr oedd ei hwyneb ar wlad well, sef un nefol. Byddai yn cael llawer o gysur o'r Beibl a llyfrau da ereill, yn enwedig y Geiriadur Ysgrythyrol dan amryw eiriau; megis y gair Duw, cyfammod, eiriolaeth, gras, gweddi, yn nghyd ag enwau a theitlau ei Gwaredwr. Bu y geiriau a ddywedodd yr Arglwydd wrth Abraham 'fel dyfroedd oerion i enaid sychedig' iddi mewn llawer amgylchiad cyfyng, 'Nac ofna Abraham, myfi yw dy darian, dy wobr mawr iawn.' Byddai ei llyfr ganddi yn ei gwely y bore; a chododd o'i gwely lawer gwaith i weddio mewn congl ddirgelaidd yn yr ardd, ac oddi yno yn ol i'w gwely, a'i dau lygaid fel dwy ffynnon yn gwlychu ei gruddiau.

Dioddefodd ei holl gystudd gyda'r amynedd mwyaf; a chanmolai yr Arglwydd yn fawr am ei ddaioni, gan ystyried beth oedd hi wedi haeddu. Pan gwynid iddi, dywedai 'Pa ham y grwgnach dyn byw, gwr am gospedigaeth ei bechod?' Galar. 3. 39. Dywedodd yn ei chyfyngder mwyaf ei bod hi yn cael dwfr a gwin i'w yfed, pan gynnygiwyd 'finegr yn gymmysgedig â bustl i'w Harglwydd yn ei gyfyngder a'i boenau mwyaf,' Matth. 26. 34. Rhyfeddai lawer fod gan yr Arglwydd drefn i faddeu er ei fwyn ei hun, Esa. 43. 25. Synai lawer, a bendithiai yr Arglwydd mewn gorfoledd yn wyneb y geiriau hyny, 'yr hwn sy yn uwch na'r nefoedd yn weddus i ni.' Heb. 7. 26. Ymdrechodd i ddyfod i'r gymdeithas neillduol bum niwrnod cyn ei marwolaeth yn wyneb afiechyd a gwaeledd mawr.

A dywedodd cyn cychwyn na fwytai ddim chwaneg, ond yr yfai lawer, ac felly y bu. Dywedodd ei phrofiad mor oleu fel nad oedd un amheuaeth gan yr Eglwys am ei chyflwr oddi ar y geiriau hyny, 'y cyfiawn a flodeua fel palmwydden, ac a gynhydda fel cedr-wydden yn Libanus,' &c. Ps. 92. 12, 13, 14, 15.

Y nos Sabbath diweddaf iddi, galwyd ei gwr a'i phlant atti, a hi a'u cynghorodd yn y pethau mwyaf eu pwys, yn sobr a difrifol iawn. Galwodd hwynt oll y noson ganlynol yr un modd. Dywedodd ei holl amgylchiadau yn bwyllog i'w phriod. Rhanodd a threfnodd ei dillad i'w phlant i'r manylrwydd mwyaf, ac wedi gorphen ei gorchwyl, dywedodd fod ganddi hi wisg ni heneiddia drachefn: galwodd bob un atti yn bersonnol, gan ymaflyd yn eu llaw, ac a'u cynghorodd yn y modd mwyaf priodol. A dywedodd ei bod hi wedi rhoddi eu gofal i'r Arglwydd, ac i'r eglwys. Cofiwch barchu eich blaenoriaid, a derbyn eu cyngor a'u cerydd yn garedig; gwn y cewch gynghorion da. Cofiwch beidio chwerwi dan wialen cerydd: ystyriwch mai eich lles fydd ganddynt mewn golwg.

Yr oedd y fath lewyrch, awdurdod, ac effeithiau gyda'i chynghorion nes oedd yn ammhossibl i deimladau estron ddal. Dywedodd yn llym wrthynt yn erbyn y pechodau oedd barod i'w hamgylchu. Ac a'u hannogodd yn ddwys i beidio esgeuluso moddion gras. Addefai fod llawer o ddrygau ynddi hi, ond nid esgeulusodd foddion erioed. Cyn ymadael o'r fuchedd hon, adroddodd y geiriau hyny, 1 Ioan 5. 20. Tystiodd fod yr Arglwydd wedi rhoddi meddwl ynddi i adnabod yr hwn sydd gywir, a'i bod hi yn y cywir hwnw; a dangosodd yr anwyldeb mwyaf atto. Mwynhaodd ei phwyll a'i synwyr hyd yr anadliad olaf: 'Ni frysia yr hwn a gredo.' Oddeutu hanner awr wedi dau yn y bore, Medi 22, ehedodd ei rhan anfarwol i'r trigfanau nefol. Rhedodd ei gyrfa trwy ammynedd, ac a'i gorphenodd mewn llawenydd. Bu yn hau mewn dagrau, ond medodd mewn gorfoledd, gan gludo ei hysgubau, Ps. 126. 5, 6. Hebryngwyd ei rhan farwol i dŷ ei hir gartref Medi 25, 1836, gan dorf dralliosog a galarus o berthynasau, cymmydogion, a chyfeillion crefyddol. O. O.

*Trefriw.*

## Attebion.

*Attebiad i Ofyniad J. Powell, ynghylch Geiriau anghynefin, yn y Drysorfa, mis Awst, Rhif. 80, tu dalen 245.*

| | |
|---|---|
| Sangu | Sathru |
| Ymyrr | Ymhela |
| Difrodi | Anrheithio |
| Pybyr | Grymus |
| Entrych | Ffurfafen |
| Ysol | Difäol |
| Rhactalau | Rhwymynau |
| Emyn | Cyffroi |
| Ymgyfathrachu | Cyfeillachu |
| Diadellau | Gyrroedd |
| Ysgymunbeth | Melldigedig |
| Seirph tanllyd | Gelwir hwy yn danllyd, naill ai oherwydd eu lliw, neu eu cynddaredd |
| Ysgorpion | Math o Sarph a cholyn yn ei chynffon |
| Heol | Ystryd |
| Carnedd | Pentwr o gerrig |
| Iwrch | Gafr Wyllt |
| Llwdn hydd | Ewig lwyd |
| Camel | Cawrfarch, anifail mawr, cadarn, pedwar troediog |
| Erryr | Un o'r mwyaf o'r holl adar ysglyfaethus |
| Wyddwalch | Môr Erryr |
| Y fôr wennol | Rhyw nesaf i'r wennoliaid |
| Hebog | Math o walch, Aderyn craff ei lygaid cyflym ei ehediad, dewr, ac ysglyfgar |
| Echwyn | Benthyg |
| Arhoed | Arhosed |
| Planedydd | Daliwr sulw ar yr amserau |
| Daroganwr | Un yn chwilio allan, neu ymofyn am bethau i ddyfod |
| Hudol | Twyllwr |
| Consuriwr | Tynghedwr—Un yn arfer enw Duw gyda bwriad i fwrw allan gythreuliaid |
| Cymmynu | Torri Coed |
| Meuybr | Cum. |

*Ll-n-st.* IAGO.

*Atteb i Ofyniad Ioan ab Isaac, Rhif. 81. tu dalen 274. am eglurhad ar 'chwantau ieuenctyd' a nodir gan yr Apostol fel pethau i ffoi oddiwrthynt, yn* 2 Tim. 2. 22.

Y Gofyniad yw, 'Pa rai iddynt?

Mae angenrheidrwydd am sulw lled fanwl ar y geiriau hyn, oherwydd fe fernir yn gyffredinol, ac fe ddywedir hefyd, mai *chwantau cnawdol ag sydd yn tueddu at anlladrwydd a godineb ydynt*; ac fe'u nodir felly fel pe baent yn gynnwysedig yn y rhai hyny yn unig, ac nad oedd yr Apostol yn meddwl am un math arall o chwant, ond 'chwant y cnawd.' Mae yn ddiau fod yma amryw o honynt, '*Chwantau* ieuenctyd ffo oddiwrthynt. Nid chwantau y *cnawd*, ond chwantau *ieuenctyd*.

Yn awr, Pa rai ydynt? Mi a attebaf mewn ymadrodd byr, *Mai yr holl 'chwantau,' neu y tueddiadau pechadurus y rhai ydynt yn fwyaf tueddol i blant ieuainc, pa un bynag ai ysprydol ai cnawdol fyddont.* Ond i'r dyben o fod yn fwy pennodol, ac eglurhaol; mi nodaf rai o honynt. Ond wedi eu henwi, a'u dosparthu hyd y gallwyf, bydd raid i mi gyfaddef nas gallaf eu cofnodi oll, gan eu cynnifer a'u hamryw-

iaeth; ond bydd yn addas i mi chwanegu, fel yr Apostol Paul o'm blaen, 'a chyffelyb i'r rhai hyn.' Gwelir yma dri Dosparth o honynt.

1. Gwammalrwydd, cellwair, ymadrodd ffo', coeg ddigrifwch.

2. Anlladrwydd, cydorwedd, chwant aflendid.

3. Balchder, hunan-dyb, ymffrost, uchelfrydedd, tra-arglwyddiaeth, byrbwylldra, cyndynrwydd, a dirmyg ar ereill.

Engraifftiau o'r perygl sydd yn y chwantau hyn, yr hyn a ddengys yr addasrwydd sydd yn nghynghor yr Apostol, 'ffo oddiwrthynt.'

Dina, merch Jacob, pan oedd oddeutu un arbymtheg oed, a aeth allan i ryw wledd oedd gan y Sichemiaid, 'i weled merched y wlad.' Gwelwn yma *wammalrwydd*, a gradd o *anlladrwydd*, mae yn debygol, yr hyn a drodd allan yn achlysur iddi golli eu morwyndod, yr hyn ni adferwyd iddi byth mwy. Gen. 34.

Reuben, drwy *chwant aflendid*, a anturiodd 'ddringo gwely ei dad,' a thrwy hyny a dynodd arno wg Duw, ac anfoddlonrwydd ei dad. Gen. 49 4.

Adoniah. mab Dafydd, drwy roi lle i'r trachwantau o *hunan-dyb, uchelfrydedd, a dirmyg ar ereill*, a anturiodd ddirmygu ei dad ei hun, ac a ryfygodd geisio dwyn yr orsedd a'r goron oddi arno. Bren. 1. 5.

Yn nesaf, y Cynghor 'Ffo oddiwrthynt.' Yr oedd Timotheus yn bregethwr, yn efengylwr, ac oddeutu 38 mlwydd oed y pryd hyn, ac er hyny mewn pergyl oddiwrth y chwantau hyn. 'Ffo oddiwrthynt,'—ffo oddiwrth yr achlysuron o honynt—ffo oddiwrth gyfeillach y cyfryw ag y fyddont yn debyg o ennyn y chwantau hyn. Mae *ffoi* yn arwyddo fod perygl yn bod, a bod y perygl yn agos. Os mynit na phechech, ffo oddiwrth y demtasiwn, ymgadw oddiwrth bob rhith o honynt. Os myni ochelyd boddi, na ddos yn agos i'r dwfr; os myni ochel llosgi, na ddos yn agos i'r tân. Ffo oddiwrth chwantau ieuenctyd fel y ffoai y llofrudd rhag dialydd y gwaed.

Os gofynir, I ba le y ffoaf? Attebir gan yr Apostol, 'Dilyn gyfiawnder, ffydd, a chariad, gyda y rhai sydd yn galw ar yr Arglwydd o galon bur.' Dilyn ddyfal lafur a gweddi am gynnyddu yn y grasau ag sy yn fwyaf gwrthwyneb i'r trachwantau hyn, ac yn debycaf i'w marweiddio hwynt. 'Gyda y rhai sydd yn galw ar yr Arglwydd o galon bur.' Dilyn gymdeithas y rhai duwiolaf, y rhai sydd yn ymgymdeithasu fwyaf â Duw mewn gweddi, ac yn fwyaf pur eu calon, i'r rhai y perthyn yr addewid 'hwy a welant Dduw.' CYHOEDDWR.

---

## DIRWEST.

### AT OLYGYDD Y DRYSORFA.

Barch. Syr,—Rhyw Ofyniad cyffredin iawn yn y dyddiau hyn yw, 'Beth yw barn y meddygon am y diodydd meddwawl?' Am hyny efallai nad cwbl anfuddiol y bernwch y llinellau canlynol fel atebiad i'r gofyniad parhaus hwn.—Ydwyf, &c. IEUANGWR.

### TYSTIOLAETH MEDDYGON BRIGHTON.

"Yr ydym ni, y rhai y mae ein henwau isod, yn cyhoeddi i'r byd ein crediniaeth nad ydyw gwirodau, a diodydd cryfion gweithiedig ereill, i'w hystyried mewn un modd yn faethuslawn; ond yn y gwrthwyneb, arferiad cyffredin o honynt yw prif a mynychaf achos dd afiechyd, tlodi, a thrueni; ac y byddai ymwrthodiad â hwy (oddieithr pan y cyfarwyddir fel meddyginiaeth) yn tueddu yn fawr at gyfranu iechyd, moesau da, a dedwyddwch y cymmundeb.

Thomas Blair, M. D.
George Hall, M. D.
Gideon Mantell, M. D.
James L. Hannah, M. D.
William King, M. D.
Samuel Hood, M. D.
William H. Hooper, M. D.
Robert Anderson, M. D.
T. G. Hake, M. D.
George Battcock, Meddyg.
Edward Dix, Meddyg.
A. L. Wigan, Meddyg.
John Lawrence, Meddyg.
Harry Blaker, Meddyg.
Bon Vallance, Meddyg.
W. S. G. Davies, Meddyg.
B. T. Seabrook, Meddyg.
William Brewster Meddyg.
D. Richardson, Meddyg."

---

## Y CYMDEITHASAU CYFEILLGAR.

*(Friendly Societies).*

Anwyl Syr.—Y mae yn ddywenydd genyf eich canfod mor eiddgar am ddedwyddwch eich cydgenedl, fel ag i ymgysegru yn hollol i ryfela âg unig ddinystrydd eu llwyddiant a'u heddwch, sef y Diodydd Meddwawl. Etto, yr wyf fi yn gweled cymmaint o achos ymosod ar yr *achlysuron* i Feddwdod ac Anghymmedroldeb, ag sydd o achos ymosod ar yr *achosydd* o hono. Yn awr, erfyniaf arnoch gynnyg i sylw fy nghydwladwyr y drefn ganlynol o gynnal y Sefydliadau daionus hyny, y Cymdeithasau Cyfeillgar. Yn ol y drefn bresennol hwy a gynnelir mewn tafarnau, ac y mae yr *allowance* o hanner peint wrth dalu, a'r *clearance night*, a'r ciniaw blynyddol, yn achlysuron manteisiol iawn i lithio ieuengctyd ein hardaloedd i feddwdod ac annhrefn. Wrth gynnal y Cymdeithasau hyn yn y drefn yma y mae eu cyllidau yn wanach lle y gallasent fod yn gryfach, a dynion yn myned yn feddwon a fuasent yn sobr am eu hoes.

Yn awr, oni ellir diwygio y pethau hyn? Oes y Diwygiad yw yr oes hon, ac oni ellir diwygio hyn hefyd? Mewn rhai trefydd bychain yn Ngogledd Cymru y mae dwy

neu dair o'r Cymdeithasau hyn, a'r rheswm goreu a ellir ei roddi am eu sefydliad mewn gwahanol fanau yw, bod ewyllysydd da y naill darfarnwr mor awyddus am gael y *benefit* i'w gyfaill ef ag ydyw y llall am gael yr un peth i'w gyfaill yntau; ac nid cymmaint 'er cynnorthwyo eu gilydd mewn amser o afiechyd, henaint, a damwain.' Dyma lle y gwneir Dyngarwch yn achosydd meddwdod. Gan hyny, oni ellir cynnal y cyfryw Sefydliadau a'r rhai hyn yn rhagorach o lawer? Pe byddai iddynt adeiladu tŷ eang o bedair ystafell ym mhob tref—dwy ystafell ar lawr i un o'r aelodau fyw ynddynt, a dwy lofft, un yn ddarllenfa gyffredinol (*Reading Room*), a'r llall yn ystafell y Gymdeithas, oni fyddai hyny yn well o lawer iawn? Haerir, efallai, bod traul fawr i ddwyn y *plan* hwn i weithrediad; i hyn yr atebir yn eofn, mai ychydig o ymwadu a'r hanner peint cwrw, a'i cyflawnai yn hollol, heb yspeilio dim ar 10c. y gist. Bwrier fod gwerth y tir a'r adeiladaeth yn dyfod i 400 o bunnau, a bod 500 o aelodau yn perthyn i un o'r Cymdeithasau a gymmerent y gorchwyl mewn llaw o adeiladau y cyfryw dŷ. Pe cedwid 2g. pob un o'r aelodau hyn bob mis byddent yn £4 3s. 4c.; a chyrhaeddent y swm o £50 mewn blwyddyn. Ym mhen wyth mlynedd byddai y tir a'r tŷ yn etifeddiaeth i'r Gymdeithas am byth. Hefyd, wrth rentu y tŷ gallent gael efallai £4. neu £5. am dano, heblaw y cyfraniadau at y ddarllenfa gyffredinol, yr hyn a gynnorthwyai at dalu llog yr arian a godid at ei adeiladu. Trwy hyn, ychwanegid ym mhen ychydig o flynyddau y swm anferth o £50 yn flynyddol at gyllid y Gymdeithas, yr hyn a'i galluogai i gynnal ei haelodau â *phension* cysurus, neu ychwanegu eu taliadau wythnosol i'r cleifion o 7s. i 10s. a 12s.

Anwyl Frodyr y Cymry, wedi codi o honoch yn enwocach nag un genedl i goflidio Dirwest, mynwch yr achlysuron i feddwdod o'ch mysg yn gystal a'r achosion o hono. Adeiledwch y tai hyn, a cherfiwch arnynt trwy gywrain weithrediadau y saer maen Cymroaidd yn y cerig ar ei wyneb fel y safo oesau olynol, 'Tŷ Cymdeithas Gyfeillgar--Darllenfa gyffredinol, ac felly yn y blaen.

Os cwrdda y cynnygiad bychan hwn a chymmeradwyaeth, dymunol fyddai genyf weled sylwadau helaethach a manylach ar y pwngc, fel ag y byddai o les cyffredinol y wlad y preswyliwn ynddi.—Yr eiddoch &c.

*Pwll Bleddyn.* GWLADWR.

---

Syr,—Meddyli[illegible] waith y gallasai anfon i'r Drysorfa [illegible] bryd i bryd 'Fynegau arwyddocäol o helaethder yr ystyr sydd i rai geiriau yn y Bibl Sanctaidd;' ac y gallai fod yn fuddiol i rai tywyll, fel y gwybyddont nad rhyw un ystyr sydd i bob cyffelyb ymadrodd: ac yn gyfleus hefyd i rai mae yn anhawdd iddynt gael llawer o lyfrau, i daro wrth beth fel hyn yn ymyl eu llaw.

Os gwelwch y cyntaf yn gymmwys, a'i roddi i mewn, cymeraf hyny yn arwydd y derbyniwch ail ddernyn cyffelyb. Byddai dda genyf wasanaethu fy nghenedl yn y dull hwn neu y cyffelyb, pryd yr wyf yn fwy cartrefol o ran llafur crefyddol.

CYSTUDD, a arwydda,

1. Trallod a helbul, Iob 5. 6.
2. Gorthrymder allanol, Ex. 3. 7. a 4. 31. Gorthrymder neu gystudd.
3. Erlidiau, Heb. 10. 32.
4. Cerydd oddiwrth yr Arglwydd, Ioan 2. 2.

BOB AMSER, NEU YN WASTADOL.

1af, a arwydda, yn wastadol, Ioan 8. 29.
2. Yn fynych, Act. 10. 2.
3. Hyd ddiwedd y byd, Matth. 28. 20.
4. Trwy'r oes, 2 Sam. 9. 10.

*Bettws.* J. F.

---

## GWELLIANT GWALLAU ETO.

Sir,—Camddywedodd eich Gohebydd y Parch. G. Solomon, yn ei Lythyr yn Rhif. 81. tu dal. 284. sef fy mod wedi addef wrtho nas dangosais fy Llythyr i yr un o'r Henuriaid Eglwysig yn un man. Mae yn wir imi addef nas dangosais ef i yr un o'r Golygwyr, ond nid i yr un o'r Henuriaid—Gellir casglu oddiwrth ei Lythyr mai *Rhyfyg* mawr oedd i mi gynnyg Gwelliant ar ei waith. Dywedodd pe buaswn yn gallu dioddef ychydig, y buasai yn gwella y gwallau ei hun; ond pan wypo darllenwyr y Drysorfa fod gan y Trefnyddion Calfinaidd GAPEL yn Aber, islaw Bangor, yr hwn nad yw yn Rhestr y Capelau, ac a ddylai fod, gellir casglu faint fuasai yn ei wellau. Dywedodd pan welodd fy Llythyr y byddai iddo wneud sylw arno, ac nid oeddwn yn disgwyl amgen ergyd oddiwrtho nag a ddygai ymaith fy mhen yn y fan, ond yn lle hyny aeth allan yn *Biff*.

W. JONES.

---

## DIFYNAU

*O bregeth a draddodwyd gan y Parch. Richard Williams, Ynghapel Pall Mall, Liverpool, Ar udganiad y Seithfed Angel.*

Fe gân y Seithfed Angel,
Yn beraidd cyn bo hir;
Fe syrth hen gaerau Babel,
Trwy derfyn môr a thir;
Rhed ffordd Pabyddiaeth dywell
Paganiaeth naid o'r byd,
Gau gristiau a ddiwreiddir,
I ddistryw ânt ynghyd.
'Hed sain efengyl beraidd,
Y fain fwyneiddiaf lêf;
Nes crynu deiliaid annwn,
Nes chweru plant y nef;
Y byd fydd llawn gwybodaeth,
Fel töa dwfr y môr,

Un Arglwydd a addolir,
Un Iesu'n gadarn Iôr;
Bydd gwyneb têg i'r ddaear,
Fal Gardd Paradwys draw,
Ni fydd i boeni Sion;
Elynion, aeth, na braw.
Y bleiddiaid blin fu'n difa,
A'r llewod creulon crâs,
A wneir fel ŵyn diniweid,
Mae'n grêf Efengyl gras;
Y fuwch a'r arth fydd hynod,
A'u llydnod yr un lle,
Yr asp—a'r plentyn sugno,
Ddwg hono gyd ag ê.
Bydd rhwysg a mawredd daear,
Fel ewyn gwag y don;
Ni ymgais neb am dano,
Mae'r dyddiau braf ger bron;
Bydd Eglwys Crist mewn blodau,
Ar ben mynyddau'r byd;
Brenhinoedd ac Arglwyddi,
Fydd iddi'n gweini' gyd;
Tysorau brasder Asia,
A pherlau'r India draw;
Ethiopia'r Aipht—hyfrydlon,
Anrhegion iddi ddaw;
*Hosana* a ddadseinir,
Gylch o gylch Pelen byd,
I'r Baban gawd yn Bethlem,
Mewn preseb isel bryd.
Goruwch brenhinoedd daear,
A'u hawdurdodau hwy;
Bydd Teyrnas y Messiah,
Mewn addurniadau mwy;
Iuddewon a addolant,
A gloddiant am y graig;
A lyswyd i'r adeilad,
Bendigaid hâd y wraig.

*Llyalleifiad.* R. JONES, ASIEDYDD.

### AM GARIAD CRIST.

Mae mwy o ogoniant yngolwg Duw yn ocheneidiau a gruddfanau eneidiau tlodion yn llawn o gariad Crist, yn dymuno mwynâad o hono yn ol ei addewidion, yn eu gweddiau taerion am gael datguddiad o hono, yn y llawenydd annhraethadwy maent yn derbyn yn ei ymweliadau grasol, ac yn yr amlygiadau o'i gariad, nag yn ngorseddfeingciau a choronau holl frenhinoedd y ddaear. Ac nid ymadawent hwythau â'r boddlonrwydd annhraethol maent yn gael yn y pethau hyn, am y cwbl a ddichon y byd hwn wneud erddynt, ac iddynt. Fe wnaeth y pethau hyn nid yn unig garcharau a daeardai yn fwy dymunol iddynt na'r palasau gwychaf, ond gwnaethant hwy mewn gwirionedd yn lleoedd o'r cyfryw adfywiad a llawenydd, nas dichon un dyn ei dynu o'r holl gysuron a ddichon y byd hwn weinyddu. DR. OWEN.

## Llythyrau, &c.

### AT GYHOEDDWR Y DRYSORFA.

Syr,—Wedi disgwyl clywed neu weled rhyw un yn rhyw le yn cynyg y sylwiadau canlynol, neu ryw beth yn debyg iddynt, ac heb neb yn gwneuthur, anturiais eu cyflwyno dan sylw trwy gyfrwng y Drysorfa, sef yw hyny—Cynhygiad ar gael *returns* blynyddol o hanes Corph y Methodistiaid Calvinaidd trwy Gymru a threfydd Lloegr i un Llyfr, fel y byddo gan y Corph ei hanes ei hun, a chan oesoedd a ddaw ei hanes o'r oesoedd hyn. Megis nifer y Capelydd, a'r amser yr adeiladwyd hwy gyntaf; Nifer yr Ysgolion Sabbathaw', Nifer y Gweinidogion—a'r Pregethwyr, a'r aelodau—ynghyd a'r Plant a fedyddiwyd. Yna yn flynyddol, fod cyfrif yn cael ei ddychwelyd o gynnydd neu leihâd y naill a'r llall.

Bod Llyfr i'r pwrpas ymhob cangen Eglwys, ac yn perthyn hefyd i Gyfarfod misol pob Sir, ac hefyd i Sassiwn y De a'r Gogledd. Trwy hyny byddai hanes ymhob lle o hono ei hun; a hanes Sir gan y Cyfarfod Misol, a hanes y Gogledd a'r Dehau gan y Gymdeithasfa Chwarterol. Diameu iawn y'w fod hyn yn hawdd iawn i'w gael ond dechreu arno.—Dybygaf hefyd fy mod yn mhell oddiwrth ddymuno bod yn llawn o ryw yspryd gorwyllt am ddiwygiad, &c. nac ychwaith yn cymeradwyo y radd leiaf o duedd pleidio rhyw beth a dueddai i beri i neb dybied fod y Methodistiaid yn hoffi edrych ar eu tegwch, ac am rifo'r bobl yn eu balchder, O na, nid felly ddim. Eto dybygaf fod y diffyg o hyn yn afreoleidddra ac annrhefn. Fe allai y cefnoga rhyw un y cynhygiad, ac y gwelir y peth ar droed, ac y bydd hyn yn foddion, o leiaf yn un moddion i gadw mewn cof y rhyfeddodau a wnaeth yr Arglwydd i a thrwy rai gwael i'r oesoedd a ddaw. Clywais fod rhyw feddwl am hyn yn bod; ac fe allai, ond son, y cynnygir arno.—Yr hyn a fawr ddymunai eich Cyfaill, EIDDIGEDDUS.

Anwyl Gydwladwyr,—ac yn enwedigol yr Ieuengctyd. Attoch chwi yn fwyaf neillduol y mae yr ychydig linellau hyn yn gyfeiriedig, a gobeithiaf y cant yr effaith ag y mae fy nghalon yn ei ddymuno ar galonau y rhai a'i darlleno.

Wrth gyson ddarllen y Drysorfa, byddaf yn canfod ynddi amrywiol o bethau tra rhyfedd; ond y rhyfeddaf o'r holl ryfeddodau hyn yw y gwaith Cenhadol ac y cyffyrddir ag ef yn gyson yn y Drysorfa: ond rhaid dweud mai yn fyr iawn y mae; ac fe allai mai ychydig iawn a wyddom etto, er cymmaint a glywsom, ac a ddarllenasom, am dywyllwch a thrueni yr ëang wledydd hyny sydd yn ymddifaid o'r efengyl. Ond nid myne l i hysbysu i chwi bethau na wyddoch ac na chlywsoch erioed am danynt yr ydwyf, ond yn ostyngedig ymgeisiaf at ddwyn eich meddwl at sefyllfa druenus y rhai ag y clywsoch am danynt eisoes.

Ychydig amser yn ol, rhoddodd y Cy-

hoeddwr y fath hanes ag a barodd i mi synu nid ychydig, pan yn gwirio in' fod Miliwnau o drigolion y byd yn ngafael eilunaddoliaeth a rhagfarn i'r fath raddau nes y mae fel ail natur ynddynt. A pha beth yw eilunaddoliaeth a rhagfarn ond ffrwythau sydd yn tarddu oddiar anwybodaeth? A phwy all draethu truenus gyflwr y rhai sydd yn ymddifaid o'r efengyl yn ei phurdeb a'i gogoniant; ïe, nid oes yr un angel nac achangel a all draethu eu trueni, gan fod y rhai sydd yn ymddifaid o'r efengyl yn ymddifaid o wybodaeth o Dduw fel Duw grasol a maddeugar. A pha beth yw bod yn ymddifaid o Dduw fel Duw yr achubydd? pwy a'll draethu? pwy all ddirnad? O sefyllfa druenus! O gyflwr gresynol! bod yn ngafael pob trueni ac annedwyddwch byth bythoedd! Onid yw yn alaethus ac yn wylofus meddwl am y rhai sydd yn y fath gyflwr.

Gweled dyn wedi ei gollfarnu am droseddu cyfraith ei wlad, sydd olygfa yn effeithio i gryn raddau ar bob dyn sydd yn dyst o'r peth; ond beth yw hyn mewn cydmariaeth i'r hyn yr ydym yn son am dano? O, a wnewch chwi? a feiddiwch chwi? a allwch chwi, beidio synu wrth glywed a gweled hanes y fath ddirfawr drueni ag y mae miliwnau o'n cydgreaduriaid yn ei afael!

Ac os ewyllysiwch wybod ymha le y mae miloedd o'r cyfryw, darllenwch hanes y Gwyddelod yn y Drysorfa, cenedl sydd yn preswylio yn ein Chwaer Ynys. Dynion ag eneidiau ganddynt fel ninnau; eneidiau i fyw byth. Mae y rhai hyn yn myned yn ngrym rhagfarn, trwy dwyll y diafol, yn nghanol tywyllwch ac anwybodaeth dan y glog o eilunaddoliaeth yn rhith Cristionogaeth i wydd yr Hollwybodol Dduw, wrth y miloedd!

Darllenwch hefyd y llyfr rhagorol hwnw o waith y Parch. J. Hughes o Wrexham, a elwir 'Cydymaith i'r Ysgrythyr,' yn yr hwn y cewch weled beth oedd y Cymry pan oeddynt heb yr Efengyl.

O, chwi y rhai a wyddoch ryw beth yn brofiadol am y trueni dirfawr y mae dyn ynddo wrth natur, meddyliwch am druenus sefyllfa y cyfryw pe na bai ond un yn yr holl fyd yn y fath gyflwr. Ond, O, fy nghyd wladwyr, edrychwch ar y miloedd sydd yn y cyflwr hwn, a phob un o honynt yn fwy ei werth na mil o fydoedd! Ymdaflwch o ran eich meddwl am ychydig funudau dros y dwfr dorfyn sydd rhyngom a'r Iwerddon. Edrychwch, syllwch, a rhyfeddwch wrth yr olygfa; dros dair miliwn mewn tywyllwch ac anwybodaeth! Dyma olygfa ddigon a pheri i'r mwyaf dideimlad deimlo a thosturio hefyd. Onid yw eu sefyllfa yn resynol, galarus, a thruenus i'r graddau eithaf? Ond, myfyriwch ar eu sefyllfa nes creu ynoch gydymdeimlad oddi fewn a dangoser ef oddi allan trwy gyfraniadau a chyd weithrediad.

Hyfryd iawn oedd genyf weled hanes y gwyr ieuainc hyny a hyspysasant eu dymuniad, ac hefyd eu hawydd am fyned at y Gwyddelod. Onid yw hyn yn gychwyniad rhagorol? Ac onid oes genym gefnogiad cryf iddo hefyd? Gwelwn fod achos y Gwyddelod yn gorwedd yn agos at feddwl, ïe ar galon amryw. Ond, pa le y mae pobl ieuainc grefyddol eglwysi Cymru yn y dyddiau hyn? Ni fu erioed well adeg i sefydlu Cymdeithas Genhadol nag sydd genych yn awr, pan y mae athrawiaeth llwyr ymwrthodiad wedi cynyddu i'r fath rym; a phe ceid pawb i gyfranu at y Gymdeithas hon, ond un ran o bedair o'r hyn oeddynt yn ei wario am ddiodydd meddwawl o'r blaen, beiddiaf ddweud y byddai digon o arian i gynnal dwsin o Genhadon yn yr Iwerddon cyn pen hir.

Ond pa le y mae gwyr ieuaingc cymhwys Cymru, heblaw rhyw ychydig trwy holl eglwysi Cymru, a chariad Crist yn llosgi mor danllyd yn eu calon, nes y byddo eu holl serchiadau ar dân, ac mewn hwyl nefolaidd a dymuniad sanctaidd am wneuthur rhyw beth dros yr hwn a wnaeth gymaint drostynt hwy.' O eglwysi, ewch at eich gwaith o weddio am i yspryd y gwaith ddisgyn ar y wlad, sef yspryd y gwaith Cenhadol yn fwy nerthol, a gwerth eneidiau i'r amlwg, yna bydd digon o weithwyr. Ond etto, pa beth sydd yn rhwystro y rhai sydd yn teimlo dymuniad ynddynt am fyned, ac yn penderfynu *cyfrif* pob peth ag sydd yn ei gadw rhag myned yn dom ac yn golled?

O na wnai bloeddiadau Affricaniaid, cwynion Hotentotiaid, dymuniadol eirchion yr Indiaid, tywyllwch, anwybodaeth, ac alaethus gyflwr y Gwyddelod, drechu meddyliau cristionogion, a chreu tosturi yn eu calon. Y mae galwad y dyddiau hyn am genhadon ymhob chwarter o'r byd. O na chyrhaeddai eu cwynion gruddfanus ein calonau, eu trueni ein tosturi, a'n cydymdeimlad.

Ond etto unwaith, pa beth sydd yn rhwystro llawer o Bregethwyr Ieuaingc Cymru rhag cofleidio y fath gyfleusderau ac ymgyflwyno eu hunain gorph ac enaid at y gwaith? a'i pangfeydd yr ymadawiad, a gloesau yr ysgariad â rhieni, perthynasau, a chyfeillion, &c. &c. Yma th a'r fath esgusodion a'r rhai'n pan y byddom yn ymwneud â gwaith yr Arglwydd. Edrychwn ar 'Arglwydd y gogoniant yn ymadael a'r trigfanau dedwyddol, ac yn llamu dros fryniau, ac yn neidio dros fynyddoedd i ganol dioddefiadau er mwyn achub dynion! Ni ddylai un cristion osgoi o'r ffordd, os ei ddyledswydd yw dioddef; ond dilyn ei Feistr, a disgwyl wrtho am gynnorthwy i'w ddilyn; ac i ddioddef hefyd Cawn hanes yr Apostol Paul yn Act. 20. 24. yn dweud nad oedd dim a'i rhwystrai ef i bregethu yr Efengyl. Nid oedd efe yn goddef i seich-

awgrwydd ei frodyr ei attal yn y gwaith hwn.

Ond fe allai fod rhieni yn rhwystro eu plant, yn enwedig mamau. Na rwystrwch hwynt famau, canys nis gwyddoch faint o niwed a wnewch i achos Mab Duw. Ac ond i chwi foddloni iddynt fyned, cenhedloedd lawer a'ch galwant yn wynfydedig, ac a ddywedant wrth eich plant, gwyn fyd yr hon a'th ymddyg, a'r bronau a roddodd sugn it; bendigedig a fyddo ymysg gwragedd. Ac ar heolydd Caersalem ceir gweled yr holl ffrwyth gyda hyfrydwch a llawenydd diddarfod.

Cyn terfynu hyn o annerchiad, dywedaf air neu ddau wrth ferched ieuainc trefydd ac ardaloedd Cymru, gan fy mod yn deall fod amrai o honynt yn arferol o ddarllen y Cyhoeddiad buddiol hwn. Dymunaf arnoch fyned at eich gwaith o gasglu â'ch holl egni, gan mai chwi yw y casglyddion goreu; a gobeithiaf na bydd y bai wrth eich drysau chwi. Gwn yn dda na oddef eich boneddigeiddrwydd a'ch tynerwch benywaidd i chwi fod yn segur ond i chwi gael gwybod y nifer mawr o'r rhyw fenywaidd sydd yn Affrica, ac Asia yn amddifaid o ddysgeidiaeth, a'u hwynebau tu a'r wlad lle nad oes yr un drugaredd yn tramwy trwyddi. Mae yn y cyflwr hwn gant ag ugain o filiwnau, heb son am fanau eraill. O ferched Cymru! meddyliwch am y pethau hyn; Athrawesau, dywedwch wrth y rhai sydd dan eich gofal am drueni y byd i'r graddau ag y gwyddoch. Gobeithiaf yn ostyngedig y sylwch ar y pethau hyn, ac y gwnewch ymegnïo at ddiwygio y byd hyd y mae ynoch chwi.

Nis gallaf fanylu ar y pen hwn yn awr rhag gormod meithder. Ond yma diweddaf; a braidd na ddychmygwn glywed pob gradd a sefyllfa ac oedran yn barod i ofyn fel Paul gynt, 'Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?' Attebaf, yn fyr, casglu i un, annog i'r llall, cyflwyno ei hunan i'r trydydd, trefnu a rheoli i'r pedwerydd, a chyfranu a gweddio i bob perchen enaid; a hyny gyda brys mawr, oherwydd ein bywyd sydd ansicr a byr; amser sydd genym i wneud llawer. Escynlawr (*stage*) yw y byd, a'n tro ni yw hi yn awr i weithredu; eraill ddaw yn ein lle ni yn fuan iawn, fel yr ymddangosasom ninau yn lle eraill. O am gymhorth i fod yn ffyddlon, a'r Arglwydd a roddo i ni galonau i weithio tra yw hi yn ddydd cyn i'r nos ein dal. A'r holl ogoniant, a'r anrhydedd, oddiwrth ein holl lafur, diwydrwydd, a'r zel a ddangoser genym yngwaith yr Arglwydd, a fyddo i'w enw Ef, yw dymuniad yr eiddoch, yn wastadol,

*b—r—g—m.* HIRAETHOG.

---

## Hanesiaeth Cenhadol.

### YR INDIA DDWYREINIOL.

### CHITTOOR.

*Cyfieithiad o ranau o Ddydd-lyfr Arnee, un o gynnorthwywyr brodorol i Halesworth, Athraw ac Efengylwr brodorol, yr hwn sydd yn llafurio yn Sefydliad Cenhadol Chittoor, o dan ofal Mr. Bilderbeck y Cenhadwr.*

Dyn o feddwl effro, ac yspryd llafurus iawn yw Arnee, fel y gellir gweled yn yr ychydig ddarnau canlynol a gyfieithwyd o'i Ddydd-lyfr ef, gan Mr. Bilderbeck.

'Rhag. 20. 1836, Myfi a aethum i'r farchnad wythnosol yn Haumaucoor, (pentref mawr ynghylch tair milltir o Arnee) ac a ddarllenais y Traethawd (*Tract*) 'Pechod wedi ei osod allan yn ei liw ei hun,' a phan ddarfyddais, edrychodd gwr ieuanc o'r gynnulleidfa arnaf yn ddigllawn, ac a ddywedodd, ' Yr ydych chwi yn siarad fel un pur ddoeth; pwy a berodd i chwi ddyfod i'n plith i ddyweyd yn ddrwg am ein duwiau ni?' Tra yr oedd y dyn hwn yn llefaru, dyma ddau o Fahometaniaid yn dyfod ymlaen, ac yn dywedyd, Paham y daethoch chwi yma i son am Grist? Nid yw Crist ddim yn y byd. Mahomet yw y Prophwyd mawr!' Gan edrych yn filain arnaf. Ond mi ddymunais arnynt gymmeryd amynedd, ac a ddywedais wrthynt, Os Mahomet yw y gwir brophwyd, paham nad oes dim o son am dano yn y pedwar llyfr o'r Hen Destament y rhai a dderbynir genych chwi fel gwirionedd? Wedi gofyn o honof hyn, mi leferais wrthynt am enedigaeth, athrawiaeth, ac esiampl Crist; ac mi ddangosais iddynt hefyd, fod athrawiaeth a buchedd Mahomet yn wahanol iawn i Grist ein Gwaredwr. Hwy a wrandawsant yn astud, ac aethant ymaith mewn agwedd gyfeillgar.

Rhag. 28. Yn y boreu, mi gyfrenais draethodau, yn Savoor (Pentre, dwy filltir o Arnee;) mi a ymddyddenais hefyd â'r bobl am ddrwg pechod ac annigonolrwydd eu gweithredoedd eu hunain i'w ddileu ef, ac ni wrthwynebodd neb fi; cyfaddefasant fy mod yn dweud y gwir; ond hwy a ddywedasant, 'Yr oedd ein tadau o'n blaen yn cyflawni y cyfryw weithredoedd, ac nis gallwn eu rhoi heibio.'

Yn yr hwyr, yr oeddwn yn brysur yn heol y farchnad, yn Arnee; a thra yr oeddwn yn darllen Traethawd i ychydig bobl daeth un hen wr attaf, ac a ofynodd, 'Pa fodd y mae gwneud cymmod dros bechod?' Mi attebais iddo yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist i'r dyben hyny, ac ymha ffordd y dylem ofyn am faddeuant ac am heddwch, a bod Crist yn awr ar ddeheulaw Duw Dad, yn rhoddi maddeuant i bob un a gredo yn ei enw ef. Gwrandawodd yr hen wr yn astud arnaf, ac a aeth ymaith yn llawen. Yr oedd un arbymtheg o bobl yn fy nghlywed.

Ionawr 5. 1837. Mi aethum i Bentre'r Crochenyddion;—wedi darllen y bennod gyntaf o'r Epistol at y Rhufeiniaid, mi

ddywedais ychydig wrth y bobl am allu a gweithredoedd Duw, ac am ddrwg pechod. Dywedodd un dyn, 'Mae yr holl bethau a ddywedasoch yn wir; yr ydym yn bechaduriaid, ond, ai ni allwn ni fod yn gadwedig heb Grist? Paham y ceisiwch genym gredu yn eich Duw chwi? Ai nid oes Duw i ni?' Mi a'i hattebais, os byddwch chwi heb Grist chwi fyddwch heb Dduw; canys Duw yr hwn sy sanctaidd ni ellir ei foddloni â'ch gweithredoedd da chwi, yn gymaint a'u bod yn gymmysgedig â pechod, a thra y byddo gelyniaeth tufewnol eich calonau yn aros: rhaid i chwi gan hyny gredu yn Nghrist; mae ei haeddiant ef yn anfeidrol, ac os derbyniwch ef, efe a dyn ymaith elyniaeth eich calonau; yna Duw a'ch bendithia; a thyna yr amser yn unig y gellwch ddywedyd fod genych Dduw. Er eu calonogi mi a ddarllenais iddynt 1 Ioh. 2. 1. 2. Gofynodd y dyn hwn i mi wedi hyny am Draethawd, ac mi roddais un iddo.

Ionawr 18. Aethum i Mooly pettah, ac wedi darllen y 'Traethawd ar Gnawdoliaeth Crist;' mi ddymunais arnynt gydmaru hyn â'r amrywiol genhedliadau eu duwiau hwynt. Hwy a ddywedasant, gwir yw i'n duwiau ni ymgnawdoli amryw weithiau, ond ni wnaethant un weithred dda yn yr un o honynt; yr hyn oll a wnaethant oedd drwg ac anghyfiawnder; ond fe ymgnawdolodd eich Duw chwi i'n gwaredu ni, ac i ddangos i ni siampl dda. Ond beth a wnawn ni? Mae ein tadau ni wedi ein dysgu i'w haddoli hwynt.' Hwy a'm gwrandawsant oll yn siriol, ac mi gyfrenais Draethodau iddynt. Chwef. 1. Aethum i Savoor, ac a ddarllenais y Traethawd ar 'Wir Ddychweliad,' ac mi a hysbysais i'r bobl ffordd iachawdwriaeth. Un o offeiriaid yr eilunod, (*Brahmin*), a ddywedodd; 'Pe byddai pechod yn ein llaw, gallem ei daflu ymaith, ond gan ei fod yn y galon, ni all dim ei dynu ymaith.' I hyn mi attebais, Nid oes yngallu dyn dynu ymaith bechod; ni ddichon i'ch golchiadau, a'ch seremonïau chwi ei dynu ymaith. Gwelodd Duw ein gwendid ni, ac am hyny efe a anfonodd ei anwyl Fab, 'oen Duw yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd.' Ac ymhellach, fe addawodd Duw dywallt ei Ysbryd ar bob cnawd, i'n glanhau ni oddiwrth bob pechod; drwy Iesu Grist, ei farwolaeth a'i adgyfodiad ef, y daeth y rhodd hon i ni; am hyny rhaid i chwi dderbyn Crist drwy ffydd, ac efe a wna i chwi fwy nag a ddichon i'ch holl olchiadau a'ch seremonïau wneud i chwi. Yna yr attebodd y Brahmin, Mae genym ni ein hysgrifeniadau (*shasters*) ein hunain, ond dyro i mi lyfr, fel y gallwyf wybod beth mae eich *shasters* chwi yn ei ddysgu. Rhoddais iddo Draethawd, ac efe a aeth ymaith yn siriol

Chwef. 3. Aethum i Bentref Potters, a darllenais y Traethawd 'Cynghor da,' a rhoddais Draethawd i un dyn. Wedi gadael y lle hwn aethum i'r Amddiffynfa. Yno canfum fachgen o Bagan, a deg o bobl yn eistedd gydag ef. Ymddyddenais â'r bachgen ynghylch ei enaid, ac am gariad Crist yn marw dros bechaduriaid. Ni ddywedodd efe nemawr; ond gwrandawai yn astud, ac yr oedd yn dymuno yn fawr glywed chwaneg am Grist. Daeth y gwr ieuanc hwn i ymweled â mi yn fynych ar ol hyny, i ymofyn ymhellach am bethau bywyd tragywyddol. Efe a ewyllysiai gael ei fedyddio, ond mi ddymunais arno ddyfod attaf fi bob dydd am chwaneg o hyfforddiant

Mawrth 18. Aethum i Meyoor, a darllenais y Traethawd ar 'Y Prif Ymborth.' Gwrandawodd y bobl yn siriol arnaf yn dywedyd am natur pechod, a'r pechod o eilunaddoliaeth. A phan hysbysais iddynt am yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist, gofynodd un o'r rhai oedd yn fy ngwrando, Pa fodd y mae i mi gael adnabyddiaeth o'r Offeiriad hwnw? Mi ddywedais wrtho, os darllenai efe y Bibl, a chredu yn wirioneddol am ei waith gogoneddus ef, ac yn y pethau rhyfedd a wnaeth efe erom, y byddai i Grist lewyrchu i'w galon ef. Wedi hyn ni ddywedodd neb un gair. Wrth i mi fyned adref gwelais rai Brahminiaid allan yn ymolchi, mi a gyhoeddais iddynt ffordd iachawdwriaeth. Dywedodd un Brahmin wrthyf ei fod ef yn credu yn Nghrist; mi a roddais iddo Draethawd ar 'Adenedigaeth.'

Mai 10. Aethum i Bentref Potters, ac a ddarllenais y Traethawd ar 'Adenedigaeth.' Dywedais wrthynt am yr hyn a glywsant gan eu tadau ynghylch Trawsfudiad * mai camgymmeriad hollol oedd. Nad oes dim ond un gwir symmudiad cyfiwr, ac oni chaent brofi hwnw, nad allent fyned i'r nefoedd. Y symmudiad, neu y cyfnewidiad hwn yw cyfnewidiad y galon a'r fuchedd o bechod i sancteiddrwydd, yr hwn yn unig a weithredir trwy ras ac Ysbryd Duw. Yna dywedodd rhai o honynt. Beth ydych chwi yn ei ddywedyd yw crefydd dyn gwyn, a pha ennill a gaem ni oddiwrthi hi? Mi attebais, Pa un bynag ai dyn gwyn ai dyn du, rhaid i bob un brofi y cyfnewidiad hwn; canys pechaduriaid ydych chwi cystal a dynion gwynion, ac am hyny mae y grefydd hon mor gymmwys i chwi ag iddynt hwy. Yna hwynt oll a dderbyniasant Draethodau genyf.

Mai 16 Aethum i'r dref, a llawer o bobl a'm gwrandawsant yn astud. Mi ddarllenais y Traethawd ar Ymgnawdoliad Crist a mi lefaris ynghylch trefn yr iachawdwriaeth. Gofynodd un dyn i mi, 'Os oedd eich Crist chwi yn Dduw, paham y bu efe farw ar y groes?' A phan oeddwn yn

* Yr Athrawiaeth am symmudiad enaid dyn pan fo farw i gorph rhyw greadur arall, megis mochyn, asyn, ci, &c. neu i gorph dyn, &c.

dechreu eglurhau yr achos o'i farwolaeth, efe a aeth ymaith, gan ddywedyd, y gwrandawai efe arnaf ryw amser arall. Dywedodd un arall, os bydd i'r Duw yr ydych yn son am dano ddangos i ni ryw ryfeddodau, yna ni a gredwn ynddo.' I hyn mi attebais, Pa ryfeddod fwy a ewyllysiech chwi weled na bod i Dduw gyfnewid eich calonau, ac i chwi brofi ei ras ef; dyma y rhyfeddod fwyaf; a phan weddioch chwi arno am gael gweled hyn, chwi gewch ei weled yn wir.

Mai 25. Aethum i'r dref, ac a ddarllenais yr un Traethawd ag o'r blaen, ac a eglurheais natur a buddioldeb cnawdoliad Crist. Gofynodd Brahmin i mi, 'Os troaf fi at y grefydd gristionogol, pa fawr lesâd a gaf fi drwy hyny? Os bydd i ddyn tlawd gredu yn Nghrist, a gaiff efe ei wneud yn gyfoethog drwy hyny?' A wyddoch chwi, ebe fi, beth fydd diwedd y rhai sydd gyfoethog yn unig o bethau y byd hwn? Er fod llawer yn casglu cyfoeth drwy amrywiol ffyrdd, er hyny y maent yn myned yn dlawd i'r bedd; ond y rhai a gredant yn yr Arglwydd Iesu Grist a fyddant gyfoethog mewn doethineb yn y byd hwn ac yn yr hwn a ddaw.

## Hysbysiadau Crefyddol.

Derbyniadau a Thaliadau y Gymdeithas Genhadol Gartrefol, yn perthyn i Gorph y Methodistiaid Calvinaidd yn Ngogledd Cymru: fel y cafwyd yn y Bala, Mehefin 14, 1837.

DERBYNIADAU.

| | | | |
|---|---|---|---|
| O Sir Gaernarfon | 31 | 7 | 0 |
| Meirionydd | 18 | 13 | 6 |
| Dolgelle | 9 | 9 | 4 |
| Sir Ddinbych | 15 | 11 | 0 |
| Liverpool | 75 | 5 | 7 |
| Manchester | 17 | 0 | 0 |
| | £167 | 6 | 4 |
| At brynu Biblau, o Manchester | 12 | 0 | 0 |
| | £179 | 6 | 4 |

TALIADAU.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Gan gyfeillion Liverpool yn Runcorn | 45 | 17 | 10 |
| Yn Birkenhead | 17 | 11 | 9 |
| | 63 | 9 | 7 |
| I Sir Flint | 51 | 18 | 4½ |
| Sir Drefaldwyn | 51 | 18 | 4½ |
| | £167 | 6 | 4 |
| At brynu Biblau i Sir Flint | 6 | 0 | 0 |
| I Sir Drefalwyn | 6 | 0 | 0 |
| | £179 | 6 | 4 |

D. S. Dymunir ar gyfeillion Môn anfon cyfrif o'u casgliad, a'r draul yn Dublin, fel y galler rhoi cyfrif manwl o'r Derbyniadau a'r Taliadau yn mhob lle. Wedi hyny ceir gweled pa fodd mae y Gymdeithas o ran y draul a'r casgliadau yn atteb i'w gilydd: ac fe gaiff ymddangos etto yn gyflawn yn y Drysorfa ynghyd a holl draul a derbyniadau yn yr holl leoedd Saesoneg, yn Sir Drefaldwyn a Flint.

*Wrexham.* E. PHILLIPS.

METHODISTIAID CALFINAIDD SIR FON.

Yn y dyddiau peryglus hyn, pan y mae yn nos lled dywyll ar yr eglwys o ran pethau ysprydol crefydd; a llawer o dwrf mewn siarad, ac ysgrifenu ynghylch pethau gwladol; bu peth son am danom ninnau, yn yr Ynys dawel hon, fel y gallai rhai ymofyn, beth yw Methodistiaid Calfinaidd Sir Fon yn eu barn am bethau gwlad-lywyddiaeth, y dyddiau hyn? Attebwn, y mae Methodistiaid Calfinaidd Môn yn parhau y peth oeddynt o'r blaen.

Nid ydym yn ol cyfansoddiad ein corph, na'n rheolau disgybliaethol, i ymyraeth a phethau gwlad-lywyddiaeth (*politics*): ond yr ydym i barchu ein Brenhin, neu ein Brenhines, cyfansoddiad llywyddol y Deyrnas, ei chyfreithiau, a'i sefydliadau crefyddol, Protestanaidd: ac i 'fyw yn llonydd, a heddychol, mewn pob duwioldeb ac onestrwydd.' Gwel Erthygl 40, yn ein Cyffes Ffydd, a'r Rheol XVI. yn rheolau ein Disgyblaeth.

Am y peth oedd Methodistiaid Calfinaidd Sir Fon yn y flwyddyn 1802, gwel Dystiolaeth y diweddar Barch. Thomas Charles o'r Bala, a'r diweddar Barch. T. Jones, Dinbych, mewn Llyfr bychan a elwir *The Welsh Methodists Vindicated, page* 11, &c. 54. &c. 79.

Yn y flwyddyn 1821, cawsom yr anrhydedd o anfon annerchiad (*Address*) at ei ddiweddar Fawrhydi Geo. IV. (Y mae dau o'n brodyr a fu ger bron ei Fawrhydi yn ei chyflwyno, etto yn fyw). Yn ein Cyfarchiad, proffesasom yn ddiragrith, ein bod yn bobl dawel, heddychol, yn parchu ein Brenhin, a'i Lywodraeth, a chyfansoddiad llywyddol y Deyrnas; ac yn ddiolchgar am ein rhyddid, a'n breintiau. Boddhaodd yr annerchiad ei Fawrhydi yn fawr iawn. Gwel *Goleuad am y flwyddyn* 1821, *tu dalen* 246.

Yr *un peth* ydym etto, oblegid ni welsom yngair Duw un achos i newid ein barn, na'n Rheolau, yn y peth hyn; ac ni chawsom yr un achlysur oddiwrth y Llywodraeth i newid ein hymddygiad.

I brofi ein bod yn parhau yn yr un farn ac yn hoffi ymddwyn wrth yr un Rheol gwnaed y penderfyniad canlynol yn ein Cyfarfod Misol yr wythnos hon.

*Mewn Cyfarfod misol, a gynnaliwyd yn Siloh, Llaneilian, Mon, Awst* 21, 22, 1837, 'Penderfynwyd; ein bod yn ystyried ein hunain y peth oeddym o'r blaen; ac yn ymwrthod am byth â phob dadl* *political*, fel Crefyddwyr.'

Arwyddwyd, dros y Gymdeithas fisol,
gan Hugh Hughes
Ysgrifenydd
(Yn y cyfarfod hwnw.)

* Ynghylch gwlad-lywyddiaeth.

## GAIR O BENFRO.

Hynaws a Pharchedig Olygydd,—Yn fy llythyr o'r blaen, rhoddais ger eich bron chwi a darllenyddion doethawl eich Trysorfa, yn benaf hanes yr Ysgolion Sabbathawl yn ein mysg, ynghyd a'r effeithiau dwyfolaidd a dedwyddol y maent yn argraphu ar fywydau, ymarferion, a meddyliau yr oes sydd yn codi; ac yn fy llythyr hwn, ymdrechaf eich cynnysgaeddu â golwg fer ar ranau mwyaf neillduol y gwaith.

Yn Bethel, Capel Penfro, mae golwg hynod o lonwych ac addawawl ar Sïon ein Duw. Gwir, nid ydyw, ac nis geill fod, ond yn parhau yn iselaidd a gwan mewn llawer golygiad; etto, pa wr a anturia ddywedyd, er mai bychan ydyw, nad bychan sydd yn myned yn fil! ac er mai gwael ydyw, nad gwael ar fynediad yn genedl gref? canys mae gan Dduw Iôr ei amser rhag-olygedig er tragywyddoldeb pa un sydd yn buan brysuro i ben, Esa. 60. 22. Mae ein cynnulleidfaoedd yn Penfro wedi cynnyddu yn ddirfawr, ac yn parhau i wneud felly; yn neillduol ar y Sabbathau. Pobl ieuengc, pa rai yw heirddwychaf flodau ein gwlad, a welir amlaf yn coroni ein cynnulliadau.

Mae yr Arglwydd mawr hefyd wedi gweled yn dda yn ddiweddar i chwanegu o gylch 20in at ei eglwys, o rai fel ag ydym yn hyderu, ac yn cael sail i obeithio, 'fyddant gadwedig.' Hwyrach mai dywenydd fyddai genych gael ger eich gwydd ychydig hanes o'r ymddiddan a fu rhyngof ag un gwr yn ein plith, a elwir W. Matthias, pan ydoedd dan law argyhoeddiadol Glan Yspryd Duw, canys yn wir, meddyliwyf y gwelwch yma ddarluniad o bechadur yn adrodd y peth na ffurfiwyd ganddo ei hun, ac na ddysgwyd iddo gan ereill, ond iaith ruddfanawl y galon a glwyfwyd. Cewch yr hanes hyd y medrwyf yn y iaith a'r geiriau y cymmerodd le. Gofynais iddo, pa beth ag oedd yn aflonyddu ei feddwl? 'I don't know Sir, but I am very bad indeed.' Can you tell me something of the nature of the distress you are in? Is it some pain you feel in the body, or does it lodge in the mind? 'O! it is something very bad within me Sir.' Yna gosododd ei law ar ei fonwes. 'Do you think that you are a sinner? 'Yes indeed Sir I know that very well, and I am sure I am worse than all. 'What makes you to think that? 'Because I see my sins as great black clouds before my eyes every moment Sir, and I fear in my heart that the Lord will cut me down to hell. 'Do you think that you deserve to be in hell? Yes, indeed, I do Sir, for I am a very great sinner, and it is a great mercy that I am not there long ago; and when I am thinking of God and of myself Sir, I don't know where to go, nor what to do, I can't eat, nor sleep, nor work, nor do anything as before Sir.' Do you try to pray? 'Yes, as well as I can Sir; but I am so very dark, and I can't pray as I would.' How often do you pray? 'I pray in my mind always Sir, and I go on my knees as often as I can; and when I can't sleep in the night Sir, I get up and try to pray.' Do you feel delight in prayer when you go on your knees? 'Yes it is good upon me sometimes Sir, but very often when I go on my knees Sir, I see something black before my eyes, and something is telling in my mind that the Lord is coming to cut me down for my sins; then I am afraid of him, and can't pray more then.'

When did you feel this anguish of mind first? 'When Mr. Lewis of Haverfordwest was preaching one Sunday evening in Bethel; he was saying that Jesus Christ will say in the day of judgment, 'But those mine enemies, which would not that I should reign over them, bring hither and slay them before me.' I was thinking that there was no one that was a greater enemy unto him than I, and I never was happy since that time Sir.' Did you feel any thing of the kind since? 'Yes, last Sunday Sir, at Hundleton, when you were speaking of the torments of the wicked in hell, I thought I was falling into hell that moment; and now it is worse than ever with me.' Can you read? 'Yes, a little Sir; when I was a boy, I could read pretty good, but I have been very bad since then, and have lost a great deal.' You have not lost all perhaps? 'No Sir, not all. I can read pretty well now in the New Testament.' Do you feel pleasure in reading the Bibl? 'Yes indeed Sir, it is very sweet especially the Gospel of John.'

Do you think that coming to the Society will be enough to save you? No Sir, I don't think that.' Why do you desire to be in the church then? 'I should like to be there very much Sir, for I think that there is something good there.' Do you think that the Lord is able to save you? 'Yes, I am sure he can Sir,' Do you think that he will? I hope so Sir.'

Ymddiddanais lawer ychwaneg ag ef mewn perthynas i'r Gwaredwr mawr a'r iachawdwriaeth sydd ynddo, ond nid oedd yn gwybod ond ychydig iawn am hyn. Mae yn yr eglwys bellach er nes mwy na blwyddyn, ac yn gristion byw a gloyw iawn; ond yn benaf yn aros dan gryn fa a dychryn argyhoeddiad, a ffordd y gras heb ddyfod yn oleu iawn i'w feddwl. Pan mae yr Arglwydd yn clwyfo'r galon, mae yn sicr o'i meddyginiaethu drachefn; ac y mae ganddo ei amser ordeiniedig i hyny, er y rhaid weithiau aros yn faith wrtho.—

Myfi sy'n clwyfo'r galon, myfi sydd yn iachàu,
Daw myrdd i wir alaru, daw myrdd i lawenâu,&c.

Mae pawb o'r eglwys yn ein plith yn byw mewn heddwch, anwyldeb, a chariad, ac mae arwyddion amlwg wrth edrych ar agweddau yr ysgolion sabbathawl, a'r cynnulleidfaoedd yn gyffredinol, fod gan Dduw etto yn ol lawer sydd raid eu haddasu i ddedwyddwch y wlad tu draw i'r bedd.

Ar yr achos yn *Wallanston* a *Thorn* hefyd mae golwg siriol a hyfryd iawn. Mae y cynnulleidfaoedd yn dra lluosog a helaeth, a'r gwrando yn sobr a difrifolaidd iawn; ac y mae rhai wedi cael eu chwanegu yn ddiweddar at bob un o'r eglwysi hyn. Ond gyda galar y dywedwyf, nid ydyw yr ysgolion sabbathawl ond i raddau yn llesg a gwan.

Peth arall ag sydd yn ddiau yn werth ei nodi yw, fod yr Hwn sydd yn galw, yn anfon, ac yn donio gweithwyr i'w gynhauaf, fel yr ydym wedi cael lle i gredu, ei fod wedi codi yn ddiweddar, yn ein mysg, un gwr ieuanc sobr ac addawol, i waith mawr y weinidogaeth. Gan fod y brawd hwn wedi ei godi i'r gwaith, a brodyr ereill yn parau i ddyfod attom, yr ydym wedi llwyddo yn ddiweddar i sefydlu achos mewn tref yn ein hymyl a elwir *Pembroke Dock*, neu *Pater*. Yma yr ydym wedi cymeryd tŷ er cynnal y moddion, lle y pregethir ddwy waith ar y Sabbath, ac unwaith ar brydnawn gwaith. Mae yma lawer yn dyfod i wrando, ac arwyddion mawr y bydd i Dduw gynnyddu a llwyddo y gwaith.

Yn awr, anwyl Syr, gan y dymunwyf ochelyd meithder, terfynwyf, gan daer erfyn ar weinidogion Duw, o'r De ac o'r Gogledd, ddyfod drosodd i'n cynnorthwyo. Nac ofnwch fy mrodyr, yr ychydig ddwfr sydd o'n hamgylch, canys y mae'r gwynt a'r môr yn llaw yr Iesu yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu, ac erbyn heddyw wedi dyfod yn gyfeillion anwyl i weision ein Duw ni. Hefyd mae llawer trwy Siroedd De a Gogledd Cymru yn ffyddlawn gyfranu at achos y Genhadaeth Gartrefol. O bobl yr Arglwydd, diau nad ofer ydyw eich gwaith. Mae maesydd helaeth ein gwlad yn wynion iawn i'r cynhauaf, ond oherwydd anamlder gweithwyr nis gellir bwrw y crymman i mewn. Na lwfrhewch, fy mrodyr, ond tra y byddwch yn tyru llawer iawn i gynnorthwyo eraill, (llo y collir chwi yn eu henwau hwy) er moesoli ac efengylu y gororau gwylltaidd tu draw i'r dyfnfor mawr, cofiwch fod gennych waith eich hunain yn eich ymyl, sef sefyll rhwng y lluoedd ag angau tragywyddol. Ydwyf, hynaws a pharchedig Olygydd, yr eiddoch, &c. QUERCUS.

*Penfro, Awst* 17, 1837.

### HANES LLYDAW.

Llydaw sydd ran o wlad Ffrainc, sef ar yr ochr Ogledd-Orllewinol i'r wlad. Mae y môr mawr yn amgylchu tair ochr i Lydaw, a'r bedwerydd ochr sy yn gydiol â Ffrainc.

Mae Llydaw yn awr wedi ei rhanu yn bump Swydd-gyfran, (*Departments*), sef, *yn gyntaf* Finisterre, yr hon yw y Dosparth mwyaf Gorllewinol o Ffrainc, a'r môr a amgylcha dair ochr iddi, sef tua'r Gorllewin, Gogledd, a'r De, ac ar du y Dwyrain y mae yn gydiol a'r tir. Quimper yw y brif ddinas.

*Yn ail*, Cotes du Nord. Dijon yw y brif ddinas.

*Yn drydydd*, Morbihan. *Yn bedwerydd*, Ille Vilaine, ar du Gogledd Ddwyreiniol i Lydaw. Rennes yw y brif ddinas. *Yn bummed*, Lower Loire. Nantes yw y brif ddinas.

ENW Y WLAD. Geilw y Ffrancod hi Bretagne, a'r Saeson, Brittany, neu Little Brittany, a'r Cymry a'i galwant hi Llydaw.

*Y trigolion*. Dywed Mr. Bell fel hyn am danynt, yn ei Ddaearyddiaeth. 'Y Bretoniaid, neu y Bas-Bretoniaid, a breswyliant Brettony isaf, yr hon sy ran o Ffrainc; o nifer 920,000, ydynt esgynedig o'r Cimmeriaid (Cymry) Brytanaidd, y rhai yn y pummed canrif o Oed Crist a yrwyd allan o Frydain Fawr gan yr Anglo-Saxoniaid, (*y Saeson*), ac a ymsefydlasant mewn rhan o Ffrainc. Maent yn parhau i siarad hen Iaith y Brytaniaid, neu y Cimmeriaid, (y Gymraeg,) ac maent i'w gwahaniaethu oddiwrth genedl y Ffrancod, wrth eu hymddangosiad allanol, eu dull, eu harferion, eu gwisg, a'u hiaith.

Eu pryd a'u gwedd a arwyddant duedd-fryd afler, a llysnafeddog. Ond o ran gonestrwydd, haelioni, llettygarwch, maent yn ddiareb yn eu gwlad. Mae yn rhaid cyfaddef, fodd bynag, fod coel-grefydd, anwybodaeth, ac annhueddgarwch i gyfnewid dim o'u hen ddull, yn nodedig i'w canfod yn y genedl hon, ac felly mae yn rhaid eu cyfrif rai cantoedd o flynyddoedd ar ol y lleill o'u cydwladwyr mewn gwareidd-dra, a moesogrwydd.

Maent yn byw, gan mwyaf, mewn pentrefydd, neu gasgliadau o amryw dai ffermydd ynghyd yma ac acw ar hyd y wlad. Eu tai, neu yn hytrach eu bythod, ydynt yn bur fudron; ac am amaethyddiaeth nid ydynt ond gwael iawn, er hyny, cyfrifant eu hunain yn hynod o foddlawn gan ymborthi ar laeth a bara ceirch.'

Rhifwyd trigolion Ffrainc i fanylrwydd mawr yn amser Buonaparte, ac yn y cyfrif hwnw yr oedd nifer y Llydawiaid neu y French Brittons, yn 1,100,000.

*Eu Crefydd.* Dywed y Parch T. Price fel hyn am drigolion Llydaw, 'Y Llydawiaid, er eu bod rai canrifoedd yn ol yn bobl o gryn gywreinrwydd, y maent yn bresennol wedi dirywio, hyd yn nod yn is na Chenhedloedd Pabaidd yn gyffredinol. A phe gofynid iddo ef am yr achos o hyny, ei atteb fyddai mai yr un achos ag a ddarostyngai Gymru oni bai i foddion gras gael eu harferyd i wrthwynebu hyny. Er pan gyd-gorphorwyd Llydaw â theyrnas Ffrainc, y mae boneddy Dalaith wedi tynu eu nodded oddiwrth iaith gynnwynawl y trigolion, ac felly eu gadael i syrthio i ddyfnach dirywiad.'

Pabyddion yw y Llydawiaid oll, methasom a chael hanes fod yn yr holl wlad gymmaint ag un Protestant. Methodd Mr. Jones, mab y diweddar Barch. T. Jones, Caerfyrddin, a chael cymmaint ag un Bibl na Thestament, ysgrifenedig nac argraffedig, mewn un man, ymhlith yr holl genedl. Gan hyny rhaid yw eu bod mewn magddu o dywyllwch am Dduw ac am air ei ras ef.

(I'w barhau.)

---

Y SEFYDLIAD NEWYDD YN Y SWAN RIVER.

Mae amryw o'n darllenwyr yn cofio i ni roi hanes yn y Drysorfa ryw amser yn ol fod Llywodraeth Brydain wedi gwneud Sefydliad neu Drefedigaeth newydd ar gwr yr Ynys anferth o faintioli hono, a elwir New Holland. Y Drefedigaeth hon a sefydlwyd wrth gêg yr afon fawr a elwir Swan River, ac felly, a elwir 'Sefydliad newydd y Swan River.'

Yn ddiweddar derbyniwyd hanes cynnydd a llwyddiant y Sefydliad hwn, mewn amryw lythyrau oddiyno, a ddyddiwyd yn Mis Mawrth diweddaf. Hysbysant fod yno gyflog mawr i weithwyr o bob math, a golygiad rhagorol o gynnydd a llwyddiant ar bob gorchwyl.

Mewn un llythyr dywedir, 'Mae ein sefydliad yn well allan o'r hanner na phan ysgrifenasom o'r blaen. Yr unig gŵyn yw fod cyflogau gweithwyr yn rhy uchel i atteb i'r Sefydliad. Yn amser y cynhauaf rhaid i ni dalu 20s. yr erw am fedi yn unig. Cyflog gweithwyr cyffredin ydyw o 4s. i 6s. yn y dydd. Crefftwyr o 7s. i 10s. yn y dydd. Os cyflogir gweithiwr am fis rhaid talu iddo o £2. 10s. i £3. a'i fwrdd a'i wely. Trefnwyd Cerbyd i dramwyo ar draws y wlad, yn St. George's Sound. Y trigolion gwylltion yn gyffredinol ydynt gyfeillgar. Digwyddodd un neu ddwy esiampl o ladrad. Trywanwyd Mr. Heal, wrth fynu yn eu hol ychydig ddefaid a ladrattawyd oddiarno. Ond gan fod y dyn a'i trywanodd ef yn adnabyddus, dygir ef i'w brofi a'i gospi, pan geir gafael arno. Bu dwy long fawr o America yma yn pysgotta morfilod, i gael olew o honynt. Yn ddiweddar cadwyd cyfarfod yma i ffurfio Ariandy, (*Bank*), ac mae y llywodraeth cartrefol yma i roi benthyg arian i'w rhoi ynddo i gychwyn masnach, ac i gael llog am danynt hyd nes y taler yr hawl.'

Mewn llythyr arall, dywedir, 'Mewn eisteddfod Dirprwywyr Gohebiaethol y Sefydliad, a gynnaliwyd yn Perth Hotel, ar yr 20fed o Fawrth diweddaf, rhoddwyd allan Adroddiad cysurus iawn am lwyddiant y Sefydliad hwn. Y prif gwyn oedd yn erbyn cyflogau uchel gweithwyr; ac mae dymuniad y trigolion yma am i'r Dirprwywyr yn Swan River ymhwedd a'r llywodraeth, ac a chyfeisteddwyr symudiad Trigias yn Mrydain am anfon drosodd yma cyn gynted ag y bo modd o hanner cant i gant o feibion, a'r un nifer o ferchaid, o rai a fyddont fedrus a gweithgar, y rhai a fyddant yn sicr o gael gwaith yn ddioed.'

Nifer y defaid yn y Sefydliad hwn yn Mehefin 1836, oeddynt 5128, ac yr oeddynt wedi cynnyddu erbyn yr amser y derbynwyd yr hanes uchod yn 8800. Cawsant gynhauaf rhagorol o dda: yr oedd y gwenith yn pwyso 67 pwys y *Bushel*. Maent hefyd wedi ffurfio dwyGymdeithas bysgotta. Cyllid y sefydliad yn y chwarter yn diweddu Rhagfyr 31, 1836 oedd yn £893 11 2, a'r draul yn £974 15 6.

---

*Dychweliad y Cadpen Back o foroedd y Gogledd.*

Mae amryw o'n darllenwyr yn cofio fod Cadpen Back wedi cael ei anfon o Frydain yn y llong *Terror* yn Mehefin 1836, i chwilio am y Cadpen Ross, yr hwn oeddis yn ofni fod wedi colli yn moroedd rhewlyd y Gogledd, Glaniodd Llong Terror yn Loch Swilly ddydd llun, Medi 11, 1837, mewn cyflwr drylliog; yr oedd tair o gadwyni heiyrn wedi ei hamgylchu rhag ei myned yn chwilfriw, a darn o'i llyw wedi ei dorri ymaith.

Cafodd y llong a'i llongwyr eu cloi i fynu yn y rhew o fis Awst 1836, hyd Awst 1837! A thros yr holl fisoedd meithion rhewlyd hyny yr oedd y llŵg (*scurvy*) yn ymdaenu yn mhlith y llongwyr yn drwm iawn, yn gymmaint ag y mae amryw o honynt heb wellâu etto. Collasant dri o'r bobl yn yr iâ. Maent oll yn bobl gryfion a nerthol ryfeddol, pigion o wyr grymus. Buont amryw fisoedd heb nemawr o obaith gweled Brydain byth mwy.

Yr unig ddynion a welsant yn eu holl fordaith oedd pedwar o bobl o'r Esquimaux Indiaid. Ac ni thaflasant un angor i ymaflyd mewn daear er pan aethant allan i'r môr hyd nes eu dychwelyd yn ol. Mae y Cadpen Back newydd fyned gyda'r Cerbyd i Ddublin, ac oddiyno mewn Agerdd-

long i Gaergybi, ar ei ffordd i Lundain. Rhaid tynu yr hen long fawr i'r lan yn ddioed, rhag soddi o honi, ac na chodo mwy. Nis gallwn etto roi dim chwaneg o hanes y fordwyaeth nes agor o'r Cadpen ei bapurau hysbysol yn Morlys Llundain.

*Bibl Gymdeithas.*—Yn yr hwyr, ddydd llun Medi 18, cynnaliwyd Cyfarfod blynyddol Bibl Gymdeithas Ganghenol Gymreig Caerlleon, yn Llŷs y Ddinas. Y Parch. E. Evans yn y Gadair. Yr oedd y Llys ëang yn llawn. Areithiodd y Parchedigion J. Phillips, Goruchwiliwr y Fam Gymdeithas, H. Stowell, Manchester, C. B. Tayler, J. Williams, J Parry, G. Roberts, Ysw. G. Harison, Ysw. J. Foulkes, Ysw. a Mr. Jos. Williams. Tair plaid o Gymry sy yn Ngaer, Yr Eglwys Wladol, y Calfinistiaid, a'r Arminiaid; ac y maent wedi ymuno yn y Gymdeithas ddaionus hon.

*Yspaen.*—Parhau y mae y rhyfel gartrefol yn y wlad annedwydd hon, ac mae yr ymgyrch mor waedlyd, a'r lluoedd mor liosog o bobtu, fel y mae yn anhawdd gwybod i ba du y mae'r fantol yn debyg o droi.

## BARDDONIAETH.

*Coffadwriaeth hiraethlon ar farwolaeth Mr. J. Williams, Dolyddelen; Gwel ei Gofiant ef yn Rhifyn Medi diweddaf.*

Pa beth yw y newydd yn awr sy'n ymdaenu,
Trwy'n brodir mor gyflym a thoriad y wawr?
A'i brenin pob dychryn sy'n prysur garlamu
I dori enwogion yn lluoedd i'r llawr?

Ai gwir yw i Ioan gael dyrnod gan angau
A'i anfon ar elawr i bant oer y bedd?
Ai ynte taith gym'rodd tros saith o wythnosau,
I alw gelynion i gymmod a hedd?

Gwir yw; e orphenodd ei yrfa, mae'n gorphwys
Oddiwrth ei holl lafur, ei flinfyd, a'i boen;
Ei enaid ehedodd i ganol Paradwys,
I fyw yn ddiddiwedd ar rinwedd yr Oen.

Ni chlywir ef mwyach yn galw i'r winllan,
Ni welir e'n gwisgo ei gleddyf yn hwy;
'N lle ymladd, a brwydro, a galar, a griddfan,
Caiff heddwch, tangnefedd, gorfoledd byth mwy.

Ni chlywir e'n cwyno gan boen dan ei ddwyfron,
Nis blinir gan lygredd, pla calon, a chur;
Yn dawel y glaniodd uwchlaw ei elynion,
I'r ardal lle nad oes ond tangnef i'w thir.

Pa beth yw hyn Ioan a wnaethost ti heddyw,
Sef myn'd i orphwyso 'mhell cyn canol dydd,
A gadael dy frodyr sydd hŷn i filwriaw
Ynganol gelynion, a thithau'n wr rhydd?

Fy Arglwydd a'm galwodd o'r maes i orphwyso,
'Nol bod yn llafuriaw dros awr yn ei waith;
Ychydig fu'r amser roed imi i filwrio;
Ymdrechais er ofnau, gorphenais fy nhaith.

A yw dy gàn heddyw gan uched y Ngwynfa,
Am garu, am ethol, am brynu ar y pren,
A phan y cyhoeddit am angen Calfaria,
Nes clywid dy adsain hyd entrych y nen?

Fy nghân ydoedd yna yn gymmysg a wylo,
Ond yma llawenydd, gorfoledd didrai;
Byw yna mewn ofnau, ac weithiau gobeithio,
Ond yma gobeithio i ni sy'n fwynhau.

A ddarfu iti adnabod dy faban pan deuodd
I mewn i drigfanau hyfrydawl y Ne?
Pwy yna gân uwchaf i'r hwn a ddioddefodd
Ar fynydd Calfaria; ai ti ai efe?

Adwaenost ti Mary,* Anne,† a'th dad yna,
A'th Nain sy a'u cyrph heddyw yngwaelod y bedd,
Jones,‡ Roberts,§ Cadwalader,|| a Pheters¶ fu yma,
Yn gwahodd yn dirion elynion i'r wledd?

Nid adwaen i yma yn unig ond hwnw
Ar groesbren rhwng lladron fu farw n fy lle;
Duw a dyn heddyw yn un sy'n dwyn sylw
Holl saint a seraphiaid, ac engyl y Ne.

'Rwy' heddyw yn gweled yn ganmil mwy goleu
Fath 'ddinas cyfarfod'** yw Sïon i'r saint;—
Nid oesau ri'r tywod, a'r moroedd yn ddafnau,
Sydd ddigon i adrodd am fawredd eu braint.

Ha Elen nag ymffrost mwy'n rhif dy enwogion'
Os tri a deg†† fegaist daeth angeu yn awr,
A'i gleddyf angeuol fe laddodd un gwron,
Mae heddyw yn llonydd yn ister y llawr.

Chwi sanctaidd angylion esgynwch i fynu,
Dywedwch fod Babel ar ddyfod i lawr;
Gymdeithas Ddirwestaidd sy'n llwyddo trwy Gymru,
Cyhoeddwch i Ioan y newydd yn awr.

Rwy'n colli fy ngolwg yn awr arno yma,
Ei breswyl nid edwyn o hono ddim mwy;
Esgynodd mewn cerbyd angylaidd i Wynfa,
Byth cân i'w Waredwr am rinwedd ei glwy.

WILLIAM JONES.

---

* Gwel Drysorfa Llyfr III. tu dal. 242 † Gol. Llyfr IV. tu dal. 325. ‡ Parch. R. Jones, Wern· § Parch. John Roberts, Llangwm. || Mr. David Cadwalader. ¶ Parch. John Peters, Trawsfynydd. ** Es. xxxiii. 20. sef un o'i destynau. †† Er bod Dolwyddelen yn ymdangos yn lle mynyddig, ac anenwog, er hyny, enwogodd yr Arglwydd y lle mewn ystyr grefyddol, tu hwnt o bosibl i un lle arall yn Nghymru. O fewn terfynau y plwyf hwn y ganed ac y magwyd yr enwog a'r dysgedig Dr. William Morgan, a gyfieithodd y Bibl gyntaf i'r iaith Gymraeg. A oes dim modd cael ychydig o hanes y gwr enwog hwn trwy gyfrwng y Drysorfa? diau y bydd yn ddywenydd mawr gan lawer ei weled. Hefyd, y mae yn fyw yn bresenol, 5 o bregethwyr yn perthyn i'r Trefnyddion Calfinaidd, o ba rai y mae tri yn frodyr, 6 yn perthyn i'r Annibynwyr, o ba rai y mae tad, a dau o'i feibion, ac un yn perthyn i'r Trefnyddion Wesleyaidd, i gyd yn 12 o rifedi, oll wedi eu geni a'u magu yn Dolwyddelen. Mae dau o honynt yn llafurio ymhlith y Saeson, un yn Swydd Devon, a'r llall yn Swydd Westmoreland.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXIII.] TACHWEDD, 1837. LLYFR VI.

## BUCHDRAETH CRISTIONOGOL.

### PHILIP MELANCTHON.

(Parhad tu dal. 292.)

CYNHELID eisteddfod Augsburg, yn yr hon yr oedd yr Amherawdwr Siarl V. yn bresennol; yn y flwyddyn 1530; a phennodid Melancthon i ddarparu crynodeb o'r egwyddorion gwrthdystiawl, fel y gellid ei osod o flaen eisteddfod Augsburg. Ac mewn ufudd-dod i'r cais yma, er nad heb ddagrau a gweddiau lawer, dan y teimlad o'i wendid, efe a gyfansoddodd yr hyn a elwir Cyffes Augsburg, yr hwn sydd yn cytuno yn mhob peth, oddieithr mewn perthynas i'r sacramentau, a'r namyn un deugain Erthyglau, a Chyffes Westminster. Wedi darllen y Gyffes Wrthdystiawl, parottowyd attebiad iddo, wedi ei dynu allan o ysgrifenadau y tadau; ac yn mhen tua phum mis wedi hyn, cyhoeddwyd deddf, yn erchi i bob un a esgeulusai wrando yr offeren, gweddio ar Mair, y saint, a'r delwau, a chadw y gwyliau, dan ysgymmundod yr amherodraeth. Dangosodd Melancthon lawer mwy o ddewrfrydedd yn ystod yr eisteddfod, nac a ellid ei ddisgwyl oddiwrth ei nodweddiad ef; ond wedi iddi fyned drosodd, efe a daflwyd yn isel iawn. Tra yr ydoedd yn y cyflwr isel yma, cyfarfu ef a Luther; yn nghyd a duwinyddion eraill, i ystyried pa beth a fyddai yn orau iddynt i'w wneyd yn eu cyfyngder presennol: ac wedi treulio peth amser mewn gweddi ar Dduw, oddiwrth yr hwn yn unig y gallent ddysgwyl cymmorth digonol ar gyfer y wasgfa, efe a alwyd yn ddisymmwth o'r ystafell, a sylwid ei fod yn ymddangos yn isel dros ben pan yn myned allan; ond tra fu allan, efe a ganfu rai o henuriaid yr Eglwysi Diwygiedig, a'u plwyfolion a'u teuluoedd. Yn eu mysg hefyd, yr oedd llawer o blant yn crogi wrth y bronau, tra yr oedd eraill heb fod nemmawr hynach, yn taer weddio; yr hyn a alwodd eiriau y prophwyd i'w gof, 'O enau plant bychain a rhai yn sugno, y peraist nerth, o achos dy elynion, i ostegu y gelyn a'r ymddialydd.' Wedi ei fywiogi drwy yr olygfa ryfedd yma, efe a ddychwelodd at ei gyfeillion, a'i feddwl wedi ei ddadlwytho, a'i wynebpryd wedi sirioli. Luther a synodd yn fawr wrth ganfod y cyfnewidiad mawr a gymmerasai le yn ei ymddangosiad, a gofynai iddo, 'Pa beth yn awr! pa beth a ddarfu i ti Philip, pan ydwyt mor siriol?' 'O foneddigion,' medd Melancthon, 'na ddigalonwn, canys myfi a welais ein noddwyr ardderchawg; a'r cyfryw ydynt, fel yr ydwyf yn credu, y profant yn anorchfygol i bob gelyn!' 'Attolwg,' eb Luther, 'pwy yw yr gwroniaid hyn, a pha le y maent?' 'Oh!' medd Melancthon, 'gwragedd ein plwyfolion, a'u plant bach ydynt, gweddiau y rhai a glywais pan fuais allan o'ch mysg; —a'r cyfryw weddiau oeddynt, fel yr wyf yn benderfynol y'u gwrandewir gan yr Arglwydd; canys yn gymmaint ac na ddarfu i'n Tad nefol, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, erioed wrthod, na diystyru ein dymuniadau, y mae genym le i fod yn hyderus na's gwna yn ein cyfwng hwn.' A gellir golygu y dywediad yma o'r eiddo, yn brophwydoliaethol o'r braidd; canys er i'r cwmwl ystormus barâu i grogi uwch eu penau, eto nid ymdorodd arnynt yn ystod y pymtheng mlynedd canlynol. Yn y cyfamser, efe a dderbyniodd wahoddiadau oddiwrth Francis I. o Ffrainc, a Hari VIII. o Loegr, i ymweled a'u breniniaethau; ond er yr ewyllysiai ef gydsyniaw, yr Etholydd a'i hattaliai. Bu mewn dadleuon o natur dangnefeddol lawer gwaith â'r Pabyddion, ac a Phrotestaniaid Switzerland; ond ni bu y dadleuon hyn mwy nac eraill o'u blaen

o nemmawr fudd, os buant o ddim; ond ei ymddygiad ef ynddynt a ennillodd iddo y nodweddiad o un mawr mewn doethineb a mwyneidd-dra Cristionogol, gan bawb galluog i werthfawrogi ei ymdrech awyddus am undeb Cristionogol; tra yr oedd y lliaws di-deimlad hyny, ydynt yn barotach bob amser i farnu eraill nac i'w barnu eu hunain, yn ei enllibio, gan ddywedyd, ei fod wedi gwadu y gwirionedd. Ond yr un ysbryd Cristionogol ag a barai iddo ef ymddwyn mewn addfwynder tuag at y rhai a gyfeiliornent, a'i harweiniai i wneyd ei ddyledswydd tuag at yr eglwysi gwrthdystiawl hefyd, er eu bod hwy yn ei gablu ef. Yn un o'i ddadleuyddiaethau a dwyfyddion Eglwys Rhufain, efe a ddywedodd, 'nad oedd un pwysigrwydd yn y Sacrament, heblaw ei fod o osodiad Dwyfol, ac nad oedd Crist yn wyddfodol er mwyn y bara, ond er mwyn y derbynydd,' ac felly tarawai ddyrnod angeuol ar arferiad y pabyddion o addoli aberth yr offeren. Pan adroddwyd hyn i Luther, efe a foddlonid gymmaint drwy y sylw, fel y dywedai, 'Rhagorol Philip! tydi a ddygaist oddiar y Pabaeth, beth na feiddiaswn I ei gynnyg.' Ar ryw dro arall, pan oedd ar gael ei ddyrysu gan dwyll-ddadl o eiddo ei wrthwynebwr Eckius, efe a ddywedodd, 'Myfi a'th attebaf y foru.' 'O, ni bydd gwiwdeb yn y byd yn hyny, oni elli fy atteb yn ddioed,' medd ei wrthwynebydd. I'r hyn yr attebodd yntau yn y geiriau hyn a ganlyn, 'Fy anwyl Athraw, nid fy ngogoniant fy hun, ond y gwirionedd yr wyf yn ei geisio yn hyn o orchwyl: am hyny y dywedaf, 'Os yr Arglwydd a'i myn, chwi a gewch atteb y foru.'

Yn y flwyddyn 1545, dechreuai trallodau newyddion, a rhwystrau ychwanegol ymbarottoi i'r Protestaniaid. Gwysiai y Pab gynghor cyffredinol, i'w gynnal yn Trent, a thra y gwrthdystiai y Protestaniaid yn ei erbyn trwy ysgrifell Melancthon, parottoai yr Amherawdr i derfynu pob dadleuon crefyddol drwy rym arfau. Ac er ychwanegiad at drallodau yr eglwys yn gyffredinol, a Melancthon yn neillduol, bu farw Martin Luther, ar y 18fed o Chwefror, yn y flwyddyn ganlynol. Yr oedd yr holl ddadl y pryd hyny fel yn bresenol, rhwng y Pabyddion a'r Protestaniaid, o barth awdurdod yr Ysgrythyrau fel unig reol llywodraeth yr eglwys Gristionogol. Yn nghyngorfa Trent, penderfynwyd derbyn llyfrau yr Apocrypha gyd a'r lleill yn ganonaidd, a chyfrif y traddodiadau o awdurdod gydradd a'r Ysgrythyrau: a bod i'r *Vulgate*, neu y Cyfieithiad Lladinaidd o'r Bibl, yn unig gael ei gyfrif yn awdurdodedig, a chyhoeddid anathemau ar bwy bynag a wrthddadleuai yn erbyn y deddfau hyn. Erbyn hyn yr oedd yr Amherawdr a'r Protestaniaid mewn rhyfel: a Maurice, Duc Saxoni wedi cymeryd gwobrwy gan yr Amherawdr am ruthro ar diriogaethau yr Etholydd, ar mai ei nai ydoedd yr Etholydd, John Frederic, yr hwn a gymerodd efe yn garcharor; a gwnaed Maurice yn Etholydd yn ei le; y rhyfel yma a barodd wasgaru Athrofa Wittemberg dros tua deuddeng mis; ac wedi ei therfynu, archai yr Amherawdr i bob dadleuon rhwng Protestaniaid a Phabyddion, gael eu dwyn i'w penderfynu o flaen Cynghor Trent. Yn y cyfamser lluniodd y Pabyddion fath o ddeddf unffurfiad, yr hon a wasgent ar y Protestaniaid, a thrwyddi bu raid i fwy na phedwar cant o weinidogion adael eu sefyllfeydd. Cymerodd Melancthon ei ysgrifell i fynu i wrthwynebu y gyfraith yma, ond caniattai gymmaint o'r hyn a ofynid ynddi ag a oddefai gair Duw, yr hyn a barodd i lawer ei gyhuddo, ei fod wedi bradychu rhyddid yr efengyl, a dychwelyd dan iau Pabyddiaeth: ac mor fawrion oeddynt y trallodau a gyfarfu oddiwrth ei frodyr mewn canlyniad i hyn, fel y buasai yn suddo danynt, oni buasai y cysuron a fwynäai ei enaid yn mhethau gwir grefydd. Nid ofnai nemmawr ar y trallodau a gyfodent oddiallan i'r eglwys, gan gofio addewid Duw, nas gadawai ei bobl; ac am y trallodau a gyfodent iddo ef yn yr eglwys, nid oedd yn prisio cymmaint, gan ei fod yn gydwybyddus o'i ddiniweidrwydd. A phan fygythid ei alltudio o'r wlad, efe a ddywedai yn llawen, 'Yr ydwyf yn dymuno yn ddifrifol iddynt wneyd ar frys, fel y dywedodd Mab Duw wrth Iudas; os byddaf farw, caf dderbyniad i'r nefoedd; ac os arhosaf yn y corff, myfi a gaf gymdeithasu â gwyr duwiol a dysgedig eto, yn yr Almaen neu ryw le arall.'

Yn y flwyddyn 1557, bu farw ei wraig, o'r hon y buasai iddo bedwar o blant; wedi bod mewn undeb prïodasol, a gwir serchawgrwydd cristionogol, dros 37 o flyneddoedd.

Rhaid fod hyn yn golled fawr i wr o deimladau mor dyner a chartrefol ag oedd Melancthon; ond fel un oedd yn dysgu ymddiddyfnu oddiwrth y byd er's dyddiau, efe a dderbyniodd y newydd o hyn (canys yr oedd efe oddi cartref yn anocheladwy pan fu farw) yn dawel ac ymostyngar i ewyllys Duw; gan ganu yn iach i'w anwyl Catherine, ac ychwanegu, ei fod ef yn dysgwyl cael ei dilyn yn fuan.

Ni bu Melancthon byw dros ddwy flynedd a hanner ar ol ei briod, ac yn y cyfamser, yr oedd efe yn addfedu yn amlwg i ogoniant; pan fyddai rhai o'r hen gyfeillion duwiol yn meirw o'i amgylch, efe a ddywedai, 'Gadewch i ni lon-gyfarch hwn a hwn, sydd wedi ei symmud yn bresenol i gymdeithas ddedwyddol yr Eglwys nefol, a chymheller ni drwy ei esampl, i ymbarottoi i'r unrhyw daith.' Fel yr oedd yn teimlo gan ei wendidau cynnyddol, fod ei ddiwedd yn nesâu, efe a ysgrifenai amryw resymau paham y dymunai adael y byd hwn a myned i'r nefoedd. Yr oedd yn hoff iawn o'r ieuenctyd, ac ymdrechgar am wneuthur lles iddynt.

Y chwedl ganlynol a ddywedid am dano, Rhyw Ffrancwr a ddeuai i'w dŷ un diwrnod, ac a'i cafodd a'i lyfr yn ei law, yn siglo crŷd ei blentyn; yr hyn a barodd syndod mawr i'r ymwelwr; ond Melancthon a ddechreuodd ymadroddi wrtho mor serchog a duwiol-frydig, ar ddyledswyddau rhieni, a gofal y nefoedd am blant bychain, fel y trowyd ei syndod yn fuan yn fawrygiad o'r fath ymddygiad. A'r unrhyw deimlad o serchawgrwydd at blant a'i meddiannai hyd y diwedd. Y diwrnod cyn ei farw, wrth weled un o'i wyrion bach yn agos ato, efe a ddywedai wrtho, 'Fy anwyl blentyn, myfi a'th gerais â'r serchawgrwydd tyneraf: edrych am barchu dy rieni, ac ymdrechu i ryngu bodd iddynt bob amser, gan ofni Duw, yr hwn ni'th wrthyd byth: a'm dymuniad yw, am iti gael cyfrannogi o'i fendith wastadol ef.'

Boreu y 19eg o Ebrill, 1560, efe a ymddiddanai a'i gyfeillion yn siriol, gan ddatgan ei hyder y ffynai egwyddorion y diwygiad, gan eu bod yn wirionedd, gan ychwanegu y geiriau hyny gyda dwysder, 'Os yw Duw trosom, pwy a all fod i'n herbyn?' Ac ynghorff y dydd, wedi crybwyll yr ysgrythyr hono, 'Gan ein bod wedi ein cyfiawnâu drwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist,' efe a ddangosai ei fod ef yn parâu yn wr tangnefeddus o hyd, gan gynghori ei fab yn nghyfraith yn ngeiriau Dafydd, 'Melldithiant hwy; ond bendithia di;' a thrachefn, 'Hir y trigodd fy enaid gyda'r hwn oedd yn casâu tangnefedd: heddychol ydwyf fi; ond y maent hwy yn barod i ryfel.' Pan ofynodd ei ddaw iddo, a oedd arno eisiau dim, efe a attebodd, 'Nac oes, ddim ond y nefoedd;' ac yna dymunai gael llonydd; a'r prydnawn hwnw, efe a ymadawodd mewn tangnefedd i'r anneddle dawel; wedi bod 64 o flynyddoedd yn y byd trallodus hwn, ac efe a gladdwyd yn agos i Luther, yn eglwys castell Wittemberg, Ebrill 21, 1560.

*Wyddgrug.* OWEN JONES.

---

### CRIST FEL CYFRYNGWR YN WRTHRYCH O DRAGYWYDDOL RYFEDDOD.

A allasai meddwl meidrol dynion neu angylion fyth ddyfeisio, llawer llai ddwyn i ben *ymgnawdoliad* Duwdod? Gwisgo yr Hollalluog, y Duw anfeidrol, â chig a gwaed? Ac ymostyngiad Brenin y brenhinoedd i ddull ac agwedd gwas! A allasem ni meddaf, fyth feddwl am y fath Cyfryngwr yr hwn a fyddai yn *ddyn* fel y gallai ddioddef a marw, ac yn *Dduw* fel y gallai roddi gwerth anfeidrol yn y dioddefiadau hyny! Cyfryngwr, yr hwn, gan gymmeryd ein natur ni, a ddyoddefodd ddyrnodiau digofaint anfeidrol, a chan ei fod yn feddiannol ar natur ddwyfol, gallodd gynnal holl bwys ei ddioddefiadau, heb soddi.

Y cyfryw Gyfryngwr, ar a allai nid yn unig, drwy ei ufudd-dod *dyoddefol*, ryddhau rhwymau angau, a gwaredu ein heneidiau rhag uffern; ond hefyd drwy ei gyfiawnder *gweithredol*, sicrhau i ni hawl i ogoniant y nefoedd, a bendithion tŷ ein Tad. Bydd hyn yn destyn rhyfeddod a mawl i dragywyddoldeb!—*Beauties of South.*

Chwi fydoedd fry, rhyfeddwch oll am hyn,
Cyfryngwr gawd, mae in' yn Dduw a dyn,
Gadawodd ef drigfannau claer y ne,
I'r ddaear daeth, bu farw yn ein lle.

Trwy fod e'n ddyn, dioddefodd angau'r groes,
Trwy fod e'n Dduw, anfeidrol werth a roes;
Dwy natur lân a drigent ynddo'n llawn,
Anrhydedd rhodd i'r ddeddf, cyfiawnder Iawn.

*Caerlleon.* J. MORRIS.

## DIWEDDGLO PREGETH

*A draddodwyd oddiar Psalm* 89. 15. '*Gwyn fyd y bobl,*' *&c. yn Nghapel Pall Mall, Liverpool, Medi* 18, 1836. *gan y Parch. T. Phillips, Goruchwiliwr y Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor.*

Os 'y bobl a adwaenant yr hyfrydlais' *yn unig* sydd yn wynfydedig; pa beth a feddyliwn, pa beth a ddywedwn am y myrddiynau sydd heb efengyl—heb weinidogion—heb ysgolion—heb sabbathau, nac unrhyw ragorfreintiau crefyddol! Mae yn y byd fil filiwn o drigolion; ac o'r rhai hyn, y mae 630 o filiynau yn Baganiaid eilunaddolgar; 181 o filiynau yn Fahometaniaid ofergoelus; 12 miliwn yn Iuddewon gwargaled; ac nid oes ond 170 o filiynau yn gwisgo yr enw Cristionogol; a thrwm yw dywedyd fod can miliwn o'r rhai hyn yn Babyddion coel-grefyddol.

Diau fod dwy ran o dair o drigolion y byd heb eu bendithio â Beiblau a chenhadau; ac, O, mor ddwys yr ystyriaeth fod hanner cant o ddynion heb Feiblau yn marw bob munud trwy'r flwyddyn,—yn wynebu angau heb oleuni, yn ymddangos yn y farn a'r byd tragywyddol, heb erioed glywed na darllen am ffordd iechydwriaeth! Anwyl gyfeillion, onid oes rhwymau arnom i dosturio wrthynt, a gweddio drostynt, ac i anfon 'yr hyfryd-lais' iddynt? Dylem gofio na wna tosturiaethau a gweddiau yn unig ddim o'r tro, heb ymdrechiadau cysson, ffyddlon a diflino, o blaid y Gymdeithas Feiblaidd, sydd yn amcanu rhoddi

'Beibl i bawb o bobl y byd.'

Mae yn ddiammeu y gallai yr Arglwydd ddwyn ei fwriadau i ben heb ein cymmorth gwan ni. Gallai beri i Feiblau dyfu o'r ddaear fel y glaswellt—neu ar y coedydd fal afalau. Gallai eu gwlawio o'r nef, fel yr eira gwyn, ar ben y bryn, neu fel y manna yn ngwersyll yr Israeliaid. Ond nid ei allu ydyw ei reol. Mae yn gweled yn dda 'trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu.'—Er hyny teilwng ydyw gofyn, 'Pa fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant heb bregethwr? a pha fodd y pregethant onis danfonir hwynt?'

Mae yr Arglwydd daionus yn defnyddio moddion i gyflawni ei amcanion, a braint arbennig ydyw cael rhyw ran fechan yn y gwaith o wneuthur ei air yn hyspys i'r lluoedd sydd 'yn eistedd yn mro a chysgod angau.' Ac megis ag y mae hyn yn ddyledswydd arnom, felly y mae y fraint yn gyrhaeddadwy i bawb o honom. Ac os, yng ngwasanaeth eulunaddolgar y cenhedloedd, y gwelir pawb yn gwneuthur eu rhan:—'Y plant sy'n casglu cynnud, a'r tadau yn cynneu tân, a'r gwragedd yn tylino toes, i wneuthur teisennau i frenhines y nef, ac i dywallt diod offrymmau i dduwiau dieithr, i ddigio Duw;' pa faint mwy y dylai pawb yn ein plith ni wneud eu heithaf a'u goreu tu ag at i'r trueiniaid hyn gael eu dwyn o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant satan at y gwir Dduw?

Pa foddion sydd yn effeithiol at hyn, ond yr Efengyl, sydd 'yn allu Duw er iechydwriaeth i bob un sydd yn credu?' A pha lwybr gwell ellir ei gael tu ag ddangos ein tosturi at y paganiaid, a'n cariad at Grist, na chyfrannu yn haelionus at y 'Bibl Gymdeithas Frutanaidd a Thramor?' Afreidiol i mi ddywedyd llawer am y Gymdeithas wrth bobl sydd yn adnabyddus â hi, ac yn arfer cyfrannu tu ag atti. Digon yw, dywedyd, ei bod o'r dechreuad wedi bod yn fendith i Brydain fawr, ac i'r byd; ac yn enwedig i y rhan hyny o Brydain â pha un yr ydym ni yn gyssylltiedig, o ran genedigaeth a thafodiaith. Mae y Cymry wedi cael oddiwrth y Feibl Gymdeithas fwy na Thri chant a hanner o filoedd o Fiblau a Thestamentau, a'r rhai hyn fel cynnifer o ffrydiau iachusol, wedi peri i'n hanialwch flodeuo fel y rhosyn. Mewn deuddeg mlynedd ar hugain mae y Gymdeithas wedi lledaenu yn ein gwlad ni fwy na naw miliwn a hanner o gopiau o'r Ysgrythyr, ac wedi bod yn foddion i daenu mewn gwledydd tramor, trwy gyfrwng Cymdeithasau o'r un natur, fwy na chwe miliwn a chwarter; yn gwneuthur un cyfanswm mawr o un ar bymtheg o filiynau o Feiblau a Thestamentau; a'r llyfrau hyn mewn cant a dwy ar bymtheg a deugain o wahanol ieithoedd. Mae mwy wedi ei wneuthur tuag at oleuo'r byd, trwy gyfieithu, argraffu, a lledaenu yr Ysgrythyrau Sanctaidd, trwy offerynoldeb y Bibl Gymdeithas yn yr hyn sydd wedi myned heibio o'r bedwerydd canrif ar bymtheg, nag a wnaethpwyd yn y deunaw canrif o'r blaen, 'Yr Arglwydd

yn ddiau a wnaeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni.'

Mae y Gymdeithas, dan fendith yr Hollalluog, wedi gwneuthur rhyfeddodau; mae wedi sefyll y gwrthwynebiadau mwyaf; wedi gorchfygu y gelynion gwaethaf; wedi cael y buddugoliaethau gogoneddusaf, ac wedi cyflawni y daioni penaf. Mae y cwmmwl bychan megis cledr llaw gwr a welwyd gynt ar fynyddoedd Cymru, yn awr wedi cynnyddu i'r fath raddau, nes y mae yn gorchuddio yr awyr ëang, ac yn gwlawio bendithion gras, ar grindir cras y byd. I gynnorthwyo y Gymdeithas yr wyf yn gofyn eich cyfraniadau a'ch gweddiau. Yr ydych yn arferol o gyfrannu yn ffyddlon, ond cyfranwch heddyw yn fwy ffyddlon nac arferol. Mae maesydd newydd yn agor i'r Gymdeithas, a'r rhei'ny yn ëang iawn, a chyd a bod rhagluniaeth yn agor drysau i'w llafur, yr ydym yn hyderu y bydd i'w chyfeillion a'i thrysorfa gynnyddu yn gan cymmaint.

Yr wyf yn gobeithio fod pawb sydd yma a'u meddyliau ar waith 'yn dychymyg haelioni.' Rhoddwch brawf o wresogrwydd eich cariad yn helaethrwydd eich cyfraniadau. Gadewch i ddymuniad, a theimlad eich calonnau, effeithio yn rymus ar gynhwysiad eich llogellau. Arllwyswch hwy am unwaith ar allor y Bibl Gymdeithas, ac yna ewch adref yn ysgafn-droed, i weddio yn eich ystafelloedd, am i Dduw dderbyn eich offrwm, a llwyddo ei waith. Cydddymunwn, cyd-lafuriwn, a chyd weddïwn yn yr achos hwn. Rhoddwn law i gynnorthwyo, ac enaid cynnes i weddio, ac felly ni a gawn y fraint o wneuthur rhywfaint tu ag at brysuro,

'Hyfryd ddyddiau'r mil blynyddau
Amserau goreu i gyd,
Ddaw ar deyrnas y Messias
Cyn y delo diwedd byd.'

O. Y.—Casglwyd yn Pall Mall tu ag at y Bibl Gymdeithas £73. ac yn y pedwar Capel perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd £184. 3s. 3½d.

---

## AMSER.

Amser yw un o'r pethau mwyaf annarlunedig sydd mewn bod—mae yr hyn oedd wedi diflanu, y dyfodol heb ymddangos, a'r presennol yn myned heibio hyd yn oed pan yn ceisio ei ddarlunio; fel y fellten yn ymddangos, wedi hyny yn diflanu. Amser yw mesurydd pob peth, ond y mae ei hun yn anfesurol—y mae yn datguddio dirgeledigaethau, ac er hyny yn para ei hun yn annatguddiadwy—Y mae yn ddirgelach yn ei darddiad na'r *Nile*, ac yn ei derfyn na'r *Nigre*; yn dyfod ymlaen fel y llanw arafaf, ac yn cilio fel y ffrwd gyflymaf.—Y mae yn rhoddi adain i bleser, ond traed o blwm i boen—yn cennadu dysgwyliad lanw y meddwl, ond yn rhoddi *spardun* yn y mwynhâd o'r hyn a ddysgwylid—y mae yn lladratta y blodau oddiar harddwch, ac yn anrhegu ei ddarlun âg ef, ac yn adeiladu côf-adail i rinwedd, ond yn gomedd iddo dŷ i breswylio—twyllodrus wenieithydd celwydd yw, ond gwirionedd a phrofiadol gyfaill geirwiredd. Amser yw yr anrhaithydd cyfrwysaf, ac wrth ymddangos i beidio cymmeryd dim, y mae yn yspeilio y cwbl; ac ni ellir ei ddigoni nes y dygo y byd oddi arnom ni, a'n dwyn ninau o'r byd. Y mae yn ehedeg yn wastadol ac yn gorchfygu pob peth wrth ehedeg, ac er ei fod yn awr mewn cyngrair âg angau, bydd yn fuan yn angau i angau ei hun.

Amser! cryd gobaith, a bedd awyddfryd —llym geryddwr ffyliaid, ac iachusol gynghorwr y doethion; yn dwyn yr oll a ofnent i'r naill, a'r oll a ddymunent i'r lleill. Ond fel *Cassendra* yn ein rhybuddio â llais, y y mae hyd yn oed y doeth yn ei anghredu yn rhy hir, a'r ynfyd yn ei gredu yn rhy ddiweddar.

Y mae doethineb yn cerdded o'i flaen, cyfleusdra gydag ef, ac edifeirwch ar ei ol —yr hwn a'i gwnaeth yn gyfaill iddo, ni fydd ganddo ond ychydig i'w ofni oddiwrth ei elynion; a'r hwn a'i gwnaeth ef yn elyn iddo, a gaiff ond ychydig i'w obeithio gan ei gyfeillion. 'Yn awr yw yr amser cymmeradwy, yn awr yw dydd yr Iachawdwriaeth.'—*Deiliad Amser.*

---

# Rhagoriaethau y Bibl.

### II. MARC.

Marc, yr efengylwr, enw Hebrëaidd yr hwn ydoedd Ioan, oedd fab i wraig dduwiol o Jerusalem, yn nhŷ yr hon byddai yr apostolion a'r cristionogion cyntefig yn cyfarfod yn fynych i weddïo, Act. xii. 12.

Tybir iddo gael ei ddychwelyd trwy weinidogaeth Petr, yr hwn sydd yn ei alw yn fab iddo, 1 Petr v. 13. Bu Marc yn cyd-deithio â Paul a Barnabas yn eu llafur cenhadol trwy amrywiol wledydd, ond, yn gwrthod eu dilyn trwy eu holl daith, efe a ddychwelodd at yr apostolion i Jerusalem, Act. xiii. 5—13. Yr ydym yn ei gael drachefn yn Antioch, Act. xv. 37. o ba le yr aeth gyd â Barnabas i Cyprus. Efe yn ganlynol a ddilynodd Timothëus i Asia, lle y cafodd Petr, gyd â'r hwn y meddylir, y dychwelodd drachefn i Rhufain, Col. iv. 10. ac yr ysgrifenodd yr efengyl a elwir ar ei enw.

Dywedir i Marc gael ei anfon gan Petr gymhorth achos Iesu Grist yn yr Aipht. Bu ei weinidogaeth yn hynod o lwyddiannus yn Lybia, Marmorica, a Pentapolis. Efe a ddychwelodd i Alexandria, lle y dyoddefodd amrywiol erledigaethau llymdost oddi wrth y werin eilunaddolgar, yn amser cadwraeth un o wyliau mawrion Serapis, un o dduwiau yr Aiphtiaid, ac y bu farw o'r archollion a roddodd ei elynion iddo fel yr oeddynt yn ychwanegu eu harteithiau ar ol noswaith o garchariad.

### III. LUC.

Luc, yr efengylwr, ydoedd frodor o Antioch, ac o ran ei alwedigaeth yn physygwr. Tybia rhai ei fod yn un o'r deg a thriugain o ddisgyblion Crist; ond mae hyn yn ymddangos yn anghywir oddiwrth ei sylwadau ei hun yn nechreuad ei efengyl.

Yr ydoedd yn gydymaith cyson a ffyddlawn i Paul yn ei amrywiol deithiau, ei lafur a'i ddyoddefiadau. Efe a ysgrifenodd ei efengyl yn Achaia, oddeutu O. C. 63, ac Actau yr Apostolion oddeutu O. C. 64. Y ddau lyfr hyn a gyflwynwyd yn enwedigol i gristion enwog a elwid Theophilus, yr hwn fel y tybir ydoedd Aiphtwr. Gan rai, dywedir i Luc ddyoddef merthyrdod dan yr Ymerawdwr Rhufeinig Nero; ond eraill ydynt yn haeru iddo gael ei grogi ar bren olewydden yn Groëg gan blaid o baganiaid.

### IV. IOAN.

Ioan, yr efengylwr a'r apostol, ydoedd fab Zebedëus, pysgodwr o Bethsaida, tref yn Galilea. Galwyd ef a'i frawd Iago gan Grist i fod yn apostolion iddo; ac o herwydd eu hyawdledd grymus, cyfenwyd hwy ganddo, Boanerges, meibion y daran. Yr ydoedd Ioan yn anwyl ragorol gan ei Arglwydd; ac i'w serchogrwydd ef y gorchymynodd ofal ei fam pan ar y groes. Gan adael Indea cyn dinystr Ierusalem, efe a lafuriodd yn benaf yn Asia Leiaf, yn enwedig yn Ephesus. Credir i'r eglwysi yn Pergamus, Thyatira, Philadelphia, a Laodicea gael eu sylfaenu ganddo ef. Yn yr erledigaeth dan Domitian, yr Ymerawdwr Rhufeinig, dywedir i Ioan gael ei roddi mewn pair o olew berwedig, yn mha un yr arosodd bedair awr heb niweid. Wedi ei dynu allan efe a alltudiwyd i ynys Patmos, lle yr anrhydeddwyd ef â gweledigaethau gogoneddus ei Iachawdwr dyrchafedig, ac yr ysprydoliaethwyd ef i ysgrifenu llyfr y Datguddiad. O'r ynys hon efe a ddychwelodd y flwyddyn ganlynol, ac a drigodd yn benaf yn Ephesus, hyd O. C. 100, pan, yn anwyl gan bawb, ac yn yr oedran mawr o ddeutu can mlwydd, efe fu farw mewn heddwch yn mysg ei gydgristionogion. Y tri epistol, a'r efengyl, y rhai ydynt yn dwyn enw Ioan, a ysgrifenwyd gan yr apostol hwn.

---

### SYLWADAU AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O GANU MAWL.

(Parhad tu dal. 302.)

Ond ni olygir (tebygwyf) gan neb deallgar a diragfarn y dylid bwrw yr hymnau allan yn llwyr o ganiadau yr Arglwydd, ac ni ysgrifenwyf y pethau hyn i'r dyben hwnw. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng arfer hymnau yn gymhesur â'u harfer i'r graddau y gormesir trwy hyny ar ddefnyddiad dyladwy o'r Psalmau. Y mae llawer o'r hymnau yn dda ac adeiladol, wedi eu tynu allan o ran y sylwedd o honynt o'r ysgrythyrau sanctaidd, a diau y byddai yn golled fawr i eglwys Crist yn mhlith y Cymry pe yr ymddifadid hi o honynt.

Megis ag y bernir gan bawb yn gyffredinol, bod darllen rhan o'r Bibl yn dra addasi ddechreu addoliad, golygid gan lawer o'n tadau bod canu rhan o Psalm yn addasach na hymn i ddechreu addoliad, a bod hymn gymhwys mor addas i ddiweddu. Felly yn gyffredinol y gweithredid yn nechreuad y diwygiad presennol, ac am hir amser wedi'n, ond yn awr y mae dirywiad yn hyn yn ymdaenu, mal y byddis yn aml am sabbathau cyfain heb gymaint ag un Psalm yn y gerddoriaeth! Ac oni wawria diwygiad yn fuan yn hyn, pan el ychydig o'r

rhai hynaf yn ein plith i'r bedd, rhaid goddef mewn cydmhariaeth gladdu y Psalmau o ran y defnyddiad o honynt yn nghaniadau yr Arglwydd, gydâ hwynt, canys hwynt-hwy yn benaf sydd yn ymlynu fwyaf wrthynt.

Nid ysgrifenwyf hyn i feiaw ar ereill, y mae hyny yn mhell islaw fy nôd a'm dyben. Nid fy hoff waith yw cyhoeddi gwendidau. Ond er nad wyf yn gallu trin hyn ond yn brin mewn modd boddaol i'm fy hun, ac er efallai mai felly y bydd i ereill, etto yr wyf yn sicr fy mod yn sefyll ar dir cadarn:—mae y mater yn dda a theilwng—Rhagoroldeb ardderchawgrwydd y Psalmau, yw, yn nghyd ac ordeiniad a sefydliad yr Arglwydd o honynt i fod yn ei addoliad.

Y mae mai mewn dull barddonol y cyfansoddwyd y Psalmau yn brawf bod yn gyfreithlon ac y dylid eu cyfieithu a'u defnyddio felly yn holl ieithoedd y byd.

Mae genym ni y Cymry liosogrwydd o gyfieithiadau o'r Psalmau yn farddonawl neu ar gân. Y perffeith'af ac y rhagoraf o honynt oll yw cyfieithiad y Parch. Edmund Prys. Yn lle ceisio gosod allan ragoroldeb ac ardderchawgrwydd y cyfieithiad hwn yn fy ngeiriau fy hun, benthycaf ymadroddion y diweddar Barch. Thos. Charles. Nid am fy mod yn golygu bod yr hyn oll a lefarodd Mr. C. idd ei ystyried fel yn anffaeledig, ond am nad wyf yn gwybod am eiriau cymhwysach na y rhai a ddefnyddiodd efe, i osod hyn allan, ac am ei fod mewn modd teilwng i'r Psalmau, y cyfieithiad, ac iddo ei hun, yn llefaru mewn iaith ac ymadrodd uwch ac ardderchocach nac efallai y buasai weddus i un o'm grâdd a'm gwybodaeth i wneuthur. Medd efe-'Er bod rhai llinellau yn anystwyth a rhai geiriau yn annealladwy i'r cyffredin yn nghyfieithiad yr Archdiacon Prys, etto a'i olygu gydâ ei gilydd, rhaid i bawb deallus ei farnu yn orchestwaith rhagorol, a'i fod yn rhoddi meddwl yr Ysbryd Glan allan mor gywir ag a wnawd neu a ellir ei wnëyd mewn un cyfieithiad.* Mae ei gyfansoddiad yn beraidd ei flas, yn aml yn ardderchawg, ac adeiladol.—Yn addasach i addoliad cyhoeddus na dim arall a welodd yr ysgrifenydd yn yr iaith Gymraeg hyd yn hyn. Gall caniadau ereill fod yn fuddiol i'w darllen a'u canu wrthym ein hunain, ond yn yr addoliad cyhoeddus mwy ardderchawg, syml, sobr, ac adeiladol yw cyfieithiad yr Archdiacon o ganiadau peraidd ganiadydd Israel.'

Mae'n wir ddarfod i gyfieithiadau o'r Psalmau ar gân ymddangos yn yr iaith Gymraeg ar ol i Mr. C. ysgrifenu felly, ac y mae llawer o honynt yn dda a defnyddiol a'u hystyried fel caniadau ar olygiad o'r Psalmau, ond er hyn, y mae cyfieithiad yr Archdiacon yn cadw ei radd a'i urdd yn eu plith o hyd. Anweddus a dianghenrheidiol a fyddai i mi sylwi ar ffaeleddau nac anmherffeithrwydd unrhyw gyfieithiadau er arddangos rhagoroldeb y cyfieithiad hwn, canys y mae ei ogoniant a'i ardderchawgrwydd idd eu canfod yn ddigon amlwg yn ei oleuni ei hun. Nid oes eisiau ond cydnabyddiaeth ag ef i beri i bawb deallus ei hoffi.

Yr oedd dau neu dri o bethau yn cydgyfarfod yn Edmund Prys y rhai a gydweithredent yn wasanaethol er y rhagoroldeb hwn yn ei gyfieithiad o'r Psalmau i'r iaith Gymraeg.—Yr oedd efallai yn feddiannol

* Os yw cyfieithiad yr Archdiacon Prys mor rhagorol, onid doeth ac adeiladol a fyddai ei adael yn ei ffurf wreiddiol heb ei gyfnewid na'i ffugddiwygiaw? Gorchwyl daionus a chanmoladwy yw cyfieithu y Psalmau ar gân, a byddai ddymunol pe defnyddiai mwy o'n Beirdd deallus eu talentau yn hyn. Ond gwaith tra beius yw cyfnewid cyfieithiad da, a thrwy hyny gymmylu ystyr y Psalmau a meddwl yr Yspryd Glan ynddynt, yr hyn yn aml a wneir yn y diwygiadau, a gamenwir felly, a wneir yn y cyfieithiad hwn, fel y gwel pob un ystyriol a gymmero y drafferth o gydmharu y Psalmau, y cyfieithiad a'r ffugddiwygiadau hyn a'u gilydd. Gwelais yn ddiweddar gyfnewidiad yn Ps. 16. 2, yn lle, '*Fy* Arglwydd wyt,' fel y mae yn wreiddiol ac y dylai fod, '*Yr* Arglwydd wyt.' Gellid golygu mai y dyben o'r cyfnewidiad hwn, fel ereill cyffelyb iddo, ydoedd, gwneuthur y geiriau yn fwy cydffurf â chred a phrofiad yr addolwyr. Ond esgusodiad rhy ysgafn y ceir hwn: canys nid eisiau nyddu yr ysgrythyrau i ffurf yr addolwyr y sydd, eithr gweithio yr addolwyr idd eu ffurf hwynt, i ufuddâu o'r galon iddynt. Dywed un,—'Nid gwaith a ennill glod yw trwsio Edmund Prys.' Dywedaf finnau, llai y gwna y gorchwyl o drwsio gwaith yr Yspryd Glan, ennill clod. Nid llai pechadurus cyfnewid ysgrythyr ar gân nag mewn rhyddiaith.

ar ddoniau barddonol i helaethach graddau na neb arall a gymmerodd y gorchwyl o gyfieithu y Psalmau mewn llaw ar ei ol ef— Yr oedd hefyd yn gyfoethog fel Cymro, ac yn dra hyddysg yn nhrysorau yr iaith Gymraeg, yr hyn oedd yn hollol anghenrheidiol er cael cyfieithiad addas o'r Psalmau yn yr iaith hon. Heblaw hyn yr oedd yn ddysgedig yn yr iaith Hebraeg yn yr hon y llefarwyd y Psalmau yn eu ffurf wreiddiol, ac mewn ieithoedd ereill i ba rai y cyfieithiasid y Psalmau, ac felly yr oedd yn gallu craffu arnynt yn eu ffurf gynhenid, ac ymgynghori â chyfieithiadau o honynt, yr hyn oedd eithaf anghenrheidiol a thra manteisiol iddo er dwyn allan gyfieithiad cywir ac addas o honynt yn yr iaith Gymraeg. Ond i goroni y cwbl, y mae yn ddiammheuol ddarfod i'r Yspryd Glan yn ol ei fawr ddaioni, yr hwn a gynhyrfodd ei ddynion sanctaidd i gyfansoddi y Psalmau, ei gymeryd yn ei orchwyl pwysfawr o gyfieithu y Psalmau i'r iaith Gymraeg, yn ei law, gan roddi goleuni, doethineb, cyfarwyddyd ac arweiniad iddo, ac felly, tebygol y bydd ei gyfieithiad yn drysor gwerthfawr i eglwys Crist yn mhlith y Cymry holl ddyddiau y ddaear. A diau na bydd ein llyfrau caniadau ond anmherffaith hyd nes y caffom y cyfieithiad hwn yn gyflawn neu arall o'i gydradd, yn ein plith.

Bellach wrth adael hyn, gofynaf yn os tyngedig, a gaiff yr ymdrechiadau gweiniaid hyn o'r eiddof fod yn wasanaethol mewn rhyw raddau er derchafu y Psalmau yn ein plith idd eu sefyllfa briodol yn nghaniadau yr Arglwydd. Os cânt, cyfrifaf hyny yn fraint oruchel. Ond pe yn ofer yr aent, y mae hyn yn ddifai gorchwyl i mi fod gyd ag ef.—Bu ereill gwell ac uwch na myfi yn llafurio gydâ hyn o'm blaen, ac hyd yn hyn nid oes llawer o ffrwyth eu llafur wedi ymddangos, er, tebygol, ddarfod iddynt hau had a dyf yn ei amser yn gynnyrch toreithiog. Os dywedais ryw beth, neu os dygais ryw beth ar gof a ddywedasid gan ereill o'm blaen, a fydd yn wasanaethol er dwyn y Psalmau i sylw dynion ysprydol, ateba ddyben mawr, canys nid oes eisiau ond yn unig dwyn y Psalmau cân trwy ryw foddion i sylw ac ystyriaeth dynion deallgar ac ysprydol fel y cymdeithasont ychydig a hwynt, na weithredant yn union gyrchol mewn modd teilwng tu ag attynt. Ond pe na welid, na chlywid, ac nad ystyrid hyn yn bresennol, y mae yn hyfryd edrych yn mlaen ar ddyfodiad hyn oddiamgylch trwy ryw foddion amser a ddaw. Y mae diwygiad trwyadl i fod ar grefydd etto, helaethach ei ledaeniad a hwy ei barhad nag yr un a fu, ac fel yr ennillai y Psalmau eu tir ymhob diwygiad gwirioneddol a fu ar grefydd, felly y bydd iddynt etto, dygir hwynt i mewn ac adferir hwynt idd eu sefyllfa briodol, a byddant felly o leiaf dros fil o flynyddoedd.

(I'w orphen yn y nesaf.)

---

### DIODDEFAINT EIN IACHAWDWR BENDIGEDIG.

Fe fu ein Harglwydd a'n Iachawdwr gogoneddus mewn sefyllfa ryfedd gynt yn yr ardd: canys pan oedd efe ynghanol ei ddioddefiadau dirboenus, ei ing, a'i gyfyngder annirnadwy, yr oedd cleddyf yn cyrhaedd ei yspryd, ac yn trywanu i'w enaid dihalog, nes y ffrydiodd gwaed trwy ei gorff sanctaidd! Yr ymdrechiadau a gloesion y tufewnol ddyn a achosodd y *chwys porphoraidd* dirfawr hwnw, yr hwn oedd fel defnynau gwaed yn disgyn i'r ddaear, fel ag y coffâ St. Luc mewn perthynas i hyn. Drwy hyn efe a sathrodd win-wrŷf digofaint Duw, hyd nes y daeth 'yn *goch* ei ddillad,' a'i holl wisgoedd gwedi eu lliwio gan waed! Pa dafod a all draethu, pa ddawn a all fynegu, a pha feddwl a all fyth ddirnad gymmaint oedd y cyfyngder rhyfeddol hwnw yr aeth Mab Duw dano yn yr amser cofiadwy fyth hwnw, pan oedd ei enaid yn 'drist iawn hyd angau!' *Pechod*, y gospedigaeth a'r digofaint a haeddai pechod, a ymddangosent yn rhyferthol yn eu holl agweddau dychrynllyd! Y *dianrhydedd* a wnawd i Dduw, a'r *niwed* a gafodd dyn; ynghyd a holl ystyriaethau deffröawl a thanbeidiawl yn cydgyfarfod mewn un ymdrech arswydus i orlwytho ei enaid difrycheulyd!

Dywedwch chwi angylion synedig, a chwithau fydoedd crynedig, a fu erioed y fath ofid, a'i ofid *ef?* O, y fath ddiwrnod i'w gofio byth oedd hwnw, pan gystuddiodd yr

Arglwydd *ein Mechniydd ni*, fel ein gwareder, ac ein hadferer ni i berffaith lawenydd paradwys.—*Beauties of South.*

---

MYFYRDODAU PWYSIG AR WAITH Y WEINIDOGAETH.

Wedi i'r drych-feddwl gael ei ffurfio, yr ymadrodd ei drefnu, a'r bregeth ei chyfansoddi; gosodaf y gofyniadau dwys canlynol at fy nghalon:—

A ydyw hyn oddiwrth Dduw? A ydyw hyn yn ol gair Duw? A ydyw hyn er achubiaeth, cysur, ac adeiladaeth yr enaid? A ydyw hyn er gogoniant i enw goruchel fy Nuw? A saif hyn brawf cyfiawn ac ofnadwy y farn, ac a fydd yn hyfryd genyf i edrych dros fy mhregethau yno.

Fy enaid, cofia fod y cwbl yn cael ei wneud am dragywyddoldeb, ac y bydd yr oll yn dy gyfarfod di yno.

O na allwn ffurfio pob meddwl, dweud pob gair, a phregethu pob pregeth, fel â fy anadliad diweddaf!

Beth bynag a ysgrifenwyf yn fy llyfr-gell, Duw sydd yn ysgrifenu yr un peth yn y nefoedd: y ddau gyfrif a osodir ar gyfer eu gilydd y dydd y daw pob peth dirgel i'r golwg. A fydd i mi i ddal y pryd hwnw heb wrido a gwylltu?

Pa fodd y beiddiaf ddywedyd *ewch* wrth fy ngwrandawyr yn *fy mhregeth*, os na allaf ddywedyd *deuwch* wrthynt lawn mor uchel yn *fy ymarweddiad*?

Gosoder celain yn ymyl dyn marw, bydd mor dawel a boddhaol a phe bae yn y gyfeillach hyfrydaf; ond nis gall y byw oddef ei sawyr: felly, pregeth oer, gnawdol, a di-Grist a eill yn hawdd gyflawn foddhau y dyn diadgenhedledig, ond rhaid i'r enaid byw i gael Crist croeshoeliedig i ymborthi arno, ac onide bydd yr oll yn fuan yn eithaf poen a blinder.

Os wyf am gael ffordd at galonau caled y bobl yn y *pulpit*, bydded i'm calon garregaidd i gael ei rhoddi, ei thrin, a'i phoethi yn dda yn gyntaf yn yr ystafell, gan wres geiriau calon dyner a grasol Duw.

O na allwn ddringo i'r *pulpit* bob tro, fel pe bawn yn myned i fynu at faingc fy Nuw, a thraddodi pob gair ynddo fel yr olaf cyn rhoddi cyfrif am yr oll!

O! y fath ddydd ofnadwy fydd hwnw, pan fydd Duw, y bobl, y pregethu, a'r pregethwr i gyfarfod wyneb yn wyneb!

Nid oes modd i mi i ddyfod a Christ at y bobl trwy bregethu, heb fyned a'r bobl at Grist trwy weddi.

Y pethau canlynol a ddymunwyf yn fy oes fel pregethwr,—Bod yn uwchaf o bawb o ran ffyddlondeb,—bod yn isaf o bawb o ran gostyngeiddrwydd;—bod yn esiampl i bawb o ran llafur a bywyd;—bod yn nod i bawb o ran duwioldeb;—bod yn anwyl iawn gan bawb o'm brodyr, a bod yn wr wrth fodd calon Duw.

Gwyliaf ar fy nghalon, rhag cynfigenu wrth fy mrodyr sydd ymhell o'm blaen mewn rhinweddau gyda'r gwaith; ond penderfynwyf nas collaf y dydd mewn *un* rhinwedd, heb ddefnyddio *pob* rhinwedd er ei ynnill.

Nis rhwymaf fy hun wrth un Awdwr am ddefnyddiau, etto, nis pasiaf un Awdwr heb ei chwilio, ac os caf gynnorthwy byddaf ddiolchgar am dano: ond byth ystyriaf mae gweddi daer a myfyrdod dwfn-ddwys yw allweddau penaf cysegr Duw.

Mae llawer pibell yn trosglwyddo dwfr gloyw i eraill, ond ei hun yn pydru i ddinystr. Gellir fod yn debyg i hyn gyda ni. O! fy Nuw ai felly y mae!

Diolchaf byth am yr anrhydedd o fod yn bregethwr, eto, cyfrifwyf yn ragorfrant ddirfawr i gael bod yn wrandawr.

Pan fyddwyf yn arlwyo bwrdd o'r brasaf i eraill, na fydded i neb wledda ar y danteithion yn helaethach na'r arlwyydd.

Ymdrechaf draethu i'm cynnulleidfaoedd holl gyngor Duw, a holl gyflawnder y gwirionedd, ond fy hoffaf destynau gant fod, dyn yn ei holl lymder, a Christ yn ei holl gyflawnder.

Y ffordd i fod yn uchel yngolwg yr eglwys, yw bod yn anwyl gan fy Nuw. Os caf fyw ynghariad y naill, caf aros yn mynwes y llall; canys un ydynt hwy yn mhob peth. 'Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyd a'r rhai a'i hofnant ef,' Ps. 25, 14.

Nis caf fi hwyrach, na marwnad na chof-adeiladaeth, er galar na llawenydd am danaf, wedi fy myned i'm bedd; gan hyny cyfansoddaf y naill a chodaf y llall, trwy fywyd o ddefnyddioldeb, diwydrwydd, a duwioldeb yn y byd hwn. 'Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig.' Diar. 10. 7.

Yn ol y gwirioneddau yr ydwyf yn bregethu i'm cynnulleidfaoedd, yr ydwyf yn meddwl byw yn y byd hwn; ac ar eu pwys y tynaf yr anadliad olaf. Yn eu goleu a'u gwres y pasiaf yn ddiniwed trwy y glyn tywyll cysgod angau, i froydd gwlad sydd well; geirwiraeth eu tystiolaethau a'm rhyddhant ddydd ofnadwy y farn, ac yn y mwynhad o'u cyflawnder didrai y caf ddedwyddawl fyw, pan fydd y byd hwn a'r oll sydd ynddo wedi ei lyncu i angof oesawl.

*Penfro.* QUERCUS.

---

GWEDDILLION YR HENAFIAID.

***Talfyriad o bregeth Dafydd Cadwaladr, y Bala.***

Esay 32. 2. 'A gwr fydd yn ymguddfa rhag y gwynt, ac yn lloches rhag y dymmestl, &c.'

Mae cyfeiriad llythyrenol y geiriau at y brenhin Hezeciah. Ond y sylw cyntaf a wnaf ar y geiriau sydd fel y canlyn:—

Chwi a wyddoch nad yw lloches neu ymguddfa yn diogelu neb ond fyddo ynddi; megis Arch Noah, a'r tai yn yr Aipht, felly Crist, ni cheidw neb ond fyddo ynddo.

Yr ail sylw. Chwi a wyddoch nad yw lloches neu ymguddfa yn attal neu yn rhwystro'r gwynt a'r ystorom i guro, ond ei bod yn dyoddef y cwbl ei hunan, ac yn diogelu y neb fyddo ynddi: felly'r Iesu, efe a ddyoddefodd y cwbl i'th ddiogelu di. Edrych arno yn dioddef digofaint ei Dad, i ti gael dy arbed. Edrych arno dan guddiad wyneb ei Dad, i ti gael ei wên ef. Edrych arno a holl allu uffern a'i holl gynddaredd yn ymosod arno, i'th ddiogelu di.

Fe ddywedir yn y seithfed Salm-ar-hugain fod yr Arglwydd yn cuddio ei bobl yn nirgelfa ei babell; ac os cei dithau ddyfod i 'ddirgelfa'r babell;' mi ddywedaf i ti hyn, ti gei ddyfod at orseddfainc y gras; a thi a gei ddyfod i'r un fan a'r Archoffeiriad; a thi a gei daenelliad o'r gwaed i'th buro, a'th lanhau. Ac mi a ddywedaf i ti hyn, os cei fod yn nirgelfa'r babell, byddi yn yr un man a'r gorchymynion wedi eu cadw yn gwbl. Mi a ddywedaf i ti hyn hefyd, ti fyddi yn yr un fan a gwialen Aaron, ti gei'r wialen; ond mi ddywedaf i ti hyn, hi a flodeua, ac a ddwg i ti almonau; a thi gei fod yn yr un man a'r crochan aur a'r manna. A thi gei ymborthi ar y manna cuddiedig, sef gwir fara'r bywyd, i'th gynnal er dy holl lesgedd.

'Megis afonydd dyfroedd mewn sychdir,' &c. Fe'n harweinir oddi yma at Ezeciel 47. 5. lle mae'r dyfroedd yn nofiadwy. Ond rhaid i mi ddybenu, gan ddymuno bendith ar yr hyn a ddywedwyd i dy ddwyn i mewn i'r babell. Amen.

*Rhos-ll-g.* T. PHILLIPS.

Dymunem yn fawr gael ychwaneg o ysgrifau ar y pen hwn, ac enwau yr ysgrifenwyr wrthynt, fel y bu hyd yma. *C—r.*

---

**LLYTHYR VII,**

*Oddi wrth Hen Weinidog at ei fab, &c.*

(Parhad tu dal.306 .)

Hyfryd fyddai rhyddhau crefyddwyr oddi wrth y cyhuddiad o ddangos gormod o arwyddion balchder ac anlladrwydd yn eu gwisgiadau; ond ysywaeth mae yn ddigon priodol i ambell un sy dan enw pregethwr. Meddyliais lawer gwaith am ddywediad hen gristion pan un tro wrth y capel yn hir ddisgwyl pregethwr dieithr at ei gyhoeddiad, 'O'r diwedd,' (meddai) 'mi a'i gwelwn yn d'od ar gefn ei farch gwych, a'i ffrwyn a'i gyfrwy gwichiog, ei *fwtsias* newydd a'i ddillad ysblenydd, yn ei *full trim*: wel, eb fi ynof fy hun, gobeithio dy fod yn rhywbeth, fe aeth anferth o gost i'th gychwyn.' Ond yn ol barn yr hen wr, digwyddodd i hwnw fod yn werth i'w gychwyn, yn berchen ar egwyddor efengylaidd, a gostyngedig, wedi ei addurno â harddwch gwisg ac ymddygiad.

Ond crybwyllaf er dy addysg am un arall, llawn cymaint ei addurn, ond heb fod cystal ei egwyddor. Yn fynig i ddenu sylw hen bregethwr ar ei *fwtsias* newydd, a ddywedodd iddynt gostio ——! 'Rhyfedd,' (eb yr hen wr) 'pe buasit neidr gantroed, buasit yn gostus i'th bedoli." Cymmer hyn i'th gofio, fy machgen, y bydd mwy o sylwi arnat gan y duwiolion yn dy daith nag fe allai y darfu it erioed ddychymygu. Gan i'm gael fy arwain at yr anghenfil o falchder, na ddisgwyl i'm fyn'd heibio iddo yn ysgafn, pe 'r ymddygid tu ag atto yn ol fel y darfu iddo ef ymddwyn tu ag at ddynolryw yn gyffredinol, ac at Eglwys Dduw yn neillduol, byddai amlach meini oddeutu ei ben, nag a fwriwyd at Achan

yngwersyll Israel. Ni cheisiaf nodi ei ddrwg am ei fod mor amlwg; ac efe ymhob oes yw un o flinwyr penaf Israel.

Cofia, anwyl blentyn, fod balchder ymddygiad pregethwr yn fammaeth feithringar i holl falchder y cynnulleidfaoedd, a hyny mewn amryw ffyrdd. Mae yn ennyn awydd yn eraill i debygu iddo: ac am dy fod yn wr ieuangc, yn hudo llawer meinir i ymwychu, gan awydd i'th ddenu; nes y gwelir yn bresennol lawer o'n rhiannod crefyddol druain, fel rhyw gynifer o biogod yn britho ein cynulleidfaoedd! Ac Oh, mae ymwisgiad ac ymddygiad pregethwyr ieuaingc, a goddefiad boddlongar hen bregethwyr i falchder y rhai sydd yn eu perthynas, a than eu gofal, yn eu gwanychu cymaint i ddweud yn erbyn balchder, fel os cynygiant argyhoeddi am dano, y dymchwelir y saethau yn gymwys i'w mynwesau eu hunain, '*Y meddyg iacha dy hun.*'

Dymunol fyddai i grefyddwyr ac eraill, astudio ychydig ar y drydedd o Esay, lle y nodir llawer addurn, a barn Duw o'i herwydd. Nis gwn pa fodd i ddarlunio dillad addas Gweinidog yr Efengyl. Clywais son am foneddiges a aeth i fesur cadach (*handkerchief*) pregethwr wrth ei hyd; ond o'm rhan fy hun byddai yn haws genyf farnu wrth eu lled. Math. 23. 5. Yr hyn ynghyd â choler y crys a wna y gwddf mor estynedig ac anystwyth a phe bai gwedi llyngcu polyn. Gobeithiaf mai nid i guddio llygredigaeth o ddeutu y clustiau y maent mor llydain ac anmhlygedig.

Rhag ymhelaethu i enwi a phortreiadu rhyw ormodedd o wisgoedd ynfyd, bydded i hyn fagu gochelion ynot ti; a chlywed fy anwyl chwiorydd crefyddol hefyd, rhag i nodweddiad a roddir i ferched rhyw wlad fod yn briodol iddynt hwy; sef bod yn *Biogod yn y drws, yn seintiau yn yr Eglwys; yn afrod yn yr ardd, yn ddiafliaid yn y tŷ, yn angelion yn yr heolydd, ac yn hudolion yn y ffenestri.*

Cydymaith arall, y rhybuddiaf di i'w ochelyd yn dy daith yw, llygaid cnawdol. Yr oedd fod pysen ar lygad un o deulu Aaron yn ei anghymwyso i waith y cyssegr, yr un modd a hollol ddallineb, Lef. 21. 16—20. Ac nis gwn am waeth pysen na chnawdolrwydd, cymerer ef yn yr ystyr a fynoch; ond yn fwyaf neillduol fel y perthyna i bobl ieuaingc, un o'r ohwartau cnawdol ydyw; dichon iddo fod mor drwm ar rai, nes eu gorfodi yn eu *pulpudau* i roi rhyw ddirgel *review* ar yr holl gynnulleidfa i ymofyn eilun prydferth yn wrthrych serch. Ac nid amheus genyf nad dyma un achos fod gwragedd llawer o bregethwyr yn cael eu dewis o eithafion pellder; ac nid rhyfedd fod rhyw gymaint o brofedigaethau anhysbys yn siomi y ddwy ochor gwedi yr ymrwymiad. Pa fodd bynag y try allan ofnaf fod peth cywirdeb yn y cas-gyhuddiad hwnw a roddir gan rai, sef bod ymofyn rhian gan rai teithwyr yn nod cyfochrog (os nad y blaenaf) i bregethu yr Efengyl. 'Edryched dy lygaid yn uniawn o'th flaen.'

Os byddi yn rhyw edrychydd a rhyfeddwr mawr ar gywreinrwydd natur a chelfyddyd, datguddia hyn ryw ormodedd o flys a segurdod ynot yngolwg llawer; ac am hyny bydd gynnil. Ond yn hyny gelli gael llawer o fudd ac addysg, ond i ysbryd y weinidogaeth dy reoli. Ychydig a ddarllenwn am i'n Hiachawdwr sylwi ar ddieithrwch golygfeydd; ond pan ei galwyd i edrych ar fawrwychedd adeiliadau y Deml, yr oedd ganddo ei bregeth ddifrifol yn barod. Ond mi addewais nodi rhai manteision a gei trwy bregethu teithiol. Un ydyw, os byddi yn awyddus i adrodd yr un bregeth eilwaith, cei wneud hyny heb fod yr un rhai i'th wrando a'th feio. Mae cryn brofedigaeth yn digwydd oddi wrth hyn, er i'n gael pleser oddi wrth a thrwy draddodi ambell bregeth, rhaid i'n ei thaflu heibio yn anfoddlon am y beir arnom gan rai gwrandawyr rhodresgar am eu hailadrodd. Nid yw y ffarmwr mor ffol gyda ei aradr a'i thaflu heibio ar ol llafurio rhyw un maes. Ond yn y teithio yma rhyddheir di o'r brofedigaeth yma, etto cofia ddangos gonestrwydd wrth ail adrodd yr un bregeth. Mae rhai wedi dysgu dyfais i newid y testyn heb newid y bregeth, gan feddwl trwy hyny dwyllo eu gwrandawyr i dybied fod y bregeth wedi ei newid; nid gonestrwydd mawr yw hyn.

Hefyd, wrth deithio ychydig y bydd it weled yr un achos crefyddol yn wahanol yn ei drefniadau. Er mai y Bibl yw y prif reol yr holl Eglwys, etto nid yw pob cangen o'r Eglwys wedi ymgylymu yn hollol wrth yr un trefniadau, nac ychwaith wedi

cyrhaedd yr un drefn yn eu medrusrwydd: felly dichon it gyfarfod âg amrywiaeth; a chofia yn hyny elwa er adeiliadaeth i'th Eglwys gartrefol.

Hefyd, ti gyfarfyddi ag amrywiol gyfeillion yn perthyn i'r un achos, etto yn gwahaniaethu yn eu dawn a'u dull; ac yn eu mysg rai wedi hir oddef pwys a gwres y dydd: cofia achub dy unig gyfle (o bosibl) gyda'r hen seintiau hyn.

Ond na feddwl mai manteision yw y cwbl sydd i'th gyfarfod. 'Mae anfanteision hefyd, ac ar hyny yr asosaf bellach, cofia wedi i'm son am enwogrwydd henafgwyr, fod ambell i hen Brophwyd yn dwyllwr. Ac am hyny yn benaf dim, a chyda'r gofal mwyaf ymdrecha i adnabod eraill, cyn rhoddi dy adnabod i eraill. Anhawdd yw darlunio faint o friwiau a gafodd llawer o weinidogion yn eu teithiau wrth fod yn amddifad o'r callineb yma. Fe allai y bydd bron bawb a'th gyfarchant yn ymddangos yn seintiau; ond nid oen yw pob peth gwyn. Y rhai a'th llettyant a'r rhai y byddech hwyaf yn eu cyfeillach, a gânt y fantais fwyaf o chwilio i'th gelloedd; cofia dithau arfer callineb, ac nid anonestrwydd. Rhydd rhai o bosibl, brawf ar dy ddysg; na ddatguddia dy wendid, oddieithr it yn gyntaf adnabod fod yno le i'th wella ac nid i'th waradwyddo.

Eraill a fynent hudo dy feddwl mewn llywod-ddysg (*Politics*), &c. Cadw hyny hefyd heb fantoli un ochor, oddieithr fod gwir angenrheidrwydd. Dro arall ymdrechir, fe allai, i hudo dy feddwl ar ryw oppiniwn ddryslyd ymhethau crefydd; cofia yn hyn etto, ymdrechu i adnabod yr ymholydd, a'r gwrandawyr; ac os gelli dybied dy hun yn abl i fod o les, achub y cyfle: onide, cuddia dy waeledd ger bron y dieithriaid. Gellid ychwanegu; ond hyny a'm harweiniai i feithder; ond yn unig cofia'r rheol, dyna'r fath un debygid oedd Paul, ymddygai weithiau fel Iuddew, weithiau fel un dan y ddeddf, weithiau fel un diddeddf; weithiau yn wan, ac weithiau yn gryf.

Etto. Na ddos yn *rhy* agos mewn cyfeillach â neb, ac na fydd *ry* bell ychwaith: cofia mai gwr ar dy daith ydwyt, am hyny, i ba beth y gwnei ormod cyfeillion o ddieithriaid? Nid cyfeillach efangylaidd a santaidd yr wyf yn dy rybuddio i'w ochelyd. O, na, pe byddai it yn yr ystyr yma gael ambell lygeidyn cwmnïaeth ac ysbryd wylo ynddo, mwynhâ hwynt yn felus; ïe mor agos a Henuriaid Ephesus yn syrthio ar wddf Paul a'i gusanu. Oh yr adloniad hyfryd a geir weithiau oddiwrth frawdoliaeth, er bod yn ddieithriaid! ond cofia ar yr un pryd mai yn Nghrist mae y gymdeithas i fod; ac wrth ffarwelio, cyferchwch y boreu a welir o bell, y cewch dragywyddol fwynhau eich gilydd yn yr Arglwydd. Ffarwelio a ddywedais onide? a chan mai hyny sydd raid, i ba beth yr eir yn rhy agos at y dieithriaid yn yr oll o gyfeillach a ddylai fod genym â'n brodyr cartrefol? Ffarwelio hefyd, mewn agwedd ac ysbryd hiraethlon am ail ymuno.

Etto hefyd. Cofia fod a fynot yn dy daith â disgyn gyda gwahanol deuluoedd, ac yn gwahaniaethu yn eu hegwyddor, dull ac arferiad. Ond na fydd dra blysig am le boneddigaidd i lettya. Mae rhai gweinidogion yn eu teithiau, na thal un man iddynt ond y fan a'r fan; tŷ Meistr hwn a hwn; ac o dipyn i beth daw y wlad i wel'd hyny. Ac arwydd o adfeiliad yn ei grefydd ydyw, y blys am y cwmni boneddigaidd yn mhob man. Cofia, teithiwr ydwyt; ond gan dy fod eisioes yn ddieithrol rhaid goddef i'th dynged fod yn y lle y darparwyd iddi.

Ond dichon it gyfarfod a rhai manau lle nad yw derbyn gweinidog ond hen arfer ganddynt, ac am hyny y maent yn rhieni, plant, a gweision, yn hyf ar bawb, a bron na ddywedaf yn ddiystyr o bawb; na fydded i'r rhai hyn dy ddigaloni. Ymdrecha i ymgymeryd am y tro a dull y rhai'n. Ond myn gadw enw a bri dy feistr yn eu canol, gan arddangos i bob cydwybod mai gwas i Grist yn yr Efengyl ydwyt: ac fel y cyfryw, nac ymryson a hwynt, ond os gelli dadu gair a dueddo i'w gwella, gwna, ond er dy gysur yn y fan yma cofia, teithiwr wyt.

Weithiau, cyfarfyddi a lletty, lle y bydd trafferth y byd wedi cymeryd meddiant o bob congl; a rhaid i weinidog yr Efengyl foddloni ar le cul o'r neilldu, yn y fan y bydd trafferth y byd wedi ei benodi iddo. Dangos yma etto nad un didrafferth ydwyt tithau, onide hwy a'th gyfrifant yn ddioglyd. Nis gwn pa fodd i drin y rhei'n yn

well na gadael ychydig halen ar eu bydolrwydd, a phrysuro ymaith.

Bryd arall, doi o hyd i deulu na bydd ganddynt fodd i wasanaethu neb gan gymmaint eu gofal am gael eu gwasanaethu eu hunain; ni ddarfu iddynt erioed ddysgu bod yn *waiters*; ond boneddigion bob tro; paid a thrafferthu cymaint ar y rhai hyn etto; nid oes yma ddinas barhaus. Gad iddynt gwyno iddynt eu hunain, a chwyna dithau beth iddynt, (os na elli gael llwybr i ddysgu gwell moesau iddynt) a dos ymaith.

Ond mae lleoedd a mwy o berygl it na rhai'n, gedy y rhai hyn di fel y cânt di; ond mewn rhai manau ni cheir mo hyny ganddynt; ond ymdrechant i'th dynu i'w *mold* a'u cynllun hwy. Bydd ganddynt eu llathen i fesur pawb; a'u clorian i'w pwyso; ac ar bob cweryl neu bartiaith yn yr Eglwydd, tithau gei fod yn farnydd, yn enwedig ond iddynt hwy osod y drychau ar dy lygaid. Nid oes genyf i'w ddywedyd, ond dy rybuddio i fod yn dra gochelgar rhag eu maglau, a pheidio ymyrraeth a phethau na pherthyn it. Dichon it hefyd gael ambell letty lle y gellit dybied fod duwioldeb yn mhob congl, pob crochan yn y tŷ yn 'Sancteiddrwydd i'r Arglwydd,' a phawb o'i fewn yn grefydd fel ysfa: gwna yn fawr o honynt, a phaid a chymeryd dy siomi ganddynt ychwaith. hwyrach mai i ganlyn dy wyneb di y daeth yr helynt fawr o honi i mewn, ac mai gyda dy gefn yr â allan: yn y plant a'r gweision y cei esboniad goreu; 'gan y gwirion y ceir y gwir.'

*(I'w orphen yn y nesaf.)*

---

### YR EGWYDDORION ANGENRHEIDIOL I GAEL GAFAEL AR IACHAWDWRIAETH DRAGYWYDDOL.

1. Bydded yn sicr ddiammeu gennych fod Duw mawr a gogoneddus yn bod, ac mai Iesu Grist yw unig-anedig Fab Duw, ac unig *Iachawdwr* dynion colledig, ac mai gwir air Duw yw y *Bibl;* a bod *nef* ac *uffern* yn bod, a bod gennych o'ch mewn *enaid* gwerthfawr ac anfarwol, yr hwn a sefydlir trwy ddedryd Duw, yn y nef, neu yn uffern am *dragywyddoldeb.*

2. Bood hysbys gennych, y rhoddir y *ddedryd olaf* arnoch, yn ol y byddo eich gweithredoedd wedi bod yn *dda*, neu yn *ddrwg* yn y fuchedd hon; a bod yn anhawdd iawn myned i'r nef, ond fod y ffordd i uffern yn *llydan ac esmwyth.* Cofiwch yn barhaus fod gennych galon dwyllodrus o'ch mewn, a *diafol* drygionus yn agos attoch, a mil o *faglau a rhwystrau* yn ymgynllwyn i chwi, ar bob llaw. Dywedwch gan hyny 'Byr yw fy amser, mawr yw fy ngwaith, a bychan yw fy nerth."

3. Ystyriwch, fod *gogoniant y nef* yn deilwng o'ch holl ofal a'ch llafur, ac uffern mor *ofnadwy* fel y mae yn dra rhesymol i ffoi rhagddi gyda phob brys, diwydrwydd, a difrifwch: ac mai gwell fuasai i chwi fod heb eich geni erioed, na marw yn eich pechodau, a bod byth yn golledig. Meddyliwch y fath groch-waedd erchyll a rydd eich enaid, os â allan o'ch corph i'r llosgfeydd anniffoddadwy! Cofiwch nad all holl ofidiau y byd hwn wneyd y dyn sydd yn myned ar hyd llwybrau cyfiawnder i'r nef, yn anneddwydd. Mor hyfryd fydd iddo fyned o'i fwthyn gwael, i'r palas gogoneddus! Allan o fôr o ofidiau a pheryglon, i'r hafan hyfryd i orphwys mewn hedd a llawnder. Ac o'r tu arall, nas gall holl gyfoeth, anrhydedd, a phleserau y byd hwn, wneuthur y dyn sydd yn myned i uffern, yn happus! Mor arswydus fydd uffern i'r rhai a dreuliasant eu dyddiau mewn meluswedd cnawdol! Nid yn unig i newid eu palas, am fêdd tywyll, eu gwisgoedd gwychion mursenaidd, am bryfed â llygredigaeth! Ond hefyd, eu caniadau peraidd, a dry yn oernadau chwerw! Ystafelloedd uchelwych, rhodfeydd hyfryd, ac ymborth danteithiol, yn troi yn gadwynau tywyllwch, ac yn llynnoedd llosgedig o dân a brwmstan!

4. Dwys feddyliwch ynoch eich hunain, 'Ysgatfydd y gallwn gyrhaeddyd nefoedd, a gochelyd poenau, a phläau ofnadwy uffern. Os myned a wnaf i ogoniant, y fâth Dduw gogoneddus a gâf ei fwynhau byth bythoedd! Os i uffern y disgynaf yn fy niwedd, a allaf fi ymgynnal i fynu tan ddwyfol ddialedd? Wele—wele, y mae gobaith etto am danaf. Y mae calon Duw, a drws trugaredd, a phorth y nefoedd, etto yn agored. Mor ewyllysgar y rhoddai y rhai damnedig sydd yn uffern filoedd o fydoedd, pe meddent hwynt i'w rhoddi, am fy ngyfleusderau i! Crist, gras, a nefoedd, a gynnygir; a feiddiaf fi wrthod y cwbl? Pa fodd yr anturiaf fy nghorph a'm henaid i

ddistryw tragywyddol! Os byddaf yn ol o'r nefoedd, fy namnedigaeth a orwedd wrth fy nrws fy hun. Bydd Duw yn lân oddiwrth fy ngwaed. Y mae cynnygiadau ei ras yn aml a haelionus, yn ddifrifol a diragrith. A lofruddiaf fi fy enaid fy hun? Os felly, gellir argraffu ar fy medd, 'Yma y gorwedd un a ddinistrodd ei hun, yr hwn a fynnodd fyned i uffern, ïe, er gwaethaf lliaws o drugareddau, barnedigaethau, a rhybuddion.'

5. Ystyria y matter hwn yn dy fynwes dy hun yn ddifrif-ddwys, gan ddywedyd, 'Pa beth sydd mewn pechod, a bair i mi ei hoffi mor fawr? A allaf fi gloddio happusrwydd o dommen y byd? A allaf fi gael meddiant o'r tai, a'r tiroedd, yr anrhydedd a'r pleserau, y mae fy chwant yn eu blysio? A phe bawn yn eu caffael hwynt, Pa beth ydynt? Pa lesâd fyddai eu cael, a cholli fy enaid gwerthfawr? Onid fy noethineb pennaf fyddai bod yn 'ddoeth i iachawdwriaeth?' A'm gorchwyl pennaf, 'Gweithio allan fy iachawdwriaeth, trwy ofn a dychryn.'

6. Profwch a chwiliwch eich calon, *a ydych yn y ffydd? Holwch* yn *fanwl*, 'A ydyw *cariad* sydd ddiragrith gennyf? Y *ffydd* ddiffuant sydd yn cadw enaid, yn llofruddio pechod, ac yn diwygio y fuchedd? A ydyw fy ngwyneb a'm calon mewn gwirionedd tu a'r Sïon nefol? A welais i yn nrŷch y gyfraith ddwyfol, fy mhechodau yn ffiaidd, halogedig, a damniol; ac yn angau Crist, yn annrhaethol *dra phechadurus*? A ydwyf fi yn gweled yn Iesu Grist brydferthwch ac ardderchawgrwydd, cyfiawnder, a holl-ddigonedd? A ydwyf yn ei fawrbrisio fel un sydd yn 'rhagori ar ddeng mil,' ïe, 'oll yn hawddgar?' A roddwn i o wirfodd fy nghalon, filoedd o aur, pe meddwn hwynt, am hawl yn ngwaed Crist; y gwaed glanhaol, meddyginiaethol hwnw, sydd yn llefaru heddwch? A wyf' fi yn cyfrif pob peth yn dom, fel yr ynnillwyf Grist, ac y'm cair ynddo ef?'

7. Gwybyddwch 'nad oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi ymhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig,' ond Iesu Grist; ac y rhaid i bob gras a thrugaredd achubol lifo tu ag attoch trwy ffrydiau ei waed ef. Cydnabyddwch, 'Darfu i mi o'm rhan i trwy bechod, gau porth y nef, a thynu dialedd Duw i'm herbyn. Gwnaethum fy hun yn agored i holl lidiowgrwydd Duw, i holl felldithion y Bibl, ac i holl boenau uffern. Pe gallwn ddwyn yn mlaen nid yn unig fy nhaer-gais fy hun, ond taerni fy holl gyfeillion, a chydâ hwynt holl nerth angylion, y'nghyd a holl gyfoeth y byd, ni byddai ond megis dim tu ag at wneuthur i fynu y rhwyg arswydus hwn. Crist yn unig all ei wneuthur. Efe a 'ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid. Y mae efe nid yn unig yn 'abl,' ond yn barod ac ewyllysgar i 'gwbl iachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw.' Beth wnaeth iddo adaw mynwes ei Dad, rhoddi ymaith ardderchawg wisgoedd ei ogoniant, onid cariad at eneidiau dinystriol? Beth ond y cariad hwn, a barodd iddo yfed chwerwaf gwpan dwyfol ddigofaint? Onid achub yw ei fwriad yn hyfryd-lais ei efengyl, ac ymrysoniadau ei Ysbryd? Onid i'r perwyl hwn y mae yn anfon, ac yn sefyll wrth ddrysau cauedig, yn sefyll ac yn curo? Cariad at eneidiau wnaeth iddo roddi ei gorph i'w ddryllio, a'i ddarostwng i'r arteithiau mwyaf poenus.

SENEX.

---

## COFFADWRIAETH

*Am* THOMAS EVANS, *Pen-y-feidr, Plwyf Tref-y-garn-fawr, Sir Benfro, yr hwn a ymadawodd a'r fuchedd hon, Mehefin* 11, 1837, *yn y* 81 *flwyddyn o'i oedran.*

Fe gafodd Thomas Evans y fraint o ddechreu yn fore gyda chrefydd, ac nis gwrthododd hi yn ei oes. Fe ymunodd â'r Trefnyddion Calfinaidd pan oedd oddeutu 18 oed; a chafodd lawer iawn o wawd ac erlid o achos hyny hyd yn oed gan rai o'i berthynasau agosaf; ond cafodd nerth i ddal ei ffordd trwy bob peth, gan ymwroli, 'fel un yn gweled yr anweledig.' Yr oedd ei ymarweddiad yn dwyn tystiolaeth yn meddyliau pawb a'i hadwaenai mai crefydd oedd ei hyfrydwch penaf. Ei ofal oedd mewn modd neillduol i ddilyn y *Beibl* yn mhob peth: yn ei fasnach bydol, a'i ymddygiadau tu ag at, ac yn y teulu, gair Duw ac nid arferion y byd, oedd ei reol; a'i ddywediad cyffredin yn wyneb pob peth dyrys oedd, 'beth y mae y *Beibl* yn ei ddywedyd?' Yr oedd ganddo y fath ymorphwysiad ar ragluniaeth Duw nes y credai yn wyneb pethau croes i gig a gwaed, fod 'pob peth yn cydweithio er daioni;' ac aml y dywedai 'hyn sydd oreu i ni.'

Yr oedd ei ofal yn fawr am gadw ei blant rhag cwmpeini ysgafn ac annuwiol, a rhag ffurf y byd mewn gwisgoedd beilchion a rhodianna segur, fel pethau a thuedd ynddynt i arwain ieuenctyd i ddistryw. Yr oedd yn hynod o ofalus am gadw y Sabbath heb ei halogi ganddo ef ei hun na'i deulu, mewn geiriau a gweithredoedd, gan ymdrechu i weithio parch mawr yn meddyliau ei blant i foddion gras a gweinidogion yr Efengyl; ac annogai hwynt yn ddifrifol iawn i 'mofyn am sylwedd crefydd yn moreu eu hoes. Ac mae lle i feddwl na bu ei lafur yn hyn yn ofer, canys trwy ras Duw cafodd weled ei blant oll, sydd yn awr yn fyw, wedi ymuno â chrefydd, sef pump o feibion ac un ferch, a phawb o honynt yn dywedyd mewn ymddygiad fel Ruth wrth Naomi, 'dy bobl di fydd fy mhobl i, a'th Dduw di fydd fy Nuw innau.' Dewisasant gartrefu gyda'r un bobl a'u tad, sef y Trefnyddion Calfinaidd; ac y mae pedwar o'i feibion wedi eu neillduo yn Henuriaid mewn gwahanol drigfanau o fynydd Seion.

Pan oedd efe o 30 i 40 mlwydd oed dewiswyd ef i flaenori yn Eglwys Dduw; a ffyddlon a llafurus iawn oedd gyda'r achos mawr, er yn yr amser hyny nid oedd un Capel ganddynt i ymgynnull yn nes na Woodstock, nes iddynt ymsefydlu yn yr Hall. Er hyny yr oedd amryw o grefyddwyr ffyddlon yn cwrdd a'u gilydd mewn tai annedd, &c. i addoli Duw, ac i ymddiddan am bethau ysprydol.

Yr oedd efe yn hynod o addfwyn a thawel trwy ei oes; hyd yn oed wrth geryddu ei blant ni welwyd erioed mo hono dan effaith nwydau a thymmerau drwg, ond dangosai yn wastad fod gogoniant Duw a lles yr enaid yn nes at ei galon na'i enw ei hun a phethau y bywyd hwn. Yr oedd ei eiriau bob amser yn rasol, ac yn gywir: nid oedd neb a'i hadwaenai yn ammeu yr hyn a ddywedai efe ar bob achos; ac yr oedd yn ddidderbyn wyneb yn ei swydd. Byddai yn daer ac yn wresog yn ei weddiau dros ei deulu, yr Eglwys, a'r byd yn gyffredinol; ac yn groes iawn i weddiau hirion a dideimlad, ac hefyd pregethau hirion a marwaidd: y rhai mwyaf cyfeiriol a chymmwysiadol a garai yn wastad.

O ran ei brofiad yr oedd yn meddu gradd o hyder mabaidd y rhan fwyaf o'i fywyd; ac nid oedd heb brofiad o rinwedd bendithion ysprydol. Fe gafodd dwymyn galed tua 21 mlynedd yn ol, pryd y bu farw un o'i ferched. Ac er iddo ef gael ei arbed yn hir wedi hyny ar y ddaear, etto ni chafodd ei adferyd, ond yr oedd effeithiau yr afiechyd arno mewn llesgedd a gwendid tra bu efe byw; etto, gostyngedig a boddlon oedd i ewyllys yr Arglwydd: dywedai yn aml mai peth mawr yw cael nerth i ddweud o galon, 'Gwneler dy ewyllys.' O gylch dwy flynedd yn ol, pan aeth un o'i feibion i ymweled ag ef, dywedodd gyda theimlad neillduol, 'Doe oedd yn amser rhyfedd arnaf fi; cefais wybod fod angeu wedi colli ei golyn.' Dro arall, soniai am y Gwaredwr mawr, 'gelwir ei enw ef rhyfeddol,' ac eb efe, y mae efe yn waredwr *rhyfedd* i mi.

Pan yn wael iawn yn ei wely, gofynodd gweinidog yr Efengyl iddo, 'A oes genych ryw beth i ddywedyd wrthyf Thomas bach?' 'Oes' ebe yntau, 'Y penaf pechadur, a'r lleiaf o'r holl saint, a'r penaf pechadur mewn undeb â Mab Duw.' Pan sylwodd un o'i feibion mewn llythyr atto, fod ei blant yn nhrefn rhagluniaeth wedi cael eu gwasgaru oddiwrth eu gilydd, &c. Attebodd yn wanaidd, 'mae amser a phethau yn cyfnewid, ond Iesu Grist yr un.' Yr oedd cnawdolrwydd ac anystyriaeth yr oes yn poeni ei feddwl yn fawr y blynyddoedd diweddaf, ac yn enwedig ffurfioldeb a chnawdolrwydd yr Eglwys; ac yr oedd llwyddiant Seion a heddwch Ierusalem yn amlwg ar ei galon. Pan oedd efe yn myned yn nes i rym y dŵr, dywedai yn aml fod ei deimladau naturiol yn cyfnewid yn fawr, etto yr oedd gorphwysiad ei feddwl yn para yr un. Dywedodd unwaith wrth un o'i feibion pan yn teimlo y tonau yn gryf iawn, 'mae'r *passage* yn arw iawn, ond fel hyn mae'r anfeidrol ddoeth Dduw wedi trefnu fod yn rhaid i bechadur i farw.'

Yr oedd ei gynghorion buddiol, a'i ddywediadau grasol yn ei gystudd yn fwy nag y gellir ei traethu yma. Felly ar ol rhai wythnosau poenus iawn ei enaid a ymadawodd a'r fuchedd hon bore Sabbath, Mehefin 11, 1837, yn y 81 flwyddyn o'i oedran, yr ydym yn hyderus gredu i ddechreu Sabbath tragywyddol mewn gogoniant: ar y Sabbath y ganed ef, ac ar y Sabbath y bu efe farw, gan adel gweddw a chwech o blant ar

ei ol. Ar ei ddymuniad claddwyd ef yn eithaf dirwestol, er na chlywodd son am y Gymdeithas hyd onid oedd yn rhy wan i ddeall ei natur: etto hyn oedd ei farn trwy ei holl fywyd am angladdau. Ar yr achlysur sobr hwn cyn cychwyn y corph, pregethodd Thomas Harries, yn awr o Wotten-under-edge, yr hwn yn ddamweiniol oedd wedi dyfod i'r wlad, oddiar Phil. i. 21. 'Canys byw i mi yw Crist, a marw sydd elw,' Yna hebryngwyd ei gorph i dŷ ei hir gartref.

'Nol treulio'i oes yn gyson, yn ffyddlon dros ei Dduw,
Ei yrfa fe orphenodd, ehedodd atto i fyw:
Fe gafodd hir gystuddiau, do ddyddiau maith mewn poen;
Er hyny fe 'mostyngodd, dioddefodd fel yr oen.

Yn fore bu yn effro, gan geisio Duw a'i ras,
A chrefydd wirioneddol, sylweddol ar y maes:
Am fodd i fyw yn sanctaidd, a gweddaidd yn mhob lle,
Ei lafur oedd yn ddiflin i ddilyn deddfau'r Ne'.

A chafodd yn ei ddyddiau, flynyddau cyn y nos,
I brofi blas maddeuant trwy haeddiant gwaed y groes;
Ca'dd weled cariad Duwdod, mor hynod yn y gwaed,
Nes pwyso yn ddiymmod ar y cyfammod rhad.

Fe welodd law yr Arglwydd fel llywydd mawr y byd;
A'i weled e'n teyrnasu wnai ei dawelu o hyd:
'Roedd rhagluniaethau cyson mor union ganddo ef,
Fel rhyw esponiad helaeth o arfaeth fawr y nef.

Ei hun ffieiddiai beunydd oherwydd pechod câs,
A'i ymffrost yn wastadol oedd anhaeddiannol ras.
Y Meichiau mawr a'i aberth yn bridwerth ar y groes
Oedd iddo 'mhob cyfyngder yn byder trwy ei oes.

Y cyfiawn hwn ystyriwn dilynwn ef yn awr,
Mewn rhinwedd a duwioldeb a phurdeb ar y llawr;
Nes cyrhaedd pen yr yrfa i'r wir orphwysfa rad,
I blith y dorf sy'n canu heb dewi am y gwaed.

WILLIAM EVANS.

---

### Y FRENHINES VICTORIA.

*Cyflwyniad ei Mawrhydi y Frenhines Victoria i Dduw, gan ei thad, ei Uchder Brenhinol Duc Kent, ychydig cyn ei farwolaeth.*

Cafodd ein Brenhines, pan yn ieuanc iawn, ac mewn amgylchiad mwyaf cynnyrfiol a serchiadus, ei chyflwyno i ofal a bendith Duw. Ei harddercheg dad a ddangosodd ar ei wely angau 'galon ddrylliog gystuddedig,' ac a adawodd dystiolaeth fod ganddo sylfaen dda i'w obaith, a'i fod yn ei ddiwedd yn ymorphwys ar yr unig sail a drefnwyd i bechaduriaid i bwyso arni am fywyd tragywyddol.

Ac un a weithrediadau olaf ei fywyd, oedd cymmeryd ei unig ferch fechan yn ei freichiau, a'i chyflwyno hi, gyda gweddi daer, i ddwylaw Duw, gan ddeisyf yn gyffelyb i hyn, 'Os caniatteid iddi gael byw i fyned i fynu ar orseddfainc Brydain, am iddi gael y fraint o roddi ei hymddiried diysgog yn Nuw, datguddiedig yn Iesu Grist, ac am iddo Ef fod yn wastadol gynghorwr ac amddiffynwr iddi.'

Hysbyswyd i ni am y weithred hon o eiddo ei duwiol dad, gan un o gyfeillion personol Duc Kent, yr hwn, er nad oedd yn bresennol yn y cyfamser, a dderbyniodd yr hanes yn nghladdedigaeth ei Uchder Brenhinol, gan un ag oedd yn bresennol yn gweled ac yn clywed yr olygfa a'r ymadroddion cynnwysfawr a syml a grybwyllwyd.

Yr ydym yn edrych gydag awyddfryd a gobaith ar y cyfryw amgylchiad; ac mae yn ddiameu genym y bydd i'r hysbysrwydd o hyn, y dyfal a'r cynnyddol ddisgwyliad a gobaith a deimlir mewn perthynas i rinweddau personol ein Brenhines ieuanc, yn gystal a'i swydd Frenhinol a goruchel, a'r achosion pwysfawr sydd o'i blaen, fod yn annogaeth i'n darllenwyr lliosog, y rhai a brofasant werthfawrogrwydd a llwyddiant gweddi, i gyflwyno ei pherson, ei llywodraeth, a'i phobl mewn gweddi ddyfal a pharhaus i drugaredd, a gras, a bendith, y Goruchaf Dduw.—*See Friendly Visitor for October* 1837.

---

*Engraifft o serchogrwydd tymher ein Anrhydeddus Frenhines ieuanc, yn fuan wedi dyfodiad i'r orsedd.*

Fel yr oedd yn naturiol ac yn rhesymol dysgwyl, fe ddaeth y Duces Northumberland, diweddar Athrawes Victoria, yn un o'r rhai cyntaf, i edrych am dani, ac i'w chyfarch, yn ei sefyllfa Frenhinol. Hysbyswyd i'r Frenhines, cyn dyfodiad y Duces i mewn i'r Ystafell, mai arferiad holl Frenhinoedd a Brenhinesau Brydain ydyw derbyn a chyfarch pawb a ddel i edrych am danynt ar eu heistedd; nad oedd eu sefyllfa oruchel ddim yn goddef iddynt godi ar eu traed ac ymgrymu i neb o'u deiliaid ar y cyfryw achlysur. Dangosodd ei Mawrhydi beth anewyllysgarwch i gyfarch ei hen Athrawes yn y modd yma. Ond, beth bynag, hi a ddywedodd mai os felly y bydd gorfod gwneud, y bydd raid i ryw un hysbysu hyny i'r Duces cyn ei dyfodiad i mewn: ac felly y gwnaed.

Fodd bynag, cyn gynted ag y daeth y Duces i mewn i'r Ystafel Frenhinol, fe gododd y Frenhines ar ei thraed, ac a redodd i'w chyfarfod hi, ac a roddodd ei breichiau am ei gwddf, ac a'i cusanodd yn y modd mwyaf serchog a hoff. Gan rym ei hanwyldeb at ei hen Feistres, hi anghofiodd y seremoniau brenhinol yn y fan.

---

### Y DIWYGIAD GOREU.

Dywedir fod mab i'r diweddar enwog Esgob Burnet, yn wyllt ac anfoesol pan oedd yn wr ieuanc. Un diwrnod, canfu ei dad ef mewn agwedd drist anghyffredinol; efe a ofynodd iddo, beth oedd yr achos o'i fod mor ddifrifol, ac ar ba beth yr oedd yn dwys-fyfyrio. Attebodd yntau, ac a ddywedodd, yr wyf yn dwys-fyfyrio ar orchwyl mwy pwysig na gwaith eich Arglwyddiaeth chwi yn Hanes y Diwygiad Protestanaidd. 'Ai ie, beth yw y gorchwyl hwnw,' eb yr

Esgob. Ei fab a chwanegodd, 'Barn pawb yn gyffredinol yw mai y Diwygiad sy'n dechreu gartref yw y Diwygiad goreu.' Hawdd barnu yr effaith cysurus a barodd yr ymadroddion hyn o eiddo ei fab ar feddwl ei dduwiol dad; yn enwedig pan y proffwyd yn y canlyniad ei fod ef yn ddiffuant.

---

SEN I'R YNFYD.

'Atteb yr ynfyd yn ol ei ynfydrwydd, rhag iddo fod yn ddoeth yn ei olwg ei hun.'

Un tro, pan oedd lliaws yn eistedd ynghyd mewn ystafell ar ol ciniaw, tynodd un o'r cymdeithion sulw y lleill arno, drwy ei fod yn ceisio dangos ei fod yn wr deallus, yn ysgolhaig, ac yn Philosophydd mawr. A'r pwnc a gymmerodd efe mewn llaw oedd, ceisio profi trwy waith awduron philosophaidd, nad oedd gan ddyn yr un enaid! Ac yn lle ei atteb a'i wrthwynebu ef, yr oedd pawb yn gwrando arno mewn syndod. Yna efe a drodd at un ferch foneddig oedd yn eistedd yn agos atto, ac yn ymddangos yn bur sobr, ac a ofynodd iddi, 'Beth ydych chwi yn ei feddwl o'm Philosophyddiaeth i?' Hithau a'i hattebodd yn bwyllog yn eu gwydd hwynt oll, gan ddywedyd, 'Yr wyf yn meddwl eich bod chwi wedi cymmeryd llawer iawn o drafferth i geisio profi *nad ydych chwi ddim amgen nag anifail!*'

---

# Y Dysgawdwr Cyffredinol.

VIII. AM LYWODRAETH A CHYFREITHIAU.

131. Penau a Thadau Teuluoedd oeddynt gynt eu llywodraethwyr; a'r math yma o lywodraeth a elwid yn Batriarchaidd. Hanesion Abraham, Isaac, a Jacob ydynt eglurhadau prydferth o'r agwedd yma o gymdeithas ddynol.

132. Pan y byddai y teulu wedi myned yn rhy lïosog, y cangenau a ymwahanent, megis y gwelwn yn enghraifftiau Abraham a Lot, a Iacob ac Esau; ond os, ar ol cynnyddu, y parhäent i drigo ynghyd, hwy a aent yn llwyth neu genedl, yn mha rai yr henuriaid a rëolent; ac er amddiffyniad rhag eu gelynion hwy a ddewisent gadpen neu benaeth milwraidd, yr hwn a gymmerai yr enw Brenin, Sultan, neu Ymherawdwr.

133. Y cyfryw ydoedd dechreuad llywodraethau; a hwy a brofent o wahanol dueddiadau, yn ol amgylchiadau. Unrhyw ymrafael rhwng dau lwyth a roddai iddynt eu dan nodweddiad milwraidd.

Efe yr hwn a gaffai yr oruchafiaeth, a fyddai mewn perygl o gael ei ennyn gan ymffrost buddugol; yna, llawer o drueni a ganlynai. Mewn amser, llawer o lwythau neu deuluoedd a ymgyfunent yn un, yn gystal er niweidio ag amddiffyn; a'r cyfryw ydoedd dechreuad cenhedloedd.

134. Gwlad Canaan pan oresgynwyd gan yr Israeliaid, a adranwyd fel hyn yn llwythau bychain; megis y cafodd Brydain, pan y'i goresgynwyd gan Cesar. Ital, hefyd, a ranwyd yn yr un modd, cyn i uchel-gais a nodweddiad milwraidd rhai Rhufeiniaid eu harwain i ryfela â'u cymmydogion.

Y cyfryw, hefyd, yw agwedd pum mil o lwythau dienw yn Ngogledd a Deheubarth America; yn Affrica hefyd, Tartary, a Siberia, y dydd hwn.

135. Mae pob dyn mewn cymdeithas, neu genedl, yn rhwym i olygu ei llwyddiant; i beidio gwneuthur dim yn niweidiol i'w haelodau; ac i ymgydffurfio ei hun â'r rhëolau a'r cyfreithiau trwy ba rai mae yn cael ei chadw yn nghyd, ei chynnal, a'i hamddiffyn. Trwy ufuddhâu i'r cyfreithiau ei hun, mae yn rhoddi esampl i eraill; ac mae trwy hyny yn cael hawl i'r lles cyffredin a'r amddiffyn a weinyddir ganddynt.

'Pa beth sydd yn gwneuthur i fynu lywodraeth? Nid rhagfur uchel, neu amglawdd anferthol, mur llydan, na phorth cylch-ffosawl; nid dinasoedd heirdd wedi eu coroni âg adeiladau a thyrau uchel frigog; nid angorfäau, a phorthladdoedd chang arfogawl, lle y mordwya llyngesau goludog, a chedyrn; nid llysoedd dysglaerawg ac ysplenydd. Nagê—Dynion, dynion o feddyliau mawrfrydig, dynion yn gwybod eu dyledswyddau, a'u iawnderau, a chan wybod yn beiddio eu dal, ydynt yn rhagflaenu y dyrnod amcanedig ac yn llethu y gormes-deyrn tra maent yn tori y gadwyn— Y rhai hyn a wnant i fynu lywodraeth.'—

SYR W. JONES.

136. Ffurf-llywodraeth yw y cynllun hyny o lywodraeth a chyfan-gorph o gyfreithiau, dan y rhai mae pobl yn cytuno, neu wedi cytuno, i fyw ynghyd.

Yn Brydain, er esampl, mae genym brif swyddog, neu frenin, i osod y cyfreithiau a thrin gorchwylion y llywodraeth; ac mae genym ddau dŷ o senedd, yn gynnwysedig o henuriaid, a dynion o ystyriaeth, i gydsynied â'r brenin wrth wneuthur a newid cyfreithiau, a threthu arian. Y trefniad hwn a elwir Ffurf-lywodraeth y Deyrnas Gyfunol.

137. Y ddau dŷ o senedd ydynt yn gynnwysedig o oddeutu 400 o arglwyddi neu bendefigion, yn gwneuthur i fynu Dŷ yr Arglwyddi; ac o 658 o aelodau, etholedig gan ac yn cynnrychioli y bobl, yn Nhŷ y Cyffredin.

Nis gall yr un gyfraith gael ei gwneuthur heb gydsyniad y brenin, yr Arglwyddi, a Thŷ y Cyffredin; ac nis gall dim gael ei wneuthur gan neb, yn groes i'r cyfreithiau a wnaethpwyd felly; neu i'r defodau sefydledig, neu'r Gyfraith Gyffredin, a rheswm uniawn y wlad.

138. Nid oes yr un dreth i gael ei chodi oddi ar y bobl, oddi eithr iddi dechreu yn Nhŷ y Cyffredin, ac iddi yn gyntaf gael ei chymmeradwyo gan y gynnulleidfa hono. Crëad yr Arglwyddi, a thriniad achosion gyd â chenhedloedd tramor, ydynt yn perth-

ynu i swydd y brenin; ac hefyd trefniad a phennodiad y Fyddin a'r Llynges, a thriniad rhyfeloedd.

139. Cyfreithiau Brydain ydynt gynnwysedig o'r Gyfraith *Gyffredin*, y Gyfraith *Osodedig*, a'r Gyfraith *Wladol*.

Y *Cyfraith Gyffredin* ydyw hên Gyfraith Brydain, yn tarddu tybygid o gyfreithiau y *Saxons*, wedi eu sylfaenu ar egwyddorion rheswm a chyfiawnder, ar gyfreithiau datguddiedig Duw; ac ar ddefodau ac iawnderau oedranus y bobl.

Y *Cyfreithiau Gosodedig* (Statute Laws) ydynt gyfreithiau pennodol i gyhoeddi, grymuso, a chymmesuro, y gyfraith gyffredin, a chyflenwi ei diffygiadau; ac mae yn rhaid iddynt gael eu gwneuthur gan y ddau Dŷ o Senedd, a rhoddi cydsyniad iddynt gan y Brenin.

Y *Gyfraith Wladol* (Civil Law) ydyw cyfraith ein llysoedd ysprydol a'r prif athrofäau; ac sydd yn tarddu oddi wrth hen gyfreithiau y Rhufeiniaid, wedi eu casglu yn ddeddflyfr dan yr Ymherawdwr Justinian.

140. Y Cyfreithiau ydynt yn cael eu gweinyddu yn enw y Brenin, yn llysoedd y *King's Bench*, *Exchequer*, a'r *Common Pleas*, yn Westminister, ac hefyd yn y llysoedd barn yn mhrif drefydd y Siroedd, gan ddau o farnwyr; o ba rai mae deuddeg yn Lloegr.

Mae hefyd Lŷs Cyfiawnder, a elwir Llys y *Chancery*; yn yr hwn, mewn achosion neillduol, mae llythyren y gyfraith yn cael ei chymmedroli, a'i galluoedd dros dymhor yn cael ei belaethu.

Syl.—Mae perygl yn mhob gwlad, fod i'r rhai fyddont yn trin ac arferyd y gyfraith ei chamarferyd, cyfiawnder ei wyrdroi trwy ddichellgarwch a dyhirwch is-gyfreithwyr. Gall pobl Brydain gael eu gwared oddi wrth gwyn gyfreithiau trwy gylafareddiad; *ond maent yn rhy fynych yn cyfeirio at ddadleuwŷr neu gyfreithwyr*, a thrwy hyny yn cael cyfraith, heb gyfiawnder na synwyr cyffredin. Rheithwyr ydynt ein cylafareddwyr cyfreithiawl ar ddadleuon, ond mae eu barn o gyfiawnder yn aml yn cael ei uwch rëoli gan wahaniaethiadau celfyddgar Barnwyr, a'r dulliau o weithrediadau.

141. Mae hefyd lysoedd eisteddfodydd chwarterol, yn cael eu cynnal gan ynadon heddwch, er profi troseddwyr bychain; a chan gyrph corphoredig, y rhai ydynt yn gweithredu dan fraint ysgrif y Brenin. Llysoedd erfyniad, neu y gydwybod, ydynt wedi eu sefydlu er adgaffaelyd dyledion dan bum punt.

Swyddau hedd-geidwaid, (*police*) a swyddogion neillduol, ydynt hefyd yn cael eu hawdurdodi gan y gyfraith i derfynu ymrafaelion mewn is-achosion o gospedigaethau, ymgyrchiadau, crwydriadau, traddodiad i brawf, &c.

142. Yn Mrydain nis gall un dyn gael ei brofi am unrhyw drosedd, oddieithr i ddeuddeg o uchel REITHWYR ardystio mewn cwyngyhuddiad, fod achos i'w brofi: ac nis gall gael ei euog farnu na'i gospi, oddieithr i ddedfryd gael ei rhoddi yn ei erbyn gan REITHWYR eraill, cynnwysedig o ddeuddeg o ddynion cywir ac anwrthodadwy.

Syl. Pobl Brydain, trwy offerynoldeb Rheithwyr, ydynt Warcheidwaid eu cyfiwnder eu hunain, a chan fod yn rhaid i bob un o'r Rheithwyr gyduno yn y farn, felly mae gan bob gwr cywir o'r Rheithwyr yn eu hawdurdod i amddiffyn diniweidrwydd, a noddi y gwan oddiwrth ormes y cryf. Os bydd i anghyfiawnder byth gymmeryd lle yn Brydain, mae yn rhaid iddo fod yn fai gwahanol pob un o'r Rheithwyr; o ganlyniad dyledswyddau Rheithiwr ydynt y mwyaf pwysfawr a dwysganlyniadol ag y dichon i Frytwn gael ei alw i'w cyflawni. Dylai Rheithiwr gonest drengi yn ei swydd yn hytrach na chydsynio i unrhyw farn, yr hon yn ei gydwybod ei hun nid yw yn ei chael i fod yn gyfiawn.

*(I'w barhau.)*

---

## Attebion.

***Atteb i Ofyniad J. W. Rhif. 80. tu dalen 246. am eglurhad ar Psalm*** **lxviii. 22.** ***Ynghylch fod pobl yr Arglwydd yn Basan, ac yn nyfnder y môr, a'i fod ef yn addaw eu dwyn hwynt oddi yno.***

Atteb. Fe fu Israel Duw yn nyfnder y môr, sef y môr coch, pan oeddynt yn ffoi rhag eu gelyn erlidgar a chreulon Pharaoh. Ac fe'u gwaredodd yr Arglwydd hwynt oddiyno, ac a foddodd Pharaoh a'i fyddin yn nyfnder y môr. Gwel Ecsod. 14. 16, 22.

Hwy fuont wedi hyny mewn perygl a chyfyngder dirfawr yn Basan. Pan ddaeth Og brenin Basan a'i holl bobl i ryfela yn eu herbyn hwynt yn Edrei. Ond fe'u gwaredodd yr Arglwydd hwynt hefyd o'r cyfyngder hwnw, canys efe a roddodd Og a'i wyr yn llaw Moses, ac efe a'i dyfethodd hwynt fel nas gadawyd o honynt neb yn fyw. Yna Israel a feddiannodd eu tir hwynt. Gwel Num. 21. 33—35.

Ac yn yr adnod a grybwylla J. W. dywedir, 'Dywedodd yr Arglwydd, Dygaf fy mhobl drachefn o Basan, dygaf hwynt drachefn o ddyfnder y môr.' Ni feddylir yma y bydd i Israel neu bobl yr Arglwydd fyned drachefn i Basan ac i'r môr coch yn yr ystyr lythyrenol o'r geiriau, ac y bydd iddynt gael eu gwaredu etto o'r lleoedd hyny. Ond y bydd iddynt fyned i'r cyffelyb cyfyngderau ag y buont ynddynt yn y manau hyny, ac y cyfarfyddant a'r cyffelyb elynion creulon ac erlidgar a Pharaoh Brenin yr Aipht, ac Og Brenin Basan, ac y bydd i'r Arglwydd eu gwaredu hwynt drachefn. Yr ystyr yw, 'Myfi a wnaf bethau mor fawrion i'm pobl drachefn ag a wnaethum

erioed yn yr oesoedd gynt, ac a'u gwnaf hwynt yn gymmaint concwerwyr ar eu gelynion ag a fuont ar Og Brenin Basan, a Pharaoh Brenin yr Aipht.

Cyflawnwyd hyn i raddau helaeth yn nyddiau Dafydd amryw weithiau; ac yn ngwaredigaeth yr Iuddewon o Babilon; ac fe'u cyflawnir etto yn ysbrydol ar yr Iuddewon ar eu dychweliad i'r ffydd. Ac mae yr addewid hefyd yn cael ei gwirio a'i chyflawni ymhob oes, drwy fod pobl Dduw yn cael y maes ar eu gelynion ysbrydol, a'u gwaredu o gyfyngderau o amryw fath.

CYHOEDDWR.

---

*Atteb i Ofyniad A. Jones, Rhif.* 78. *tu dalen* 178. *ynghylch yr hyn a ddywed yr Efengylwyr am yr hyn a welodd y gwragedd wrth y bedd.**

Atteb. Fe fu y gwragedd amryw weithiau wrth y bedd ar y boreu y cododd yr Arglwydd. Yr oedd rhyw dramwy rhyfedd i ardd Gethsemane gan angylion a dynion y boreu hwnw.

Ymweliad cyntaf â'r bedd gan y gwragedd a gawn eu hanes yn Mat. 28. 1—4. a Marc 16. 1. Yn Marc 16. 2—4. cawn yr ymddyddan fu rhyngddynt ar y ffordd wrth fyned, ynghyd a'r canlyniad. Yn Mat. 28. 5, 6. Hysbyswyd iddynt fod yr Arglwydd Iesu wedi codi yn fyw o'r bedd. Yn Marc 16. 5, 6. cawn eu bod yn myned i'r bedd, ynghyd a'r olygfa a gawsant yno. Wedi hyny, yn Mat. 28. 7, 8. a Marc 16. 7, 8. maent yn dychwelyd yn ol oddiwrth y bedd.

Ail ymweliad y gwragedd, ac ereill gyda hwynt. canys yr oedd y tro hwn chwaneg o honynt, a gawn eu hanes yn Luc 24. 1—8. a'r nawfed adnod, eu dychweliad oddiyno. Yn Luc 24. 10. ac Ioan 20. 1, 2. cawn hanes fod Mair Magdalen yn hysbysu y peth i Pedr. Yn Luc 24. 12. a Ioan 20. 3—10. mae Pedr ac Ioan yn rhedeg at y bedd. Yn Ioan 20. 11—13. Mae gweledigaeth o angylion yn ymddangos i Mair Magdalen. Ac yn Marc 16. 9—11. a Ioan 20. 14—18. y mae Crist yn ymddangos y tro cyntaf wedi ei adgyfodiad, i Mair Magdalen pan wrthi ei hun; oblegid hi a'i gwelodd ef gyntaf o bawb o ddynol-ryw.

Felly gwelwn mor gyflawn, manwl, a chyson, y mae yr Ysgrifenwyr Sanctaidd, yr Efengylwyr, yn rhoi hanes am y personau a fuont wrth y bedd foreu y trydydd dydd, ynghyd a'r holl amgylchiadau perthynol i'r amser byth-goffaol hwnw. CYHOEDDWR.

* Mae aml Ofyniad yn cael eu hanfon attom yn awr a phryd arall o gyffelyb natur i'r Gofyniad hwn; sef am ddangos cyssondeb yr Efengylwyr mewn rhyw ddosparth neu gilydd o'r hanes a roddant am amryw bethau yn eu Hefengyl. Parodd hyn i ni feddwl y gallai cyhoeddi 'Cysondeb y Pedair Efengyl,' mewn dull eglur a manwl yn y Drysorfa, o ddarn i ddarn, bob mis, fod yn ddifyr, buddiol ac adeiladol iawn, yn enwedigol i ddarllenwyr ieuainc. Yn awr, yr ydym yn cynnyg dechreu ar hyn yn mis Ionawr nesaf, os cawn glywed cyn hyny oddiwrth ein Gohebwyr neu ein darllenwyr eu bod o'r un farn a ni ar y matter hwn. Yr ydym wedi clywed eu bod yn ewyllysio cael 'Hanesiaeth Eglwysig' helaethach nag a roisom ryw amser yn ol.

CYHOEDDWR.

---

*Atteb i Ofyniad William Pierce, Gwel Rhif.* 80. *tu dal.* 248.

Pe bai W. P. yn Fragwr a Darllawr, ac iddo fod wedi gwneuthur 89086.½ o lestreidiau (*Bushels*) o Frâg, byddai y Doll yn 11507. 0.1½c. sef 1½c mwy na'r swm a sonia efe.

Yn awr, bwriwn ei fod yn darllaw y Brâg, a gwneuthur 10 galwyn o gwrw oddi wrth bob llestrad; ac i'r ddiod gael ei gwerthu am 1s. 6d. y galwyn byddai y swm yn £66814 17 6. Mae genym achos i fod yn ddiolchgar iawn os oes sail i feddwl fod DROS DRIUGAIN MIL O BUNNAU wedi cael eu hachub rhag eu gwario am yr hyn nad yw (yn ol tystiolaeth y rhai sydd yn gwybod am ansawdd y corph oreu) yn gwneud dim lleshad.

Yn awr, pa beth a ddywedaf, fy anwyl Gyd-genedl, ond eich annog i barhau i fod yn gymmedrol; ac hefyd i ochelyd balchder, a chybydd-dod, &c. Cofiwch na bydd i'ch gwaith yn bwrw ymhell oddi wrthych feddwdod, beri i'r gelyn gysgu; O na, ni wna hyny ond megis ei symbylu i ymdrechu cael genych wario yr arian, a achubwyd genych megis o law meddwdod, i borthi rhyw chwant arall; neu eu pentyrru fel y cybyddion. Byddwch helaeth yn eich cyfraniadau at bob achos da, yn enwedig yr achos Cenhadol.

Beth pe bai y ddegfed ran o'r swm uchod yn cael ei gasglu tu ag at anfon gair y bywyd i'r Gwyddelod; a'r hen Gymry ag sydd yn Ffrainc? Yr wyf yn meddwl y byddai cyffro trwy holl lywodraeth Tywysog yr awyr. Gobeithiaf na bydd i'r matter hwn gael ei gladdu. NIHIL,

*Cundle, Hydref* 10, 1837.

---

## DDIRWEST.

### Y SARPH DORCHOG.

'Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch . . . , yn y diwedd efe a frath fel sarph ac a biga fel neidr.' Diar 23, 31, 32.

Fe ddywedir am y *Boa Constrictor* ei bod yn arferol o ymgylymu ei chynffon am ryw brysgwydden ar lan rhyw gorbwll neu lyn o ddwfr, gan chwareu ei chorph ar ei wyneb; hyd nes y del rhyw anifail sychedig yno i ddisychedu ei hunan, acyna yr ymdröa am dano, ac y mâl ei esgyrn yn chwelfriw, ac

yr eanga ei safn, ac y llwngc ef i'w chrombil yn y fan. Ond nis gwyr Cymru'i thrigolion ddim ond trwy hanes am seirph dychrynllyd yr hinsoddau poethion, eu llwybrau dolenawg ar hyd y glaswellt hir, a'u hymosodiad creulonaidd ar eu hysglyfaeth diniweid. Etto, y mae y nadroedd tryliwiawg sy'n sibrwd trwy y prysgwydd a'r mieri, ac yn ymlithro i'w cuddle o'r llanerch y buont yn ymheulo yn ddigon i gywiro yr ymadrodd fod 'gelyniaeth dragywyddol rhwng dyn a neidr' a pheri i'r naill a'r llall o honynt un ai ymosod i ryfel neu arswydo ac encilio mewn braw ac mewn aeth.

Wrth sylwi yn fanwl o'n hamgylch, prïodol y gellir dywedyd fod Sarph yn Nghymru, a bod Neidr yn y Dywysogaeth ag sydd wedi lladd ac anafu miloedd a miloedd o fechgyn dewrion Cymru er pan y mae wedi dechreu dolenu yn masnach y fro. Yn nghynnyrfiad y gwin, yn ngwres tanllyd y gwirodau poethion, ac yn effeithiau cynnesawl y cwrw a'r *porter* y cenedlwyd sarph, ac y deorwyd neidr, a ymgylyma am ei hysglyfaeth yn arteithiawl wely angeu, ac a'i colyna i dragywyddoldeb ym mröydd dychrynllyd ail farwolaeth.

Y mae hanes nadroedd yn hanesion dychrynllyd, a'r chwedlau am seirph yn ddigon a pheri i gnawd ymddatod, ond pwy, tu yma i'r Gehena dragywyddol a fedr roddi hanes iawn am y Sarph dorchog. '*Yn y diwedd*' medd Solomon, y mae hi yn brathu yn ofnadwy—'*yn y diwedd*,' y mae hi yn pigo yn ddychrynllyd. Y mae hi yn chwareu yn hoenus yn y gwmnïaeth lawen, ac yn ymheulo yn ei thlysni tryfrithawg yn ngwres y gyfeddach; ond tua gwaelodion Tophet, a godreu mynyddoedd y byd anweledig, y mae y neidr yn ymgynhyrfu yn erchyll, a'r Sarph yn ymosod ar ei hysglyfaeth trwy oesoedd tragywyddoldeb.

Y mae gwybod am lwybr y sarph yn peri i ddyn gilio—a chanfod ffau y wiber yn gwneuthur iddo droi yn ei ol gyda brys; ond nid felly yma, y mae dyn wedi ei syfrdanu mor ofnadwy yn y cwymp yn Eden, 'Efe a sugn wenwyn aspiaid, tafod gwiber a'i lladd ef.' Y mae cynnefindod y wlad, a chyfeiliornad yr oesau, wedi gwneuthur y Sarph dorchog yn un o drigiannwyr bwthyn y Cymro heddychol, ac mor gyssegredig ganddo a'r nadroedd a addolir gan frodorion yr India. Mae efe yn ymhoffi chwareu â hi yn ei rhodfeydd, a chyfrif ei gemau yn nghyfeddach y gwin. Yn y ffair efe a'i mawl hi—yn y farchnad mae yn canmawl ei phrydferthwch hi—yn y teulu y mae yn ei chymmeradwyo hi—yn y cornel yn unigol y mae yn ei choffeidio hi. Y mae ei brathiadau bychain amserol ag sydd yn codi gwayw yn y pen—yn gyru y dwylaw i grynu, ac yn anhwyluso y cyfansoddiad, yr hwn hefyd sydd yn ernes o'r colynu tragywyddol, yn cael eu maddeu oll pan y gwelir hi yn chwareu ei champau yn y cwpan erchyll, ac yn prydferthu ei gemau yn y gwydryn meddwawl.

Y mae effeithiau brathiadau seirph yn ofnadwy, a chanlyniadau pigiadau nadroedd yn ddychrynllyd—mae y dyn yn chwyddaw ac yn marw. Ond O! y Sarph dorchog, y mae wedi ymrwyfaw tros bedwar ban byd—Mae wedi ymwthiaw i Frydain efengylaidd, ac i Gymru baradwysaidd. Beth ym mhellach? Y mae CHWE CHAN MIL o drigolion ynys Prydain bob blwyddyn yn noleuiad ei chorph, yn cael eu gwasgu ganddi i farwolaeth dragywyddol, ac yn crwydro gwaelodion Tophet dan effeithiau chwyddedig ei gwenwyn angeuol, gan ddeisyfu marw heb farw byth.—

Os bydd sarph ar y llwybr a neidr ar y ffordd, y mae rhybydd amserol yn dda, ond y mae noddfa ddiogel yn well. Ac yn awr, pa sawl mil sydd wedi syrthio yn aberth i'r Sarph Dorchog heb weled erioed mo byrth Dirwest yn agored fel ag y gwelwn ni, a chanfod dorau y castell hwn yn llydain o'u blaen. Mae aml rybydd wedi ei roi, wedi ei ysgrifenu ar y galon â dagrau rhïeni a pherthynasau—Mae llawer cyngor wedi ei gyhoeddi yn llais natur adfeiliedig—ac y mae miloedd o addunedau wedi cael eu gwneuthur ym mhrofiadau edifeirwch deddfol; ond swyn gwenwynawl y Sarph Dorchog a olchodd yr argraph ymaith, a ddistawodd natur, ac a wnaeth i'r dyn anghofio ei addunedau oll. Ond yr awr hon, gan hyny y mae Dirwest, fel Doethineb gynt yn gwaeddi, 'Ha, ynfydion, deallwch gyfrwysder, a chwi wyr angall byddwch o galon ddeallus derbyniwch fy addysg ac nid arian, a gwybodaeth o flaen aur etholedig. Ac yn benaf oll y mae yr Argwydd Ioa ei hun yn llefain, 'Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn, yn y diwedd efe a frath fel sarph, ac a biga fel neidr.'

Yn olaf y mae *ymosod* ar Sarph yn cael ei gyfrif yn ddewrder; ond y mae ei *lladd* hi yn weithred o enwogrwydd. Gwnaeth *St. George* ei hun yn enwog yn ngorchfygiad y *Dragon*—anfarwolodd *St Patrick* ei enw wrth ysgymmuno y nadroedd o'r Iwerddon—tragywyddoled y Cymry eu hunain yn ninystr y Sarph Dorchog.

Y sawl a ganfu'r gwin cynhyrfus
Yn y gwydryn mawr hybarchus,
Ganfu'r hen orweddle troellog
Lle gorwedda'r *Neidr Dorchog*

Y sawl fu farw yn ei feddwdod,
O dan farnau ac erchylldod,
Sydd yn awr dan boen ysgythrog
Colyn dur y *Neidr Dorchog*

Y sawl fu'n hoff o'r gwirod poethion,
A'r cwpan erchyll gyd â'r meddwon,
A fu'n chwareu yn anffodiog
A cholynau'r *Neidr Dorchog*.

Gyda Dirwest deuwch allan,
I orchfygu 'r dreigiau aflan;
Ni gawn seinio Anthem serchog
Ar gelain oer y *Neidr Dorchog.*

Beth wna Gymru a'i mynyddoedd,
Ei bryniau serth, a'i thywyll gymoedd,
Fel Paradwys yn flodeuog?
Ymadael byth a'r *Neidr Dorchog.*

Ior y nef—Gorchfygwr mwynlan,
Y Sarph fawr—yr hon yw Satan;
Dyro nerth i'r Cymro ofnog,
Byth i ladd y *Neidr Dorchog.*

*Bala.* J. PHILLIPS.

---

### CAETHWAS I DDIRWEST.

Rhai blynyddoedd yn ol yr oedd amaethwr cyfrifol yn byw yn nghymmydogaeth T—— a chanddo fab anwylaidd a hoff. Pan gyrhaeddodd y llangc llawn 26ain oed efe a briodai ferch i amaethwr cyfoethog yn yr un ardal; a gwyl eu priodas a gadwyd yn addas i'w sefyllfa yn y byd. Wedi iddynt symud i'w tyddyn eu hunain, dechreuodd y gwr godi yn foreu, a myned yn hwyr i gysgu, hyd nes oedd ei ddiwydrwydd yn ddiareb, a'i gyfoeth yr amlhau

Cyn pen hir flynyddau yr oedd ei blant hefyd yn tyfu i fynu ac yn gwneud ei gartref yn fwy cysurlawn o hyd; ond fel y bu gwaethaf y ffawd, daeth dyn i'r gymmydogaeth ac a agorodd dafarn. Y tyddynwr hwn, er mwyn treulio awr gyda'i gymmydogion, ac ym mhen ychydig o arferiad, a ddechreuodd ymweled â'r dafarn yn dra mynych, hyd oni ddaeth yn feddwyn cyhoeddus. O ganlyniad, dechreuodd y cyfoeth gymmeryd ei adenydd a chyn pen hir iawn yr oedd ffair ar ei eiddo, ac yntau yn ammharchus, a'i wraig a'i blant yn druenus. Aeth y'mlaen am rai blynyddoedd yn yr yrfa bechadurus hon, yn segura oddeutu y dafarn, ac yn cyflawni y swyddi gwaelaf am wydraid o gwrw. O'r diwedd, daeth y newydd am Gymdeithas Dirwest i'r ardal; a'r tafarnwr a ddechreuodd ymwylltio. Y tyddynwr anffodus hefyd a fabwysiadodd holl ffug-resymau y tafarnwr, ac a ddyrchafodd ei lais 'r un mor egr yn ei herbyn. Ond nid oedd waeth beth a lefarent, ym mlaen yr oedd y Gymdeithas yn myned, ac yn llwyddo yn ei hamcanion.

Wrth weled hyn, aeth y tyddynwr ryw ddiwrnod i fyfyrio beth a allai Dirwest a'i Chymdeithasau fod, ac wrth wneuthur hyny efe a ddaeth ato ei hun, a wnaeth benderfyniad i ymwrthed yn llwyr â phob math o ddiodydd meddwol, a bod yn ddyn sobr; ac efe a aeth at y Gymdeithas i gynnyg ei hun yn aelod. Ar y cyntaf, gwrthodasant ei dderbyn yn aelod, gan ei gynghori i fyned a phrofi ei hun yn gyntaf, i edrych a allai efe ddal y penderfyniad ai peidio, o herwydd ei fod mor ddiarebol am feddwi o'r blaen. Ond yr oedd y penderfyniad wedi ei seilio yn ei galon, ac efe a a'i cadwodd mor dda, fel y derbyniwyd ef yn llawen yn aelod o'r Gymdeithas

Ciliodd oddiwrth y dafarn yn llwyr, a dechreuodd ymgadw oddeutu ei fwthyn ei hunan. Ym mhen ennyd o amser wedi hyny daeth galwad arno i dderbyn arian yn y dafarn: ac wedi darfod, hwy a alwasant am gwrw i mewn, gan erchi arno gyfranogi o hono. Efe a nacaodd gydsynio a'u cais, Hwythau yn daerach fyth a geisient ganddo yfed; ac yntau yn myned yn fwy diysgog o hyd a wrthodai ei brofi. Yr oedd y tafarnwr yn sefyll o'r tu ol iddo yn barhaus, gan wylio yn ddyfal beth fyddai y diwedd; a phan y gwelai ef mor benderfynol, efe a wnaeth y wên fwyaf gwawdus, ac a ddywedai 'Ni feiddia efe yfed dim! nid yw efe yn berchenog arno ei hun mwyach! y mae efe yn gaethwas i'r Gymdeithas Ddirwestol! nid yw efe yn alluog i weithredu a barnu drosto ei hun; ac felly y mae wedi syrthio i'r sefyllfa wael o fod yn *gaethwas* o'r diwedd, y mae ganddo fe feistradoedd i edrych ar ei ol, ac i rwystro iddo yfed!'

Nid oedd araeth wawdus y tafarnwr yn effeithio dim i gynhyrfu ei nwydau digofus; ond efe a drodd ei ben ato, a'r dagrau yn llenwi ei lygaid, ac a llais arafaidd efe a'i hattebodd fel hyn:—'Syr, os wyf fi yr awr hon yn Gaethwas i'r Gymdeithas Ddirwestol, cofiwch fy mod i wedi bod am lawer blwyddyn faith yn gaethwas i chwi. A meistr creulon fuoch *chwi* i mi hefyd. Chwi a'm cadwasoch yn y caethiwed chwerwaf, ac yn y llafur dygnaf! Chwi a'm cawsoch yn dda fy myd, wedi fy amgylchynu â llawnder, a phob rhadlonrwydd teulu dedwydd—yn wr happus—yn dad tyner—ac yn ddyn parchus. Ond chwi a'm hyspeiliasoch o'm meddiannau, o'm parch, ac o'm heddwch! Chwi a ddiffoddasoch fy holl anwyldeb teuluaidd, ac a ddygasoch dlodi, ac ammharch, a thrueni i fy nheulu; a'r arian hyny a gynnaliasai fy ngwraig, a borthasai, a wisgasai, ac a roddasai addysg i fy mhlant, a ddygasoch chwi oddi arnaf, trwy y diodydd gwenwynawl a werthech imi.

Yn wir, yr oeddech *chwi* yn feistr creulawn! Ond, Syr, nid ydwyf yn gaethwas i chwi ddim yn hwy! Yr wyf yn sicr na all y Gymdeithas Ddirwestol fy nghadw mewn caethiwed chwerwach nag y darfu i chwi. Nis gall hi fy yspeilio o gymmaint eiddo ag y darfu chwi; a chan hyny, os rhaid i mi fod yn gaethwas, mi a fyddaf yn gaethwas i'r Gymdeithas Ddirwestol.' Nid rhaid i mi ychwanegu mwy, a dywedyd na allodd y tafarnwr atteb iddo yr unig gair.

Y mae y gwr erbyn hyn wedi ennill ei gymmeriad a'i fri cyntefig, a'i deulu wedi crynhoi o'i gwmpas etto, a thrwy ddiwydrwydd yn gallu eu cynnal agos gystal ag o'r blaen; a heddwch wedi dychwelyd i'r man y teyrnasodd adfyd a chyni am feithion flynyddau. P.

# Hanesiaeth Cenhadol.

## DEHEUDIR AFFRICA.

### LATTAKOO.

Derbyniwyd yn ddiweddar newyddion cysurus am lwyddiant y gwaith cenhadol yn Lattakoo.

*Talfyriad o lythyr oddiwrth Mr. Hamilton, a ddyddiwyd yn Lattakoo, Chwef.* 9, 1837, *a anfonwyd at Ysgrifenydd y Gymdeithas Genhadol.*

Eich llythyr caredig, dyddiedig Mehefin 11, a dderbyniais yr 20fed o Ragfyr canlynol, ac a'm cafodd yn y mwynhad o'm iechyd, am yr hwn yr wyf yn diolch i'r Duw da a daionus, yr hwn y rhyngodd bodd iddo fy nghynysgaeddu âg ef am gynnifer o flynyddoedd mewn gwlad baganaidd, er annheilynged wyf. Yr Arglwydd, yr hwn a'm hanfonodd yma, a'm galluogodd 'i efengylu ymhlith y cenhedloedd anchwiliadwy olud Crist,' bellach, am lawer o flynyddoedd.

Mae yn llawen genyf hysbysu i chwi, fod y gwaith cenhadol yn y parthau hyn o Affrica yn fwy llwyddiannus nag y bu erioed. Rhyngodd bodd i'r Hollalluog dywallt o'i Yspryd Sanctaidd ar wrandawyr y gair, fel y mae deffroad mawr a chyffredinol am achos eu heneidiau ymysg y bobl sydd yn preswylio ar lan afon Kuruman. Er pan ysgrifenais fy llythyr diweddaf, derbyniwyd chwech i'r eglwys, tri mab, sef meibion penaethiaid, gwraig i un o Benaethiaid *Baclara*, ynghyd a'i chwaer a'i ferch. Nifer yr aelodau eglwysig yn awr ydyw deugain; ac yr wyf yn dysgwyl ymhen ychydig fisoedd y byddant yn chwaneg o lawer, canys y mae triugain ereill yn awr dan argyhoeddiadau dwysion ynghylch achos eu heneidiau. Mae chwaneg na hanner y rhai hyny o'r Baclaras, y rhai a deithiant saith milldir bob dydd gwener i ddyfod i Lattakoo i dderbyn addysg ynghylch ffordd iachawdwriaeth. Mae deugain, ac weithiau deg a deugain, yn dyfod yma o'r pellder hwnw ar y Sabbath, ac maent yma mewn pryd erbyn y cyfarfod gweddi yn y bore, yr hwn sydd yn dechreu ynghylch awr ar ol codi haul; mae yn ddiammeu fod hyn yn arwydd o'u cywirdeb.

Er hyny yr ydym yn ymweled â'r bobl yn Kuruman bob Sabbath. Mae gwrandawiad da yn yr holl bentrefydd, ac y mae pregethiad y gair yn effeithio yn ddwys ar amryw o honynt.

Mae dysgeidiaeth hefyd yn ymdaenu yn gyflym yn eu plith. Pan fyddaf fi yn ymweled â thrigolion Baclara, byddaf yn eu cael yn darllen ac yn dysgu eu gilydd yn gyffredinol; ac mewn canlyniad i hyn y mae galwad mawr am y Sillebydd yn eu plith. Fe argraffwyd un bychan wyth tu dalen, ac y mae yn awr yn cael ei ddysgu ymysg pobl Mathebee, ac mewn tref gan milltir i'r De-ddwyrain oddi yma, Penaeth y rhai yw Mashooe.

Yn ddiweddar ymwelodd Mashooe â'r lle hwn, ynghyd â nifer o'i bobl gydag ef, ymysg y rhai y mae Duw yn gweithio yn rymus iawn. Ni clywsant ond ychydig o'r efengyl ond fe fu yr hyn a glywsant dan fendith. Mae rhai o honynt yn addas i'w derbyn yn aelodau eglwysig. Mae awydd mawr arnynt am gael Cenhadwr i'w plith. Byddai hwn yn faes hyfryd i was ffyddlawn i Grist i lafurio ynddo.

Mae yr Argraffwasg a anfonwyd drosodd dan arweiniad dwyfol Ragluniaeth i ddybenion ardderchog, yn debygol o fod yn offeryn buddiol iawn fef moddion i daenu gwybodaeth yn yr holl ardaloedd amgylchiadol ymhell ac yn agos.

Mae y pethau hyn yn newyddion cysurus am amgylchiadau gwaith yr Arglwydd yn y wlad bellenig hon, ond y mae'r cyfan yn sefyll ar yr Yspryd Glan yn ei weithrediadau grymus a pharhaus. Yr wyf fi yn 'llawenhau mewn dychryn,' er hyny yr wyf yn credu fod pobl y wlad hon wedi eu rhoddi i Iesu Grist. Mae yma Gangen Gymdeithas Genhadol wedi ei ffurfio a'i sefydlu yn ddiweddar, ac mae wedi llwyddo y tu hwnt i'n dysgwyliad.

---

### KAT RIVER, YN NEHEUDIR AFFRICA.

Derbyniwyd hefyd newyddion cysurus iawn o Sefydliad y Kat River, yn ddiweddar. Y Parch. James Read, ieu. wedi iddo ddychwelyd o'r Deyrnas hon, a chyrhaeddyd Theopolis, ar ei ffordd i'r Sefydliad (yr 8 fed o Mawrth diweddaf) a gafodd y Parch. George Baker yn gwmni iddo, yr hwn a anfonodd y newyddion cysurus hyn i ni. Mae holl gyflwr ac agwedd y bobl yn cael eu cyfnewid yn y modd mwyaf dymunol. Wrth ysgrifenu at Dr. Phillips, efe a ddywed fel hyn:—

Cyrhaeddasom Kat River ar yr 11eg o'r mis hwn. Yr oedd y bobl yn Fort Beaufort, yn talu eu *opgaaf*, sef yr arian dyledus i'r Llywodraeth tu ag at gynnal y gwasanaeth llywodraethol.

Y dydd canlynol cawsom gynnulleidfa fawr yn Phillipton, a chawsom odfa gysurus iawn. Yn y boreu mi leferais oddiar 1 Thes. ii. 13. Wedi cyfarfod o aelodau yr Eglwys, hysbyswyd iddynt fod Mr. Read yn Genhadwr ordeiniedig; ac yr oedd saith yn cynnyg eu hunain o newydd yn aelodau eglwysig. Yn y prydnawn llefarais oddiar 1 Tim. iv. 12, 13, yn benaf fel pregeth i'r gweinidog ieuanc, Mr. Read. Ac yna yntau a bregethodd yn yr hwyr oddiar Psal. lxvi. 16.

Dydd mercher, a'r dyddiau canlynol, nyni a ymwelsom â'r teuluoedd yn y lleoedd pellenig, ac a bregethasom i'r bobl amryw weithiau, yn gyffredinol oddiar eu deisyfiad hwy eu hunain. Dydd sadwrn brydnawn daeth llawer ynghyd i fod yn barod erbyn y Sabbath; ac fel yr oedd Swpper yr Arglwydd i gael ei weinyddu, cynnaliwyd

cyfarfod parotoawl fel arferol, a phregethodd Mr. Read oddiar Gen. vii. 1.

Yn niwedd yr odfa, cadwyd un o'r cyfarfodydd eglwysig mwyaf nodedig y bûm I ynddo erioed: ac yr oedd yr aelodau presennol yn dangos eu bod yn addas i gadw y cyfryw gyfarfod eglwysig eu hunain. Derbyniwyd saith o aelodau newyddion, ac un gwrthgiliwr, ac hefyd daeth un arall ymlaen i gynnyg ei hun.

Daeth y Sabbath, a'r boreu yn hyfryd, daeth pobl mewn waggeni, ar feirch, ac ar draed ynghyd yn lluoedd o bob parth. Yr oedd y lle yn llawn, a rhai yn methu dyfod i mewn, y Sabbath o'r blaen; ond beth oedd i'w wneud y pryd hyn, nis gwyddem. Cynghorai rhai i ranu y dorf yn ddwy, a phregethu iddynt ar wahan. Yn y cyfyngder hwn dygwyd bwrdd allan, ac a'i gosodwyd ef y tu allan i'r tŷ addoliad, ac aeth rhai i mewn, ond y rhan fwyaf a eisteddasant allan ar y gwelltglas, a chadwasom odfa Fethodistiaidd yn ol yr hen drefn yn eu dechreuad hwynt. Mi a ddechreuais yr odfa, a phregethodd Mr. Read yn dda ragorol oddiar 2 Cor. iv. 7, Yna ni a fedyddiasom chwech o bobl mewn oedran, a phedwar arbymtheg o blant. Wedi darfod yr odfa gyhoeddus, aethom i mewn i'r Capel i weinyddu Swpper yr Arglwydd i ddau gant ac ugain o Gymunwyr.

Cyfarfuom drachefn yn y prydnawn, pryd y pregethais innau oddiar Act. xx. 32. Ac yr oedd y bobl yn gwrando yn astud anghyffredinol. Mi a ddylaswn ddywedyd o'r blaen, i mi yn yr hwyr y dydd sadwrn blaenorol, wedi yr odfa gael fy nghyfarch gan nifer a genhadon yn cyflwyno llythyr i mi, copi o'r hwn yr wyf yn awr yn anfon i chwi. Fe'i hysgrifenwyd ef yn hollol ganddynt hwy eu hunain, heb i mi na Mr. Read wybod dim am dano. Yr wyf yn sicr y bydd yn dda gan lawer ei weled, a'i gadw mewn côf.

*Yma y gwelir Copi o'r Llythyr crybwylledig gan Mr. Barker: yr oedd wedi ei lawarwyddo gan bedwar arddeg o brif aelodau yr Eglwys, yn y lle uchod.*

(Cyfieithiad o'r Iaith gynenid.)

At y Parch. George Barker,
Phillipton Mawrth 14, 1827.

Barchedig Syr,—Yr ydym yn teimlo ein hunain yn ddiolchgar iawn i Dduw, yr hwn a ogwyddodd eich calon tuag attom, ac a'ch hanfonodd i'n plith yn amser ein hymddifadrwydd, a phan oeddym yn ein gwasgfa drom. Pan ymddifadwyd ni o'n gweinidog; ie pan oeddym wedi ein gadael fel plant heb dad, neu ddefaid heb fugail, yn agored i'r bleiddiau i'n gwasgaru a'n rhwygo—ie ar y cyfryw amser, pan oeddym ynghanol ein tlodi, a phan oeddym heb neb yn tosturio wrthym; pan nad oedd dim wedi ei adael i ni ond erledigaeth, dirmyg, a gorthrymder—Yna rhyngodd bodd i Dduw eich tueddu i ddyfod i'n cynnorthwyo. Ac er fod hyn wedi rhoddi i chwi lawer iawn o drafferth, chwi edrychasoch ar ein baich megis eich baich eich hun, ein gorthrymder megis yr eiddoch eich hun, cymmerasoch ein heglwys a'n hysgolion i'ch gofal. Ië y cyfryw oedd eich cydymdeimlad annghydmarol â ni, fel pan fu farw eich caruaidd wraig chwi, a'n hanwyl a'n ffyddlon gyfeilles ninnau, yr oeddych oddicartref ar ein hachos ni, Am y cyfryw gydymdeimlad, gan y cyfryw ymroddol was i Dduw, ni a ddylem eich gwobrwyo; ond Duw, yr hwn yr ydych yn ei wasanaethu yn efengyl ei Fab ef, a'ch gwobrwya chwi yn gant cymmaint. Ein gweddi sydd ar Dduw am iddo ryngu bodd eich arbed chwi yn hir i fod yn fendith i'ch cynnulleidfa, ac yn gyfaill i'r anghenog. Cymmeradwych gyda'r llinellau hyn yr arwydd bychan yma o'n parch, y BIBL hwn.

---

### OTTAHEITE NEU TAHITI.

*Dyfyriad o lythyr a anfonwyd gan y Parch. John Davies, Cenhadwr yn Tahiti, yn Môr y de, at y Parch. John Hughes, Bont Robert, Swydd Drefaldwyn.*

Papara, Mehefin 26, 1836.

Anwyl frawd,—Eich llythyrau dyddiedig Ionawr 10, 1835, a Hydref 13, 1835, a dderbyniais; a'r olaf a dderbyniais gyntaf, sef yn Ebrill 1836; a'r llall yn Mai 4, 1836. Y llythyrau a anfonais i ddiweddaf, oeddynt wedi eu dyddio, Gorphenaf 11, 1834, Rhagfyr 4, 1834, a Hydref 8, 1835.

Galarus oedd genyf glywed am farwolaeth amryw o'r gweinidogion defnyddiol hyny yn Nghymru a fûm gynt yn eu gwrandaw gyda budd a llawer o foddlonrwydd. Amryw hefyd o bregethwyr o Saeson a fûm yn eu gwrando yn Llundain, ydynt oll wedi myned i ffordd yr holl ddaear. A diau y bydd i chwi a minau eu canlyn hwynt cyn y byddo hir; Oh am fod yn ffyddlon, yn ddiwyd, ac yn barod i gyfarfod a'n Harglwydd, Luc 12. 35—40.

Er pan yr ysgrifenais ddiweddaf, ni ddigwyddodd dim neillduol yma yn Papara; y mae'r ysgolion a phob moddion gras yn cael eu cynal fel arferol. Dau o'n haelodau Eglwysig a fuant feirw wedi dechreu y flwyddyn hon; a chwanegwyd amryw at ein Heglwys* o bobl lled ieuaingc gan mwyaf mewn sefyllfa briodasol.

Er hyny ni bu deffroad neillduol yn ein cynnulleidfa; a'r cyffredinolrwydd o'r ieuengctyd ydynt wamal, a diofal ynghylch achos eu heneidiau, er yr holl fanteision y maent yn eu mwynhau. Nid oes genym (fel y crybwyllasoch) ond arferyd y moddion, ac edrych at yr Arglwydd am ei fendith. Nis gallasai Paul ond planu, nac

* Y mae yr Eglwys hon yn cynnwys yn nghylch 400 o aelodau.

Apolos ond dwfrhau, ond Duw oedd yn rhoddi'r cynnydd.

Crybwyllais yn un o'm llythyrau o'r blaen fod y Pabyddion wedi dyfod i'n cymmydogaeth, sef, Ynysoedd Gambier; a mae ganddynt Esgob, gwr o Ffrainc, ag y sydd meddynt yn Vicar Apostolaidd; a dywedir eu bod yn disgwyl nifer mwy o offeiriaid. Beth a fydd diwedd y pethau hyn nis gwyddom: ofni yr ydym rhag cael ein haflonyddu ganddynt.

Peth arall a ddigwyddodd yn ddiweddar, oedd ymadawiad ein brawd Henry Nott, a'i wraig i fyned i Loegr; y mae ef wedi bod yn glaf yn fynych, ond cafodd y fraint o allu gorphen cyfieithiad yr Hen Destament, a diwygio cyfieithiad y Newydd, a rhanau o'r hen a gyfieithasid o'r blaen.* Gobeithiaf y caiff ef a'i ysgrifenadau gyrhaeddyd Lloegr yn ddiogel, a chael bywyd ac iechyd i arolygu Argraffiad o'r holl Feibl yn yr iaith Tahitaeg, yn Llundain: bydd fy meddwl mewn anesmwythder hyd oni chlywyf am hyny.

Y mae chwech o genadon wedi myned i Ynysoedd Hamoa. Y mae dau o genhadon yn llafurio yn Ynys Marquesas, mewn amgylchiadau mor obeithiol ag a ellid yn rhesymol eu disgwyl.

Da genyf gael clywed am agwedd grefyddol a gwladol, gwlad fy ngenedigaeth; yr wyf yn ddiolchgar i chwi am y Drysorfa, a Grammadeg Hebraeg y Parch. J. Parry, a rhifyn o'r pregethwr yn yr hwn y mae pregeth o'r eiddoch chwi, ac hefyd o'r eiddo y Parch. J. Elias. Anfonwyd i mi rai llyfrau Cymraeg o Lundain. Y mae genyf gryn lawer o lyfrau Cymraeg, pa rai ar ol fy nyddiau i, ni fyddant o ddefnydd i neb yma.

Y mae wedi bod ar fy meddwl yn fynych, ddymuniad mawr a dwys am weled Cymro yn dyfod yma i'n cynnorthwyo: pa ddywenydd a fyddai genyf weled gwr ieuangc o Gymru wedi dyfod yma i Papara yn Tahiti, gwnawn a allwn er ei les, i'w ddysgu yn iaith y wlad. Ond odid nad oes yn mhlith athrawon yr Ysgol Sabbathol ryw langc o berchen duwioldeb a doniau addas. Rhan fawr o'm gwaith i yma ydyw gwaith yr Ysgol; ac y mae angen mawr am ryw un yn Tahiti a'i cymerai mewn llaw â'i holl galon, y cyfryw ag a ymhyfrydai yn y gwaith fel un yn ei elfen.

Ond nid oes yma yn bresenol ond tri o honom, sef Mr. William Henry, priodor o Sligo, yn yr Iwerddon, a ddaeth yma yn y Duff, yn y flwyddyn 1797. Mr. Charles Wilson, priodor o Aberdeen, yn Scotland, a minau o Gymru. Gadawodd Mr. Wilson a minau Loegr yn y Royal Admiral yn flwyddyn 1800. Mr. Henry a Mr. Nott a ddaethent yma o ddwy i dair blynedd o'n blaen ni.

Ac er ein bod yn bresenol yn mwynhau iechyd lled dda, ac heb un dymuniad am adael ein gwaith na'n sefyllfa; er hyny nis gellir disgwyl i ni barhau yn hir, gan fod y nos yn nesâu. Ac am y brodyr sydd ieuengach na ni, y maent am ddiweddu eu dyddiau yngwlad eu genedigaeth; ac nid oes yn yr eglwysi yma neb addas i gymeryd gofal y gwaith, ac i lanw lle yr un o'r Cenadon, er fod yma amryw yn ddefnyddiol fel cynorthwywyr.

Y mae fy Ngeiriadur Tahitaeg a Saesnaeg heb ei orphen hyd yma; yr wyf yn bwriadu pan allwyf ei orphen, ei anfon i Lundain i'w argraffu. Yr wyf ar y gwaith o gyfieithu Taith y Pererin i'r Tahitaeg.

Ar ddymuniad y brodyr, cyfansoddais Draethawd bychan yn y Tahitaeg ar Fedydd babanod: ei sylwedd sydd fel y canlyn:—

I. Dangos plant pa fath rieni a ddylid eu bedyddio.

1, Plant ag y byddo eu rhieni neu un o honynt yn aelodau Eglwysig.

2. Plant ag y byddo eu rhieni neu un o honynt wedi eu bedyddio, a than addysg i gael eu derbyn yn aelodau eglwysig.

II. plant pa fath rieni ni ddylid eu bedyddio.

1. Plant Paganiaid angrhediniol.

2. Plant pa rieni bynnag ac a fyddo ag argoelion gweledig eu bod yn annuwiol.

3. Plant y rhai er bod yn byw yn foesol etto yn byw heb ymuno â'r eglwys.

4. Plant y rhai a dorwyd allan o'r eglwys ag a fyddont yn parhau heb adferiad.

Deisyfaf arnoch fy nghofio at fy chwaer Ann a'i theulu. Rhaid i mi derfynu, gan sicrhau fy mod yn parhau eich hen a'ch cywir gyfaill, JOHN DAVIES.

* Dealler fod rhanau o'r Hen Destament a'r Newydd wedi cael eu cyfieithu gan J. Davies; a pheth hynod yw bod Cymro na chafodd ond ychydig fisoedd o Ysgol, yn cyfieithu yr Ysgrythyrau o'r Hebraeg a'r Groeg i'r Tahitaeg. J. H.

## CYMDEITHAS YSGOLION Y WERDDON.

Gelwir y Gymdeithas hon yn 'London Hibernian Society.' Mae amryw o'n darllenwyr yn hysbys o'r Gymdeithas hon ers llawer blwyddyn. Ac mae yr Ysgolion Sabbathol drwy Gymru wedi gwneud casgliadau at ei chynnorthwyo yn y gorchwyl daionus o gadw Ysgolion dyddiol a Sabbathol a thaenu yr Ysgrythyrau sanctaidd yn y Werddon.

Bydd yn hyfryd gan lawer o'n darllenwyr yn ddiau glywed am weithrediadau y Gymdeithas hon. Codasom yr ychydig hanes canlynol allan o'r Adroddiad am y flwyddyn hon 1837.

Ardalydd Cholmondeley yw ei Harlywydd. Ac mae un Archesgob, a chwech o Esgobion yn Is-lywyddion iddi. Y trysorydd yw John Deacon, Ysw. Llundain.

**Adroddiad y Gymdeithas 1837.**

Dyma yr unfed Adroddiad arddeg ar hugain y Gymdeithas. Llafur y Gymdeithas am y flwyddyn ddiweddaf a fu yn helaethach nag un flwyddyn o'r blaen. Mae y cynnydd i'w weled ymhob dosparth o lafur y Gymdeithas. Nifer yr Ysgolion, a'r Ysgolheigion dan addysg ydynt fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Nifer yr Ysgolion dyddiol ...... | 1,071 |
| Yr Ysgolheigion ynddynt ...... | 83,248 |

O'r rhai y mae 52,182 yn Brotestaniaid, a 31,060 o Babyddion. Yr hyn sydd yn chwanegiad yn y flwyddyn hon ragor y flwyddyn o'r blaen, o driugain o Ysgolion, a phum mil a phedwar cant a phedwar ugain o ysgolheigion.

| | |
|---|---|
| Nifer yr Ysgolion Sabbathol .... | 781 |
| Yr Ysgolheigion ynddynt ......... | 43,111 |
| Nifer yr Ysgolion i bobl mewn oedran ...................... | 493 |
| Yr Ysgolheigion ynddynt ......... | 9,157 |
| Nifer yr Ysgolion Wyddelaeg .... | 6 |
| Yr Ysgolheigion ynddynt ........ | 176 |
| Ac yn yr Ysgolion dyddiol yn dysgu y Wyddelaeg. ..................... | 2,041 |

Y cwbl ynghyd ydynt (2351,) dwy fil tri chant ac unarddeg a deugain o Ysgolion. A (135,933) Cant a phymtheg ar hugain o filoedd a naw cant a thriarddeg ar hugain o ysgolheigion. (Neu 109,808) Cant a naw o filoedd ac wyth gant ac wyth, wedi tynu allan yr Ysgolheigion Sabbathol y rhai a fuont yn yr Ysgolion dyddiol hefyd) yr hyn sydd yn gynnydd yn y flwyddyn o dri chant a thri arddeg a phedwar ugain o Ysgolion, ac ugain mil a chwe chant a deg o ysgolheigion.

Nifer y Biblau a'r Testamentau a gyfranwyd yn y flwyddyn ydynt:—

| | |
|---|---|
| Biblau yn yr iaith Saesoneg ...... | 4,417 |
| Testamentau Saesoneg ........... | 21,965 |
| Biblau Gwyddelaeg ............. | 19 |
| Testamentau Gwyddelaeg ........ | 70 |
| Y cyfanswm .......... | 26,417 |

Nifer y Biblau a'r Testamentau a wasgarwyd gan y Gymdeithas er ei dechreuad, ydoedd (396,339) Tri chant ac unarbymtheg a phedwar ugain o filoedd a thri chant a phedwar arbymtheg ar hugain.

Mae hwn yn ddiau yn waith mawr a dalonus iawn. Mae gweithrediadau y Gymdeithas hon yn myned dan sylfaen y grefydd Babaidd a theyrnas y tywyllwch. Nid oes ar y diafol na'r Pab ofn dim yn fwy na goleuni yr Ysgrythyrau. Mae yr Adroddiad yn cynnwys hanes manwl am bob ysgol drwy yr holl Werddon; ac amryw lythyrau oddiwrth yr Ymwelwyr yn rhoddi hanes am yr ysgolion a'u hamgylchiadau. Mae yr hanes a roddir yn amlygu mawr wrthwynebiad y Pabyddion i'r Ysgolion Ysgrythyrol hyn mewn amryw ffyrdd. Mae y plant yn dysgu pennodau o'r Bibl allan, ac yn eu hadrodd hwynt i'w hathrawon, yn gyffelyb i'r hyn a wneir yn Nghymru.

Yr hyn sydd i'w gwyno fwyaf ydyw fod agos yr holl Ysgolion hyn, neu y rhan fwyaf o lawer o honynt yn Saesoneg. Ychydig mewn cydmariaeth yw nifer y plant a ddysgir yn y Wyddelaeg, ac ychydig iawn o Fiblau a Thestamentau a wasgarwyd yn yr iaith hono; ond y mae y rhan yma o'r gwaith yn cynnyddu.

---

## SYLWADAU

*Ar Dymher naturiol dyn cyn ei droedigaeth a'i adgenedliad trwy yr Athrawiaeth Gristionogol.*

Defnyddir y gair *tymher* yma, i osod allan y dull neillduol, yr effeithia digwyddiadau ac amgylchiadau dyddiol ar y meddwl, pa un bynag a fyddo eu tarddiad o weithrediadau a sefydliadau Dwyfol Ragluniaeth, o'n ymwneuthuriad cyffredinol â chymdeithas, neu oddiwrth ein perthynas mwy neillduol a'r personau a'n hamgylchant.

Mewn perthynas i weithrediadau a sefydliadau Dwyfol Ragluniaeth, yr ydym yn canfod y cenedlant *amrywiol* effeithiau ar ddynolryw; tra y byddo rhai yn hollawl foddlawn i'w sefyllfaoedd yn y byd yn gystal ag i rediad cyffredinol, yr hyn a elwir yn ddamweiniau, ceir eraill yn hollawl i'r gwrthwyneb, yn dueddol i ryfela yn erbyn pob peth a ddelo i'w cyfarfod; a thrwy hyny i ddifrio Rhagluniaeth, gan ei chyhuddo o bleidgarwch, anghyfiawnder, ac esgeulusdod. Oherwydd hyn, dywedir am y rhai cyntaf, eu bod yn feddianwyr *tymher lonydd, foddlawn*, a *digyffro*; ac am y rhai olaf, eu bod yn feddianwyr *tymher, aflonydd, anfoddlawn*, a *chyffrous*.

Mewn perthynas etto i'r damweiniau a'r amgylchiadau a darddant o'n hymwneuthuriad cyffredinol â chymdeithas, neu oddiwrth ein perthynas neillduol a'r dynsodau a'n hamgylchant, canfyddir bod yn cynnyrchu gwahaniaeth yn eu heffeithiau ar wahanol bobl: gweithiant duedd mewn rhai i arfer ymostyngiad, hynawsedd, ufudd-dod, a pharodrwydd i faddeu beiau, &c. &c. tra mewn eraill y cenhedlant duedd wrthwynebol,—i fod yn drahaus, yn greulon, yn anufudd, a dialgar, &c. &c. I'r rhai cyntaf, gan hyny y priodolwn yr anrhydedd o fod yn feddianwyr *tymher iselfrydig, hynaws, rhwydd i ufudd-dod, a pharod i faddeu*, tra y priodolir i'r lleill *dymher falch, drahaus, hunanol, a dialgar.*

Sylwer yn mhellach mewn perthynas i'r tymher hwn, ei fod yn effaith ac yn ddatguddiad o ryw egwyddor geledig yn y meddwl; ac y defnyddia y dull a nodwyd i osod allan ei natur, ei dueddiadau, a'i gyfeiriadau.

Perthyna i bob tymher gan hyny ei genhedlydd priodol; ar ddelw pa un y bydd,

*iaith pa un* a arfera, i *orchmynion pa un* yr ufuddha, ac i *ewyllys pa un* yr ymostynga. Gwelir oddiwrth hyna nad *cynneddf sefydlog* ydyw tymher; eithr offeryn a arferir gan y meddwl, i drosglwyddo ei sefyllfa ymdeimladawl: nid *blaen*-raddydd, eithr *ail*-raddydd; nid gwreiddyn, eithr cangen. Gwelir oddiwrth hyn, pa un bynag ai da ai drwg fyddo o ran ei natur, ei fod yn arddangosydd cywir o ansawdd a chymeriad priodol ei ddechreuydd, ei gyn-raddydd a'i wreiddyn.

*Tymher*, gan hyny yn ei berthynas a theimlad llywodraethol dyn sydd gyffelyb, i'r berthynas sydd rhwng *arwydd* ac *afiechyd;* megys y mae yr arwydd yn beth gwahanol i'r afichyd, a thrwy hyny yn ddim amgem na'i eglurydd, mewn dull cyffelyb y perthyna tymher i'r teimlad llywodraethawl, yr hwn sydd yn arwydd a dŷf o hono, ac hefyd yn eglurydd cywir ei ansawdd, ac nid egwyddor anymddibynol, hunan-lywodraethol, a hunan-gyfeiriol.

Yn unol â'r golygiadau hyn, y mae egluro ei ymddangosiad a'i gymmeriad yn orchwyl o bwys,—megys y bydd meddyg doeth mewn trefn i ddeall natur anhwyldeb y claf, bob amser yn dyfal-sylwi ar ei arwyddion, gan ymddibynu yn hollawl arnynt, am arweiniad i ymchwilio ac ymolrain yn ei le, ac i gyfeirio y feddyginiaeth briodol at yr afiechyd, felly, yr un dull a gymmera y Cristion doeth i wylio ei dymherau beunyddiol, go gymmaint ag y galluogir ef drwy hyny, i ganfod y gwreiddyn o ba un y tarddant; a thrwy hyny i chwilio natur eu cymmeried, pa un a fydd ai nefawl a'i uffernawl, santaidd ai ansantaidd, tueddol i wasanaethu er ei dangnefedd a'i gysur, ai er ei ddystryw tragywyddol. Hefyd, perthyna iddynt eglurhau natur ac ansawdd y bodau ysprydawl, gyd a phe rai y cymdeithysa; ynghyd ac amlygu pob tymher ddrwg ac afrëolaidd fel mynegai gywir o gymundeithas *ddrwg ac annrhefnus*; *h. y*, o gymundeb a chymdeithasau dieflig, fel ar y llaw arall, y mae pob tymher ddiniwed a da, yn fyncgai mor gywir o gymmundeb a chymdeithasau nefawl.

Drwy yr ystyriaethau hyn gwelir yn amlwg beth raid fod tymher naturiol dyn, cyn ei dröedigaeth a'i adgenhedliad trwy yr *Athrawiaeth Gristionogol*.

Oherwydd rhaid i'r dymher naturiol o anghenrheidrwydd fod yn ddelw ac yn ddarlun eglur o'r ewyllys *naturiol*, yn mha un y gwreiddia: a thra y mae ewyllys naturiol dyn, cyn ei dröedigaeth, yn hollawl lygredig ynddi ei hun—ei fryd yn unig ar hunanfoddhâd—yn rhy gyndyn i ymostwng i un awdurdod, ond ei ddoethineb a'i fawredd tybiedig ei hun—yn gosod ei hunan yn lle Duw, trwy alw ei fywyd yn eiddo iddo ei hunan, a thrwy yr anghyfiawnder yma, yn cyfrif ei hunan yr wreiddyn ei holl alluoedd—yn athrywynwr ei luniaethiad ei hunan—yn weinyddwr ei lawenydd—ac yn eilun llygredig ei addoliad: y mae yn amlwg beth raid i ansawdd y ffrwd a ddylifa o'r fath ffynon fod; ac o ganlyniad beth raid fod tymher y fath greadur atgas.

Oni chanfyddir y fath grëadur, pan y sylwir arno yn ei berthynas a rhagluniaeth ddwyfol y Goruchaf, yn rwgnachwr anfoddlawn? Nid yn unig yn anniolchgar am y bendithion a fwynha, eithr yn anniddig a ffromllyd am y rhai dyfodol;—ceir ef pan mewn llwyddiant yn uchel-gais a balch: pan mewn cyni, yn rwgnachlyd ac anamynedd gar; ei holl feddylian am y llywodraeth ddwyfol fel y trefnir hi yma isod, yn halogedig; yn rhyfygu tybiaw y gallai wellhau cynllun bwriadau yr Hollallnog, diwygio y methiadau a ymddengys iddo ef yn ngoruchgylchiadau y bydysawd, gan eu rhëoli a'u trefnu er gwell mantais; yn anfoddlawn fel yna i Hollwybodaeth a Hollalluogrwydd; ac yn tybiaw pe gosodasid awenau rhagarfaethiad y bydoedd yn ei law ef, y trinesid amgylchion ymerodraethau, ac yr ymddygid tu ag at y ddaear a'i thrigolion yn well!

Pe edrychwn etto ar y creadur hwn yn ei berthynas â chymdeithas, beth fydd tymher y meddwl dan lywodraeth pa un y canfyddem ef? Oni chaem ein brawlenwi wrth ei weled yn drahaus ac yn uchel-fryd oddiar ei dyb goeg-falch am uwchafiaeth ei alluoedd? Os yn feistr, ceir ef yn dra-arglwyddiaethwr, yn sarrug a thäeog; os yn was, ceir ef yn anhawdd i'w drin, yn ystyfnig a thalgryf; fel deiliad, yn gas at awdurdod, achwyngar ar lywodraethwyr, drwgdybus hyd y nod am gyfiawnder rheolau *cyfraith iachusol!* yn ei alwedigaeth, o feddylfryd bydol, cybyddlyd a hunanol; yn nhrefniad a rheoleiddiad ei feddiannau ceir ef yn grintach a gwastraffus ar unwaith; oherwydd bydd mwy o gydnabyddiaeth rhyngddo a dylanwadau hunan glod, nag a fydd rhyngddo a thosturi; yn ganlynol i hyny, ceir ef yn grintach lle na byddo enwogrwydd a chammoliaeth i'w gael—ac yn wastraffus lle y byddo arwydd o hyny; heb amgylchu, ceir ef yn hunanol a chybyddlyd; llawn cenfigen at lwyddiant eraill, a phryderus am ei eiddo ei hun.

Ni cheir yr arwyddion yn fwy 'hawddgar pan yr ystyriom hwy o fewn cylch ei deulu, ei gyfeillion a'i gydnabyddwyr; oherwydd, megys gwr cawn ef *yn ormes-lywodraethwr*; megys tad, *yn ffyrnig*; megys cyfaill, yn *anwadal* ac *anffyddlawn;* megys cydymaith, yn ymgyrhaedd mwy at *gael* parch, nag at ei *dalu*; ac yn ffurfio ei gydnabyddiaeth yn fwy er mwyn *elw*, na *serch*; yn fwy er mwyn a dderbynia, nag a gyfrana!

Onid yw y dysgrifiad uchod o dymher *naturiol* dyn yn ymddangos yn eithaf priodol, ac yn eithaf gydffurfiol a'r hyn a ddysg profiad am dano? Bydded ini gofio mai dysgrifio ffrwyth yr ewyllys yn ei sefyllfa bresenol o afreoleidd-dra, dan lywodraeth llygredigaeth gwreiddiol yr ydys; heb gym-

meryd sylw o'r dylanwadau gwrth-weithredol a gyfrenir i bob dyn gan Dduw, mewn graddau mwy neu lai, hyd yn nod yn ystod y cylch boreaf o'i fywyd.

Gadawer ini genattau yr holl fanteision er hyfforddiad *drwy*, a budd *dan* y dylanwadau nefawl, drwy ba rai y mae. Tad y trugareddau yn gweithio yn wastadol i ddiwallu meddylian ei blant gwrthnysig, oni chymmellir ni yn y diwedd, i genattau fod pob dyn, pan y gadewir ef iddo ei hun yn agored i'r *dymher a ddysgrifiwyd* ?

Ac os bydd o gymmeriad gwahanol, drwy iddo gael gwaredigaeth o'i anhwyldeb a'i halogrwydd, nid oherwydd un daioni greddfol ynddo ef y ceir yr agwedd hono arno, eithr o drugaredd a thosturi Dwyfol, yr hwn a ddywedodd.—'Hebof fi nis gallwch chwi wneuthur dim' Ioan xv. 5.

*Abergele* IORWERTH GLAN ALED.

---

*Adroddiad arianol y Genhadaeth yn mhlith y Saeson yn nghyffiniau Sir Drefaldwyn am y flwyddyn yn diweddu Mai 1af. 1837.*

Derbyniwyd drwy y gwahanol gasgliadau gan y Saeson yn

| | £ | s | d | £ | s | d |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Y Tabernacle | 10 | 13 | 8½ | | | |
| Bettws | 8 | 12 | 10 | | | |
| Ty'n y Coed | 4 | 16 | 6 | | | |
| Groes | 9 | 2 | 5 | | | |
| Castell | 2 | 15 | 6 | | | |
| Bron y Llan | 2 | 10 | 3 | | | |
| Pentre'r hedydd | 4 | 0 | 7 | | | |
| Dalvor a'r Drefnewydd | 7 | 1 | 9 | | | |
| Bethesda | 4 | 7 | 4 | | | |
| Ty Brith | 3 | 10 | 7 | | | |
| Y Garreg lwyd | 1 | 10 | 0 | | | |
| O Groesyswallt at Porth y waen | 2 | 2 | 0 | | | |
| | | | | 61 | 5 | 3½ |
| Derbyniwyd oddiwrth y Gymdeithas gartrefol Gwynedd Mehef. 1836 | | | | 82 | 0 | 0 |
| Casgliadau Sir Drefaldwyn | 41 | 16 | 1* | | | |
| Y drydydd ran i'w dynu allan at y rhanau Cymreig o'r Goror | 13 | 18 | 8 | | | |
| | | | | 27 | 17 | 5 |
| Ardreth eistedd leoedd yn Nghapel Bethesda | | | | 2 | 0 | 0 |
| Yn llaw y Trysorydd | | | | 20 | 1 | 3½ |
| | | | | 193 | 2 | 2 |
| Ar law y Trysorydd | | | | 30 | 2 | 3 |
| | | | | 223 | 4 | 5 |

* Yr ydym wedi derbyn y cyfrif hwn yn fanwl, yn dangos pa swm a gasglwyd yn mhob lle, ond nid ydym yn ei argraffu rhag meithder.

Talwyd gan y Trysorydd a'r Diaconiaid at amrywiol draul yr achos yn

| | £ | s | d | £ | s | d |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Y Tabernacle, Garreg, Quay | 18 | 8 | 4 | | | |
| Bettws | 13 | 7 | 6 | | | |
| Ty'n y Coed | 4 | 16 | 6 | | | |
| Groes Lwyd, Farchoel | 25 | 12 | 7 | | | |
| Castell | 3 | 0 | 9 | | | |
| Bron y llan | 2 | 9 | 8 | | | |
| Pentre'r hedydd | 2 | 17 | 6 | | | |
| Dalvor | 3 | 6 | 1 | | | |
| Ty Brith, Pant y ffrith, Trefaldwyn, Rorrington, Bethesda, Dingle, Llanmerewig | 67 | 9 | 6 | | | |
| Y Garreg lwyd | 1 | 10 | 0 | | | |
| Porth y waen | 2 | 2 | 0 | | | |
| | | | | 145 | 0 | 5 |
| Talwyd i'r ddau genadwr, sef i'r Parch. William Hughes am y llynedd | 20 | 0 | 0 | | | |
| Am eleni | 20 | 0 | 0 | | | |
| Mr. R. Baxter | 20 | 0 | 0 | | | |
| | | | | 60 | 0 | 0 |
| Llog arian ar Gapel Bethesda | 5 | 4 | 0 | | | |
| Ar Gapel Trefaldwyn am ddwy flynedd | 9 | 0 | 0 | | | |
| | | | | 14 | 4 | 0 |
| At gael llyfrau cadw cyfrifon ac argraffu'r adroddiad | | | | 4 | 0 | 0 |
| | | | | 223 | 4 | 5 |

---

## CYMDEITHAS NEWYDD.

*Rheolau Cymdeithas er gwell cadwraeth y Sabbath, a sefydlwyd yn Nghaerynarfon Awst 30, 1837.*

I. Fod i'r Gymdeithas hon gael ei galw, 'Cymdeithas er gwell cadwraeth y Sabbath;' ac fod iddi gynwys y cyfryw bersonau ag a wnant yn wirfoddol yr ymrwymiad canlynol;—'Yr ydym yn ymrwymo yn wirfoddol, gan roddi ein dybyniad yn hollol ar gymorth gras, i lwyr ymatal oddiwrth bob gwaith diangenrhaid, oddiwrth bob arferion llygredig, megis gwag-rodiana ar hyd yr heolydd, maesydd, ac o dŷ i dŷ; ac oddiwrth bob cymdeithasau llygredig a gynhelir mewn diotai, neu gonglau yr heolydd, neu lanau y môr, neu y mynwentydd

neu unrhyw leoedd cyhoeddus ereill ar ddydd yr Arglwydd; ac i fod yn ffyddlawn ac yn gydwybodol yn yr ymarferiad o ddyledswyddau crefyddol, ac o fyned i ryw le o addoliad cyhoeddus bob Sabbath.'

II. Fod i lyfr gael ei ddarparu fel y rhodder enwau yr holl rai a gydsyniant â'r ymrwymiad uchod, ac fod tocyn i gael ei roddi i bob aelod, er hysbysu aelodaeth y cyfryw.

III. Fod i'r Gymdeithas hon gael ei chyfansoddi o broffeswyr crefydd o bob enwadau, yn nghyd â phawb o'r Dirwestwyr ac ereill a ewyllysiont ymuno, ac i gael ei dwyn yn mlaen ar egwyddor rydd ac anmhleidgar, pob ysbryd sectaidd i gael ei gadw draw, a phob tra-arglwyddiaeth i gael ei gwrthwynebu.

IV. Fod i achosion y Gymdeithas gael ei dwyn yn mlaen gan Lywydd, Trysorydd, Ysgrifenwyr a Dirprwywyr dewisedig o blith yr aelodau; ac fod pump aelod, yn nghyd â'r swyddogion, yn meddu hawl i weithredu ar ol rhoddi rhybydd rheolaidd i'r lleill fod yn bresenol. Y mae gan bob Gweinidog a Phregethwr yr Efengyl, a phob Diacon, neu Flaenor Eglwysig, a fyddo yn aelod o'r Gymdeithas hawl i ddyfod i'r ddirprwyaeth ac i bleidleisio, wrth eu swydd.

V. Fod i'r Dirprwywyr gyfarfod unwaith yn y mis, neu yn amlach os bernir hyny yn angenrheidiol.

VI. Fod i'r Dref a'r gymydogaeth gael ei rhanu yn ddosbeirth, a phob dosbarth i gael ei osod gan y Dirprwywyr dan ofal un, neu yn rhagor o Ymwelwyr.

VII. Fod i'r Dirprwywyr wneud pob ymdrech a allont i gael allan yr achosion hanfodol o Sabbath-doriad yn y dref a'r gymmydogaeth, fel y galler cymhwyso egwyddorion y Gymdeithas er eu hataliad.

VIII. Fod i Gymdeithasau cangenol gael eu ffurfio mewn cysylltiad â'r Gymdeithas hon, er cydweithredu yn y gymydogaeth; fod pob cangen i anfon adroddiad yn ddaufisol i'r Gymdeithas o'u gweithrediadau a'u llwyddiant.

IX. Fod i gasgliad gael ei wneud tuag at dalu traul y Gymdeithas.

X. Fod i bob aelod a doro ei ymrwymiad gael ei geryddu, ac os gwna hyny eilwaith fe'i diarddelir o'r Gymdeithas.

XI. Fod ymdrech barhaus i gael ei wneud i geisio rhoddi i lawr yr arferiad pechadurus a gwarthus sydd yn mysg ieuengctyd gwamal ac ereill, o gyfeillachu â'u gilydd ar nos Sadwrn, ac o ymddwyn yn anweddus, ac yn wamal wrth fyned i, a dyfod o leoedd o addoliad ar y Sabbathau, ac amserau ereill; ac fod anogaeth ddwys i gael ei rhoddi i bob pen teulu i lywodraethu eu plant a'u gwasanaethyddion ar y Sabbathau.

XII. Fod ymdrech diflino i gael ei wneud i geisio enill plant bychain ac ieuengctyd oddiwrth eu harferion pechadurus o ymdrochi ar y Sabbath, ac o fyned allan yn y cychod, ac at chwarëyddiaethau ereill.

XIII. Fod holl aelodau y Gymdeithas hon i osod eu hwynebau, yn y modd mwyaf difrifol, yn erbyn pob trafaelu diangenrhaid, masnachu a chyrchu i dafarndai a diotai ar y Sabbath.

XIV. Fod i bob pen teulu a fyddo yn aelod o'r Gymdeithas hon wneud ei oreu i geisio enill pob aelod yn y teulu, yn blant ac yn wasanaethyddion, i ymuno yn wirfoddol â'r Gymdeithas.

XV. Y disgwylir i bob Morwr a fyddo yn cynyg ei hun yn aelod o'r Gymdeithas hon, wneuthur ei oreu, drwy bob moddion dichonadwy iddo, i beidio cychwyn o borthladdoedd ar y Sabbath.

XVI. Ni dderbynir neb yn aelod o'r Gymdeithas hon a fyddo yn euog o dyngu, rhegu, meddwi, puteinio, lladratta, celwydda, neu unrhyw bechodau cyhoeddus a gwaradwyddus ereill.

Llywydd, Mr. John Huxley.
Trysorydd, Mr. John Dew.
Ysgrifenwyr, y Parch. W. Williams.
Mr. Owen Ellis.
Mr. J. Thomas.
Mr. R. Davies.

---

*Llythyr Caradog at A. B. yn cynnwys y Feirnadaeth ar y Cyfansoddiadau Dirwestawl.*

Haeddbarch Syr—Nis gallaswn lai na gofidio pan ganfum y 'Seren Ddirwestawl' yn machludo: ac yn fwy fyth felly pan y deallais fod amryw o rai enwog yn Nghymru ar fedr ei noddi, a'i chefnogi, a'i gwneuthur yn gyfrwng gwybodaeth gyffredinol yn ngwahanol ganghenau y celfyddydau breiniol, i'r Dirwestwyr aiddgar ac ymofyngar, a thra yr oeddem ni yn disgwyl ac yn gwaeddi

'Prysuro wnelo'r dydd heb draul
'Yr elo'r 'Seren' fach yn Haul.'

Rhywfodd neu gilydd rhwng y Cyhoeddwyr a'r Derbynwyr

'Machludo wnaeth mewn cwmwl mawr
'Ar ol tywynu prin ond awr.'

Ond nis gwaeth hyna nac ychwaneg nid yw y Cymry druain ond ar eu harfer yn gwrthod eu lles, yn enwedig mewn dysg a llyfr.

Pan ysgrifenais, ar eich archiad, yr 'Anerchiad at y Beirdd Dirwestawl,' yn y Seren am fis Ebrill diweddaf meddyliais y buasai melysder y testyn, os na byddai i werth eich anrheg, gynhyrfu yr Awen Gymreig i odli llawer arno; ond fel y mae yn ddrwg genyf gyfaddef ni ddaeth onid *chwech* yn unig i law wedi y cyhoeddiad, y gohiriad, a'r cwbl i gyd.

Efallai nad angenrheidiol i mi sylwi arnynt bob yn un ac un, ond yn unig nodi pwy a ddaeth yn ffawdus oddiar fwrdd y feirniadaeth, hyd ag y galodd fy neall gwan i fy arwain.

Wedi gorfanwl sylwi ar y cyfansoddiad-

au yn gyffredinol, rhaid i mi addef eu bod oll yn cynnwys *ambell* i linell benigamp, tra y gorwedd yn eu hymyl rai go salw ac iselwael; etto nis gallaf lai na chanmol eu zêl at Ddirwestaeth, eu brwdfrydedd drosti; a hir oes a gaffont, medd Caradog, i ganu ar Ddirwest mwy.

Yn awr, wrth ddibenu, barnwyf Bennilion AP ALFRED yn gwir deilyngu y gobrwy. Y mae y Bryddest drwyddi yn esmwyth ei hiaith, yn llithrig ei chyfansoddiad, ac yn uchel ei meddyliau. Gresyn fod y gwr, pwy bynag yw, wedi ei lithio gymmaint gan y Saeson ag i ddewis yn hytrach un o'u mesurau hwy o flaen teleidion dônau yr Awen Gymreig—'Acen Sais ar ei Gân sydd.'

Ydwyf, yr eiddoch.

CARADOG.

## Helyntion yr Amseroedd.

### HANES LLYDAW.

(Parhad tu dal. 318.)

Mae amryw o'n darllenwyr yn cofio ddarfod i'r Parch. D. Jones, mab y diweddar Barch. T. Jones, Caerfyrddin, yn yr haf, yn y flwyddyn 1824, fyned i deithio i ryw ranau o'r Cyfandir, er mwyn gwelliant ei iechyd. Ac yn ol trefn Rhagluniaeth Duw, fe dueddwyd ei feddwl i fyned i ymweled â Llydaw, ac i chwilio i mewn i helynt y trigolion yno, ac i ansawdd crefydd a dysgeidiaeth yn eu mysg; yn yr hwn ymgais y cafodd radd o lwyddiant; yr hyn a droes allan yn offerynol i agoryd drws o fuddioldeb i'r genedl hono.

Yn ei lythyr at y Cyhoeddwr, ar ol ei ddyfodiad adref, y mae Mr. Jones yn dywedyd fel hyn:—'Mae yn ymddangos i mi fod gan yr Arglwydd ryw law ddirgelaidd i lwyddo y peth hyn, gan ei fod yn peri i bethau gyd-weithredu yn y fath fodd: sef ennyn awyddfryd yn meddwl pobl Cymru, ac eraill yn Llundain, a thueddu fy meddwl innau ar yr un pryd i droi allau o'm ffordd,* i'r dyben hwn, pan nad oeddwn yn gwybod fod neb ond fy hun a'r peth mewn un gradd ar eu meddwl.

Penderfynodd Cyfarwyddwyr y Bibl Gymdeithas i'm hawdurdodi i ymohebu ag un neu ddau, o wyr dysgedig yn Llydaw ar yr achlysur o gyfieithu yr Ysgrythyrau i Iaith y Llydawiaid. Ac mae moddion ereill yn cael eu defnyddio tuag at ddyfod o hyd i lawysgrifiadau o ryw ranau o'r Bibl, os oes y cyfryw mewn bod yn yr iaith hono. Yr wyf yn sicrhau i chwi nas gorphwysaf hyd oni rodder gair Duw i'r Llydawiaid.'

Nis gallwn wybod am foddion mwy addas i roi hysbysiad gwell o agwedd bresenol Llydaw a'i thrigolion, na chodi rhyw bigion o'r llythyrau a anfonodd Mr. Jones at y Cyhoeddwr y pryd hyny ar yr achos hwn. Yn y flwyddyn 1824, anfonwyd Mr. Jones gan y Bibl Gymdeithas, fel Cenadwr, i Lydaw i barotoi y ffordd i gyfieithu y Bibl i Iaith y Llydawiaid, ac i ymofyn drwy yr holl wlad am ranau o'r Ysgrythyrau. os oedd y fath beth mewn bod. Yn ei lythyr ar y daith hono, yr hwn a ysgrifenodd efe at ei dad, y mae yn dywedyd fel hyn:—

*Quimper, yn Llydaw. Ionawr* 10, 1825.

Fy anwyl Rieni,—Yr wyf wedi cyrhaedd trwy ddyfnder y gauaf o fewn ychydig, ac wedi trafaelu trwy'r gogledd o'r dwyrain hyd y gorllewin o'r wlad yma. Dydd Sadwrn yr ymadewais o *Brest* Yr oedd yn nôs arnom pan yn croesi y mynyddoedd sydd yn rhanu y parthau yma oddiwrth y rhan ogleddol yr oeddwn ynddo; y tywydd wedi cyfnewid o fod yn wlawiog i ddechreu rhewi, a'r wybr mor glir, a goleuni y lleuad mor ddysglaer ar ol deg o'r glôch, fel ag yr oeddwn yn cael golwg ar y mynyddoedd a'r pentrefydd o bob tu, gan fy mod yn abl trafaelu mewn cerbyd ag agoriad y tu blaen iddo tebyg i *Gig*. Yr wyf wedi cael fy iechyd yn hytrach yn well na phan ymadewais a Lloegr, er ei bod yn auaf; wedi cael pob rhwyddineb i chwilio ansawdd y bobl, natur eu llyfrau, wedi gwneuthur cydnabyddiaeth a rhai o'r gwyr mwyaf yn y lleoedd y buais ynddynt o ran dysgeidiaeth a mawredd yn y byd; a thrwy hyny yr wyf yn meddwl yn ol llaw y gallaf ddefnyddio y cwbl i ryw raddau i ddybenion llesiol. Ond na fydded i neb feddwl fod yr agoriad lleiaf etto i bregethwr draddodi yr Efengyl yma fel yn Nghymru. Yn mhlith yr offeiriaid, y mae llawer o ddawn ymadrodd a bywiogrwydd naturiol wrth lefaru, tu hwnt, fe allai, i neb a glywais yn Nghrymru, ac yn medru cadw lliaws o bobl dros y bregeth heb braidd iddynt grwydro a'u llygaid,—ac hefyd gwelir weithiau gynnulleidfa a'r rhan amlaf o honynt mewn dagrau. Nid yw eglwys Rufain yn caniatâu iddynt ddarllen eu pregethau gan ei bod yn barnu fod hyn yn groes i ddull yr Apostolion a thraddodiadau yr eglwys. Yn hyn y mae yn iawn farnu. Yn ol yr hyn a glywais, yr wyf yn barnu fod rhai yma yn dangos dichellion y galon —drwg a chosp pechod, gyda manylrwydd tu hwnt i bob peth a feddyliais yn mlaen llaw. Y diffyg yw, gwneuthur pethau nad ynt yn bechadurus yn eu natur, o gymmaint pwys ag ereill croes i orchymynion Duw, trwy wneuthur gorchymynion yr eglwys yn gyd-radd â hwynt—a diffyg mwy fe allai etto, yw gosod o flaen dyn wedi ei argyhoeddi mewn rhan, o'i gyflwr—fel cyflawn feddyginiaeth ac iawn, ymarferiadau corphorol—haeddiant seintiau, yn gystal a

* Nid oes hanes am braidd neb o Frydain sydd yn arfer trafaelio drwy Ffrainc, byth yn ymweled a'r Dospaith o honi a elwir Llydaw, Bretagne.

Mab Duw; a phethau eraill na allant dynnu ymaith bechod. Gydag amser, dodir y gydwybod i gysgu yn dawel yn y fath bethau. Bu amser pan oedd yma gannoedd o Brotestaniaid; ond nid oes o honynt am a wn i un yn bresennol fel gweddill yn mhlith y *Bretoniaid*. Nid oes genyf am hyn, sagau i ysgrifeuu yn bresennol, a gwell fod ond ychydig o'r cyfryw bethau yn y llythyrau rhyngom. Tua diwedd y mis, yr wyf yn gobeithio diweddu fy nhaith yn y dehau, a dychwelyd yn fy ol i *Rennes*. Y mae genyf lyfrau yn mhob cangheniaith sydd yma, a gwybodaeth, yr wyf yn meddwl am yn mron bob llyfr a argraffwyd yn y wlad hon—ynghyd a desgrifiadau o'r pethmwyaf hynod, ac yn enwedig y meini &c. sydd yn dangos fod Derwyddiaeth gynt yn ei llawn awdurdod. Er fod rhai pethau yn gyffredin i bod rhan o'r wlad, etto, y mae amrywiaethau o ran tymherau naturiol, maintioli, lliw y gwallt, dull y gwisgad, yn gystal a gwahaniaethau iaith, yn dangos mai pobl o lwythau gwahanol o'r hen *Fretoniaid* ydynt. Yn y gogledd ddwyreiniol y maent yn hynod fywiog, yn caru dawnsio, canu, &c. ac yn cwttogi eu geiriau trwy daflu o honynt yn fynych y cydseiniaid heibio. Trwy hyn, y mae yr iaith yn swnio yn ysgafn ac yn felus. Yn y gogledd or llewiniol, y mae yr iaith yn rhëolaidd, a'r bobl o dymherau nid mor fywiog. Nis gwn etto beth i ddywedyd am y dehau ond fy mod yn meddwl fod y bobl tua'r gogledd, o dymherau naturiol yn fwy caruaidd na rhwng yma a *Brest*. Y maent yn y gogledd orllewinol ac oddeutu yma, yn gwisgo fel gynt, hyd heddyw, yn cadw eu gwallt yn hir, &c. Mewn manau y maent hefyd hyd yma, yn mron fel dynion gwylltion—yn byw mewn dull waelach yn mhob ystyr nag yn y cabanau gwaelaf a welir ar fynyddoedd Cymru. Yr wyf yn barnu fod mwy na chwe chan mil yn y wlad nad ydynt yn deall ond iaith eu hen dadau; ond bydd yn llafur i un rhyw Gymro dros ryw amser i arfer eu hiaith gyda medrusrwydd. Yr wyf yn amcanu ei chyrhaedd; ac yn medru *darllen* eu llyfrau yn bresennol yn hollol ddealladwy iddynt hwy, ac hefyd yn medru deall, nid pob gair yn hollol, ond ystyr y peth yr wyf yn ei ddarllen yn gyffredin. Os caf fy iechyd ac hwylusdra fel hyd yma, byddaf gydâ chenad yr Arglwydd, cyn diwedd mis Ebrill, yn Mrydain fawr, Cofiwch fi at fy anwyl Frawd—Cyfeillion, &c.

Ydwyf eich anwyl Fab,

DAFYDD JONES.

*Rhan o lythyr arall a anfonodd Mr. Jones o Lydaw at y Cyhoeddwr, sy fel hyn:—*

'Garedig Syr,—Yr wyf wedi treulio yn y cwbl bedwar mis yn Llydaw, ac wedi teithio drwy barthau gogleddol y wlad, drwy St. Brieuc, Guingamp, Morlais, &c. o gwr bwy gilydd o ddwyrain i orllewin; a chwedi hyny o ogledd i ddeheu, drwy Landerneau a Quimper. Yna dychwelais drwy'r parthau deheuol, gan fyned o Quimper drwy L'Orient, Henbont, &c. i Vannes, neu fel y'i gelwir yn Llydaw Güinnett (a swnir *Gwinnet*) h. y. *Gwynedd*.

Mae fy amser yn cael ei ddefnyddio yn ddigoll—rhan o'r diwrnod yr wyf yn ei dreulio gyda'r iaith, a rhan gyda'r hynafiaethau, y rhai a adawodd ein cyn-dadau fel cynnysgaeth i'w hiliogaeth hyd fyth.

Un o'm cyd-wladwyr, yr hwn a ymwelodd a Llydaw i gyfranu addysg, *ychydig* flynyddau yn ol, a ddir frawychwyd gan ansawdd ledwyllt ac ymddygiad rhai o'r trigolion—yspeiliwyd ef—a barnodd yn angenrheidiol gadw llawddryll (*pistol*) er ei amddiffyniad. Ni fum i ddim yn mysg y gwerinos yn y parthau mwyaf barbaraidd, am hyny nis gwn pa fodd y'm triniasid; ond hyn a ddywedaf, byddai arnaf ofn cymmeryd arfau tân i'w plith; eithr nid arswydwn fyned yn ddiarfog, gan ymddiried fy hun i'w dwylaw yn gwbl hyderus. Y mae pobl anwareiddiol yn arswydo, ac yn myned yn ddrwg-dybus, os *dangosir ofn*; canys barnant na fyddai dyn felly oni bai ei fod yn gydwybodol o ryw ddrwg-fwriad am yr hyn y mae yn ddyladwy iddo ofni. Y mae ymddygiad diledgudd a hyderus, ac amlygiad o ëofnder, yn nghyd a chymmwynasgarwch a charedigrwydd, yn peri gwell effeithiau na chleddyf na llawddryll, tuag at ddiogelwch dyn. Mewn rhai amgylchiadau, pan yr ymddygais yn debycach i hen gydnabod nag i estron, gan ddwyn allan ychydig eiriau Llydawaeg, &c. hyn a barai i'r wynebau gerwinaf wenu gyda llonder.—Y mae rhyw ymlyniad cenedlaethol yn parhau yn eu plith tu ag at y gweddill o'r Brytaniaid yn Lloegr; ond y mae adgasrwydd cryf ynddynt tuag at y Saeson, y rhai a alwant *Saoson*.

Och! nid ydynt yn mwynhâu ond ychydig iawn o gysuron y bywyd hwn; ac am y byd a ddaw, yr wyf yn casglu nad oes ganddynt ond amgyffrediadau byrion iawn, y rhai a ffurfir yn ol mympwy offeiriaid y wlad. Y mae y rhai'n mewn llawer ardal yn anwybodus iawn. Nid wyf yn meddwl fod cymmaint ag un Protestant yn mysg y rhai sydd yn medru y Llydawaeg. Ymhlith eu defodau crefyddol, y mae ganddynt lawer o ofer-goelion, amryw o ba rai ydynt ysgatfydd o darddiad Derwyddol. Y maent yn gyffredin yn dra defosiynol yn eu ffordd; ac y mae eu hoffeiriaid yn ymddangos yn fwy llafurus nag mewn parthau ereill o Ffrainc. Gwrandewais yn ddyfal ar Bregeth Llydawaeg; y mae'r llefarwyr gan mwyaf yn dra bywiogion, ac a elwid yn *Fethodistiaid* ped faent yn Nghymru, o herwydd eu hysgogiadau a'u llais, &c. Traddodant eu pregethau, ar dafod leferydd, fel y gwneir yn yr holl eglwysi pabaidd y Cyfandir. Mae eu hoffeiriaid yn gyffredin yn cyfrif darllen pregethau yn ddull afrëolaidd, ac anghyson a threfn yr apostolion, ac yn an-

weddus i neb ond rhyw offeiriaid gwledig anwybodus y rhai ni fedrant wneyd pregethau cyfaddas eu hunain, ac am hyny yn gorfod darllen gwaith rhai eraill.'

---

### EWYLLYS DIWEDDAF NEU LLYTHYR CYMMYN.

Anfonodd Ysgrifenydd Cartrefol y Llywodraeth, dan y Frenhines Victoria, i'r Cyhoeddwr, yn gystal ag i holl Weinidogion yr Efengyl drwy y Deyrnas, y Trefniadau canlynol mewn perthynas i wneuthuriad ac ysgrifeniad Ewyllys diweddaf neu Lythyr Cymmyn, i'r dyben o'u hysbysu i'n cyn nulleidfeydd. Barnasom fod yn ddyledswydd arnom eu cyhoeddi yn y Drysorfa. Ac i'r dyben o dynu sulw y darllenwyr yn fwy arnynt, yn gystal a'u gwneud yn fwy amlwg, dodasom hwynt yn yr Iaith Saesoneg, am fod ynddynt rai geiriau ag sy yn fwy hysbys i amryw o ddarllenwyr yn yr iaith hono, na phe cyfieithid hwynt i'r Gymraeg.

Hefyd, yr ydym yn eu cyhoeddi yn Saesoneg, i'r dyben o ofyn i'n cyfeillion ieuainc, a fyddant hwy cystal a'u cyfieithu i'r Gymraeg, yn ddigon buan i'w dodi yn Rhifyn Rhagfyr. Anfoner y cyfieithiadau i ni mewn pryd; a'r goreu o honynt a gyhoeddir. Bydd hyn yn ymarferiad buddiol i'r ieuenctyd, er mwyn bod yn hyddysg yn y ddwy iaith. CYHOEDDWR.

### THE PRINCIPAL REGULATIONS

*Contained in the recent Act* (1 VICTORIA, c. 26) *for Amending the Laws with respect to Wills, which will take effect on the* 1st *Day of* 1838.

No Will made by any Person under the age of 21 years will be valid.—Sect. 7.

The new Statute does not alter the Law as to the Wills of Married Women.—Sect. 8.

The Regulations to be observed in making a Will or Codicil are as follows:—

1. The Will or Codicil must be signed at the foot or end thereof by the Testator.
2. If he does not sign, it must be signed by some other Person in his presence, and by his direction.
3. The Signature must be made, or acknowledged, by the Testator, in the presence of Two or more Witnesses present at the same time.
4. The Witnesses must attest and subscribe the Will or Codicil in the presence of the Testator.—Sect. 9.

Appointments by Will, under a power, are made subject to the abovementioned Regulations.—Sect. 10.

The Testator's Marriage is a revokation of this Will (excepting in certain cases of exercise of Power).—Sect 18.

The revokation of a Will or Codicil may be by any one of the following means:—

1. By a Will or Codicil executed in the manner abovementioned.
2. By a Writing declaring the intent to revoke, and executed as a Will.
3. By Burning, Tearing, or Destroying of the Will by the Testator, with intent to revoke, or by some Person in his presence, and by his direction.—Sect. 20.

Alterations made in Wills must be executed in like manner as Wills.

N. B.—The Signature of the Testator and Subscription of Witnesses may be made in the margin, or opposite, or near to, the alteration, or at the end of a memorandum, on the Will, referring to the alteration.—Sect. 21.

Residuary devises in Wills will include (unless a contrary intention appear in the Will) Estates comprised in lapsed or void devises —Sect 25.

*Directions for making a Will or Codicil, Required by Stat.* 1 *Victoria*, c. 26, § 9,

To be observed after the End of the Year 1837.

1. The Will or Codicil must be signed at the foot or end thereof by the Testator.
2. If he does not sign, it must be signed by some other Person in his presence, and by his direction
3. The Signature must be made, or acknowledged, by the Testator, in the presence of Two or more Witnesses present at the same time.
4. The Witnesses must attest and subscribe the Will or Codicil in the presence of the Testator.

*Cholera Morbus.*—Mae yr haint echrydus hwn wedi lladd nifer mawr o bobl eleni, yn Ffrainc, Itali, a Sicily, a rhai gwledydd ereill. Ond y newyddion diweddaf a glywsom o'r gwledydd hyny ydynt yn dangos ei fod yn lleihau yn Itali, a Sicily; ond ei fod yn parhau i dorri i lawr gryn nifer mewn rhai parthau o Ffrainc. Clywsom hefyd fod Llong o ryw Ynys yn Môr y Canoldir, lle yr oedd yr haint yn difa, wedi tirio yn Cork, yn y Werddon; a bod tri wedi marw o'r haint ar y fordaith, ar ei bwrdd hi: a bod y clefyd wedi dechreu ymdaenu yn ninas Cork drwy offeiynoldeb y Llong gryb wylledig.

*Bu farw.* Ebrill 11, 1837. Mrs. Jones, gwraig y Parch. J. Jones, Tremadoc. Bu am flynyddoedd lawer yn ymgeledd gymhwys i'w phriod, yn wasanaethyddes ffyddlawn i weinidogion yr Efengyl, ac yn forwyn bur i Grist. Hi a fu fyw yn dduwiol, ac a fu farw mewn tangnefedd. Cyhoeddir Englynion ei Choffadwriaeth yn y Rhifyn nesaf.

*Caerlleon.*—Dydd Sabbath, Hydref 15, a'r llun a'r mawrth canlynol, cadwyd Cylchwyl flynyddol y Gymdeithas Genhadol yn Nghaerlleon, pryd y pregethodd ac yr areithiodd y Parchedigion canlynol:—Dr. Raffles, o Liverpool, Mr. Freeman, y Cenhadwr o Madagascar, Mr. Reynolds, o Rumsey, Mr. Cooper o Dublin, &c.

# BARDDONIAETH.

## DUWDOD A DAROSTYNGIAD CRIST, ODDIWRTH Phil. ii. 6, 7, &c.

Anfeidrol Ior Nefol a wnaed,
Yn rhyfedd a gaed ar ein gwedd,
Disgleirdeb gogoniant ei Dad,
Un haniad yn seiliad ei Sedd:
Gogyfuwch a Duw ymhob dawn,
Yn uniawn mor gyflawn ag Ef:
Yn meddu pob llywiad, pob llais,
Un adlais yn nyfais y Nef.

Gogyfuwch 'E gafwyd a'i Dad,
Un fwriad, un d'rawiad, un drefn;
O gyd-dragywyddol barhad,
Ac un o'r dechreuad drachefn.
Ond rhyfedd drugaredd i gyd!
Daeth Arglwydd y Bywyd i'r boen;
I'n prynu disgynodd mewn pryd,
A'n hachub ni hefyd o'n hoen.

Dadwisgodd, gwaghaodd ei hun,
O! gariad diderfyn ei faint!
Cysgodai' ogoniant â llen,
Pan grymodd ei ben dan yr haint:
Yr agwedd gymerai oedd gwas,
O uwchder ei deyrnas y daeth;
Yn nesaf gyfathrach gu fodd,
Y safodd—o'i wirfodd yr aeth.

Fe gymerth ein natur wael ni;
Dan dlodi, mewn cyni fe'i caed:
Yn isel, yn isel ei fri,
Yn addas i weini 'e wnaed.
Bu'n ufudd hyd angeu y groes—
Dan boenau bu i einioes o hyd;
Yn dyoddef pob gw'radwydd a loes,
Pwy draetha ei *Oes* yn y byd!!

ALLTUD O EIFION.

## DIWEDD Y MEDDWON.

Gwae yr yfwyr digrefydd—a garant
Y geirwon ddiodydd;
Hwy'n ddiau yn nesau sydd
Tua'r gwaeau tragywydd.

Dynesu i dân ysol—tân y ffwrn
Maent yn ffest rhyfeddol:
Oni wnant neidio yn ol
Gwae iddynt yn dragwyddol.

Yn y farn erchryslawn fydd—y crynant
Ceir annwn yn gerydd,
Yr Iôn trugaredd ni rydd
I'w heneidiau annedwydd.

I gynu mewn fflamawg anedd—yr ânt
Heb yr un drugaredd,
Yno bydd rhincian danedd
I'r rhai hyn heb awr o hedd.

*Llynlleifiad.* IOAN HUWS.

## EMYN DDIRWESTAIDD.

O Arglwydd, Duw y duwiau,
Creawdydd nef a llawr,
O llwydda'n hymdrechiadau
Bydd in' yn gymorth mawr;
O tyred ti dy hunan
Yn llywydd ar ein llu
I'n frwydro'n erbyn Satan
A theyrnas uffern ddu.

Dymchweler caerau pechod
Gan rymus fraich ein Duw,
Yr hen ormesdeyrn—medd'dod,
A gaffo farwawl friw;
Ac oll o'i ddeiliaid diras,
Hyd holl derfynau'n gwlad,
Fo'n dod yn filwyr addas
Dan faner Dirwest fad.

Ow, trwm yw gwel'd trigolion
Yngwlad Efengyl glau,
Yn plygu 'i *Bachus* greulon
A'i egwyddorion gau!
Ow, trwm yw gweled dynion
Dan iau fath anfad dduw,
Yn gaethion weis dan goron
Mawr elyn Brydain wiw!

O llwydded byddin Dirwest,
I ddymchwel hwn a'i sedd
Ac ennill drwy y goncwest
I Brydain hyfryd hedd;
Ymfrwydrwn oll yn ëon
Mal milwyr dewrion mad,
Nes ymlid *Bachus* greulon
A'i ormes erch o'n gwlad.

Cawn lawenychu'n uchel,
Bydd Jubili rhyw awr,
Pan dderfydd poethni'r rhyfel
Pan gwymp ein gelyn mawr:
Ni wawriodd dydd mwy dedwydd
Erioed ar Brydain gu,
Na'r dydd rhyddeir ei bröydd
'Ddiwrth ormes *Bachus* ddu.

Bydd gwyl o fawl bendigaid
Pan gwympir duw y gwin,
Mal gwyl yr Israeliaid
Ar lan y cochfor blin;
Gwnaent foli Duw eu tadau
Am iddo'n gymorth fod,
A'n Duw a folwn ninnau
Efe deilynga'r clod.

*Llynlleifiad.* IOAN HUWS.

## Y CRISTION FEL MORWR.

Y Cristion dan dòn y daw—o'i dywydd
I dawel orphwysaw;
O hynt drom ei helynt draw,
Mawr dywydd yn mordwyaw.

Trwy dywydd bob dydd o'i daith—yr hwylia
Ar hylaw fôr dyfnlaith;
Drwy arw gur draw er gwaith,
Nes dirwyn einioes dyraith.

Ond gwelir cyn hir mewn hedd—gyraeddiad
Gwir rwyddawl o'r diwedd;
I'r lan wych ar wiwlon wedd,
E nofia i dangnefedd. ALLTUD O EIFION.

## ENGLYN I'R RHODD TAD.

Rhodd tad (un fwynfad i fyw)—i'w eppil
Gwna'n hapus y cyfryw;
Rhag uffern, llusern, a llyw
Odiaeth i'r nefoedd ydyw.

ASIEDYDD.



# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXIV.] RHAGFYR, 1837. LLYFR VII.

## TALFYRIAD O BREGETH

## Y PARCH. THOMAS JONES, CAERFYRDDIN.

A bregethwyd Hydref 31, 1832.

'Am yr hon iachawdwriaeth yr ymofynodd, ac y manwl-chwiliodd y prophwydi, y rhai a brophwydasant am y gras a ddeuai i chwi.' 1 Pedr i. 10.

ODDIWRTH y geiriau hyn sylwn ar y pethau canlynol.

I. Am yr iachawdwriaeth.

II. Yr ymofyn a'r chwilio fu am dani gan y prophwydi.

III. Y gras a ddeuai i ni.

IV. Fod yr hyn a ddywedodd y Prophwydi dan yr hen Destament, am y gras a ddeuai i ni, yn galondid ac yn gysur mawr i ffydd y credadyn dan y Testament newydd.

I. Am yr iachawdwriaeth. Mae'r gair iachawdwriaeth yn arwyddocau, 1. Cwbl iachâd o bob pläau a chlefydau. 2. Cwbl waredigaeth o gyfyngdra.

II. Y chwilio a'r ymofyn fu am dani gan y phrophwydi. Y dull yr oeddynt yn chwilio. 1. Trwy ddarllain. 2. Trwy weddio. 3. Trwy fyfyrio. Chwilio fel am y trysor gwerthfawroccaf; chwilio yn ddiorphwysnes cael gafael arno. Eu dyben yn chwilio fel hyn oedd, 1. Cael gafael ar yr iachawdwriaeth iddynt eu hunain. 2. Cael golygiadau uniawn arni i'r oesoedd a ddeuent.

III. Y gras a ddeuai i ni. Mi a sylwaf fel y canlyn, sef, mai o ras mae'r iachawdwriaeth i gyd.

1. Yr oedd dyfodiad Crist i'r byd o ras i gyd, 'Chwi adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dylawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef. Dyma dri gair na all neb eu plymio. (1.) Cyfoeth yr Arglwydd Iesu. (2.) Y tlodi y daeth iddo er mwyn ei bobl. (3.) Y cyfoeth yr hwn y cyfoethogir ei bobl âg ef.

2. Mae anfoniad yr Yspryd Glan o ras.

3. Mae cyfiawnhad pechadur o ras i gyd. Rhuf. 3. 24.

4. O ras y mae ffydd yn cael ei rhoi i'r pechadur. Ond gwybydd hyn, er bod yr iachawdwriaeth i gyd o ras, etto fe'th ddygir di i chwilio yn ddyfal am dani os cei ei mwynhau.

IV. Fod yr hyn a ddywedodd y Prophwydi am y gras a ddeuai, yn galondid ac yn gysur mawr i ni. Hwy ddywedasant, 1. Y byddai yr Arglwydd Iesu yn Dduw ac yn ddyn, Esay 9. 6. Ac felly y bu. Math. 1. 21. 2. Mai o forwyn heb adnabod gwr y genid ef. Ac felly y bu. 'Ac nid adnabu efe hi hyd onid esgorodd ar ei mab cyntafanedig, a galwodd ei enw ef Iesu.' 3. Na thorid asgwrn o hono. Ac felly y bu. 4. Y gwenid ei ystlys ef â gwaewffon; ac felly y bu. 5. Y pris am yr hwn y gwerthid ef; deg ar hugain o arian; ac felly y bu.

Addysgiadau.

Ond mae rhyw un yn barod i ofyn. A oes rhyw beth i mi yngeiriau'r Prophwydi? Mae fy nghalon i fel y garreg! Oes fy enaid, fel hyn y dywed yr Arglwydd, 'Mi a dynaf y galon garreg o'u cnawd hwynt.' Ond medd arall, Mae fy llygredigaethau i mor gryfion, yr wyf yn ofni na chefais i erioed ras. Gwrando, 'Deuwch yr awrhon ac ymresymwn, medd yr Arglwydd, pe byddai eich pechodau fel ysgarlat, ânt cyn wynned a'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan.'

Ond, medd rhyw un, y mae fy mhechodau i mor gryf, yr wyf yn ofni y byddant yn dystiolaeth yn fy erbyn yn y farn. Gwrando etto; 'Myfi, myfi yw yr hwn a ddileaf dy bechodau er fy mwyn fy hun.' 'A gwaed Iesu Grist ei fab ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod.' Bendith ar hyn o sylwadau i'ch dwyn i afael yr iachawdwriaeth.

*Rhos-lln-g.* T. PHILLIPS.

## HUNANYMHOLIAD.

(Parhad tu dal. 297.)

*Mae yr hyn a ddywedwyd yn galw yn uchel ar ddynion i ddifrifol holi eu hunain, a ydynt yn y ffydd; a holi eu hunain, ai nid ydynt yn adnabod eu hunain.* Eu profi eu hunain, nid wrth eu tymherau a'u teimladau, nac ychwaith yn hollol wrth eu hymddygiadau allanol, ond wrth y Bibl fel unig faen prawf. Dylem sefyll o flaen y drych hwn yn ystyriol, ac edrych pa fath rai ydym. Yn ol y gair y chwilir ni yn nydd y prawf, Rhuf. 2. 16. Dat. 20. 12,

1. Dylem chwilio ein hunain mewn perthynas i ein ffydd, o ran ei natur a'i chywirdeb, ei heffeithiau a'i gweithrediadau. Os yw ein ffydd o'r iawn ryw, yr ydym yn gwerthfawrogi Crist, yn ufuddhau i reolau yr efengyl, yn gwrthwynebu y diafol a'i demtasiynau, yn ymestyn at santeiddrwydd. Y cyfiawn a fydd byw trwy ei ffydd, Hab. 2. 4. Nid ffydd ddiffrwyth yw hon, ond ffydd yn gweithio drwy gariad.

2. Dylem holi ein hunain ynghylch natur a chywirdeb ein hedifeirwch. Dichon i'r annuwiol edifarhau am bechod fel y mae yn anmharchi ei gymmeriad da, ac fel yn tueddu i ddwyn euogrwydd a chosp arno. Mat. 27. 3. ond y mae'r gwir gristion yn galaru am bechod fel y mae yn dianrhydeddu Duw. Psal. 51. 4. Ac fel y mae yn gwanu, ac megis yn ail groeshoelio Crist. Zech. 13. 6. Heb. 12. 25. Ac hefyd fel y mae yn tristâu yr Yspryd Glan, ac yn peri i Dduw guddio ei wyneb. Esa. 59. 2.

'Mae tristwch y byd yn gweithio angau.' Mae yn sychu i fynu yr yspryd, ac yn fynych yn gyru dynion i gyflawni y drygau mwyaf ofnadwy. Mat. 27. 3. 5. ac felly yn gweithio angau tymhorol a thragywyddol. Ond mae yr edifeirwch sydd er iachawdwriaeth yn dristwch duwiol, yn dryllio y galon, ac yn ei dwyn yn ostyngedig, i weddio am drugaredd, i gasâu pechod ac i ymgais am rodio mewn newydd-deb buchedd, trwy ymddwyn yn addas i efengyl Crist. Mae hwn yn edifeirwch i fywyd am ei fod bob amser yn gyssylltiedig â ffydd yn Nghrist. Zech. 12, 10. ac â'r maddeuant ag sy'n deilliaw o Grist. Mae mewn gwir edifeirwch efengylaidd gyfnewidiad yn y meddwl am Dduw. Hos. 14. 8. ac am gyfraith Dduw, Rhuf. 7. 7, 12. am bechod hefyd. Gen, 39. 9. ac am sancteiddrwydd. Rhuf. 7. 24. Eph. 4. 23, 24. Mae yr annuwiol yn galaru o herwydd y drwg sy yn dilyn pechod: ond mae y duwiol yn galaru oherwydd y drwg sy mewn pechod. Act. 8. 24. Rhuf. 7. 23. Am hyny holwn ein hunain a ydym wedi dyfod i'r iawn.

3. Mae yn wir angenrheidiol i ni holi ein hunain mewn perthynas i'n cariad at Dduw yn Nghrist. Beth pe gofynid i ni yr hyn a ofynodd Crist i Pedr? 'A wyt ti yn fy ngharu i?' Diamau y byddai yn ddyryslyd ar lawer o honom. Os ydym yn caru Duw yn gywir yr ydym yn awyddus am gadw ei orchymynion ef: 'Os cerwch fi, cedwch fy ngorchymynion.' Megis pe dywedasai Crist, Os nad ydych yn cadw fy ngorchymynion peidiwch a meddwl eich bod yn fy ngharu i.

Mae gwir gariad at Dduw yn cynnwys ofni ei ddianrhydeddu ef, hiraeth am ei gymdeithas; ac mae yn peri i'w berchenog foddloni i ddyoddef drosto ef a'i achos. Ond nid oes neb yn caru Duw heb ei adnabod ef. Y mae yn beth o fawr bwys i ni gadw mewn golwg ar y gwahaniaeth sy rhwng crefydd yn y pen, a chrefydd yn y galon. Mae lle i ofni fod llawer yn meddwl eu bod ar yr iawn ffordd, a'u holl grefydd yn y pen, heb ddim yn y galon; fe allai eu bod yn tybied eu hunain yn broffeswyr go dda, a'r enaid yn ymddifad o gariad at Dduw.

Mae yr anian newydd yn ymhyfrydu yn Nuw yn wyneb y datguddiad o hono, am ei fod yr hyn ydyw ynddo ei hun, ac am yr hyn ydyw efe i ni. Hefyd am yr hyn a wnaeth Duw yn y cnawd drosom ni yn y byd. 1 Ioan 4. 9. 16. 19. Mae cariad at Dduw yn ein rhwymo i garu pob peth sydd yn perthyn iddo, i werthfawrogi pob rhodd a dderbyniom ganddo, ac i awyddu am fod yn debyg iddo, yn bur, fel y mae yntau yn bur. 'Gwyn eu byd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw.'

4. Dylem ein holi ein hunain ynghylch natur a chywirdeb ein zel gyda chrefydd, ac at, a thros bethau crefydd. Dylem fod yn zelog gyda gwaith yr Arglwydd; yn wresog yn yr yspryd, yn gwasanaethu yr Arglwydd, gan wybod na fydd ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd. 1 Cor. 15. 58. Ond dylem chwilio ein hunain yn hyn, canys y mae

gan zel. Zel gan oedd yr holl zel boethlyd oedd gan Jehu. 'Gwel,' medd efe, 'fy zel i dros Arglwydd Dduw Israel.' Yr oedd efe yn awyddus i gyflawni gorchymyn yr Arglwydd, yr hwn a lefarodd efe drwy Elias; ond ei ddyben oedd, cael ei weled gan ddynion. Tyred gyda mi, medd efe, a gwel, &c. Tebyg i hyn oedd zel yr Iuddewon, yn Rhuf. 10. 2. Yr oeddynt yn hynod o zelog dros Dduw a'i ddeddf, yn enwedig dros y ddeddf seremonïol. Gwyddent ddyfod o'r ddeddf drwy ordeiniad Duw, a thybient eu bod yn ei chadw er gogoniant Duw. Gwresog oedd eu zel, ond yr oeddynt yn y tywyllwch am natur a dyben y ddeddf hono.

Mae zel dduwiol yn eiddigedd sanctaidd dros Dduw a'i ogoniant. Yr wyf o'r farn ei bod yn un gywir yn Phineas. Num. 25. 7. 8. 13. 1 Sam. 17. 26 a 36. Hefyd, awyddfryd am weled sancteiddrwydd yn cynnyddu, a phob pechod ynom yn cael ei ddarostwng, yn enwedig, y pechod sydd yn barod i'n hamgylchu.' 2 Cor. 7. 11. Dat. 3. 19. Gwiliwn lawer yn hyn. Dywed y duwiol Mr. Flavel, 'Fod anghywirdeb yn ein zel yn niweidiol iawn—mae yn debyg i gleddyf llym yn llaw dyn dall, neu geffyl dall o dymher fywiog a gwyllt yn ymyl y gamlas. Gwnaeth zel anghywir fawr niwed i Eglwys Ddnw, ac mae yn ei wneud etto, gan hyny yn dy holl zel bydd sicr o'th nod cyn gollwng dy saethau.

5. Mae yn ddyledswydd arnom holi ein hunain ynghylch gwirionedd ein llawenydd a'n gorfoledd gyda chrefydd. Mae llawenydd yn un o ffrwythau yr Yspryd, Gal. 5. 22. Mae hwn yn llawenydd sanctaidd, yn llawenydd yn yr Yspryd Glan. Gorfoledd yr iachawdwriaeth ydyw, trwy ffydd fywiol yn Nghrist. Mae yn tarddu oddiar olwg ar yr hyn yw Crist i bechadur. Ac mae ynddo gysur cryf, yr hwn sydd yn meithrin ac yn cynnyddu gobaith am gynnaliaeth a bendithion tymhorol ac ysprydol, a dedwyddwch bywyd tragywyddol yn y diwedd.

Ond y mae gorfoledd twyllodrus yn bod, heb wreiddyn da iddo. Mae hwn yn codi oddiar hwyliau a thymerau naturiol. Os sylwn fel yr oedd Saul, brenin Israel, yn gorfoleddu ac yn llawenychu yn mysg y prophwydi. Sam. 10. 11, 12. Ac mae yr Ysgrythyr yn dywedyd i Dduw roddi iddo ef galon arall; ond nid calon i ofni Duw oddiar gariad atto, fel y mae ei ymddygiad wedi ei holl orfoledd yn dangos yn amlwg. Mae amryw yn ein gwlad ni yn awr yn brofion arswydus o'r cyffelyb amgylchiad. Lle y canfuwyd peth tebyg i sail gobaith da ar lawer, yn moliannu, ac yn ymhyfrydu mewn diolchgarwch i'r Arglwydd; ond yn awr, y cyfan wedi colli. Cablu sydd yn lle moliannu—gwatwar canlynwyr Crist, yn lle diolch iddo. Gan hyny y mae yn bryd i ni holi ein hunain.

6. Dylem holi ein hunain am gywirdeb ein hegwyddorion a'n dybenion, rhag ein bod yn rhagrithwyr. Chwiliwn ein hunain ar ba beth yr ydym yn adeiladu. Pa un ai ar graig, ynte ar y tywod. Pa un ai rhith ai sylwedd sy genym. Pa un ai enw o fod yn fyw sy genym, ynte a ydym yn byw drwy ffydd Mab Duw. Mae nodau ac arwyddion gwahanol ar y gwir gristion ragor ragrithiwr. Dywed yr Apostol Ioan, 'Yn hyn mae yn amlwg plant Duw, a phlant diafol: pob un ar sydd heb wneuthur cyfiawnder nid yw o Dduw.' Dywed Tindal, 'Pa fodd y beiddia un dyn feddwl fod Duw yn ei garu fel ei blentyn a bod ei Yspryd ynddo, pan nad yw yn teimlo un gweithrediad o eiddo Yspryd Duw oddifewn, nac yn teimlo ei hunan yn barod i un weithred dda; ond pa le bynag y mae creadur newydd y mae efe yn llefaru ac yn gweithredu yn ol ewyllys ei Greawdwr, ac yn galluogi y dyn i wneuthur pethau oedd yn anmhosibl iddo eu cyflawni o'r blaen.' 'Gan hyny ystyriwn a chwiliwn ein ffyrdd.' Ymofynwn yn fanwl, a ydyw ein barn a'n matter yn dda, ai nad yw. Beth yw ein prif ddyben yn ein holl broffes?

III. *Y mawr beryglo fod neb yn cynnwys tybiau mawr am danynt eu hunain. Mae y cyfryw yn twyllo eu hunain.*

'Y mae efe yn ei dwyllo ei hun.' 'Pob un a ddwg ei faich eu hun.' Y mae hunan-dwyll yn waeth nag un twyll. Peth anhyfryd iawn yw i neb ei dwyllo ei hun yn nghylch negesau y bywyd hwn; ond peth ofnadwy yw i ddyn dwyllo ei hun ynghylch pethau bywyd tragywyddol: pethau na fydd dim cyfnewid byth arnynt, tra bo Duw yn Dduw, a thragywyddoldeb yn dragywyddoldeb.

Pan elwir ni i roi cyfrif o'n goruchwyliaeth, os byddwn yn anmharod, a Duw wedi rhoddi i ni y fath foddion o ras, pa fodd y

edrychwn yn wyneb y Barnwr, a ninnau wedi esgeuluso holi a phrofi ein hunain, a oes genym yr hyn a'n deil yn y frawdle? Oh y fath siomedigaeth a gyfarfyddodd â'r morwynion ffol! Yr oedd ganddynt lamp, ond nid oedd ganddynt olew yn eu llestri gyda'u lampau. Pan ddaeth awr y prawf, hwy a waeddasant allan yn rhy ddiweddar, 'mae ein lampau yn diffoddi! Dyma golled, nad oedd modd byth ei hadferu. Mae morwynion ffol yn y byd yn ein dyddiau ni. Yn awr yw yr amser cymmeradwy, yn awr yw yr amser addas i chwilio a phrofi ein hunain; ae mae perygl oedi.

*(I'w barhau.)*

## Rhagoriaethau y Bibl.

### 5. PAUL.

Paul ydoedd Israeliad o lwyth Benjamin, a phob un o'i rieni oeddynt Hebreaid. Yr ydoedd yn frodor o Tarsus, yn Cilicia, a thrwy enedigaeth yn ddinesydd rhydd o Rufain Ymerodrawl. Cyn ei alwad i'r apostoliaeth, yr ydoedd yn adnabyddus wrth ei enw Hebreaidd Saul; ond arferai Paul, ei enw Rhufeinig, yn mhlith y Cenhedloedd. Ei rieni a'i hanfonasant ef yn foreu i Ierusalem, i astudio y gyfraith Iuddewig dan gyfarwyddiad Gamaliel, doctor enwocaf ei genedl. Darfu i gynnydd y dysgybl gyfatteb i enwogrwydd ei athraw, a'i holl ddylanwad a'i dalentau oeddynt ymroddedig i gynnal i fynu draddodiadau llygredig yr Iuddewon, i ddinystrio eglwys Crist, ac i ddadwreiddio yr enw cristion. Ond yn nghanol ei yrfa lofruddiog, pan 'yn chwythu bygythiau a chelanedd yn erbyn disgyblion yr Arglwydd,' darfu i ddwyfol ras a thrugaredd adnewyddu ei galon, ac efe a gyssegrodd ei holl alluoedd i wasanaethu Crist!

Erioed, efallai, ni bu yr un mor gwbl ymroddedig i ogoniant Duw, ac i ddwyn yn mlaen y daioni goreu i ddynolryw; erioed, mae'n debygol, ni ddarfu un o ddisgyblion ein Hiachawdwr arddangos esampl mor enwog o rinweddau cristionogol a llafur cymmwynasol, â'r llestr etholedig hwn i'r Arglwydd. Dywedwyd, y bydd yn rhaid i'r ystyriaeth o ddychweliad ac apostoliaeth Paul yn unig, adael pob anffyddiwr yn ddiesgus am ei wrthodiad o Gristionogaeth. Ar ol bod yn offeryn o fendithion anmhrisiadwy i eglwys Duw, trwy ei bregethau, ei esampl, a'i ysgrifenadau, efe a seliodd wirionedd yr efengyl â'i waed, trwy gael torri ei ben yn Rhufain, Mehefin 29, O. C. 66, trwy orchymyn yr Ymerawdwr Nero. Y pedwar-ar-ddeg o epistolau Paul ydynt drysor o anmhraethol werth i eglwys Iesu Grist.

### 6. IAGO.

Iago a elwid y Lleiaf, i'w wahaniaethu oddiwrth Iago brawd Ioan, yr hwn a roddwyd i farwolaeth gan Herod, Act. xii. Yr ydoedd yn fab i Alphëus Cleophas, a gelwir ef yn frawd yr Arglwydd, o herwydd ei fod yn un o geraint Mair y forwyn. Ar gyfrif sancteiddrwydd rhyfeddol ei fywyd, cyfenwid ef y Cyfiawn. Crybwyllir ef fel yr Esgob cyntaf i'r eglwys gristionogol yn Ierusalem, lle yr ydoedd yn cael ei barchu hyd yn nod gan yr Iuddewon am ei sancteiddrwydd. Pa fodd bynag, Ananias yr archoffeiriad, gyd a'r ysgrifenyddion a'r phariseaid, a'i galwasant ar y Pasg, i sefyll ar borth y deml, i foddloni meddyliau ammheus y bobl yn nghylch y ffydd yn Nghrist; ond wedi eu cyffroi gan ddigofaint fod ei athrawiaeth yn cael ei derbyn gan gynnifer, hwy a'i taflasant ef i lawr oddiar y mur-ganllawiau; ac, tra yr ydoedd yn gweddio dros ei lofruddion barbaraidd, rhai o honynt a'i curent ar ei ben â phastwn, ac a'i lladdent yn y fan. Fel hyn fe'i merthyrwyd gan yr Iuddewon digyfraith, pan ydoedd y llywydd Rhufeinig yn absenol o Ierusalem, O. C. 62. Yr Apostol hwn a ysgrifenodd yr epistol sydd yn dwyn yr enw Iago.

### SYLWADAU AR YR ORDINHAD A'R DDYLEDSWYDD O GANU MAWL.

*(Parhad tu dal. 328.)*

2. Yr ail dosparth o addolwyr y bwriadwyf gyfeirio ychydig sylwadau at eu hystyriaethau, yw y rhai hyny a arweiniant y gerddoriaeth mewn cynnulleidfaoedd yn y rhan beroriaethol o honi.

Tu ag at fod yn weithwyr difefl yn ngweinyddiad y swydd oruchel hon, dylai eich galwad a'ch awdurdodiad i'r gwaith fod yn diffuant, ac hefyd yn amlwg.

Nid oes gan neb hawl gyfreithlon i weinyddu yn unrhyw swydd, nac i weithredu yn gyhoeddus mewn unrhyw waith yn nhŷ yr Arglwydd nes y galwer ac yr

awdurdoder ef i hyny. A diammheu y dylai yr eglwys ofalu am gyflawniad y swydd hon o arwain cynnulleidfaoedd yr Arglwydd yn eu mawl a'u caniadau, yn gystal a swyddau ereill.

Mae galwad i gyflawni swydd a gwaith yn eglwys Crist yn ddeublyg, sef, y mae yn alwad oddi wrth yr Arglwydd ac hefyd oddi wrth ei eglwys.

Mae dau beth yn gynnwysedig mewn galwad oddi wrth yr Arglwydd i gyflawni swydd a gwaith yn ei dŷ. 1. Doniau a chymhwysderau naturiol, i gyflawni y swydd a'r gwaith mewn modd addas yn y rhanau allanol o honynt. 2. Parotöad y galon, yr hyn sydd gymhwysder anhebgorol angenrheidiol er cyflawni unrhyw waith mewn modd ysprydol yn addas yn nhŷ Dduw.

Mae parotöad y galon i'r swydd hon yn cynnwys heblaw lliaws o bethau ereill—rhoddi meddwl uniawn a chywir mewn un o berthynas i'r gwaith goruchel o ganu mawl i Dduw fel y mae yn ordinhad ddwyfol, ac yn ddyledswydd grefyddol. Ymyraeth â'r ordinhad sanctaidd heb raddau o hyn a fyddai (fel y sylwyd eisoes) yn dra annheilwng. Ond os yw yn gymhwysder anhebgorol mewn addolwyr yn gyffredinol, y mae yn fwy felly yn y rhai a flaenorant yn yn y rhan hon o addoliad yr Arglwydd, ac ymddangosodd y diffyg o hono yn ei effeithiau a'i ffrwythau yn niweidiol ac annymunol lawer gwaith. Ond pe nad ymddangosai yr effeithiau o hono felly, y mae ynddo ei hun yn annghyfaddasiad dirfawr mewn dyn i weithredu yn y fath orchwyl goruchel ag yw arwain cynnulleidfa yr Arglwydd, yn offrymiad ei mawl. Byddai ystyried y gwaith yn y golygiad hwn o hono, yn ddigon i beri i bob meddwl ystyriol gael ei orlenwi â gwylder a gostyngeiddrwydd yn yr olwg arno, ac felly nesau i ymaflyd ynddo, gan ddywedyd beunydd, Pwy sydd ddigonol i gyflawni yn ddyladwy y fath waith goruchel! Tymher ac agwedd fel hyn ac nid arall sydd yn addas i wynebu ar y fath orchwyl.

Am alwad yr eglwys i'r swydd ni sylwaf ddim ond yn unig nodi yr angenrheidrwydd o honi, ac y dylai fod mor amlwg a chyhoedd fel na byddo lle nac achlysur i feddwl y neb a alwer iddi nac ereill, ammhau ei diffuantrwydd. Heb alwad drwyadl i'r swydd bydd y neb a weinyddo ynddi yn rhwym o weithredu megis yn lledradaidd, ac yn agored i gael ei folestu trwy gydol yr yspaid y gweinyddo ynddi. Ond â'i alwad a'i awdurdodiad i'r gwaith yn ddiffuant ac amlwg, gallai, pe digwyddai achos, weithredu fel y gwnaeth Dafydd brenin Israel tu ag at feibion Serfiah pan y mynent ladd Simei. Heb. 5. 4. 2 Sam. 19. 21—23.

Ar ol sylwi cymmaint a hyn am yr alwad i'r swydd hon, golygaf bellach y rhai a weinyddynt ynddi fel llu parod wedi eu hawdurdodi a'u haddurno idd eu gwaith.* A chan eu hystyried fel yn gyfryw y ceisiaf osod yr ychydig sylwadau canlynol at eu hystyriaethau.

Dau gymhwysder buddiol iawn a hollol anghenrheidiol er cyflenwi swydd a chyflawni gwaith cyhoeddus neu gyffredinol, mewn modd anrhydeddus ac adeiladol, yw gostyngeiddrwydd a diysgogrwydd neu gadernid meddwl. Heb ddianwadalwch meddwl byddai yn beryglus i un mewn swydd gyhoeddus gael ei weithio yn fwhwmanllyd gan awelon gwrthwynebus dysgeidiaeth y rhai ydynt sicr o chwythu i raddau ar bawb a weithredant yn y cyfryw sefyllfaoedd, ac felly myned yn hollol anfuddiol. Ac heb ostyngeiddrwydd yn gyd fynedol â hyn, dichon i un arfer ei ddiysgogrwydd yn rhy debyg i gyndynrwydd. Meddyliwyf fod cynghor Apostol ar fater arall yn dra addas yn hyn, ac yn tueddu at adeiladaeth gyffredinol,—'Profwch bob peth, deliwch yr hyn sydd dda.' Diysgogrwydd a gostyngeiddrwydd yn gyd-dymheredig ynom a'n haddasai yn fawr, ac a roddai i ni lawer o gymhorth i dynu yn mlaen trwy bob rhwystrau mewn modd adeiladol ac anrhydeddus.

Er mwyn gweithredu yn addas a def-

* Er adeiladaeth, nid anmhriodol nac anfuddiol a fyddai i y rhai a alwer i'r gorchwyl o arwain y gerddoriaeth yn y cynnulleidfaoedd, arfer a chynnefinaw rhai ieuaingc o gymhwysderau ac ymddygiadau addas a gobeithlawn, yn y gwaith. Canys felly byddent wedi eu hyfforddiaw yn barod erbyn yr ymddangosai yr anghen am danynt. Ac nid yn unig rhai ieuaingc ond rhai mewn oedran hefyd o ddoniau a chymhwysderau addas. Cymhwysder anghenrheidiol yw hunanymwadiad gyd â phob rhan o waith yr Arglwydd.

nyddiol yn y gwaith o arwain cynnulleidfa yn y rhan beroriaethol o'r gerddoriaeth, dylai yr Arweinydd ofalu am ddewis peroriaethau addas i ansawdd neu sylwedd yr hyn a ganer,* gan ofalu am osod y cyfryw mewn cyweirau addas heb fod nac yn rhy uchel nac yn rhy isel, fel na byddo gan y rhai a ganant y rhànau iselaf nac uchaf achos i gwynaw.

Yn mhellach, yn newisiad yr Arweinydd o'i beroriaethau dylai ystyried medrusrwydd a doniau y gynnulleidfa y byddo yn gweini ynddi. Dichon y naill gynnulleidfa ganu peroriaethau a ofyn gryn fedrusrwydd a hyawdledd i hyny yn hollol dda a threfnus, pryd na byddai cynnyg y cyfryw i gynnulleidfaoedd ereill, llai eu medrusrwydd, yn amgen na'u harwain i annhrefn a gwarth. Mae yn wir bod yn oddefol a chyfreithlon i gerddorion da, ddefnyddio peroriaethau a roddant achlysur iddynt i ddefnyddiad eu doniau mewn cywreinrwydd hyd eithaf eu medrusrwydd. Ond er hyn, oni bydd y gynnulleidfa yn gyffredinol yn gallu cydweithredu â hwynt, gan fod yn ddyled ar bob perchen anadl foliannu yr Arglwydd, y mae arafwch yn hyn yn anghenrheidiol, rhag i gerddorion fod yn achlysur trwy hyny, i ddifuddio ereill o'u braint, ac felly rhwystro mawl yr Arglwydd oddi wrthynt.

Yn newisiad yr Arweinydd o'i beroriaethau, dylai ystyried a deall hyd y gallo, o ba dymher y byddo y gynnulleidfa, gan ochelyd er dim osod peroriaethau annghynefin a dyryslyd o'i blaen pan y byddo o dymher iraidd a gwlithog, yr hyn sydd yn naturiol idd ei ddysgwyl ar ddiwedd odfeuon, eithr rhoddi tônau esmwyth a hawdd, fel y gallo pawb gydganu er gogoniant i'r Arglwydd a'u hadeiladaeth eu hunain.

Dylai pob Arweinydd ystyried mai nid ei unig waith ydyw dechreu yn gywir, a gosod y gynnulleidfa megis ar ben y llwybr, ond y perthyn iddo hefyd, ofalu am arwain y gynnulleidfa yn y gerddoriaeth drwyddi oll o'r dechreu i'r diwedd, gan flaenori yn gywir ar ddechreu pob llinell, ac ar ol pob gorphwysiad. Ac anweddus a fyddai i neb arall fyned o'i flaen tra y byddo yn rhodio ar lwybr ei ddyledswydd. Gwelais rai yn esgeuluso hyn, ac yn y canlyniad, y cynnulleidfaoedd yn gorfod tynu yn mlaen fel byddin heb flaenor, neu ddefaid heb arnynt fugail, ac felly y gerddoriaeth yn ymwahanu bron yn ddrylliau.

Tu ag at arwain cynnulleidfa yn dda dylai y dechreuydd swnio ei seinnod yn isel ac esmwyth; gan ochelyd rhoddi ei lais allan yn ei lawn rym i ddechreu. Oblegyd felly byddai ei lais yn hollol aflywodraethus iddo trwy y gerddoriaeth. Ond trwy ddechreu yn isel ac esmwyth (mal y gwna yr ëos meddynt) gall yr Arweinydd chwyddo a lleiâu ei lais ar y seiniau a fyno yn nghorph y gerddoriaeth fel y byddo yr anghenrheidrwydd yn digwydd, a bydd ganddo felly awdurdod a llywodraeth arno ei hun ac ar y gynnulleidfa. Byddai ystyried a gweithredu yn ol hyn yn dra manteisiol i gerddorion yn gyffredinol er canu yn gywir a destlus. Ond i Arweinyddion byddai yn fwy felly, ac y mae yn hollol anghenrheidiol er arwain cynnulleidfa yn addas. Pwy bynnag a'i prawf, yr wyf yn sicr y bydd o'r un golygiad, ac y cenfydd yn fuan y llesâd o hono.

Mae llawer o bethau ereill y buasai yn addas eu nodi fel yn ddefnyddiol er trefn a gweddeidd-dra yn y gorchwyl hwn, ond rhag meithder gadawaf hwynt i ymarferiaeth y rhai a weithredant yn y gwaith. Cofiwn yn wastadol mai nid arglwyddi eithr gweision ydym—gweision i Dduw, a gweision i'r eglwysi a'r cyn'lleidfaoedd. A bydded ein hymddygiadau beunydd yn gyfatebol i'n sefyllfaoedd. Ac ymdrechwn ar wneuthur y cyfan yn weddaidd ac er adeiladaeth fuddiol. Ac er y canfyddwn ein hunain yn annheilwng, yn anfedrus ac yn annigonol, etto na ddigalonwn, ond nesawn at yr hwn a bïau y gwaith am ei gymhorth a'i arweiniad. Ei roddion ef yw doniau naturiol, a'i waith ef yw cymhwysderau ysprydol, ac y mae yn aml yn rhyfeddol yn ei gyfraniad o honynt. Gan hyny bydded ein disgwyliad wrtho, a'n hymddibyniad arno. TALMID.

DIWEDD

# TEMTASIWN.

Trwy fod satan yn yspryd, ac yn yspryd mor ddichellgar, y mae'n abl i weithredu ar y meddwl, ac effeithio ar y dychymmyg,

---

*Gwel tu dalen 229, 230.

mewn ffordd neillduol o gyfrwys, a hynod ryfeddol. Medr ddyrchafu yn y dychymmyg feddyliau drygionus, a dymuniadau ffiaidd ac atgas, a hyny trwy ddarluniad o'r gwrthrychau, y rhai a fyddo'n fwyaf cymhwys ac addas i'n serchiadau. Yn y modd a'r dull yma yr ymlithra yn fynych i'r galon, heb y gwrthwynebiad lleiaf, ac hefyd agos yn ddisylw. Mewn cyffelyb ffordd a hyn y llanwodd efe galonau *Ananias* a *Saphira*; ac hefyd *Iudas* yr un modd. Hyn a wnawd, yn benaf, trwy daflu meddyliau drwg i galonau y personau gresynol hyn.

Mae satan yn fynych wrth ei waith o'n temtio pryd nad ydym yn meddwl am dano; ac mae'n ddirgelaidd am gloddio dan ein tangnefedd, ac yn dadymchwelyd ein llawenydd a'n hyfrydwch. Mae yn sefydlu ei beiriannau ac yn gosod ei abwyd i ddadymchwelyd a dinystrio, pe bai bossibl iddo, yr holl adeiladaeth ysprydol a osodwyd i fynu o fewn i'r enaid gan yr Yspryd Glan. Mae y gelyn hwn i Dduw a'i gyfiawnder, yn ymlusgo i'n mynwesau, ac yn llochesu ei hun yn ein calonau, a hyny cyn i ni wybod ei ddibenion. Mor ddichellgar a chyfrwys ydyw y gelyn hwn, fel yr ymyrra â'n meddyliau, ein dymuniadau, ac yn enwedig ein tueddiadau, cyn i ni wybod ei fod yn agos attom! Ac oblegid hyn, gallwn benderfynu, ei fod ef y fath elyn, ag y *myn ei ffordd* os gall: O gwyliwn a gweddiwn na chaffo efe yr *oruchafiaeth* arnom.

Llwyddodd y diafol i dwyllo a denu *Efa* i fwytta o'r pren gwybodaeth da a drwg, a hyny yn erbyn gorchymyn pendant Duw, yn amddiffynedig gan gyhoeddiad o ddigofaint ofnadwy. Gweithred galed i ymosod arni ydoedd hon! Dyfod ag un ydoedd *bur, diniwed*, a *doeth*, i'r fath fwys-ddadl echryslawn, ac yn y canlyniad, i fwytta o'r ffrwyth gwaharddedig, er ei fod ynglyn â *marwolaeth* sicr! 'Canys yn y dydd y bwyttai o hono, gan farw, ti a fyddi farw.' Ac, mae'n ddïammeu na buasai y gelyn byth yn llwyddo yn ei fwriad, oni buasai i *anghrediniaeth* rwyddhau y ffordd o'i flaen. Mor gynted ag y dygodd efe hi i *anghredu* y gair a gyhoeddodd Duw, a'i pherswadio na *byddai* farw er bwytta o'r ffrwyth; yr oedd gorchwyl y diafol ar ben. Ar hyn hi a gymmerth y tamaid angeuol gan fwytta marwolaeth a gwaradwydd iddi ei hun a'i hiliogaeth.

Fe allai na ddichon fod un rheswm cryfach i brofi fod llwyr anghenrheidrwydd am oruwch *Yspryd daionus* i gynnorthwyo dynion i fyned drwy anhawsderau yr yrfa gristionogawl, na hyn, fod heblaw y llygredigaeth sydd yn y dyn ei hun, *yspryd drygionus* hefyd yn bwriadu ei hudo, ac yn arfer pob diwydrwydd a llafur i geisio ei ddenu ar gyfeiliorn. Ac oherwydd paham, gan fod yn eithaf sicr, fod calon dyn, mor ddrygionus *oddifewn*, ac yn cael ymosod arni mor gryf oddi allan, os na chynnorthwyir ef, ac os na chynnelir ef, gan oruwch nerth, mai yn ysglyfaeth i ewyllys y temtiwr y bydd.

Y mae yn beth annhraethol beryglus chwarae â theimtasiwn. Y mae'n gyffredin gyda chalon dyn a themtasiwn, fel ag yr ydoedd gyd ag *Esau* a *Iacob* ei frawd; pan oedd *Esau* yn ymdaith tuag atto, yr oedd gwedi llawn *fwriadu* i *ymladd* ag ef; ond mor gynted ag y cyfarfyddodd âg ef efe a'i *cofleidiodd*. Felly y mae yn fynych gyda'r dyn. Pan fo y demtasiwn yn nesau atto, y mae yn bwriadu ymladd â hi; ond pan gyfarfyddo â hi, mae yn ei chofleidio. Gwell yw ymgadw ymhell oddiwrthi. Na thybied un dyn y gall efe ddysgu sobreiddrwydd ymhlith y meddwon; diweirdeb yn y putein-dai, gwylder yn y dawns-gyfarfodydd a'r chwareyddiaethau pechadurus, a phethau o'r fath. Buan y gadawant rinwedd o'u hol, a chyfeillach dynion llygredig a edy argraffiadau dwys a pharhaus ar ei enaid. Anmhossibl yw, 'casglu grawnwin oddiar ddrain, neu ffigys oddiar ysgall.' Ac nid oes unrhyw foddion pa bynnag a ddichon droi annogiadau a chymmelliadau drygioni yn offerynau rhinwedd. Mae cyfeillion cnawdol a'u hymddygiadau annuwiol yn waeth ac yn fwy peryglus na'r poethgryd heintus. Ddarllenydd, saf ar dy wyliadwriaeth yn wastadol.

Pan deimlo dyn ei hun mewn teimtiad cryf, a'r drygioni i'r hyn ei temtir yn ymddangos yn *fychan* yn ei olwg, y boddhâd a'r pleser yn *fawr*, a'r adferiad o'r fagl yn *hawdd* a *rhwydd*: yna, os na fynai y dyn hwnw gael ei dwyllo am dragywyddoldeb, gocheled rhag edrych *yn unig* ar *yr ymddangosiad allanol*, neu *ddechreuad* y dem-

tasiwn. Na fydded iddo farnu yr hyn y mae y temtiwr yn ei *fwriadu* wrth yr hyn y mae'n ei *gynnyg;* canys pa beth bynnag a fyddo, ac er ymddangos o hono mor wych-aidd y byddo, ïe, mor hardd ac mor bryd-ferth, y mae niwed yn yr amcan. A all unrhyw gristion feddwl, am funudyn, fod satan, ei *elyn* cyffesedig, yn ymyraeth ac yn ymdrafferthu yn y radd leiaf er ei hyfryd-wch a'i fuddioldeb? Diau nad ydyw. Yn yr holl ymddangosiadau teg a phrydferth hyn, nid ydyw ond gosod ei fagl ynddynt, ac nid yw neb yn gosod magl nad yw hefyd yn rhoddi *abwyd* ynddi. Mae satan yn casâu i'r radd eithaf tra mae'n addaw yn fwyaf teg. Ei ddiben, ymhob un o'i dem-tasiwnau ydyw ysgaru rhwng yr enaid â'i brif ddaioni, a hyny am byth. Tu draw i hyn ni ddichon fyned, ac yn fyr o hyn nid ymettyl. Pob temtasiwn, onis maedder ac ei gorchfyger, a fydd yn sicr o ddyfetha y temtiedig. Mae temtasiwn yn gweithredu yn *wenieithus* yn y dechreu, yn *arglwydd-iaethus yn* haerllug yn ei mynediad ymlaen, ac yn *damnio* yn y diwedd! Fe ddylai pob cristion a'i holl ymdrechiadau, fod yn hynod o wyliadwrus, gan weddio yn ddyfal a thaer am ei gadw rhag pob temtasiwn, o-herwydd fe ddichon i un anafu a dryllio holl gyfansoddiad ei brofiad ysprydol a'i amgylchiadau trwy demtasiwn, fel na's gall adennill ei hyder blaenorol, na mwynhau cymmaint ag un diwrnod siriol drachefn yn holl ystod ei oes, ond myned rhagddo mewn tristwch, prudd-der, ac anwadalwch hyd ddiwedd ei yrfa. Dichon iddo dynu cym-mylau duon arno ei hun, fel na wasgerir hwynt byth yn llwyr hyd ddydd ei farwol-aeth. O, gan hyny '*Gwyliwch* a *gweddiwch*.'

*Samson*, barnwr Israel, yr hwn oedd ddychryn ac arswyd i'w elynion, yn ddyn llawn o wyrthiau, trwy gofleidio a mynwesu temtasiwn a wnaeth ei hun yn wawd ac yn ddiareb i'r holl genhedloedd o'i amgylch. Trwy demtasiwn fe'i gweddnewidiwyd ef mor rhyfeddol, fel ag y daeth i fod yn fwy o wyrth mewn ffolineb a gwendid, nag y bu erioed mewn nerth a chryfder; ac yn fwy o waradwydd i'w wlad, nag y bu erioed yn amddiffyniad iddi; ac o fod yn farnwr Israel, daeth yn farnedigaeth i'r genedl.

Ymhob temtasiwn, *amcan* a *bwriad* y temtiwr ydyw, nid yn unig cnogrwydd a dinystr yr un dyn a demtir, ond pe fyddai possibl, ei wneuthur yntau hefyd yn offeryn i gyfrannu ac i daenu y drygioni, ac os na fedr *ddistrywio* y dyn fe ddyga warth a sarhad ar ei broffes. Mae satan mor gyf-arwydd ac mor fedrus yn ei gelfyddyd, fel nad ydyw'n gosod yr un abwydau i hudo pob math o ddyn. Mae yn ddigon medrus i gyfaddasu ei demtasiwnau at dymher ac amgylchiadau yr hwn y temtir ganddo; ac fe dery hyd adref, ac anfynych nad ydyw hefyd yn llwyddo naill a'i yn gynt neu hwyrach. Gan hyny edryched pob dyn yn ddyfal atto ei hun, gyda llawn llygad a gwyliadwriaeth; canys bid sicr y bydd i'r fath elyn cyfarwydd a hwn yn fuan gael allan y man gwan, ac yno y clwyfa efe.

Mae *cryfder* temtasiwn yn gyffredin yn gorwedd ynghryfder llygredigaeth y dyn; ac mae'r temtiwr yn fynych yn llwyddo nid yn gymmaint drwy yr hyn a bresennola efe i'r dyn, a'r hyn a gaiff efe *yn y dyn.* Mae ein chwantau cnawdol, a'n serchiadau llygredig, yn rhoddi i'r temtiwr y fath gryfder nerthol, ac hefyd mantais neillduol arnom. Pe marweiddid y rhai hyn, cái y demtasiwn lai o effaith arnom. Fe ddin-ystriwyd llawer mwy gan demtasiwn, nag a adferwyd erioed drwy edifeirwch. Hyn sydd wedi llenwi a phoblogi uffern, ac wedi ëhangu ac ymhelaethu llywodraethau satan. *Hyn* a gariodd fanneran duon ei oruchaf-iaethau yn bell ac yn agos. Trwy *hyn* y gwnaeth satan y fath anrhaith mor echryd-us ar eneidiau; canys, os na fedr efe ddenu y *serchiadau*, ni all *ddinystrio.* Efe a ennill y *serchiadau* a'r *ewyllys*, a thrwy hyn buan y tyn yr holl ddyn a'r ei ol; ac ni's dichon iddo dywys neb i'r pwll-diwaelod, heb iddynt fod mor ewyllysgar i'w *ganlyn*, ag ydyw ef i *arwain.* Os na fynnych syrthio trwy ddichellion bradwrus y gelyn twyllod-rus, O, gwiliwch rhag yr abwydau gosodedig i ddenu eich *serchiadau.* — *Beauties of South.*

O Dduw bydd di yn nerth o'm plaid,
I'm henaid bydd ddiffynol,
Rhag temtasiwnau'r gelyn cas,
Rho ras yn adnewyddol.

J. MORRIS.

*Caerlleon.*

### LLYTHYR VII.

ODDI WRTH HEN WEINIDOG AT EI FAB, &c.

(Parhad tu dalen 333.)

Ond mae llawer o lettywyr i weision Iesu ar hyd y wlad yn y rhai y gweli gynllun y wraig oludog o Sunem, yn dy lettya fel 'gwr santaidd i Dduw.' 2 Bren. 4. 8—10. Ond fy niben yw, dy rybyddio i ochel profedigaeth mewn tai a nodwyd o'r blaen, am hyny nid oes angen am sylwi nemawr ar y lleill: ond dymunol fyddai i bob Eglwys fod yn ddoeth wrth sefydlu lletty pregethwyr.

Drachefn, ymhob lle, cofia mai gwas ydwyt ac nid meistr; gan hyny na chais wasanaeth gan neb os gelli yn briodol ei gyflawni dy hunan. Bydd sylw arnat ymhob teulu, a hyny yn fwy am dy fod yn ieuangc. Byddwn ni, yr hen bobl, yn cael passio weithiau am ein bod wedi dysgu, neu wedi pen galedu. Arfer rhai ydyw pan y delont i mewn i dŷ, buan y canfyddant ryw un i'w gwasanaethu, a chadair ddwyfraich i eistedd; ac anhawdd barnu a fydd hi yn ddigon llydan iddynt; ac yno y byddant gwedi ymsefydlu, a'u traed yn croesi eu gilydd ar draws yr aelwyd, heb adael cilfach i blentyn i ymdwymno. Ac os myn neb ddyfod i'w cyfarch rhaid i'r cyfryw fod mor ddefosionol ag Esther o flaen gorsedd Ahasferus. Dyna i ti fras ddarlun o ymddygiad rhai pregethwyr yn eu teithiau; ond derbyn di gyngor Iesu Grist yn Luc 14. 8. ac yna nid rhaid it ofni cael dy feio na'th gywilyddio.

Hefyd, Na fydded iti ymddangos yn rhy *good natured* yn y manau y byddi yn disgyn. Gwyddost fod ambell Deiliwr wedi dysgu byw ymhob tŷ, a boddio pob teulu: hwyrach fod hyny yn weddus i'w alwedigaeth ef, ond nid i weinidog yr Efengyl fod a'i gaingc ymhob cerdd, a'i gyfran ymhob stori, a hyny er mwyn dal pen rheswm, a gwenieithio i'r cwmni. Hynod mor briodol yw gweddi y Salmydd i weinidog yr Efengyl yn ei letty yn aml, 'Gosod, arglwydd, gadwraeth ar fy ngenau, cadw ddôr fy ngwefusau.' A dy ddyledswydd hefyd yw peidio a chymeryd i fynu â phob cwmniaeth ac ymddiddan; ond 'yn hytrach eu hargyhoeddi hwynt.' A hyny yn addas it fel gweinidog dieithrol, cofia gwr ar dy daith ydwyt.

Etto, o'r ochor arall, na fydded it ymddangos yn rhyw wirion ddiniwed yngwydd dy gyfarchwyr, rhag iddynt dy watwar a'th ddiystyru. Adwaenom rai o ymddangosiad hurtaidd; ond dywediad cyffredin am danynt yw, mai ynfyd yw'r neb a'u cymero felly. Ond mae ymddangosiad rhy ddiniwed felly ar bregethwr, yn ei fradychu i brofedigaeth, ac yn meithrin hyfdra anweddaidd a digywilydd mewn rhai hunanddoeth a'i cyfarfyddo. Rhyfedd gynnifer math o bobl a darewi arnynt yn dy daith, ac yn eu plith rhai hynod o ystrywgar; nid wyf wrth nodi hyn, am i ti dybied mai rhai pell oddiwrth grefydd ydynt oll, ac am hyny y byddant bell oddiwrthyt tithau, ac y byddi diogel. O na, crefyddwyr da yw llawer o honynt, a phe cait ymwthio i'w mynwesau byddai it brofi hyny, a chael llawer o addysg drwy eu cyfrwysdra; ond mae rhai o'r rhyw yma i'w beio am eu hyfdra cryf lle y gwelant wendid.

Clywais son am un pregethwr o ymddangosiad syml, isel, a diniwaid, a gadd brofedigaeth lem; adnabuwyd ef gan nifer o honynt, ac wedi iddynt gydymgyngori, neidiodd un i'w fraich ar ei fynediad tu a'r Capel, 'A wyddoch chwi hwn a hwn,' (eb efe), 'Yr ydym ni yn cael pregethu da ac aml yn ein Capel, a rhaid i chwithau ddod â'ch goreuon, onidê ni thalant i'n Capel ni.' Taflodd hyn y truan i lawr fel yr oedd yn is na'i fedr cyffredin. Digon cymhesur fuasai gwahodd yr haerllug hwn ar g'oedd y dorf i dreio ei fedr ei hun, oblegyd 'yn y maes y mae medi.'

Pregethwr diddichell arall hefyd, fel yr oedd yn cael ei arwain brydnawn sabbath gan nifer o'r eppil yma, hwy a'i hadnabuant ef cyn iddo ef eu hadnabod hwy; ac am hyny buant gynghorwyr iddo. 'Lle swrth a chysglyd (meddynt) yw y fan yr ydych i bregethu, ac fe fydd ein pregethwr ni yn arfer a churo ei draed a'i ddwylo yn y Pulpit i'w cadw yn effro.' Meddyliodd y truan fod y cyngor yn angenrheidiol a'i gynghorwyr yn onest, ac am hyny anturiodd i ddull ambriodol ac anarferol ganddo, a chawsant hwythau eu hamcan o'i wawdio. Ac yn gyffredin y rhai sydd yn meddu ar fwyaf o wybodaeth, yw y rhai mwyaf ystrywgar, a lle y bo cynnulliad o rhei'ny yn cydweithio, maent yn cynnyddu mewn ys-

trywiau: dyma un achos fod bechgyn yr Argraffwasg, pa rai sydd yn gweled mwyaf, yn rhai cynddrwg eu castiau. Ond rai prydiau, mae y rhai hyn yn digwydd taro wrth eu cydmariaid, Ebe un o honynt, wrth y Parch.---'Oh yr ydych chwi yn *Roegwr*,' 'Ydwyf (ebe yntau) yn *Rhwygwr* angyffredin:' dyna daw ar hwnw.

Etto, na fydd yn achlysur anghydfod, nac yn ennynydd i gynyddu anghydfod yn un man o'th daith. Dichon it fyn'd i'r fagl yma yn ddiarwybod os na byddi dra gwyliadwrus. Dichon (pan y byddo ymryson mewn Eglwys yn anwybyddus i ti) i un ochor o'r ddadl fod yn dy letty, a gofyn dy farn yn eithaf gonest debygid, heb amlygu y cweryl; ac i tithau adrodd dy farn yn dueddol i'w cyfiawnhau hwy, yr hyn a gipir mewn mwy o brysurdeb nag y darfu gweision Benhadad eiriau Brenin Israel. A phan y byddi di yn ddigon pell, y gwneir mawr ddefnydd o hono; trefniadau Eglwysig, neu gasgliadau, cynorthwyon, amgylchiadau y Capel neu'r tŷ a berthyn iddo, neu y bobl a fyddo yn derbyn cenhadon, &c. Bydd dra chynnil i ddangos dy farn i neb o honynt oddieithr it fod mewn cynnulleidfa gyfreithlon,' cofia gwr ar dy daith ydwyt, ac *ni anfonwyd* mo honot i *drefnu*, mwy na Phaul i *fedyddio, ond i efangylu.*

Gofala ar fod 'arogl esmwyth' ar dy ol ymhob lle, os digwydd rhyw beth dieithr, ymdrecha i gyd-ddwyn yn hytrach na brifo teimladau neb. Clywais son am un blin, wrth weled plentyn bach anesmwyth er holl ymgais ei fam i'w lonyddu, dywedodd 'fod ganddynt hwy, y pregethwyr, dri gelyn i ymladd â hwynt ymhob lle, sef Satan, y cnawd, a'r byd; ond mae yma bedwar, y plant hefyd.' Ac yna dechreuodd geryddu y wraig druan, ar g'oedd y dorf, yr hon oedd a'i cherydd gyda hi yn wastad. Na dd'wed air y bydd amheuaeth ynot i derfysgu a brifo neb yn ei deimladau.

Hefyd, na fydd er dim yn gariwr chwedlau o'r naill i'r llall, oddieithr iddynt fod yn rhai er adeiladaeth cyffredin, ac heb fod yn ddinystr i neb. Mae yn ofidus iawn meddwl fod rhai pregethwyr a hyn ynglyn â hwynt; nid ydynt amgen nag athrodwyr neu hustyngwyr. Canys nid bychan fydd eu trafferth i glustfeinio ac ymchwilio, ac wedi myn'd ddeng milltir draw, yr ymddadlwythant eu hanes gofidus (meddynt hwy,) cofia teithiwr wyt, os gelli wneud daioni yn y fan, gwna, onide, diolch am fod lle arall i fyn'd iddo, ond nid i adrodd gwrthuni anmhosibl ei feddyginiaethu.

Drachefn, Nag adrodd ddim o hanes neb nag am neb, os na byddi sicr y bydd o les i'r gwrandawyr, ac heb fod o niwed i'r gwrthrych yr ymddiddanir yn ei gylch. Os oes rhyw anffawd wedi digwydd i ryw un enwog yn dy ardal, mae yn debyg y bydd llawer o ymholi yn ei gylch mewn llawer lle y disgyni. Nis gwn beth yw yr achos o hyn, oddieithr eu bod wedi cael addysg hudol, trwy fod llawer pregethwr yn debyg i bapur newydd yn cario i'w canlyn holl hanes tref a gwlad. Yr oedd gofid Eliseus wrth feddwl colli ei feistr Elias (er ei fod yn myn'd i'r nefoedd,) yn peri dymuniad ynddo am ddistawrwydd gan bawb, 'Nag adroddwch hyn yn Gath,' &c.

Rhaid i'm derfynu; buasai yn dda genyf fod fy llythyr ar fatterion yn fwy melus ac efangylaidd, ond fe allai ei fod yn angenrheidiol er hyny; ac ond it ei ystyried yn dda y dichon it gael adeiliadaeth ynddo. Nag ofna wyneb neb, pregetha'r gair, na fydded cywilydd genyt Efengyl Crist: a chofia yn dy ieuengctyd y cyfarfyddi â llawer hen weinidog, ag y bydd eu presennoldeb yn attalfa i'th hyfder; ond cofia er dy gysur yn yr amgylchiad, y bydd eu gweddi yn dy holl ddrygfyd, a phe clywech eu geiriau, O mor felus ydynt. Dy dad oedranus,

PASTOR SENIOR.

---

GWAHODDIAD I GANAAN.

Dywedwyd yn dda gan yr Yspïwyr, pan y rhoddasant amlygiad gonest o Ganaan, ac y cyflwynasant eu rhag brawf o'u cynnyrchion rhagorawl, 'Daethom i'r tir lle yr anfonaist ni; ac yn ddiau llifeirio y mae o laeth a mêl, *a dyma ei ffrwyth ef.*' Megis pe dywedasant, 'Edrychwch arno, frodyr; syllwch ar y sypiau ardderchawg hyn! A all yr AIPHT gynnyrchu eu cyffelyb, neu a oes rhyw beth o fewn yr anialwch yn addas i'w gydmaru â hwynt?' Yn debyg i hyna, Gristion, y cymhellit dithau gyfaill, perthynas, neu gymmydog i gyd-rodio â thi hyd y ffordd nefawl, gan ddangos iddo swp o rawnwin, ynghyd â rhagoriaeth dy santeiddrwydd a'th gysur ar ei eiddo ef.

**Nid** yw y dyn, nad yw yn ystyried mai **tangnefedd**, llawenydd a chariad, ydyw **teyrnas** Duw, ond ocheneidiaw a thuchan, **gan ymddangos** yn brudd, a'i dystiolaeth yn *ddrwg* am y wlad *dda*; gan ymholi, pwy a **ellir ddarbwyllo** *(persuade)* i adael pleserau y bywyd hwn, i frwydro mewn rhyfel **llawn** enbydrwydd, oddieithr i ryw beth gael **ei arddangos** a fyddo o werth cyfartal a'r **llafur** a'r antur?

*Bendigedig fyddo Duw!* y mae ffrwythau yr Yspryd i'w canfod. Gall y credadyn ymddifyru yn yr Hollalluog; cael y tangnefedd sydd uwchlaw pob deall i arwain ei gydwybod; a chael ei galon wedi ei llenwi â llawenydd, tra y bydd gobaith hyderlawn yn gylch am dani; gall ymorfoleddu yn yr Arglwydd, ac ymlawenychu yn Nuw ei Iachawdwriaeth; ac yn yr agwedd gysurus hon, gall gyda Chaleb a Joshua arddangos ei wynfydedigrwydd yn ngwyneb y dorf synedig, a dywedyd, 'Diau y mae yn llifeirio o laeth a mêl, a dyma ei ffrwyth ef.' Gallaf ymneillduo im' cell, bod yn llawen yno, ar ddiwrnod gwlawog, neu noson dymhestlog; gallaf ddarllen fy Mibl gyd a chysur adnewyddol, ac ymddiddan â Duw drwyddo, fel fy nghyfaill! A all y tafarndy, y gostrel, a'r newyddiadur, weinyddu cymmaint o gysur i chwi?

Pan y bydd dydd galar cyffredinol yn estyn ei aeliau, cyfoeth yn syrthio, ofnau yn cyfodi, &c. gallaf ganfod nawddle yn ystafell y perffeithion a'r addewidion dwyfol, yn nghysgod pa fan ni'm poenir gan newyddion profedigaethlawn; oherwydd bydd fy nghalon wedi ei sefydlu mewn ymddiried yn yr Arglwydd. A allwch chwi gael gorphwysdra mor dawel yn mhlith yr oferwyr, ac yn nghanol trafferthion y byd? Gallaf dramwy i dŷ fy Nuw gyd â llawenydd, uno fy llais gyd a'r rhai a folant yr Oen a fu farw, a thrwy hyny blaen-brofi llawenydd y prynedigion yn ngwlad y gogoniant. Gallaf eistedd tan y gair, a thynu ffrwythau newyddion oddiar bren y bywyd, gan eu profi yn felys im' harchwaeth. A all y chwareufa weini cymmaint o foddlonrwydd i chwi?

Pan yr ymesyd afiechyd ar fy mhabell ddaearawl, pan y bydd arwyddion marwol yn cyhoeddi cyfnewidiad buan, pan y gwrthgilia cynnorthwy pob creadur, gallaf wenu ar erchyll ddystrywydd ddynolryw, a dywedyd, 'O ANGAU, PA LE Y MAE DY GOLYN!

A wna pleserau y chwareu-fwrdd, anrhydedd y llys, neu aur Peru eich galluogi chwi i wneuthur yr un peth?

Deuwch ymaith gan hyny gyd bechaduriaid twylledig; gadewch eich herlyniadau ofer, a'r pleserau a'ch dystrywiant yn y diwedd. 'Deuwch gyd a ni, a gwnawn i chwi ddaioni.' Canlynwch ni yn ein cychwyniad i Ganaan, oherwydd, '*Y mae yn dir da rhagorol, yn llifeirio o laeth a mêl,* A DYMA EI FFRWYTH EF.'

Os ceri wledda etto'n gu,
Ar ffrwythau Canaan fad,
Tu draw i'r llen, yn mhlith y llu,
Cais brawf cyn myn'd i'r wlad.

Cyf. J. G. ALED.

---

DYWEDIADAU CYNNWYSFAWR.

Yr ydoedd y cyn-ddylifiaid, yn myned yn mlaen gyd a'u seremoniau, megys wrth oleuni'r ser; yr Iuddewon megys wrth oleuni'r lloer; ond wele ni wedi cyfarfod a goleuni yr Haul o'r uchelder.—*T. Lloyd, Abergele.*

Y mae calon santeiddiedig yn fwy o werth na thafod o arian.—*Dyer.*

Nid oes un pechod bychan; oherwydd nid oes Duw bychan i bechu yn ei erbyn. —*Brookes.*

Nid dydd yw'r Sabbath i wledda ein cyrff, eithr ein heneidiau.—*Sibbes.*

Er fod yn analluadwy i wir gredadyn bechu, a thrwy hyny gael ei ddwyn i uffern, etto fe ddyg pechod gwirfoddol uffern i'w galon ef.—*Madan.*

Y mae lle i ofni fod llawer yn canlyn yr efengyl yn debyg fel y mae morgi yn canlyn llong:—er mwyn ciniaw.—*Madan.*

Nid oes dim a'n clywfa ond pechod; ac ni chlwyfir ni gan hwnw, os edifarhawn o'i blegyd.—*Dodd.*

Gall Yspryd Duw ddychwelyd pechaduriaid heb y Bibl; eithr nis gall y Bibl ddychwelyd neb heb yr Yspryd.—*Shirley.*

Yn ofer y crymwch eich gliniau i enw yr Iesu; oddieithr i'ch heneidiau chwi ymgrymu ac ymostwng i'w gyfiawnder ef.—*Jenks.*

Dylai temtasiynau anfon y Sant i'w gastell, fel yr enfyn golwg ci yr wningen i'w chell.—*Gurnal.*

Goddefa yr Arglwydd i ni alaru, hyd nes y galarwn ein hanghrediniaeth, ein diofalwch, a'n calon-galedwch ymaith!—*Toplady.*

Y mae tŷ heb weddi yn debyg i dŷ heb dô; yn agored i holl beryglon yr hin, a phob tymhestl a chwyth.—*Lion.*

Y mae gan y credadyn gymmaint o wrthwynebiadau yn ei ffordd i'r gogoniant, fel y gorfyddir ei sicrhau yn gadarn ar gyfrwy ei broffes, neu fe'i dymchwelir yn fuan.—*Gurnal.*

Un ai fe wna gweddi i ddyn adael pechu heibio, neu fe wna pechod iddo adael gweddi heibio.—*Dodd.*

Gall dawn gweddi gyfarfod a chanmoliaeth oddiwrth ddynion; eithr y gras o weddi sydd mewn gallu gyda Duw.—*Dyer.*

Y mae yn rhaid eich bod yn myned i'r nef, neu i uffern, nis gallwch fyned ar hyd dwy ffordd ar unwaith.—*Ryland.*

Temtasiwn ydyw'r tân sydd yn berwi ewyniad y galon i fynu.—*Boston.*

Paham y rhaid i'r plentyn ofni, er i'r holl dŷ fod yn llawn o wiail, tra y byddo yn gweled nad all yr un o honynt symmud heb law ei dad?—*Dodd.*

Gweddi ydyw'r agoriad, pa un, pan y troir ef gan ffydd, a ddatglöa holl drysorau Duw.—*Cripplegate Lectures.*

Mewn gweddi y mae yn well cael y galon heb eiriau, na chael geiriau heb y galon.

Yr hyn a ennillwn drwy weddi, a gawn wisgo gyd a chysur.—*Dodd.*

Y mae yn hawdd dywedyd, mewn cyfarchiad, 'Yr ydwyf yn bechadur;' eithr llefain mewn gwirionedd gyd a'r publican, 'Duw bydd drugarog wrthyf bechadur,' ydyw y weddi galettaf yn y byd.—*Wilcox.*

Er y gall ffydd edrych ar Dduw gyd a chysur; etto fe gyll rheswm ei olwg wrth syllu gormod arno.—*Arrowsmith.*

Y mae llawer o dybiau yn nofio yn y pen, nad ydynt byth yn suddo i'r galon.—*Romaine.*

Y mae llygad ffydd yn edrych mwy ar waed yr Iesu nag ar fuddugoliaeth yr enaid ar lygredigaethau.—*Hart.*

Nis gall neb wneuthur Cristion ond yr hwn a wnaeth y byd.—*Hart.*

Pwy bynag sydd yn feddiannol ar Grist, nis gall fod yn dylawd; pwy bynag sydd hebddo, nis gall fod yn gyfoethawg.—*Dyer.*

Os nad yw Crist fel ffon Iacob i'th arwain di i'r nef, ni fydd ef byth fel ysgol Iacob i'th dderchafu di yno.—*Dyer.*

Ni ail-blenir neb yn y baradwys uchod, ond o blanfa gras isod.—*Arrowsmith.*

Boddlonrwydd heb y byd, sydd well na'r byd heb foddlonrwydd.—*Dyer.*

Cyf. J. G. Aled.

---

## Attebion.

*Atteb i ddymuniad y Cyhoeddwr yn nghyfieithiad o Reolau cyfraith newydd Llythyr Cymmyn neu Ewyllys diweddaf, Rhif. 83, tu dal. 351.*

Y Prif Reolau, *Cynnwysedig yn y Ddeddf newydd* (1. Victoria, c. 26.) *er Gwellhau cyfreithiau Cymmyn-lythyrau, yr hon a fydd mewn grym y dydd 1af o'r flwyddyn* 1838.

Ni bydd un Ewyllys a fyddo wedi ei gwneuthur gan Berson dan 21 oed, yn safadwy.—Dosp. 7.

Nid yw y ddeddf newydd yn cyfnewid y Gyfraith berthynol i gymmyn-lythyrau Gwragedd priod.—Dosp. 8.

Y Rheolau i sylwi arnynt, yn nghyfansoddiad Ewyllys, neu ychwanegiad at Ewyllys, ydynt fel y canlyn:—

1. Rhaid i'r Cymmyn-Lythyr, neu yr Ychwanegiad atto, gael ei lawarwyddo gan y cymmynwr yn ei waelod, neu ei ddiwedd.

2. Os na law-arwyddâ efe ef, rhaid i berson arall wneuthur yn ei bresennoldeb, a thrwy ei hyfforddiad ef.

3. Rhaid i'r llaw-arwydd-nod gael ei wneyd neu ei gydnabod gan y cymmynwr yn mhresennoldeb dau neu ychwaneg o dystion gwyddfodawl.

4. Rhaid i'r Tystion wirio, a llaw-arwyddo yr Ewyllys, neu yr ychwanegiad atto, yn mhresennoldeb y cymmynwr.—Dosp. 9.

Y penderfyniadau yn ol Ewyllys, o dan awdurdod, ydynt ddarostyngedig i'r Rheolau, a rag-enwyd.—Dosp. 10.

Bydd Priodas y cymmynwr yn ddirymiad i'r Ewyllys hwn (oddieithr y byddis yn ymarfer a'r Awdurdod mewn achosion pennodawl.—Dosp. 18.

Gellir dirymu Ewyllys, neu yr Ychwanegiad atto, trwy y naill neu y llall o'r moddion canlynawl:—

1. Drwy Ewyllys neu Ychwanegiad wedi eu gwneuthur yn y drefn a rag-enwyd.

2. Drwy Ysgrif yn mynegi y bwriad o ddirymu, wedi ei chyflawni yn ol trefn Ewyllys.

3. Drwy losgi, rhwygo, neu ddistrywio yr Ewyllys gan y Cymmynwr, gyda bwriad i'w ddirymu; neu gan berson arall yn ei wydd ef, a thrwy ei hyfforddiad ef.—Dosp. 20.

Rhaid i'r Cyfnewidiadau a wneir mewn Ewyllysiau, gael eu cyflawni yr un modd ag Ewyllysiau.

D. S. Gellir cyfleu llaw arwydd-nod y Cymmynwr, a llaw arwydd-nodau y Tystion ar ymyl, gyferbyn, neu yn agos i'r cyfnewidiad, neu yn niwedd coffadwriaeth ar yr Ewyllys yn cyfeirio at ỷ Cyfnewidiad.—Dosp. 21.

Cynnwysa y Cymmyn roddion gweddillawl mewn Ewyllysiau (oddieithr i fwriad gwahanol ymddangos yn yr Ewyllys) Etifeddiaethau a gynnwysir mewn cymmynroddion Cwympiedig neu ddirym.—Dosp. 25.

*Cyfarwyddiadau i wneuthur Cymmyn-Lythyr, neu Ychwanegiad at un, fel y gofynir gan y Deddf*, 1. *Victoria*, c. 26. § 9.

I'w gwneuthur wedi diwedd y fl. 1837.

1. Rhaid i'r Cymmyn-Lythyr, neu yr Ychwanegiad atto, gynnwys llaw-arwydd o eiddo y Cymmynwr yn ei ddiwedd.

2. Os na law-arwydda efe ef, rhaid i berson arall wneuthur yn ei bresenoldeb ef, a thrwy ei hyfforddiad ef.

3. Rhaid i'r Llaw-arwydd gael ei wneyd, neu ei gydnabod gan y Cymmynwr, yn mhresennoldeb dau neu ychwaneg o dystion gwyddfodawl.

4. Rhaid i'r Tystion wirio, a Llaw-arwyddo yr Ewyllys, neu yr Ychwanegiad atto, yn mhresenoldeb y Cymmynwr.

*G——.* Cyf. G. A.

## ATHROFA Y BALA.

Hybarch Olygydd,—Mae yn ddiamau genyf y caniatewch i mi, trwy gyfrwng eich *Gyhoeddiad*, alw sylw fy nghydwladwyr at yr hyn a fydd yn lles cyffredinol i'r Cymry, ond mewn modd arbenig i Gorph y Methodistiaid Calfinaidd; sef yr *Athrofa* a sefydlwyd yn y Bala, er addysgu gwyr ieuaingc.

Gan fod yn hollawl angenrheidiol fod Llyfrgell (*Library*) dda a helaeth yn perthyn i'r cyfryw sefydliad, hyderwyf y bydd i ewyllyswyr da y Cymry, a phawb a'r sydd yn ewyllysio i wybodaeth ymehangu yn ein plith, ddangos eu parodrwydd i gyfranu naill ai llyfrau neu arian er cyrhaeddyd y diben clodwiw uchod.

Derbynir llyfrau ar unrhyw gangen o wybodaeth, &c. &c, ond yn neillduol y cyfryw ag ydynt fuddiol er dysgu Ieithoedd, gyda'r diolchgarwch mwyaf. Derbyniwyd eisoes holl waith yr enwog Dr. Chalmers, a rhai llyfrau eraill.

Os byddaf yn gweled yn angenrheidiawl rhoddir hysbysiad pa lyfrau a fydd wedi cael eu derbyn. Yr ydym yn cyflwyno ein diolchgarwch didwyll i roddwr gwaith y Dr. Chalmers. Ydwyf eich annheilwng frawd, JOHN JONES, Ysgrifenydd.

## DIWEDD Y FLWYDDYN.

'O na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni a'i ryfeddodau i feibion dynion.' Psal. 107. 21. Dylai diwedd y flwyddyn fod yn ddechreuad cân newydd o fawl; canys daioni a thrugaredd a'n canlynasant holl ddyddiau ein bywyd. Edrychwn yn ol ar yr hyn a aeth heibio o'n heinioes, fel y moliannom yr Arglwydd, ac edrychwn ymlaen, fel yr ymddiriedom ynddo. Torrwyd llawer i lawr, a nifer fawr o'r rhai hyny yn eu pechodau, a gadawyd ninnau yma yn fyw. 'Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni, ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni.'

A thra y cynnaliodd efe ni mewn bywyd, efe a estynodd i ni drugareddau lliosog, o'r rhai ni ryglyddasom gymmaint ag un. Efe a'n porthodd ac a'n dilladodd. Efe a roddais i ni dymhorau rheolaidd y flwyddyn—Efe a'n cynnaliodd â ffrwyth y maesydd, ac a'n llonodd â hyfrydion y gerddi

Mwynhasom felusder dedwyddwch teuluaidd, ynghyd a hoffus gymdeithas cyfeillion. Ein llygaid a welasant ein athrawon, a ni a lawenychwyd yn nhŷ gweddi. Efe a'n porthodd ni a brasder gwenith, ac â mel o'r graig y'n diwallodd. Ac os aml fu ein profedigaethau, da fu i ni ein cystuddio.

Ychydig iawn fu ein trallodau mewn cydmariaeth i'n cysuron, ac ysgafn fuont mewn cydmariaeth i drallodau y rhai a fuont o'n blaen ni. Cymmysgwyd hwynt oll â thrugaredd—Dangosasant i ni fawr ddrwg ein pechodau. a gwelsom fawr werth yr Iachawdwr. Hwy fuont yn foddion i'n diddyfnu o'r creadur, ac i'n dwyn yn amlach at orsedd gras ac at y Bibl. Os daeth y wialen i'r tŷ, gwialen tebyg i un Aaron ydoedd, hi a flodeuodd ac a ddyg i ni heddychol ffrwyth cyfiawnder. Yr oedd mel ar flaen gwialen Ionathan, mae melusder ar flaen ein gwialen cystudd ninnau. Ar bob llaw mae genym achos i foliannu yr Arglwydd am ei ddaioni.

Gyda ein bod yn diweddu y flwyddyn hon dyma ni yn dechreu ar flwyddyn arall, heb wybod beth a ddigwydd i ni mewn diwrnod! Nis gwyddom nad yw yr arfaeth fawr wedi trefnu i ni 'farw o fewn y flwyddyn hon.' Mae amheuaeth a chymmylau yn dwyn ofn a dychryn wrth feddwl wynebu yr afon. Ond os bydd Duw o fy mhlaid, rhag pwy yr ofnaf? Fy nyledswydd a'm rhagorfraint yw rhoddi fy holl ofal ar fy Nuw, gan gredu ei fod ef yn gofalu drosof fi. Mi a ymnerthaf yn ei ragluniaeth a'i addewidion ef. Efe a ddichon wneuthur pob colled yn ennill, a phob croes yn fynediad i fwynhau y goron. Ei ffyddlondeb sy heb derfyn. Ffyddlon yw Duw yr hwn hefyd a'i gwna. Am hyny mi a âf ymlaen, gan ymnerthu yn ei allu ef, yr hwn a ddywedodd. 'Ni'th roddaf i fynu ac ni'th lwyr adawaf chwaith.' PERERIN.

## CREIRIAU PABAIDD.

*Dernyn allan o Deithiau y Dr. Raffles drwy Gyfandir Ewrop. Yn cynnwys crynodeb o Greiriau* (Relics) *Pabaidd a welodd efe yn Eglwysydd Pabaidd Cologne ac Aix-la-chapelle, yn Ffraingc.*

'Darn o blentyn, yr hwn y dywed y Pabyddion mai un o'r plant a laddwyd gan Herod ydoedd, wrth geisio lladd yr Iesu yn Bethlehem. Rhai o esgyrn y doethion o'r dwyrain y rhai a ddaethant i addoli y dyn bach yn Bethlehem. Y rhai hyn ydynt yn Aix-la-chapelle.

Gwisgoedd Charlemagne, megis rhai y

Forwyn Fair—Asgwrn o fraich Charlemagne—Darn o'r groes y bu Crist farw arni—Gwregys Iesu Grist—Gwregys Mair y Forwyn—Asgwrn o gorph tad Mair y forwyn—darn o'r rheffyn â'r hwn y rhwymwyd Crist pan y'u flangellwyd ef—Pigyn o'r drain oedd yn y goron ddrain a fu ar ben Crist—Dernyn o'r ysbwng yr hwn a lanwyd â finegr i'w estyn i Grist ar y Groes—Darn o un o'r hoelion â'r rhai yr hoeliwyd ef wrth y groes—Ac hefyd rhai o'r defnynau chwys y rhai a ddisgynodd oddiwrtho yn ngardd Gethsemane—Modrwy o'r gadwyn â'r hon y rhwymwyd Pedr yn Rhufain—darn o asgwrn braich Simeon â'r hon y cofleidiodd efe yr Iesu yn Ierusalem—Un o asenau Stephan—Un o ddannedd yr Apostol Thomas. Y rhai hyn oll ydynt wedi eu gosod mewn addurnau o aur, ac o arian, a meini gwerthfawr!!!"

O! pwy a ddichon ddirnad faintioli tywyllwch ac ofergoelion y grefydd babaidd! Nid rhyfedd fod yr offeiriaid Pabaidd yn cadw gair Duw oddiwrth y bobl, canys pwy ond dyn heb Feibl a ellid ei berswadio i gredu gwirionedd yr ofergoelion uchod? Diolchwn lawer am waredu ein cenedl oddi tan lywodraeth y fath gau grefydd. A gweddiwn dros y lliaws mawr sy etto dan iau haiarnaidd anghrist; ac arferwn foddion i anfon gwybodaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd i'w mysg, yn enwedigol ein cymmydogion y Gwyddelod, a'n cyd-genedl y Llydawiaid. I'r Arglwydd y bo'r diolch, mae petheu yn dechreu gweithio o dde yn mhlith Corph y Methodistiaid Calfinaidd i roi cychwyn ar y gorchwyl gogoneddus hwn. Llwydd iddo, medd enaid yr Ysgrifenydd. C——r.

## Y LLYDAWAEG.

Llwyddodd y Parch. D. Jones, crybwylledig yn ein Rhifyn diweddaf, i gael cyfieithiad o'r Testament Newydd yn Iaith y Llydawiaid; ac argraffodd Cymdeithas y Biblau argraffiad o hono. Mae y Testament hwn ar y bwrdd o'n blaen yr awr hon. Dyma y rhan gyntaf o'r Bennod gyntaf o Efengyl Ioan ger gwydd ein darllenwyr.

AVIEL SANTEL JEZUZ-KRIST HERVEZ SANT IANN.—I PENNAD.

1. ER penn-kenta édo ar Gér, hag ar Gér a ioa gand Doué, hag ar Gér a ioa Doué.

2. Hé-man a ioa er penn-kenta gand Doué.

3. Kément trâ a zô bét gréat gant-han: ha nétrâ eûz a gémend a zô bét gréat, n'eo bét gréat hép-z-han.

4. Enn-han édo ar vuez, hag ar vuez a oa goulou ann dûd:

5. Hag ar goulou a luc'h enn dévalien, hag ann dévalien né deûz kéd hé boallet.

6. Béz é oé eunn dén kaset gand Doué, péhini a oa hanvet Iann

7. Hé-man a zeûaz da dést, da rei testéni d'ar goulou, évit ma krédché ann holl dré-z-han.

8. Né kéd hén a oa ar goulou; hôgen *deûed é oa* évit rei testéni d'ar goulou.

9. Hen-hont a oa ar gwir c'houlou, péhini a sklera kémend dén a zeû er béd-man.

10. Er béd édo, hag ar béd a zô bét gréat gant-han, hag ar béd n'en deûz kéd hé anavèzet.

11. Enn hé drâ eo deûet, hag hé dûd n'hô deûz két hé zigéméret.

12. Hôgen da gémend hini en deûz hé zigéméret, en deûz rôed ar galloud da véza gréat bugalé Doué, d'ar ré a gréd enn hé hanô:

13. Péré n'int két ganet eûz ar gwâd, nag eûz a ioul ar c'hik, nag eûz a ioul ann dén, hôgen euz a Zoué.

14. Hag ar Gér a zô bét gréat kik, hag eo bét ô choum enn hon touez: ha gwélet hon eûz hé c'hloar, gloar é-c'hiz eûz a Vâp penn-her ann Tâd, leûn a drugarez hag a wirionez.

## ADOLYGIAD PREGETHAU

### Y DIWEDDAR BARCH D. CHARLES O GAERFYRDDIN.

A gyhoeddir yn rhifynau gan H. Hughes, Caernarfon.

Gwelwn werth yr argraffwasg. Oni buasai hon ni fyddai yr oes nesaf yn gwybod ond ychydig am un o'r dynion mwyaf a fagodd Cymmru, a buasai y trysorau gwerthfawr a lanwent ei feddwl eang wedi eu claddu flynyddoedd o'i flaen. Ond yn y pregethau hyn y mae efe, wedi marw, yn llefaru etto. Y mae ysbryd Charles o Gaerfyrddin yn awr yn y nef, a'i ran farwol mewn dystawrwydd; ond er hyny ni a allwn gymdeithasu ag ef yn ei waith. Yma ni a'i gwelwn, nid o ran ei gorph mae'n wir, na'i enaid chwaith, ond o ran agwedd ac ansawdd ei feddwl. Ni a'i clywn ef yn ymddyddan heb gyfrwng ymadrodd; ac nis gall y parlys poenus, nac angau ei hun ei rwystro mwy i bregethu yn ddoniol i lawer lluosocach tyrfa nag a fyddai yn arferol o wrandaw arno yn ei fywyd.

Mewn cysylltiad â'r argraffwasg, gwelwn hefyd werth y gelfyddyd o ysgrifenu. Fel y mae y cynllun oedd yn meddwl y Creawdwr mawr wedi ei gyflawnu ynnghreadigaeth y bydoedd gweledig, felly y mae efe hefyd wedi dysgu ei greaduriaid mewn rhyw ystyr i roddi bod a bywyd i'w drych-feddyliau hwythau mewn ysgrifen. Ac nid hyny yn unig, ond fe'n dysgodd hefyd i werthfawrogu y wybodaeth hon trwy roddi i ni ei air yn y Bibl. Trwy y ddwy gelfyddyd o ysgrifenu ac argraffu y mae'r oesoedd a'r ynysoedd pellaf wedi eu dwyn i'r agoarwydd mwyaf; ac y mae dyn meidrol yn gallu bod o ran ei feddwl yn bresenol mewn miloedd o wahanol fanau ac mewn gwahan-

ol wledydd ar unwaith. Rhyfedd fel y mae pethau agos yn cael mwy o effaith arnom nag y mae pethau mwy eu pwys os byddant yn mhellach oddiwrthym. Dyma yr achos fod rhai dynion yn cyfrif areithio yn gymaint mwy peth nag ysgrifenu. Y mae effeithiau araethyddiaeth yn bethau a welir ar unwaith; ond y mae yr argraffwasg yn gweithredu yn ddirgelaidd, ac am hyny y mae llawer yn methu canfod ei gwerth. Nid yw hyn yn dangos dim ond gwendid meddwl; oblegid mae yn ddiammeu mai dyma y gallu cryfaf, er da ac er drwg, sydd heddyw yn Mrydain. Ar yr un pryd, y mae yn angenrheidiol ystyried na wna yr argraffwasg ddim heb allu hefyd yn yr ysgrifenydd Y mae yn gofyn meddwl cryf cyn y gellir trin y peiriant hwn. Nid oes dim cyffelyb iddo am brofi dynion. Y mae fel bwa Gwilym y Concwerwr; rhaid cael braich gadarn i dynu ynddo. Y mae llawer un o feddwl bychan yn medru symud ei dafod mor llithrig ac yn ei tharo mor chwyrn yn erbyn taflod ei enau, nes y mae'r werin anwybodus yn edrych arno bron yn gymaint areithiwr a Demosthenes. Ond y cyrph gwacaf yn fynych sydd yn gwneyd y swn mwyaf. Os ydych am ei brofi gofynwch iddo, a fedr efe dynu yn y bwa hwn? Y mae pob dyn sydd yn berchenog ar feddwl mawr yn medru dangos hyny yn ei ysgrifenadau. Dyma reol heb un eithriad. Hyd y nod pe bai presenoldeb y corph yn wan yn ngolwg dynion cnawdol, a'r ymadrodd, yn eu barn hwy, yn ddirmygus, etto y mae y llythyrau, neu yr ysgrifenadau, yn wir yn drymion a chryfion. Un felly oedd yr Apostol Paul, ac un felly oedd Charles o Gaerfyrddin.

Beth sydd yn gwneyd pregethwr poblogaidd? Dyma beth ag y mae yn haws ei ofyn na'i atteb. Ond gallwn fod yn sicr o hyn, fod gwahaniaeth hanfodol rhwng bod yn bregethwr poblogaidd a bod yn bregethwr mawr. Na chamgymerer ni. Nid ydym yn dweyd nad yw y ddau yn cydgyfarfod weithiau yn yr un person. Y mae rhai yn bregethwyr poblogaidd ac yn bregethwyr mawr hefyd. Ond yr ydym yn dweyd hyn, ac ni a safwn ato; Y gall dyn fod yn bregethwr mawr, ïe, yn un o'r rhai mwyaf yn ngolwg y cyffredin, ac heb fod yn fawr mewn gwirionedd; ac y gall, o'r tu arall, fod yn fawr mewn gwirionedd, ac yn ddiystyr yn ngolwg y cyffredin. Nis gall pob dyn synwyrol lai na chredu y gosodiad cyntaf pan feddylio am lawer o'r rhai sydd yn boblogaidd yn ein dyddiau ni: ac fel prawf o'r gosodiad olaf nid oes achos i ni grybwyll am neb ond awdwr hybarch y pregethau hyn. A pha fodd y gall pethau fod yn amgen pan y mae archwaeth y wlad mor isel? Na feddylied neb wrth hyn ein bod yn diystyru ein cydgenedl. I'r gwrthwyneb, pe cymerid dwsin o'r Cymmry ar antur, a'u profi mewn pynciau crefyddol gyferbyn a'r un nifer, wedi eu dewis yn yr un dull, o blith ein cymydogion y Saeson, nid ydym yn credu y safai plant Hengist bum mynyd o'u blaen. Ac na feddylied neb chwaith ein bod yn dirmygu tlodi: oblegid y mae yn ddiau genym fod cymaint o wybodaeth ysgrythyrol yn mhlith y tlodion ag sydd yn mhlith ein boneddigion; a rhyngot ti a ninau, ddarllenydd, nid ydym yn ammau nad oes mwy. Ond er y cwbl, y mae yn rhaid addef fod ysbryd barn yn hynod o brin yn mhlith pob gradd. Y mae yn hysbys i gyfeillion y diweddar Ebenezer Richards, mai un o'r pethau oedd yn achosu y gofid mwyaf i'w feddwl yn ei ddyddiau olaf, oedd archwaeth lygredig gwrandawyr efengyl. 'Byddaf yn aml,' meddai y gwr mawr hwnw, 'yn cael fy ngofidio yn drwm, wrth ymweled a'r eglwysi yma a thraw, pan y byddaf yn clywed dynion ag y gellid dysgwyl gwell pethau oddiwrthynt, yn canmol rhyw sothach gwag ag yr oedd yn gywilydd i neb ei gyhoeddu allan o'r areithfa.'

Y mae y rhan fwyaf o'n darllenwyr, mae yn debyg, wedi clywed yr hanes canlynol. Yr oedd un oedd yn bregethwr tra phoblogaidd yn ei ddydd yn pregethu ryw Sabbath mewn tref yn Neheudir Cymmru, lle yr oedd hen flaenor parchus yn gwrandaw arno, yr hwn oedd yn medru barnu drosto ei hun. Ac ar ol diwedd yr oedfa bu ymddyddan rhyngddynt yn debyg i hyn. 'Mi fum yn meddwl,' eb y blaenor, 'fod yr oes hon wedi dyfod yn lled oleu; ond yr wyf erbyn heddyw wedi fy argyhoeddi o'm cyfeiliornad.' A pha beth sydd yn peri i chwi feddwl yn wahanol yn awr? Eb y gwr poblogaidd. 'Wele, mi ddywedaf i chwi. Yr oedd Mr. Charles o Gaerfyddin gyda ni wythnos i heddyw; ac fel arferol, yr oedd pob gair a ddywedodd yn debyg i aur pur; ond nid oedd y capel ddim haner llawn. Ond heddyw daethoch chwithau yma i adrodd hen ystoriau gwag, ac i floeddio pentwr o ffolineb, ac nid oedd digon o le i gynwys y gwrandawyr. Onid yw hyn yn dangos fod y wlad yn dywyll iawn etto?' yr oedd y dywediad yma yn llym, mae yn wir; ond nid oedd yn rhy lym yn yr amgylchiad hwn.

Pe meddyliem am ansawdd y cyffredinolrwydd o wrandawyr efengyl yn y dyddiau hyn, pa fath ddynion ydynt? Dynion sydd yn sylwi ar swn yn fwy nag ar sylwedd. Dynion sydd a'u clustiau mewn ysfa wastadol. Dynion sydd yn rhedeg i wrandaw y pregethwr poblogaidd oddiar yr un egwyddor ag y rhedant drannoethi i weled ystranciau y *monkey* neu y *mountebank* ar ben ffair. Ac etto wrth fwynhau canmoliaeth y cyfryw, rhyfedd fel y gwelir ambell un yn penfeddwi. Rhyfedd fel y mae yn ymgodi, ac yn ymledu, ac yn ymchwyddo; nes y mae rhai a *ddylent* wybod gwell pethau yn synu fel asynod, ac eraill *sydd* yn gwybod gwell pethau yn tewi, rhag ofn

cael eu cyhuddo o genfigen. Ond nid hir y pâr enwogrwydd wedi ei sylfaenu ar anwybodaeth. 'A gasgler ar farch malen dan ei dòr ydd â,' medd yr hen ddiareb. Gall y biogen geisio addurno ei hun â phlu y paen, ond nid hir y bydd heb ei hadnabod! Ni a welsom weithiau ambell greadur asgellog, wedi ei fagu yn mhyllfa'r gwyddau, yn ymddangos fel pe buasai wedi cymeryd yn ei ben i gredu mai efe oedd brenin yr adar. Pa beth a'i cynhyrfodd i feddwl hyny, mae yn anhawdd gwybod. Ond dywedwch a fynoch, dacw fe yn deg ar ei adenydd. Rhaid ei fod yn meddwl ymweled â Jupiter neu Saturn cyn dychwelyd. Anferthol! fel y mae mab yr wydd yn ymestyn ac yn ysgrechian: ac aruthrol yw y bonllefau o gymeradwyaeth sydd yn dyspedain trwy wlad y gwyddau, wrth weled eu pencampwr yn ysgwyd ei esgyll afrosgo oddeutu pedair troedfedd a hanner uchlaw'r ddaear—nes o'r diwedd y mae yn syrthio yn swrth ac yn syn ar ei domen enedigol.

Dyma ddysgrifiad rhy gywir o yrfa llawer un a gyfrifid yn fawr gan y cyffredin. Ond mor wahanol i hyn oedd Mr. Charles. Efe ydoedd eryr cryf cadarn, yn gallu esgyn heb ddim gorchest i entrych y ffurfafen, ac yn ehedeg mor uchel nes yr oedd trwy hyny yn bychanu ei hun yn ngolwg y werin. Yr oedd llawer yn barod i feddwl wrth edrych arno nad oedd ddim yn amgen nag aderyn y to, heb ystyried mai eu pellder hwy oddiwrtho oedd yr achos na fedrent weled ei fawredd.

Cymaint a hyn am bregethwyr y dynion anghall. Ni a drown bellach at y rhai sydd yn fawr mewn gwirionedd. Y mae dau gymwysder naturiol yn angenrheidiol i wneud pregethwr yn fawr yn ngolwg y call a'r anghall ar unwaith. Y cyntaf yw dawn i lafurio am y pethau goreu i'w dweyd; a'r ail yw dawn i ddweyd y pethau sydd ganddo fel pe byddent y pethau goreu. I'r graddau y byddo pregethwr yn rhagori yn yr ail o'r pethau hyn, i'r graddau hyny y mae yn fawr yn ngolwg y werin. Ond yn marn pob dyn synwyrol, y mae y cyntaf yn fwy ei werth na'r ail yn gymaint ag y mae y meddwl yn rhagori ar y corph. Y mae rhai pregethwyr heddyw yn mhlith y Cymmry yn meddu ar bob un o honynt i raddau helaeth. Ond y mae yn debyg mai ychydig fu erioed yn y byd yn *blaenori* yn y ddau. Pe goddefid i ni fwrw golwg am fynyd ar areithwyr seneddol; yr oedd Pitt, a Fox, a Sheridan yn enwog am y peth a eilw y Saeson '*the gift of the gab*;' ond addefir yn gyffredin erbyn heddyw nad oedd un o honynt yn gymaint dyn ag Edmund Burke, yr hwn nid oedd fawr o son am dano fel areithiwr. Ond i ddychwelyd at y rhai hyny a gysegrasant eu talentau at waith mwy na neb o'r gwyr uchod. Yn mhlith y rhai a fuant yn enwog am yr ail beth a nodwyd, gellir enwi Saurin, Massillon, Whitfield, ac fe allai y diweddar Mr. Irving, yr hwn yn ddiau oedd yn areithiwr mawr, er fod llawer o'i boblogrwydd yn tarddu oddiar achosion eraill. Ond ni a feddyliem nad oes neb a ddywed fod y rhai hyn yn haeddu eu cyffelybu o ran eangder meddwl i Owen, a Howe, ac Edwards o America, a Charles o Gaerfyrddin. Na ryfedda, ddarllenydd hynaws, ein bod yn rhestru un o bregethwyr y Methodistiaid gyda'r 'tri chedyrn' uchod. Yr oedd y diweddar Mr. Howells o Long Acre yn cael ei gyfrif gan bawb a'i hadwaenai yn un o'r beirniaid goreu mewn difinyddiaeth, a byddai efe yn arfer dweyd mai Mr. Charles oedd y difinydd mwyaf yn ei oes. Nis gellir gwadu fod llawer yn rhagoru arno mewn dawn areithio. Er ei fod yn dweyd y pethau mwyaf, etto anaml y byddai yn eu dyweyd fel pe byddent y pethau mwyaf. Ac yn wir, pan yr oedd ganddo y fath gyflawnder o drysorau, nid rhyfedd ei fod yn taflu perlau oddiamgylch fel pe byddent geryg y maes. Ond y mae mor wir fod llawer oblegid hyny yn methu gweled nad ceryg oeddynt

Ond fel y crybwyllwyd eisoes, nid yw y dull o ddweyd ddim ond y plisgyn. Yr hyn sydd yn hanfodol i wneyd pregethwr mawr yw meddu ar bethau i'w dweyd. A dyma lle yr oedd Mr. Charles yn rhagoru. Ond cyn y gallasai gyrhaedd y tir hwn, mae yn rhaid ei fod o ran ei yspryd mewn gweddiau a myfyrdodau yn poeni llawer yn y gair a'r athrawiaeth. Nid ydym yn petruso dweyd y gallasai haner pregethwyr Cymmru fod yn well pregethwyr o lawer oni bai diogi ysbryd. Gwyn ein byd pe tueddid rhai, wrth ddarllen y pregethau hyn, i ddysgu meddwl. Nid segurwr oedd Charles, Caerfyrddin, ond gweithiwr, a gweithiwr difefl hefyd: nid Dandy Preacher, ac nid un o'r Downy Doctors, ond un yn cloddio i berfeddion yr Ysgrythyrau, ac yn dwyn allan oddiyno bethau newydd a hen: nid un yn poeni yn unig *ynghylch* y gair, ond un yn poeni *yn* y gair a'r athrawiaeth: nid un yn morio rhwng y creigiau, ac yn agos i'r traethydd, ond un a anturiodd i ganol y cefnfor; ac nid un yn hwylio yn unig lle y bu eraill o'i flaen, ond un a ddarganfyddodd yn yr hen athrawiaeth ddrychfeddyliau newyddion mwy gwerthfawr na mwyngloddiau Mexico, a mwy prydferth nag ynysoedd môr y De. Er hyn i gyd nid oedd neb yn fwy dirodres. Nid oedd dim yn ei ddull fel yn dweyd wrth ei frawd, 'Eistedd di yna wrth fy stol-droed i.' Nid oedd dim *mawredd gosod* yn perthyn iddo. Mor agos ac mor anwyl y byddai yn ymddyddan â'r cristion gwanaf am ei brofiad. Hyd y nod yn ei bregethau, pa bryd y clybuwyd un hen wraig dduwiol ac ysbrydol yn cwyno ei bod yn methu ei ddeall. Ac yn y fan yma ni a adroddwn hanesyn bychan. Yr oedd Mr. Charles mewn rhyw ardal yn Sir Gaerfyrddin yn ymddyddan â mam yn Israel, yr hon oedd braidd yn achwyn ei fod mor ddieithr. A oes dim modd i chwi

ddyfod yma yn amlach, meddai yr hen wraig; oblegid rhaid i mi ddweyd, os cefas ddim o'r nefoedd erioed, i mi gael peth trwy eich pregethau chwi. 'Y mae y gwin yna yn gryf iawn, meddai yntau; a fyddwch chwi yn yfed llawer o hono at y pregethwyr ieuainc sydd yn dyfod yma?' Na fyddaf fi, Mr. Charles, meddai hithau, ac ni buaswn yn yfed dim o hono atoch chwi, oni bai fy mod yn gwybod fod eich pen yn ddigon cryf i'w ddal. Uniawn y barnodd. A dyma un o'r arwyddion sicraf o fawredd ei feddwl. Nid oedd neb yn fwy cymeradwy gan y saint, ac nid oedd neb yn fwy isel yn ei olwg ei hun. Medrai ehedeg yn uchel yn nghanol ffurfafen yr eglwys, a medrai ddisgyn gyda'r un rhwyddineb i ddyfnder profiad y Cristion. Ni fyddai byth yn crwydro allan o derfynau yr Ysgrythyr i ardaloedd gau ddychymygion a gwag dwyll. Yn ei ehediadau uchelaf. nid dangos ei hun oedd ei amcan; ond cyrchu dandeithion sylweddol o fynyddoedd y per-lysiau i adfywio a dyddanu y rhai gwanaf yn y llwythau. Y cyfryw oedd Charles o Gaerfyrddin, a'r cyfryw y mae yn ymddangos yn y pregethau hyn. Yr ydym yn bwriadu myned rhagom ryw gyfle etto i sylwi arnynt yn fwy uniongyrchol. Yn y cyfamser nid oes genym ond erfyn maddeuant ein darllenwyr ameu cadw cyhyd gyda phethau rhagbarotoawl.

## Hanesiaeth Cenhadol.

CYFARFOD CENHADOL.

Dydd iau, Hydref 17, 1837, cynnaliwyd Cyfarfod lliosog iawn yn Llŷs Exeter, Llundain, i ganu yn iach i'r brodyr y Cenhadon, y Parch. Charles Mead, y Parch. Dr. Phillip, a'r Parch. John Williams, ac amryw ereill, pymtheg ar hugain o rifedi, cyn cychwyn, i'w mordaith. Yr oedd rhai o honynt yn myned i'r India, rhai i Affrica, a rhai i Ynysoedd môr y de. Ni welwyd cynnifer o Genhadon yn cychwyn ar unwaith o'r blaen er pan hwyliodd y llong Duff yn y flwyddyn 1796.

Galwyd W. T. Blair, Yswain, Maer Bath, i'r Gadair. Ac wedi canu mawl a gweddio areithiodd y gwyr canlynol ar yr achlysur. y Parch. C. Mead, y Parch. W. Ellis, y Parch. T. Binney, y Parch. Dr. Phillip, y Parch. J. Read, Mr. Jan Tzatzoe, y Parch. J. Blackburn, y Parch. J. Williams, a'r Parch Dr. Bennet.

Yr oedd y cyfarfod yn lliosog iawn, a'r areithiau yn rhyfeddol o gynnwysfawr a gwresog. Ni fu nemawr gyfarfod crefyddol erioed yn Llundain yn fwy llewyrchus, boddhaol, a buddiol. Yr oedd y tân sanctaidd o zel dduwiol am oleuo tywyll fanau y ddaear, ac am achub trigolion paganaidd y gwledydd pellenig, yn ennyn yn mynwesau miloedd ar unwaith. Cyfarfod oedd ag y bydd ei effeithiau yn ddiau yn aros yn hir ar feddyliau y brodyr neillduedig i'r gorchwyl pwysig o addysgu y cenhedloedd, yn gystal a'r rhai sydd yn eu cynnorthwyo gyda'u harian a'u gweddiau gartref.

Dywedodd yr anrhydeddus Gadeirydd wrth agor y cyfarfod fel hyn:—'Yr wyf fi yn cyfaddef, fod yn hyfryd genyf gael y cyfleusdra hwn i dystiolaethu yn gyhoeddus fel hyn, fy mod yn ddiffuant yn parchu ac yn mawr hoffi y Gymdeithas anrhydeddus mewn cyfundeb â pha un yr ydym yn ymgyfarfod y dydd hwn. Os bydd i mi drwy fy nyfodiad yma, roddi cynnorthwy i symmud ymaith un garreg o 'ganolfur y gwahaniaeth'—y canolfur hwnw ag a fu cyhyd yn anharddu ac yn difwyno Eglwys Crist—llawen fyddaf. Er fy mod i fy hun yn aelod o Eglwys Loegr, yr wyf yn ymhyfrydu ar bob achlysur mewn ymgymmysgu gyda bugeiliaid gofalus y porfeydd cymmydogaethol. Ac os oes un achos yn gorphwys ar fy meddyliau yn drymach na'u gilydd y dyddiau hyn, y ddyledswydd o feithrin cyfeillach anwylaf a serchocaf â phawb sydd yn 'caru yr Arglwydd Iesu Grist mewn purdeb,' heb wahaniaeth enw na phlaid, yw hwnw. Hyd oni wneir hyn, a hyd oni wneir ef yn gyffredinol, yr wyf yn meddwl na ddangosir byth mo Gristionogrwydd i'r byd yn ei holl agweddau o ardderchogrwydd a harddwch, ac na fydd i'r Eglwys byth gyfodi a gwisgo am dani ei hardd wisgoedd y rhai ydynt fel gwisg ei Harglwydd yn un cyfanwaith diwnïad a dirwyg; ac, hyd oni weler hyny, yr wyf yn gostyngedig farnu na bydd i Ysbryd Duw byth gael ei dywallt o'r uchelder i raddau helaeth iawn ar un rhan o lafur cristionogol.

## Hysbysiadau Crefyddol.

AGORIAD CAPEL ST. FAGANS.

Cynhaliwyd Cyfarfod Misol yn nghyd ag agoriad Capel newydd perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn St. Fagans, Sir Forgangwg, ar Iau a Gwener, Hydref 12 a'r 13.

Am 2 y dydd cyntaf ymgynullodd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ac ymunasant mewn cymdeithas neillduol i ystyried ansawdd ac amgylchiadau crefydd yn y Sir, ac yn neillduol achos y lle yr oeddynt wedi ymgynull iddo. Mae mawr lafur yr ardal gyda'r adeilad uchod yn teilyngu y ganmoliaeth uchaf. Llafur a ffyddlondeb yr Eglwys a'r gymmydogaeth a lonodd y Brodyr yn fawr.

Cafwydd llawer o wrthwynebiadau i gael Capel yn yr ardal hon, er nad oedd un man yn Nghymru a mwy o'i eisiau. Ond drwy garedigrwydd a hynawsedd yr anrhydeddus R. H. Clive, cafwyd tir i adeiladu, y Boneddwr anrhydeddus uchod a fu yn dra charedig tu ag ddygiad yr adeilad yn mlaen, ynghyd a'i oruchwyliwr John Maug-

han, Yswain. Yr ydym dros Dduw yn teimlo rhwymau eu cydnabod yn ddiolchgar am y caredigrwydd anghyffredinol a ddangosasant tuag at Arch yr Arglwydd. Nis gwyddis yn iawn etto pa beth yw'r draul a aeth tuag atto; tebygol yw, y bydd rhywfaint dros £300. Casglwyd yn yr ardal cyn ei agor £182.—ar yr agoriad, £15 1s. 1d. y cwbl £197 1s. 1d. Yr holl ddefnyddiau a gasglwyd yn rhad.

Am 6, dechreuwyd y moddion cyhoeddus drwy ddarllen a gweddio gan Mr. Titus Jones, Bont faen, a phregethodd Mr. Thos. Rowlands, Clos y graig, a'r Parch. R. Thomas, Llysyfronydd (yn Saesoneg) oddiwrth 1 Thes. 5. 21. a Salm 32. 1—6.

Am 10, bore ddydd Gwener, cadwyd cyfarfod neillduol, yr hwn a dreuliwyd gan mwyaf mewn ymddiddan am, ac ymresymu ar, Ddirwest. Cynghorwyd pawb i'w bleidio yn mhob man, ac ymdrechu ei sefydlu lle nad oedd. Eithr gwnawd sylw geryddol ar ymddygiad dynion penboeth tuag at y cyfryw sydd yn gwneud cynnygiad iddynt (o garedigrwydd hefyd) o ddiod fråg. Megis, 'Cerddwch ag ef i ddiawl,' ebe un. 'Och! gwenwyn ydyw,' ebe'r llall. 'Ow! Ow! mae alcohol ynddo,' ebe arall. 'Nid oes arnaf mwy o chwant ei yfed nag sydd arnaf i fyned i uffern y funud hon,' medd y nesaf, &c. nes peri i'r hen wragedd, ac yn wir rhai gwrywiaid cryfion i synu a dychrynu wrth yr ymadroddion, a methu deall beth all fod ar y dynion yn y fath ysbryd haerllug ac anfwyn, fel pe baent am waeddi am dân o'r nef i ddifetha pawb ond y cyfryw sydd o'r un opiniynau a hwy, ac nid fel yr hen bregethwyr, ers llawer dydd, 'Mewn addfwynder yn dysgu y gwrthwynebus.'

Ar y cwbl, mae ymadroddion o'r natur hyn yn rhy anweddus i'w harfer. Ymresymu mewn tiriondeb a phwyll yw'r ffordd debycach i ennill y creadur o ddyn.

Am 10 dechreuodd Mr. Ben. Williams, Bontypridd a phregethodd y Parch. D. Roberts, Abertawe, y Parch. B. Thomas, (yn Saesoneg) a'r Parch. Wm. Evans, Tonyr efail oddiar Hag. 1. 2. Heb. 4. 14. Act. 16. 17.

Am 2, dechreuwyd trwy ddarllain a gweddio gan Mr. D. Davies, Bontfaen, a phregethodd Ed. Matthews, Penllyn, a'r Parch. Henry Jones, Llaneurwg, oddiwrth Es. 4. 5. Rhuf. 1. 16.

Am 6 yn yr hwyr, pregethodd Mr. John Morgan, Penybont, a Mr. W. Williams, Rumney, oddiwrth Es. 58. 1. Heb. 1. 2. Cafwyd arwyddion neillduol o'r presennoldeb dwyfol yn ngyssegriad y Tŷ hwn at waith a gwasanaeth Arglwydd Ior yr holl ddaear. Cawsom sail i hyderu y bydd effeithiau y Cyfarfod hwn i'w ganfod i oesoedd dirifedi y gwlith.

*Penllyn.* ED. MATTHEWS.

## GWELLIANT GWALL.

Syr,—Canfyddais wall amlwg yngwaith yr hwn a anfonodd i chwi Gof-Restr o bregethwyr Mon, yr hon a argraffwyd yn Rhif. 77. tu dalen 152. Gadawyd allan o fysg y Pregethwyr sydd yn awr yn fyw, ein ffyddlon gyfaill, y llafurus bregethwr ers llawer o flynyddoedd bellach, Mr. Thomas Owens, Llangefni; ac hefyd Cadpen Evan Lloyd, Caergybi, yr hwn sydd yn arfer pregethu i'w gyd-forwyr, ac yn nodedig o lafurus gyda'r Gymdeithas Ddirwestol, ar dir a môr, gartref ac oddicartref. Gwn mai anghof fu hyn, canys mae y ddau yn gynnes ac yn anwyl iawn gan eu holl frodyr. Dywedaf finnau etto, 'Cymmerer gwell gofal y tro nesaf wrth gofrestru enwau pregethwyr.'

PREGETHWR O FON.

### CYMDEITHASFA Y WYDDGRUG.

Cynnaliwyd y Gymdeithasfa Chwarterol hon yn y Wyddgrug, Sir Flint, Hydref 31, Tachwedd 1 a 2, 1837.

Hydref 31, am hanner awr wedi chwech, prydnhawn, pregethodd y Parch. Abraham Jones, ar Marc 8. 34—38. a'r Parch. J. Elias, ar 1 Cor. 2. 14—16. Brydnhawn ddydd mercher, Tachwedd 1. am hanner awr wedi pump, yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd, pregethodd y Parch. R. Jones, Bala, ar Phil. 2. 16. a'r Parch. W. Havard, Deheudir, ar Rhuf. 8. 13. a'r un pryd yn Nghapel yr Annibynwyr, pregethodd y Parch. Thomas Owen o Fon, ar 2 Cor. 8. 9. a'r Parch. J. Jones, Talsarn, ar Esa. 28. 16.

Boreu ddydd Iau, Tach. 2 am 6, Pregethodd y Parch. David Williams, Trefeca, ar Ioan 19. 30.

Am 10, yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd, pregethodd y Parch. John Hughes, Bont Robert, ar 1 Thes. 1. 5. a'r Parch. J. Elias, ar Ezec. 8. 6. Yr un pryd ynghapel y Trefnyddion Wesleyaidd, pregethodd y Parch. J. Parry, Caerlleon, ar Heb. 5. 8. 9. a'r Parch. Henry Rees, ar Heb. 12. 18—21.

Am 2, yn Nghapel y Trefnyddion, pregethodd, y Parch. Daniel Jones, Llanllechid, ar Esa. 55. 7. a'r Parch. J. Jones, Talsarn, ar Salm 84. 1, 2. Yr un pryd yn Nghapel y Trefnyddion Wesleyaidd, pregethodd y Parch. J. Prydderch, ar Act. 4. 10. a'r Parch. W. Havard, ar Matth. 25. 1—6.

Am 6, yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd, pregethodd y Parch. W. Jones o Ruddlan, Rhuf. 6. 22. a'r Parch. H. Rees, ar Rhuf. 7. 23—25. Ar yr un awr yn Nghapel yr Annibynwyr, pregethodd y Parch. Daniel Jones, ar Salm 37. 13. a'r Parch. W. Havard, ar Matth. 25. 5. Dechreuwyd y gwahanol odfeuon gan y brodyr, Abraham Jones, John Foulkes, R. Jones, Rhydfawr: John Jones, Mon, Richard Williams, Liverpool, Moses Parry, Richard Roberts, Enoch Evans, David Williams, ac Evan Wynne.

Mae yn dda genym allu eich hysbysu i ni gael arwyddion neillduol o foddlonrwydd yr Arglwydd ar y Gymmanfa yma eleni; yr oedd brawdgarwch annghyffredin yn ffynnu yn y cyfarfodydd neillduol, a rhwyddineb neillduol yn yr ymdriniaethau a'r pethau buddiol oeddynt dan sylw. Ac yn y moddion cyhoeddus yr oedd rhyw rymusderau annghyffredin yn dilyn y pregethau, fel nad oedd nemmawr lygad sych drwy y cynnulleidfaoedd. Gobeithio y gwelir effeithiau daionus y Gymmanfa ar laweroedd amser maith, mewn rhodiad gweddus, ac ymarweddiad sanctaidd yn ofn yr Arglwydd.

O. JONES.

---

COFNODAU CYMDEITHASFA PWLLHELI,
*Medi* 6, 7, 8, 1837.

Treuliwyd amser y ddau Gyfeisteddiad i ystyried amrywiol bethau nad ydyw yn angenrheidiol eu coffau yma.

Am ddeg ar gloch cyfarfod y Llefarwyr yn unig. Treuliwyd y cyfarfod hwn i ymddiddan am bethau, ac yspryd, a dull y weinidogaeth, &c.

2 ar gloch Penderfynwyd amrywiol bethau; megis y cyfarfodydd dyfodol. Yr unig un i'w nodi yma ydyw:---

Cymdeithasfa Llanrwst, Ionawr 4, 5, 1838.

D. S. Y byddis arferol o gael cyfrifon Ysgolion Sabbathawl i'r Gymanfa hon. Rhai Siroedd sydd ffyddlon yn hyn. Gobeithir y bydd pob gwlad yn ffyddlon eleni at hyny, ac na bydd Sir yn Nghymru, nac yr un o'r Trefydd yn Lloegr ar ol eleni, fel y caffom gyfrif cryno am y flwyddyn hon.

Byddwn yn arferol hefyd o gwblhau y Casgliadau at y Gymdeithas Genhadol Dramor bob blwyddyn erbyn y Gymanfa hon. Cofied pob gwlad eleni hefyd.

Penderfynwyd dydd diolchgarwch am y cynhauaf: hefyd, dydd Iau, y nawfed o Tachwedd i fod yn ddydd i weddio am adfywiad ar grefydd. Gweddus i ni wneuthur hyn gydag ymostyngiad am ein pechodau, a thaerineb mawr am faddeuant o honynt; oblegid ni allwn ddysgwyl wyneb yr Arglwydd arnom ond yn y drefn hon. Cyn y rhoddom hyn i fynu, dylem benderfynu naill ai, 1af. Fod y neges oedd genym ddyddiau cyffelyb i hwn o'r blaen wedi ei chael; neu, 2il. Fod y Duw yr ydym yn galw arno yn un clust fyddar. Oblegid hyny fod yn ofer galw arno; neu yn 3ydd. Nad yw yn meddu yr hyn yr ydym yn galw arno o'r herwydd; neu yn 4ydd. Nad oes genym yr un sail i ofyn yr hyn a geisiwn ganddo. Nid oes yr un o hyn yn bod, gan hyny y mae yn fraint i ni neillduo dydd etto i ofyn hyn ganddo, sef ei wyneb grasol arnom er daioni.

Sylwyd hefyd ar achos y Cymry yn Llydaw, yn Ffrainc; mewn golwg ar anfon yr Efengyl iddynt. Fod yn drwm i ni y Cymry feddwl am danynt. Y maent yn lluosocach eu nifer na thrigolion Cymru oll, ac yn Babyddion eiddigus. Y maent o'r fath gyndynaf o'r pabyddion. Pan yr ydym yn llafurio i wella amgylchiad Paganiaid eithafoedd y ddaear, nid iawn ydyw gadael o honom ein cig a'n gwaed ein hun mor agos atom, i drengu o eisiau gwybodaeth, a ninau ynghanol y fath gyfoeth o oleuni a breintiau. Oh, fel y dylai ein calonau ennyn, a'n tosturi gyffroi i anfon iddynt air yr Iachawdwriaeth.

Cyfieithwyd y Testament Newydd i'w hiaith, gan y diweddar Barch. D. Jones, o Gaerfyrddin, mewn golwg ar hyn.

Annogwyd pob Sir i ymholi ac ymchwilio am ddau wr ieuainc a fyddai dewisol, ac Yspryd Cenhadawl ynddynt, ac os ceir hwy, eu hyspysu i Gyfarfod Misol eu Sir, a'u cymeradwyo yno, ac os cymeradwyid hwy yno, eu hyspysu a'u cyflwyno i'r *Association* Chwarterol, fel y gellid eu cymmeradwyo yno i'w danfon yn genhadau.

Bydd raid eu cadw mewn Athrofa i ddysgu Frangaeg yn dda, trwy hyny, a bod o honynt yn gyfarwydd yn yr iaith Saesonaeg, gallant yn fuan iawn ddyfod yn hyddysg yn y Llydawaeg. Gwelir fel hyn y dysgwylir i'r llafur at y Gymdeithas Genhadol Gartrefol ychwanegu fwy fwy fel y galler gweini y cynorthwyon angenrheidiol mewn golwg ar gyflawni y fath amcanion pwysig.

Yn nesaf at hyny, derbyniwyd dau frawd ieuainc yn aelodau o'r *Association*, trwy gael graddau o foddlonrwydd fod gwaith yr Yspryd a'r eu heneidiau, a thawelwch am eu barnau ar bynciau pwysig yr Athrawiaeth, a'u cymmelliadau i waith y weinidogaeth. Gwnaed hyn gyda sirioldeb mawr.

8 ar gloch, yr ail dydd, ynghynulliad y Llefarwyr a'r Henuriaid, sylwyd y byddai yn briodol ystyried, Pa bethau neillduol a all fod yn ein plith yn peri i'r Arglwydd guddio ei wyneb rhagom; oblegid nid ydyw un amser yn gwneuthur felly, heb ryw beth neu bethau yn achos o hyny. Peryglus iawn ydyw mynwesu, coledd, a chuddio beiau; rhaid edifarhau am hyn cyn y cawn ei wyneb a'i gymdeithas. Hosea 5. 15, Salm 51. 4.

Gallwn olygu yn briodol fod rhyw bechod neillduol ac arbenig yn cael ei goleddu, Oblegid y mae y cwmmwl wedi ymdaenu, nid yn unig dros ryw gangen o eglwys, ond yn gyffredinol, a hyny o bosibl ymysg pob enwad crefyddol trwy ein gwlad.

Y mae yr ymosodiadau cryfion sydd wedi bod yn erbyn meddwdod wedi llwyddo i ddarostwng y pechod hwnw i raddau mawr iawn Y'nghymru; ond er hyny nid yw yr Arglwydd yn llewyrchu ei wyneb yn amlwg iawn arnom etto. Dylem ofni fod rhyw beth etto yn atal, ac yr etyl hefyd nes ei dynu ymaith. Wrth i ni ddilyn hanes y Genedl Iuddewig, ac ymddygiadau yr Arglwydd tu ag atynt, gwelwn y byddai yn cyd ddwyn â hwynt mewn llawer o bethau pechadurus

iawn, heb eu bwrw ymaith yn hollol; ond pan y troent at eilunaddoliaeth, buan yr ennynai ei ddigofaint i'w herbyn, oblegid Duw eiddigus yw efe. Er nad oes genym ni yn Nghymru drwy drugaredd, ddim delwau yn cael eu haddoli; etto gall fod (a diau fod) yma ddelw yr eiddigedd, yn cael ei choledd, sydd yn gyru Duw yn mhell oddi wrth ei gysegr. Dyma ei henw, CYBYDD-DOD, yr hon (medd yr Ysgrythur) sydd eilunaddoliaeth. Col. 3. 5.

Pob gair sydd yn y Bibl i ddangos drwg eilunaddoliaeth, y mae yn dangos drwg cybydd-dod; a phob bygythiad sydd ynddo yn erbyn eilunaddoliaeth, y mae hefyd yn erbyn cybydd-dod.

Un o'r anhawddaf cael gafael arno, a dyfod o hyd iddo ydyw Cybydd-dod; ac y mae weithiau, Ie, yn aml yn ymddangos mor deg fel y mae yn cael parch gan y cyffredinolrwydd; ond nid felly gyda Duw, y Cybydd, yr hwn y mae'r Arglwydd yn ei *ffieiddio* ydyw, Salm 10. 3. Y mae y pechod hwn yn digio'r Arglwydd yn ddirfawr, Esay 32. 7. Pechod y pechodau ydyw yn wyneb deddf Duw. Mae yn drosedd uniongyrchol o'r 6ed a'r 10fed gorchymynion. Ië, y mae yn taraw yn erbyn yr holl ddeddf yn ei hystyr a'i chynhwysiad, oblegid 'Cyflawnder y gyfraith yw cariad,' sef caru Duw â'r holl galon, a'n cymmydog fel ni ein hunain. Ond duw y cybydd yw hunan, ac ni fyn i neb arall gael dim ond ef ei hunan.

Oddiar hunanoldeb y mae cybydd-dod yn tarddu. Ymddengys cybydd-dod mewn awydd anghymedrol am y byd hwn, ac ymgais anghyfreithlon i'w feddu. Mae awydd y cybydd am y byd mor gryf, fel pe gallai y llyncai y byd yn gyfan i'w grombil ei hun; try bob ffrwd hyd y gallo oddi wrth bawb arall ato ei hun. 'Meusydd hefyd a chwenychant, ac a'u dygant trwy drais; a theiau, ac a'u dygant, gorthrymant wr a'i dŷ,' Mica 2. 2.

Mae lle i ofni fod llawer o broffeswyr crefydd (o'r fath ag ydynt) yn gybyddion yn wyneb y disgrifiad amlwg o gybydd-dod yn ei ffrwythau, ac yn dianc yn ddigerydd gan yr Eglwysi. Cyhoedda yr Arglwydd wae yn erbyn y rhai sydd yn cysylltu tŷ at dŷ, ac yn cydio maes wrth faes, hyd oni byddo eisiau lle, Esay 5. 8.

Er y gall llawer cybydd arianog geisio ymesgusodi, a llechu ynghysgod rhyw dwmpath rhag swn a rhwygiad y daran hon o wae, ond nid allant lechu yn faith; myn y wae ei ffordd attynt. Ceir clywed a gweled yn fynych am amgylchiad fel hyn, rhyw dyddyn yn dyfod yn rhydd mewn cymmydogaeth, cymmerir hwnw gan *Farmwr* (crefyddol) o gyfoeth, at dyddyn a fyddo ganddo o'r blaen. Onid yw hyn yn drachwant cybyddlyd amlwg, ac yn orthrwm y dylai awch llym dysgyblaeth eglwysig fod yn ei erbyn? Oblegid fod y rhai a wnant fel hyn yn gosod rhwystr ar ffordd rhai ereill i geisio bywioliaeth, trwy rai trachwantus fel hyn.

Un arall yn Fasnachwr wedi casglu cryn swm o arian, ac yn byw yn gysurus iawn trwy fasnach felly. Beth a wna hwn ond cymeryd *Shop* mewn tref neu ardal arall at yr un oedd ganddo o'r blaen, yn unig i chwanegu cyfoeth, a Masnachwr, neu Fasnachwyr y fan hono yn cael eu hysigo o'r herwydd, ac yntau yn ymreibio am y cwbl o'i flaen. Ar yr un pryd gall y dyn hwnw ddywedyd yn ei galon fel Ephraim gynt, 'Mi a gyfoethogais, cefais im olud, ni chafwyd yn fy holl lafur anwiredd ynof a fyddai yn bechod,' Hosea 12. 8. Rhagluniaeth (meddai y dyn) sydd yn gwenu arnaf! Gwylied y cyfryw rhag bod yn orthrymwyr, a bod y geiriau yn Iago y 5ed yn perthyn iddynt, sef wylo ac udo oblegid iddynt trwy *orthrymu* gasglu trysor yn y dyddiau diweddaf.

Pan y mae yr Arglwydd yn helaethu ar ddynion yn eu hamgylchiadau, y mae yn gwneyd hyny bob amser heb friwo eu cymmydogion o'u hachos hwy. Geill hen gybyddion godi dadl felly; sef, fod i weithiwr tlawd gymeryd darn o dir i gadw buwch yn gydio maes wrth faes. Ond nid yw hyny ond llwch a deflir i'n llygaid gan hen gybyddion, er mwyn eu hamddiffyn eu hunain yn eu bai, oblegid nid yw peth o'r natur yma ond cymhorth i'r tlawd er cynhaliaeth a chysur teuluaidd. A phe digwyddai fod y cyfryw yn gallu gwerthu rhyw ychydig nwyfau gyda hyny, pwy a'u beiau, oblegid amcan hwn yw cynnal teulu mewn tlodi heb bwyso ar neb na dim. Ond am y cybydd sydd yn amgâu am y cwbl iddo ei hun, y mae hwn yn felldith i'r byd; ac o herwydd hwn ceblir crefydd, ac iselheir ni yngolwg y byd. Dylai pob un sydd yn enwi enw Crist, ymadael a'r anghyfiawnder hwn, a bod allan o bob amheuaeth o'i fod yn gybydd.

Anymddiried yn yr Arglwydd a'i ragluniaeth ydyw gwreiddyn cybydd-dod. Ac er cymmaint a rydd yr Arglwydd iddo o'r byd, ni chaiff ganddo gydnabyddiaeth ddiolchgar; ond y mae yn ei syched am y byd yn gwaeddi fel y *Gele*, 'Moes, moes,' ac yn wastad mewn ffrae a Duw, oblegid na ddigonid ei wanc ef am dano. Daw cybydd dod i'r golwg mewn tŷn ddadleu wrth brynu, a mawr ganmol wrth werthu, ïe, yr eiddo y dywedodd 'Drwg drwg' am danynt wrth eu prynu. Drachefn, ymddengys cybydd-dod mewn attal mwy nag a weddai at achosion daionus, yn enwedig pethau teyrnas yr Arglwydd Iesu.

Penderfynwyd fod i Swyddogion yr Eglwysi chwilio yn ddyfal a oes rhai yn byw mewn un o hyn, trwy yr hyn y gellir profi eu bod yn gybyddion. Ac os na ellir trwy gynghorion a rhybuddion eu gwaredu, fod yn rhaid gweinyddu y cerydd a farno yr

Eglwys yn deilwng. Penderfynwyd hefyd na byddo i neb anturio i sefyllfa o bwys, na chwanegu at yr hyn sydd ganddo, dŷ, neu dir, neu fasnach, heb yn gyntaf ymgynghori a'r Eglwys, neu o'r hyn lleiaf â rhyw nifer o honi fyddo yn ddynion o synwyr a barn.

J. FOULKES.

## Helyntion yr Amseroedd.

*Penau coronog*—Ei Mawrhydi y Frenhines Victoria yw y Seithfed ar hugain mewn âch rheolaidd o William y Conowerwr, ac ar yr un pryd y mae hi yn unfed llywydd arbymtheg ar hugain yn eistedd ar deyrngadair Brydain mewn dilyniad er y Concwest hyd yn awr. Mae hyn yn rhoddi yn agos i naw mlynedd ar hugain i bob cenhedlaeth, a dwy flynedd ar hugain i bob brenhiniaeth, o ran y saith gant ac unarddeg a thriugain sy wedi myned heibio er amser y Concwest. Yr amser a gyfrifir yn gyffredin i genhedlaeth ydyw deng mlynedd ar hugain, ac ugain mlynedd i deyrnasiad y naill gyd'r llall. Yn ol y cyfrif hwn, mae sefyllfa Brenin neu Lywydd oherwydd gofal y llywodraeth, a glythni y sefyllfa yn gwneud ei einioes yn fyrach nag einioes ereill yn gyffredin o un flwyddyn, y naill gyda'r llall.

### CINIAW MAWR YN LLUNDAIN.

Dydd Iau, Tachwedd 9, Parottowyd gwledd fawr gan Arglwydd Maer Llundain i groesawi y Frenhines Victoria, ynghyd â llawer iawn o brif Boneddwyr a Boneddesau y Deyrnas. Y Parottoadau oeddynt orwychaidd anghyffredinol. A braidd y gwelwyd erioed gynnifer o bob math o bobl wedi ymgasglu ynghyd yn Llundain, ag a welwyd ar yr achlysur hwn. Yr oedd pob peth mewn heddwch ac iawn drefn. Ni ddangoswyd erioed fwy o anwyldeb a pharch i Frenin na Brenhines Brydain nag a ddangoswyd i Victoria.

### AGORIAD Y SENEDD.

Dydd mercher, Tachwedd 15, agorwyd y Senedd Ymerodrol. Ail ddewiswyd Mr. Abercrombie yn Gadeirydd Tŷ y Cyffredin; a dechreuwyd tyngu yr Aelodau i mewn yn Nhŷ yr Arglwyddi, ac yn Nhŷ y Cyffredin.

### ARAETH Y FRENHINES.

Dydd llun, Tachwedd 20. agorwyd y Senedd er cyflawniad ei gweithrediadau, drwy ymddangosiad personol, ac Araeth rasusaf y Frenhines.

Ar y dydd hwn, cyn unarddeg ar gloch yr oedd Cerbydau y Boneddwyr, y rhai a dderbyniasant ganiattad i fod yn bresennol gan yr Arglwydd Ystafellydd yn nghorph y Tŷ, ac yn yr Ystafell orliwiedig, yn dechreu ymgrynhoi yn gyflym a rheolaidd; ac erbyn deuddeg ar gloch yr oedd yr heol sy'n arwain i Dŷ yr Arglwyddi yn llawn dynn o foneddigion a boneddigesau.

Am unarddeg daeth Gosgorddwyr y Gwarchawdlu yn eu harddwisgoedd unffurf ymlaen i'r Tŷ, ac a ymrestrasant yn y cyntedd sy yn arwain i'r Ystafell orliwiedig.

Yn *Parliament Street*, ac ar hyd y ffordd drwy yr hon y dysgwylid y Cydgordaith Frenhinol, codid i fynu Esgynloriau y rhai a osodid am ardrethion uchel i'r sawl a ewyllysient sefyll arnynt i weled y Frenhines a'i Gosgorddlu Brenhinol yn myned heibio. Ac erbyn deuddeg ar gloch yr oedd yr holl ffordd o Charing Cross hyd y Senedd-dŷ yn llawn dynn o bobl o'r pen bwygilydd.

Ychydig cyn dau ar gloch aeth ei Mawrhydi i mewn i'w Cherbyd Brenhinol, ac yn ei dilyn holl Brif Swyddwyr y Llywodraeth a'r Teuluwriaeth, ac a gychwynasant tu a Thŷ yr Arglwyddi. Yr oedd yr holl ffordd wedi ei llinellu a'r Gatrawd Flaenaf y Gwarchawdlu Brenhinol.

Saethodd y Fagnel fawr i arwyddo dyfodiad y Frenhines, ac ymhen ychydig funudau, daeth y Frenhines ynghyd a holl Brif Swyddwyr y Llywodraeth i mewn i'r Tŷ, a hi a eisteddodd ar yr Orseddfainc. Yr oedd y Tŷ erbyn hyn yn arddangos gorwychder anghyffredinol.

Yna ymddangosodd y Cadeirydd a nifer o Aelodau Tŷ y Cyffredin o flaen y Barr, a'r Frenhines a draddododd yr Araeth rasusaf ganlynol, gyda llais eglur a chroew, a chyda diysgogrwydd ac adroddiad cadarn.

### YR ARAETH.

'Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,

'Mi feddyliais fod yn iawn i mi eich cynnull ynghyd i drin gorchwylion y llywodraeth cyn gynted ag y byddai yn gyfleus ar ol digorphoriad y Senedd diweddaf.

'Er fy mawr foddlonrwydd mi dderbyniais oddiwrth yr holl awdurdodau tramor y sicrwydd mwyaf o'u tueddfryd cariadus, ac o'u dymuniad diffuant i ddal i fynu berthynas cyfeillgar â mi; ac yr wyf yn llawenhau yn yr olygfa y gallaf ddwyn ymlaen brif lesiant fy neiliaid drwy sicrhau iddynt fanteision heddwch.

'Mae yn alarus genyf fod rhyfel gartrefol yn parhau i drallodi teyrnas Spaen; yr wyf fi yn parhau i ymarfer gyda ffyddlondeb, ymrwymiadau fy Nghoron o blaid Brenhines Spaen, yn ol ammodau Cyfammod y Cynghrair pedwarplyg.

'Myfi a orchymynais i Gyfammod Masnach yr hwn a gwblheais â Gwerin Lywodraeth Gyfunol Peru a Bolivia i gael ei osod ger eich bron, ac yr wyf yn hyderu y gallaf yn fuan ddwyn i'ch llaw gyffelyb ganlyniadau cynnadleddau sy rhyngof âg awdurdodau ereill.

'Yr wyf yn dymuno galw eich ystyriaethau difrifolaf ar sefyllfa talaith Canada Isaf.

'Foneddigion Tŷ y Cyffredin,

'Mae symmudiad cymmynol y Goron yn gosod angenrheidrwydd am fod darbodaeth newydd yn cael ei wneuthur ynghylch Treth y Brenin. Yr wyf yn ddigêl yn rhoddi i'ch trefnidiaeth chwi y cyllid treftadawl hyny, y rhai a drosglwyddwyd i'r Cyffredin gan fy rhagredegwr digyfrwng, ac mi a orchymmynais ar fod i'r cyfryw bapurau ag a fyddont yn angenrheidiol er llawn ymchwiliad i'r achos hwn gael eu parottoi a'u gosod o'ch blaen Gan ddymuno am fod y draul yn hyn yn gystal ag ymhob dosparth arall perthynol i'r llywodraeth yn cael eu cadw o fewn eu terfynau priodol, yr wyf yn teimlo hyder ynof y bydd i chwi yn siriol wneuthur parottoadau cyfattebol er cynnaliaeth anrhydedd ac urddas y Goron.

Y cyfrifon at wasanaeth y flwyddyn nesaf ydynt yn awr yn cael eu parottoi, a gosodir hwynt ger eich bron yn yr amser arferol. Myfi a berais fod eithaf cynnilwch yn cael ei roi mewn gweithrediad ymhob cangen o draul y wladwriaeth.

'Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,

'Mae yr heddwch tumewnol a'r tawelwch teuluawl y rhai ydynt yn dedwyddol ffynu yn bresennol yn nodedig o gyfleus i ystyried y cyfryw fesurau o ddiwygiad a gwelliant, ag a fyddont angenrheidiol a buddiol, ac fe fydd i'ch sulw gael ei arwain yn naturiol at drefniadau y deddfau y rhai a attaliwyd drwy ddigorphoriad angenrheidiol y Senedd ddiweddaf.

'Ffrwyth yr ymchwiliadau a wnaed i mewn i sefyllfa y tlodion yn y Werddon a osodwyd ger gwydd y Senedd, ac fe fydd yn ddyledswydd arnoch i gydymgynghori pa un a fydd yn ddiogel ac yn ddoeth i sefydlu drwy gyfraith ryw foddion iawn-reoleiddiol er cynnorthwyo yr angenus yn y wlad hono.

'Mae llywodraeth Bwrdeisiol dinasoedd a threfydd yn y Werddon yn galw am well rheolaeth.

'Mae y cyfreithiau a lywiant gasgliad awdurwaith y Degwm yn y Werddon yn galw am adchwiliad a gwelliant Am fy mod o'r farn fod gwelliant ar, a mwy effeithiol weinyddiad cyfiawnder, ymysg dyledswyddau blaenaf Llywydd gwladol, yr wyf yn dymuno galw eich sulw at y cyfryw fesurau y rhai a ddygir dan eich sulw am welliant yn y gyfraith.

'Nis gellwch lai na bod yn deimladwy o fawr bwys yr arholion y rhai a ddygais dan eich sulw, ac o'r angenrheidrwydd am yr ymdriniaeth â hwynt yn y cyfryw ysbryd dibartiaeth a chyfiawn a roddo sail i obeithio y goreu y bydd iddynt gael eu dwyn i derfyniad dedwyddol a defnyddiol. Wrth gyfarfod a'r Senedd hon, y gyntaf a etholwyd dan fy awdurdod I, yr wyf yn awyddus i ddatgan fy ymddiried yn eich ffyddlonedd a'ch doethineb. Mae yr oedran ieuengaidd pryd ym galwyd I i lywodraethu y deyrnas hon yn gwneud ei bod yn ddyledswydd mwy archedigol arnaf i beri i mi, o dan Ddwyfol Ragluniaeth, roddi fy hyder ar eich cydweithrediad diffuant chwi, ac ar gariad a serchowgrwydd fy holl bobl.'

---

*Rhybudd i feddwon.*—Prydnawn Mawrth, Tach. 14, yr oedd trol melin Glasinfryn, (oddeutu dwy filldir) o Fangor, yn myned adref yn llwythog o ŷd, a'r dyn oedd yn ei chanlyn yn *feddw iawn*. Rhwng 5 a 6 o'r gloch, caed ef ar y ffordd, bron wedi cyraedd pen ei daith, a'r olwyn wedi gorphwys ar ei wddf, ac yntau yn gorph marwol, ei enaid wedi hedfan i fyd yr ysbrydoedd. Oddeutu pedair blynedd yn ol y bu y cyffelyb ddamwain i'w dad.

Ni chymerai y mab addysg i gilio yn mhell oddiwrth yr achlysur (meddwdod) a laddodd ei dad. Feddwon, cymerwch rybudd, 'Ni ymryson Duw a dyn yn dragywydd,' gan hyny, arfau i lawr feddwon, a deuwch yn llu i ymuno a'r gymdeithas sydd am gael meddwdod o'r byd.

BODYROES.

RHAG Y RHYDDNI.

Bwytewch *Rice* wedi ei ferwi mewn llefrith, yn Foreufwyd, Ciniaw, a Swpper, hyd nes attalier y Rhyddni. Yn gyffredinol attalir ef mewn diwrnod neu ddau. Mae hwn yn ymborth blasus ac iachus iawn.

*Rhag Rhyddni mawr.*—Cymmerwch Siwgr gwyn goreu, a malwch ef yn fân; a chymmerwch yr un faint o *Rice* wedi ei falu. Cymmysgwch y ddau ynghyd. Yna cymmerwch ddwy lonaid llwy dê, neu dair, o hono, a dodwch hwynt mewn gwydraid o win coch goreu, a chymmysgwch hwynt ynddo. Yfwch wydraid felly bob tair neu bedair awr, ac attalir y Rhyddni.

*Rheolau Etholiad.*—Rheolau am Etholiad Aelodau i'r Senedd am y flwyddyn 1838, ydynt y rhai canlynol:—

Rhaid rhoi Rhybudd am dderbyn hawl i roi pleidair, i Warcheidwaid y plwyf (*Overseers*) ar yr 20fed o Mehefin.—Rhaid gwneud i fynu y Rhestr o Etholwyr erbyn Gorphenaf 31. Rhaid i'r neb a fyno wrthwynebu hawl personau i Ethol, roi Rhybudd o hyny erbyn Awst 25.—Rhaid i'r Cyfreithwyr ymgyfarfod i adolygu Rhestrau yr Etholwyr rhwng Medi 15 a Hydref 25.—Rhaid copio Rhestrau i Lyfrau, a'r Llyfrau gael eu gwneud yn barod erbyn Hydref 31.—A'r cyfryw Lyfrau a gyfrifir yn Rhestrau cyfreithlawn yr Etholwyr.

*Marchnad Llundain.*—Nifer yr anifeiliaid a werthwyd yn Marchnad Smithfield, Llundain, yn nghorph y flwyddyn 1836.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Gwartheg.. | 123,371 | Lloi.. | 15,313 |
| Defaid .... | 911,449 | Moch. | 24,839 |

DYFAIS NEWYDD O FAWR WERTH.

Mae Mr. M. H. Rapp, o Frankford, Germani, trwy lawer o flynyddoedd o ddyfais a llafur, wedi cael allan *Nerth ysgogawl new-*

*ydd*, na chafwyd allan erioed o'r blaen; ac wedi dyfeisio modd i'w osod ar waith i dynu Cerbydau ar hyd ffordd haiarn, yn lle Agerdd. Mae hwn yn Nerth gwreiddiol a naturiol; a thrwy fath o Beiriannwaith cywrain gosodir ef yn gydiol â Cherbyd i'w dynu gyda grym mawr, fel ag y mae yn rhagori ar rym Agerdd yn y pethau canlynol:—

1. Nid oes dim perygl o ruthur ddrylliad, yr hwn sy beryglus iawn mewn Agerdd. .2 Nid yw hanner mor gostus a Nerth Agerdd. 3. Nid oes eisiau dim glo nac un math o danwydd arno. 4. Ac yn ganlynol ni bydd eisiau cario tanwydd yn y cerbyd, i gadw lle pethau ereill. 5. Gellir cychwyn yr Ermyg hunan-ysgogawl hwn mewn munudyn, a'i attal mewn munudyn. 6. Pa le bynag y defnyddier yr Ermyg hunan-ysgogawl hon, ni bydd byth eisiau Agerdd.

Mae y Dyfeisiwr hwn, Mr. Rapp, yn bwriadu codi Braint lythyr (*Patent*) am yr Ermyg newydd hon, mewn amrywiol Deyrnasoedd Ewrop.—*Moore's Improved Almanack for* 1838.

### GWEINIDOGION LLYWODRAETH EI MAWRHYDI, Y FRENHINES VICTORIA.

*Yn y Cyfrin Gynghor.*

Prif Arglwydd y Trysorlys....Arglwydd Melbourne.
Arglwydd Ganghellwr........Arglwydd Cottenham.
Canghellwr y Drysorlys ......Y Gwir Anrhydeddus Spring Rice.
Arglwydd Arlywydd y Cynghor..Ardalydd Lansdowne.
Arglwydd y Gyfrin Sêl a Prif-Ddirprwywr Cyllid y tiroedd } Is-Iarll Duncannon.
Ysgrifenyddion y Llywodraeth { Am y Dosparth Cartrefol—Arg. John Russell. Am y Dosparth Tramor—Is-Iarll Palmerston. Am y Dosparth Trefedigaethol—Arg. Glenelg.
Prif Arglwydd y Morlys.... ...Iarll Minto.
Arlywydd Bwrdd y Rheolaeth ..Syr John C. Hobhouse.
Canghellwr Duciaeth Lancaster..Arglwydd Holland.
Llywydd Bwrdd Masnach......Gwir Anrhydeddus C. Poulett Thomson.
Ysgrifenydd Rhyfel ..........Is Iarll Howick.

*Heb fod yn y Cyfrin Ggnghor.*

Meistr Cyffredinol y Cyflegrau..Syr R. Hussay Vivian.
Meistr Cyffredinol y Llythyrdy..Iarll Lichfield.
Arglwydd Prif Ystafellydd ....Arglwydd Cholmondeley.
Arglwydd Ystafellydd ........Ardalydd Conyngham.
Arglwydd Goruchwiliwr ......Duc Argyll
Meistr y Meirch ... ........Iarll Albermarle
Tâl-Feistr y Lluoedd a Thrysorydd y Llynges .......... } Syr Henry Parnell.
Meistr y Bathdy ac Islywydd Bwrdd Masnach .......... } Y Gwir Anrhydeddus H. Labouchere.
Golygwr y Dillad-Gell ........Ardalydd Winchester.
Prif Lywydd y Lluoedd ........Arglwydd Hill.
Iarll Byddinwr................Duc Norfolk.
Meistr y Coflyfrau ............Arglwydd Langdale.
Is-Ganghellwr ................Syr L. Shadwell.
Cyfreithiwr Cyffredinol ........Syr J. Campbell
Dadleuwr Cyffredinol ..........Syr R. Monsey Rolfe.
Arglwydd Dadleuwr Scotland ....Gwir Anrhydeddus J. A. Murray.
Barnwr Dadleuol Cyffredinol ....Gwir Anrhydeddus R. C. Fergusson.
Arglwyddi Dirprwywyr y Trysordy.................. .. .. { Arglwydd Seymour. R. Steuart, Yswain. R. M. O'Ferral, Yswain. J. Barker, Yswain.
Cyd-Ysgrifenwyr y Trysordy .. { F. T. Baring, Yswain. E. J. Stanley, Yswain.

*Y Werddon.*

Arglwydd Rhaglaw..............Iarll Mulgrave.
Arglwydd Uch Ganghellwr ......Arglwydd Plunket.
Prif Ysgrifenydd ................Is-Iarll Morpeth.
Meistr y Coflyfrau ..............Gwir Anrhydeddus M. O. Loghlen.
Cyfreithiwr Cyffredinol ..........Gwir Anrhydeddus S. Woulfe.
Dadleuwr Cyffredinol .. .........Maziere Brady, Ysw.
Arlywydd y Lluoedd ............Syr Edward Blackeney.

# BARDDONIAETH.

### MYFYRDOD AR NOS NADOLIG:

*Sef un o gyfansoddiadau olaf yr diweddar* EDWARD JONES, *Maes y Plwm, Rhagfyr* 24, 1855.

Tair gwyryf rhagorol, tair duwiol a da,
Fu'n feichiog heb ddychryn ar blentyn di-
    bla:
A'r tair fu'n cyfarfod mewn cymmod mwyn
    cu,
Tan osgordd i esgor 'r un tymmor mewn ty.

Yr hynaf oedd feichiog nod enwog cyn
    dydd,
A'r ail 'chydig gwedi 'r haul godi'n ddi-
    gudd:
A'r drydedd oedd ie'ngach yn hwyrach
    brydnawn,
Un fechan â'i 'n feichiog, Ardderchog y
    ddawn!

Tair gwyryf diniwed tan nodded dinam,
Eu Duw fu'n eu dewis hwy megis tair
    mam,
I ymddwyn ar Berson mor gyson ar goedd
Mewn dull cenhedledig ei debyg nid oedd.

Ni chafodd angylion, enwogion y nef,
Un cymmaint rhyfeddod i'w ganfod ag ef;
Ac iddo dair mammaeth, ar unwaith, o rai
Fu arno'n cyd esgor yn drysor di drai.

Mae Mair gwedi esgor, a thymmor ei thump,
Pan dau ddeg a chwaneg hoff adeg a phump,
Sef hyny o fis Rhagfyr, ei gwewyr a gadd,
Pan aned Eneiniog mor enwog ei radd.

Addewid oedd feichiog deg enwog ei gair,
Esgorodd hon hefyd 'r munud a Mair;
Ac ar yr un Person wr union ei ran,
Sef ar yr un munud, ac yn yr un man.

Esgorodd ar unwaith, hen Arfaeth y ne',
Sef yn yr un llannerch, ac yn yr un lle;
Ac ar yr un Person mwyn tirion y tair,
Sef Arfaeth, Addewid, 'r un munud a Mair.

Wel dyna beth newydd, o herwydd pa ham,
'Run plentyn tan wregys tyn megis tair
    mam!
Angylion y nefoedd, ddai'n lluoedd i'r
    llawr,
I glywed a chanfod rhyfeddod mor fawr.

---

### ENGLYNION

*Er coffadwriaeth am Jane, priod y Parch. John Jones, Tremadog. Ymadawodd a'r fuchedd hon Ebrill* 11, 1837, *yn* 54 *mlwydd oed.*

Angau syn a'i eang saeth,—ddirymodd
    Rwymyn y ddynoliaeth:
    Morwyn Ner, Ow! marw a wnaeth;
    I'r gweryd diragoriaeth!

Ei bèr hoen, a'i phoen orphenwyd,—darfu
    Twrf angau a'i arswyd:
    Hyd oriau'r farn daearwyd
    Gwraig o les, dan gareg lwyd.

Ffyddlon o galon fwyn gu,—yn uchel,
    Yn achos Crist Iesu:
    I'r Ysgol Sabbothol bu
    Yn addurn,—hir weinyddu.

O dan ofal Duw y Nefoedd—i'w bedd,
    Bu fyw'n ddiargyhoedd;
    Yn ei bywyd diwyd oedd,
    A bendigedig ydoedd.

I dlodion gwaelion eu gwedd,—beunyddiol,
    Bu'n nawdd ac ymgeledd;
    Cyfrinair côf o'i rhinwedd,
    A fydd byth tra fyddo bedd!

Gwraig oleu gywir galon,—Duw 'n obaith
    Adnabu, a digon:
    Wel, yn iach mwyach am hon,
    I groesawu gwyr Seion!

Trwy ddirifedi fydoedd,—adref aeth;
    Darfu i holl flinderoedd:
    Sail ei phroffes hyles oedd,
    Ar Iesu, craig yr oesoedd.

Na bod yn ol yn ein byd ni,—mewn nych,
    Mae'n well filwaith iddi;
    Y'ngwledd fras, angelaidd fri;
    Golud glân gwlad goleuni.

Yno o dwrf blin daiarfyd,—mewn hedd,
    A mwyn hwyl i'w hysbryd;
    Iawn eilia i'w Hanwylyd,
    Ag awen bêr, gwyn ei byd.

Gwyr yn awr i gywir nod,—beth yw byw
    Byth heb boen na phechod;
    Y'ngwawl yr anfeidrawl Fod;
    Mor ddedwydd a'r mawr Dduwdod!

*Porth Madog.* IOAN MADAWG.

---

### CRIST YN WRTHDDRYCH ADDOLIAD.

Mae'r hwn fu ar Galfaria, yn marw trosom
    ni,
Yn meddu pob addasrwydd, i dderbyn parch
    a bri;
Mae'n caffael ei addoli, gan deulu'r nef i
    gyd,
Mae'n haeddu hyny'n gyfion, gan holl
    drigolion byd.

Fe gafodd ei addoli, pan oedd yn faban
    gwan,
Gan luoedd o angylion, a doethion yn'r un
    man;
Os iawn oedd ei addoli mewn beudy y Meth-
    lem dref,
Ai llawer llai ei urddas yn awr yn nheyrnas
    Nef?

Mae'n amlwg fod dwy natur ymherson Mab
    y dyn,
Cyflawnder mawr y Duwdod sydd ynddo
    Ef ei hun;
Na ruswn roi addoliad i Berson mawr y
    Gair
Er 'muno â dynoliaeth, y'mru y forwyn Fair.

'Roedd Ef yn Dduw anfeidrol, cyn gwisgo
    natur dyn,
Y Duwdod mawr a'r dyndod sydd ynddo
    Ef ynglyn,
A chan nad ellir ysgar yr hyn gysylltodd
    Duw,
Mae Ef yn wrthddrych teilwng addoliad
    dynolryw.

R.—*Treffynon.*

# Y DRYSORFA;

YN CYNNWYS

AMRYWIAETH O BETHAU AR AMCAN CREFYDDOL, YN ATHRAWIAETHOL, ANNOGAETHOL, A HANESIOL,

YNGHYD A

HANESIAETH CENHADOL A GWLADWRIAETHOL,

AC AMRYWIOL GYFANSODDIADAU MEWN

## BARDDONIAETH A PHERORIAETH.

A GYHOEDDWYD DAN OLYGIAD

Y TREFNYDDION CALFINAIDD,

GAN JOHN PARRY.

---

## LLYFR VIII.

---

CAERLLEON: ARGRAFFWYD GAN J. A J. PARRY

---

MDCCCXXXVIII.

# RHAGYMADRODD:

NEU

*Lythyr y Cyhoeddwr at ei Gydwladwyr y Cymry.*

ANWYL GYDWLADWYR,

Gyda mawr hyfrydwch yr ydym yn cyflwyno yr Wythfed Gyfrol o'r Drysorfa i'ch dwylaw, gan ddymuno codi colofn o goffadwriaeth am fawr ddaioni yr Arglwydd tuag attom, a'i galw yn Ebenezer, gan ddywedyd, "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd ni." Nerthwyd ni etto am flwyddyn gyfan i sefyll yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn: ïe, nerthwyd ni o wendid, i fod yn gryfion mewn rhyfel i yru byddinoedd yr estroniaid i gilio.

Yngborph y flwyddyn hon fe roddes Duw ymwared mawr a rhyfedd i filoedd o'n cyd-ddynion, a'n cyd-ddeiliaid, sef i'r holl Gaethion yn Nhrefedigaethau Brydain Fawr. Yn ol trefn ei Ragluniaeth ddoeth a da, fe oruwch-lywodraethodd Duw ddynion a phethau, fel y trodd y fantol, bron yn annisgwyliadwy, er gollyngdod i'r holl Brentisiaid yn Jamaica, Demarara, Antigua, &c., ar yr un dydd; sef y dydd cyntaf o Awst diweddaf. Gallwn ddywedyd yn ddiau am y dydd hwn, "Dyma y dydd a wnaeth yr Arglwydd, gorfoleddwn a llawenychwn ynddo." "O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni." Yn hyn, fel mewn pethau ereill, gwrandawodd yr Arglwydd ar weddiau ei bobl, ac fe lwyddodd yn rhyfeddol eu hymdrechiadau.

Drwy fod y duwiolion yn Mrydain yn tosturio wrth y trueiniaid hyn, ac yn arfer pob moddion cyfreithlawn tuag at eu rhyddâu o'u caethiwed caled, ac i hyny ddyfod i glustiau y caethion druain, fe ennillwyd eu meddyliau i barchu gwir Gristionogion, ac yn enwedig Cenhadon yr Efengyl, fel yr addfedwyd hwynt yn rhyfedd i dderbyn yn ewyllysgar ac awyddus bob addysg Gristionogol o'u genau hwynt. Parottodd hyn hefyd feddyliau y Caethion i gymmeryd eu harwain a'u rheoleiddio yn eu llawenydd a'u gwleddoedd ar ddiwrnod eu rhyddhad. Dydd rhyfedd oedd hwnw yn yr India Orllewinol. Yn awr y maent oll yn gweithio am gyflog fel pobl ereill ar ddyddiau yr wythnos, ac yn addoli Duw, ac yn derbyn addysg wrth y miloedd ar y Sabbathau.

Mewn perthynas i'r Werddon, fe wnaed mwy yn Senedd Brydain eleni tuag at wellhau cyflwr y Gwyddelod, yn sefydliad Cyfraith cynnaliaeth y tlodion yn eu plith, nag a wnaed er's blynyddau lawer. Hefyd, fe wnaed Trefniant ar Gyfraith y Degwm yn y wlad hono, lled debyg i'r Sefydliad a wnaed ychydig flynyddau yn ol yn Lloegr a Chymru.

Peth arall a wnaeth y flwyddyn hon yn un nodedig i Frydain oedd Coroniad ein Grasusaf Frenhines ar ddydd Iau, Mehefin 28. Cyflawnwyd y seremoniau coronawl gyda'r fath ddifrif-ddwysder a pharch, ac fe ddangoswyd y fath undeb, a'r fath hyfrydwch a gorfoledd ar yr achlysur, fel na welwyd ei gyffelyb er's oesoedd.

Hyfryd genym sylwi fod y cyfryw lwyddiant yn parhau i ddilyn ymdrechion Cymdeithasau Dirwest, yn enwedigol yn Nghymru, fel y mae sail gref i farnu yr alltudir yr holl ddiodydd meddwawl allan o'r Dywysogaeth cyn hir, fel na byddont i'w cael ond yn Masnachdai yr Apothecariaid.

Nis gallwn ni, ar ol ein holl lafur annogaethol i'r perwyl, gyfrif yn un o'r pethau lleiaf a dorodd allan y leni ymysg y corph y perthynwn iddo, gyfodiad gwawr "Cymdeithas Genhadol Gartrefol a Thramor." Gwel ein darllenyddion Lythyr brwdfrydawg ar yr achos hwn yn ein Rhifyn am Rhagfyr.

Anwyl Frodyr, y mae'r pethau hyn a'u cyffelyb, yn arwyddion arbenig o ddaioni Duw i'n gwlad, ac yn destyn llawenydd a diolchgarwch i ninnau.

Mewn perthynas i'r Cyhoeddiad hwn sydd genym mewn llaw, nid oes genym un achos cwyno na digaloni mewn un modd. Dyma yr wythfed flynedd wedi dyfod i ben er pan y mae y Drysorfa yn cael ei chyhoeddi yn fisol, ac mae cynnifer, os nid mwy, wedi cael eu gwerthu y flwyddyn hon ag un flwyddyn o'r blaen. Yr ydym yn difrifol a thaer erfyn ar ein hanwyl Frodyr i ymadnewyddu yn eu llafur i anfon i ni Drysorau buddiol er cyflenwi tu dalenau ein Rhifynau dyfodol, y rhai a fyddont yn lleshad i'n darllenwyr, ac yn emmau dymunol i'r oesoedd a ddel: trysorau gwerthfawr, pwysfawr, a pharhaus, ïe rhai ni heneiddiant, ac ni ddiflanant byth.

Ydwyf, yr eiddoch yn ddiffuant,

JOHN PARRY.

*Caerlleon, Rhagfyr* 1, 1838.

# DANGOSEG.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXV. IONAWR, 1838. LLYFR VIII.

## MYFYRDOD AR Y FLWYDDYN NEWYDD.

WELE flwyddyn arall wedi myned heibio! Y mae cylch amser fel ffrwd chwern yn parhaus-ddylifo; a llanw dygwyddiadau yn chwyddo ei gamrau mawreddig, fel nad oes a luddias nac a ettyl ei ymdaith; un genhedlaeth a â heibio, un arall a ddaw yn ei lle; ac yn fuan, bydd y rhai sydd yn ymsymyd ar esgynlawr bywyd yn bresenol, wedi ymadael oll, ac eraill wedi eu cyfleu yn eu lleoedd.

Gan hyny, y gofyniad pwysig ydyw, a ydym yn iawn-ymddwyn yn ein dosparthiadau, yn cyflawni dyben ein bodolaeth ar y ddaear, ac yn ddiwyd yn nghylch ein parottoad i esgyn i drigfan mwy cysurus yn y byd yr ydym yn prysur-deithio iddo. Gall y daionus a'r drygionus, y crefyddol a'r anghrefyddol dreulio.olyniad dyddiau misoedd a blynyddoedd gyd a chyffelyb deimladau mewn amrywiol ystyriaethau; ond y mae gan yr anghrefyddol achos cryf i ystyried eu sefyllfa gyda sobrwydd a difrifwch dwys, oherwydd eu bod yn prysuro i wyddfod eu Barnwr, a'u cyflwr yn anmharod; ac oddieithr i gyfnewidiad buan gymmeryd lle yn eu sefyllfa a'u cymmeriad hwy suddant cyn pen hir i golledigaeth dragywyddol! Ond gall y dosparth arall sydd yn credu yn Nghrist, yn mwynhau maddeuant pechodau trwy ffydd yn ei aberth ef, sef y rhai a sancteiddiwyd gan yr Yspryd Glan, ac ydynt yn byw bywyd o dduwioldeb a rhinwedd, fyfyrio ar dreigliad amser nid yn unig heb arswyd, ond gyda thawelwch a chysur. Tra y byddo pob blwyddyn, mis, a diwrnod yn prysuro dedfryd y pechadur anedifeiriol, y maent ar yr un pryd yn prysuro diwedd i holl helbulon y Cristion, ac yn ei ddwyn yn nes at ddechreu y gogoniant tragywyddol hwnw, a addawyd iddo yn yr Efengyl.

Ond wrth ddechreu bwyd yn arall, safwn am ychydig, i fyfyrio ar y rhan dreuliedig, y rhan bresenawl, a' rhan ddyfodawl o'n hoes.

1. Adolygwn y gyfran hono o'n bywyd ag sydd eisoes wedi ei threulio. Wrth wneuthyr hyn, dylem ddefnyddio gostyngeiddrwydd, edifeirwch, a dyolchgarwch. Ystyriwn yn ddyfal y troseddiadau lliosog o omeddiad a chyflawniad, dirgel a chyhoedd, y buom yn euog o honynt; dylem olrheinio y gyfres ffiaidd, a'r llechres ddu, eu chwilio yn ddyfal, cymmeryd cyfrif llawn o honynt, galaru o'u herwydd, eu cyffesu ger bron gorsedd gras, gan weddio am faddeuant o honynt a glanhad oddiwrthynt drwy Iesu Grist.

Galw i gof, ddarllenydd, yr amrywiol freintiau a dderbyniaist, a'r cymmwynasau neillduol a chyffredinol a fwynheaist trwy haeledd daioni Duw; myfyria ar amynedd, cyd-ddygiad, a charedigrwydd yr Arglwydd tu ag attat, nes y byddo dy galon yn ymenynu gan gariad cydnabyddol, a mawl yn dylifo yn ewyllysgar oddiar dy wefusau.

2. Ond, beth fydd ein hystyriaethau ar y flwyddyn breennol? Cofia mai hwn ydyw yr unig amser y gallwn ei alw yn eiddo i ni ein hunain; y mae y treuliedig wedi myned heibio, ac ni ellir galw munudyn o hono byth yn ol. Os darfu i ni ei gamddefnyddio, nid oes genym ond edifarhau am ein ffolineb a'n drygweddau. Ac am yr amser dyfodol, y mae yn eithaf ansicr, ïe yn gymmaint felly, fel nas gwyddom pa mor fuan na thrwy ba ddigwyddiad, y terfynir ein trigiad ar y ddaear.

Treuliwn y munud sydd mewn gafael yn well, gan ëangu a chryfhau ein diwydrwydd yn dyfal-geisio glanhad oddiwrth ein beiau,

sancteiddiad drwy ras, a pharottoad erbyn y cyfnewidiad prysur sydd yn ein haros.

Beth bynnag yw ein dyledswydd yr awr bresennol, ymdrechwn mewn ymddibyniad ar gynnorthwy gras Duw i'w chyflawni gyda ffyddlondeb, sirioldeb, a diwydrwydd; oherwydd bu seguryd, difatterwch, ac oferedd yn ddystryw i filoedd;—'Yn awr yw yr amser cymmeradwy, ac wele yn awr ddydd yr Iachawdwriaeth.'

3. Dylid meddwl hefyd yn ddifrifol am yr amser dyfodol, er ei fod yn ansicr; pa un a adewir ni ar y ddaear hyd y foru, neu a ychwanegir rhai blyneddoedd etto at ein hoes, sydd hollol anhysbys; ond os caniatta yr Arglwydd ohiriad i'n hamser yn y bywyd hwn etto, penderfynwn dreulio gweddill o'n dyddiau mewn llafur am sancteiddrwydd, ac i fod yn ddiwyd yn ngwasanaeth ein Duw, mewn ymddibyniad ar gynhorthwy Dwyfol ras.

O barth yr amgylchiadau cyfyng yr ydym i fyned drwyddynt yn y rhan sydd yn ol o'n heinioes, na feithrinwn feddyliau rhagofalus, oherwydd mae y peryglon a'r profedigaethau, y gofidiau a'r mwynderau, y poenau a'r cysuron, y trallodau a'r diddanion, a ragosodwyd yn ein rhan, yn hollol guddiedig oddiwrthym; ni ddylem, gan hyny, fod yn rhy bryderus yn nghylch ein sefyllfa ddyfodol yn y byd.

Gadawn y cwbl dan sylw a gofal y Duw hwnw, sydd anfeidrol mewn doethineb a daioni, gan weddio am gyflawnder o bob gras, er ein galluogi i fyned trwyddynt gydag amynedd a thawelwch.

Os ymddiriedwn yn ei ofal tyner ef, gan drosglwyddo ein hunain iddo mewn pob gweithred dda, amddiffynir, cedwir, a chynhorthwyir ni yn awr profedigaeth, cynhelir ni yn amser caledi, ac fe wneir i bob peth gydweithio er ein daioni, a'n derchafiad i ogoniant yn NEF Y NEFOEDD.

Cyf. IORWERTH GLAN ALED.

---

## HUNANYMHOLIAD.

Parhad tu dalen 366.

2. Mae y perygl o esgeuluso y ddyledswydd o Hunanymholiad yn ymddangos os ystyriwn y dianrhydedd ydym yn ei daflu ar Dduw yn yr esgeulusdra o hyn. Mae y rhai a esgeulusant eu holi eu hunain, yn eu hystyried eu hunain yn anymddibynol, canys ni chymmerant y drafferth i edrych i mewn iddynt eu hunain, a ydynt yn atteb dyben eu creadigaeth. Mae dynion drwy hyn yn gwneuthur eu hunain megis duwiau; yn taflu dirmyg mawr ar yr hwn sy deilwng o bob anrhydedd, trwy anufuddhau i orchymyn pendant y mae efe wedi ymostwng i'w roddi i ni, 'Eithr holed dyn ef ei hun.' Yr oedd Dafydd, brenin Israel yn ddiwyd gyda'r ddyledswydd hon, 'Yn ymddiddan â'i galon ar ei wely,' Psal. 4. 4. 'Bob nos,' medd efe, 'yr wyf yn gwneuthur fy ngwely yn foddfa; yr wyf yn gwlychu fy ngorweddfa â'm dagrau.' Psal. 6. 6. Yr oedd efe yn trin ei fatter rhyngddo a Duw law-law: neb ond efe a Duw wrtho. Crefydd y chwilio a'r profi, hon a ddeil brawf; ac nid treulio ein hoes ar antur heb wybod beth ydym yn ei gylch.

3. Mae y perygl o esgeuluso y ddyledswydd hon yn ymddangos os ystyriwn pa mor ddifrifol y byddwn yn fuan yn cael ein holi a'n profi, gan yr hwn sy berffaith mewn gwybodaeth. Dyma y pryd y cawn weled pa fath rai oeddym yn y byd. Dyma yr amser y byddwn yn rhoi cyfrif o'n gorchwyliaeth, ac o'r talentau a dderbyniasom yn y byd. Dyma y pryd y cawn ein gosod yn dragywyddol mewn un o ddau le.

Yn wyneb hyn, gwelwn mor resynol yw cyflwr y rhai sydd yn parhau mewn diofalwch a chysgadrwydd yspryd ynghylch pethau a berthynant i'w tragywyddol heddwch, ac yn esgeuluso y moddion y mae Duw wedi drefnu i'w hachub. Am hyny, iawn ddefnyddiwn ein tymhor, cyn myned o flaen y frawdle, fel y gallom roddi ein cyfrif i fynu yn llawen ac nid yn drist.

IV. *Ystyriwn pa fath beth yw bywyd o hunanymholiad.*

(1.) Mae yn fywyd ag sydd yn rhyngu bodd Duw. Mae yn fywyd rhesymol iawn, byw i Dduw ydyw. Rhuf. 6. 11. Byw yn yr olwg ar bethau Duw yn y dyn. 2 Pedr 1. 5, 6, 7. Rhyw fywyd cyssegredig yw. Byw mewn myfyrdod ynghyfraith yr Arglwydd ddydd a nos, gan holi ei hunan yn ei hwyneb hi. A ydyw efe yn amcanu am gydffurfio â hi mewn meddwl, gair, a gweithred? Ai hi yw rheol ei ymarweddiad? Ei lef barhaus ef yw, 'O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau.' Cyfarwydda fy nghamrau yn ol dy air, ac na lywodraethed

dim anwiredd arnaf.' 'Bydded ymadroddion fy ngenau, a myfyrdod fy nghalon yn gymmeradwy ger dy fron, O Arglwydd, fy nghraig a'm prynwr.' Nid oes gan hwn ond un i'w foddhau.

Holwn ninnau ein hunain, a ydym ni o nifer ei bobl ef? A ydyw ein nodweddiad yn cyfatteb i'r rhai y mae Duw yn addaw rhodio yn eu mysg? 2 Cor. 6. 16. A oes parch genym i orchymynion Duw? A ydym yn ymostwng i'w ewyllys ef?

(2.) Mae bywyd o hunanymholiad yn fywyd o heddwch â phob dyn. Mae cariad at bob dyn yn natur Crefydd Crist, 1 Ioan 4. 23. Ac yn effeithio er lluddias talu drwg am ddrwg, a sen am sen. Egwyddor y credadyn yw 'gwnawn dda i bob dyn, yn enwedig i'r rhai sydd o deulu'r ffydd, Gal. 6. 10. Mae yn caru hyd yn nod ei elynion, ac mae ei ymgais am ddilyn heddwch â phawb, o fewn terfynau sancteiddrwydd. Er fod y byd yn drahaus ac erlidgar, y mae efe wedi cyfranogi o yspryd ei Athraw, fel y mae yn gallu gweddio dros y rhai a wnelont niwed iddo.

(3.) Dyma y bywyd sy debycaf o fwynhau gwir heddwch cydwybod. O y fath drysor gwerthfawr yn yr enaid yw cydwybod dda! Mae cydwybod dda yn wir angenrheidioler dedwyddwch. Canys heb hon nis gallwn gael hyder ar Dduw; na nesâu atto yn gymmeradwy mewn un ddyledswydd; na chael cymmundeb ag ef. Heb hon nis gallwn agor ein genau yn gysson o blaid ei achos. Rhyw gyfeilles ryfedd o hoff yw cydwybod dda, wedi ei phuro trwy waed Crist. Dyma oedd yr achos fod Paul a Silas yn gweddio ac yn canu mawl yn y carchar, Act. 16. 25. Mae yr ysgrythyrau yn dangos yn amlwg fod y duwiolion yn ymdrechu llawer am gyrhaeddyd a chadw cydwybod dda. Hon a fu gynnaliaeth gysurus iddynt yn wyneb llawer o ddiffygiadau ac ystormydd a'u cyfarfyddodd hwynt yn y byd, Iob 13. 15. a 23. 10, 12. a 27. 5, 6. a 31. 1—40. Psal. 7. 3, 5. a 44. 17, 22. Esa. 38. 3. Act. 24. Rhuf. 9. 1. 2 Cor. 1. 12. Heb. 13. 18. 1 Pedr 3. 16, 21. 1 Tim. 1. 5.

(4.) Mae yn fywyd o ddiwydrwydd parhaus. Nid gwaith ar ddechreu ein crefydd yn unig yw hunanymholiad; ond peth cysson ar hyd ein hoes ar y ddaear. Ac os pallwn ynddo, buan yr ymddengys culni yn ein henaid. Mae hunanymholiad yn peri na byddom na segur na diffrwyth yngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist. 2 Pedr. i. 8.

(5.) Mae yn fywyd ffrwythlawn. Dyma y rhai sy'n cynnyddu fwy fwy ar ddelw Duw. Y rhai hyn a dderbyniant fywaf o les dan geryddon, fel y mae'r winwydden yn cynnyddu pan dorrer y canghenau diffrwyth ymaith: dyma y rhai a dderbyniant fwyaf o lesâd trwy wrandawiad y gair, a chynghorion y brodyr. Mae eu heneidiau yn cael eu gwneud fel daear ffrwythlawn. Dyma lle y mae ffydd, edifeirwch, a chariad at Dduw yn fwyaf llewyrchus; a dyma y rhai sydd yn ymddwyn yn fwyaf addas i efengyl Crist.

V. Rhesymau er annogaeth i bawb i fyned at y ddyledswydd bwysig hon.

(1.) Awn ar frys at holi ein hunain, rhag mai twyllo ein hunain yr ydym. Dyma fatter sydd yn teilyngu y difrifoldeb mwyaf, rhag cymmeryd sothach yn lle perl; rhag cymmeryd yr ûs yn lle gwenith, a Christ dychymygol yn lle Crist yr Ysgrythyrau, ac i ninnau heb ddyfod i wybod hyn nes y byddo yn rhy ddiweddar. Mat. 7. 22. 23. Iob 27. 8.

(2.) Mae yn rhesymol i ni holi ein hunain, oblegid 'pob un a ddwg ei faich ei hun.' Mae yr annuwiol wrth bechu yn casglu baich yr hwn a'i sodda i eigion trueni byth. Esa. 3, 4. Jer. 17. 10. a 32. 19, Rhuf. 14. 12. Nid yn ol y blaid y perthynom iddi, nac yn ol barn ereill am danom, ond yn ol y peth ydym mewn gwirionedd yngolwg Duw y'n bernir ni yn y dydd olaf. Jer. 3. 36. 2 Cor. 5. 10, 11. Llefwn gyda Dafydd am galon lân, ac yspryd uniawn.

(3.) Mae yn rhesymol i ni holi ein hunain er ein mantais; fel y caffom orfoledd ynom ein hunain. Ni ddichon fod ein gorfoledd o'r iawn ryw os nad ydym yn adnabod ein hunain. Nid tristwch i gyd yw crefydd Crist. Mae gan y gwir gristion achos gorfoledd mewn amryw ystyriaethau. Nid pethau tymhorol yw testyn ei orfoledd, ond pethau ni welir, y rhai ydynt dragywyddol 'Rhoddaist lawenydd yn fy nghalon,' medd Dafydd, 'mwy na'r amser yr amlhaodd e u

hŷd a'u gwin hwynt.' Psal. 7. 4. Ac meddai Paul, 'Hyn yw ein gorfoledd ni, sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol yr ymddygasom yn y byd. 2 Cor. 1. 12.

Gwelwn fod rhwymau difrifol arnom i fod yn bwysig gyda'r ddyledswydd o holi ein hunain. Ac yngwyneb ofnau lawer a ydym yn holi ein hunain yn iawn, dyneswn yn fynych at orsedd gras, gan daer weddio gyda'r Psalmydd, 'Chwilia fi, O Dduw, a gwybydd fy nghalon; prawf fi, a gwybydd fy meddyliau, a gwel a oes ffordd annuwiol genyf; a thywys fi i'r ffordd dragywyddol.' Psal. 139. 23. 'Pwy a ddeall ei gamweddau? glanha fi oddiwrth fy meiau cuddiedig; Golch fi yn llwyr ddwys oddiwrth fy anwiredd, a glanha fi oddiwrth fy mhechod. Glanha fi ag issop—crea galon lân ynof O Dduw, ac adnewydda yspryd uniawn o'm mewn,' &c. Fel hyn yr oedd efe yn deisyf gyda thaerni am gael ei hun a'i achos yn dda ger bron Duw.

Yn awr mi derfynaf hyn, gan ddymuno ar y neb a'i darlleno, i ymdrech i'w gwblhau mor boll ag y mae yn cydfyned â phur eiriau Duw. A'r Arglwydd daionus yn ei drugaredd a'n dygo oll i'r iawn, ac at ein dyledswyddau. A. R. C.

*Caerludd.*

# Rhagoriaethau y Bibl.

### 7. PEDR.

Pedr, mab Jona, a brawd Andreas yr apostol ydoedd frodor o Bethsaida. Ei enw ar y cyntaf ydoedd Simon, ond yr Iesu a'i galwodd ef Cephas, neu, fel y'i cyfieithir, Petr, pob un o'r ddau air o'r un ystyr yn arwyddo careg neu graig, ac yn dangos y mawr angenrheidrwydd o sefydlogrwydd mewn ffydd a dyledswydd. Pedr ydoedd yn mhlith y mwyaf ffyddlawn a brwdfrydig o ddisgyblion Crist: ond ei frwdfrydedd, ar rai achlysuron, a'i harweiniai hyd yn nod i chwidredd a byrbwylldra, yr hyn a achlysurodd ei gwymp arswydus trwy ei gamwedd galarus o wadu ei Arglwydd, ac a ddygodd warthnôd ar ei goffadwriaeth. Ei edifeirwch, pa fodd bynag, ydoedd yn gyfartal nodedig, a'i fywyd a'i lafur canlynol ydynt yn ei brofi i fod yn un o'r rhai enwocaf o'r disgyblion, a mwyaf defnyddiol o apostolion Iesu Grist. Ychydig iawn a wyddys mewn sicrwydd am y gweinidog hynod hwn i'r efengyl, heblaw yr hyn a grybwyllir yn y Testament Newydd, hyd dderbyniad y Cenhedloedd i eglwys Crist, Act. xv. Y Pabyddion ydynt yn haeru ei fod yn esgob Rhufain dros bum mlynedd ar hugain, ond nid oes genym ddim amlygrwydd, yn mhellach na thraddodiad ammheus iddo ef erioed fod yn Rhufain, llawer llai ei fod yn esgob yr eglwys gristionogol yn y ddinas hono. Mae traddodiad yn dywedyd iddo ddyfod i Rhufain yn amser yr erlidigaeth dan Nero; a'i fod wedi cael ei ddal a'i roddi i farwolaeth dair milldir o'r ddinas. Dywedir hefyd, wedi ei farnu i'w groeshoelio, wrth gofio y modd gwarthus y darfu iddo wadu ei Iachdwdwr, iddo ddeisyf caniatâd i ddyoddef a'i ben i lawr, fel yn annheilwng o gael marw yn yr un ystum a'i Arglwydd, yr hyn ydoedd dull ei gospedigaeth, O. C. 66. Mae genym ddau epistol wedi eu hysgrifenu gan yr apostol ymroddedig hwn.

### 8. JUDAS.

Iudas neu Lebbëus, yr apostol, yr hwn a gyfenwid Thaddëus, ydoedd frawd i Iago y lleiaf, ac ysgrifenydd yr epistol sydd yn dwyn ei enw. Yn nechreuad ei weinidogaeth, efe a bregethodd yr efengyl yn Iudea, Samaria, Galilea, ac Idumea, ac wedi hyny yn Arabia, Syria, Mesopotamia, a Phersia, gan gadarnâu ei athrawiaeth â gwyrthiau. Nid oes genym hyspysrwydd sicr am y lle y terfynodd ei weinidogaeth, er ei fod yn cael ei adrodd gan rai mai y Magi a'i rhoddasant i farwolaeth yn Persia.

### YR EFFAITHIAU A DARDDANT O FYFYRDOD PRIODAWL AR WEITHREDOEDD NATUR.

Yn mha le bynnag y byddom, fe'n cylchynir gan weithredoedd Duw, fel nas gallwn daflu ein golygon i un man, heb ganfod llaw yr hwn a'n ffurfiodd, oddieithr i hyny gael ei achosi trwy aumhuredd cymmysglyd meddyliau ein calonau ein hunain.

Tröed dynion diofal a difeddwl draw am ychydig oddiwrth gyrchfan oferedd, gan sefyll ac ystyried gweithredoedd rhyfeddawl Duw, gyda difrifoldeb, a gwneuthyr prawf manylaidd o'r effaithiau a gynnyrchir gan y cyfryw ymddygiad. Eängid eu cysur yn llawer mwy, pe byddai eu hadnabyddiaeth

o weithredoedd Duw yn gyflawnach; pe encilient, o gymdeithas dynion penrhydd ac afrëolaidd, at olygfëydd ysplenydd natur; pe trigent yn amlach yn mlith eu rhyfeddodau, gan ymddifyru yn fwy digymmysg yn eu godidawgrwydd.

Ffurfiai hyn fwy o archwaeth ynddynt at ymborthi ar gysuron o natur anllygredig a diniwed, gan ddangos iddynt fwy o ardderchawgrwydd mewn mwynderau tyner, pell mewn rhagoriaeth, uwchlaw cynnwrf a therfysg ymddifyrion rhydd-wyllt plant y byd.

Ond pan yr ystyrir *gweithredoedd natur* yn eu perthynas â'u Crëawdwr, achlysurant ymsyniadau uwch a phwysfawrocach fyth; gan hyny, goddefer imi alw fy nghyfeillion i ddefnyddiaw y seibiant presennol er taflu golwg ar, a dwysystyried y byd o'n cylch.

Derchafwch eich trem ar fwa anferth y nef, yr hwn sydd fel cylch i'r ëangder; deliwch sylw ar yr *Haul* ysplenydd yn ymdreiglaw uwch eich penau y dydd, a'r Lleuad yn ei mawrhydi llariaidd y nos, yn gylchedig gan y llengoedd hyny o ser, sydd yn ymddangos i'r golygon fel llüoedd afrifawl o fydoedd; gwrandewch ar rû chwyddedig y daran yn ymdori, a chrychferwad y dymestl yn troelli ei phleth âg udiadau y weilgi. Arolygwch etto, y rhyfeddodau a lanwant y ddaear ar ba un yr ydych yn trigo; dwys ystyriwch y llaw nerthawl a chadarn, sydd yn dwyn Cynhauhaf a Haf, Gwanwyn a Gauaf, oddiamgylch mewn trefn r aid; yn addurnaw y ddaear â phrydferthion aneirif; yn ei brith-wisgaw âg amrywiol ddospeirth o fywiolion, ac yn arllwys cysuron yn helaeth ar eu hamryfal drigiaid; er ar yr un pryd yn derchafu llywodraeth arswyd ymhlith y cenedloedd, pan y boddheir ei ewyllys, drwy i'r Elfenau farchogaeth eu rhwysg, gan anadlu chwyldroelliad arolygawl yn ngwyneb cywrein-drefnion dynionach, o dan lywodraeth awenau doethineb a chyfiawnder yr IOR.

Wedi sylwi arnoch eich hunain yn gylchedig gan y fath olygfëydd aruthrawl, ac wedi syn-dremio ar bob cŵr, a rhyfeddu y gorwychedd serch-ddenawl yn ei unedigaeth â doethineb a daioni, yr hwn a ledir ger eich bron, onid ydych yn teimlaw eich hunain yn llethedig gan arswyd difrifawl a goruchel? Onid oes rhyw beth yn sibrwd o'ch mewn, fod ymostyngiad a pharchedigaeth yn ddyledus i'r Creawdwr anfeidrawl oddiwrth yr holl fodau rhesymawl a greodd?

Wedi eich cenhad-hau i arolygu ei weithredoedd ef, ac wedi eich cyfleu yn nghanol gwrth-ddrychau mo'r ryfeddawl, a ellwch chwi gredu y dygwyd chwi i'r fath le, heb amgen bwriad nag i chwi ymsuddo mewn mwynderau llygredig, anifeilaidd, a disylwedd; yn ddieithr i bob teimlad dyledus oddiwrth y rhyfeddodau a ganfyddwch, i bob parchedigaeth i'r Duw hwnw a roddodd fodolaeth i chwi, ac a gyfododd adeilad aruthrawl natur, ar ba un nid edrychwch ond gyda llygaid ystyfnig ac anystyriawl?

Na: gadewch i'r golygfëydd a ymledant o'ch blaen, ddëor teimladau cydnabyddawl yn eich mhynwe-au, eich deffroi o feddwad difreiniawl penrhyddid, i ymarferyd ysgogiadau o natur ardderchoccach. Y mae pob gwrth-ddrych a ganfyddir mewn natur (pa un bynnag a'i bychan ai mawr) yn alluawg i wasanaethu er eich hyfforddiad; o'r seren danllyd, hyd y gwybedyn ysgafn-gorff; o'r wreichionen ddiflanawl, hyd flodau gweiniaid gwanwyn; o'r maes gwyrdd-las, hyd y mynydd cribawg; y maent oll yn arddangos gallu goruchel yr hwn y dylech grynu ac addoli o'i flaen, yn pregethu athrawiaeth, ac yn bywiogi yspryd duwiolder a pharchedigaeth.

Mewn perthynas i'w weithredoedd ef, gan hyny, goddefer i gynhyrfiadau o ddifrifoldeb a diolchgarwch alw o'ch eneidiau ymadroddion cyffellyb i'r rhai hyn; '*Arglwydd, pa le bynnag y byddwyf, a pha beth bynnag a fyddwyf yn fwynhau, na ad imi byth dy anghofio di fel* AWDUR NATUR! *Na ad imi anghofio mai dy greadur ydwyf; nertha fi i fod yn un o dy addolwyr ffyddlawnaf, yn nheml fawreddig y bydysawd y'm cyflewyd ynddi; a bydded parch i, ac ofn tu ag at Dduw yn* EGWYDDORION PLANEDIG YN FY NGHALON.

IORWERTH GLAN ALED.

---

'DUW CARIAD YW.'

'Nid yw holl berffeithiau Duw, a'u gwahanol ffyrdd yn gweithredu, ond cynnifer o amlygiadau ei gariad. Pa beth ydyw ei Hollalluogrwydd ond braich ei gariad? Pa

beth yw ei Hollbresennoldeb ond y cyfrwng drwy ba un y mae efe yn edrych ar wrthrychau ei gariad? Pa beth yw ei Ddoethineb ond dyfais ei gariad? Pa beth yw cynnygiadau yr Efengyl ond gwahoddiadau ei gariad? Pa beth yw bygythion ei gyfraith ond rhybuddion ei gariad? Llais uchel ei gariad yw yn dywedyd, 'Y dyn, na wna i ti dy hun ddim niwed.' Maent yn glawdd oddeutu pydew dinystr, i rwystro dynion rhyfygus rhag syrthio iddo.

Pa beth ydoedd cnawdoliaeth y Gwaredwr ond ymddangosiadau cyfoethocaf ei gariad? Pa beth ydoedd y gwahanol wyrthiau a gyflawnodd efe ond ymostyngiadau ei gariad? Pa beth oedd ocheneidiau Crist ond anadl ei gariad? Pa beth ydoedd gweddiau Crist ond dadleuon ei gariad? Pa beth oedd ei ddagrau ond gwlithog ddefnynau ei gariad? Pa beth yw y nefoedd ond *Alps* ei drugaredd, o uchder pa un y mae ei fendithion yn disgyn mewn mil o ffrydiau i wrteithio a dyfrhau ei Eglwys sefydledig wrth ei draed?'—Y Parch. Dr. Waugh. Cyf. MARA.

*Caerfyrddin.*

---

## Hanesiaeth Eglwysig.

*Sef Hanes Eglwys Crist o ddyddiau yr Apostolion hyd yn awr.*

Fe lwyddodd yr Efengyl yn rhyfeddol iawn yn nyddiau yr Apostolion, fel y gwelwn wrth ddarllen Llyfr yr Actau. Mewn ufudd-dod i orchymyn eu Harglwydd, 'Ewch a dysgwch yr holl genhedloedd,' aeth yr Apostolion allan i gyhoeddi y 'Newyddion da o lawenydd mawr,' i amrywiol wledydd y Cenhedloedd. Bu disgyniad yr Yspryd Glan ar Ddydd y Pentecost, pryd yr oedd cynnifer o bobl o wahanol wledydd ac amrywiol ieithoedd yn Ierusalem yn offerynol i gychwyn y gwaith mawr hwn, Act. ii. 1—12. Llanwodd yr Apostol Paul y Gwledydd o Ierusalem hyd Illiricum a chyhoeddiad o air y gwirionedd 'ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid.'

Fe fu y doniau gwyrthiol a ddisgynasant ar yr Eglwysi yn nyddiau yr Apostolion hefyd yn offerynol ryfeddol er ymledaeniad yr Efengyl; fel y gwelwn yn neillduol yn yr Eglwys liosog a blodeuog Corinth, 1 Cor. 12. 8—10. Yr oedd y doniau hyn yn amrywiol ac yn gyhoeddus iawn; megis datguddio dirgeledigaethau, llefaru mewn amrywiol ieithoedd, iachau y cleifion, &c.

Pedr hefyd a bregethodd yr Efengyl yn mhlith yr Iuddewon gwasgaredig drwy holl Syria, ac Asia leiaf. Efe a estynodd ei lafur i Babilon,* lle y bu yn offerynol i blanu Eglwys, 1 Pedr 5. 13. Ac o'r lle yr ysgrifenodd efe ei Epistol cyntaf, os nid yr ail hefyd. Planwyd Eglwysi yn Rhufain, Corinth, Galatia, Ephesus, Philipi, Colossa, Thessalonica, Asia leiaf, a holl Wlad y Groegiaid, &c. Aeth sain yr Efengyl drwy y rhan fwyaf o'r byd, ag oedd yn adnabyddus y pryd hyny, sef hyd eithaf terfynau llywodraeth Rhufain.

Tra bu yr Apostolion byw, edrychid i fynu attynt, ac ymofynid â hwynt, gan yr holl Gristionogion, ar bob achlysur o bwys. A phan gyfodai unrhyw ddadl yn mhlith yr Eglwysi anfonid at yr Apostolion am eu barn a'u penderfyniadau hwy ar yr achos, er sefydlu undeb a thangnefedd yn eu plith.

Tua diwedd yr oes Apostolaidd, ie mor foreu a'r flwyddyn Oed Crist 65, cododd erledigaethau mawrion a dinystriol iawn yn erbyn y grefydd gristionogol, y naill ar ol y llall, y rhai a barhasant, heb nemawr o seibiant, hyd y bedwaredd can mlynedd o Oed Crist, neu fel y geilw Ysgrifenwyr yn gyffredinol, hyd y bedwaredd Ganrif. O'r erledigaethau creulawn hyn fe gyfrifir yn gyffredinol ddeg o nifer.

Yr erledigaeth gyntaf a gyfododd yn nghanol y byd Paganaidd, sef yn Rhufain.

Yr Ymerawdwr Nero, yr hwn nid oedd nodedig am ddim ond am ei greulonderau, yn fuan wedi ei ddyfod i'r orsedd, a laddodd ei Warcheidwaid, a'i fam ei hun, a'i wraig ei hun. A chyn hir efe a ddyfeisiodd ffordd i erlid a lladd y Cristionogion. Yn ei ynfydrwydd am ddyrchafiad a mawredd iddo ei hun, efe a roddes ddinas Rhufain

* Yr oedd hen ddinas fawr Babilon wedi ei llwyr ddinystrio rai oesoedd cyn hyn, ac nid adeiladwyd hi hyd y dydd hwn. Ond gelwir y wlad o amgylch y fan lle yr oedd y ddinas fawr hono, yn Babilon, neu Babilonia, ac weithiau Caldea, Psal. 137. 1.: oddiyma yr ysgrifenodd Pedr ei Epistol. Cynnwysai y wlad hon y taleithiau canlynol:—Vologesocerta, Borsippa, Idiccara, Coche, Sura, a Pompeditha.

ar dân, i'r dyben, mewn rhan, o gael yr anrhydedd o'i hadeiladu hi o newydd, yn ddinas ardderchog, i ddangos ei gyfoeth a'i fawredd. Rhoddes hi ar dân mewn amryw fanau ar unwaith, a hi a fu yn llosgi am saith niwrnod, hyd nes y llosgodd pum ran o saith o honi yn ulw. A rhag i ddialedd y trigolion gyfodi i'w erbyn a'i ferthyru am ei draha, efe a ddyfeisiodd ac a gyhoeddodd y celwydd mwyaf maleisus a ddaeth erioed o ben dyn, sef 'mai y Cristionogion a roddodd y ddinas ar dân!' Hyn a wnaeth efe i'r dyben hefyd o godi a chynnyrfu cynfigen y trigolion i'w herbyn hwynt.

Llwyddodd Nero i ennyn llid y bobl i ymddial yn ddiarbed ar y Cristionogion. Dyfeisiwyd amrywiol ffyrdd i'w dyfetha yn y modd creulonaf. Gwnïwyd cannoedd o honynt i fynu yn fyw mewn sachau, gan ystwffio carth gyda hwynt o amgylch eu cyrph. Yna taenwyd pyg *(pitch)* ar hyd y sachau oddiallan; wedi hyny rhwymwyd y sachau hyn wrth bolion plannedig yn y ddaear, yn rhes fawr ar hyd yr heol, a dodwyd tân ymhen y rhes i'w llosgi y naill ar ol y llall ar ei hyd. Gwnaed hyn amryw weithiau yn y nos, i oleuo Nero a thrigolion y ddinas yn eu mynedfa i'w cyfarfodydd anllad a llygredig. Gwnïwyd llawer o honynt i fynu mewn crwyn anifeiliaid gwylltion, ac yna dodid hwynt o flaen cwn i'w llarpio a'u darnio yn ddidrugaredd, er difyrwch i'r bobl anwâr. Hoeliwyd eraill ar groesau, gosodedig yn ngerddi Nero, er dirmyg arnynt am son cymmaint am 'yr hwn a hoeliwyd ar y groes.' Ereill a ddirdynwyd, ac a laddwyd drwy y moddion mwyaf creulon a chïaidd a allasai dynion y fall ddyfeisio: a dyma y pryd y lladdwyd yr Apostol Paul.

Oddeutu yr amser pan oedd yr erledigaeth yn boeth iawn yn Rhufain, cododd erledigaeth ofnadwy yn Ierusalem. Lladdwyd Iago, brawd yr Arglwydd: a phan oedd efe yn gweddio, yn gyffelyb i'w Arglwydd o'i flaen, 'O Dduw, maddeu iddynt, canys ni wyddant beth maent yn ei wneuthur,' tarawodd un o'r erlidwyr ef ar ei ben â chlwb, ac efe a fu farw yn y fan. Fodd bynag, hon oedd un o weithredoedd olaf a gyflawnodd yr Iuddewon yn erbyn y Cristionogion, canys cyflawnwyd mesur eu hanwiredd hwynt, a'r dialedd cyfiawn a ddisgynodd arnynt yn ofnadwy iawn, yn ol yr hyn a ragddywedwyd gan Grist yn Luc 19. 43, 44.

Ni fu yr Iuddewon erioed yn esmwyth dan iau y Rhufeiniaid, ac fe fu ymddygiad eu Llywodraethwr diweddaf, Gessius Florus, yn achlysur o gynnyrfu eu digasedd yn fwy nag erioed. Yr yspryd gwrthryfelgar, wedi bod yn hir dan gudd, a ail ennynodd yn awr yn fwy nag erioed. Ni chafodd 'arwyddion yr amserau,' cyffredinol nac anghyffredinol, ddim effaith ddaionus ar y genedl wargaled ac ynfyd hon. Yn unig y Cristionogion, y rhai oeddynt yn Ierusalem, gan ystyried cynghor eu Harglwydd yn Luc 21. 20, 21. a ymbarottoisant i ffoi o'r ddinas gyda brys; a'r brenin Agrippa a barottodd iddynt y dref fechan, Pella, y tu hwnt i'r Iorddonen i breswylio ynddi, megis mewn dinas noddfa. A diau i lawer o honynt ffoi i leoedd ereill hefyd, canys yr oedd nifer y Cristionogion y pryd hyn yn rhy liosog i'w cynnwys yn y dref hono.

Gwarchaewyd ar Ierusalem gan luoedd Vespasian, Milwriad Rhufeinaidd; a phan ddewiswyd ef i fod yn Ymerawdwr, cymmerodd ei fab Titus ei swydd ef yn y gwarchae. Yr oedd y ddinas y pryd hyny agos yn anorchfygadwy, am ei bod wedi ei hamddiffyn mor gadarn wrth natur, a thrwy gelfyddyd, ac iddi y fath warchawdlu. Ychydig cyn i Titus ei gwarchae hi, yr oedd lliaws o bobl wedi dyfod i fynu i Ierusalem i gadw gwyl y pasc; ac y mae Josephus, Hanesydd Iuddewig enwog, yn sicrhau, fod dros filiwn a hanner o bobl y pryd hyny wedi eu cau i fynu yn Ierusalem.

Dyma awr olaf y ddinas fawr Ierusalem wedi dyfod, y ddinas enwocaf yn yr holl fyd. Pan oedd Abraham yn offrymu ei fab Isaac ar ben mynydd Morïah, lle wedi hyny yr adeiladwyd y Deml, nid oedd y fan y pryd hyny ddim amgen nag anialwch. Erbyn i feibion Israel adael yr Aipht yr oedd yno ddinas wedi ei hadeiladu, yr hon yn nosbarthiad gwlad Canaan, a syrthiodd i ran Iuda a Benjamin. Y ddinas, fel yr oedd y pryd hyny, a losgwyd, ond y Iebusiaid a'i hail-adeiladasant hi, a Dafydd frenin a'i hennillodd hi oddiarnynt, ac a'i gwnaeth yn breswylfod brenhinol.

Dan deyrnasiad Dafydd, ac yn enwedig Solomon, yr oedd Ierusalem yn ddinas en-

wog a chyfoethog iawn. A Solomon a chwanegodd yn ddirfawr at ei harddercholgrwydd drwy adeiladu ynddi y Demi sanctaidd, yr hon oedd yn rhyfeddod yr holl fyd. Llosgwyd y Deml hon ynghyd a'r Ddinas gan Nebucodonosor, brenin Babilon. Ond mewn 'amseroedd blinion' fe adeiladwyd Teml arall gan yr Iuddewon ar ol eu dychweliad o Babilon, yr hon oedd ymhell islaw i'r gyntaf. Bu ymosod grymus ar Ierusalem yn amser y Maccabeaid. Ond fe'i hamddiffynwyd hi yn rhyfeddol y pryd hyny, rhag ei llwyr ddyfetha.

Yna Herod fawr a ail-adeiladodd y Deml mewn rhan, ac a'i haddurnodd hi yn ddirfawr â chostau mawrion. Pan ddaeth Crist i'r Deml hon, yr hyn oedd yr anrhydedd mwyaf a allai y Deml gael, yn ol y brophwydoliaeth, 'Bydd mwy gogoniant y tŷ hwn na'r cyntaf,' Hag. 2. 9. yr oeddis wedi bod chwe blynedd a deugain yn ei hadeiladu, yn ei helaethu, ac yn ei haddurno hi.

Fel hyn yr oedd y Deml wedi dyfod drachefn yn un o'r adeiladau harddaf yn y byd, fel yr oedd yn rhyfeddol i edrych arni, Marc 13. 1. Ac yr oedd Titus ei hun yn dymuno yn fwy na dim na ddinystrid hi. Ond yr oedd raid cyflawni gair yr Iesu, 'A weli di yr adeiladau mawrion hyn? Ni adewir maen ar faen ar nis dattodir,' Marc 13. 2. Pa ddyben a attebai muriau cedyrn y ddinas i'r trigolion!

Parhaodd y gwarchae nes y daliwyd y trigolion lliosog â newyn tost iawn. A phan ddarfu yr holl fwyd, hwy a ddechreuasant fwyta llygod, lledr, &c.; ac hyd yn nod cnawd dynol; ac yfasant waed dyn! Lladdodd mamau eu plant eu hun i'w bwyta rhag newynu! I chwanegu at y dinystr anaele, yr oedd ymryson, rhyfela, a thywallt gwaed eu gilydd y naill ddydd ar ol y llall yn parhau ymhlith y trigolion yn Ierusalem. Dangosodd yr Iuddewon i'r byd y pryd hyn, fod y farn a ddisgynasai arnynt oddiwrth Dduw yn farn gyfiawn. Eu pechodau yn erbyn yr Arglwydd oeddynt ofnadwy, a'u barn hwynt oddiwrth Dduw oedd ofnadwy iawn.

O'r diwedd rhuthrodd milwyr Rhufain i mewn i'r ddinas am ben y trigolion newynllyd, ac a laddasant bawb a'u gwrthwynebent—llosgwyd y deml gan y milwyr yn eu cynddeiriogrwydd, er ymhwedd o Titus y Milwriad am iddynt ei harbed, ni adawyd maen ar faen o honi—llwyr ddinystriwyd Ierusalem, caethgludwyd dauarbymtheg a phedwar ugain o filoedd o'r Iuddewon, a lladdwyd drwy y naill ffordd a'r llall o honynt un cant ar ddeg o filoedd yn y gwarchae digyffelyb hwn!

Fel hyn y dinystriwyd y ddinas enwog hon; ac fel hyn y terfynwyd Trefniadau llywodraeth wladol yr Iuddewon, ynghyd a'u holl sefydliadau crefyddol hwynt fel cenedl.

(I'w barhau.)

---

## HANES

*Dechreuad a Chynnydd y Trefnyddion Calvinaidd yn Llanarmon Dyffryn Ceiriog, Swydd Ddinbych.*

Haeddbarch Syr,—Yr ydym yn ddyledus am gynnwysiad yr Hanes canlynol i'r hen wr parchus hwnw, Mr. John Hughes, Aelycorydd, oddigerth ychydig frawddegau a ychwanegwyd gan Mr. Richard Morris, Llanarmon. Gobeithiwn y cawn weled cyn hir y cyfryw hanes a hwn, o barth dechreuad a chynnydd y Trefnyddion Calvinaidd, o ranau ereill o'r Dywysogaeth.

Yr eiddoch yn ddiffuant,

J. Thomas,

*Bala*, 1837. J. Phillips.

Nid oes yr un ardal yn Nghymru o'r bron na dilynwyd dechreuad yr achos crefyddol ynddi â phethau hynod a rhyfeddol iawn. Pan oedd yr erlidwyr fel meirch porthiannus yn prangcio yn eu cynddaredd, gofalodd yr Arglwydd am ryw Obed Edom i lettya yr arch, yr hwn sydd heddyw, â'i deulu hefyd â'u coffadwriaeth yn fendigedig.

Ym mhlith rhai o'r ardaloedd hyn, nid y fwyaf anenwog yw Llanarmon, Dyffryn Ceiriog; sylwedd hanes pa un a roddir yn y llinellau canlynol:—

Bernir fod rhai o ddilynwyr y Parch. Howel Harris, yr hen Ddiwygiwr enwog Cymreig, wedi bod yn pregethu mewn tŷ yn y plwyf hwn, a elwir Pen-y-cae-mawr, o'r blynyddoedd 1740 i 1750. Ni wyddis yn iawn pwy ydoedd y gwr hwn, a fu yn pregethu gyntaf yn yr ardal hon, ond gellir barnu fod ei weinidogaeth ef wedi bod yn foddion i godi awydd mawr mewn dau wr yn y gymmydogaeth, sef Edward Jones, Caehir, a Robert Edwards, Megen, i fyned i'r Bala, ym mhen oddeutu wyth mlynedd

wedi hyny i wrando pregethau i'r Gymmanfa (*Association*) Erbyn iddynt fyned i'r dref, yr oeddynt yno wythnos yn rhy fuan. Yn chwerwder y siomedigaeth hon clywodd Mrs. Foulkes, gwraig Mr. Thomas Foulkes, (hen bregethwr ffyddlon yn ei ddydd gyda'r Trefnyddion Calvinaidd,) a mam i wraig y diweddar Barch. T. Charles, G.C. o'r Bala, am danynt, ac wedi iddi alw arnynt ati croesawodd hwynt yn wresog yn ei thŷ, gan eu gwahodd yn daer i ddyfod wedi hyny yr wythnos drachefn. Yn y cyfamser dechreuai Mr. T. Foulkes holi, pa fath le oedd Llanarmon? ac a gaffai efe ddyfod yno i bregethu? Wedi yr ymddiddan hwn, aeth y gwyr i'w ffordd yn llawen, a chyhoeddiad Mr. Foulkes gyda hwy; ond erbyn rhoddi y gair allan, bu cynnwrf aruthrol trwy yr holl fro, a hyny i'r fath raddau fel na chaed cadw dim moddion cyhoeddus y Sabboth hwnw ym mhlwyf Llanarmon. Ond er eu siomi fel hyn yn eu cais, bu i'r Arglwydd ofalu am i'w air gael ei bregethu, a hyny yn y dull canlynol;—Yr oedd brawd i wraig Robert Edwards, Megen, yn dal tyddyn yn mhlwy Llansilin, yr hwn a elwir Ty'n y fedw, yn nghymmydogaeth Llanarmon, ac yma yr agorwyd y drws i gael cynnal yr odfa gyntaf.

Pan ddeallwyd fod yno un yn dyfod i bregethu, fe ddaeth lluaws mawr o wrandawyr ynghyd, a'r olwg arnynt yn dra anystyriol; ond wrth wrando ar eiriau yr hen weinidog ffyddlon ag oedd yn pregethu ar y pryd, ac edrych ar ei ddagrau, dychwelent i'w cartref leoedd yn wahanol iawn wrth yr hyn oeddynt yn dyfod yno ar y cyntaf: ac amryw o'r rhai oeddynt yn bresennol, o ba rai y mae un yn fyw hyd y dydd hwn, a dystiasant iddynt gael llawer o les i'w heneidiau yn yr odfa hon. Wedi hyn y bu cynnwrf mawr yn y plwyf. Pan y caed cyhoeddiad gwr dieithr drachefn yr oedd yn anhawdd cael lle iddo i bregethu. Yr oedd yr erlidwyr erbyn hyn wedi ymgynhyrfu i eithafion creulondeb, ac un gwr urddasol a gyfodai i ddarllen y Weithred Seneddol (*Act*) iddynt, gan nodi, yn eiddigeddus ddigon, fod Pum Punt o ddirwy ar bwy bynag a'i derbyniai i'w dŷ, a phum swllt ar y neb a elai i'w wrando. Ar ol hyn yr oedd y terfysg yn cynnyddu fwyfwy —teuluoedd cyfain yn ymrann yn erbyn eu hunain—y gwyr yn anfoddloni i'w gwragedd fyned i wrando—a'r rhïeni yn ceryddu eu plant. Er cymmaint oedd y bygythio a'r ceryddu, y cynnwrf a'r terfysg, yr oedd yno rai yn zelog am i air yr Arglwydd gael ei bregethu, ac yn yspryd y Diwygwyr cyntefig, am ddangos eu bod ar du yr Arglwydd, ac yn meddwl am ei enw ef; er bod y byd yn tyrfu, a'i benaethiaid yn creuloni ynghyd.

Yn y cyfwng hwn daeth un gwr dieithr i bregethu i Megen (amaethdŷ agos i'r Llan) a phenderfynodd gwraig Richard Hughes, Sarphle, fyned yno, deued y canlyniad a ddeuai, a'r hyn a'i cymhellodd i fyned i wrando gyntaf oedd clywed fod y gwyr hyn yn arfer gweddio drosti pan oedd hi yn glaf. Pan oedd yn ymbarotoi fel hyn i fyned, daeth ei gwr ati, ac a ddywedodd wrthi yn ddifrifol iawn—'Os ydwyt ti yn myned i'r odfa mi âf finnau ac a roddaf y tir yma i fynu.' Ond er y cwbl i gyd myned a wnaeth hi i'r odfa, ac aeth yntau ar gefn ei farch i roddi y tir i fynu; ond wrth fyned heibio i'r tŷ lle y cynnelid yr odfa, fe ddisgynodd oddiar ei farch, ac a orweddodd ar y tô, i wrando ar y gwr yn pregethu; a bernir iddo gael peth boddlonrwydd yn yr hyn a draddodid, oherwydd bu iddo ddychwelyd adref heb fyned gam ym mhellach i roddi ei dir i fynu.

Parhau yr oedd y terfysg o hyd, a llawer o chwedlau celwyddog yn cael eu taenu am y pregethwyr hefyd. Yr oedd amryw o bregethwyr o'r Deheudir a'r Gogledd yn arfer dyfod y ffordd hon, ac yn eu phlith un Lewis Evans, Llanllugan, yr hwn a fu yn pregethu gyntaf yn y fan y mae Capel Tre Geiriog yn sefyll arno yn bresennol. Bu y gwr hwn yn destyn nodedig i falais y gelynion, ac ym mhlith llawer o gelwyddau ereill taenasant y gair fod Lewis Evans wedi cael ei grogi am ladrata ceffylau. Ond pan oedd y sŵn yn uchel, a'r chwedl yn cael ei thrafod felysaf gan y gelynion, daeth gair fod gŵr dieithr yn dyfod yno yn fuan i bregethu, ac er mawr lawenydd i'r bobl druain a erlidid ar air a gweithred, ac a garent ymgasglu i wrando gair yr efengyl, pwy oedd y gwr dieithr, neb amgen na Lewis Evans ei hun. Fel hyn y datguddiodd Duw eu celwyddau yn y fan, a pharodd ddistawrwydd tragywyddol ar lawer o

erlidwyr, a chyfnewidiad meddwl yn llawer o honynt; a gwelodd y wlad yn gyffredinol mai celwyddau oedd llawer o'r chwedlau a daenid ganddynt.

Ond er y cwbl, yr oedd yr anhawsdra i gael lle i bregethu yn parhau o hyd. Yn mhen ychydig o amser fe roddodd Richard Hughes, Sarphle, genad iddynt i ddyfod i bregethu o dan fasarnen gysgodfawr ag oedd yn tyfu wrth y tŷ. A phan y digwyddai wlawio byddai mor hynaws a gadael iddynt ddyfod i mewn i'r tŷ.

Pa fodd bynag buan y gwybu y meistr tir am hyn, ac efe a roddes rybudd i R. Hughes i ymadael â'r fferm neu beidio achlesu pregethu yn ei dŷ. Ond ymadael orfuwyd, a myned i le gwaelach.

Cynnelid moddion crefyddol o hyd yn Sarphle hyd yr amser yr ymadawodd R. Hughes oddi yno, a chafodd llawer y fath les ynddynt na ollyngasant yn anghof tra y buont ar y ddaear, ac am ba un, y mae lle cryf i hyderu y maent yn canu yn awr yn y nef, yn enwedig mewn un bregeth gan Mr. Dafydd Morris ar yr ymadrodd hwnw, 'Dyro gyfrif o'th oruchwyliaeth.' Cymmaint oedd effeithiau rhyfeddol yr odfa hon fel yr oedd pawb o'r bron yn wylo. Ac fel yr oedd llawer o'r gwrandawyr yn llefain, ac yn gweddio, ac yn moliannu Duw, cyfodai rhyw hen wreigan yn ffrochwyllt yn eu canol, gan daer erfyn arnynt a dywedyd, 'Bobl bach anwyl! peidiwch a myn'd o'ch synnwyrau;' ond er y cyfan yr oedd dylanwadau gwlithawl yr odfa yn lluddias iddynt dewi, ac yn boddi cyngor yr hen wraig mewn distawrwydd.

Pan oeddynt ar ymadael â Sarphle yn ol rhybudd y meistr tir, a'r dodrefn ar y troliau, daeth Mr. Davies, Castell Nedd, yno i bregethu wrth y drws; ac ar ei bregeth dywedai mai o achos yr efengyl yr oedd y teulu hwn yn ymadael; ac yna gofynai yn ddifrifol iawn, a oedd yno neb a dderbyniai bregethu i'w dŷ drachefn. Gadawodd y gofyniad i orphwys yn bwysig ar galonau ei wrandawyr: ac er iddi gau yma, gofalodd yr Arglwydd ar fod i bedwar o fanau gael eu hagor yn fuan fel na bu attaliad ar bregethiad gair ei ras yn yr ardal hon wedi dechreu unwaith.

Ym mhen peth amser wedi hyny cafwyd cyhoeddiad y Parch. Dafydd Morris, a gwr dieithr arall o'r Deheudir i ddyfod i bregethu yno. Yn y cyfamser daeth hen odfa wlithog Sarphle gynt i gôf, a phenderfynwyd cael Cyfarfod Pregethu yno. Daeth y Parch. Dafydd Morris a'i gyfaill yno yn ol eu haddewid; a'u cyfeillion oeddynt wedi arlwyo ciniaw iddynt yn y tŷ tafarn. Erbyn hyn, fe glybu Offeiriad y Plwyf am danynt, a chynhyrfwyd ei anfoddlonrwydd yn fawr, ie, gymmaint fel ag y gyrodd at y dafarnwraig, os byddai iddi eu croesawu yn ei thŷ y collai hi ei *Licence* yn y fan; ac felly y bu efe y tro hwn yn foddion i attal pregethu yn y fan hono. Ond fe gododd gwr arall yn ymwared iddynt, a rhoddodd genad iddynt i ddyfod i bregethu wrth ddrws ei dŷ ef; a rhoddes gadair hefyd iddynt i sefyll arni. Pan oeddynt ar ddechreu y moddion canwyd cloch yr Eglwys, a chan na ddaethai y bobl i mewn iddi, daeth yr Offeiriad allan yn ffyrnig a llidiog, gan gyfeirio at y Parch. Dafydd Morris, cyn iddo gymmeryd ei destyn, a gofyn iddo, 'Pa le mae dy *Licence* di?' Yna D. Morris a gymmerth afael yn y Bibl, ac a'i hestynodd ato gan ddywedyd 'Dyma hi.' Ar hyn gorchymynai yr Offeiriad iddo fyned adref i'w wlad ei hun, a gadael llonydd i bobl gwledydd ereill. Gyda'r gair dechreuai yr erlidwyr luchio tom a cherig, a rhai o honynt a ymddiosgent yn noethlymun gan herio y goreu o honynt i ymladd a hwy. Felly gorfu i Dafydd Morris a'i gyfaill fyned i'w ffordd heb bregethu dim, er mawr dristwch i'r rhai ag oedd wedi ei hir-ddisgwyl a phrofi y fath flas trwy weinidogaeth y gwr enwog hwn o'r blaen.

Un tro arall yr oedd John Evans, o'r Bala, wedi ei gyhoeddi i bregethu yno, ond fe ddealledd Lewis Edwards, Ty'ntwll, fod cynddaredd y gelynion yn fawr dros ben, fel y penderfynodd fyned i gyfarfod John Evans i ben Berwyn, i ddeisyf arno droi yn ol, ac fel hyny fu y tro hwn; ond tystiai John Evans lawer gwaith fod yn edifar iawn ganddo wneuthur hyny erioed.

Ond wedi iddi gau fel hyn yn hollol i bob golwg ddynol, gofalodd yr Arglwydd am agor manau ereill o dderbyniad croesawgar i'r efengyl yn ddioedi. Bu llygad yr Arglwydd yn neillduol ar Rich. Hughes a'i deulu yn eu hamgylchiadau gofidus. Cyn pen hir daeth dwy o'i ferched, a dau o'i feibion yn ol i'r ardal hon i breswylio, a chawsant rai o'r ffermydd goreu yn y plwyf.

Ym mhen ychydig flynyddoedd wedi hyny daeth Richard Hughes ei hun a'i wraig yn ol drachefn i blwyf Llanarmon; ac fel hyn y cawsant gyfleusdra nodedig i fwynhau moddion gras tra y buont yn y byd. Cawsant eu bendithio hefyd â hir ddyddiau, a gweled oedran teg; o herwydd yr oedd un o honynt yn naw a phedwar ugain, a'r llall yn unarbymtheg a phedwar ugain mlwydd oed, pan y galwyd hwy o'r byd terfysglyd presennol i'r trigfanau tragywyddol fry.

Yr oedd arwyddion nodedig o dduwioldeb ar Catherine, gwraig Richard Hughes. Yr oedd yn ffyddlon ac yn zelog iawn i fyned i foddion gras, ac yn garedig ryfeddol i weision yr Arglwydd Iesu Grist. Arferai weddio llawer yn y dirgel; ac y mae rhai yn fyw heddyw a gawsant hyfrydwch a blas mawr yn gwrando arni, pan na wyddai hi fod neb yn meddwl ac yn gwybod am dani ond ei Thad nefol yn unig. Diolchai yn wresog iawn yn ei gweddiau mai 'had Abraham a gymmerodd efe, ac nid naturiaeth angylion,' a chan mai felly yr oedd fod gobaith iddi hithau; ac yna taer erfyniai ar i'r Arglwydd roddi gras i'w phlant. Mynych iawn hefyd y clywyd hi wrth fyned i foddion gras, yn gweddio yn daer am gymmorth i'r pregethwr, a bendith iddi hithau; ac wrth ddychwelyd diolchai yn wresog iawn am i'w chlustiau hi gael clywed erioed am drefn fawr yr iachawdwriaeth yn Nghrist.

Gan amlhau yr amlhaodd yr Arglwydd eu had hwynt hefyd ar y ddaear fel y bu iddynt ddeg o blant. A phan y bu farw yr henŵr hybarch Richard Hughes, yr oedd ei hiliogaeth wedi cynnyddu i 168 o rifedi: a bernir eu bod erbyn hyn oddeutu 350 o leiaf, a hyny mewn llai na chan mlynedd o amser. Ac nid yn unig bu iddynt hwy fwynhau amlder blynyddoedd eu hunain, ond cafodd eu plant hefyd etifeddu yr un fendith ar eu hol, a gweled eu hepil yn aml yn eu dyddiau. Y mae chwech o blant i R. Hughes yn fyw yn bresennol; fe fu farw un yn nyddiau ei fabandod, ond cyrhaeddodd y tri ereill yr oedran teg o 75 i 85 o flynyddoedd.

Ym mhlith ereill o blant R. Hughes yr oedd Elizabeth Edwards, Tŷ'ntwll, yr hon a fu farw ychydig fisoedd yn ol, wedi bod yn proffesu crefydd Crist am 63 o flynyddoedd, a chadw cartref cysurus i'r achos am oddeutu 57 o flynyddoedd. Ac arferir yr un tynerwch a thiriondeb i weision yr Arglwydd gan ei mab ar ei hol, sef Richard Edwards, hyd y dydd hwn.

Y mae y rhan fwyaf o hiliogaeth R. Hughes yn proffesu crefydd Crist; ac yn wrandawyr cyson iawn i bregethiad y gair hyd y dydd hwn. Ac nis gallwn lai na sylwi nad oes yr un o honynt wedi ei wasgu mor isel yn ei amgylchiadau ag i orfod rhedeg at blwyf am gynnaliaeth, neu gerdded o ddrws i ddrws i gardota; yr hyn a'n harwain at eiriau Dafydd, pan y mae yn dywedyd 'Ni welais y cyfiawn wedi eu adu, na'i hâd yn cardota bara.'

Yr oedd Margaret Evans, o Ddolwen, hefyd yn ddiwyd iawn ym mhob moddion gras, a goddefodd lawer oddiwrth ei gwr ym moreu ei dydd oherwydd ei bod yn myned i wrando y gair; ond trwy fwyneidd-dra a doethineb ennillodd ei gwr i wrando ar Dafydd Cadwalader, o'r Bala, a chafodd y fath flas, a bendith hefyd, wrth wrando, fel yr ymunodd ef a'i wraig â'r Gymdeithas Eglwysig, a buont yn cyd broffesu am amryw flynyddoedd, ac yn dra diwyd ym moddion gras, ac yn lletteygar iawn i weinidogion y Gair. Ond ar ol marwolaeth Margaret Evans daeth cwmwl du dros ei gwr, trwy ieuo yn anghydmarus; ac er ei dderbyn ef yn ol i'r eglwys ar ei edifeirwch, a chael lle cryf i obeithio am ei adferiad, etto nid oedd mor oleu arno hyd ddydd ei farwolaeth ag ydoedd yn nyddiau Margaret ei wraig gyntaf.

Fe fu pobl y Bala yn ymdrechgar iawn am gael yr achos i fynu yn Llanarmon, sef Thomas Foulkes, Shôn Moses, William Evans Fedwarian, John Evans, Dafydd Edward, a Dafydd Cadwalader. John Evans a fu yn sefydlu y Gymdeithas Eglwysig gyntaf erioed yma. Bu y Parch. T. Charles hefyd yn ffyddlon iawn i ddyfod i'r ardal hon ac i anfon ysgolfeistriaid i gadw ysgol ddyddiol; a bu pump o'r rhai hyny yn diwyd lafurio yma yn ei ddyddiau ef, sef Robert Morgan, Edward Jones Cyrchynau, Robert Jones Llangynog, Thomas Owen gynt o'r Bala, a'r Parch. Daniel Evans, Harlech; a gellir ychwanegu fod eu

dyfodiad hwy i'r wlad hon wedi bod yn dra bendithfawr, a llawer wedi dysgu darllen trwy eu hofferynoliaeth hwy, o'r rhai a fuasent yn byw a marw yn gwbl ymddifad o fedru na deall egwyddorion cyntaf gwybodaeth a dysg.

Yr oedd trigolion y Bala hefyd yn dra gofalus am anfon pob gwr dieithr a ddeuai i ymweled a hwy i Lanarmon. A deisyfa ieuengctyd Llanarmon hysbysu fod clywed hen hanesion y dyddiau gynt yn cynnesu llawer ar eu calonau at eu cyfeillion yn Sir Feirionydd, yn enwedig y Bala, a gobeithiant y bydd clywed am zêl eu hen dadau yn eu cynhyrfu hwythau i gyfrif Berwyn yn wastadedd i ddyfod i ymweled â hwynt.

Cryn orchwyl ydyw rhoddi hanes dechreuad a chynnydd yr achos crefyddol yn y lle hwn er ys triugain mlynedd a rhagor. Bu tymestl ar dymestl yn curo arno, a chorwyntoedd croesion, a malais, a llid. ond erbyn heddyw y mae arwyddion amlwg ei fod yn dyfod i fynu yn barhaus er gwaethaf y gwrthwynebiadau oll. Y mae yn wir fod llawer o golofnau cedyrn wedi eu tynu oddi tano, a brodyr anwyl wedi eu colli ym mlodeu eu dyddiau er galar a siomedigaeth chwerw i lawer a adawyd ar ol.

Bu y ddau wr a soniwyd am danynt yn nechreu yr hanes hwn, sef Edward Jones, Caehir, a Robert Edwards, Megen, yn wyr da a ffyddlon hyd derfyniad eu hoes, ac yr oedd pob arwyddion eu bod wedi cael grym duwioldeb, a gobaith da yn Iesu Grist.

Yr oedd Edward Jones, Caehir, yn un nodedig iawn mewn duwioldeb. Wrth wrando y gair byddai ei lygaid yn ffynonau o ddagrau. Yn ei deulu yr oedd yn wir yn halen y ddaear, a thystiai un ag oedd yn berffaith adnabyddus âg ef nas gwelodd ef un amser yn bwyta ei fwyd heb fod y Bibl yn agored o'i flaen. Byddai yn wrol iawn hefyd yn arfer gweddi deuluaidd, er na chafodd erioed gan y wraig blygu ar ei gliniau, na dangos dim cymmeradwyaeth o'i waith. Tystiai un gweinidog iddo hefyd ei fod wedi ei ddal lawer gwaith yn ffos y clawdd, â'i chwys yn ddagrau ar ei ruddiau yn ymdrechu â Duw am y fendith. Gellir dywedyd am dano fod ei fywyd yn nefolaidd, a'i ddiwedd yn dangnefedd.

Yn ei glefyd olaf ymwelodd W. Evans a Lewis Edwards, a chyfaill arall âg ef, ac ar eu mynediad i mewn i'r ystafell yr oedd llawer o gymmydogion wedi ymgasglu yno, ac yntau yn ymddangos yn gwbl ddisylw o bawb; ond pan welodd ei gyfeillion crefyddol bywiocaodd ei yspryd gymmaint yn ei lesgedd fel y meddyliodd rhai ei fod wedi troi i wella; ond y geiriau oedd fel yn cael ei sibrwd yn barhaus yn ei glustiau oedd, 'Dring i fynu yma, dring i fynu yma.'

Am Robert Edwards, Megen, hefyd, ni bu yntau yn ol mewn dim i'r un a nodwyd eisoes, ond rhag chwyddo yr hanes hwn i ry-ormod meithder ni chofflhawn ond am un amgylchiad tra nodedig a ddigwyddodd yn ei deulu. Bu i'w wraig golli ei golwg naturiol am hir amser, ac felly ymddifadwyd hi o foddion gras, ac o gael cyfarfod a phobl yr Arglwydd; ond cyn diwedd eu hoes adferodd yr Arglwydd ei golwg iddi yn ol, fel y cafodd eilwaith gyflawn fwynhad o freintiau yr efengyl. Bu farw yn dawel yn yr Arglwydd, a chroesodd afon angeu fel llong o dan lawn hwyliau, a laniodd yn orfoleddus yn yr hafan dymunol.

Yr oedd Edward Lewis, tad i Lewis Edwards o'r Ty'n twll yn ffyddlon iawn gydag achos Duw hyd derfyn ei oes, a chafwyd arwyddion amlwg ei fod yn marw yn gysurus iawn. Yr oedd ei fab, Lewis Edwards (gwr y diweddar Elizabeth Edwards, a enwyd eisoes) yn un tra nodedig o dduwiol a llafurus gyda gwaith ac achos yr Arglwydd.

Arferai fyned i'r Cymmanfaoedd a'r Cyfarfodydd Misol i ymofyn am gyhoeddiadau, &c. a llawer gwaith y bu yn cychwyn i'r Bala, am bedwar o'r gloch y boreu, Sabbath y cymundeb, ac yn dychwelyd yr un noswaith yn ol, yr hyn rhwng myned a dyfod oedd 30 milldir o leiaf. Nid oedd na Chyfarfod Eglwysig na Chyfarfod gweddi yn cael eu cynnal o fewn pedair milldir i'w gartref na byddai efe yn bresennol ynddynt, os byddai ei iechyd yn caniatau; ac er mawr syndod a thristwch i'w frodyr crefyddol, ac i'r byd yn gyffredinol, efe a fu farw yn dawel yn yr Arglwydd, heb gael ei gystuddio ond am 24 awr yn unig. Syrthiodd oddiar ei farch, ac erbyn ei ddwyn i'r tŷ, nid oedd yn foddlon i fyned i'w wely heb gael penlinio yn gyntaf, er na allai ddywedyd gair.

A phan oedd ar ymadael â'r byd clywwyd ef yn canu yn beraidd ei fod yn cael ymadael byth â phechod cas.

Yr oedd Griffith Edwards, Cwm Llawenog, hefyd yn wr dysyml iawn, a chafodd y fraint o ddechreu yn foreu, a pharhau yn ffyddlon gyda'r un gwaith da a'r rhai a enwyd eisoes. Teithiodd lawer i foddion gras; ac er mor anghysbell oedd ei drigfan ni byddai ei le ef ynddynt un amser yn wag, os byddai yn iach, a'i amgylchiadau yn caniatau. Yr oedd yn wr nodedig am ei eirwiredd a'i ddiragrithrwydd. Gweddiai yn daer am gael etifeddu y gwirionedd; ac annogai ei frodyr i ymofyn am fod yn fawr gyda'r Arglwydd, ac yna byddent yn fychain yn eu golwg eu hunain. Edrychid arno mewn ffair a marchnad fel gwr geirwir, 'yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni.' Bu farw mewn tangnefedd, gan adael tystiolaeth dda ar ei ol ei fod wedi profi digon yn yr iachawdwriaeth i gyflenwi holl ddiffygion ei enaid euog a thlawd. Efe a hunodd yn yr Iesu yn y 74 flwyddyn o'i oedran.

Bu Thomas Evans, o Lwythder, hefyd, yn blanhigyn hawddgar iawn dros dymhor, ond buan y chwythodd corwyntoedd angau drosto, ac yntau fel rhosyn yn y dymhestl â'i ddail wedi chwalu, ond ei arogl yn hyfryd, canys y mae ei goffadwriaeth hyd heddyw yn fendigedig. Yn ei gwymp ef yr ymddifadwyd Sïon o berl prydferth a rhagorol, a hir fu ei galar ar ei ol; ond y mae hyn yn ei chysuro yn fawr iddo ymadael o'r maes a'r goron ar ei ben.

Richard White o Dre Geiriog hefyd a fu yn weithiwr difefl yn ei ddydd. Efe a fu yn preswylio yn nhref Corwen: ac efe a roddes dir i adeiladu Capel Corwen, a Chapel Tre Geiriog, hefyd, a bu yn ofalus iawn am gael cadw cartref i'r achos tra y bu efe byw.

Edward Morris, a'i wraig hefyd, a fuont yn ffyddlon a charedig iawn at achos yr Arglwydd. Cawsant y fraint o ddechreu ym moreu eu dyddiau a pharhau hyd ddiwedd eu hoes. Teithiodd Edward Morris lawer, ar ei draed yn wastadol, i Gymmanfaoedd pellenig a Chyfarfodydd Misol; a phob amser y gelwid arno gan yr eglwys i gymmeryd y swydd arno, byddai ei wraig yn ebrwydd yn ei annog i ufuddhau. Yr oedd yn wr deallus yn yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb—yn graff ei olygiadau—yn felus ei brofiadau—ac yn syml a didderbyn wyneb yn ei rybuddion ac yn ei gynghorion—ac yn danllyd yn erbyn gwnïo clustogau dan benlinoedd neb; ac etto yn ymdrechgar i goleddu a chynnal y rhai gweiniaid a llesg. Bu farw yn dawel yn yr Arglwydd, â'r geiriau hyn ar ei wefusau, 'Sicrha y gair wrth dy was yn yr hwn y peraist i mi obeithio,' wedi cyrhaedd yr oedran teg o 71 o flynyddoedd.

Bu Mary Morris, ei wraig, hefyd gyda'r achos hyd ddydd ei marwolaeth, a Mair mewn gwirionedd ydoedd. Darllenai ei Bibl yn astud iawn, a gweddiai lawer yn daer ac yn ymdrechgar, a bu yn ddiwyd iawn yn cerdded i foddion gras ym mhell ac yn agos. Ymdrechodd yn egnïol, yn ngwyneb gwendid mawr, i fyned i Gymmanfaoedd y Bala y blynyddoedd olaf o'i hoes, ac er ei beio am ei zel gan rai o'i chyfeillion, etto cafodd ei llawn wobrwyo gan ei Thad nefol, canys y pregethau yr ymdrechodd fwyaf trwy wendid i'w cyrhaedd oeddynt yn rhoi y cysur cryfaf iddi wrth farw. Aeth adref yn orfoleddus, a'i phwys yn ddiysgog ar gyfammod Duw, heb gwyno am ddim ond o herwydd iddi gario yn ei mynwes un meddwl cul am Dduw erioed yn ei hoes.

Gormod o orchwyl fyddai enwi y personau hyny bob yn un ac un ag y mae lle i farnu a chredu fod yr efengyl wedi bod yn allu Duw er iachawdwriaeth iddynt; ac y llanwyd eu calonau a zel a ffyddlondeb gyda gwaith ac achos eu Harglwydd yn eu dydd ac yn eu cenhedlaeth.

Bellach ni a derfynwn yr hanes hwn yn ngeiriau yr adroddydd ei hun:—'Yr wyf wedi gweled llawer o gyfnewidiadau yma; ac yr wyf yn cofio fy mam yn myned i'r odfa gyntaf. Yr wyf wedi gweled tri Chapel wedi cael eu hadeiladu yn yr ardal hon —un yn Nhre Geiriog—y llall yn Nglas Aber—a'r llall yn Llanarmon—Mae lle arall i bregethu ac i gadw ysgol yn Nantyr; ac felly, erbyn hyn y mae pedwar lle cysurus i bregethu yn y man yr oedd ammharch ac erlid yn ffyrnig a dychrynllyd ychydig flynyddoedd yn ol, ac y mae yr addoldai hyn oll *heb ddim dyled arnynt*. (Disgwylir y bydd Capel newydd i gael

ei adeiladu yn Nantyr cyn pen hir iawn.) Mae nifer yr aelodau yn awr rhwng y pedwar lle oddeutu triugain a deg heblaw y plant, a heddwch yn eu plith, a blaenoriaid yr wyf fi yn eu caru. Ond y peth rhyfeddaf o'r cwbl yw fy mod i fy hun ar gael gyd âg achos mor dda, wedi llawer o ystormydd a thymestloedd, yn y seithfed flwyddyn a phedwar hugain o'm hoedran. Mae yn llawen iawn genyf yn y diwedd fod gyda'r bobl y mae rhyw arwyddion fod yr Arglwydd yn eu plith, ac yn eu bendithio, a'm dymuniad a'm gweddi yn wastadol yw

Trig yn Sion, aros yno
  Lle mae'r llwythau'n dod ynghyd;
Byth na 'mad oddiwrth dy bobl
  Nes yn ulw'r elo'r byd.'

---

## COFFADWRIAETH

*Mrs. Foulkes, o Machynlleth, yr hon a fu farw Medi* **24, 1837,** *yn y* **80** *flwyddyn o'i hoedran.*

Mrs. Lydia Foulkes a hanoedd o deulu yr ymwelodd yr Arglwydd yn foreu â hwynt, sef yn nechreu y diwygiad nerthol a gymmerodd le yn Nghymru oddeutu can mlynedd yn ol, pryd y ffurfiwyd corph y Methodistiaid Calvinaidd. Ei Nain o du ei Mam ydoedd Mrs. Bowen o'r Tyddyn, Sir Drefaldwyn, yr hon a gyfrifid yn wraig dduwiol a rhinweddol iawn. Bu farw yn nhŷ ei merch yn y Bala oddeutu 88oed. Parhaodd yn ffyddlon i ddilyn moddion gras hyd o fewn ychydig amser i'w marwolaeth: âi i Gapel y Bala y sabbathau wrth ei dwy ffon, gan gymmeryd teisen yn ei phocced, ac arhosai yno heb ymadael o'r naill gyfarfod i'r llall.

Ei Thad oedd o deulu Plas yn dref, Bala, yr hwn a alwyd yn 14oed, pan ddaeth pregethu gyntaf yno. Wedi ei briodas gwnaeth rodd-weithred (*Deed of gift*) o gynnysgaeth ei wraig i Mr. Howel Harris at gynnal achos crefydd yn y sefydliad yn Trefeca, canys yno yr oedd hi pan ddechreuodd cydnabyddiaeth rhyngddynt, wedi ymsefydlu gyd âg amryw eraill er mwyn bod o dan weinidogaeth Mr. Harris, trwy yr hwn y cawsai ei dychwelyd. Bu iddynt 6 o blant; dau sydd eto yn fyw; dygwyd hwynt oll i fynu yn grefyddol o'u mebyd, a pharhasant yn ffyddlon aelodau o Eglwys Dduw yn mhlith corph y Methodistiaid Calfinaidd. Bu ef farw yn ddyn ieuanc o ddeutu 33oed. Dywedodd ar ei wely angeu 'nid yw fy adnabyddiaeth o honot ti Arglwydd ond bach; ond caf dy adnabod megys ac yr wyt.' Gan adrodd y geiriau hyny 'Merch y Brenhin sydd oll yn ogoneddus o fewn, &c.' Gofynodd ei wraig iddo mewn dagrau, pa beth a ddeuai o'r plant os gadewid hwynt a hithau yn ymddifad o hono? ei atteb oedd, 'Pwy a'u gwnaeth; mae yr un Duw yn alluog i ofalu am danynt.'

Mrs. Foulkes a gafodd y fraint o hanu o rieni duwiol a gwasanaethgar i achos crefydd yn Nghymru: ei Nain fel y crybwyllwyd yn Sir Drefaldwyn, a'i Thad a'i Mam yn Sir Feirionydd, oeddynt yn mysg y rhai cyntaf a broffesasent Grist mewn amserau tywyll, ac a weiniasant o'r hyn oedd ganddynt at gynnal ei achos ac ymgeleddu ei weision, pan nad oedd ond ychydig a'u derbyniai i'w tai; a gellir yn ddibetrus ddywedyd fel y dywedodd Paul am Timotheus fod y ffydd ag oedd yn gyntaf yn ei Nain a'i Mam yn ddiammheuol ynddi hithau hefyd. Yma y canlyn grynodeb o hanes boreuol ei hoes a gafwyd yn mysg ei phapurau (yn ei llaw ysgrifen ei hun) ar ol ei marwolaeth.

'Ar ddeisyfiad fy mhlant y rhai lawer gwaith a'm cymhellasant i wneuthur rhyw goffadwriaeth o gynllun boreuol fy oes, yr wyf yn ysgrifenu hyn. Myfi oeddwn ferch hynaf Simon Lloyd o'r Bala; ganwyd fi y 7d o Awst 1758. Yr argraffiadau cyntaf a weithredwyd ar fy meddwl o natur grefyddol a gymmerodd le wrth ddarllen ar fy mhen fy hun un noswaith y 19 ben. o Ioan a'r 30 ad. 'A chan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fynu yr yspryd.' Cof genyf i mi wylo, a meddwl fod ei ddyoddefiadau ar Galfaria tros fy mhechodau i. Ni allaf yn hawdd gofio fy oedran y pryd hyn; fe allai o ddeutu 10 neu 11. Teimlwn gariad mawr at bobl yr Arglwydd, yn enwedig gweinidogion yr efengyl. Ni wyddwn ond ychydig yn brofiadol am fy nghyflwr syrthiedig wrth natur nes oeddwn oddeutu 18oed, pryd y dygwyd fi dan argyhoeddiadau dyfnion o fy mhechadurus a thruenus sefyllfa: teimlais lygredigaeth fy nghalon yn gryf iawn; gwelais na fedrwn garu Duw na'i bobl: ac oddiwrth y golygiadau hyn yn penderfynu mai gelyn iddo oeddwn, a bod yr holl addewidion yn y Bibl yn fy erbyn. Ni

allaf byth adrodd teimladau gofidus fy meddwl tros amryw fisoedd, collais fy nghwsg am fis cyfan, gan edrych am ddim ond digofaint a chospedigaeth haeddiannol am fy mhechod.

Fy anwyl Fam a gymmerodd lawer o boen gydâ mi, gan goffau yr addewidion, ond ni allaswn gredu eu bod i mi mwy nag a allaswn ehedeg, neu symud mynydd. Cystuddiwyd a chernodiwyd fi'n ddirfawr gan elyn fy enaid. Meddyliais nad oedd trugaredd i mi, gan iddo beri i mi goelio fy mod wedi pechu y pechod anfaddeuol. Byddwn yn aml yn darllen y Bibl i edrych a gawn ryw gysur; ond yr oedd bygythiadau a tharanau cyfraith doredig Duw, yr hon yr oeddwn i yn euog yn ngwyneb pob pwnc o honi yn nghodwm Adda, yn gyffredinol yn fy meddyliau ddydd a nos. Yr holl Feibl oedd fel pe buasai yn fy erbyn, o herwydd yr oeddwn yn meddwl fod yr Arglwydd yn cymmeryd gofal ei bobl ei hun rhag iddynt bechu y pechod mawr; a phan ddarllenwn yr addewidion y gelyn a ddirgel gymhellai ar fy meddwl, Oh, hyn a gollaist ti dros byth: hyn a'm gwanai fel cleddyf hyd onid oedd fy einioes yn druenus uwchlaw disgrifiad. Ewyllysiais lawer gwaith pe buaswn megys un o'r anifeiliaid direswm nad oes ynddynt enaid, ond yr oedd genyf fi ran anfarwol i fyw byth, a hyny fel yr oeddwn yn ofni mewn trueni. Fy anwyl Fam a ymresymai lawer â mi, ac a ymdrechai i'm cysuro gymmaint ag a allai; ond yr oedd fy anghrediniaeth yn rhy gryf i un gallu ond Duw. Dywedodd wrthyf un diwrnod, 'Y weledigaeth sydd etto dros amser gosodedig, ond hi a ddywed o'r diwedd, ac ni thwylla: os erys, disgwyl am dani: canys gan ddyfod a daw, nid oeda.'

Fy anghrediniaeth a chaledwch fy nghalon oedd gyfryw, fel na allaswn gymmeryd cysur oddiwrth ddim tra yr oeddwn yn adfyfyrio ac yn tremio ar drueni fy sefyllfa. Yr wyf yn cofio yn dda i mi feddwl, 'Yr wyt wedi byw 18 mlynedd mewn pechod ac yn elyn Duw.' Er hyny mae'n rhaid i mi ddywedyd, nad oedd dim yn fy ymddygiad allanol yn feius yn ngolwg y byd, ond gwyddwn fod yr Arglwydd yn canfod y galon, a theimlwn trwy brofiad galarus fod hon bob amser yn ddrygionus. Y geiriau hyny yn Heb. 4, 12. a ddygwyd yn rymus i fy meddwl, 'Canys bywiol yw gair Duw, a nerthol, a llymach nag un cleddyf daufiniog, ac yn cyrhaeddyd trwodd hyd wahaniad yr enaid a'r yspryd, a'r cymmalau a'r mer; ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon.' Y gair hwn fel llawer eraill a wnai i mi grynu, gan nad oedd genyf ddim i'm cuddio oddiwrth ei lygaid treiddgar ef. Ni wyddwn ddim am Waredwr i'm rhyddhau oddiwrth ddychryn y gyfraith y pryd hyn, nid oedd yr amser appwyntiedig etto wedi dyfod.'

Yna y mae hi yn coffâu am ddyfodiad ei Modryb, Mrs. Powell, Pwllheli, i'r Bala, yr hon wrth ei gweled yn y fath drallod a'i gwahoddodd yn daer i ddychwelyd gydâ hi, fel y ca'i ddarllen llyfr oedd ganddi o hanes bywyd Mr. John Hart, yr hwn a gawsai waredigaeth ryfeddol oddiwrth ofnau ac anobaith yn nghylch ei gyflwr. 'Hyn' meddai 'oedd yr unig gymhelliad i mi dderbyn y gwahoddiad. Tranoeth wedi fy nyfod yno hi ddaeth â'r llyfr, ac a ddarllenodd ranau o hono, lle y traethir am ddaioni a thrugaredd yr Arglwydd iddo. Meddyliais ei fod yn hynod o gyfaddas a chymhwysiadol i mi, a'r dagrau oeddynt yn dylifo pan ddarllenai am y cyfnewidiad a weithredwyd arno ef: dywedodd fy Modryb wrthyf, 'Dyma y peth a gewch chwithau ei brofi.' Yr oedd fy nghalon yn barod i ymdori gan ddymuniadau awyddus i hyny fod, ar yr un pryd yn meddwl fod y newyddion yn rhy dda i mi; er hyny, 'nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i, medd yr Arglwydd.' 'Cyn belled ag yw y dwyrain oddiwrth o gorllewin, y pellhâodd efe ein camweddau oddi wrthym.'

Cydnabyddiaeth i fy Modryb, gwraig dduwiol iawn, yr hon oedd yn byw oddeutu tair milltir yn y wlad, a ddaeth i'r Dref ac am gwahoddodd i'w Thŷ: bum yno oddeutu wythnos: dydd sabbath y Pasg ydoedd, 'Mr. Lewis ei gwr a ddywedodd, 'Miss Lloyd, a ddewch chwi gydâ ni heddyw i'r Ty 'mawr, mae Mr. Davies, Castellnedd, yno yn pregethu? Yr oeddwn yn rhy ragrithiol i ddywedyd, na ddeuaf, gan fy mod o ran fy nheimladau mor druenus fel na allaswn dderbyn dim llesâd; pa fodd bynag fy syniadau cnawdol a ddarostyngwyd, a myned a wnaethum. Mr. Davies a gymmerodd

ei destyn yn Zeph. 2, 3. y rhan olaf, 'fe allai y cuddir chwi yn nydd digofaint yr Arglwydd:' dywedais ynof fy hun pwy a wyr na chuddir finnau? ac ar hyn dechreuais weddio ar yr Arglwydd am drugaredd; efe a glywodd, ac ni throes fy ngweddi oddi wrtho

Yr holl bregeth oedd gyfeiriol attaf fi; cyffelybodd y galon ddiadgenedledig i ddaear wedi ei chloi i fynu gan rew caled, nad oedd dim ond dylanwad yr Haul a'i dadmerai ac a'i toddai; felly nid oedd dim ond dylanwad Haul Cyfiawnder a allai dreiddio i galon pechadur. Crybwyllodd gymhariaeth arall y'nghylch twr y Jebusiaid, nad oedd neb a allasai gymeryd yr amddiffynfa gadarn hono nes i Dafydd a'i wŷr ei darostwng: cyffelybodd hyn i waith yr Arglwydd ar galonau pechaduriaid. Teimlais y fath gyfnewidiad yn fy meddwl na allaf ei gymharu i ddim ond bywyd o feirw, neu garcharor yn derbyn maddeuant ac yn cael ei ryddâu o'i holl gadwynau. Y geiriau hyn a argraffwyd yn nerthol ar fy meddwl, 'Oblegid ti a'm ceraist cyn seiliad y byd;' er mai am yr Arglwydd Iesu y llefarir, etto mae plant Duw wedi eu hethol ynddo ef cyn seiliad y byd. Yr oeddwn mewn syndod, ac fe'm nerthwyd i gredu yn yr Arglwydd Iesu; yna profais lawenydd a heddwch, ei gariad a dywalltwyd ar led yn fy nghalon, yr oeddwn yn rhyfeddu iddo ef feddwl am un mor wael; er mwyn pechaduriaid y daeth i'r byd, ac i roddi ei fywyd gwerthfawr yn iawn tros bechod.

Efe a dywalltodd win ac olew yn fy mriwiau llygredig, ac a amlygodd ei gariad i'r penaf o bechaduriaid; ei archwaith oedd felysach i'm genau na'r mêl, ïe na'r diliau mêl. Mr. Davies gan ei fod yn offeiriad, a gyfranodd y Sacrament: aethym i'r ordinhâd a chynnorthwywyd fi i roddi fy hun i'r Arglwydd; gwledd oedd o basgedigion breision, o loyw-win puredig: cymylau fy anobaith a wasgarwyd, ac megys Hannah gynt, ni bum athrist mwy. Dyma y dydd dedwyddaf a fwynheais erioed; ac i'w gofio tra byddwyf byw. Ond Oh, mor anffyddlon ydwyf i'r Arglwydd, yr hwn a wnaeth gymmaint i mi y mwyaf anniolchgar. Wrth ddychwelyd gartref o Sir Gaernarfon, y geiriau gwerthfawr yma a ddaeth i fy meddwl, pa rai fu'n ddyddanwch a chynnaliaeth i mi lawer gwaith, 'Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidir; am hyny ni ddifethwyd chwi, meibion Iacob.' O Iesu gwerthfawr! mae efe yr un o hyd er i mi gyfnewid filoedd o weithiau, ac a fu'm anniolchgar iddo; bydded i'r pechodau mawrion hyn gael eu golchi yn y ffynnon a agorwyd i bechod o'r dyfnaf liw.'

Yna y mae hi yn crybwyll fod ei Mam y dydd sadwrn blaenorol i Sabbath y Pasg rhag-grybwylledig, wedi myned i'r maes i rol tro, ac iddi syrthio ar ei gliniau mewn lle dirgel yn nghongol cae i weddio drosdi, ac nad hwn ydoedd yr unig dro y byddai arferol o weddio ac ymdrechu gyda'r Arglwydd yn ei hachos. Ac am dani ei hun hi a ddywed, 'Gallwn innau gofnodi llawer congl yn Nhŷ, ac yn Ngardd fy Mam pan yn ieuanc, y byddwn arferol o fyned i weddio yn ddirgel: ond nis gallaf goffau hyn heb euogrwydd pan feddyliwyf fel yr ydwyf wedi esgeuluso y ddyledswydd hon.'

Byddai arferol o fyned ar brydiau i Langeitho i wrando y Parch. Daniel Rowlands, dywedai, 'fod ei bregethau yn werth myned i'r America i'w clywed; nid edrychwn ar feithder y ffordd na blinder y daith.' Un tro collodd sypyn o ddillad oedd ganddi gyda hi wedi eu parottoi erbyn y Sabbath, 'ac yr oeddwn,' meddai, 'yn lled drallodedig fy meddyliau, rhag i hyny attal i mi wrando y bregeth, pa mor ddistadl bynag oedd y peth ynddo ei hun, dyrchefais fy meddyliau at yr Arglwydd am gymhorth i wrando yn ddirwystr, a thra parhaodd y bregeth ni ddygwyddodd y peth unwaith i fy meddwl.'

Pan ydoedd ynghylch 22 oed, ac yn wael ei hiechyd, bu am dymmor yn Nhŷ Ewythr iddi yn Sir Frecheiniog; daeth ei brawd ag oedd y pryd hyny yn Beriglor yn Gloucestershire yno i'w chyfarfod, tuag at yr hwn dywedai, y teimlai serchogrwydd mawr; bu'r ymweliad iddynt eu dau yn hyfryd ac adeiladol. Cafodd y tro hwn y rhagorfraint o fod yn nghymdeithas y duwiol Lady Huntington, a'i chyfeilles ragorol, Lady Ann Erskine. Un noswaith ar ol addoliad teuluaidd, ymofynodd y gyntaf a hi ynghylch y diwygiad yn y Bala, a John Evans, ac wedi rhoi atteb i'w Harglwyddes am y pethau hyn, mae yn dywedyd am dani, 'Gwelais gymmaint o ostyngeiddrwydd yn y Foneddiges anrhydeddus hon, ag a wnaeth i mi gywilyddio am fy malchder fy hun.' Yma y canlyn yn fyr ei hanes o'i phriodas â Mr. Foulkes, Pregethwr parchus yn mysg y Methodistiaid Cafinaidd, hyd farwolaeth ei hanwyl ferch, Mary. 'Pan oeddwn yn 29 oed, priodais gyda Mr. T. Foulkes, Bala; bu'm byw yn ddedwydd gydag ef 14 blynedd; bu i ni 8 o blant: claddasom ddau faban, mab, a merch, yn yr un pythefnos, o'r Pas, oddeutu dwy flynedd cyn marwolaeth Mr. Foulkes. Yna dechreuodd fy nghofidiau pan amddifadwyd fi o fy anwyl briod. Cleddais fy mab hynaf Thomas, pan oedd yn 23 oed, yn mhen 7 wythnos ar ol ei briodas â Miss Jane Charles, merch y Parch D. Charles, Caerfyrddin. Yn mhen dwy flynedd wed'yn, cleddais fy anwyl Mary, yn 25 oed. Y trallodion hyn agos a'm dygasant i'r bedd, ond cynnaliwyd fi yn eu gwyneb yn rhyfeddol iawn.'

(*I'w orphen yn y nesaf.*)

---

CYMDEITHAS GERDDORAWL.

*Egwyddorion Rheolau Cymdeithas Gerddor-*

*awl y Tabernacl, Bangor; a sefydlwyd Mai 12fed*, 1837.

Sefydlwyd y Gymdeithas ddywededig, ar yr ystyriaethau—

1 Fod Canu yn ddyledswydd eglur yn y gwirionedd dwyfol. 1 Cron. 16. 8, 9. 23. Salm 96. 12. a 98. 1, 4, 5.

2 Fod yn ddyledswydd ar yr *Eglwys* yn *neillduol*, wneuthur mawl yr Arglwydd yn ogoneddus; ac mai iddi hi yn unig yr oedd llywodraeth a threfniad hyny yn mhob oes, dan bob goruchwyliaeth; a'i fod yn orchymyn ar bawb gyduno â hi i foliannu. Salm 147. 12. a 30. 4. a 32. 11. Zech. 2. 10. Deut. 32. 43. Salm 117. a 148. 11.—13. a 150. 6.

3 Fod canu yn rhan o addoliad dwyfol. Salm 100. 2—4. 2 Cron. 29. 27, 28, 29. Salm 149. 1. Neh. 12. 42, 43. Luc. 24. 52. 53. Math. 26. 30.

4 Fod yr Arglwydd wedi dangos ei foddlonrwydd a bendithio y rhan yma o'r gwaith. 2 Cron. 20. 21, 22. 2 Bren. 3. 14, 15. Act. 16. 25, 26.

5 Fod cyfarwyddiadau wedi eu rhoddi pa fodd i'w gyflawni. 1 Cor. 14. 15. Salm 66. 2.

6 Yn nghyd a'r pethau yna, iselder y gwaith, a llygredigaeth cyffredinol ei bleidwyr gwresocaf, a enynai aidd i'r ymdrech presenol:—mewn hyder o'i weled yn fflam, a'r wlad yn cael ei goddeithio—a llygredigaeth yn trengu gan y tanbeidrwydd.

RHEOLAU.

I. Bod y Gymdeithas i gael ei chynnal unwaith bob wythnos, ac i barhau am oddeutu dwy awr bob tro.

II. Bod i bob cyfarfod perthynol iddi gael ei ddechreu trwy ddarllen rhan o'r Bibl, canu mawl, a gweddi; a'i ddiweddu trwy weddi.

III. Fod pob un o'r meibion sydd mewn oed yn aelodau y Gymdeithas, i ddechreu y cyfarfod, yn eu cylch; sef darllen rhan o'r Bibl, a rhoddi Hymn neu Salm i ganu; ac aelod proffesedig i gyflawni y rhan arall o'r gwasanaeth dechreuol.

IV. Dewiser gan y Gymdeithas gymaint o Swyddogion ac a fyddo angenrheidiol i drefnu achosion damweiniol a ddigwydda iddi; a phan ddyger ger eu bronau achwyniad yn erbyn un o'r aelodau bydded iddynt ymofyn yn fanwl am gywirdeb y cyhuddiad, ac ymdrecher i ymdrin a'r achos mewn ysbryd cariad ac addfwynder.

V. Pwy bynag a gaiff ar ei feddwl ymuno a'r Gymdeithas rhaid iddo amlygu hyny i un o'r Swyddogion cyn ymddangos yn bersonol ynddi i gynnyg ei hun iddi.

VI. Ni dderbynir neb yn aelod o'r Gymdeithas, heb ymddiddan ag ef am ddyben ei ddyfodiad, a'i olygiad ar y gwaith, a chael ganddo addewidion boddlonawl y bydd iddo ymdrechu i ymddwyn yn ol ei Rheolau.

VII. Rhaid i'r neb a gaffo ar ei feddwl ymuno a'r Gymdeithas, ufuddhau i'w Rheolau llywodraethol, ac ymdrechu am gyraedd ei hamcan.

VIII. Pwy bynag o'r aelodau fyddo yn absenol *dri chyfarfod* nesaf i'w gilydd, a *ddiarddelir*, os na bydd rhyw achlysuron *anocheladwy* yn ei rwystro.

IX. Pwy bynag o'r aelodau a ymddygo yn afreolus wrth fyned, dyfod, neu mewn cyfarfodydd crefyddol; neu ynte a elo allan o honynt cyn gorphen yr addoliad, a ddygir i gyfrif am ei ymddygiad yn y cyfarfod cymdeithasol nesaf i hyny.

X. Ni oddefir neb yn aelod yn y Gymdeithas hon, a fyddo yn arfer tyngu, meddwi, ymladd, halogi y Sabbath, a chyffelyb bethau.

XI. Pa bethau bynag a ddigwydda yn y Gymdeithas, naill ai ymddyddan, cyngor, cerydd, neu unrhyw ymddygiad, o ba natur bynag, yn y naill aelod tu ag at y llall, nid ydynt i gael eu hysbysu i neb nad yw yn perthyn iddi; ac os ceir prawf eglur fod neb o'r aelodau yn wirfoddol ddatguddio cyfrinach y Gymdeithas, i berson neu bersonau nad ydynt yn aelodau ynddi, amddifader y cyfryw o'i aelodaeth.

XII. Nid oes neb wedi y torer ef allan i gael ei dderbyn yn ol, heb arwyddion amlwg ei fod yn *edifeiriol* am ei drosedd; ond os troseddir trwy feddwdod, ni dderbynir y cyfryw yn ol, heb iddo ymuno a'r '*Gymdeithas Ddirwestol*.'

XIII. Ni chaniateir i *neb* nad yw yn *aelod* o'r Gymdeithas ei *phresenoli* oddi eithr y byddo efe yn aelod o gyffelyb Gymdeithas mewn lle arall, neu yn Gantwr neu Gantores dda, ac yn hoffi bod cynnydd ar Beroriaeth yn mhob lle; ac *er hyny* bydd yn ofynol iddo neu iddi, grybwyll yn flaenorol wrth un o'r aelodau, ac i'r aelod hwnw ofyn caniatad gan y Gymdeithas, ac os caniateir yna deued i mewn ac eistedded o'r neilldu i wrandaw, hyd oni chymheller ef gan un o'r Swyddogion i ddyfod yn mlaen i gynnulleidfa y Cantorion.

XIV. Bod i holl aelodau y Gymdeithas ymdrechu i feithrin ysbryd cariad tu ag at eu gilydd, yr hwn yw yr unig sylfaen yr ymddibyna pob Cymdeithas arno am ei chynnydd a'i pharâad.

ANNOGAETH I UNDEB CERDDORAWL.

Mr. Golygydd,—Wedi gosod ger bron y darllenydd '*Egwyddorion a Rheolau y Gymdeithas Gerddorawl*,' Dymunem alw ystyriaeth pawb yn gyffredinol trwy'r wlad, i addysgu *yr un tonau*. Ymddengys yr angenrheidrwydd am hyn, wrth ystyried y cynnulliadau o wahanol ranau y wlad yn achos crefydd, yn fisol, chwarterol, ac ar achlysuron eraill: a'r anmhosibylrwydd iddynt gyd-foliannu ar gyhoedd, heb fedru yr un tonau. Hefyd, byddai dewis yr un rhai i fod mewn ymarferiad cyffredinol, yn gyttun ac annogaeth i gyflawniad y ddyledswydd, ac yn hyfrydwch a phleser i fwyn-

hau y fraint o gyd ymdrech i wneuthur mawl yr Arglwydd yn ogoneddus.

Heblaw hyna, wrth ystyried yr ymarferiad a wneir a'r rhan yna o'r gwaith, yn y gwahanol ardaloedd a chapelau, gydag achos Dirwest y dyddiau hyn, yr hyn sydd gysylltedig âg ardderchogrwydd y gorymdeithiad, a chryn ymdrech yn cael ei arferyd ac yn ganmoladwy ynddynt, pe byddai yr amcan yn unig ond cyfnewid tuedd y genedl ieuanc.

Bellach, pa donau a ddygir i arferiad, neu ynteu, pa lyfr argraffedig sydd yn cynnwys y tonau mwyaf buddiol i hyny? Y Casgliad rhagoraf a wyddom am dano a wnaed i'r Cymry, ydyw "PERORIAETH HYFRYD," gan y Parch. J. Parry, Caerlleon. Y mae'n cynnwys llawer o hen donau arferedig, a foddha yr henafgwr; ac o'r tu arall, er boddio yr ieuanc, cynnwysa ardderchog Gyfansoddiad—gwaith i'r meddwl—a llafur i ymarfer. Ei bris sydd lai na'i werth; a'r rhataf a gynnygiwyd i'r Cymry ydyw. Diamau genym na ddylai yr un gynnulleidfa fod hebddo.

EBENEZER THOMAS,
*Bangor, Tach.* 15, 1837, THOMAS WILLIAMS.

## CYMDEITHAS GERDDORAWL.

### ERTHYGLAU ATHROFA GERDDGAR MON.

*A ffurfiwyd er addysgu canu yn 'Gerddgar ac yn Soniarus.'*

1. Fod y Gymdeithas hon i ymgynull unwaith bob wythnos, ac i barhau am oddeutu dwy awr o amser.

2. Fod pob cyfarfod perthynol iddi, i'w ddechreu trwy ddarllen cyfran o'r Bibl, canu mawl, a gweddio: a'i ddiweddiad hefyd fydd trwy fawl a gweddi.

3. Fod pob un o'r meibion sydd mewn oed yn aelod ynddi, i ddechreu y cyfarfod yn eu cylch, sef darllen cyfran o'r Bibl, rhoddi pennill o hymn neu Salm allan i ganu: ac un o'r rhai proffesedig i'gyflawni y rhan o'r gwasanaeth dechreuol.

4. Dewiser gan y Gymdeithas gymaint o Swyddogion a fyddo angenrheidiol i drefnu achosion damweiniol a ddigwydda iddi; a phan ddyger dan eu sylw achwyniad yn erbyn un o'r aelodau; bydded iddynt ymofyn yn fanwl am gywirdeb y cyhuddiad, ac ymdrechu i ymdrin a'r achos mewn cariad ac addfwynder.

5. Nid oes i neb weithredu ynddi fel Athraw (Cerddorol,) ond a ddewiser gan aelodau y Gymdeithas i'r Swydd, ac a gymeradwyer gan gyfarfod Blynyddol y Gymdeithas.

Dylai pob cangen o'r Gymdeithas sylwi yn fanwl ar gymwysderau eu hathrawon cyn eu dewis; ar iddynt fod yn rhai ufudd a gostyngedig; ac awyddus i gyfranu eu gwybodaeth i eraill, er lles a chynnydd y Gymdeithas.

6. Pwy bynag a ewyllysia fod yn aelod yn y Gymdeithas hon, rhaid iddo ufuddhau i'w rheolau, ac ymdrechu am gyraedd ei hamcan, sef dysgu canu.

7. Pwy bynag o'r aelodau fydd absenol dri chyfarfod nesaf i'w gilydd, a ddiarddelir; os na bydd achosion anocheladwy yn ei rwystro.

8. Pwy bynag o'r aelodau a ymddygo yn afreolus wrth fyned, dyfod, neu mewn cyfarfod crefyddol, neu a elo allan o unrhyw gyfarfod crefyddol cyn gorphen yr addoliad, a ddygir i gyfrif o'r ymddygiad yn nghyfarfod canlynol y Gymdeithas.

9. Ni oddefir neb yn aelod ynddi a fyddo yn arfer tyngu, meddwi, ymladd, halogi y Sabbath, a phethau cyffelyb.

10. Ni dderbynir neb yn aelod iddi, heb ymddiddan ychydig ag ef am ddiben ei ddyfodiad, a'i olygiad ar waith y Gymdeithas: a chael ganddo addewidion boddlonol i'r Gymdeithas, y bydd iddo ymdrechu i ymddwyn yn ol ei rheolau.

11. Pa bethau bynag a ddigwydda ynddi, naill ai ymddiddan, cyngor, cerydd, neu ryw ymddygiad o ryw natur yn y naill aelod tuag at y llall, nid ydynt i gael eu hysbysu i neb nad yw yn perthynu iddi: ac os ceir prawf eglur fod neb o'r aelodau yn gwirfoddol ddatguddio cyfrinach'y Gymdeithas i unrhyw berson, nad ynt yn aelodau ynddi, ymddifadir y cyfryw o fod yn aelod.

12. Ni chaniateir i neb nad yw yn aelod ynddi ei phresenoli, heb iddo grybwyll yn flaenorol wrth un o'r aelodau, ac i'r cyfryw ofyn caniatad iddo gan y Gymdeithas; ac os caniateir iddo, yna deued i mewn ac eistedded o'r neilldu i wrando.

13. Bydded i holl aelodau y Gymdeithas hon ymdrechu i feithrin yspryd cariad tuag at eu gilydd, yr hyn yw sylfaen pob cymdeithas i ymddibynu arno, am ei chynydd a'i pharhad.

14. Nid oes neb wedi y torrer ef allan i gael ei dderbyn yn ol, heb arwyddion amlwg ei fod yn edifeiriol am ei drosedd.

☞ Derbyniasom hefyd Egwyddorion a Rheolau Cymdeithas Gerddorawl Gymreig y Trefnyddion Calfinaidd yn Liverpool, ynghyd a dymuniad y Prif Athraw, Mr. Benjamin Williams, am i ni gynnyg ffurfio un Corph o Reolau Cyffredinol y Gymdeithas Gerddorawl, allan o'r Rheolau hyn oll, a'u cyhoeddi yn y Drysorfa, i'r dyben o fod yn gynllun i holl Gymru i ffurfio Cymdeithasau unffurf ymhob ardal, yr hyn a ymdrechwn ei wneuthur i'w cyhoeddi yn ein Rhifyn nesaf. Mae yn amlwg i ni wrth y llythyrau ydym yn eu derbyn o wahanol fanau o'r wlad mai ymlaen yr â y Gymdeithas hon megys tân, nes llenwi yr holl Dywysogaeth: fe fydd canu rhyfedd yn ein plith cyn hir, a digon rhaid wrth ddiwygiad ar y pen hwn, canys mae y canu mawl wedi bod yn bur wael ac isel mewn llawer ardal.

Dyma duedd a thymmer Cenedl y Cymry;—Maent yn lled araf a phwyllys wrth dderbyn unrhyw beth newydd; ond wedi dechreu ymaflyd ynddo, nid oes o'u bath am weithredu gydag awgrym a zel dirfawr. Felly y mae gyda Chymdeithas Dirwestol; ac felly y bydd gyda Chymdeithas Gerddorawl. *C——r.*

## Llythyrau, &c.

Anwyl Syr,—Yr ydym ni y Cymry fel cenedl dan rwymau mawr i chwi fel Golygydd Trysorfa lawn o bethau buddiol er ein porthi â gwybodaeth ac â deall: ac nid wyf yn amheu, ond sylwi ar ei chyson ddarllenwyr, na welid fod dybenion daionus eisoes wedi eu hatteb, ac effeithiau dymunol i'w canfod megis yn ffrwyth o feddu yn ein hiaith, ein tai, a'n hardaloedd drysorau gwerthfawr eich Cylchgrawn.

Mae ein breintiau ni fel cenedl mor fawr ac mor aml fel ag y mae yn beth anhawdd i ni fethu gweled y rhwymau sydd arnom i gydnabod mewn diolchgarwch yr Hwn a'n cofiodd yn ein *hisel-radd*, gan anfon attom yn ein hiaith air yr Iachawdwriaeth, a chodi a chymwyso dynion o blith ein cenedl i fynegi i ni ffordd Iachawdwriaeth. Y Gair a ddarllenir, a bregethir, ac a heuir ymhob rhyw fodd yn ein plith a gaffo ei gyd dymheru a ffydd o'n mewn, fel y byddo ein ffrwyth yn sancteiddrwydd a'n diwedd yn fywyd tragywyddol.

Gelwir y duwiolion yn halen y ddaear, disgwylir iddynt hwy gan hyny fod yn ddefnyddiol i'r byd tra ynddo. Nid yw y goleu a'r hwn y cynysgaeddwyd hwy i'w guddio dan lestr, ac nid yw y talentau a ymddiriedwyd iddynt i'w cuddio yn y ddaear. Y mae nid yn unig y ddyledswydd o weddio am lwyddiant yr Efengyl, ond hefyd y fraint o arfer moddion i'r dyben iddi gael ei phregethu i bob creadur, yn orphwysedig ar bobl yr Arglwydd.

Nis gellir dweud am grefyddwyr Cymru eu bod yn segur, ac nad ydynt yn gwneuthur dim tuag at anfon yr Efengyl a'i breintiau dros derfynau eu gwlad eu hunain, canys cyfranant yn helaeth bob blwyddyn tuag at anfon y Bibl a Chenhadon hedd i eithafoedd y byd. Hefyd, mewn amryw ardaloedd yn nghyffiniau tywyll Clawdd Offa, mae y trigolion yn mwynhau breintiau yr Efengyl, a hyny ar draul y Cymry. Ac i'r manau yr arwain Rhagluniaeth nifeiri o'n cydgenedl allan o wlad eu genedigaeth, y mae eu brodyr yn Nghymru yn gofalu am anfon yr Efengyl ar eu hol.

Ac, O, mor hyfryd yw darllen yn y Drysorfa am y sibrwd sydd y dyddiau hyn yn Nghymru yn mherthynas i anfon yr Efengyl at ein brodyr yn ol y cnawd, y pabyddion druain yn Ffraingc, ac at ein cymydogion, sef pabyddion yr Iwerddon. Yr wyf yn hyderu y sefydlir Cymdeithas i ddwyn hyn i weithrediad. Y fraint a gaffom, Frodyr anwyl, i fod yn sicr, ddiymod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, gan chwanegu fwy fwy oddiar ystyriaeth fod tir lawer etto i ni i'w feddiannu, ond i ni yn gydwybodol a hunan ymwadol estyn ein camrau yn nes at derfynau yr ymadrodd—'Yr hyn a ALLODD hon, hi a'i gwnaeth.'

Fe allai mai nid anfuddiol fyddai crybwyll gair yn mherthynas i'r Genhadaeth Gymreig yn mhrif ddinas yr Iwerddon. Bydd yn hyfryd gan laweroedd glywed, er cymaint ein hanfanteision, fod gwaith yr Arglwydd yn hytrach yn llwyddo yn ein plith. Ar ddydd yr Arglwydd bydd genym Ysgol, Cyfarfod Eglwysig, a Phregethu ddwy waith; nos Llun, cyfarfod gweddi yn gyffredin mewn llong; nos Fercher, pregeth yn y Capel; a nos Wener, Cyfarfod Eglwysig: y mae genym hefyd Gymdeithas Ddirwestawl Gymreig. Mae nifer y gwrandawyr wedi bod gymaint, aml i dro yn ddiweddar, fel ag yr oedd ein haddoldy bron yn rhy gyfyng i'w cynwys: ac nid yw Zion *wan* yn ein plith yn gwbl heb neb yn ei cheisio. Heblaw y cannoedd Cymry ag sydd yn drigiannol yn Dublin, a'r morwyr Cymreig ag sydd yn arfer dod yma yn gyson, (y morwyr gan mwyaf sydd yn gwneud i fynu ein cynnulleidfaoedd), y mae yma yn bresennol hefyd uwchlaw 300 o Filwyr Cymreig. Rhwng pob dosparth o Gymry yn Dublin, y mae yma faes helaeth i lafurio ynddo; ac am nad oes etto ond ychydig mewn cydmariaeth yn ymgynull at eu gilydd i addoli yn gyhoeddus, y mae y llafur gan hyny yn fwy, gan y byddis yn myned o dŷ i dŷ i'r dyben i alw sylw ein gilydd at bethau tragywyddol. Bydd ysgrifenydd y llinellau hyn yn treulio llawer o amser i ymweled a'r milwyr Cymreig yn y Barracks, gan fyned o ystafell i ystafell i gyfranu traethodau, &c.: nid ymhelaethaf ar y pethau hyn yn bresennol. Gobeithio y cofia ein cyfeillion yn Nghymru am danom, gan weddio drosom, a'n cynorthwyo mewn pethau angenrheidiol i fyned yn mlaen gyda gwaith yr Arglwydd. Yr ydym yn hyderu drwy haelioni ein brodyr yn Nghymru, y cawn Addoldy cyfaddas i'r Cymry yn Dublin cyn bo hir.

Defnyddiaf y cyfleusdra hwn i hysbysu i'm cydwladwyr fy mod wedi ysgrifenu llyfryn yn Gymraeg, ac yn bwriadu ei gyhoeddi ar fyrder. Ni fydd ei bris ond bychan: ei deitl yw—

'*Eglwys Rhufain yn gyfeiliornus; neu Pabyddiaeth yn groes i Air Duw: gyd ag Atddodiad, yn cynwys helaethiad eglurhaol ar amryw sylwadau blaenorol.*'

Ei gynwysiad sydd fel y canlyn:—

I. Arweiniad i mewn—graddol ymddangosiad pabyddiaeth—uchafiaeth hawdd uchel y Pab.

hus Syr,—Dymunaf gael drwy gyf-
'rysorfa, eglurhad ar Rhuf. 3. 30.,
f neillduol, pa wahaniaeth sydd
'ynhau wrth ffydd,' a 'chyf-
'ydd?' GLAN CADWYN.

'ETH Y CYFIAWN.'

wn llythyr at gyfaill,
Ebenezer Richards,
'l am y golled a
ef:—'Efe oedd
o'i ysgwydd-
'n Solomon,
o honom.
'yddlon
'ul ni,
'dd-
'a

. weled
.giad Dir-
..awr iawn bod y
udynoethi y tywyll
.*gyroedd* meddwawl, (o'm
genyf beidio eu galw yn *ddi-*
wn modd yn y byd: oblegid yr
.or gysson o'r bron fyddai galw y *baw-*
*-gun* yn fwyd,) pa rai sydd yn brif felldith ein gwlad, ac yn distrywio cyrph ac eneidiau dynion. Mae y *gwlybyroedd meddwol* wedi gweuthur y fath ddrygau yn ein gwlad, hyd nes mae yn bryd i bob perchen rheswm ddyfod i'r maes i ryfela yn y rhyfel sanctaidd, yn yr hwn yr ydwyf finnau er fy ngwaeledd, am ymladd ymhob dull a modd ac y bo gweddus i mi. Ac yn wir, nid ydyw yn gywilyddus genyf. A gobeithio na thramgwyddwch wrthyf, fy mrodyr Dirwestol, oblegid fy ngwaeledd a'm hanfedrusrwydd, gan nad ydwyf ond ieuangc a diddysg, ond yn hytrach—

'Dowch bawb ynghyd, gwelwch y fraint
A gâdd y llai na'r lleia' o'r saint.'

Fel profiad, nid oes genyf bron ddim i'w ddywedyd, oblegid ni bum erioed yn feddw, ac ni allodd neb erioed roddi y nodweddiad du hwnw, o ddiotwr arnaf; ond bum yn yfed rhyw ychydig o honynt droiau wrth deithio, a'u heffeithiau arnaf fi oedd, codi cur yn fy mhen, ac anhwylio fy nghorph. Ond cyn gynted ag y cafwyd cyfarfod i areithio ar Ddirwest yn yr ardal yr ydwyf yn byw ynddi, cefais y fraint o gyduno â hi, a hyny yn *wirfoddol*; ond gwael oedd fy ngwaith yn ymuno a hi, os nad allaf roddi rhyw reswm am hyny, gan nad oeddwn feddwyn na diotwr o'r blaen; oblegid hen greft ambell *Anti-teetotaler*, (go ffol hefyd) yw dweud, mai meddwon, a rhai yn methu cadw eu hunain yn sobr, yw y *Teetotalers.* Ond nid felly y mae, oblegid yr ydwyf fi fy hun wedi bod mewn sefyllfa o brawf er tros 25ain o flynyddoedd, bellach, ac ni bum erioed yn gaethwas iddynt: ond paham y rhoddais fy enw? Mi attebaf, mi a'i rhoddais er mwyn pawb. Ac onid yw yn bryd hefyd? *onid yw yn achos?* Canys y maent wedi darostwng creadur rhesymol ymhell islaw un creadur *afresymol.* Ond fe allai mai mwy boddhaol fyddai i mi ymdrin a'r peth yn y tri phen canlynol.—

I. *Er fy mwyn fy hun.* Gan fy mod yn sobr, i beth y gadawaf fy enw ymysg y meddwon a'r diotwyr?—na, deuaf allan o'u canol hwynt. Gan fy mod yn bwriadu byw yn Ddirwestwr, paham na roddaf fy enw yn Ddirwestwr? Gan nad ydwyf am yfed dim o'r *gwlybyroedd meddwol,* yn ddirgel nac yn gyhoedd, ond am gilio ymhell oddiwrth y *gwlybyroedd* pechadurus, ffiaidd, a melldigedig hyn, ac yn ddyledswydd arnaf, fel yr ydwyf ag enw o Gristion arnaf, roddi siampl dda, deilwng i'w dilyn, i ereill; ac am fy sicrhau fy hun *ymhell bell* oddiwrthynt; ac a arosaf fi yn *Feros* felldigedig, a'm brodyr yn y rhyfel? Oblegid rhai cadarnach na myfi a gwympwyd trwy eu dwylaw, a rhai duwiolach na myfi a syrthiasant yn ysglyfaeth iddynt, a thrwy syrthio i'w crafangau, hwy a syrthiasant i byllau ereill, ac y mae eu coffadwriaeth yn warth yn hyny hyd heddyw. Am hyny diangaf i hardddeg fryn Dirwest am fy einioes, o'r lleoedd lleidiog, corsiog, siglenog, o ymarfer '*cymmedrol* fel y'i gelwir â'r gwlybyroedd lladronaidd hyn, pa rai yn ddiau sydd yn brif felldith yn ein gwlad. Er bod llawer yn barod i ddywedyd, ein bod yn synied yn amgen nag y dylid synied, gan haeru fod cymmedroldeb o honynt yn dda, a hanner peint o honynt yn dda yn eu lle. Ond pa le y mae ei le; maent yn hollol ddistaw yn ei gylch; ac etto, beiddiant ddywedyd ein bod yn synied yn amgen nag y dylid synied. Ond attebaf, *nac ydym,* ddim amgen na synied i sobrwydd, gyda'ch cenad, yr hyn sydd ddyledus arnom. Gadawaf y pen hwn, gan ofyn, Ai synied i sobrwydd yw ymarfer â'r gwlybyroedd meddwol, pa rai sydd yn gwneud y

Sobr yn feddw, a'r meddw yn feddwach,
Y ffol yn ffol, a'r ffol yn ffolach,
Gwneud yr aflan yn aflanach,
Y mwyn yn gas, a'r cas yn gasach,
Y gwâr yn frwnt, a'r brwnt yn fryntach,
Gwneud y creulon yn greulonach,
Y cryf yn wan, a'r gwan yn wanach,
Yr heini yn llesg, a'r llesg yn llesgach,
Yr iach yn glaf, a'r claf yn glafach,
Yr hardd yn hyll, a'r hyll yn hyllach,
Y glân yn fudr, a'r budr yn futrach
Gwneud y cawr yn wanllyd swpach'
Gwneud y gwirion yn wirionach,
Pob ynfytyn yn ynfytach,
A phob hurtyn lawer hurtiach,
Y Iarll yn dlawd, a'r tlawd yn dlotach,
Y llawn yn wag, a'r gwag yn wacach,
Y clyd yn llwm, a'r llwm yn llymach,

II. Hynafiaeth y wir grefydd: neu attebiad i'r gofyniad, 'Pa le yr oedd Arlystiaeth (*Protestantism*) cyn amser Luther?'

III. Am awdurdod Eglwys Rhufain ar reol ffydd, ac ar hawl y bobl yn gyffredinol i ddarllen Gair Duw.

1. Am berffaith reol ffydd.

2. Am hawl y bobl yn gyffredinol i ddarllen Gair Duw.

IV. Am addoliad cyhoeddus mewn tafodiaith ddieithr.

V. Nifer y Sacramentau.

VI. Cyfranogi o Gwpan y cymun.

VII. Traws-sylweddiad.

VIII. Aberth yr Offeren.

IX. Cyfiawnhad.

X. Dirgel Gyffes.

XI. Maddeuant pechodau.

XII. Gweddio ar Saint ac Angylion.

XIII. Addoli Delwau.

XIV. Am Briodas.

XV. Ymattal oddiwrth fwydydd.

XVI. Enciniad Eithaf, (*Extreme Unction.*)

XVII. Purdan.

XVIII. Yspryd Erlidgar Eglwys Rhufain.

*At-ddodiad.*

A. Yr Apocrypha heb fod yn rhan o Air Duw.

B. Budr-elw Pabyddiaeth.

C. Byr nodweddiad rhai o saint Eglwys Rhufain—ychydig hanes rhai o'r delwau a'r creiriau a addolir—Siamplau o'r gwrthiau pabaidd.

Ch. Chwil-lys, (*Inquisition*).

Fy mhrif ddyben yn cyhoeddi y fath lyfryn ydyw i gynorthwyo y Cymry yn Dublin i lynu yn eu proffes o Brotestaniaeth a'u harfogi ag Ysgrythyrau, &c i amddiffyn yr unrhyw yn erbyn ymosodiadau y pabyddion.

Gall y llyfryn fod yn fuddiol hefyd yn y manau hyny yn Nghymru ag y mae pabyddiaeth wedi ei sefydlu ynddynt.

Ac, hefyd gall fod yn fuddiol er dangos i'r Cymry yn gyffredinol beth yw Pabyddiaeth, i'r dyben o gynhyrfu eu tosturiaethau i anfon rhai i bregethu yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb i'r pabyddion druain.

Yr wyf wedi cael yr annogaethau cryfaf i gyhoeddi y llyfryn uchod, gan y rhai a gymerasant y drafferth o'i ddarllen drwyddo oll—Y rhai ag yr wyf yn ystyried yn fraint i mi gael ymddwyn yn ol eu cynghor.

Yr eiddoch, &c.

ROBERT WILLIAMS.

*Dublin, Hydref* 23, 1837.

## Gofynion.

Syr,—A oes rhyw beth i'w ddeall yn chwaneg wrth 'Daro y ddaear â melldith,' yn Mal. 4. 6., na'r hyn a ddywedodd Duw wrth Adda ar ol y cwymp, yn Gen. 3. 17. 'Melldigedig fydd y ddaear o'th achos di?'

TWROG.

Atteb. Oes: mae y felldith a gyhoeddodd Duw wrth Adda ar ol y cwymp, pan y dywedodd, 'Melldigedig fydd y ddaear o'th achos di; trwy lafur y bwyttâi o honi holl ddyddiau dy einioes. Drain hefyd ac ysgall a ddwg hi i ti, a llysiau y maes a fwyttâi di. Trwy chwys dy wyneb y bwyttâi fara hyd pan ddychwelech i'r ddaear; oblegid o honi y'th gymmerwyd; canys pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli,' mae hon, meddaf yn felldith gyffredinol wedi disgyn ar yr holl ddaear, ac felly y mae ei heffaith i'w gweled ymhob gwlad, ac ymhob oes er y pryd hyny hyd yr awr hon, a hyny am gamwedd y dyn cyntaf.

Ac er nad oes dim gwahaniaeth rhwng y felldith hono a'r un a fygythir yn Malachi o ran eu *natur*, ond y mae hono yn felldith *chwanegol* at y llall, ac yn felldith mwy llëawl, yn perthynu yn fwyaf neillduol i wlad Canaan, lle yr oedd yr Iuddewon yn preswylio y pryd hyny. Ac yn wir mae yn amlwg na chofiodd y genedl anhydyn a throfaus hono mo 'gyfraith Moses,' gwas yr Arglwydd, 'y deddfau a'r barnedigaethau y rhai a orchymynodd efe i Israel;' Mal. 4. 4. A hwy a wrthodasant wrando ar Ioan Fedyddiwr, yr hwn a ddaeth yn Ysbryd a nerth Elias, i droi calon y tadau at y plant, a chalon y plant at eu tadau,' adn. 5. Ac am hyny fe darawodd yr Arglwydd eu daear hwynt â melldith yn ol y bygythiad, fel y gwelir hyd y dydd hwn. Mae gwlad Canaan yn ddiareb o ddiffrwyth. Y wlad a fu 'yn llifeirio o laeth a mel,' sydd yn awr mor anial a diffrwyth, fel mai prin yr adwaenir hi mewn cydmariaeth i'r hyn a fu; canys yr Arglwydd a wnaeth 'dir ffrwythlawn yn ddiffrwyth am ddrygioni y rhai a drigant ynddo,' Psal. 107. 34.

CYHOEDDWR.

---

Syr,—Ai yr un peth a feddylir wrth ddammeg y talentau yn Matt. xxv. a Luc. xix. Ac os yr un yw, pa fodd y mae cymmaint o wahaniaeth rhwng y ddau Efengylwr yn ymadroddi am yr un peth?

TWROG.

---

Syr,—Byddai yn dda genyf gael gweled cyssondeb rhwng y ddwy adnod ganlynol, Act. i. 15. a 2 Cor. xv. 6. Dywedir yn un mai 'ugain a chant oedd nifer yr enwau;' ond dywedir yn y llall, fod 'pum cant o frodyr' wedi gweled eu Harglwydd, ar unwaith.' Mae rhyw niwl yn rhwystro i mi weled cyssondeb yr adnodau hyn: byddaf yn ddiolchgar i bwy bynag a chwalo y niwl hwn, drwy gyfrwng y Drysorfa fuddiol a difyr.

TWROG.

---

Syr.—Byddai dda genyf fi ac amryw ereill gael hysbysrwydd drwy gyfrwng y Drysorfa, pa fodd y mae gwneuthur y diodydd, *Lemonade, French Cordial*, a *Ginger Beer?*

B. B.

Barchus Syr,—Dymunaf gael drwy gyfrwng y Drysorfa, eglurhad ar Rhuf. 3. 30., sef yn fwyaf neillduol, pa wahaniaeth sydd rhwng 'cyfiawnhau wrth ffydd,' a 'chyfiawnhau trwy ffydd?' GLAN CADWYN.

---

'COFFADWRIAETH Y CYFIAWN.'

Dywedodd un gwr newn llythyr at gyfaill, am y diweddar Barch. Ebenezer Richards, Tregaron; wedi crybwyll am y golled a gawsom drwy ei farwolaeth ef:—'Efe oedd ein Saul ni, yr oedd yn uwch o'i ysgwyddau i fynu na phawb. Efe oedd ein Solomon, yr oedd yn ddoethach na neb o honom. Efe oedd ein Moses ni, yr oedd yn ffyddlon yn ei holl dŷ Ef. Efe oedd ein Paul ni, yr oedd gofal yr holl Eglwysi arno. Gwyddom yn ddigon da, er ein gofid, i wr mawr a thywysog syrthio yn Israel.'

---

## DIRWEST.

PAHAM YR YDWYF YN DDIRWESTWR?

Mae yn hyfrydwch nid bychan genyf weled a chlywed, a darllen, am y diwygiad Dirwestol; ac y mae yn werthfawr iawn bod y Drysorfa yn parhau i ddynoethi y tywyll sydd mewn *gwlybyroedd* meddwawl, (o'm rhan i, gwell genyf beidio eu galw yn *ddiodydd* mewn modd yn y byd: oblegid yr un mor gysson o'r bron fyddai galw y *bawbwgan* yn fwyd,) pa rai sydd yn brif felldith ein gwlad, ac yn distrywio cyrph ac eneidiau dynion. Mae y *gwlybyroedd meddwol* wedi gweuthur y fath ddrygau yn ein gwlad, hyd nes mae yn bryd i bob perchen rheswm ddyfod i'r maes i ryfela yn y rhyfel sanctaidd, yn yr hwn yr ydwyf finnau er fy ngwaeledd, am ymladd ymhob dull a modd ac y bo gweddus i mi. Ac yn wir, nid ydyw yn gywilyddus genyf. A gobeithio na thramgwyddwch wrthyf, fy mrodyr Dirwestol, oblegid fy ngwaeledd a'm hanfedrusrwydd, gan nad ydwyf ond ieuangc a diddysg, ond yn hytrach—

'Dowch bawb ynghyd, gwelwch y fraint
A gâdd y llai na'r lleia' o'r saint.'

Fel profiad, nid oes genyf bron ddim i'w ddywedyd, oblegid ni bum erioed yn feddw, ac ni allodd neb erioed roddi y nodweddiad du hwnw, o ddiotwr arnaf; ond bum yn yfed rhyw ychydig o honynt droiau wrth deithio, a'u heffeithiau arnaf fi oedd, codi cur yn fy mhen, ac anhwylio fy nghorph. Ond cyn gynted ag y cafwyd cyfarfod i areithio ar Ddirwest yn yr ardal yr ydwyf yn byw ynddi, cefais y fraint o ymuno â hi, a hyny yn *wirfoddol*; ond gwael oedd fy ngwaith yn ymuno a hi, os nad allaf roddi rhyw reswm am hyny, gan nad oeddwn feddwyn na diotwr o'r blaen; oblegid hen *greffi* ambell *Anti-teetotaler*, (go ffol hefyd) yw dweud, mai meddwon, a rhai yn methu cadw eu hunain yn sobr, yw y *Teetotalers*. Ond nid felly y mae, oblegid yr ydwyf fi fy hun wedi bod mewn sefyllfa o brawf er tros 25ain o flynyddoedd, bellach, ac ni bum erioed yn gaethwas iddynt: ond paham y rhoddais fy enw? Mi attebaf, mi a'i rhoddais er mwyn pawb. Ac onid yw yn bryd hefyd? *onid yw yn achos?* Canys y maent wedi darostwng creadur rhesymol ymhell islaw un creadur *afresymol*. Ond fe allai mai mwy boddhaol fyddai i mi ymdrin a'r peth yn y tri phen canlynol.—

I. *Er fy mwyn fy hun*. Gan fy mod yn sobr, i beth y gadawaf fy enw ymysg y meddwon a'r diotwyr?—na, deuaf allan o'u canol hwynt. Gan fy mod yn bwriadu byw yn Ddirwestwr, paham na roddaf fy enw yn Ddirwestwr? Gan nad ydwyf am yfed dim o'r *gwlybyroedd meddwol*, yn ddirgel nac yn gyhoedd, ond am gilio ymhell oddiwrth y *gwlybyroedd* pechadurus, ffiaidd, a melldigedig hyn, ac yn ddyledswydd arnaf, fel yr ydwyf ag enw o Gristion arnaf, roddi esiampl dda, deilwng i'w dilyn, i ereill; ac am fy sicrhau fy hun *ymhell bell* oddiwrthynt; ac a arosaf fi yn *Feros* felldigedig, a'm brodyr yn y rhyfel? Oblegid rhai cadarnach na myfi a gwympwyd trwy eu dwylaw, a rhai duwiolach na myfi a syrthiasant yn ysglyfaeth iddynt, a thrwy syrthio i'w crafangau, hwy a syrthiasant i byllau ereill, ac y mae eu coffadwriaeth yn warth yn hyny hyd heddyw. Am hyny diangaf i harddeg fryn Dirwest am fy einioes, o'r lleoedd lleidiog, corsiog, siglenog, o ymarfer '*cymmedrol* fel y'i gelwir â'r gwlybyroedd lladronaidd hyn, pa rai yn ddiau sydd yn brif felldith yn ein gwlad. Er bod llawer yn barod i ddywedyd, ein bod yn synied yn amgen nag y dylid synied, gan haeru fod cymmedroldeb o honynt yn dda, a hanner peint o honynt yn dda yn eu lle. Ond pa le y mae ei le; maent yn hollol ddistaw yn ei gylch; ac etto, beiddiant ddywedyd ein bod yn synied yn amgen nag y dylid synied. Ond attebaf, *nac ydym*, ddim amgen na synied i sobrwydd, gyda'ch cenad, yr hyn sydd ddyledus arnom. Gadawaf y pen hwn, gan ofyn, Ai synied i sobrwydd yw ymarfer â'r gwlybyroedd meddwol, pa rai sydd yn gwneud y

Sobr yn feddw, a'r meddw yn feddwach,
Y ffol yn ffol, a'r ffol yn ffolach,
Gwneud yr aflan yn aflanach,
Y mwyn yn gas, a'r cas yn gasach,
Y gwâr yn frwnt, a'r brwnt yn fryntach,
Gwneud y creulon yn greulonach,
Y cryf yn wan, a'r gwan yn wanach,
Yr heini yn llesg, a'r llesg yn llesgach.
Yr iach yn glaf, a'r claf yn glafach,
Yr hardd yn hyll, a'r hyll yn hyllach,
Y glân yn fudr, a'r budr yn futrach
Gwneud y cawr yn wanllyd swpach'
Gwneud y gwirion yn wirionach,
Pob ynfytyn yn ynfytach,
A phob hurtyn lawer hurtiach,
Y Iarll yn dlawd, a'r tlawd yn dlotach,
Y llawn yn wag, a'r gwag yn wacach,
Y clyd yn llwm, a'r llwm yn llymach,

Yn lle gwisgoedd hardd rhon't sitrach,
Troi'r pendefig gyda'r geriach,
Y da yn ddrwg, a'r drwg yn ddrycach,
Y galon galed yn galetach,
Y câr ymhell, a'r pell ymhellach,
Suddo'r dwfn yn llawer dyfnach,
Y craff yn ddwl, a'r dwl yn ddylach,
Gwneud y dall yn llawer dallach,
Dwyn yr iechyd a'r synwyrau
Parch ac enw a meddiannau,
Ac ar ol rhyw *fyr*, *fyr*, yspaid,
Lladd y corph, a damnio yr enaid,
Ffarwel, ffarwel, ffarwel bythol,
I'r holl wlybyroedd, meddwol, swynol.

II. *Yr ydwyf yn rhoddi fy enw er mwyn fy nghyfeillion, a'm cymmydogion oll.*

Ar yr egwyddor fawr hono, 'Câr dy gymmydog fel ti dy hun.' A pha fodd y caraf fy nghymmydog fel fi fy hun os na wnaf fy ngoreu o'r peth a allaf ei wneud iddo fel fi fy hun? Wedi i mi ddiangc fel hyn o ryw le peryglus, a fyddaf fi foddlon i adael fy nghyd greadur yno, os gallaf wneuthur rhyw beth tuag at ei ddwyn oddiyno?—na fyddaf; os bydd genyf gariad atto, yn ddiau. Os bydd tŷ fy nghymmydog yn myned ar dân, os gallaf fi ddiffodd y tân hyny, ac heb wneud, pa faint gwell a fyddaf na phe buaswn wedi ei losgi ef? Os gwelaf fy nghymmydog yn boddi, ac os bydd yn fy ngallu estyn llaw i'w achub ac heb wneuthur, onid priodol fyddai dywedyd mai myfi a'i boddodd ef? Iē, oddiar fy llaw i y gofynir ei waed ef. Terfynaf ar y pen hwn etto, gan waeddi fel Dafydd frenin gynt—'Gwared fi oddiwrth waed, O Dduw.'. 'Llanwer ni âg yspryd achub, yspryd doethineb, ac ofn yr Arglwydd, cyngor, a chadernid, cariad a phwyll.'

Ond yn III, ac yn benaf. *Er mwyn Sion ni thawaf, ac er mwyn Ierusalem ni ostegaf.* O! fel yr archollwyd Sion gan y gwlybyroedd dinystriawl hyn! O fel y gwaedwyd calonau llawer o dduwiolion yr holl oesau ganddynt! Pa nifer a roddwyd yn eu beddau dan eu creithiau, a'u heffeithiau sydd yn *blot* ar eu *caracter* a'u coffadwriaeth hyd y dydd hwn. Ac yn awr apeliaf at fy mrodyr crefyddol, os ydych am glirio eich nodweddiad ger bron byd ac eglwys,

Gwell ll'wgu'r chwant, ffarwelio'n glau
A'r holl wlybyroedd sy'n dwyn gwae.

Nid yw y Gymdeithas hon wedi gwneyd drwg i neb namyn da i bawb. Ni thrig ynddi neb meddw, ac etto derbynia y meddwon penaf. I'm golwg i y mae fel rhyw Ierusalem, yr hyn o'i gyfieithu yw Gweledigaeth heddwch, a gellir gofyn yn hon, Pa le mae meddwdod? efe a gauwyd allan—pa le mae ymladdau? hwy a gauwyd allan—pa le mae y tlodi a'r gwarth a ddygwyd i mewn trwy feddwdod? hwy a gauwyd allan—ïe, pa le mae y cynenau, y dadwrdd, a'r anghydfod, y croesau, a'r blinderau, y puteinio, a'r anlladrwydd, a llofruddiaeth, y rhai a achoswyd trwy gynhyrfiadau y gwlybyroedd dychrynllyd hyn? gyda gorfoledd yr atebaf o un o dyrau y ddinas hon, hwy a gauwyd allan.

Bellach, onid iawn y gelwir hi Ierusalem? Am hyny y dymunaf heddwch Ierusalem—1. Fel y byddo i mi gael trigo yn ei heddwch—2. Dymunaf lonyddwch iddi gan ei gelynion, a bod iddynt ddyfod a thrigo yn ei heddwch hi—ïe, llwydded y rhai a'i hoffant. Y llwythau fyddo yn esgyn yno, a gorseddfeingciau barn yn cael eu gosod; a heddwch fyddo o fewn ei rhagfur a ffyniant yn ei phalasau Er mwyn fy mrodyr a'm cyfeillion y dywedaf yn awr, heddwch fyddo i ti; ond yn benaf er mwyn tŷ yr Arglwydd ein Duw y ceisiaf i ti ddaioni.

RODLANT Y COED.

---

EFFEITHIAU ANGHYMMEDROLDEB.

Yn ddiweddar, aeth Cyfreithiwr o'r enw Robert Fitzgerald, Bride Street, Dublin, i'w wely mewn cyflwr o feddwdod, ac a gafwyd boreu dranoeth wedi marw!!

Ychydig Sabbathau yn ol, cafwyd corph Mr. John Martindale, o Buckabank, yn agos i Carlisle, ar fin afon Caldew. Efe a adawodd Dalston y nos o'r blaen yn dra meddw, gyda dyn o'r enw Edward Blamire. Cynnaliwyd celain-ymholiad ar y corph dranoeth, ond ni allwyd gwybod yn iawn pa fodd y cyfarfyddodd â'i farwolaeth am nad oedd Blamire yn gwybod pa le na pha fodd y gadawodd ef.

*Llosgi i Farwolaeth.*—Ar foreu Sul, Ebrill 2, llosgodd bachgen bach, dwy flynedd oed, o'r enw John Head, yn Hampstead-row, Llundain, i farwolaeth, o herwydd meddwdod ei fam! Ymrafaeliodd ei dad a'i fam ar nos Sadwrn, ac yn ei wylltineb, aeth y tad allan yn ei ol. Oddeutu un o'r gloch y boreu aeth ei wraig i chwilio am dano, ond ni ddychwelodd yr un o honynt hyd doriad y dydd. Ym mhen enyd canfyddai rhyw ddynion ystafell y tŷ yn mygu yn arw, ac wedi myned i mewn canfuasant y plentyn bach wedi llosgi yn *cinder* a'i dad a'i fam wedi meddwi.

*Marw wrth yfed.*—Ychydig ddyddiau yn ol, aeth dyn o'r enw Thomas M'Donaghue i ymladdfa yn Aintree, yn agos i Le'rpwll, ac wrth ddychwelyd adref efe a syrthiodd o'r fen yr oedd ynddi yn agos i *Black Bull*. Gwelwyd ef yn yfed gwirod yn helaeth yn Scotland Road. Efe a fu farw yn ddisymmwth yn y fan, a'r meddyg a dystiai, ar ol chwilio y corph, mai y parlys a'i tarawodd, a hyny o herwydd yfed i ormodedd.

---

*Cymmeryd diodydd Meddwol fel Meddyginiaeth.*—'Dowch i mewn,' meddai rhyw borthmon wrth brynu gwartheg, 'fel y caffom hanner galwyn uwch ben y fargen.' 'Na, na,' ebai'r Dirwestwr, 'dim i mi o

hwna beth bynag. 'Ond chwi wyddoch y gallwn ei gymmeryd fel meddyginiaeth,' meddai y porthmon. 'O! os felly,' ebai y dirwestwr, 'Dowch gyda mi i *Shop y Druggist* acw i nol blychaid o *Morrison's Pills* bob un!'

*Ynys fawr Jersey.*—Wrth gyfreithiau Jersey, y mae meddwon anniwygiedig yn cael eu hymddifadu o'r fraint o roddi pleidlais yn Etholiadau y Taleithiau, ac o gael swydd na rhan mewn un cyfarfod plwyfol na chyfreithiol yn yr Ynys.

*Gofyniad ac Attebiad.*—'Onid yw Alcohol yn un o roddion Duw?' ebai rhyw ddyn wrth Ddirwestwr, 'Ydyw,' attebai yntau, yn gymmaint o 'rodd Duw' ag ydyw yr olew poeth, yr *arsenic* a'r *prussic acid*—tebyg fel y mae y cleddyf, y drylliau, (*guns*), a'r magnelau (*Cannons*), a'r bwledau; a'r manau y lladdodd yr offerynau hyn eu miloedd y lladdodd eich diodydd alcoholaidd chwi eu myrddiynau.

*Rhybudd.*—Y rhybudd canlynol a gymmerwyd oddiar gefn papur o werth *dollar* yn Wheeling, Va:—'Gyfeillion, cymmerwch rybudd: dyma y *dollar* olaf a feddaf o waddol (*fortune*) o 30,000 o *ddollars*. Whiskey yw yr achos. *Dyn andwyol.*'

## Hanesiaeth Cenhadol.

### UITENHAGE, AFFRICA DDEHEUOL.

Yr ymarferiad o foddion gras yn y dosparth hwn o'r maes cenhadawl, a fu yn fendithiol iawn i'r trigolion. Mae yr eglwys a gynnullwyd trwy bregethiad yr Efengyl yn y lle hwn yn amrywiol genhedloedd a llwythau yn Affrica Ddeheuol; ond y maent yn rhwymau a ffydd yr Efengyl wedi dyfod yn un teulu, ac yn un corph yn cynnyddu iddo ef yr hwn yw y Pen, sef Crist. Yn yr hanes a dderbynir y naill dro ar ol y llall oddi wrth Mr. Messer, y Cenhadwr ffyddlawn a llafurus yn Uitenhage, y mae seiliau cedyrn i obeithio y bydd i waith yr Arglwydd fyned rhagddo, ac ymhelaethu yn ddirfawr yn y dosparth hwnw o'r wlad. Yr hanes canlynol a dynwyd allan o lythyr a anfonwyd at Ysgrifenydd y Gymdeithas yn mis Rhagfyr 1836.

'Yr wyf yn diolch i chwi am eich llythyr caredig a ysgrifenasoch yr 26ain o Mai diweddaf, yn yr hwn yr hysbysasoch eich dymuniad a'ch gweddi ar fy rhan; mae ein cyd-weddiau wedi cael eu gwrando yn y nef, a'r atteb wedi disgyn i lawr, canys, mi fedyddiais ddeg o bobl mewn oedran a deuddeg o blant er pan dderbyniais eich llythyr: onid yw yn achos o ddiolchgarwch i Dduw, oherwydd yn y pum mlynedd o'm preswyliad yn y wlad hon, fe gasglwyd yma Eglwys o 122 o nifer o aelodau, sef 53 o brentisiaid, 59 o Hottentotiaid, a 10 o'r Caffrariaid; a 91 o blant y rhai sydd yn proffesu, wedi eu bedyddio.

Yr wyf yn meddwl nad anghofiaf byth y Sabbath diweddaf: yr oedd yn ddiwrnod nodedig iawn yn Uitenhage. Bedyddiwyd dwy eneth ieuainc o'r prentisiaid, yr oedd llawer o bobl wynion yn bresennol, effeithiodd yr hyn a ddywedwyd yn y bedydd ar amryw o honynt nes oeddynt yn wylo yn hidl. Yn wir yr oedd yr holl gynnulleidfa dan ryw ddylanwadau effeithiol iawn, ac yr oeddwn I fy hun hefyd yn profi cymmaint o wedd wyneb yr Arglwydd nes oeddwn yn methu dal i weinyddu yr ordinhad sanctaidd. Y mae 14 o bersonau yn awr ar brawf yn aros cael eu bedyddio, ac nid oes un amheuaeth ynof ynghylch gwirionedd eu ffydd yn Nghrist; ac mae eu nifer yn amlhau beunydd. Mi fyddaf yn fynych yn methu peidio meddwl pan fyddaf mewn cyfarfod eglwysig, y byddai yn hyfryd gan Gyfarwyddwyr ac aelodau y Gymdeithas Genhadol, pe gallent weled a'u llygaid eu hunain pa beth y mae'r Arglwydd yn ei wneuthur yn ein plith.

Nid oes dim llawer er pan fuom yn dywedyd mewn Cyfarfod cyhoeddus, wrth weled ac ystyried, fel y mae gras Duw yn ymddangos yn nychweliad pechaduriaid, y dorf liosog o wrandawyr astud, a'r olygfa sydd yn ymddangos o chwaneg o lwyddiant ar yr efengyl, a chwanegiad at yr eglwys yn y lle hwn, y dymunwn fod yn ieuengach nag ydwyf o bum mlynedd ar hugain, i'r dyben o gael pregethu yr Efengyl fendigedig o hyny yn hwy. A phan dywelitais fy meddwl yn y modd yma, canfyddais lawer-oedd yn dangos yn eu gwedd olygiad serchiadol iawn tuag attaf.'

Wrth ysgrifenu ar yr 2il dydd o Mehefin mae Mr Messer yn dywedyd fel hyn;—Mae Duw yn parhau i fendithio fy llafur; yn gymaint a darfod i mi yn ddiweddar, gael y mawr foddlonrwydd o fedyddio un-ar ddeg o bobl mewn oedran, ac wyth o blant. Mae y gwrando yn chwanegu yn fy nghapel yn barhaus, fel y bu raid i mi adeiladu esgynlawr (*Gallery*), yr hwn a gynnwys uwchlaw cant o bobl, ac yr wyf yn dysgwyl y gorphenir ef ymhen y pythefnos.

Yn y mis Mai diweddaf nyni a adnewyddasom y Gymdeithas Gymmedroldeb, ac mewn un prydnawn cawsom gant a thrigain i law-arwyddo yr ardystiad, oll yn bobl o liw. Yr ydym yn disgwyl y llwyddwn i wneuthur mawr leshad yn y modd hwn. Byddai ein nerth ein hunain a'n holl lafur yn ofer heb weddi; ond gwyddom mai drwy daer weddio y cawn gymhorth yr Hwn a addawodd wrando gweddiau ei bobl.

Am i Dduw pob gras fod gyda chwi a minnau, ac am i'w achos mawr ef lwyddo yn ein dwylaw, ydyw taer a gwir ddymuniad eich gostyngeiddiaf wasanaethwr yn yr efengyl, J. G. MESSER.

*Ymadawiad Cenhadon o Frydain i fyned i'r India Ddwyreiniol.*

Yn fuan wedi y Cyfarfod nodedig a gynnaliwyd yn Llys Exeter, Hydref 17, 1837, am yr hwn y crybwyllasom yn ein Rhifyn diweddaf, y cyfryw o'r Cenhadon ag oeddynt i fyned i Travancore yn yr India ddwyreiniol, a gychwynasant ar fwrdd llong a elwir Severn, Cadpen Wake. Cychwynasant o Graves End ar yr 20fed o Hydref diweddaf. Y Cenhadon y rhai a aethant allan i gyhoeddi newyddion da i bechaduriaid ar ddarfod am danynt, oeddynt y Parch. Charles Mead, yr hwn oedd yn dychwelyd yn ol i'r maes llafur lle y bu o'r blaen yn Neyoor, ei fab hefyd, a'i ferch; y Parch. J. T. Pattison, a Mrs. Pattison; y Parch. John Abbs. a Mrs. Abbs, y Parch. John Cox, a Mrs. Cox; Mr. R. Ramsay, Cenhadwr Meddygol, Mrs. Ramsay, a Miss Paul; a'r Parch. J. Russell. Yr holl frodyr na buont allan o'r blaen o'r nifer uchod, ydynt i lafurio yn Travancore.

## Hysbysiadau Crefyddol.

### AGORIAD CAPELI.

Hydref 31, a Tachwedd 1, agorwyd Addoldy newydd perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd, o'r enw Bethlehem, yn Heol Evan Wyn, Rhymney, Swydd Forganwg. Ei hyd yw 45 o droedfeddi, wrth 31 o led oddifewn. Mae ynddo 43 o gorau ar y llawr, a 10 ar yr oriel, yr hon sydd oll yn rhydd, ond y rhechr flaenaf. Nid yn aml y gwelir tŷ mwy cryf, hardd, a chyfleus; ond nid yn rhodresgar; mae yn cael ei oleuo gan 18 o ffenestri mawrion, yr hyn a'i gwna yn hynod o ysgafn a goleu: ac felly y mae yn dangos mawr fedrusrwydd yr adeiladydd, sef, y Parch. William Davies, Ysgwyddgwyn.

Haeddawl yw coffâu am y gwr boneddig haelionus, Edmund Williams, Ysw. Maes y rhyddid, Ynad Heddwch. Rhoddodd y tir dan y Capel, ynghyd ag amryw latheni o'i flaen, er gwasanaeth Cwrt, ac hefyd i helaethu y Capel os bydd achos; yn cynnwys Ammod-rwym (*Lease*) am 99 o flynyddoedd; am y swm bychan o bum swllt yn y flwyddyn. Yr ydys wedi cyfrif fod y rhodd hon o eiddo Mr. Williams yn werth £70, yn ol fel y prisir daear at achosion o'r fath, yn y Gweithfaoedd Haiarn. Yr ydym yn diolch iddo o'n calonau; gan ddymuno iddo ef, a'u deulu, bob dedwyddwch a llwyddiant, fel boneddwr, yn y byd sydd yr awr hon; ac yn yr hwn a fydd fywyd tragywyddol. Nid yw y Capel hwn mo chwarter milltir o fewn terfyn Swydd Forganwg, am hyny efe a gyfrifir o fewn y nifer a berthynant i Gyfarfod Misol Swydd Fynwy. Y gwasanaeth cyhoeddus a fu yn y drefn ganlynol:

Nos fawrth, am 6 o'r gloch, dechreuwyd gan Mr. William Lewis, Llaneirwg; pregethodd Mr. Dafydd Davies, Trecastell, oddiwrth Ps. 51. 12. a'r Parch. Thomas. Elias, Llangamarch oddiwrth Dat. 1. 13.

Am 10, yr ail dydd, dechreuwyd gan Mr. John Davies, Dowlais; pregethodd Mr. Evan Evans, Nantglo, oddiwrth Actau 2. 17, a'r Parch. Morgan Howells, Casnewydd, oddiwrth Ioan 20. 31.

Am 2, dechreuwyd gan Mr. Thos. Evans, Penycae; pregethodd Mr. William Bowen, Pontypwl, oddiwrth Gal. 4. 16. a'r Parch. Thomas Elias, oddiwrth Dat. 22. 1.

Yn yr hwyr, am 6, cynhaliwyd cyfarfod Dirwestol yn Ebenezer;* dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Mr. John Evans, Kendal; gwedi hyny yn unfryd dewiswyd Mr. William Williams, Rhymney, yn Gadeirydd. Cyfarchodd y gynnulleidfa liosog ynghylch natur a dyben y cyfarfod; yna galwodd ar Mr. Dafydd Davies, Trecastell, ac ar ei ol ef, y Parch. Thomas Elias, Llangamarch. Ar y diwedd daeth ymlaen, 41 o newydd, i bleidio sobrwydd a dirwest. Cwrdd da iawn oedd hwn. Llawer o'r rhai a ymunasant oeddynt y meddwon gwaethaf yn yr ardal. Mewn Cwrdd aelodau yr wythnos oedd yn canlyn, ychwanegwyd 11 drachefn at ein Cymdeithas.

*Rhymney.* DEWI EGWAN.

### AGORIAD CAPEL BILSTON.

Mawr yw daioni, a hynod yw trugaredd Duw tuag attom ni cenedl y Cymry. Nid yn unig mae hyfryd sain yr Efengyl yn llenwi ein gwlad ein hunain, ond hefyd clywir hyfrydlais yr Efengyl yn seinio yn ein clustiau, yn ein hiaith ein hun yn yr hon y'n ganed ni, mewn gwledydd eraill hefyd.

Y mae yn Bilston a'i hardaloedd gannoedd o'n cydgenedl, ag y mae llawer o honynt yn marw o eisiau gwybodaeth, yn trengu yngafael y pechodau ffiaidd o feddwdod, godineb, a halogiad sabbathau Duw.

Ond darfu i'r Duw mawr, o'i ryfeddol ras, anfon ei Efengyl attynt yn eu hiaith eu hunain er's oddeutu tair blynydd bellach. Ond yr oedd yr achos yn isel iawn yn eu plith; yr oeddynt heb eu huno âg un corph crefyddol yn Nghymru. Ond danfonasant eu cwyn at y Trefnyddion Calvinaidd i Gymru; a hwy a wrandawsant arnynt, ac y maent wedi addaw anfon Gweinidogion attom, heblaw y Pregethwyr sydd yn llafurio yn ein plith. Yr oedd y lle oedd gennym i addoli yno yn fychan ac anghyfleus. Eithr ar y Sabbath y 29 o Hydref, 1837, cawsom y fraint fawr o gynnal cyfarfod i agor Capel cyfleus iawn, yn Heol yr Undeb, (*Union Street*,) Bilston.

* Hen Gapel y Trefnyddion Calfinaidd, yr hwn sydd filldir a hanner yn uwch i fynu yn y Cwm; adeiladwyd ef yn y flwyddyn 1806, ac fe'i hail-adeiladwyd yn y flwyddyn 1834.

Y boreu, am 10, gweddiodd Mr. John Jones, Tipton, a phregethodd Mr. Edward Price, Birmingham ar Gen. 26. 22, a Mr. Robert Davies, Soar, ar Eph. 1. 10. Am 2, Gweddiodd Mr. Evan Lloyd, Birmingham, a phregethodd Mr. Robert Davies, ar Tit. 2. 14, a gweinyddodd yr ordinhad sanctaidd o swpper yr Arglwydd.

Am 6, gweddiodd Mr. John Jone a phregethodd Mr. Edward Price, ar Marc 2. 17, a Mr. Robert Davies ar Ioan 3. 19.

Yr oedd y Capel bron yn llawn o wrandawyr; ac hefyd cawsom fwynhau gwledd ddeublyg, o herwydd daeth cyfeillion o Birmingham attom, a buom yn cydwledda o ran ein cyrph yn yr Ysgoldy, ac yr wyf yn hyderu y bu pob perchen ffydd yn cydwledda ar gorph a gwaed Crist wrth weled yr arwyddion o'i gorph ef wedi ei ddryllio, a'i waed ef wedi ei dywallt. A diau y gallwn dystio, mai gwir yw y gair hwnw a lefarodd yr Arglwydd, 'Ymhob man lle y rhoddwyf goffadwriaeth o'm henw, y deuaf attat ac y'th fendithiaf.' Disgwyliwn y bydd i Mr. Robert Davies, yn ol ei addewid, anfon attoch hanes helaethach o'i ymweliad â ni.

PETER ELLIS.

*Bilston.*

---

TEITHIAU SABBATHOL SIR GAERNARFON.

1. Rhiw Gyfylchi, Llanfair, ac Aber.
2. Gatehouse, Felin hen, a Pentir.
3. Llanllechid, a Carneddi.
4. Caerhûn, a Bangor,
5. Capel y graig, a Tan y maes.
6. Rhyd fawr, Cwm y Glo, a Llanrug.
7. Dinorwig, a'r Ysgoldy.
8. Rehoboth, a'r Capel Coch.
9. Rhyd ddu, Salem, a Waun fawr.
10. Cae Athro, a Caernarfon.
11. Bont newydd, a Rhos tryfan.
12. Carmel, Bwlan, a Brynrodyn.
13. Tal sarn, Mynydd, a Llanllyfni.
14. Bryn eura, Capel uchaf, Sion.
15. Llithfaen, Nefyn, ac Edeyrn.
16. Nefyn, Boduan, a'r Efail newydd.
17. Carn Madryn, Dinas, a Dydweiliog.
18. Rhyd lios, Uwchmynydd, a Pen y Caerau.
19. Pen y Graig, Tŷ mawr, a Rhyd bach.
20. Llanengan, Nant, a Pigstreet.
21. Rhyd y Clafdy, Pentre uchaf, a Pwllheli.
22. Pwllheli, Abereirch, a Bryn bachau.
23. Four Crosses, Cwm Coryn, Ysgoldy.
24. Pencoed, Brynengan, a Bwlch derwyn.
25. Garn, y Gyfyng, a Bethel.
26. Bont fechan, a Criccerth.
27. Bryn melyn, Horeb, a Tremadoc.
28. Peniel, Bethania, a Beddgelert.

*Beddgelert.* DAFYDD JONES.

---

LLYTHYR O AMERICA.

Cincinnati, Hydref 11, 1837.

Barchus Gyfaill,—Mae y Cymry yn awr yn son am ddechreu Cyhoeddiad Misol yn New York, a elwir 'Y Cymro o'r Hen wlad yn yr America.' Ei gyhoeddwr yw y Parch. W. Rowlands, o Ddeheudir Cymru. A chan fod genym Gyhoeddiad o'r fath, gwell genym i chwi beidio ag anfon y Drysorfa i Cincinnati yn rhagor, nid am na fyddai yn ddâ genyf ddarllen y Drysorfa; ond y *gost* a'r drafferth sydd i'w chael yn y wlad bellenig hon. Ac os bydd dim rhyfedd a buddiol yn cymeryd lle neu yn cael eu cyhoeddi yna, cawn ef trwy ein Cyhoeddiad Americanaidd. Y mae y Parch. E. Jones, wedi cyraedd yma ers 6 wythnos yn ol, ac y mae efe yn iach, a'i deulu.

Nid yw y wlad hon mor fywiog ag y bu er dechreu yr hâf hwn, o herwydd chwyldroad yn y *Banks*, a llawer o ddynion yn cario eu gweithiau ymlaen tuhwnt i'w gallu â'r Arian benthyciol a llôg uchel arnynt. Y mae Brydain wedi ein curo yn deg ar farsiandiaeth, trwy anfon yma fwy nag a ddanfonasom ni yna, nes oedd y ddyled yn troi yn erbyn y wlad hon. A bu gorfod i'r *Bankiau* gloi eu harian gwynion yn eu daear-gelloedd rhag eu dyhysbyddu o'u Trysorau.

Ond y mae y Gweithfaoedd yn cael eu cario ymlaen yn lled fywiog yn bresenol; a geill pob dyn a dynes a fyno weithio gael gwaith a chyflog dâ, yn enwedig yn Nhalaethiau Ohio, Indiana, ac Ilinois; ac ymhob man arall pan ewch oddiwrth gyffiniau y Môr.

Y mae yma alwad mawr am weithwyr i'r Camlasau, a'r Cledrffyrdd: y maent yn cael o 15 i 20 *dollar* yn y mis, a'u bwyd. Crefftwyr yn cael cymaint ddwy waith a gweithwyr. Y mae gryn alwad am y diweddaf yn amryw gyrau o'r wlad,

Y mae y tiroedd wedi codi agos yr haner yma y ddwy flynedd ddiweddaf; ond tir y Llywodraeth sydd yr un bris eto, Sef (*Dollar a chwarter*): y mae yn werth o 50 i 100 dollar yn agos i'r ddinas hon. Yn agos i'r Afon Ohio gellir cael tir am o 10 i 20 dollar,

Y mae trigolion y wlad hon yn hynod am gefnogi Dysgeidiaeth. Mae y llywodraeth yn rhoddi 640 Erw o dir ymhob 6 milldir *ysgwar*, trwy yr holl wlad, ac y mae yn y ddinas hon 9 o ysgoldai helaeth i roddi addysg yn rhad i bob plentyn o 6 i 14 oed. Y mae yma yn cael eu hargraffu 4 o Newyddiaduron dyddiol; tua 9 o rhai wythnosol: a llawer mwy o Gyhoeddiadau Misol. Argraffodd un Argraffdŷ y flwyddyn ddiweddaf dros 5000, o Gyfrolau (*Volumes*). Gwerthir llyfrau yn llawer is yma nag yna; ond yr wyf yn gweled fod y dreth yn cael ei lleihau ar Newyddiaduron yna.

Y mae yma fel yna lawer o gyhoeddiadau

o blaid Cymmedroldeb, ond y mae y rhan fwyaf o honynt yn awr yn troi at yr 'hollol ymwrthodiad,' fel yr unig foddion i ddifodi Meddwdod o'r wlad; ac, os dywedwch chwithau ddim o blaid sobrwydd, dywedwch mai hollol ymwrthodiad yw yr unig ffordd i ymladd â Meddwdod a'i orchfygu. Mae yma lawer o son am bobl Cymru a Lloegr yn eu hymladdfeydd â Meddwdod.—Y mae Dr. Beecher yn byw yn agos i'r ddinas hon, ac yn areithio yn aml o blaid Cymedroldeb, ond yn ddiweddar y mae yn areithio o blaid 'hollol ymwrthodiad â phob math o ddiodydd meddwol.'

Clywsom fod llawer o bobl o Ewrob yn, ac wedi, lanio yn yr America, ac o herwydd fod glanau y môr a dinasoedd porthladdol wedi eu llenwi â phob math o ddynion, yr oedd yn anhawdd iddynt gael gwaith; ac yna troi yn ol adref gan farnu mai felly yr oedd pob man yma. Ond pe buasent yn ymwthio i ganol y wlad, cawsant ddigon o waith a chyflog lled ddâ rhagor yna. Dywedwch wrth bawb a weloch yn dyfod yma, am beidio troi yn ol nes gweled talaith Ohio ac Indiana, &c. ac aros yno flwyddyn o leiaf, o achos mae pob beth yn ymddangos i ddieithryn mewn dieithrwlad fel pe bai y byd wedi ei droi a'i wyneb i wared; ac wrth hyny yn camgasglu.

Cofiwch ni at ein hen gyfeillion a'n brodyr a'n chwiorydd crefyddol, gan obeithio nad ydynt yn ein hanghofio wrth orsedd grâs; yno y gallwn gyfarfod hyd nes y cawn gyfarfod yn y Gymanfa fawr, lle y cawn ymborthi ar gariad anorchfygol, ac anherfynol, heb flino byth. Amen.

Y mae y Grefydd Gymreig yma yn myned yn mlaen yn lled gyson; heb ddim rhyw bethau neillduol iawn; ymbell i un 'yn ymofyn y ffordd tu a Seion, a'u hwynebau tu ag yno.' Y mae arnom angen mawr am i'r Ysbryd Glan ein hanwain i bob gwirionedd, ac at ffynonau bywiol o ddyfroedd, lle y mae y sychedig yn cael tori ei syched mawr mewn anialwch sych a diffaith.

Yr eiddoch,

THOMAS PARRY.

### LLYDAW.

At Olygydd y Drysorfa—Cynhwysa eich Rhifyn diweddaf Gofnodau Cymdeithasfa Pwllheli; ac yn mhlith pethau eraill sylwadau teilwng mewn perthynas i gyflwr gresynol y Llydawiaid, ynghyd a'r amcan daionus o anfon Cenhadau oddiwrth y Trefnyddion Calfinaidd i bregethu yr Efengyl iddynt. Dywedir gan Ysgrifenydd y Cofnodau, 'Cyfieithwyd y Testament Newydd i'w hiaith gan y Parch. D. Jones o Gaerfyrddin.' Mae gradd o gam gymmeriad yn y dywediad hwn fel y mae yn hyspys i bwy bynnag sydd yn feddiannol ar un o'r Testamentau Llydawaeg. Ar ei du dalen wawl y gwelir yr hyn a ganlyn: 'Troet è Brezounek, gant I. F. M. M. A. Le Gonidec.' Gwnaed y cyfieithiad gan y gwr bonheddig hwn dan arolygiaeth y Parch. D. Jones, yr hwn a fu farw cyn ei orphen. Wedi hynny ymgymmerodd y Parch. Thos, Price, Crughywel (*Carnhuanawc*) a'r gwaith, ac y mae yn deilwng o sylw i'r Cymro dysgedig hwn fyned i Lydaw ar ei draul ei hun, er mwyn cael y Cyfieithiad yn y blaen yn gywir, a diocdi; ac nid yn unig hynny, ond darllenodd y cwbl yn *feirniadol*, cyn ei roddi i'r byd yn gyhoeddus.

Mae y Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor wedi argraffu Mil o Destamentau yn nhafodiaith y Bretoniaid; ond er fod deng mlynedd bron wedi myned heibio er pan y daethant allan o'r wasg yn Angouleme, mae yn alarus dweud fod llawer o honynt yn aros yn ystordy y Gymdeithas, yn Paris, hyd y dydd hwn, a hyny nid o ddiffyg ewyllys da tuag at ein cyd genedl yn eu tlodi, ond yn hollol oblegid diffyg offerynau addas i'w dosparthu.

Mae yr Hen Destament hefyd, wedi ei gyfieithu gan M. Le Gonidec, a'i adolygu gan Mr. Price, ac y mae yr Ysgrif yn nghadw yn Llyfrgell y Bibl Gymdeithas; ond nid yw yn debygol yr argreffir ef, nes byddo galwad am dano, naill ai oddiwrth y Llydawiaid eu hunain, neu ryw rai eraill sydd yn awyddus bod yn wasanaethgar i'w heneidiau.

Yr wyf yn llawenhau wrth weled arwyddion o gynnydd ar yspryd Cenhadol a Biblaidd yn ein plith, a gobeithiaf y bydd i'r dymuniad am anfon Cenhadau'a Biblau i'r Llydawiaid a'r Gwyddelod ddwyn ffrwyth toreithiog.

Ond gan mai amcan y llythyr hwn ydyw rhoddi 'parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus' mewn cyssylltiad a'r cyfieithiad Llydawaeg, terfynaf trwy hybsysu y bydd yn bleser genyf weled aml erthygl yn eich cyhoeddiad buddiol, mewn perthynas i Lydaw a'r Iwerddon, yn rhifynau y flwyddyn ddyfodol. Ydwyf yr eiddoch,

THOMAS PHILLIPS.

*Gelli*, (*Hay*) *Rhag*. 16, 1837.

### Y LLYDAWAEG.

Mae tair o gangenieithoedd (*Dialects*) yn Llydaw, ac mae y gwahaniaeth rhyngddynt yn gyffelyb i'r gwahaniaeth sy rhwng y Gymraeg yn Ngogledd a'r Gymraeg yn Neheudir Cymru. Cangeniaith *Treguier*--Cangeniaith *Vanne*—a Changeniaith *Quimper*. Ond mae yn ddigon amlwg mai yr Iaith Gymraeg yw eu gwreiddyn hwynt oll, er fod y Foneddiges yn lled anhawdd ei hadnabod ar yr olwg gyntaf am ei bod mewn gwisg Ffrengig. Canys mae y Llydawiaid, heblaw eu bod yn cymmysgu llawer o'r Iaith Ffrengig gyda eu hiaith eu hun, y maent hefyd yn ffurfio eu hymadroddion,

ac yn sillebu eu geiriau yn ol dull ac orgraff Ffrainc. Er Engraifft:—

'Evel ur bluen e dorn un hini a scrif buan.' Hyn yn ein dull ni o sillebu fyddai, *Fel yr bluen yn dwrn un rhyw un ysgrif buan.*

Etto:—'Me a gred er Speret Santel, hac an ilis universel.' Sef, *Mi a greda yr Yspryd Sanctaidd, ac yn eglwys universal,* (neu *gyffredinol.*) &c. &c.

Gwel hefyd y Bennod gyntaf o Ioan yn ein Rhifyn diweddaf, tu dalen 366. adn. 1. 'Er penn kenta edo er Ger.' *Er pen cynta' yr oedd y Gair.* 'Hag ar Ger a ioa gand Doue.' *Ac ar Gair a oedd gyda Duw.*

Adn. 2. 'He-man a ioa er penn kenta gand Doue.' *Hwn oedd er y pen cynta' gyda Duw.* Adn. 14. 'Hag ar Ger a zo bet great kik.' *Ac ar gair a grenyd yn gig.* 'Hag eo bet o choum enn hon touez.' *Ac efe a drigodd yn ein plith ni.* 'Ha gwelet hon euz he c'hloar.' *A gweled ei* (glory) *gogoniant ef.* 'Gloar o c'hiz euz a Vap penn-her ann Tad.' (Glory,) *gogoniant megis unig anedig Fab a Tad.* 'Leun a drugarez hag a wirionedd.' *Llawn a drugaredd* (*gras*) *a gwirionedd.*

Wrth yr engreifftiau hyn a llawer chwaneg a ellid eu nodi, gwelwn y byddai yn hawdd iawn i Gymro ddysgu y Llydawaeg, oherwydd y mawr gyffelybrwydd sy rhyngddi a'r Gymraeg, canys nid ydynt ond dwy gangen o'r un Iaith.

Y mae yn nodedig iawn fod y Llydawiaid yn arferyd cyfnewidiad llythyrenau yn debyg i'r Cymry; megis newid *B* i *V; K* neu *C* i *G*, ac i *Ch; D* i *Z* neu *Dd; M* i *V; P* i *B; T* i *D*, &c.—Ffurfiant rif liosog geiriau, fel ninnau, trwy gyfnewid llythyrenau; megys,

| *Unig.* | *Llios.* |
|---|---|
| *Cazec* neu Caseg | *Kezec* neu cesig. |
| *Davad* | *Deved* neu defaid. |
| *Gavr* | *Guevr* neu geifr. |
| *Yar* neu Iar | *Yer* neu ieir. |
| *Castel* neu Castell | *Kestel* neu cestyll. |
| *Dant* | *Dent* neu daint. |
| *Dræn* neu draen | *Drein* neu drain. |
| *Ascorn* neu asgwrn | *Eskern* neu esgyrn. |

Mae y terfyniadau hefyd a arferant hwy i ffurfio rhif liosog yn gyffelyb i'r eiddom ninnau; megys,

| *Unig.* | *Llios.* |
|---|---|
| *Merh* neu merch | *Merhed* neu merched. |
| *Bugul* neu bugail | *Bugulion* neu bugeilion. |
| *Sul* | *Sulieu* neu suliau |
| *Escob* | *Escobed* neu esgobiaid |
| *Disquibl* neu dyscybl | *Disquiblen* neu *dyscyblion.* |

Ffurfiant ereill trwy newid llythyrenau ac ychwanegu terfyniad, fel ninnau; megys,

| *Unig.* | *Llios.* |
|---|---|
| *Goas* neu gwas | *Guesion* neu gweision. |
| *Mab* | *Mibien* neu meibion. |

Ffurfiant hefyd rif liosog benywaidd trwy fwrw ymaith derfyniad fel ninnau; megys,

| *Unig,* | *Llios.* |
|---|---|
| *Leuen* neu lleuen | *Leu* neu llau. |
| *Logoden* neu llygoden | *Logod* neu llygod. |

Llawer iawn o anghreifftiau o'r fath a ellid ychwanegu: a thuag at am *eiriau* cyffelyb y maent ymron yn aneirif. Ond fel y dywed asom o'r blaen, y mae eu dull ffrengigaidd o silliadu yn gwnëyd llawer o honynt yn anamlwg iawn.

## Helyntion yr Amseroedd.

### Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Y matter mwyaf ei bwys a ddygwyd ger gwydd y Tŷ yn fuan ar ol passio Cyfarchiad i'r Frenhines am ei grasusaf Araeth, oedd Araeth Arglwydd Brougham ar Sefydliad trefn Addysg gyffredinol i blant Lloegr a Chymru. Mae yr anhawsdra o sefydlu Cyfraith i roi Dysgeidiaeth i blant pawb yn ddiwahan, o'hyd yn ymddangos yn beth anhawdd iawn i'w wneud, gan gymmaint sy o zel bleidgar ym mhawb yn gyffredinol. Canys os rhoddir awdurdod Ysgolion y llywodraeth yn nwylaw Gweinidogion yr Eglwys wladol, fe haera yr Ymneillduwyr y caiff eu plant hwy eu gorthrymu, drwy gael eu gwasgu a'u rhwymo i fyned i'r Eglwys Wladol i addoli ar y Sabbathau, yn lle myned gyda'u rhieni i'r Capeli. Ac o'r tu arall, os rhoddir awdurdod yr Ysgolion yn llaw yr Ymneillduwyr, bydd yr Eglwyswyr yn ofni y gwneir y plant oll yn Ymneillduwyr.

Drachefn, os addysgir y plant yn athrawiaeth yr Ysgrythyrau, a'u harfer i ddarllen eu Biblau, fe anfoddlona hyny rieni Pabaidd, fel nad anfonant eu plant i'r Ysgolion, ac yna bydd eu plant hwy, yn enwedigol plant rhieni tlodion o honynt, yn parhau yn ddiddysg: ac yn y modd hyn ni ddysgir plant pawb. Hefyd, os byddis yn darllen y Testament Newydd yn yr Ysgolion, ni enfyn yr Iuddewon eu plant iddynt.

Ac os na ddarllenir y Bibl mewn un modd yn yr Ysgolion hyn, bydd miloedd o Eglwyswyr ac Ymneillduwyr syml a duwiol yn ofni yn ddirfawr rhag i'r Ysgolion fod yn Athrofäu digrefydd, ac o fesur ychydig myned yn llawn o anffyddiaeth, ac yn erlidgar yn erbyn crefydd. Pwy bynag a ystyrio yn ddwys yr anhawsderau hyn a'u cyffelyb, ni ryfedda fod cymmaint o wahanol farnau ac o groes-ddadleu ar yr achos pwysfawr hwn yn nau Dŷ y Senedd, pa bryd bynag yr ymdrinir â'r peth.

Mae Arglwydd Brougham yn awyddus iawn ers blynyddau am osod rhyw drefn i fynu i roi dysgeidiaeth i blant pawb yn ddiwahan. Efe a roddes gynnygiad ar hyn o'r blaen, ychydig flynyddau yn ol; ond ni lwyddodd, canys cyfododd plaid gref o Ymneillduwyr yn erbyn ei drefn y pryd hyny oblegid fod y drefn yn rhoi awdurdod i

Offeiriaid y plwyfau i ddewis Athrawon yr Ysgolion, gan farnu oherwydd hyny y gwesgid y plant i fyned i'r Eglwys Wladol i addoli, neu os nad aent yno, yr edrychid arnynt fel rhai anufudd, ac yr ymddygid yn erlidgar tuag attynt fel y cyfryw: felly ni wnaed Cyfraith i'r perwyl hyd y dydd hwn.

Ond yn ei Araeth ddiweddar, mae Arglwydd Brougham wedi dwyn i mewn gynnygiad am Drefn newydd i sefydlu Ysgolion Gwladol i roi Dysgeidiaeth i holl blant deiliaid ei Mawrhydi yn Lloegr a Chymru y rhai a ewyllysiont anfon eu plant i'r Ysgolion i gael eu dysgu ynddynt.

Y drefn sy debyg i hyn:—Bod tri o foneddigion yn cael eu pennodi yn Ddirprwywyr, a dau o Weinidogion y Llywodraeth yn cael eu huno â hwynt yn gwneud i fynu bump o Ddirprwywyr i arolygu yr holl Ysgolion drwy Loegr a Chymru i ddysgu plant pawb yn ddiwahan. Bod yr holl orchwyl dan olygiad a llywyddiaeth y pum Boneddwyr hyn. Na byddo dim caeth reolaeth yn cael ei ddefnyddio mewn un modd mewn perthynas i'r rhieni na'r plant, na threfn eu dysgeidiaeth chwaith; ond bod rhyddid mawr yn cael ei ddefnyddio ymhob rhan o'r ymdriniaeth. Na byddo dim gorfodaeth yn cael ei osod ar neb, ond yn unig, gorfodaeth ar fod yr Ysgrythyrau Sanctaidd, yr holl Feibl, yn cael ei ddarllen ymhob Ysgol. Ac os bydd rhieni o Babyddion neu Iuddewon yn ewyllysio, hwy gânt gymmeryd eu plant allan o'r Ysgol pan fyddo y Bibl yn cael ei ddarllen. Mae yr Ysgolion, gan mwyaf i gael eu sefydlu yn y trefydd, oherwydd fod yno lawer o blant gweithwyr tlodion, y rhai na feddant foddion i roddi dysgeidiaeth iddynt. Bod y Llywodraeth i roi arian i gynnal yr Ysgolfeistriaid, ond y bydd raid troi pob ffrwd a aller yn gyfiawn eu cael i gynnorthwyo; megis yr holl Gymun-roddion y rhai a adawyd yn unig at roddi addysg i blant.

Mae y llywodraethwyr yn barnu fod Arglwydd Brougham yn un o'r gwyr mwyaf addas i roi cynnygiad am drefn dysgeidiaeth o neb yn y deyrnas, o herwydd ei fod mor awyddus am gael y peth i ben, a'i fod wedi chwilio i mewn i'r achos gyda manylrwydd mawr ers llawer blwyddyn. Mae yn debygol y gwneir rhyw beth o'r cynnygiad yn yr eisteddfod pressennol.

Dydd Iau, Rhag. 7. Dyg Mr. Bains o Dŷ y Cyffredin Ysgrif 'Ardystiaeth Swyddwyr y Corphoraethau,' i Dŷ yr Arglwyddi, i'w ystyried a'i bassio yn Gyfraith.

Dydd Gwener. Dyg Duc Richmond Archiad oddiwrth Aelodau Ariandai, Masnachwyr, ac ereill o Brighton, yn deisyf ar eu Harglwyddi wneud cyfraith i leihau tollau llythyrau.

Dyg Arglwydd Brougham Archiad i mewn oddiwrth Eglwyswyr Devonshire; ac un arall o'r un Sir oddiwrth Fedyddwyr; ac un arall oddiwrth Anymddibynwyr, oll yn deisyfu ar eu Harglwyddi bassio cyfraith i gael y Caethion oll yn rhyddion yn yr India Orllewinol, oblegid fod eu Meistriaid yn eu gorthrymu hwynt, mewn amryw fanau yn llawn mor dost ag oeddynt cyn eu prentisio hwynt.

*Tŷ y Cyffredin.*—Rhag. 6. Dywedodd Arg. John Russell y bydd i Eirchion yn erbyn etholiad amryw o aelodau y Tŷ, i gael eu cymmeryd dan sulw ar y 6ed dydd o Chwefror nesaf. Haerai amryw o'r Areithwyr ar yr achlysur hwn fod Cyngrair gan y *Tories* yn erbyn dewisiad Aelodau ag oeddynt yn *Whigs*. Ac fe gododd dadl boethlyd iawn ar yr achlysur hwn, yr hyn a barhaodd agos ar hyd amser y cyfarfod y dydd hwn. Ac ymhell ar y nos fe ddarllenwyd Ysgrif 'Ardystiaeth Swyddwyr y Corphoraethau,' y drydedd waith, a phasiwyd hi. Yna Dyg Arg. John Russell Ysgrif Cyfraith am reoleiddio amser taliad y trethi gan bleid-leiswyr Aelodaeth y Senedd, ac am ddiddymu traul y Stampiau ar dderbyniad rhyddfreiniad prentisiaid mewn Dinasoedd a Threfydd Bwrdeisiol. I ddiweddu cynnadledd y dydd hwn, dywedodd Arg. John Russell wrth Arg. Stanley, 'nad oedd efe ddim i fyned allan o'r Tŷ y tro hwn gan feddwl y bydd i'r Cyngrair a ffurfiwyd i'r dyben o gasglu arian drwy ragdaliadau i geisio bwrw yr Aelodau Gwyddelig allan o'r Tŷ, gael myned heibio yn ddisulw gan y Senedd.'

Rhag. 7. Dygwyd Archiad o Westminster, ac un o Edinburgh, ac o amrywiol fanau ereill yn dymuno am i'r Tŷ lunio cyfraith am fod i holl bleidleiswyr yn newisiad Aelodau y Senedd gael rhoi eu pleidair i mewn yn ol trefn coelbren, *(ballot)* fel nad allai neb gael gwybod o blaid pwy y rhoddir y pleidlais, ond y pleidleiswyr eu hunain. Gan farnu nad oes un ffordd arall i gael gwybod gwir feddwl y wlad am wrthrych y dewisiad. Mae cymmaint o hudoliaeth, bygwth, denu, a gwobrwyo yn bod ymhlith Meistriaid tiroedd, Meistriaid gweithydd, &c. yn newisiad Aelodau y Senedd, fel nad ydyw y pleidleiswyr yn cael tegwch a rhyddid i ddewis y neb a fynont; canys y mae cannoedd o bobl, ie, miloedd lawer yn gorfod rhoi eu pleidlais yn erbyn eu hewyllys. Cynnwysai yr Eirchion hyn hefyd ddymuniad am helaethiad ar y rhagorfraint o bleidleisio ar yr achlysur hwn. Hefyd am fod dewisiad o newydd Aelodau y Senedd yn cael ei wneud yn amlach na phob saith mlynedd.

Dywedodd Cadeirydd y Tŷ, fod yr ymrafael a'r gwrthddadleu a fu yn y Tŷ ddydd mercher diweddaf wedi cael effaith ddwys ar ei feddwl ef, fel ag yr oedd efe yn teimlo rhwymau arno i hysbysu i'r Tŷ, mai os gwelai efe y cyffelyb ymddygiad etto y bydd raid iddo ef roddi ei swydd i fynu o fod yn Gadeirydd i'r Tŷ.

Rhag. 8. Dywedodd Mr. O'Connell y

bydd iddo ef ofyn caniattad am ddwyn i mewn Ysgrif am Ryddfreiniad yr Iuddewon yn fuan ar ol y gwyliau.

Dywedodd Arglwydd John Russell y bydd iddo ef roi cynnygiad am ail ddarlleniad yr Ysgrif am Gorphoraethau y Werddon ar y 15ed o'r mis hwn, Rhagfyr. Ac y bydd iddo bennodi dydd yn fuan wedi hyny am iddi gael ei hystyried mewn Eisteddfod.

*Rhestr y Tâl-ddognau blynyddol*, (*Pension List*).

Dyg Canghellwr y Drysorlys gynnygiad f mewn am i Eisteddfod gael ei ffurfio i edrych i mewn i'r Cyfreithiau a wnaed mewn perthynas i'r Tâl-ddognau blynyddol (*Pension List*). Ac wrth ddwyn hyn i mewn efe a wnaeth Araeth faith iawn. Syr Robert Peel hefyd a wnaeth Araeth faith ar yr un achlysur, ac amryw ereill hefyd. Ond o'r diwedd rhanwyd y Tŷ, a chafwyd o blaid

| | |
|---|---|
| y Cynnygiad.................... | 295 |
| Yn erbyn ................... | 233 |
| Mwy o blaid o ........ | 62 |

Penodwyd Eisteddfod i chwilio i mewn i'r angenrheidrwydd am Drefn gyffredinol Dysgeidiaeth i'r werin. Y boneddigion canlynol a sefydlwyd ar hyn o orchwyl:—Mr. Slaney, Syr R. Peel, Mr. P. Thomson, Syr H. Verney, Arg. Sandon, Mr. J. Parker, Mr. Wyse, Arg. Ashley, Mr. P. Scrope, Syr S. Canning, Mr. G. W. Wood, Mr. Estcourt, Syr G. Strickland, Mr. Hawes, a Mr. V. Smith; a bod pump yn ddigonol i weithredu.

Pennodwyd hefyd Eisteddfod i chwilio i mewn i'r cynnygiad am wneud Cyfraith newydd i beidio carcharu am ddyled; a'r gwyr canlynol a enwyd at hyn o orchwyl:—Yr Arg. Ganghellwr, Arg. Arlywydd, Arg. Y Gyfrin Sêl, Duc Richmond, Duc. Wellington, Ardalydd Salisbury, Iarll Devon, Arg. Redesdale, Arg. Ellenborough, Arg. Melbourne, Arg. Colchester, Arg. Lyndurst, Arg. Brougham, Arg. Denman, Arg. Abinger, ac Arg. Langdale.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Rhag. 10. Dyg Arg. Ganghellwr genadwri oddiwrth y Frenhines i mewn yn deisyfu ar eu Harglwyddi ystyried achos ei pharchus Fam, Duces Kent, gan ei bod mor agos i'r goron, am iddynt drefnu mewn perthynas iddi yn ol ei sefyllfa bresennol.

Cynnygiodd Arg. Melbourne ar fod i genadwri ei Mawrhydi gael ei hystyried gan y Tŷ; a chyttunwyd i hyny fod.

Rhag. 15. Dyg Arglwydd Radnor Archiad oddiwrth Lyfrwerthwyr Llundain yn deisyf cael gostyngiad yn nholl llythyrau. Ac Arg. Brougham un arall yn deisyf cael diddymiad ar garchariad am ddyled.

*Tŷ y Cyffredin.* Rhag. 12. Cafodd Mr. Hume ganiattad i ddwyn Ysgrif i mewn am leihau y draul yn newisiad Aelodau i'r Senedd yn Lloegr a Chymru. Dyg Canghellwr y Drysorlys i mewn gynnygiad, mewn attebiad i'r Genadwri oddiwrth y Frenhines, ar fod ychwanegiad o swm o £22,000 i 30,000 yn cael ei wneud at gynnaliaeth Duces Kent. Ac â hyn ni chyttunai Mr. Hume mewn un modd. Er hyny cyttuno a wnaed: ond ystyrir y peth ymhellach.

Rhag. 13. Darllenwyd Ysgrif Diwygiad ar Gyfraith Etholiad, ac ar Gyfraith Rhyddfreiniad Prentisiaid, yr ail waith, a dodwyd hi at sulw Eisteddfod. Hysbysodd Mr. Charles Wood fod cyttundeb ar droed i anfon Llythyrgod y Llywodraeth o Liverpool i Dublin.

Rhag. 16. Drwy resymau a osodwyd o flaen y Tŷ gan Mr. Goulburn, fe wnaeth y Canghellwr y cynnygiad hwn, 'Bod i'r hyn oll oedd Duces Kent yn ei dderbyn cyn hyn i gael ei ddiddymu, ac yn lle hyny bod y llywodraeth yn rhoi iddi £30,000 yn y flwyddyn.' Yr hyn a ystyrir ymhellach ddydd llun.

SPAEN.

Mae Don Carlos, y gwrthryfelwr, yn parhau i gyfnerthu ei fyddinoedd mewn parottoad am ryfel tost etto yn erbyn lluoedd y Frenhines. Dywedir fod gan Don Carlos un mil arddeg ar hugain (31,000) o filwyr dan arfau o bob math. Ac mae Espartero yn ymbarottoi, yntau hefyd, i'w wrthwynebu ef. Mae y naill yn ymgadw oddiwrth y llall yn bresennol, yn gwilio eu gilydd, gan ddysgwyl mantais i daro. Ond mae yn debygol na faidd y naill na'r llall wneud nemawr gynnygiad am ryfel yn nyfnder y gauaf.

DIRWEST YN LIVERPOOL.

Mae Mr. John Finch o Liverpool yn ysgrifenu at gyhoeddwr y Newyddiadur y Cronicl, o'r un lle, fel hyn. *Liverpool, Rhagfyr* 4. 1837.

Syr,—Yr wyf yn credu fod deng mil ar hugain o drigolion Liverpool eisoes wedi llawarwyddo aelodaeth o'r Cymdeithasau Dirwestol, ac fel y mae llaweroedd o'r rhai hyn yn benau teuluoedd, mae yn ddigon tebygol fod tair gwaith y nifer hyny yn medi llesâd o'r cyfnewidiad sydd yn eu bucheddau. Mae genym ynghylch ugain o gyfarfodydd dirwestol bob wythnos yn y dref hon, ac y mae o bedwar i chwe chant yn yr wythnos yn ymuno a'n byddinoedd.

JOHN FINCH.

*Dyn yn cael ei dagu i farwolaeth gan ddarn o gig.* Dydd Sabbath y 10 o Ragfyr diweddaf, yn Liverpool, yr oedd dyn o'r enw John Kelly, gweithiwr wrth y dydd, yn bwytta ei giniaw, yn ei dŷ, yn Union Court, Banastre Street, efe a alwodd ar ei wraig am ddwyn iddo lymaid o ddwfr. Efe a'i hyfodd, ac yn y fan, efe a ollyngodd y cwpan i lawr o'i law, ac a gwympodd yn

wysg ei gefn, gan ymddangos fel pe buasai yn tagu Rhedodd ei wraig atto, ac a'i cyfododd i fynu, ac a ddododd ei bysedd yn ei enau; ond efe a'u tynodd allan, ac a fu farw yn fuan iawn. Galwyd am Feddyg, yr hwn a'i chwiliodd ef, i edrych beth fu yn achos o'i farwolaeth. Ac efe a gafodd ddarn o gig eidion yn ei wddf ef, yr hwn a fesurai fodfedd bob ffordd.

*Caerlleon.*—Nos lun, Rhagfyr 18, cynnaliwyd cyfarfod mawr yn Llys y ddinas i ystyried cyflwr y Prentisiaid yn yr India Orllewinol. Mae yn hysbys i'n darllenwyr yn gyffredinol fod ein Llywodraeth wedi talu ugain miliwn o bunnau i berchenogion y Caethion am eu gollwng yn rhydd; a'r modd a drefnwyd i hyny oedd eu prentisio hwynt, a thrwy hyny talu rhyw ychydig o gyflog iddynt am eu gorchwyl; ac yn y cyfamser rhoi moddion addysg iddynt i'w parottoi i ddyfod yn hollol rydd yn y flwyddyn 1840. Mae yn amlwg wrth dystiolaethau lawer fod yr hen feistriaid yn parhau i orthrymu, curo, fflangellu, a chosbi eu prentisiaid yn y modd creulonaf; ïe mewn rhai parthau o'r India Orllewinol yn llawer gwaeth nag y gwnaethant pan oeddynt yn Gaethion. Yr oedd yn y cyfarfod hwn wr boneddig, o'r enw Mr. Sturge, yr hwn a aeth i'r India ar ei draul ei hun, fel y gwelai â'i lygaid ei hun y gwirionedd am ymddygiad y Meistriaid calon galed tu ag at eu prentisiaid. Penderfynwyd anfon Eirchion i'r Senedd am ollwng y Prentisiaid yn rhydd, am na chyflawnodd y Meistriaid ammodau Cyfraith y Rhyddhad.

*Y Senedd.*—Mae yn debygol y bydd i'r Senedd dorri i fynu i gadw Gwyliau y Nadolig ar ddydd gwener Rhag. 22. Ac yr agorir hi drachefn y dydd cyntaf o Chwefror, 1838.

Mae yr Ysgrif am adeiladu Dau Dŷ newyddion i gynnal Cyfarfodydd y Senedd, yn lle yr hen rai, wedi cael ei darllen yn Nhŷ y Cyffredin dair gwaith.

*Rhybudd i yrwyr troliau.* Mae amryw o berchenogion troliau wedi cael eu dirwyo yn Nghaerlleon, am fod gyrwyr y cyfryw droliau wedi eu gadael i sefyll yn hwy ar yr heol nag y mae yn angenrheidiol at lwytho neu ddadlwytho. Ac hefyd am fod y gyrwyr yn eistedd yn eu troliau ar y ffordd fawr heb ffrwyn i ddal penau eu meirch yn eu llaw.

*Canada.*—Mae hi yn bur derfysglyd yn Canada, canys cafwyd allan fradwriaeth yno, ac mae amryw o'r bradwyr wedi eu cymmeryd i fynu, a'u carcharu. Mae rhyw aflonyddwch ymysg y trigolion yn parhau.

## MARWOLAETHAU.

Dydd Sadwrn, Rhagfyr 16, 1837, bu farw yn 76 mlwydd oed, Mr. Wilcoxon, yr hwn a fu yn Weinidog i'r gynnulleidfa yn Commonhall Street, Caerlleon, dros 33 o flynyddoedd. Mawr a hir y teimlir y golled am dano, a'r hiraeth ar ei ol. Fe fu y gwr llafurus hwn yn pregethu yr Efengyl hanner cant o flynyddoedd, yn rhad; sef heb dderbyn dim tâl gan neb am ei lafur. Yr oedd yn bregethwr effro, yn gyfaill ffyddlon, yn gymmydog hynaws, ac yn fasnachwr cyfiawn.

Dydd Mercher, Rhagfyr 20, bu farw yn Nghaerlleon, Mr. Hemingway, yr hwn a fu lawer o flynyddoedd yn Olygwr Newyddiadur y Cronicl yn Nghaerlleon.

*Damwain ddychrynllyd.*—Dydd sadwrn y 9 fed o Ragfyr, aeth dyn o'r enw George Leigh ar ben un o'r Cerbydau gwylltion ar y ffordd haiarn yn agos i Liverpool, ac a syrthiodd i lawr, ac fe aeth olwynion y Cerbydau dros ei goesau, ac a dorrodd y ddwy. Dygwyd ef i'r Clafdy ac a fu farw yn fuan yno.

## BARDDONIAETH.

### Y GAN FUDDUGOL AR DDIRWEST.

*Testyn Caradoc yn y "Seren Ddirwestol."*

#### DIRWEST.

Neud Awen arddherchawg daeth awr i ti ganu,
Anwiw yw dy gymmell â'th yspryd yn dân;
Pa'nd *Dirwest* gyweiria dy delyn fwyneiddgu,
A'i phennill melysawl yn fwynaidd a chwery
Pan deri dy fys ar y rhês tannau mân.

Cyweiria dy delyn yn mhoethder yr ornest,
Mae byddin y 'cedyrn' ar giliaw i'w ffau,
Cyn hir y cei chwareu hen gleddyf y goncwest,
A swniaw dy gerddi yn fwyn gyda *Dirwest*,
'Nol bolltiaw y porth a rhoi cymmorth i'w gau.

*Dirwest*—dy enw sy'n hyfryd yn seiniaw;—
*Dirwest*—wyd un o dduwiesau y nef;—
*Dirwest*—mae'r anial o'th ol yn blodeuaw,
A niwl cyfeiliornad canrifoedd yn ciliaw,
A heddwch yn llon ar y gron ddaear gref.

Ha! *Ddirwest* orenwawg—genyt ti 'n ddiau
Mae'r gareg* a eura ddefnyddiau yr oes;
Bu farw'r athronydd gan weled ei heisiau
Ond wele yr awrhon yn nghanol y dyddiau,
*Dirwest* yn llaw y Dirwestydd a'i rhoes.

Y bwthyn mil-dyllog yr awrhon gyweiriaist;
Y plantos croen-llymion ddilladaist yn llad;
Y wreigan alarus yn weddus a drwsiaist;
Y byrddau gorweigion â brasder a huliaist;
Y *tlodion* a chwarddant yn *nghyfoeth y wlad.*

Pan gyntaf eisteddaist ar lenydd yr aber,
Gan ganmol y ffrwd a ddolenai ger bron,
Ti ddygaist fy nghalon â'th arawd oedd geinber,
'Dyma win anian ddarllawodd ein Gwiwner,
Wna wendid yn nerth—a wna brudd-der yn llon.

* Philosopher's stone.

"'A *dwr* lleinw Iechyd ei gwydryn serchogaidd,
Wrth *ddwr* y mae glendid a harddwch y'nglyn'
A *dwr* yw adfywiant y bywyd llysieuaidd,
A *dwr* yw adgyfnerth y bywyd 'nifeilaidd,
A *dwr* ydyw diod iachusawl y dyn."

Yr ychain a redant i rydau yr afon,
Dychwelant yn fywiog i'w prangc ar y ddol;
Y meirch a weryrant ar laswellt ei minion,
Gan dori eu syched â'i grisial ddwr gwiwlon;
Nid oes a'i diystyra ond dyn yn dra ffol.

Is gwraidd y tew lwyni yn Eden bwysiawg
Y troellai'r IEHOFA y gloywddwr yn lli',
Arweiniai yr afon trwy'r gwely blodeuawg,
A'i rhin y goleithiai y coedydd canghenawg,
A'u ffrwythau yn hardd a chwardd arni hi.

Mor deg yn y boreu oedd gweled ein rhiaint
Yn rhodiaw ar lenydd afonydd yr ardd;
A murmur y dwr eu hoff anthem gyd-blethant
Gan dd'wedyd—"O Arglwydd IEHOFA'r gogoniant
Mor *berffaith* yw 'th waith, mor hyfryd, mor hardd."

Ond, O! tua'r nawn pan duai'r terfyngylch,
A dyn ei fyddaru gan bechod a'i stwr,
Dyw edai yr adyn wrth syllu'n falch ogylch,
"*Nid perffaith* gweithredoedd yr IOR o fy amgylch,"
*Myfi* a'i *perffeithiaf*—cymmysgaf y dwr."

A'r dwr a gymmysgodd—daeth allan yn wenwyn,
A'i natur a suddodd o dano yn flin;
Gwnaeth win yr IEHOFA yn ddiod y meddwyn—
Ah! adyn andwyawl, ystyria fynydyn,
Perffeithiaist waith Duw yn dy ddinsytr dy hun.

"Yf *ddwr*," meddai Duw, "mi a frithaf y ddaear
Ag amlder o hono yn llon ar bob llaw;
Cei glywed y nentydd a'r afon yn trydar,
Cei weled y llynoedd a'r moroedd yn hawddgar."
"(Yf *ddwr*," meddai natur, "daioni it' ddaw.")

"Rhof *ddwr* ar y dolau 'n arianaidd wythienau,
A phlethaf yr helyg yn hardd ar ei fin,
Gwnaf iddo dyrfu yn pannedd y creigiau,
Ymwriaw a rhuaw yn serthawg raiadrau,
Yn loywlan ei bryd—archwaetha ei rin."

"O! na," meddai'r dyn, "mi a sathra 'r gwinwryfau,
Mi feddwaf yn dost yn nghyfeddach y gwin;
O'th lysiau dystyllaf ryw amlder gwirodau,
Mi dynaf y cwrw yn rhuddgoch o'th heiddiau,
Perffeithiaf dy waith, ac archwaethaf eu rhin."

"Paid, paid," medd IEHOFA;— "paid, paid," meddai natur,
Yn ateb yr IOR fel craig lefair y bryn;
Ond Duw a gynhyrfodd i ddinystr prysur,
Wrth weled y meddwyn yn gwrthod ei gysur,
Fe dynodd ei law, ac fe gwympodd i'r llyn.

Yn ffrydlif ei afiaeth yr yfai y meddwyn
Holl gysur a heddwch ei blantos a'i wraig;
Aeth heibio ddoethineb heb unwaith ei herfyn,—
Cyfrifodd ddynoliaeth yn wael-beth ysgymmun,—
Gwatworodd ei Dduw yn ei serch at ei saig.

Llefarodd yr Arglwydd mewn rhuad taranau,
Gan luchio ei fellt at y meddwyn i'w ladd;
Ysgytiodd ef hefyd dros gopa y creigiau,
Rhoes iddo ef wely yn ngwaelod dyfnderau,
Ond ef ni chydnabu IEHOFA un gradd.

"Paid, paid," ebai Dirwest, "a'th farnau IEHOFA,
Rho imi dy fendith ni fyddaf yn llorf;
Gâd imi gael esgyn i fryniau hen Walia,
A swniaw fy nghân o Bumlymon i'r Wyddfa,
Mi gasglaf ei phlant o dan sobrwydd yn dorf."

Ac wele o'i deutu y Cymry ymgasglodd
I wrando ar swyn ei thelynau a'i chân;
Hi ganfu y meddwyn—i'w chol hi a'i cipiodd,
Dechreuai ei suo i gwsg—ac fe sobrodd,
Cofleidiodd ei llwybrau moesgarawl a glân.

Y gwr ym mraich *Dirwest* i'r deml sy'n cyrchu,
A'i wraig i'w fraich yntau yn fwyn ac yn fâd;
A'r plant bach yn nwyláw eu gilydd dan wenu
A blethant eu hanthem i Dduw, gan foliannu
Y dydd y cofleidiodd hoff *Ddirwest* eu Tad.

Ac heddyw i *Grefydd* y gwnaeth ef yn anrheg,
Cyflwynodd ef iddi yn llon ac yn llad;
Mae'n dysgu anthemau Ierusalem wiwdeg.
Ac at yr IEHOFA fel plentyn yn rhedeg,
Gan waeddi'n hyderus—"Fy nhad, O! fy nhad!"

Mae gwawr y Milfwyddiant yn euro'r Eryri,
A chymyl caddugawl y ddunos yn ffoi;
A si yn nghymmysgiad awelon y llwyni,—
"Partowch ffordd yr Arglwydd heb esgus a diogi
Mae'r cerbyd yn dyfod heb rwystr i'w droi."

Mae'r ddaear oedd gyntaf ar fyned byth heibio,
A'i hanfad bleserau, ei phechod, a'i bâr;
Disgynodd yr Arglwydd, a chrea un etto,
A hoffa ei enaid ym muriau 'r un hono,
A bydd ei phreswylwyr yn llonydd a gwâr.

Fe gyfyd ei babell yn llon gyda dynion,
Fe drig yn eu canol i'w tywys a'i law;
Yr anial fydd dryfrith gan fil o rhos cochion,
A'r lili ymg'lyma o gylch y boncyffion,
A'r Arglwydd yn hidlaw ei fendith fel gwlaw.

Y man lle'r ymrwyfai y dreigiau gwenwynig,
Yno y tyf y corsenau a'r brwyn;
Ynghanol dyffryndir y crasdir sychedig,
Y tardda ffynonau o ddwr bendigedig;—
Lle pigai y drain bydd ffynnidwydd yn llwyn.

Yr oenig a chwery a phalfau y bleiddiau;
Y fuwch gyda'r arth a borant ynghyd;
A'r plentyn ymafla yn nghanol y dreigiau,
Gan chwareu a'u colyn, a chyfrif eu cylchau;
Can's mynydd sancteiddrwydd i Dduw fydd y byd.

AP ALFRED.

## PERORIAETH.

ERFYNIAD, Psalm 57. (Gan R. MILLS, Llanidloes.)















# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXVI.] CHWEFROR, 1838. [LLYFR VIII.

## COFIANT

### MR. WILLIAM JONES O GAERFYRDDIN.

Ar yr 28in o Fedi diweddaf, bu farw Mr. William Jones, o Gaerfyrddin; un o ddiaconiaid yn Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd, yr hwn wedi ymdrechu gyda ffyddlondeb o blaid achos yr Arglwydd yn ei holl ranau, a aeth i mewn i lawenydd ei Arglwydd.—Er cydnabod daioni yr Arglwydd tuag atto, a chymell eraill i obeithio yn yr Arglwydd, dymunai wneuthur ychydig o'i fywyd yn gyhoeddus.

Ganwyd ef yn y flwyddyn 1783, yn agos i Gaerfyrddin; a phan oddeutu 12 oed ymddifadwyd ef o'i fam. Er y pryd hwn ni byddai y gair heb effaith ar ei feddwl. Elai yn aml i wrando pregethau cryn bellder o ffordd, yn enwedig arferai fyned i Gapel Llanlluan, lle y cyrchai lluaws o bobl yn fisol: eithr arosai yn wrandawr yn unig. Parâodd yn y dull hwn am ysdod pum mlynedd, pan y newidiodd ei sefyllfa, ac a aeth i Gaerfyrddin i ysgol a gynhaliwyd gan y diweddar Barch. D. Peter, dan weinidogaeth yr hwn yr eisteddai fynychaf; ac ar rai amserau elai i Gapel y Trefnyddion gyda'i fodryb. Aeth un Sabbath ymo i wrandaw y diweddaf Barch. D. Rees o Lanfynydd, ac fel yr oedd y pregethwr yn egluro y gwirionedd, llewyrchodd y gair i'w feddwl gyda nerth anorchfygol. Tybiai fod pob gair wedi cyfeirio atto ef yn bersonol; a'i sefyllfa wrth natur a'i dyddfynai i'r fath radd fel na wyddai pa beth i'w wneuthur, na pha le i droi am ddihangfa. Ofnai hefyd ddatguddio ei feddwl i neb, canys ni chred ai y teimlodd neb ond ei hun y cyfryw bethau.

Yr oedd y gair cyn hyn wedi effeithio ar ei deimladau nes yr wylai yn fynych; ond yn awr canfyddai echryslondeb ei sefyllfa, ac eglurwyd ei golledigaeth iddo, a'r pfofiadau hyn a ddilynent ei ysbryd nos a dydd am rai wythnosau. Eithr yn wyneb hyn, trôdd at rai o'r physygwyr gau, ac esmwythäai ei w sgfa wrth addaw diwygio, ac ymdrechai yn ei nerth ei hun i'w gyflawni. Ond er y cyfan yr oedd y cwbl yn aneffeithiol, canys yn fynych pan ymneillduai o ddadwrdd y byd wrtho ei hun, cyfodent i'w feddwl gyda eu nerth cyntefig; yna meddyliai am ymofyn am le yn nhŷ Dduw. Ar amserau ereill meddyliai am adael y dref; ond methodd dyfod i benderfyniad, pan un Sabboth wrtho ei hun yn myfyrio ar y pethau hyn, cynyddodd ei wasgfa, ac aeth allan i'r maesydd, ac yno meddyliodd fod pechaduriaid fel ei hun ar yr awr hono yn gwledda ar ddanteithion yr Efengyl ac yntau yn marw o newyn, a phenderfynodd i fyned attynt. Trôdd yn ei ol at ddrws y Capel, lle yr oedd y Gymdeithas grefyddol yn cael ei chynal, eithr nid ymddangosai yn weddaidd iddo aros yn y fan hyn; felly dychwelodd yn ol i'r tŷ yn flinderog ac yn llwythog heb dderbyn unrhyw esmwythâd.

Yn ysdod yr holl amser hwn yr oedd Rhagluniaeth Duw wedi bod yn hynod o dirion tuag atto, pan byddai ei feddwl yn anesmwyth yn mherthynas i bethau y bywyd hwn, yr Arglwydd yn fynych a agorai y ffordd o'i flaen nes y gorfyddid arno gydnabod ei law ef ynddi.

Ynghylch yr amser hwn cyfarfu âg ef amgylchiad tra nodedig, yn mha un yr eglurwyd trugaredd Duw yn rhyfeddol tuag atto. Aeth allan un hwyr yn yr haf ar ol dybenu gorchwylion y dydd, i ymdrochi, ac wedi myned i'r dwfr suddodd yn ddisymwth i'r gwaelod, lle y glynodd ei draed fel na fedrai symud; ac felly y bu am gryn amser: ei synwyrau a arosodd gydag ef; ac yn y

sefyllfa hon myfyriai ar ei gyflwr ysbrydol, a gwelai fod ei fywyd ar orphen, a chyda dychryn annhraethadwy ystyriai y canlyniadau; ond fel y mae yr Arglwydd yn fynych yn dewis dangos ei drugaredd wedi darostwng dyn i'w eithafoedd, felly yn hyn, cyfeiriwyd rhyw wr ieuangc i ddyfod i'r lle hwn, ac wrth weled dillad ar y tu arall, ymfwriodd i'r dwfr, wrth ymaflyd yn nhroed yr hwn y cyfodwyd ef i fynu, ac felly efe waredwyd o safn marwolaeth. Yr amgylchiad hwn wedi y pethau blaenorawl a effeithiodd ar ei feddwl nes y cynhyrfwyd ef trwy gymorth gras i gyflwyno ei hun i'r Arglwydd, ac i'w bobl trwy ei ewyllys ef, nid heb lawer o ofnau ac ammheuon rhag iddo droi yn ol. Hysbysodd ei feddwl i aelod eglwysig, yr hwn a'i cynghorai i droi at yr Arglwydd yn ei gylch, ac felly a dderbyniwyd i Eglwys Crist yn 22 oed.

Arferai yr amser hwn, ddarllen y Bibl bob cyfleustra, eithr yr oedd angheu arno ddysgu ffordd yr Arglwydd yn fanylach: parhäai yn anwybodus ynghylch trefn yr Iachawdwriaeth trwy Grist; eithr ceisiai osod i fynu ei gyfiawnder ei hun; ond wrth fyned yn mlaen hyd y 43 o Esaiah darllenodd y 22, 23, 24 adnodau, a'i galon a ballodd o'i fewn. Teimlai ei fod yn darllen ei ddedryd ei hun, a disgwyliai bob mynudyn suddo i anobaith. Etto cyfiawnhâai yr Arglwydd pe buasai yn ei gondemnio. Ond pan ddaeth at y 25ain ammhosibl byth traethu ei deimladau: yr oedd fel rhyddid i un wedi ei ddedfrydu i farwolaeth! syrthiodd ei gadwynau oddiarno, a derbyniodd lawn faddeuant: ffrydiodd y dagrau o'i lygaid; ac etto medrai neidio gan orfoledd! dysgleiriodd trefn yr Iachawdwriaeth trwy Gyfryngwr i'w olwg gyda gogoniant annhraethadwy: derbyniodd trwy foddion gras gysuron anadnabyddus iddo cyn hyn; ac er i gymylau dywyllu ei brofiad, ac attal llewyrch wyneb yr Arglwydd; etto nid oedd un amser yn hollol dywyll: y gair yn yr hwn y parwyd iddo obeithio a gynhaliai ei yspryd rhag anobeithio.

Wedi ei gynal gan yr Arglwydd fel aelod eglwysig am 22ain o flynyddoedd, dymunwyd arno gan y diweddar Barch. D. Charles, ei gyfaill anwyl, i fod yn Flaenor yn yr Eglwys; a chydsyniodd â'i gais, er yr ofnai o herwydd mawredd y gwaith, a chyfrifoldeb y swydd. Cwynai yn fynych oblegid ei waeledd yn ngwasanaeth yr Arglwydd, ond nid oedd byth yn blino arno.

Yma, fe allai, y byddai yn fuddiol nodi un amgylchiad er cefnogiad i'r rhai fyddo yn ymdrechu gyda gwaith yr Arglwydd yn wyneb gwrthwynebiadau. Tuag 20 mlynedd yn ol, wrth fyned i le ynghylch dwy filldir o'r dref, i gynnal ysgol Sabbathol, gwelai ar y ffordd nifer luosog o blant a[r] maesydd yn halogi dydd yr Arglwydd: [...] tyriodd a ellid gwneuthur rhywbeth er [eu] haddysgu a'u hyfforddi yn y pethau a b[er]thynent i'w heddwch. Felly, erbyn y Sabbath canlynol, erfyniodd am ystafell i'w casglu ynghyd; ac yn hyn efe a lwyddodd: daeth amryw ynghyd, eithr yn hollol annhrefnus ac anwaraidd, fel nad oedd modd i'w cadw yn eu lleoedd; eithr wedi parhau am amryw Sabbathau dofwyd hwynt ychydig; a'u nifer a gynnyddodd nes bod yr ystafell yn rhy gyfyng iddynt. Yna ymofynwyd am ystafell arall; ond yr oedd hyn yn beth anhawdd ei gael.

Aeth i mewn i un tŷ lle yr oedd hen wraig ac ychydig blant yn eistedd, a gofynai a fedrai hi ddarllen; attebodd, nas medrai. Gofynwyd ganiatad i ddanfon dosparth o blant atti; ond dywedodd nad oedd ei gwr gartref. Y Sabbath canlynol yr oedd y drws wedi ei folltio: ac felly y parhaodd am rai Sabbathau canlynol. Ond o'r diwedd cafwyd ef yn agored, a gofynwyd i'r hen wr, a fedrai efe ddarllen; attebodd, y medrai ychydig. Deisyfiwyd arno gymmeryd ychydig o blant dan ei ofal; ac wedi taer ymbil, llwyddwyd yn hyn hefyd. Rhy faith fyddai rhoddi yr hanes i gyd; ond y canlyniad fu i'r wraig ymuno â'r Eglwys, yn yr hon y mae etto yn aelod; a'r ysgol a gynnyddodd i nifer 180; a chyfodwyd ysgoldy yno.

Yr oedd ei galon ef yn y gwaith hwn, a phan y cyfyngwyd ef gan afiechyd rhag myned i gyssegr yr Arglwydd profai yr un teimladau a'r Salmydd, 'Ei enaid a hiraethodd ac a flysiodd am ei gynteddau.' Ei gystudd a gynnyddodd yn raddol, ac yr oedd ei dabernacl yn dadfeilio beunydd; ond ei ddymuniad parhaus oedd, 'Gwneler dy ewyllys;' ni chlywid un grwgnach oddi-

wrtho; ond cydnabyddai yn ddiolchgar diriondeb yr Arglwydd yn ei ddiddyfnu mor raddol, ac yn dattod cylymau natur mor arafaidd.

Ychydig amser cyn ei ymadawiad ymwelodd ychydig gyfeillion crefyddol âg ef; ac wrth ymddiddan gorphwysodd ar ei feddwl y gair hwnw, 'Etto, cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi,' cofleidiai y meddylddrych nes i'w deimladau orlifo, a'i lygaid yn ffrydiau o ddagrau; adseiniai y gair 'tragywyddol;' ond methodd amlygu ei feddwl iddynt. Pan nesaodd at rydau yr Iorddonen ymorphwysai ei feddwl gydâ thawelwch neillduol ar drefn yr Iachawdwriaeth, ac er na feddodd raddau helaeth o fwynhad; etto addewidion dianwadal yr ysgrythyrau a barai iddo hyderu ar ffyddlondeb yr Arglwydd.

Pan ofynwyd iddo, pa fodd y teimlai yn wyneb nesâd Brenin y dychryniadau? attebai, fod y cwbl yn dangnefeddus; yr oedd wedi ymddiried ei hun yn hollol i law yr hwn y credai yn ddiammau oedd abl i gadw yr hyn a roddid atto. Ei eiriau diweddaf oeddynt, 'Y mae pob peth yn dda.' Ac felly gorphwysodd ar fynwes ei Iachawdwr, ac a aeth i dangnefedd.

---

## Rhagoriaethau y Bibl.

Pen iii.

DOSPARTHIAD O LYFRAU Y TESTAMENT NEWYDD.—MATTHEW.

Matthew a ysgrifenodd ei Efengyl er defnydd i'r credinwyr Hebreaidd, ac fel y tybir gan rai, yn eu hiaith eu hunain, oddeutu pum mlynedd ar ol esgyniad Crist. Y llyfr hwn yw yr unig ran o'r Testament Newydd y credir iddo gael ei ysgrifenu yn Hebraeg: ond gan ei fod yn foreu iawn yn yr Hebraeg a'r Groeg, penderfynir gan feirniaid call iddo gael ei gyfieithu i'r Groeg tra yr ydoedd Matthew yn fyw, naill ai ganddo ei hun, neu dan ei gyfarwyddyd ef, oddeutu O. C. 60.

Matthew sydd yn rhanedig i wyth-arhugain o bennodau, yn cynnwys pump o brif ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn cynnwys dwy o bennodau, y rhai ydynt yn adrodd achau Crist o Abraham, gyd â rhai sylwadau neillduol yn nghylch ei enedigaeth a'i fabandod. Yn y dosparthiad hwn mae dau beth hynod:

1. Dyfodiad y doethion i addoli y baban Iesu, ac i offrymu rhoddion iddo fel y Messiah addawedig.

2. Rhagluniaeth neillduol Duw yn diddymu amcanion drygionus y Brenin Herod, pan yn ceisio difetha y Brenin a'r Iachawdwr babanaidd, pen. ii.

Dos. II. Sydd yn ddwy bennod, yn cynnwys hanes Ioan Fedyddiwr, a dechreuad Crist ar ei weinidogaeth gyhoeddus, pen. iii. iv. Yn y dosparthiad hwn mae dau beth teilwng o sylw.

1. Nodweddiad a gweinidogaeth Ioan, pen. iii.

Bedydd a themptiad Crist, pen. iii, iv.

Dos. III. Sydd yn cynnwys coffadwriaeth o ymddiddanion a gwyrthiau Crist, hyd ei wedd-newidiad pen. v.—xvii. Y pethau mwyaf nodedig yn y dosparthiad hwn ydynt,

1. Pregeth ein Harglwydd ar y mynydd, pen. v—vii.

2. Coffadwriaeth o restr o wyrthiau a gyflawnwyd gan Grist, pen. viii. ix.

3. Anfoniad y deuddeg apostol i bregethu yr efengyl, pen. x.

4. Cyffesiad o ffydd yr apostolion, pen. xvi.

5. Gwedd-newidiad Crist, pan yr ymddangosai Moses ac Elias yn ymddiddan ag ef am ddull a dyben ei farwolaeth, yn Ierusalem, er ein prynedigaeth ni, pen. xvii.

Dos. IV. Sydd yn adrodd amrywiol o ymddiddanion a gwyrthiau Crist, o'i weddnewidiad hyd o fewn deu-ddydd i'w groeshoeliad, pen. xviii—xxv. Y pethau mwyaf hynod a goffeir yn y dosparthiad hwn,

1. Mynediad Crist i Ierusalem, pen. xxi.

2. Prophwydoliaeth ein Hiachawdwr am ddinystr y ddinas a'r deml, o achos anffyddiaeth a drygioni yr Iuddewon, pen. xxiv.

3. Darluniad o'r farn gyffredinol, pen. xxv.

Dos. V. Sydd yn adrodd dyoddefiadau, marwolaeth, ac adgyfodiad Crist. Y pethau mwyaf nodedig a gynhwysir yn y dosparthiad rhyfeddol hwn ydynt,

1. Drygioni arswydus Iudas, yn bradychu ei Arglwydd â chusan, pen. xxvi.

2. Gwendid pechadurus Pedr yn gwadu ei Arglwydd, pen. xxvi.

3. Pechod ysgeler yr Iuddewon a Philat yn condemnio ac yn croeshoelio Crist, pen. xxvii.

4. Edifeirwch Iudas, a'i dystiolaeth am ddiniweidrwydd yr Iesu, pen. xxvii.

5. Adgyfodiad Crist, y gwyrthiau oeddynt yn ei ddilyn, y profion o'i wirionedd, a'i orchymyn i'w apostolion, pen. xxviii.

Gan fod Matthew wedi ysgrifenu i gadarnâu y Cristionogion Hebreaidd, gydâ phriodoldeb neillduol y cyfarwyddwyd ef i ddangos y modd y disgynodd Crist o Abraham, trwy Dafydd; ac iddo gael ei eni yn Bethlehem fel y rhag-ddywedwyd gan y prophwyd Micah. Yr ymadroddion hyny hefyd yn yr ysgrifenadau prophwydoliaethol, y rhai ydynt yn cyfeirio at amrywiol swyddau a gweithredoedd y Messiah, ydynt yn cael eu nodi yn fwy enwedigol gan yr efengylwr hwn na'r lleill, er boddlonrwydd i'r Iuddewon.

*Cyfeiriadau yn Matthew.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i. 23. | Esa. vii. 14. | Pen. xii. 42. | 2Cron. ix 1. |
| ii. 2. | Num. xxiv 17. | xiii. 14. | Esa vi. 9. |
| 6. | Mic. v. 2. | 35. | Ps. lxxviii. 2. |
| 15. | Hos. xi 1. | xv. 7. | Esa. xxxix13. |
| 17. | Ier. xxxi. 15. | 30. | xxxv5,6. |
| 23. | Barn. xiii. 5. | xix. 7. | Deut. xxiv. 1. |
| | 1 Sam. i. 11. | xxi. 4. | Zec. ix. 9. |
| iii. 3. | Esa. xl. 2. | 13. | Esa. lvi. 7 |
| iv. 4. | Deut. viii. 3. | 42. | Ps. cxviii. 22. |
| 7. | vi. 16. | xxii. 4. | Diar. ix. 2. |
| 14. | Esa. ix. 1, 2. | 24. | Deut. xxv. 5. |
| x. 35. | Mic. vii. 6. | 44. | Ps. cx. 1. |
| 36. | Ps. xli. 9. | xxiv. 15. | Dan. ix. 27. |
| xi. 10. | Mal. iii. 1. | xxvii. 9. | Zec. xi. 11, 12. |
| xii. 8. | 1 Sam. xxi. 6. | 34. | Ps. lix. 21. |
| 5. | Num. xxviii. 9. | 35. | xxii. 18. |
| 7. | Hos. vi. 6. | 38. | Esa. liii. 12. |
| 42. | 1 Bren. x. 1. | 60. | 9. |

## CYMMERIAD SYLFAENYDD MAWR CRISTIONOGAETH.

Ni bu unrhyw berson ar y ddaear erioed, o'r fath gymmeriad hynod a Sefydlwr ein crefydd: gwelwn ynddo ef yn unwedd, dynerwch, urddas, a llarieidd-dra, ynghyd â pherffeithrwydd o bob doethineb a daioni, yr hyn a'i harddengys yn amlwg, fel Bod goruchel.

Ond gwreiddiai ei uchafiaeth yn gwbl yn ei feddwl dwyfawl ei hun: ni chafodd ef y manteision allanol hyny, oeddynt yn ardderchogi deddf-roddwyr eraill;—nid oedd ganddo ef un dylanwad yn y llywodraeth wladawl—dim cyfoeth bydawl—ac nid ymgeisiodd at ddim gallu *daearol.* Mab ydoedd i wraig y Saer, a dilynai yr un alwedigaeth ei hun; mor dylodion oeddynt ei rieni cyfrifedig fel yn amser ei enedigaeth, nis gallai ei fam, gael amgen ystafell na lletty yr anifail; ac mor dylawd ydoedd ef ei hunan, fel y byddai yn aml heb yr un lletty o gwbl.

Gellir casglu, na chafodd ddim manteision i gyrhaeddyd dysgeidiaeth, oddiwrth y syndod a amlygwyd yn mhlith ei gymmydogion, pan y clywsant ef yn llefaru mor awdurdodawl yn y Synagog—'Yn mha le y cafodd y *dyn hwn y pethau hyn?* Pa ddoethineb yw *hon* a roddwyd *iddo ef?* Onid hwn yw y Saer, mab Mair? Onid yw ei frodyr a'i chwiorydd ef gyda ni?'

Modd bynnag, afreidiol yw i ni sefyll ar y pen hwn; ond a ydoedd yn ddichonadwy iddo, drwy unrhyw hyfforddiad a allasai ei wlad ei hun, neu wlad arall weinyddu iddo, gyrhaeddyd y fath wroldeb a doethineb goruchel—y fath ymarweddiad santaidd, a difrycheulyd, a'r fath athrawiaeth bur, a diwyrni, pa rai yr hynodwyd ef a hwynt, mor ragorawl?

Nid oeddynt ei ganlynwyr cyntaf ond ychydig o bysgodwyr tylodion, i ba rai yr ydoedd mor bell oddiwrth wneuthyr unrhyw rag-ddarbodaeth, fel pan yr anfonodd hwynt i bregethu yr Efengyl, ac i iachau clefydon, &c. ni ddarfu eu cynnysgaeddu â dim ond dwy bais, pâr o sandalau, a ffon. Yn yspaid y tair blynedd wedi dechreu ei weinidogaeth, fe aeth oddiamgylch yn ostyngedig a llariaidd gan wneuthur daioni, dysgu doethineb, a gogoneddu Duw; ac yn y diwedd, fel y rhagwelodd, ac y rhag-ddywedodd ei hunan, fe'i croeshoeliwyd yn gyhoeddus ar bren. Hwn—*y person mawreddus hwn,* ag sydd heddyw yn gweinyddu cyfreithiau i'r byd! Hwn, a fu yn awdwr rhinwedd a dedwyddwch i filiwnau, a miliwnau o ddynolryw; a hwn yw *Efe,* a barchwyd fel Person Dwyfawl gan y dynion goreu a doethlawnaf a anadlasant erioed, ac a ymogoneddasant ynddo fel Anfeidrol Waredwr, a Phrynwr y byd!

Cyf. Ieuan o Leyn.

Fy Iesu gwiw, fy Iesu gwiw—
Y mwynaf fu erioed—
O'th fron daeth Balm, iacha fy mriw,
Gogoniant iti foed.

Rhag llid cyfiawnder cuddio wnaf,
Fy mhen o fewn dy glwy;
Perffeithiawl loches yno gaf,
Na raid im' ofni mwy.

*Rhuddlan.* Ieuan o Leyn.

## LLYTHYR VIII.

*Oddi wrth hen Weinidog, at ei fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

Anwyl Blentyn—Fy Llawenydd a'm Coron: dywedodd Solomon, *mai 'coron henafgwyr yw eu hwyrion;'* ac Ioan hefyd, yr anwylaf o'r Apostolion, a'i cyfrifodd yn llawenydd mwyaf iddo, 'glywed fod ei blant yn rhodio yn ol gwirionedd.' Mae profiadau a theimladau henafgwyr yn achos eu plant yn ddieithr iawn nes dyfod henaint: ac ar ei ddyfodiad ef, ail ennynir y serch babanaidd: ond ryw fodd gydag ymorphwysiad gwrth gyferbyniol i'r arferiad gynt. Mae yn gofus genyf dy ddysgu i gerdded, gan dy gymeryd erbyn dy law; a'r pryd hwnw yr oedd dy bwys di arnaf fi; ond wedi dyfod henaint mae serch yn cyfeirio at yr un gwrthrych i osod y pwys a'r gogwydd ag y buwyd yn derbyn eu pwys gynt.

Ond gofid o'r mwyaf i lawer un oedranus, yw, fod y ffon y pwysir arni yn treiddio i gledr y llaw. Mae y plant heb "ddysgu talu 'r pwyth i'w rhieni.' Ond dywediad synwyrlawn yw—"Gwell cyngor hen na'i faeddu:' ac y mae diareb o'r Bibl i'r un perwyl, "*Fy mab, gwrando ar dy dad a'th genhedlodd; ac na ddiystyra dy fam pan heneiddio.*" Ond gwelaf fy mod yn crwydro oddi wrth y pethau y bwriedais dy gyfarch. Mae fy llythyrau (er eu meithed) yn dderbyniol genyt, ac mae hyny yn fy nirgymmell yn y parhad o ysgrifenu.

Yn fy llythyr o'r blaen, bum yn gydymaith it yn dy deithiau, gan nodi dy beryglon, cyfarwyddo dy ocheliadau, a'th gysuro yn wyneb siomedigaethau. Ond fel yr wyf yn deall, fe ddarfu iti aros ddwy awr ar fy ol heb fyn'd i'th orweddle nos Sadwrn yn y ———, a chan i mi godi o'th flaen boreu Sabbath cefais olygfa anadnabyddys iti: ti ryfeddit mor brysur oedd y forwyn yn arloesi 'r ty, ac mor ffwdanllyd oedd y lodes fach yn glanhau dy esgidiau, gan osod euogrwydd eu bai wrth dy ddrws di, oherwydd dy annoethineb yn eu cadw ar eu traed y nos o'r blaen: cymer addysg oddi wrth hyn yna.

Ond mae yn sicr wedi dy ddyfodiad cysurlawn adref o'th deithiau fod dy hiraeth di a'th gyfeillion mewn ymrysonfa serchiadol am weled a mwynhau eich gilydd. Oh fel y bydd y teulu cariadus a dedwydd yn hyfryd groesawi y tad tirion ar ei ddyfodiad i'w annedd wedi hir absenoldeb! digon prin y bydd ganddo ddigon o ddwylaw i'w boddloni, na digon o wenau ganddynt hwythau i'w groesawi: a rhyfedd gymaint o newyddion fydd i'w hadrodd, a helyntion i'w traethu o bob tu. Ac mae rhyw beth yn debyg gydag Eglwysi Crist a'u gweinidogion; ei braidd ef a'u bugeiliaid: felly y tystia Apostol mawr y cenhedloedd am y Thesaloniaid, fod 'ganddynt goffa da am danom yn wastadol, gan hiraethu am ein gweled ni megis yr ydym ninau am eich gweled chwithau.' Ac, Oh, fel y bydda cyfrinach achlysurol y disgyblion a'r apostolion yn dirgymell tost wylo, syrthio ar wddf, a chusanu! A'r cysur dymunol fyddai ymgyfarfod a'u gilydd nes ymdori mewn diolchgarwch i Dduw, a bod yn gysurus, ïe mewn enbydrwydd!

Ond yma yn y byd lle y mae pechod, y mae peryglon ymhob cyfeillach, ïe weithiau lle y bo 'r Saint yn ei gwneud i fynu. Mae Satan yn medru 'r ffordd i ddyfod i blith meibion Duw, hyd yn nod pan fyddont yn sefyll ger bron yr Arglwydd; a thrwy ei ystryw ef, a'u llygredd hwythau, mae yn bosibl iddynt gael eu hanafu, hyd yn nod gan eu gilydd! Oddi wrth hyn, dichon gwrthddadl godi, mai os felly, yna goreu pa bellaf y byddont ar wahan. O na, er i Satan ddyfod yn eu plith, fe fedr eu Duw hwynt ei nodi allan gan ofyn, 'O ba le y daethost?' ïe, a throi ei gyhuddiadau a'i wawd i ddirmyg barnol. Erbyn hyn ti weli mai diben penaf y llythyr yma yw ymdrin ychydig â'r gyfeillach achlysurol, neillduol, a chyffredinol y mae a fyno Gweinidog yr Efengyl gyda ei Eglwys a'i gynulleidfa. Diammeu fod rhyw ymweliadau a chyfeillach fel hyn yn gyfreithlon, ac yn arferol hefyd gan saint y Goruchaf ymhob gwlad ac oes. Gwelwn hanes y Prophwydi santaidd yn cael eu gwahodd i deiau a gwleddoedd; Crist a'i ddisgyblion i fwytta bara, ac i'r briodas; ac amryw esiamplau eraill a ellir nodi yn yr ysgrythyrau a hanesion Eglwysig.

Ond mae yn dra phriodol i ni gofio bod yn gynnil ryfeddol yn hyn, gan ystyried mor fyr ydym ni o rinweddau y Santaidd brophwydi; ac mor berffaith mewn doniau a santeiddrwydd ydoedd Crist. Nid oedd berygl iddo ef gael ei lychwino yn un man,

ond nid felly ni. Mae cymaint o lygredd ynom ni eisoes, fel y byddai agos mor briodol ein gweled yn anturio i efelychu Crist uwch ben bedd Lazarus i'w godi yn fyw, ag ydyw gweled gweinidogion yr Efengyl yn ymbresennoli mewn llawer gwledd a chwmni (ag y maent yn eu britho y dyddiau hyn) er disgwyl bod o ryw lesâd yno.

Ond y peth cyntaf i sylwi arno, ydyw, mewn perthynas i fyn'd a pheidio myn'd. Na ddos i leoedd y byddi yn sicr benderfynol nad oes ofn Duw yn cael lle yn un congl o'r tŷ, eu bod yn elynion amlwg i grefydd Crist. Oh! meddi, 'nid oes berygl i mi gael fy ngwahodd i'r cyfryw le.' Hwyrach hyny, ond dichon fod camddybenion yn annog rhai felly i'th wahodd weithiau. Ni buasai y prophwyd hwnw yn edrych yn wyneb Iehoram, Brenin Israel, oni bai ei fod yn perchi wyneb Iehosaphat Brenin Iuda. Os bydd un o air da, o'r gwrandawyr yn synnu ein gwel'd yn rhywle, gan ddweud, 'Ni ddisgwyliais eich gweled chwi yma.' Yna, mae yn debyg y gelli benderfynu na ddylesit fod yno. Na ddos etto i leoedd y gwyddost y bydd y gwahoddedigion yn gyffredinol yn rhai didduw a llygredig.

Wel, meddi, 'onid oedd Crist yn bwytta gyda phechaduriaid, ac yn myned i'r briodas yn Cana yn Galilea?' Digon gwir; ond ni ddarllenwn iddo fyn'd at na phublican na phechadur i ryw wledd arbenig fel y rhai yr ydwyf fi yn son am danynt yn bresennol, ac yn dy annog di i ymgadw oddiwrthynt. Ac am y briodas y bu efe ynddi, gellid barnu, ond ystyried, mai nid putteiniaid ydoedd y par ieuaingc, na chyfeddach a meddwdod oedd y ddarpariaeth, na neb llai na'i fam, ei berthynasau, a'i ddisgyblion ydoedd y gwahoddedigion. Ac felly yr oedd y cwm'ni yn llawer mwy cyfreithlon ac anrhydeddus, nag ydyw'r cwm'ni lle y gwelir llawer un sydd 'yn gwisgo crys o rawn i dwyllo' yn eu plith.

Gochel hefyd fynych ymgyrchu i le, ac at deulu, y byddi wedi deall fod ymryson a chynnen rhyngddynt ag eraill o'th gynulleidfa. Mae yr ystryw yma yn bod yn aml, sef croesawi'r gweinidog er ennill ei gefnogaeth; ac fe ganfyddir hyny gan yr ochor arall, am hyny gochel y ddwy. Er, fe allai y dichon it gael hamdden i wneud lles, ac oeri'r tân mewn lle fel hyn; ond gwell ydyw myn'd yno heb dy wahodd, neu achub cyfle heb gymaint a'u cydsyniad, nag ar ryw wahoddiad i wledd, a'r cyffelyb. Mae rhagfarn mor brysur; a hynod mor fuan yr anghyfreithlona y gynnulleidfa ac o bosibl mai gwaeth fydd y rhwyg.

Ar y cyfan, os peth anhawdd genyt fydd cydsynio â phob gwahoddiad, a myned i bob neithior y'th gymhellir, bydded it foddloni dy hun â rhesymau digonol am dy nacâad. Ac os edliwir ganddynt hwythau, nad ydwyt yn ymweled â hwynt mor aml ag y dymunant, bydded genyt resymau digonol tros dy ymddygiad. Mae bod yn wrthodwr o groesaw yn taro yn agos i deimladau y croesawwr; am hyny rhaid rhoi digon o rwystr rhag i ddigalondid, na rhagfarn feddiannu y meddwl siomedig. Mae gan y tad sydd gyda ei waith gymaint o gariad a gofal dros y teulu, ag sydd gan y fam er mae hi sydd gyda hwynt beunydd.

Ond wedi i amgylchiad a gwahoddiad a chyfreithlondeb gyd gyfarfod yn briodol, digon gweddus a theilwng ydyw dy weled ymhlith dy gynnulleidfa yn eu cyfarfodydd croesawgar a'u hymweliadau, (*visits.*) Nid wyf heb ameu nad ydyw esgeuluso'r Gweinidog yn beth i'w feio, yn y fath gyfarfodydd, oblegid pwy mor deilwng o'i gyfeillach, a phwy mor anrhydeddus i wychu un ymweliad (*visit*) sydd gan yr eglwysi, ag ydyw eu gweinidog? Mae fod a fyno ein disgyblion â chael eu hathraw i'w cwm'ni, yn dangos eu parch iddo, ac yn gosod addurn ar y gwahoddedigion. Meddwl yr wyf ei bod yn arferiad gan y duwiolion ymhob oes i gael eu bugeiliaid yn eu mysg ar ryw oriau o gyfrinach. Cawn hanes i lawer prophwyd a sant gael ei gymhell i'r cwm'ni, ond oddi wrth [illegible] yr anghenrheidrwydd sydd genym [illegible] hanais ar dir hardd a theg, [illegible] i ennill y fath barch a derbyniad [illegible] ein pobl, nes y byddant yn ei chyfrif yn anfri ein hesgeulusodi, ac yn anrhydedd a budd [illegible] cwm'ni.

Ond gwylia fod mor segur a [illegible] fforddio cydsyniad a chymeradwy[illegible] codiad bys; na bod mor [illegible] dy gyfeillion ddarllen yn dy [illegible] na wahoddwch chwi fi i giniaw [illegible]

pharotowch i mi ddysgliad o de da? Pa'm na byddaf fi bresennol yn eich swpper arbenig? A pha'm na feddyliech yn ddyledus i mi fod yn eich cwmpeini a'ch gwleddoedd destlusaidd? O, na, fachgen, cymer ofal, mae gormod o hyn mewn llawer gweinidog da, ac edliwir hyny yn eu cefnau. Dywediad nodedig o deilwng ydyw eiddo Mr. Wesley ar y pen hwn, wrth ei bregethwyr; meddai, 'Nid oes mwy a fynoch a bod yn foneddigion, nag sydd a fynoch a bod yn feistri dawns' (*Dancing Masters.*)

Ond digon priodol ydyw dy rybuddio hefyd am fod yn ochelgar pa fodd i ymddwyn yn y cyfryw leoedd. Llawer o gyfarwyddiadau a roddwyd yn hyn, a da genyf gofio fod y Bibl yn drysordy cyflawn i droi iddo am addurn gweddus ymhob man. Da fyddai i bawb gofio mai prif ddiben y fath gwmnïaeth yw llesâd ac adeiliadaeth y meddwl; ac nid casglu bloneg a brasder i'r corph; gwneud y corph yn was i'r enaid, ac nid yr enaid i'r corph. Nid wyf heb gofio fod ambell i bregethwr yn lled anhawdd ei foddio ar fwyd; fe gwyna 'ei fod yn hochian yn arw, a'i fod yn galed iawn;' ac mae yn bechod anfaddeuol bron, cynnyg y dwfr glân, a'r llaeth enwyn yn ddiod! Bu eu hamgen hwy yn dderbyniol o laeth yn narpariaeth Abraham gynt. O meddaf, na byddai y diodydd eraill wedi myn'd yn ddiofryd beth! Na feddwl mai dywediad cywir ydoedd eiddo y dyn hwnw, a gynygiodd wydriad o *Rum* ac wŷ i'r pregethwr; gan haeru, 'y gwna un ryddhau ei lais, a'r llall symbylu yr ysbryd!' Pa beth, y *Rum* meddwol, symbylu ysbryd pregethwr! Gwelaf fy mod yn ymdroi heb fyn'd at y peth penaf.

(I'w barhau.)

---

ADDOLIAD TEULUAIDD.

Masnachydd duwiol, wrth ymddiddan â gweinidog am addoliad teuluaidd; a adroddodd yr amgylchiad addysgiadol canlynol mewn perthynas iddo ei hun.

Pan ddechreuais I fasnach gyntaf fy hun, penderfynais, trwy ras, y byddwn neillduol o gydwybodol gyda gweddi deuluaidd. Yn ganlynol, bum ddyfal dros flynyddoedd lawer, yn yr ymarferiad hyfryd o addoliad teuluaidd. Boreu a hwyr, pob person yn fy nheulu a elwid bob amser ger bron; ni chaniatawn hyd yn nod fy mhrentisiaid fod yn absennol ar un cyfrif. Wedi ychydig flynyddoedd, ymddangosodd buddioldeb y gorchwylion hyn yn ddigon amlwg: bendithion nef a daear a'm dilynasant. Yr oedd iechyd a dedwyddwch yn fy nheulu, a llwyddiant ar fy masnach. O'r diwedd, yr oedd cynnydd cyflym fy masnach y fath, a'r angenrheidrwydd o gyflwyno pob munud i'm cwsmeriaid, fel y dechreuais feddwl fod gweddi deuluaidd yn cadw gormod o amser yn y boreu. Cyfododd petrusder duwiol mewn perthynas i adael y rhan hon o'm dyledswydd; ond, o'r diwedd, llwyddodd elw bydol i'm hynnill i esgeuluso galw fy mhrentisiaid ger bron. Ac nid hir wedi hyny, tybiwyd mai gweddus, er mwyn dygiad gwresoccach ymlaen ar ein masnach, oedd cadw addoliad gyda'm gwraig, pan gyfodem yn y boreu, digonol am y dydd.

Er y dilynai cyhuddiadau cydwybod yr esgeulusdra gwrthun hwn, etto, galwadau masnach lwyddiannus, a gobaith am gynnydd mewn teulu, a ymddangosent mor oruchel ac awdurdodol, fel y teimlais yn hawdd cael esgus dros y pechod hwn, yn enwedig am nad oeddwn yn hollol esgeuluso gweddi. Yr oedd fy nghydwybod erbyn hyn bron fel 'wedi ei serio â haiarn poeth;' pryd y gwelodd yr Arglwydd yn dda fy neffroi trwy ragluniaeth neillduol.

'Ryw ddiwrnod, derbyniais lythyr oddiwrth wr ieuangc a fu gynt yn brentis i mi, cyn i mi esgeuluso gweddi deuluaidd. Heb ammau fy mod yn parhau gyda gweddi deuluaidd: ar y pwngc hwn yn benaf yr oedd ei lythyr. Yr oedd wedi ei osod yn y modd mwyaf caruaidd a pharchus; ond bernwch fy syndod a'm dyryswch, pan ddarllenais y geiriau hyn: 'O, fy meistr anwyl, byth, byth, nis gallaf fod yn ddigon diolchgar i chwi am y rhagorfraint werthfawr a ganiattawyd i mi yn eich gwasanaeth teuluaidd. O, Syr, bydd tragywyddoldeb yn rhy fyr i glodfori Duw am yr hyn a ddysgais yna. Yna y gwelais gyntaf fy sefyllfa golledig a thruenus fel pechadur. Yna y dechreuais ddysgu ffordd iachawdwriaeth; ac yna y dechreuais brofi gwerthfawrawgrwydd Crist fel gobaith gogoniant. O, Syr, caniattewch i mi ddywedyd, byth, byth, nac

esgeuluswch yr ymarferiadau gwerthfawr hyny; mae genych etto deulu a mwy o brentisiaid: bydded eich tŷ yn enedigaeth-fa i'w heneidiau.'

Nis gallaswn ddarllen ymhellach; yr oedd pob llinell yn melldenu damnedigaeth yn fy wyneb—arswydais—dychrynais—fe'm terfysgwyd wrth feddwl y gofynid gwaed fy mhlant a'm prentisiaid ar fy nwylaw! Wedi fy llenwi â dyryswch, a'm trochi mewn dagrau, ffoais i'r dirgel am noddfa—lledais y llythyr ger bron Duw—ymdrechais âg ef mewn gweddi—ond haws i chwi amgyffred nag i mi adrodd fy nheimladau: digon yw dywedyd, ddarfod i oleuni dori ar fy enaid trallodedig, a chefais brofiad melus fod trugaredd a maddeuant, ie, i un mor druenus a myfi. Cynnullais fy nheulu yn ebrwydd o'm deutu, cyflwynais hwynt ger bron yr Arglwydd, ac o'r dydd hwnw hyd heddyw, ni feiddiais esgeuluso gweddi deuluaidd. Yr wyf yn penderfynu trwy ras, pryd bynag y bydd masnach yn rhy helaeth i ganiattau gweddi deuluaidd, y rhoddaf y gormodedd o honi i fynu, ac y glynaf gyda'm dyledswydd. Gwell colli ychydig sylltau, na bod yn llofrudd ysbrydol fy nheulu, ac yn offeryn dinystr i'm henaid fy hun. Tra y dylem ni ymgyssegru yn bersonol i Dduw; ni ddylem esgeuluso ein teuluoedd hefyd. Ond, O, pa mor ddirywiedig ydym yn y gorchwyl hwn. 'Yn nyddiau ein tadau,' ebai enwog Esgob Burnet, 'pan ddelai person at ddrws cymmydog yn y boreu, gan ddymuno ymddiddan â meistr y tŷ, byddai mor gyffredin i'r gweision ddywedyd wrtho yn rhydd, 'Mae fy meistr ar weddi,' ag yw dywedyd yn awr, 'Mae fy meistr heb godi.' Arferai yr hen Ddue Bedford ddywedyd, 'Yr wyf yn ystyried gweddïau gweinidogion a phobl Duw fel y muriau goreu oddeutu fy nhŷ.'

Dywedir am y Milwriad Gardiner, y byddai ganddo bob amser ei ddwy awr gyda Duw yn y boreu. Os byddai ei fyddin i gychwyn am bedwar, byddai yntau ar ei draed am ddau.

Cadwai Syr Thomas Abney weddi wastadol yn ei deulu dros yr holl amser y bu ef yn Arglwydd Maer Llundain; ac ar brydnawn y dydd yr aeth ef i'w swydd, ymneillduodd heb rybudd oddiwrth y gynnulleidfa gyhoeddus yn Guildhall, wedi swpper, aeth i'w dŷ, cyflawnodd yno addoliad teuluaidd, ac yna dychwelodd at y gynnulleidfa.

Dr. Doddridge a arferai ddywedyd yn fynych, na byddai efe un amser yn cynnyddu yn dda mewn dysg diaeth ddynol heb weddi, ac mai, pryd y gweddiai wresoccaf, y byddai fwyaf ei gynnydd mewn myfyrdodau.

Yr enwog Dr. Boerhaave a gydnabyddai, fod treulio awr bob boreu mewn gweddi ddirgel a myfyrdod, yn rhoddi iddo yspryd a grym i waith y dydd, ac yn cadw ei dymmer yn fywiog, amyneddgar, a thawel.

Casg. a Chyf. Daniel Evans.

*Llanbedr.*

---

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dal. 8.)

Mae yn ddiamheuol y bu dinystr Ierusalem, a chwymp llywodraeth a threfn eglwysig yr Iuddewon, dan lywyddiaeth Rhagluniaeth fawr y nef, yn llesâd i'r grefydd Gristionogol, ac yn achlysur o sefydliad ac ymdaeniad helaethach o Efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Fe eglurwyd yn awr i'r holl fyd, fod gan Gristionogaeth, er iddi darddu megis o'r grefydd Iuddewig, wreiddyn ynddi ei hun. Ac fe fu cristionogion hyd y pryd hwnw yn cael eu cymmysgu â'r Iuddewon, a hyny er mawr anfantais iddynt, ond ar ol dinystr Ierusalem, nis gallai hyny fod. Drwy hyn hefyd fe ddaeth yr Eglwys Gristionogol yn fwy anymddibynol ar seremoniau Iuddewig; canys cyn hyny, yr oedd hi yn rhoi bri ar rai o honynt, er fod hyny yn y canlyniad o hono yn attal ei llewyrch a'i hysbrydolrwydd. Nid yw Cristionogaeth i gael un man mwy na'u gilydd, fel canolbwynt, yn Ierusalem, na Rhufain, nac un man arall, canys addoliad a gwasanaeth ysbrydol i Dduw ydyw, yr hwn sy "raid ei addoli mewn ysbryd ac mewn gwirionedd."

Nid yw yn sicr i neb o'r Apostolion, ond Ioan, gael byw i weled dinystr Ierusalem. Mae yn debyg ddarfod i'r Apostol hwn, ryw gymmaint o amser cyn hyny, fyned i breswylio i Ephesus, yn Asia leiaf. Ond pan gyfododd erledigaeth newydd yn erbyn y Cristiongion dan lywodraeth Domitian, wedi i'r Eglwys gael llonydd am ddeng mlynedd ar hugain, fe gafodd yr Apostol

mewn gweithrediad, a'r un llafur yn cael ei ddwyn ymlaen ag o'r blaen, y rhai os parheir yn ddiysgog i'w harferyd gyda ffydd a gweddi, hwy a lwyddant o'r diwedd i gyfnewid yr anialwch amgylchawl yn faes ffrwythlawn. Mae yr had da yn cael ei hau yn barhaus o'n hamgylch; ac er y gall peth syrthio ymhlith drain, neu ar dir creigiog, etto mae nid ychydig o hono yn disgyn ar yr hyn a ellir yn rhesymol ei farnu yn dir meddal a rhywiog, sef calonau plant.

Y moddion mwyaf eglur, ac fe allai tebycaf o lwyddo, tuag at fyned a gwaith yr Arglwydd ymlaen yn Malacca, ydyw addysgu yr ieuenctyd. Mae hyn yn amlwg, wrth ystyried fod o blith y ddau ddosparth o'r trigolion cymmysg o Chinëaid a Malayaid, fod genym bum cant o fechgyn a genethod yn ysgolion y genhadaeth bob dydd, yn derbyn addysg mewn gwybodaeth ysgrythyrol a llyfrau cristionogol.

Mae pedair ysgol y bechgyn Chinëaidd dan ofal y cenhadon yn cael eu harolygu beunydd gan y bechgyn hynaf perthynol i'r Athrofa (*College*). Ymwelir â hwynt bob dydd Sadwrn gan y cenhadwr ei hun. Mae pob un o'r plant yn adrodd iddo ef yr hyn a ddysgodd efe ar hyd yr wythnos, ac yna y mae efe yn egluro hyny mewn cyd-ymddyddaniad Chinëaidd. Gan nad oes ond ychydig o blant yn deall llawer o iaith gynenid eu tadau, maent yn myned gam ymhellach, ac yn cyfieithu eu gwers i iaith Malay, yr hon sydd adnabyddus iddynt oll. Mae yn hyfryd genym hysbysu fod y plant yn dysgu rhyw beth o'n crefydd sanctaidd, nid yn unig drwy drysori yn eu côf yn ol yr arferiad gyffredin yn yr holl ysgolion cynenid yn y Dwyrain, ond maent yn deall rhyw radd o'r hyn y maent yn ei ddarllen; ac y maent yn cynnyddu bob wythnos mewn gwybodaeth o bethau dwyfol. Mae yr hyn sydd yn cael ei roi yn eu penau a'i drysori yn eu côf gan yr athraw brodorol, yn cael ei wasgu at eu calonau a'u cydwybodau, unwaith yn yr wythnos, gan yr athraw cristionogol.

Mae gan fechgyn hynaf yn yr ysgolion ragorfraint arall hefyd, o gael ychwaneg o hyfforddiant cristionogol, drwy eu bod yn dyfod gyda'u hathrawon i'r capel i gyfranogi o'r addoliad cyhoeddus yn yr iaith Chinëaidd bob boreu sabboth. Hefyd mewn dwy o'r Ysgolion lle y mae genym addoliad cyhoeddus un prydnawn yn yr wythnos, mae amryw o'r ysgolheigion hynaf yn bresennol yn gyffredinol.

Mae pump o Ysgolion y genethod dan ofal Miss Wallan, ac y maent yn llwyddiannus yr olwg arnynt. Maent yn cael y buddioldeb o'i haddysg beunyddiol hi, yr hyn sydd yn rhagorfraint fawr iddynt. Y drefn o addysgiad dwbl eu gwersi, sef i'r Chinäeg a'r Maläeg, a arferir hefyd yn yr Ysgolion hyn. Ac yn wir y mae hyn yn fatter o fawr bwys yn Ysgolion y genethod, oherwydd eu bod hwy yn llawer mwy anwybodus o'r iaith Chinäeg na'r bechgyn.

Yn yr Athrofa mae genym 30 o fechgyn, oll yn dysgu darllen Saesoneg yn gystal a Chinäeg. Ond mae y rhai ieuengaf yn fwy neillduol dan ofal yr athraw Chinäeg, yr hwn sydd yn cymmeryd gryn lafur i'w dysgu hwynt mewn llyfrau cristionogol. Mae y bechgyn hynaf yn dysgu cyfansoddi; ac y mae'r dosparth uchaf agos yn hollol dan ein gofal a'n haddysg ni. Maent wedi rhoddi gryn foddlonrwydd i ni trwy eu diwydrwydd gyda'u llyfrau, a'r cynnydd a wnaethant mewn dysgeidiaeth. Mae dau neu dri o honynt, yn enwedigol yn ymddangos yn wyr ieuainc athrylithgar, ac y mae genym ddisgwyliad y bydd iddynt gael eu goleuo, a dyfod yn ddiffuant ddilynwyr ein Prynwr graslawn.

Wrth hyfforddi y bobl ieuainc hyn, at y bywyd hwn a thragywyddoldeb, ein prif amcan parhaus ydyw eu harwain hwynt at ffynnonell doethineb nefol, lle y gallant yfed ffrydiau pur o ddwfr y bywyd; er hyny nid ydym yn llwyr adael heibio y goferydd bychain o wybodaeth ddynol.

Yn ddioed wedi addoliad boreuol yn Chinäeg, mae y dosparth hynaf, yn cynnwys hanner dwsin o fechgyn, yn dechreu ar eu hastudiaeth trwy ddarllen pennod o'r Bibl, ar gylch, yr hon a esbonir iddynt yn Saesoneg a Chinäeg; wedi hyny y maent yn ei chyfieithu o adnod i adnod i'r Chinäeg.

Wedi boreufwyd, yr ydym yn cymmeryd mewn llaw Daith y Pererin, ac yn darllen ac yn egluro hanner tu dalen, neu du dalen o hono fel o'r blaen. Yna pennodir ar gyfran o'r wers hon i fod yn dasgwaith Chinäeg mewn ysgrifen, i'w ddwyn ger bron y dydd canlynol.

Yn y prydnawn yr ydym yn darllen rhan o Draethawd Dr. Milne ar yr Enaid, gydag Athraw Chinäeg yr Athrofa yn flaenor arnom. Ac wedi i'r Athraw hwn wneud y gwersi yn llawn eglur i bawb yn y Chinäeg gyffredin, gwneir eglurhad o'r cyfan mewn Saesoneg eglur a rhwydd. Yna cymhwysir y wers mewn ychydig addysgiadau sobr ac addas. Pennodir cyfran o'r wers hon i fod yn dasgwaith Saesoneg mewn ysgrifen.

Gellir galw yr holl addysg a enwyd uchod eu Hastudiaeth Gristionogol. Heblaw hyn, fodd bynnag, maent yn cael tasgwaith beunyddiol mewn Grammadeg a Rhifyddiaeth. Ac ar ddydd iau, darllenir tasg gyffredin a hawdd mewn Daearyddiaeth neu Seryddiaeth, ac eglurheir hi: hyn a wneir bod dydd iau.

(*I'w barhau.*)

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

*Cymdeithasfa Llanfair Caereinion, Swydd Drefaldwyn, Mai* 8, 9.

Nos Fawrth, llefarodd Mr. Moses Parry, Dinbych, ar Ioan 17. 15.

Prydnawn ddydd mercher, gweddiodd Mr. John Edwards, Berthen; a llefarodd Mr. John Evans, Mon, ar Heb. 2. 3., a Mr. Edward Jones, Aberystwyth, ar Luc 9. 26.

Dydd Iau am 6, gweddiodd Mr. John Foulkes, Llanelidan. Llefarodd Mr. David Roberts, Abertawy, ar Am. 8. 11. a Mr. Robert Roberts, Tan y Clawdd, ar 1 Pedr 1. 13.

Am 10, gweddiodd Mr. David Davies, Morganwg. Llefarodd Mr. John Jones, Tremadoc, ar Esa. 53. 11., a Mr. Henry Rees, ar Psal. 119. 111.

Am 2, gweddiodd Robert Evans, Penystumllyn. Llefarodd Mr. Moses Parry, ar Psal. 51. 10, a Mr. Thomas Elias, Llangamarch, ar Luc. 5. 24.

Y nos, pregethodd Mr. Richard Humphreys, Dyffryn, a Mr. Griffith Davies, Mon.

Yr oedd y dyrfa yn lliosog iawn, a'r hin yn gysurus i ni i gadw y cyfarfod, ac yn dyfadwy iawn i'r ddaear. Ac ni adawodd yr Arglwydd ni yn hollol heb y gwlaw graslawn; ond cawsom achos cyfreithlawn i ddywedyd mai da oedd bod yno, er fod rhai o'r dwylaw a fuont fedrus iawn ar y llestr heb fod yno; ïe rai (er ein galar) na welwn mo honynt mwy. Etto yr oedd ei pherchen yn llywydd arni.

Penderfynwyd i Gyfarfod Blynyddol (*Association*) Treffynnon i fod Mehefin 4 a 5. Dydd Mawrth a Mercher.

O. S. Dymunir ar y Siroedd oll fod yn ofalus na ollyngont neb i mewn i Gyfarfodydd Neillduol y Cymdeithasfa Chwarterol, ond y rhai a dderbyniwyd yn aelodau cyflawn. Oblegid fod dirywiad yn y gofal am gadw at y rheol hon y bernir yn angenrheidiol adnewyddu yr annogaeth.

JOHN FOULKES.

---

### CYLCHWYLIAU Y CYMDEITHASAU CREFYDDOL YN LLUNDAIN, MIS MAI, 1833.

*Cymdeithas y Biblau.*—Dydd Mercher, Mai 8, cynnaliwyd cyfarfod blynyddol y Bibl Gymdeithas Cartrefol a Thramor yn Llys Exeter, arglwydd Bexley yn y gadair. Nifer y Biblau a'r Testamentau a wasgarwyd gan y Gymdeithas ogoneddus hon yn y fl. ddiweddaf oedd 558,841; swm yr arian a dderbyniwyd oedd £75,492; a'r arian a dreuliwyd oedd £88,676. Yr oedd y draul yn fwy na'r arian a dderbyniwyd, fel y bydd raid naill ai gwasgaru llai o Fiblau, neu godi ar eu prisiau.

*Cymdeithas Pregethu yr Efengyl i'r Gwyddelod* (*Irish Evangelical Society*).—Y Bedwerydd ar-bymtheg gylchwyl o'r Gymdeithas hon a gynnaliwyd yn Nghapel Finsbury, Moorfields, brydnawn ddydd iau, Mai 9, T. Walker, Ysw. yn y gadair.

Areithiodd yn y cyfarfod y Parchedigion canlynol, A. Thomas, G. Clayton, D. Stuart, J. Burnet, Dr. Styles, Dr. Morrison, a Josiah Conder, Ysw.

Y moddion y mae 'r Gymdeithas ddaionus hon yn eu harfer tuag at oleuo a dychwelyd y Gwyddelod ydynt, Pregethu, darllen yr Ysgrythyrau o dŷ i dŷ, agoryd a chadw Ysgolion, taenu yr Ysgrythyrau ar led, &c.

*Cymdeithas Genhadol Llundain* (*London Missionary Society*).—Cynnaliwyd cylchwyl flynyddol y Gymdeithas fuddiol hon ddydd Iau Mai 9, yn Llys Exeter. Dyma y cyfarfod lluosoccaf, meddynt, o'r holl Gyfarfodydd i gyd. Galwyd T. Wilson, Ysw. yn gadeiriwr i'r Cyfarfod. Areithiodd y Parch. Wm. Ellis, y Cenhadwr, y Parch. Dr. Wardlaw, y Parch. Dr. Saml. Cox, o New York, y Parch. R. W. Hamilton, y Parch. J. Langley, J. Davies, Ysw. o Vronheulog, yr Anrhydeddus Cadben Waldegrave, R. N. newydd ddychwelyd o Fôr y De, y Parch. Dr. Bennet, y Parch. Dr. Doran, y Parch, J. Burder, y Parch. D. Stuart, o Dublin. Gwnaed casgliad yn y cyfarfod hwn yn £363 3s 3c.

*Cymdeithas Diwygiad Brytanaidd* (*British Reformation Society*.—Cadwodd y Gymdeithas hon ei chyfarfod cyffredinol ddydd Gwener, Mai 10, yn Llys Exeter. Ac yn absennoldeb y Gwir Anrhydeddus Iarll Roden, galwyd y Milwriad Rhaglawiol Phipps i'r gadair. Areithiodd ar yr achlysur, Mr. Tottenham, yr ysgrifenydd, Ardalydd Cholmondeley, y Parch. J. Cummings, o Eglwys Scotland, y Gwir Barch. Deon St. Patrick, J. Cummins, Ysw. o Cork, J. E. Gordon, Ysw. G. Finch, Ysw. ac ereill.

Dyben a llafur y Gymdeithas hon ydyw arfer pob moddion cyfreithlawn i ddwyn y Diwygiad Protestanaidd ymlaen yn yr Iwerddon, Canada, a manau ereill dan lywodraeth Lloegr.

---

### CYFARFOD

*Dirprwywyr Cymdeithas Goror Clawdd Offa, a gynnaliwyd yn y Trallwm, Mai* 22, 1833.

Daeth cyfeisteddwyr Cymdeithas Genhadol y Goror, Sir Drefaldwyn, ynghyd, a'r Parch. J. Hughes y Bont yn gymmedrolwr. Bwriwyd golwg ar yr achos dan eu gofal, ond yn benaf chwiliwyd i amgylchiadau arianawl y Gymdeithas am y flwyddyn yn diweddu y Mai presenol: er eu llawenydd, gwelsant bod eglwysi bychain y Goror yn ffrwythlon ac hael-

ionus yn eu cyfraniadau at yr achos; rhai o honynt yn gallu talu eu holl draul eu hunain trwy roddion misol, a thrwy gasglu yn gyhoeddus bob chwarter. Ac mae eglwysi y sir yn cyfrannu yn helaeth at y Gymdeithas hon; ond oherwydd bod ei gweithrediadau mor helaeth yn cynnal pregethu mewn oddeutu deunaw neu ugain o leoedd bob sabboth, ac yn defnyddio chwech neu saith o genhadon pa rai sydd yn teithio llawer, a llafurio yn galed. Ac er bod yn brin a chynnil mewn cydnabyddiaeth i'r Cenhadon hyn, cawsant eu hunain mewn dyled oddeutu £70, heb wybod o ba le i'w cael, na pha beth i wneud.

Dalier sulw, mai nid mewn blwyddyn neu ddwy, ond yn raddol, ers amryw flynyddoedd, y soddwyd i'r ddyled uchod. Heblaw y cydnabod bychan a gyfranir i'r rhai sydd yn llafurio, mae amryw Renti tai addoliad wedi chwanegu at y ddyled hon.

Gobeithiwn y bydd i ryw rai o ewyllyswyr da i achos yr Arglwydd Iesu edrych yn dosturiol arno yn yr amgylchiad isel hwn, a rhoi rhyw gynnorthwy tuag at ei gael etto i'r lan o'i ddyled.

*Dros Ddirprwywyr y Gymdeithas,*

DAVID MORGAN.

---

CASGLIAD

*Tuag at gynnorthwyo Cymdeithas Genhadol Llundain, gan y Methodistiaid Calvinaidd yn Sir Drefaldwyn, am y fl.* 1832.

| | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|
| Llanidloes ar ol y bregeth, gan y Parch. C. Owen | 8 17 2½ | | | |
| Mr. H. Jones a'i deulu | 2 0 0 | | | |
| Park | 0 14 9½ — | 11 | 12 | 0 |
| Machynlleth | | 4 | 14 | 2½ |
| Bont | | 2 | 10 | 8 |
| Llanwyddelan | 2 5 0 | | | |
| Horeb | 0 11 1½ | | | |
| Carmel | 1 10 0 — | 4 | 6 | 1½ |
| Meifod | | 4 | 0 | 0 |
| Llansantffraid a Gwern bant | 3 13 0½ | | | |
| Plas-bach | 0 14 3½ — | 4 | 7 | 4 |
| Drefowen | | 2 | 0 | 2 |
| Llandinam | | 1 | 6 | 0½ |
| Saron | | 1 | 5 | 4 |
| Trefgynon | | 0 | 19 | 6 |
| Sion | | 2 | 5 | 0 |
| Trefnewydd | | 3 | 14 | 7½ |
| Tirnewydd | | 1 | 12 | 3 |
| Carno | | 2 | 6 | 1½ |
| Llanbrynmair | | 3 | 16 | 6 |
| Gleuniant | | 2 | 6 | 3½ |
| Llanfair | | 2 | 5 | 0 |
| Neuadd | | 1 | 9 | 7½ |
| Llanfyllin | | 2 | 14 | 2 |
| Llanrhaiadr | | 1 | 9 | 0 |
| Brithdir | | 1 | 2 | 9 |
| Trallwm | | 1 | 4 | 4½ |
| | | 64 | 3 | 8 |

*Casgliad tuag at gynnorthwyo Cymdeithas Goror Clawdd Offa ymhlith y Saeson, yn y flwyddyn* 1832.

| | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|
| Machynlleth | | 4 | 15 | 0 |
| Bont | | 1 | 13 | 10 |
| Llanywddelan | 2 0 0 | | | |
| Horeb | 0 17 4 | | | |
| Carmel | 0 14 6 — | 3 | 11 | 10 |
| Llanfair | | 2 | 10 | 1½ |
| Carno | | 3 | 7 | 9 |
| Trallwm | | 1 | 3 | 6 |
| Llanbrynmair | | 4 | 9 | 9 |
| Gelli | | 0 | 4 | 6 |
| Meifod | | 3 | 6 | 1 |
| Sion | | 3 | 12 | 0 |
| Trefgynon | | 1 | 7 | 10 |
| Mallwyd | | 0 | 19 | 0 |
| Saron | | 0 | 14 | 6 |
| Gleuniant | | 0 | 13 | 2 |
| Bulah | | 1 | 2 | 5½ |
| Drefowen | | 2 | 0 | 2½ |
| Graig | 0 18 10 a 0 18 0 — | 1 | 16 | 10 |
| Cemaes | | 1 | 10 | 0 |
| Llanfyllin | | 1 | 7 | 1 |
| Pied House | | 0 | 17 | 9 |
| Bettws | | 1 | 11 | 5 |
| Pentrerhedyn | | 1 | 12 | 11½ |
| Bethesda | | 1 | 17 | 8½ |
| Tabernacle | | 2 | 16 | 6 |
| | | 49 | 2 | 7½ |

*Un arall i'r un Gymdeithas ymhlith y Cymry.*

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Llanidloes | 7 | 0 | 0 |
| Llandinam | 1 | 5 | 0 |
| Drefnewydd | 3 | 18 | 10 |
| Carneddau | 1 | 5 | 0 |
| Croesoswallt | 3 | 18 | 10 |
| Cefn canol | 2 | 9 | 0 |
| Brithdir | 1 | 2 | 9 |
| Llanrhaiadr | 1 | 9 | 0 |
| Rehoboth | 0 | 18 | 0 |
| Bethlehem | 1 | 10 | 0 |
| Gleuniant | 2 | 6 | 3½ |
| Manchester y Flwyddyn 1831 | 5 | 0 | 0 |
| I'r Goror Cymreig | 32 | 2 | 8½ |
| I'r Goror Seisnig | 49 | 2 | 7½ |
| I'r Cymdeithas Genhadol | 64 | 3 | 8 |
| Y Cyfanswm | 145 | 9 | 0 |

---

CYD-YMDRECH.

Cyd-ymdrechodd yr Ysgolion Sabbothol, a'u Hathrawon, etto y leni, yn erbyn annuwioldeb cyfarfodydd rhedegfâau ceffylau Caerlleon yn mis Mai. Cyfarfu holl Ysgolion y Pleidiau Crefyddol, ac Ysgolion yr Eglwys Wladol, agos i gyd, bob prydnawn am y pum niwrnod y parhaodd y rhedegfâau. Cyfranwyd rhoddion o deisenau o fara blasus, fel gwobrwyon,

bob dydd i'r plant Rhoddodd un foneddiges, Saesones, o'r enw Mrs. Humphreys, yn Northgate-street, bum swllt tuag at wobrwyo plant Ysgol y Cymry; ac amryw ereill yn haelionus a charedig iawn. Ar y dydd olaf cyfarfu yr holl athrawon, yr athrawesau, a'r ysgolheigion i yfed tê yn nghyd; yna ymadawsant mewn tangnefedd.

---

ADOLYGIAD Y WASG.

*Gofyniadau ar Weddi, wrth ba rai y dysgir i Blant, Natur ac Ymarferiad Gweddi, &c. Cyhoeddedig yn Saesoneg gan Mr. James Gall o Edinburgh yn Scotland. [Gwedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan un o Athrawon yr Ysgol Sabbathol.] Bala: argraffedig gan Robert Saunderson. Ar werth gan Mr. John Hughes, Pont Robert, Swydd Drefaldwyn. Pris 3c.*

Mae Gweddi yn ddyledswydd orphwysedig ar bob Cristion; a dylai pob un ymdrechu i gyrhaeddyd melusach profiad o gymdeithas â Duw ynddi, a chynnyddu mewn dawn a hyawdledd yn yr ymarferiad o honi. Pa un ai yn ddirgel ai yn gyhoedd y byddwn yn nesâu at Dduw mewn gweddi, gelwir arnom i 'gymmeryd geiriau gyda ni,' 'a threfnu ein mater ger ei fron ef.' Pa faint o ddyfalwch a ddichon fod yn ein plith gyda 'r ddyledswydd hon yn y dirgel, Chwiliwr y galon yn unig sydd yn gwybod, ac iddo ef y mae cydwybod pob un i ymateb am hyny; ond ymddengys i mi fod gweddiwyr cyhoeddus yn llawer lliosocach yn Nghymru nag mewn odid i wlad arall o'r maint ar wyneb y ddaear.

Mae ein Cyfarfodydd Gweddi, a chyfleusderau ereill i ymarferyd â'r ddyledswydd, yn aml, ac arwyddion cysurus mewn llawer man bod yr Arglwydd tirion yn arogli arogl esmwyth arnynt. Etto, byddai yn ddymunol iawn pe gwelid diwygiad yn ein plith mewn llawer o bethau gyda'r gwaith arbenig hwn. Pe cymmerai hyny le, efallai y gwelid nifer liosocach yn dyfod i'r Cyfarfodydd Gweddi mewn llawer ardal. Mae gweddiau rhy feithion, difywyd, anghyson, neu anmhriodol, yn sicr o ddiflasu y gwrandawyr. Mae ambell un, pan fyddo yn ei chael yn galed a thywyll ar ei feddwl wrth weddio, yn gwneuthur y drwg yn waeth trwy barhau i feithder anarferol; mwy synwyrol mewn amgylchiad o'r fath fyddai tòri i fynu yn fyr.

Mae un Awdwr enwog yn cynghori y rhai a weddiant yn gyhoeddus mewn Cyfarfodydd Gweddi, na byddo i'r un person barhau ar weddi nemawr tros ddeng mynyd, a chyfyngu ei hunan at ryw un mater neillduol, a pheidio ailgoffa pethau y gofynwyd am danynt o'r blaen, neu geisio dwyn i mewn bob peth ag y dichon iddo feddwl am danynt. Mae hyn, mi feddyliwn, yn dra theilwng o'n sylw. Gellir clywed dynion weithiau 'yn amgylchu tir a môr' o'r bron yn eu gweddiau, yn coffâu braidd am bob peth, ond y peth mwyaf angenrheidiol, a'r peth a ddylai yn benaf dim gael crybwyll am dano.

Mewn Cyfarfodydd Gweddi ar achosion penodol, bydd yn anhawdd gwybod weithiau oddiwrth y gweddiau, (oni bydd dyn yn gwybod eisioes,) beth yw yr achlysur o honynt, neu a oes rhyw ddyben neillduol iddynt ai peidio. Er hyny nid y rhai a elwir i arferyd eu dawn yn gyhoeddus yn unig sydd i'w beio; mae y cynnulleidfaoedd hwythau yn aml yn dra esgeulus. Llawer a eisteddant fel barnwyr, yn lle cydweddio â'r sawl a fyddo yn enau trostynt at Dduw, yr hyn sydd yn agwedd dra anaddas a phechadurus. Gellid chwanegu llawer yn y dull hwn, ond rhag meithder ymattalir. Y pethau hyn a grybwyllwyd, nid er mwyn dynoethi a gwarthruddo, ond yn unig er dangos yr angen sydd ar lawer o grefyddwyr, a'r rhai a gyrchant i leoedd addoliad, am gael eu hegwyddori yn well am natur gweddi, a rhoddi cais am ddiwygiad; ac i'r dyben hwn gelwir sylw y cyffredin at y Llyfr bychan a nodwyd uwch ben yr ysgrif hon. Gall fod o fudd mawr i Athrawon a phobl ieuainc yr Ysgolion Sabbathol.

Nid oes yn y Gymraeg, ar y mater hwn, lyfr yn cynnwys cymmaint am gyn lleied pris. 'Galwad at Orseddfainc y Gras,' gan y Parch. Griffith Jones, Llanddowror, sydd lyfr gwerthfawr, ond yn awr yn anhawdd ei gael. Y bedwaredd ran o waith Gurnal sydd fuddiol ragorol, etto mae llawer nad allant gyrhaeddyd llyfr mor fawr. Ond dyma lyfr yn nghyrhaedd y tlotaf, ac wedi ei gyfaddasu at ddeall y gwanaf, hyd yn nod plant. Taenwyd nifer go fawr o hono yn barod mewn cylch bychan, ac yn awr amcanir ei waeyd yn fwy cyhoeddus yn y Dywysogaeth yn gyffredinol; a gall y mwyaf drwg-dybus ymddiried na elwir mo'i sylw yma at beth nad yw yn haeddiannol o hono. Mae un tudalen hardd ynddo, sef td. 11. yn cynnwys 'Dosbarthiad Gweddi,' ei hun yn llawer mwy o werth na phris y llyfr. ***

---

MARW RESTR.

Bu farw y Parch. W. Thorp, o Bristol, ddydd Mawrth, Mai 7, yn ddwy flwydd a thriugain oed, wedi bod yn pregethu yr efengyl chwech a deugain o flynyddoedd. Yr oedd yr athrawiaeth iachus ag y bu efe yn llafurus a diwyd yn ei chyhoeddi am gyhyd o flynyddoedd, yn dwyn gwir gynnaliaeth a chysur i'w feddwl yn amgylchiadau gofidus marw.

HELYNTION YR AMSEROEDD:

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Dydd llun, Mai 6, rhoddodd y Brenin ei gydsyniad, trwy Ddirprwyaeth, i'r Ysgrifau canlynol, wedi cael eu cymmeradwyo yn y ddau Dŷ:—Ysgrif am ffordd haiarn ac Agerdd-Gerbydau o Lundain i Birmingham; ac un arall am y cyfryw ffordd a Cherbydau o Birmingham, drwy Warrington, i Liverpool; ac un arall am daclu, unioni, a gwastadau y ffordd fawr o Gaerlleon i Woodside ar gyfer Liverpool. Felly y mae yr Ysgrifau hyn, yn awr, yn gyfreithiau sefydledig.

*Tŷ y Cyffredin.* Mai, 6, derbyniwyd Erfyniadau o amryw fanau; o Wrexham, o Ruthin, yn erbyn Caethwasanaeth; o Landrillo, Abergele, Llangollen, a manau ereill am gael cyfraith i gadw y Sabboth yn fanylach.

Rhoddodd Mr. Wood (dros Syr S. Whalley) rybudd y bydd iddo ef ddwyn i mewn gynnygiad am symmud ymaith yr holl drethi oddiar dai annedd a ffenestri, ar ddydd mercher y 15ed o'r mis hwn.

*Diwygiad yn yr Eglwys Wyddelig.*

Dygwyd i mewn amryw Eirchion yn erbyn y Diwygiad hwn oddiwrth wyr eglwysig o amryw fanau. Yna galwodd Arglwydd Althorp, Canghellwr y Drysorlys, am sulw y Tŷ ar ail ddarlleniad Ysgrif y Diwygiad hwn. Bu dadl o bob tu; ac yna rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

O blaid yr ail ddarlleniad .... 317
Yn erbyn ... .............. 78
Mwy o blaid y Darlun o .... ——239

Ymsefydlodd y Tŷ yn Gyfeisteddfod i ystyried Ysgrif gostyngiad pris cyhoeddiad Hysbysiadau (*Advertisements*) mewn papurau newyddion. Penderfynwyd fod y Doll i'r Llywodraeth ar bob Hysbysiad yn Lloegr a Chymru yn 1s. 6c. yr un, ac yn yr Iwerddon yn 1s. yr un.

Mai 7. Dyg Syr R. Bulkeley Archiad yn erbyn Caethwasanaeth o Fangor, ac o dri o fanau yn Mon.

Dydd iau, Mai 16. Gwnaeth Syr A. Agnew gynnygiad am ddwyn i mewn ei Ysgrif am Gadw 'r Sabboth. Gwnaeth araeth ragorol. Gwrthwynebwyd ef gan Mr. Roebuck ac ereill. Rhanwyd y Tŷ, a chafwyd yn erbyn yr Ysgrif . . 79

O blaid . . . . . . . . . . 73
Mwy yn erbyn o . . . . . . ——6

Felly collwyd yr Ysgrif hon, er mawr alar i bob un sydd yn ofni yr Arglwydd ac yn cadw ei orchymynion ef.

Mr. Peter, Aelod dros Bodmin, a ddywedodd drachefn, y bydd iddo ef ar Meh. 10, wneud cynnygiad am welliant ar y cyfreithiau presennol am gadw y Sabboth. Hysbysodd fod chwech driugain o gyfreithiau ar y matter hwn, ac y bydd 'Crynodeb o honynt, a gwelliant arnynt yn atteb i bob amcan angenrheidiol.'

*Eirchion.* Nifer yr Eirchion a anfonwyd i'r Senedd cyn Ebrill 29 am gyfraith i gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth oeddynt 737, a nifer yr enwau a'u llaw arwyddasant oeddynt 179,118. Anfonwyd llawer iawn ar ol hyny.

*Rhyddhad y Caethion.*

Dydd mawrth, Mai 14, yn Nhŷ y Cyffredin. fe drowyd y Tŷ yn Eisteddfod yr holl Dŷ; i'r dyben o glywed Cynllun o'r Drefn sydd gan y Llywodraeth i'w gynnyg i roi Rhyddid i'r Caethion yn holl Drefedigaethau Brydain Fawr.

Dyg Mr. Stanley, Ysgrifenydd y Trefedigaethau, y Cynllun i mewn: ac yn ei fynediad i mewn i'r Drefn a'r eglurhad o honi, efe a areithiodd agos i dair awr yn ddidor ar yr achlysur, a'r holl Dŷ yn parhau i wrando gyda'r astudrwydd mwyaf ar hyd yr amser. Braidd y gwnaeth neb erioed y fath araeth mor gynnwysfawr ac i'r perwyl, ar un achlysur o'r blaen o fewn y Tŷ. Dywedodd ei fod ef yn sefyll mewn amgylchiad cyfyng iawn, ar y naill law, fod ganddo o saith i wyth gant o filoedd o Gaethion i geisio gosod trefn i'w rhyddhau, ynghyd a dymuniad cyffredinol holl drigolion Brydain am i hyny gael bod. Ac ar y llaw arall, fod holl berchenogion tiroedd, planhigfeydd, a pherchenogion y Caethion yn sefyll yn fawr yn erbyn y cynnygiad.

Yn niwedd ei araeth, efe a adroddodd y Drefn o ryddhad i'r Caethion, yr hon yr oedd y Llywodraeth yn ewyllysio iddi gael ei sefydlu yn gyfraith os cyd-welai y Senedd. A'r drefn oedd fel y canlyn—

I. Bod i bob caethwas (*slave*) i gael rhyddid i honni hawl, o flaen swyddog a enwer gan ei Fawrhydi i'r dyben hyny, i gael ei gofrestru fel Prentis o lafurwr rhwymedig i'w feistr.

II. Bod y rhai canlynol yn ammodau'r prentisiaeth.

1. Bod awdurdod o gospedigaeth corphorol i gael ei gymmeryd oddiar y meistr, a'i ddodi yn llaw y Swyddog gwladol.

2. Er mwyn cael ymborth a dillad, a'r cyfryw ddognau ag y mae y Caethion yn awr yn gael drwy'r gyfraith, fod i'r llafurwr weithio i'w feistr dair rhan o bedair o'i amser, a bod iddynt sefydlu drwy gytundeb pa un ai tair rhan o bedair o'r wythnos, ynte o bob diwrnod. Wrth ddiwrnod y meddylir deng awr, saith awr a hanner o hono i'r meistr am yr ymborth a'r dillad, &c. a'r rhan arall o'r diwrnod nid yw y rheol hon yn rhoi dim cyfarwyddyd yn ei gylch. Bod i'r cyfryw brentisiaid yn ddioed gael pob hawl a braint gwyr rhyddion, cael bod yn alluog i roi tystiolaeth mewn pob llys gwladol, ar bob achos, yn gystal yn erbyn eu meistriaid ag yn erbyn dynion ereill,

gwasanaethu swydd Rheithwyr; ac yn y milwyr cartrefol—ac o fyned i'w dewis le o addoliad, ac o dan addysg y dysgawdwyr crefyddol a fynont: ac i gael pob hawl a rhagorfraint sy'n perthyn i ddeiliaid Brydain ymhob ystyriaeth.

3. Bod gan y llafurwr hawl i gael gwaith gan ei feistr am y rhan arall o'r diwrnod am gyflog a bennodir i hyny.

4. Bod y llafurwr yn rhydd, os myn, i weithio yn rhyw le arall am y bedwaredd ran o'r diwrnod.

5. Bod y meistr i osod pris ar y llafurwr yn nechreuad ei brentisiaeth.

6. Bod y cyflog a dalo'r meistr i fod yn gyfartal o ran trefn i'r pris a osodo efe, fel am y cyfan o'r amser gweddill (sef y bedwaredd o bob diwrnod) os rhoir ef at wasanaeth y meistr, y bydd i'r *negro* dderbyn y ddeuddegfed ran o'i bris bob blwyddyn; ac felly yn ol yr herwydd am amser llai.

7. Bod i bob negro, wrth ddyfod yn Brentis, gael ei dâl yn arian wythnosol yn lle ymborth a dillad, os bydd efe yn dewis, a bod y swm i gael ei bennodi gan Swyddog gwladol yn ol prisiau a gwerth ymborth a dillad y pryd hyny.

8. Bod i bob prentis o lafurwr i dalu rhan, a bennodir etto, o'i gyflog, bob hanner blwyddyn i'r Swyddog a bennodir gan ei Fawrhydi.

9. Bod, (yn niffyg y cyfryw dâl,) y meistr yn rhwym i dalu, a'i fod yntau yn codi cymmaint a hyny o swm allan o gyflog y llafurwr yn yr hanner blwyddyn canlynol.

10. Bod i bob prentis o negro, ar daliad swm y pris a osododd y meistr arno, neu y cyfryw weddill o'r swm a fyddo yn aros ar ol y taliadau blynyddol o dro i dro, gael bod yn hollol rydd oddiwrth ei feistr, fel prentis wedi gwasanaethu ei feistr.

11. Bod i bob cyfryw brentis gael rhyddid i geisio benthyg arian i'w brynu ei hun, pryd y myno, ac iddo ymrwymo o flaen Swyddog gwladol i dalu mewn gwasanaeth am amser pennodol fel prentis i'r hwn a roddodd fenthyg.

III. Bod y swm o £15,000,000 yn cael ei fenthycca i Berchenogion Etifeddiaethau a pherchenogion Caethion yn yr India Orllewinol, ar y cyfryw fachnïaeth a gymeradwyir gan y Dirprwywyr appwyntiedig gan Arglwyddi Rhaglawiaeth y Trysorlys ei Fawrhydi.

IV. Bod i'r arian benthyciol hyn i gael eu dosparthu ymhlith yr amrywiol Drefedigaethau yn gyfartal i nifer y Caethion a swm yr eiddo trosglwyddedig o'r cyfryw fanau.

V. Bod i'r taliad hanner blynyddol crybwylledig o'r blaen, yr hwn sydd i'w dalu gan y negro prentisiedig, i gael ei roddi at leihau y ddyled a fyddo ar y Planhigyddion i'r Llywodraeth.

VI. Bod i'r holl blant a fyddont dan chwech oed, ar yr amser y del y gyfraith hon mewn grym, i gael bod yn rhyddion, ac i gael eu cynnal gan eu rhieni.

VII. Bod, os bydd y rhieni yn methu eu cynnal, iddynt gael eu cyfrif yn brentisiaid i feistriaid y rhieni, (heb ddim cyflog,) y gwrywiaid hyd yn 24 oed, a'r benywiaid hyd yn 20 oed, pryd y bydd iddynt hwy a'u rhieni gael bod yn rhyddion.

VIII. Na bydd i'r Gyfraith hon attal y Brenin rhag rhoi cydsyniad i'r cyfryw Gyfreithiau a gaffont eu sefydlu gan Lywodraethwyr y Trefedigaethau tuag at annog diwydrwydd ac attal crwydrad, ymhlith pob gradd o'r preswylwyr. A bod i wyr parchus, llwyr annghysylltiedig â'r Trefedigaethau, i gael eu hanfon allan i weithredu fel Hedd-Ynadon Taleithiol a swyddogion ereill, er amddiffyn y bobl dduon, ac i gadw heddwch.

IX. Ar annogaeth y Llywodraethwyr Taleithiol, Bod i'w Fawrhydi fod yn barod i annog y Senedd, allan o Gyllid y Llywodraeth, i roddi y cyfryw gynnorthwy a farner yn angenrheidiol tuag at gynnal gweinyddiad cyfiawnder, a nifer digonol o geidwaid heddwch, a threfn gyffredinol o addysg grefyddol a moesol, yn y Trefedigaethau.

X. Gyda golwg ar hyn, Bod hollol amddiffyniad yn cael ei roddi i holl athrawon crefyddol, o bob plaid yn ddiwahan.

---

LLONG-LOSGIAD.

Derbyniwyd y newydd galarus fod y llong fawr, a elwid Britania, ar ei mordaith o Loegr i Van Dieman's Land, wedi cymmeryd tân, a llosgi ar ganol y môr mawr. Yr oedd ar ei bwrdd hi ynghylch 200 o euog ddynion yn cael eu halltudio dros y cefnfor am eu troseddau; achubwyd oddeutu cant o honynt, a glaniwyd hwynt yn Rio Janeiro, a llosgwyd y lleill yn y danllwyth. Y modd y cymmerodd y llong dân ydoedd, drwy i'r Islywydd (*Mate*) fyned â chanwyll i ystafell y gwirod (*Spirit Room*) i ymofyn gwirod, ac i hwnw megis-powdr gymmeryd tân, a thwy hyny losgi y llong a'r bobl. Mae rhyw felldith yn dilyn y Gwirod yma ymhob man ar dir a môr. Gwareder ni rhag y drwg.

*Llong Rhyfel*, (*Man of War*).—Mae Llong rhyfel, anghyffredinol ei maint, yn cael ei hadeiladu yn Philadelphia yn America. Y hi yw'r llong rhyfel fwyaf a adeiladwyd erioed yn y byd. Ei henw hi fydd Pensylvania. Bydd arni ddau gant o fagnelau rhyfel (*cannons*); a phedwar cant ar ddeg o wyr yn ei mordwyo ac yn ei thrin. Ei hangor mwyaf a bwysa ddeng mil un cant ac unarddeg a thrugain o bwysau! Mae hi yn ddau cant ac

ugain o droedfeddi o hyd, ac yn dair troedfedd ar ddeg a deugain o led. Mae ynddi bedwar ar ddeg ar hugain o drawstiau o goed derw yn eu llawn gorpholaeth, ac y mae iddi bump o fyrddau cyfain (*entire decks*), heblaw dau lofft a elwir *spar* ac *orlop*, a thri o fyrddau magnelau, (*gun decks*).

*Cholera Morbus.*—Mae yr haint echryslawn hwn yn lladd yn arswydus yn Ceylon, ac hefyd yn yr America Ddeheuol. Mae y clefyd hwn bron wedi cyrhaedd yd o gylch y byd i gyd.

*Influenza* (*Dolur y gwddf, &c.*)—Mae yr afiechyd ymdaenawl hwn yn myned yn ei flaen o dref i dref, ac o ddinas i ddinas. Mae efe wedi bod yn hir yn Llundain, ac oddiyno aeth i Dublin, Liverpool, Scotland, Caerlleon, &c. Mae'n debygol mai y gwynt oerlym o'r dwyrain, am hir amser yn mis Ebrill, a fu yr achlysur o hono. Effaith oerfel ydyw. Mae efe yn gyffredinol yn dechreu mewn cur yn y pen, wedi hyny, poen yn yr aelodau, peswch mawr sychlyd, a dolur y gwddf. Mae efe yn cerdded drwy deuluoedd cyfain yn aml iawn. Nid llawer teulu sydd yn Liverpool na bu ef ar rai o'r preswylwyr. Mae yr claf yn teimlo sychder mawr yn yr ysgyfaint, y ffroenau yn sychion, a'r tafod yn wyn. Mae ef yn parhau felly am 24 neu 36 o oriau yn y dull hwn, ac yna yn cilio yn raddol, ac yn gadael y corph yn wanllyd iawn ar ei ol. Gobeithiwn fod miloedd yn canfod ac yn cydnabod llaw yr Arglwydd yn yr afiechyd hwn etto. 'Pwy a ddywed y bydd dim heb i'r Arglwydd ei orchymyn?' Mae ein bywyd, a'n hanadl, a'n pob peth oll yn ei law ef, i wneud â ni fel y gwelo fod yn dda. Ac er nad oes dim llawer yn meirw o'r clefyd hwn, etto y mae efe yn gwanhau ansawdd y corph yn fawr, a thrwy hyny yn parottoi y corph at afiechyd mwy, ac at farwolaeth; ac yn dangos nad oes i ni yma ddim dinas barhaus.

*Meddyginiaeth.*—Peidio dal i fynu ac ymladd â'r afiechyd yma yw'r goreu: mae rhai trwy hyny wedi myned yn salach o lawer. Da fyddai gorwedd yn y gwely—dodi y traed mewn dwfr cynnes cyn myned i'r gwely—yfed yn helaeth o ddwfr cynnes, neu rual blawd a dwfr teneu (*thin water gruel*). Yn gyffredinol nid da gollwng gwaed. Dognau bychain o *Muriate of Morphia,* wedi ei gymmysgu ag ychydig iawn o *Ipecacuanha*, yn lled fynych a brofwyd yn fuddiol; ac yfed cyflawnder o'r diodydd a enwyd uchod.

*Esiampl ein Grasusaf Frenin William* IV. *am gadw y Sabboth.*—Rhoddodd y Brenin orchymyn na byddo dim i gael ei brynu nac un math o ddim yn cael ei gymmeryd i mewn at wasanaeth y Llys (*Palace*) yn Windsor Castle ar y Sabboth. Hyfryd fyddai i'w holl ddeiliaid ddilyn ei ardderchog siampl yn hyn, o barch i orchymyn y Goruchaf.

*Paris.*—Yn nechreu mis Mai, gosodwyd sylfaen Eglwys Esgobawl Brotestanaidd gyntaf yn Paris, Ffrainc, gan y Gwir Barch. Esgob Luscome. Y fan lle y mae hi a elwir Rue d' Aguesseau, Faubourg St. Honore.

*Coffi Newydd.*—Mae planhigin yn cael dechreu ei arfer yn Sweden yn lle Coffi, yr hwn a elwir yn Rhestr y Planhigion gan Linneus, *Astragalus basticus*, Maent yn barnu ei fod yn llawn cystal ei flas a choffi, ac y mae'r trigolion yn ei arfer yn lle coffi yn amryw barthau o'r wlad. Efe a dyf yn y gwledydd oeraf, ac felly yn ddiammeu yn Brydain hefyd.

HOLLAND A BELGIUM.

Mae Brenin Holland, o'r diwedd, yn dechreu dyfod atto ei hun, er mor gyndyn. Mae pob tebygolrwydd ei fod ef yn barod i law-arwyddo yr ammodau gosodedig gan Loegr a Ffrainc i ddodi terfyn ar yr anghydfod a fu cyhyd yn parhau rhwng Holland a Belgium. Llawarwyddwyd y cynllun.

PORTUGAL.

Mae Don Pedro a'i blaid wedi ymgryfhau yn ddirfawr; a Don Miguel wedi gwanhau. Mae Don Pedro yn awr yn bwriadu anturio allan o Oporto i ennill yr holl wlad i dyngu ffyddlondeb i'r Frenhines ieuanc.

TWRCI A'R AIPHT.

Mae tebygolrwydd y bydd i ammodau heddwch gael ei sefydlu rhwng y galluoedd hyn. Darostyngir Twrci yn fawr yn y tro hwn. Mae Rwssia am dafell.

*Llundain.*—Cynnygiwyd cadw cyfarfod mawr yn Llundain i gynnyrfu y genedl i wneud pob egni am gael tynu ymaith yr holl drethi oddiar y wlad. Hyn a fu mewn canlyniad o fod Swyddogion y llywodraeth wedi cyhoeddi eu barn yn Nhy y Cyffredin na allant hwy yn bresennol ddim tynu ymaith yn hollol dreth y brâg, a threth y ffenestri, a threth y tai annedd, heb osod treth ar eiddo (*Property tax*) yn eu lle; yr hyn yr oeddynt yn farnu yn ddiangenrhaid. Anfonwyd lliaws o Heddgeidwaid i'r lle i attal y cyfarfod. Bu yno gryn gythryfwl rhwng y ceidwaid a'r bobl. Lladdwyd un hedd-geidwad, a elwid Culley. Dodwyd amryw o'r terfysgwyr yngharchar, ac yn eu plith y gwr a laddodd Culley.

*Birmingham.*—Cadwyd cyfarfod mawr a lliosog iawn yn Birmingham, i gytuno am anfon Archiad at y Brenin am iddo droi Swyddogion y Llywodraeth o'u swyddau, am eu bod yn nacâu tynu ymaith y trethi oddiar y tlodion. Ymadawsant yn hynod o heddychol a diderfysg.

## MYFYRDOD AR DDEDWYDDWCH Y NEF.

(Parhad tu dal. 159.)

'Nol teithio a theithio'n lân
  Uwch golwg ser a'u gwawr,
Canfyddent draw o'u blaen
  Fal adail dinas fawr; (11)
A'i sail ar gedyrn greigau pres,
A'i thyrau heirdd—O gyson res! (12)

Ei hadeiladau oll
  Fal p'lasau ifori pur; (13)
A'i 'strydoedd glân digoll
  Yn berffaith deg yn wir;
Gwel ddinas ein cyfarfod mâd,
Gwel freiniol lys dy nefol Dad.

Yn awr adseinia'r nef,
  Gan eu soniarus gân,
Rhyw ddinas gadarn gref, (14)
  Yw lle'n preswylfod glân;
A iachawdwriaeth fawr ei bri
Ei chaerau teg a'i rhagfur hi.

Mae yno afon bur, (15)
  A dyfroedd gloywon byw,
Yn tarddu 'n tarddu 'n glir
  O riniog tŷ ein Duw;
Pob sant pob angel lawenha
Wrth adsain mwyn ei ffrydiau da.

Ar dirion lenydd hon
  Y tyf yn wyrdd ei ddail,
Hen bren y bywyd llon,
  Erioed ni bu ei ail,
Blaguryn y cyfiawnder yw,
Planhigyn enwog gardd ein Duw. (16)

O tan ei gysgod clyd
  Rhyw ddedwydd eistedd gawn;
Ac ymddifyru 'nghyd
  Wrth flas ei ffrwythau llawn;
Fel pwysi myrrh mae'i arogl gwir,
Fel aloes da, fel casia pur.

Diferu 'n gyson mae
  O falm rhinweddol da,
A hwnw sy'n iachau
  Pob clefyd a phob pla;
Ei ddail sydd feddyginiaeth lawn,
Mae oll, mae oll yn werthfawr iawn.

Mae'r awyr yno'n glir,
  Heb niwl na chwmwl du,
A gwenu mae'r holl dir
  Gan amlder heddwch cu;
Llifeiro o laeth a mel bob pryd
Mae tir Emmanuel i gyd.

Ust, clwych o'r orsedd gain
  Ryw awdurdodol lef,
A'i nerthol dreiddgar sain
  Yn adsain muriau'r nef;
Y nefol byrth agorer hwy
I holl wrthrychau marwol glwy.

Y gair gan faint ei nerth
  Wrth dd'od o'r orsedd wen,
Bair i'r holl ddorau certh
  Ymagor led y pen;
A heol fawr Caersalem lân
Sy'n gorddysgleirio draw o'u blaen.

Ar eu mynediad hwy
  I'r freiniol ddinas hon,
Nefolion fwy na mwy
  Ddoent i'w croesawu'n llon;
A'r brenin a'u gwahoddai'n hy'
I wledda'r seigau gariad cu.

Ar hyn dechreu'sant gân
  O ryw annhraethol flas,
Oll oll yn llawn o dân
  O fawl i Dduw a'i ras;
Holl faith rinweddau marwol glwy'
Yw testyn eu caniadau hwy.

Cof am gyfamod rhad
  Fu draw rhwng Tri yn Un,
A'r hen gytundeb wnaed
  I gadw marwol ddyn;
Y cariad anfesurol hwn
Fydd testyn eu caniadau gwn.

Mae cofio loesau'r ardd,
  Yr ing a'r gwaedlyd chwys,
Gofidiau'r Person hardd
  O Gethsemane'r llys,
Yn hwylio tannau mawr y nef
I seinio'n beraidd iddo Ef. (17)

Gweled yr euraidd ben
  Fu dan y goron ddrain,
A'i dwylaw fu ar y pren
  Sy'n syndod byth i'r rhai'n;
A gwenau mwyn ei wyneb llon
Yw bythol wledd y dyrfa hon.

Yr holl gantorion llon, (18)
  A'r mwyn gerddorion glân,
Sydd yno ger ei fron
  Yn hyfryd iawn eu cân,
Rhyw ddedwydd gadw sabbath yw
Sydd etto'n ol i bobl Dduw. (19)

Gwŷr ieuaingc yno sydd,
  Henafgwŷr hefyd gair, (20)
A llangciau dorf ddiri',
  Yn chwareu'r delyn aur;
Oll oll mewn gynau gwynion mwy,
A gwisgo palmwydd byddant hwy.

Cyfarfod a'r holl saint
  O bob rhyw oes a gwlad,
Sydd yn ryfeddol fraint
  I'r rhai'n yn nhŷ eu Tad;
Ond Iesu Iesu a'i farwol glwy',
A dỳn eu holl serchiadau mwy.

Wrth wrando ar eu cân
  Ac edrych ar eu gwedd,
A gwel'd y drigfa lân,
  Caersalem dinas hedd;
Pe meddwn edyn Gabriel 'nawr
Ni 'roswn yma fynud awr.

Os yno gwelir fi
  Yn chwareu'r nefol dant,
I ganmol Iesu cu
  Y'mhlith y dedwydd blant;
Wrth roddi'r goron ar ei ben
Mi waedda'n uwch na neb, Amen.

PEREGRINUS.

---

11 Ez. 40. 2. 12 Ps. 48. 13. 13 Ps. 45. 8. 14 Es. 26. 1. 15 Dad. 22. 1. 16 Ez. 34. 29.

17 Dad. 1. 5. 18 Ps. 87. 7. 19 Heb. 4. 9. 20 Ps. 148. 12.

meddwdod y mae y wisg hon, ond yn ei effeithio yn naturiol. Am hyny, ymaith a hwy. Ydwyf yn eiddoch,

*Brynglas, Mon.* TESTYNFAB.

---

CYMEDROLDEB A DIRWEST.

Barchedig Syr,—Wrth weled yr ymryson, a'r anghydfod sydd yn y dyddiau presennol ynghylch Cymdeithasau Cymmedroldeb a Dirwest; a rhai dynion ieuaingc penboeth wrth areithio yn gweiddi. 'Drylliier yr Eglwysi os bydd hyn yn achos o'u drylliiad!' heb gofio (mae yn debyg) nad oedd ddim yn ormod gan yr Iesu tirion roddi ei einioes i'r dyben i eu casglu ynghyd. Tybiais innau wrth eu clywed y gallai sylwiadau Y Parchedig James Hughes, Llundain, ar yr adnodau canlynol, os darllenir hwynt yn bwyllog, fod o les mawr.

Rhuf. 14. 3. 'Lle byddo dynion o wahanol feddyliau am bethau dibwys yn yr un Eglwys, dylid arfer tynerwch a chydymddwyn brawdol o'r ddwy ochr. Yr hwn sydd yn deall, ac yn defnyddio ei ryddid, ni ddylai ddirmygu ei frawd gwan, fel un anwybodus neu ofer goelus. O'r tu arall, ni ddylai y credadyn petrusgar, mewn un modd farnu ei frawd, fel un hunan goleddgar, a phenrydd ei ymddygiad. Lle byddo Duw yn derbyn ni ddylai neb gymeryd arno wrthod.

Yn y bedwaredd adnod mae'r Apostol yn rhoi cerydd llym am y bai blaenorol o farnu eu gilydd am bethau dibwys yngolwg Duw. Cawn gyffelyb eiriau yn Iago 4. 12. Pwy wyt ti, greadur tlawd, pechadurus, anwybodus, ffaeledig, a marwol, a gymeri i ti dy hun yr awdurdod o eistedd mwn barn ar gydwybod gwan un arall, a gosod dedfryd euogfarnol ar ei gyfiwr ef, am arfer y rhyddid y gwyr efe fod ei Arglwydd yn ei ganiadhau iddo? Ti a dybit yn anweddus ymyraeth felly ag achos gwas i un o'th gymmydogion; neu i un o'th gymmydogion ymyraeth felly ag achos un o'th weision dithau; ac a gymeri di arnat lywodraethu teulu Duw; a barnu ynghylch ei weinyddiad ef o achosion ei deulu? I'w Arglwydd ei hun yn unig y mae y cristion proffesedig yn atebol; a'i Arglwydd ei hun a'i cyfiawnhâ neu a'i condemnia ef.

Adnod 10. Yma mae'r apostol yn dychwelyd at yr hyn a ddywedwyd o'r blaen yn adn. 4. sef, Pa ham yr oedd cristionogion yn dirmygu ac yn barnu eu gilydd. Y tro o'r blaen y gofynai, Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu? yma, Paham yr wyt ti yn barnu? cystal a phe dywedasai, Nid oes genyt ti awdurdod i farnu neb, ac nid oes achos barnu yn y rhai yr wyt ti yn eu barnu. O'r blaen, 'gwas un arall;' yma, 'dy frawd,' a ddywed; barnu gwas i un arall oedd ryfygus, a barnu brawd oedd angharіadus. Gallwn sylwi yma hefyd, fel mae y ddau beth yma yn canlyn, 'barnu,' yn gyntaf; ac yna 'dirmygu.' Ar ol i ni farnu dynion yn ein meddyliau, yna ni a'i dirmygwn; lle y dylem yn hytrach dosturio wrthynt, a'u dwyn i'r iawn, os barnwn eu bod yn cyfeiliorni. Rheswm arall a rydd yr Apostol yn erbyn i ddynion farnu a dirmygu eu gilydd yw, 'y gosodir ni oll ger bron brawdle Crist.' Caiff pob gwas yno sefyll neu syrthio ger bron ei Arglwydd ei hun.

Y cryf a'r gwan; y barnwr a'r barnedig; y dirmygwr a'r dirmygedig; yn y dydd hwnw dengys y Barnwr mawr a chyfiawn, oddiar ba egwyddor yr oedd pob un yn gwerthredu, "a phob un a dderbyn ei briod wobr ei hun." TANGNEFEDDWR

---

CYFARFOD DIRWESTOL LLANGEFNI.

Syr,—Mae yn llawenydd genyf gael hysbysu drwy gyfrwng y Drysorfa fod tân dirwest yn goddeithio yr anialwch yn y lle hwn, a thrwy holl wlad Fon. A chwi a ellwch farnu fod teulu yr hen ysglyfaeth yn rhuo yn ofnadwy. Ond pa waeth? y pwngc yw dianc!

Ac i ddangos nad oes arnom gywilydd o egwyddor Dirwest, daethom yn dorf fawr at Gapel y Trefnyddion Calfinaidd ddydd Nadolig diweddaf, lle y ffurfiwyd Gorymdaith o amryw Gymdeithasau ynghyd, i fyned, yn ol taer wahoddiad, i Balas Llanddyfnan, lle y derbyniwyd ni yn y modd mwyaf parchus a charedig. Rhoddodd y Boneddigesau y swm o £3. 10 0 at wasanaeth Dirwest yn yr ardal.

Ac wedi myned yn llu banerog drwy dref Llangefni, dychwelasom i'r Capel. Ac yno traddodwyd Areithau rhagorol gan y Parchedigion John Elias, a William Roberts, Amlwch.

Am 6 ar gloch yn yr hwyr, areithiwyd yn dda iawn gan y Parchedigion John Elias, T. C. Henry Griffiths, Eglwyswr, John Robinson, B. a Thomas Owen, T. C. a dybenwyd trwy weddi a mawl.

*Dau Englyn i'r Dirwestwr tra gallnog, Mr. Richard Davies, Masnachydd, Llangefni; ardderchog a llafurus Gadeirydd y Cyfarfodydd.*

Ys difyr yw gwedd R. Davies—Yn awr,
Yn eirian Gadeirydd:
Byd llawen boed i'n llywydd,
Trwy glau ddawn tra gwelo ddydd.

Dirwystr boed ein Dirwestydd—gwiwdeg,
Yn y Gadair beunydd;
A'i wir fawrhau ef, wr rhydd,
B'o ninnau bob amanydd.

*Llangefni.* TIMOTHEUS OWEN.

---

## Hanesiaeth Cenhadol.

RAROTONGA.

Ynys yw Rarotonga yn Môr y De. Mae

yr hanes a anfonodd y Cenhadwr Mr. Pittman o'r Ynys hon yn dangos fod gwaith yr Arglwydd yn llwyddo yn anghyffredinol ymhlith y trigolion. Dodwn yma ddarn o'i lythyr ef at Ysgrifenydd y Gymdeithas Genhadol. *Rarotonga*, Meh. 30, 1837.

Anwyl Frawd,—Nis gwn pa beth a ddywedaf gan lawenydd a diolchgarwch ar dderbyniad y trysor a'n cyrhaeddodd ar fwrdd y llong a gyflogwyd gan y Gymdeithas Genhadol, sef y Pedair Efengyl, yn nhafodiaith y bobl hyn, a'r traethodau crefyddol a'r llechau ysgrifenu. Nis gallaf ddatgan fy llawenydd yn well na thrwy anfon i'ch llaw ddernyn o'm Cof-lyfr. 'Llanwyd fy enaid o lawenydd wrth dderbyn pymtheg cant o Gopïau o'r Pedair Efengyl argraffedig yn Mrydain, gyda phum traethawd, pymtheg cant o bob un. O mor siriol y mae fy mhobl yn eu derbyn!

O pa beth a ddywedai Cyfeillion y Bibl Gymdeithas pe gwelent y wynebau siriol a ganfyddir ymhlith y bobl hyn wrth dderbyn y goreuon hyn o roddion, a'r tristwch a ymddengys yn wynebau y rhai nad allant gael un. Mae y rhanau gwerthfawr hyn o air Duw yn fwy eu bri yn fy ngolwg na phe buasai y cistiau a'u cynnwysent yn llawn o aur. Disgwyliaf y byddant o les i lawer o eneidiau anfarwol. Mawrhaer yr Arglwydd am ei barhaus ddaioni i'r bobl hyn. Hysbysodd y brawd Williams i mi mewn llythyr fod y Bibl Gymdeithas wedi addaw argraffu i ni bum mil o'r Testament Newydd. O drysor anghydmarol! Yr Arglwydd a fendithio y Gymdeithas hono. Yn ddiau fe fydd miloedd lawer yn yr oes hon a'r oesoedd dyfodol yn moliannu Duw am dani.

I ba le bynag yr elwyf dilynir fi gan feibion, merched, a phlant, yn gwaeddi allan, 'Athraw, a ydyw y llyfrau wedi myn'd i gyd? Rhowch un i mi, peidiwch a'm naccâu.' Os gofynaf i rai o honynt, a fedrwch chwi ddarllen?' Yr atteb fydd, 'Ychydig, ond medr fy mhlant.' Yr wyf yn cymhell pawb o honynt i chwanegu eu diwydrwydd i ddysgu darllen, am fy mod yn dysgwyl cael chwaneg o lyfrau yn fuan.

Bydd yn hyfrydwch gan y Gymdeithas glywed, fod amryw o'm hysgolheigion wedi dangos arwyddion eu bod yn chwennych ymuno â'r Eglwys. Yr wyf yn dysgwyl y derbynir dau o honynt yn fuan. Mae y rhagorfraint hon o weled blaenffrwyth fy llafur ymhlith y plant, yn rhoddi i mi fwy o lawenydd nag a ddichon i mi fynegi. I Dduw yn unig y byddo'r gogoniant! Bu pob un o'r ddau wyr ieuainc hyn ar weddi yn ein Cyfarfod gweddi misol diweddaf. Pan oeddynt yn erfyn dros y cenhedloedd paganaidd nis gallai fy enaid lai na dyrchafu at Dduw mewn ymostyngiad diolchgar ger ei fron ef, gan ddeisyfu a dywedyd, 'Galw y rhai hyn i dy winllan fel yr elont allan i'w haddysgu hwynt.'

Gyda mawr lawenydd y derbyniasom ein brodyr Cenhadol ar eu mynediad i ynysoedd y Navigators. Hwy a arosasant yma wythnos, ac yr oeddynt yn ymhyfrydu yn fawr yn llwyddiant gwaith yr Arglwydd yn yr Ynys hon. Oh am iddynt gael bod yn ganwyllau goleu yn llewyrchu yn yr Ynysoedd tywyll lle y maent wedi myned iddynt! Yn ol dymuniad Cyfarwyddwyr y Gymdeithas mae fy nghyd lafurwr, a'm brawd parchus, Mr. A. Buzacott a'i wraig wedi myned gyda hwynt, gyda bwriad i aros gyda hwynt am chwech wythnos. O achos fy mawr wendid i, nis gallwn weled fy mod ar lwybr fy nyledswydd heb i un o'r brodyr aros gyda mi hyd oni ddychwelai efe. Cynnygiwyd ar fod i'r brawd Mr. Macdonald a'i wraig aros gyda ni am ychydig; ac â'r hyn y cydsyniodd efe yn ddinaccâd. Mae efe yn awr yn dyfal ddysgu yr iaith; ac oherwydd iddo gael ei ddwyn i fyny yn Feddyg, y mae yn debyg o fod yn fuddiol iawn i'n cynnorthwyo i ymweled a'r cleifion.

Mae addysgu yr holl Ynys yn awr yn sefyll arnaf fi, a minnau yn bur wanllyd, ac heb allu gwneud llawer. Yr wyf yn pregethu unwaith bob Sabbath, ac unwaith yn yr wythnos, ac yn llefaru yn achlysurol yn Titikaveka, pryd y mae Maretu yn dechreu yr odfa drwy ddarllen a gweddio. Mae yr holl gapeli, a'r holl ysgolion yn llawn, ac mae y bobl yn awyddus iawn am wrando gair y bywyd. Beth a dalwn i'r Arglwydd am ei ddaioni i ni! Mae Iro a Maretu yn gynnorthwywyr rhagorol: fe fu eu llafur yn fendithiol iawn. Mae yma hefyd wr ieuanc o'r enw Tupai yn dechreu pregethu. Yr wyf fi yn treulio bob dydd mercher agos i gyd yn addysgu y pregethwyr ieuainc hyn. Yr eiddoch,

C. PITTMAN.

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

Anwyl Frawd,—Dymunaf arnoch wneuthur yn gyhoedd yr hysbysiadau canlynol yn eich Rhifyn am Chwefror.

Barnwyf mai gwell peidio anfon i chwi Gofnodau yr ymdriniaethau ar Gybydd-dod, nes bydd yr ymdriniaeth ar ben, a'u darllen ar g'oedd Cymdeithasfa Chwarterol, a'u hanfon yna wedi hyny.

Yn Nghymdeithasfa, Llanrwst Ionawr 4 a 5, 1838. Penderfynwyd y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf i fod yn y Drefnewydd, Ebrill 26-27, 1838.

Cyfarfodydd Blynyddol Manchester. Ebrill 13-14-15.—Rhos Llanerchrugog Ebrill 17-18.

Cymdeithasfa Chwarterol nesaf y Deheudir yn Caerdydd Ebrill 12 a 13.

Cynnygiwyd a chefnogwyd yr hyn a ganlyn, "Ein bod yn annog yr holl Ddirwestwyr i arfer pob tiriondeb tu ag at y rhai nad ydynt eto yn Ddirwestwyr; ac yn annog y

Ynd nad ydynt yn Ddirwestwyr i fod yn ddystaw ar bob cyfrif. Ac oddi eithr eu bod felly, fod yn *rhaid* ymwrthod â hwy fel Pregethwyr, a Blaenoriaid, ac Athrawon yr Ysgol Sabbathawl. JOHN FOULKES.

Abergele, Ion. 6, 1838.

CAPEL RHOSLLANNERCHRUGOG.

Anwyl Frawd,—Oddiar ddymuniad fy mrodyr a'm cyfeillion yn Rhos lanerchrugog, ac hefyd ar eich archiad chwithau, yr ydwyf yn anfon hyn o linellau i chwi, i'w dodi yn eich Trysorfa, er annogaeth a chalondid i ereill a ddichon fod yn y cyffelyb amgylchiad ag y buom ninnau ynddo.

Er fod ein hen Gapel ni yn un helaeth, yr oedd wedi myned yn rhy fychan o lawer i ddal y gynnulleidfa a gyrchai yno i wrando gair yr Arglwydd. Ie, yr oedd yr Ysgol Sabbathol yn ei orlenwi. Cynnyddodd yr Ysgol i'r nifer mawr o 750 o eneidiau, nes oedd y Capel yn rhy fychan i galw yr Ysgol ynddo. Yn yr amgylchiad hwn cyttunasom i roddi yr achos at ystyriaeth y gynnulleidfa i gydymgynghori pa beth i'w wneud.

Ac yn mis Mehefin, 1837, gwnaethom hyny. Ar y Sabbath, gosodasom yr achos pwysig hwn yn yr Ysgol yn gyntaf, ger bron pawb ag oedd yn bresennol. Dywedasom fod y Capel yn rhy fychan o lawer i'n cynnwys fel Ysgol, mewn trefn. Hysbysasom nad allem ni fel Eglwys neu Gymdeithas ddim myned dan y fath bwys o ddyled, a myned yn attebol am Gapel newydd o'r fath faintioli ag oedd yn eisiau mewn ardal mor boblogaidd a'n hardal ni, heb gael cynnorthwy yr holl Ysgolheigion, a'r Athrawon, a'r gynnulleidfa yn gyffredinol.

Dywedasom, os caem Gapel newydd, y byddai yn Gapel er lles cyffredinol i bawb i ddyfod iddo i wrando. Ac am hyny fod yn ddyledswydd ar bawb i gyd-gyfranu yn ol eu gallu tuag at dalu am Gapel newydd. Chwanegasom, gan ddywedyd, na thynem ni mor hen Gapel i lawr, heb i bawb addaw cyfrannu fel y gallo, yn esmwyth, heb golledu eu hunain, tuag at dalu am godi Capel newydd; ac y byddai raid iddynt barhau yn eu cyfraniadau os byddant byw nes cwbl glirio yr holl ddyled a fyddo arno.

Yna darllenwyd Escod. xxxvi. 5, 6, 7. Wedi hyny, gofynwyd am arwydd, trwy ddyrchafu dwylaw, pwy bynag a fyddai yn ewyllysgar i ymrwymo at yr hyn a osodwyd ger bron, sef "parhau i gyfranu os byddem byw, nes cael y Capel newydd mor glir oddiwrth ddyled ag oedd y Babell yn yr anialwch gan yr Israeliaid." Ac yn wir yr ydym yn barnu i radd o'r un yspryd ddisgyn arnom ni yma ag a ddisgynodd ar feibion Israel yn yr anialwch.

Y drefn sydd genym yn myned ymlaen gyda'r Casgliadau sy fel y canlyn:—Mae y bobl dlodion a'r plant yn rhoddi addewidion ac yn eu cyflawni mewn ugain wythnos. Maent yn cyfranu rhan o'u haddewidion ddwy waith yn y mis. Mae y neb sydd yn addaw punt yn cymmeryd ugain wythnos i'w thalu. A'r neb sydd yn addaw unrhyw swm o arian, mae yn cymmeryd ugain wythnos i'w talu.

Mae un ugain wythnos wedi dyfod i fynu er pan ddechreuasom; a chasglasom yn yr ugain wythnos hyny £227. 1. 2. Ac yr ydym wedi dechreu ar ugain wythnos arall, ac mae pawb yn sirio iawn yn dechreu etto; canys derbyniasom £22. 16. 2., y noswaith gyntaf o'r ail ugain wythnos.

Maintioli y Capel newydd oddifewn i'r muriau ydyw *pedair llath ar hugain, wrth ddwy ar bymtheg*, Ac mae *Gallery* helaeth i fod ynddo. Mae yr adeilad yn myned ymlaen yn rheolaidd.

Caredigrwydd a haelioni yr ardal tuag at gael y Capel mawr hwn i fynu sy ryfeddol iawn. Y gweithwyr a dynasant yr hen Gapel oll i lawr, ac a barottoisant y tir i ddechreu adeiladu un newydd arno, yn ddidraul. Daifu i'r Ffarmwyr ac ereill sydd yn cadw gweedd yn yr ardal lusgo bron yr holl ddefnyddiau at y Capel newydd yn ddidraul. Fe fu pawb mor ffyddlawn, yn ol eu gallu, fel nad oes neb i'w enwi mewn rhagoriaeth y naill ar y llall. Gellir dywedyd mewn gwirionedd am bobl Rhosllannerchrugog, megis y dywedwyd am yr Iuddewon gynt yn amser Nehemia, "Felly nyni a adeiladasom y mur,—canys yr oedd gan y bobl galon i weithio." Neh. iv. 6.

JOHN EDWARDS, Trysorydd.

AR YMDDYGIAD PROFFESWYR CREFYDD

*Mewn perthynas i ethol aelod Seneddawl, gan y Parch. J. A. James, Birmingham.*

'Tra mae proffeswr crefydd tan rwymiad difrifol i fod yn ddeiliad ffyddlawn i ymostwng i'w Frenhines, a'i pharchu, fel llywydd y llywodraeth: mae efe hefyd yn rhwym i fod yn aelod gwladgarawl perthynol i'r corpholaeth trwy roddi ei gynhaliaeth ymarferol i'r gangen anhebgorol. Rhaid iddo fod yn ufudd i'r cyfreithiau a wneir, ar yr un pryd rhaid iddo roi ei gymorth yn eu gwneuthuriad. Mae yn ddyledswydd arno i roddi ei gydwybodol bleidlais yn etholiad ei gynddrychiolwr yn ei briodol gangen o'r llywodraeth.

Fe eill ymuno â'i gyd-ddeiliaid i erfyn am ymwared oddiwrth sarhad gwladol ac eglwysol; ac yn ol helaethder ei awdur dod gall ymegnio mewn tiriondeb ac addasrwydd, heb niweidio ei dduwiolfrydedd a'i gariad ei hun, neu yn afreidiol roi archoll i deimladau, na chyffroi nwydau eraill. Fe eill ymgais i gyfarwyddo barn y cyffredin i gymeradwyad o bob peth ag sydd gyfiawn a buddiol. Yr arafaidd, pwyllus, caredig, a'r cydwybodol ymarferiad o'i hawl wladol, heb chwerwedd pleidgar, na dygasedd at

un blaid, i'r gradd ag na byddo yn ymyraeth a'i grefydd bersonol ei hun, ac yn y fath fodd ag na byddo yn wagsawrus yn niweidio teimladau y rhai a fyddent yn wrthwyneb iddo; ac na byddo yn ei dynu yn rhy aml o'i ystafell, teulu, a'i alwedigaeth; yn wir os geill ddefnyddio hawl fel hyn, mae yn bur gyflawn iddo wneud fel proffeswr crefydd. Pa un bynag, rhaid i'r rheolau, a'r attaliadau hyn, gael ei gosod; canys hebddynt fe fydd y matter hwn yn sicr o fod yn niweidiol iddo.

Rhaid i'r Cristion gario ei grefydd gydag ef i bob man, a rhaid i hono sancteiddio pob peth a wnelo;—pa beth bynag a wna, rhaid iddo ei wneyd er gogoniant i Dduw.—Rhaid i pob peth i gael ei wneud gyda duwiol frydedd, ei wneud yn y fath fodd fel nad all neb ddweyd yn gyfreithlon, 'Mae hyn yn groes i'w broffes.' Ni ddylai ei ymdriniaeth a phethau gwladol fod yn groes i hyn. Ië, yn y pethau hyn rhaid iddo gael ei gyfarwyddo gan ei gydwybod, a'i gydwybod gan air Duw.—Rhaid iddo edrych yn fanwl i'w egwyddorion, a bod yn abl i atteb i chwiliwr y calonau am eu purdeb.

Os bydd ei frwd frydedd gyda phethau gwladol yn gyfryw, ag i farweiddio duwiolder ei yspryd, ei gymeryd ymaith oddiwrth ei ddyledswyddau crefyddol, neu leihau difrifwch ei dduwioldeb, a grym ei ffydd; os lleinw ei feddwl i beri iddo fod yn anesmwyth, aflonydd, ac yn brydorus, ac os bydd yn terfysgu tawelwch ei heddwch crefyddol a'i gysur; os bydd yn ymyraeth mwy a'i alwedigaeth, nag fyddo er lleshad i'w lwyddiant bydol, neu ei deulu yn fwy nag fo yn unol â'i ddyledswydd i'w haddysgu er eu lleshad, os bydd yn niweidio ei elusengarwch, ac yn llenwi ei fynwes a drwg-ewyllys, a chasineb tu ag at y rhai sydd yn wahanol iddo; os bydd yn cael ei arwain i gymdeithasau gwladol, a'i osod yn gyfeisteddwr; os edrychir arno fel blaenor a rhyswr (*Champion*) un blaid, os bydd yn achlysur i'w gyfeillion crefyddol i ysgwyd eu pennau, a dweyd, 'byddai yn ddywenydd genyf, pe bai yn dipyn llai *politicaidd*;' ni a allwn fod yn bur sicr, a gall yntau fod yn sicr hefyd, er nad yw yn hawdd gosod gyda manylrwydd y terfyn sydd yn gwahanu cam a chymhwys ar y pen hwn, ei fod ef wedi myned dros y rheol, a thrwy hyny, mae ar dir anghyfreithlawn, a pheryglus.

*Dinbych.* Cyf. M. JONES.

## EWYLLYS DIWEDDAF.

Anwyl Syr,—Yn un o'ch Rhifynau diweddar o'r Drysorfa, rhoisoch ddalfyriad o'r Gyfraith newydd mewn perthynas i Ewyllys diweddaf gwr. Minnau a feddyliais y gallai fod yn fuddiol iawn i'n cydgenedl fod yn hysbys o'r drefn gyfreithlawn o addaw Cymmyn-Roddion i Gymdeithas y Biblau, canys fe gollodd y Gymdeithas lawer o gantoedd o bunnau o eisiau bod yr Ewyllys wedi ei eirio yn gywir a rheolaidd yn ol y gyfraith ar y pen hwn.

Byddwch cystal a rhoi un tu dalen o'r Drysorfa am Chwefror i egluro hyn.

Yr eiddoch T. PHILLIPS,
Goruchwyliwr y Gymdeithas.

*Hay, Ionawr* 19, 1838.

Allan o'r *Monthly Extracts* y Bibl Gymdeithas am Ionawr, dodwn y cyfarwyddiadau isod ger gwydd ein darllenwyr. A chan mai yn yr Iaith Saesonez y gwneir pob Ewyllys yn gyffredinol yn Mrydain, ac felly fod pob ysgrifenydd Ewyllys yn deall yr Iaith hono, neu o leiaf y dylai ei deall, nid rhaid i ni eu cyfieithu

HYSBYSRWYDD YNGHYLCH CYMMYN-RODDION I'R BIBL GYMDEITHAS.

## NOTICE RESPECTING BEQUESTS TO THE BIBLE SOCIETY.

An Act of Parliament "for the Amendment of the Laws with respect to Wills" having been passed on the third day of July, 1837; which Act came into operation on the first day of January 1838; the attention of all persons, who may contemplate making Bequests to the British and Foreign Bible Society, is respectfully called to the following Section:—

"1 VICTORIÆ, cap. 26. sec. 9.

"And be it further enacted, That no "Will shall be valid, unless it shall be in "*writing*, and executed in manner herein-"after mentioned; (that is to say) it shall "be signed at the foot or end thereof, by "the Testator, or by some other person in "his presence and by his direction; and "such signature shall be made or acknow-"ledged by the Testator *in the presence of* "*Two or more Witnesses present at the* "*same time; and such Witnesses shall attest* "*and shall subscribe the Will, in the pre-*"*sence of the Testator*; but no Form of "Attestation shall be necessary."

N.B.—Wills executed *prior* to the first day of January, 1838, are not affected by the New Act; but *any alteration therein, or Codicil thereto, must be executed in the manner before mentioned.*

The British and Foreign Bible Society having been deprived of several legacies owing to the operation of the "Mortmain Act," (particularly one of 500*l.* during the past year), the Committee embrace this opportunity of introducing the following Extract from a Work just published, entitled, "Plain Directions for making Wills, &c. by J. C. Hudson, Esq., of the Legacy Duty Office," as worthy of particular attention:—

"The Statute of 9 Geo. II. c. 36. "called the Mortmain Act, is not repealed "or altered by the 1 Victoriæ c. 26; and "therefore legacies to charities out of *real* "estate will still be void. If a Testator de- "sire to leave legacies to charities, he "must take care to make them payable, "either expressly, or by ordinary course of "law, out of such *personal estate* as "may be applied for that purpose. A "bequest to a charity of a term for years, "or leasehold property; or of money to "arise from, or be produced by, the sale "of land; or by the rents, profits, or "other interest arising from land; or a "bequest of money, to be laid out in "land; or a bequest of money secured by "mortgage; or a bequest of annuities "charged on land, or rather rent-charges; "or a bequest of money, with a direction "to apply it in paying off mortgages on "schools or chapels; or a bequest of "money secured on parochial rates, or "county rates or turnpike tolls—is, in "each case, void; and even where no "particular fund is pointed out in the "Will, for the payment of charitable "legacies, and they are consequently a "charge on the residue, and the residue "consists, in part, of property of all or "either of the kinds above specified; so "much of the legacies will become void "as shall bear the same proportion to the "entire legacies as the exempted property "bears to the entire residue."

FFURF CYMMYN-RODD I'R BIBL GYMDEITHAS.

FORM OF A BEQUEST TO THE BIBLE SOCIETY.

Y neb a fyno addaw Cymmyn-Rodd i'r Bibl Gymdeithas, doded yn ei Ewyllys diweddaf, neu ei Lythyr Cymmyn, y geiriau canlynol, air yn air fel y maent yma ar lawr; ac yna fe saif yn ol y gyfraith yn ddisiom.

*I give and bequeath to "The British and Foreign Bible Society," instituted in London in the year* 1804, *the sum of* *Pounds Sterling, to be raised and paid, for the purposes of the said Institution, out of such part only of my personal estate as shall not consist of chattels real, or money secured on mortgage of Lands or Tenements, or in any other manner affecting Lands or Tenements; for which Legacy the Receipt of the Treasurer for the time being of the said Institution shall be a sufficient discharge to my Executors.*

---

## Helyntion yr Amseroedd.

TAN MAWR YN LLUNDAIN.

Llwyr ddinystr yr adeilad eang ardderchog y Royal Exchange. Nos fercher, Ionawr 10, canfu Mr. Marshall dân yn yr Exchange, ac efe a anfonodd yn ddioed i alw ynghyd holl weision y Bank, canys prif Gyfnewidydd arian yn y Bank of England oedd efe; ac yr oedd yr Exchange yn agos iawn i'r Bank. Yn y fan galwyd ynghyd wyr yr Ermygau dwfr, (*Fire Engines*). Canfuwyd y tân yn fuan wedi deg ar gloch yn Lloyd's Coffee Room yn y gongl nesaf i'r Gogledd ddwyrain, ar gyfer y Bank.

Yn fuan iawn ymgasglodd i'r lle, y *Police Men*, y Gwylwyr, y milwyr, a holl wyr yr Ermygau dwfr o bob cwr i'r ddinas. Ond yr oedd y rhew yn rhwystr mawr iddynt i gael dwfr i fynu o'r pibellau, ond defnyddiwyd dwfr poeth a chafwyd o hono ddigonedd; wedi hyny canfuwyd fod yr Ermygau wedi rhewi; a gwnaed defnydd o ddwfr poeth, yna dechreuasant weithio. Ond yr oedd y tan wedi cryfhau, a cherdded ymhell erbyn hyn. Aeth y gair allan yn fuan drwy yr holl ddinas, a daeth miloedd o bobl ynghyd. Yr oedd y Masnachwyr y rhai a gyfanneddent yn gyfagos i'r tân yn brysur iawn yn cario eu heiddo allan o'u masnachdai, a'r cymmydogion yn eu cynnorthwyo.

Erbyn hanner nos, yr oedd Swyddfâau yr Assurance yn yr Exchange oll ar dân, ynghyd a'r holl ystlys De Orllewinol yr adeilad fawr hono. Yr oedd Swyddfâau perthynol i Lloyd's Coffee Room, y Captain's Room, Under Writer's Room, &c. &c. oll yn un fflam, nes oedd yr heolydd mor oleu a hanner dydd. Adlewyrchai y tân mawr ar Eglwysi St Michael, St. Bartholemew, a St. Mary, a'r Bank of England, nes y gwelid hwynt fel ar ddydd goleu.

Yr oedd y lluoedd pobl yn ymwthio ymlaen i weled, nes oedd yr holl swyddwyr, a'r milwyr yn cael gwaith mawr yn eu cadw allan o berygl. Ië, nid âi amryw ymaith nes eu darnfygu hwynt gan y llwch, y tawch, y gwres tanbaid, a'r mwg mawr. Yr oedd coed yr adeilad yn syrthio i'r heolydd yn hanner llosg, fel y bu amryw mewn perygl bywyd o'r herwydd.

Erbyn un ar gloch yr oedd yr holl ystlys Gogledd Orllewinol wedi llosgi; ac yr oedd y tan yn tynu gyda brys tua'r twr newydd, yr hwn a adeiladwyd ynghylch ugain mlynedd yn ol. Nid oedd yr Ermygau dwfr, er eu gweithio yn barhaus i dywallt y dyfroedd am ben y tan yn effeithio ond megis dim. Erbyn dau ar gloch cyrhaeddodd y tan y twr, a chlywid megis mil o leisiau yn gweiddi allan, 'Mae wedi cyrhaeddyd y twr, mae'r cwbl drosodd!' Yr oedd yr olygfa y pryd hyn yn ofnadwy a dychrynllyd iawn; yr oedd yr holl Exchange, un o'r adeiladau ardderchocaf yn holl Ewrop, yn un danllwyth, a'r fflam yn esgyn i entrych yr awyr.

Llanwyd Eglwys St. Bartholomew a phob math o eiddo, ynghyd âg amryw o ysta-

felloedd eang y Bank, y rhai a gludai y bobl o gyraedd y tân angerddol. Syrthiodd y clychau, wyth o nifer, ynghyd a'u holl ddodrefn i lawr o'r tŵr, amryw dunnelli o bwysau, nes dryllio pob peth yn chwilfriw mân o'u blaen o'r pen uchaf i'r pa'mant ar lawr. Yr oedd wyneb y *clock* mawr erbyn hyn mewn rhyw sefyllfa ryfedd ynghanol y fflam fawr, a'r tân eirias. Yr oedd cwympiadau y coed tanllyd, ynghyd a nerth y fflamau dyrchrynllyd, yn lluchio i fynu dorchenau mawrion o ulw tanllyd i eigion yr awyr, y rhai a nofient yn gymmysgedig a'r colofnau mwg, uwch ben yr adeiladau amgylchiadol, fel yr ofnid yn fawr y dodent Eglwys St. Bartholomew a'r Bank ar dân; ond ni bu hyny.

Yr oedd y nos yn rhewog a goleu, y ser yn ddysglaer, a'r lleuad yn llawn, ond yr oedd y mwg mawr yn llenwi yr awyr uwch ben fel nas gwelid dim o'r ser na'r lleuad, na goleuni mwy na phe buasai hebddynt, dim goleu, ond goleu y tân. Pan gyrhaeddodd y tân i'r tŵr newydd, anfonodd y Maer i'r Tŵr gwyn am wyr meirch, y rhai a ddaethant yn ddioed. Cliriwyd y Cornhill o bobl yn fuan, perwyd i bawb o'r edrychwyr gadw draw allan o'r perygl, a rhoi digon o le i'r holl swyddwyr a'r gweithwyr i arfer eu holl ddyfais a'u grym i attal angerdd y tân, rhag difa adeiladau ereill: ufuddhaodd pawb heb ddangos un nwyd ond dychryn a syndod.

Yr oedd y gwynt, fel yr oedd goreu, yn chwythu o'r gogledd, ac yn wynt cryf, yn mwyhau tua'r boreu yn storm. Yr oedd hi hefyd yn rhewi yn galed iawn. Yr oedd dillad uchaf gwyr yr Ermygau wedi rhewi am danynt, gan gymmaint oedd a wnelont a'r dwfr: gweithiasant yn egniol iawn.

Erbyn hanner awr wedi tri yr oedd yr holl ystlys Gogledd Orllewinol, a'r De, o'r adeilad fawr hon wedi eu llosgi i'r llawr; a'r fflamau yn dyrchafu yn ddychrynllyd o'r ystlys ddeheuol, gan fygwth llosgi yr holl fasnachdai oedd ger llaw, o du'r Gorllewin i Sweeten's Alley. Dygwyd yr Ermygau dwfr i dywallt dyfroedd a'u holl nerth ar y tai hyn, nes oedd yr holl heolydd amgylchiadol yn llifo o'r elfen hon, ac yn fuan dechreuodd rewi yno. Yr oedd rhuad yr elfenau ymrysonol, swn gweithiad yr Ermygau dwfr, galwadau y naill weithiwr am help y llall, ynghyd a thwrf cwympiadau prenau mawrion, bron yn ddigon a byddaru dyn.

Syrthiodd canolfuriau yr adeilad yn y dinystr, gyda thwrf tarannawg dychrynllyd, y rhai, yn y cwymp, a daflasant i lawr holl gerf-luniau Brenhinoedd a Brenhinesau Brydain o ddyddiau William y Concwerwr hyd yn awr. Fel hyn y llosgwyd y Royal Exchange hyd y llawr mewn un noswaith, ynghyd a lliaws o dai a Masnachdai gerllaw iddo. Pliscyn tŵr y clock yn unig sydd yn sefyll; ac mae yr olwg arno yn arswydus, yn un pincyn uchel ynghanol y chwalfa a'r dinystr mawr. Mae gorchymyn pendant nad elo neb heibio iddo na dydd na nos, yn enwedig yr ochr beryglus; canys os cwymp, efe a ddryllia lawer o adeiladau yn y gymmydogaeth.

Mae tŵr y clock yn debyg o sefyll. Cafwyd hyd i amryw gistiau haiarn yn y lludw, a'u cyflawnder heb fod yn waeth. Cafwyd llawer o aur hefyd heb doddi, a sêl fawr y ddinas, heb waethygu, &c. Ond nis gellir gosod allan y golled a gafwyd drwy y tân dinystriol hwn am amser maith.

---

GWRTHRYFEL YN CANADA.

Gwlad eang yw Canada, yn Ngogledd America, yn cynnwys dwy Dalaith boblogaidd, sef Canada Isaf, a Canada Uchaf, oll dan lywodraeth Lloegr. Y trigolion, gan mwyaf, ydynt Saeson, Gwyddelod, Ffrancod, a Chymry. Yn Canada isaf y mae mwyaf o Ffrancod, ac yno y cododd y gwrthryfel. Ceisiwyd cynhyrfu Canada uchaf i godi gyda'r lleill, ond ni lwyddwyd ond ychydig.

Gwr o'r enw M. Papineau, Ffrencyn o Canada Isaf, yw blaenor y Gwrthryfel. Fe feddyliodd y gwr hwn y cawsai chwaneg o'i blaid nag a gafodd. Ac fe allai ei fod yn dysgwyl cael Americaniaid yr Unol Daleithiau hefyd i'w gynnorthwyo. Ond pe gwnaent hwy hyny, parai ryfel yn ddioed i ymgymmeryd rhwng Brydain fawr a hwy.

Er nad oes yn Canada lawer o filwyr, y mae blaenor y filwriaeth, y cadfrig, yn wr synhwyrol, pwyllog, a gwrol iawn. Efe a fu gyda'r Duc Wellington mewn rhyfeloedd mawrion ar y Cyfandir. Ymwrolodd ac ymegniodd y gwr enwog hwn, ac efe a lwyddodd i ddarostwng y gwrthryfel am dro, fodd bynag. Ei enw yw Syr J. Colbourne.

Bu orfod ar y Senedd ymgyfarfod yn gynt o lawer, oherwydd amgylchiad Canada, nag y buasent oni bai hyny.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

Wedi cadw Gwyliau y Nadolig, fe ymgyfarfu y Senedd, Ionawr 16, a dechreuwyd yn ddioed ar achos Canada.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Dydd Mawrth, Ionawr 16, dywedodd Arglwydd Glenelg fod Swyddogion y llywodraeth yn bwriadu cynnyg am i'r Tŷ anfon Annerch at y Frenhines yn achos Canada. Ac a hyny cytunwyd.

*Tŷ y Cyffredin.* Hysbysodd Arg. John Russell, yr un achos yn y Tŷ hwn. Ac fe gytunwyd am anfon Archiad at ei Mawrhydi. A thranoeth fe dderbyniwyd ei grasusaf atteb.

*Atteb y Frenhines i'r Cyfarchiad.* "Yr wyf yn diolch i chwi am y sicrwydd a roddasoch mewn perthynas i ffyddlondeb fy Nhŷ y Cyffredin i gefnogi fy ymegniad er adferiad tangnefedd yn Canada Isaf. Mae y

dygwyddiadau anghysurus a gymmerasant le yn y Dalaeth hono, yn peri i mi fawr dristwch; ond yr wyf yn edrych ymlaen yn hiraethlawn ar yr amser pan y bydd adsefydliad trefn yn fy ngallu i osod sylfaen heddwch parhaus yn y Sefydliadau hyny.

Mae yr yspryd a ymddangosodd yn y preswylwyr sydd yn ffyddlawn i'r Llywodraeth yn yr America Ogleddol, ynghyd a'r ymegniad a wnaethant er amddiffyniad fy awdurdod yn y wlad hono, yn galw am fy nghydnabyddiaeth ddiolchus.'

Ionawr 17. Cododd Arglwydd John Russell i fynu, ac a ddywedodd ei fod ef yn cynnyg am gael caniatâd i ddwyn Ysgrif i mewn, am drefnu Llywodraeth yn Canada. Fe ryngodd bodd i'r Frenhines osod Iarll Durham i fod yn Benaeth a Llywydd dan ei Mawrhydi i ddwyn ymlaen yr awdurdod yn y ddwy Canada. A bod deg o wyr o Canada Isaf, a deg o wyr o Canada Uchaf, i fod yn wyr o Gynghor iddo. A bod tri wyr o fysg y rhai sydd mewn awdurdod wladol yn bresennol o un Dosparth, a thri wyr yr un modd o'r Dosparth arall yn cael eu chwanegu attynt, i wneuthur 26 o Gynghorwyr, i weithredu dan yr Iarll. A rhoddwyd caniattad i ddwyn yr Ysgrif i fewn.

Pan enwodd Arg. J. Russell Iarll Durham i fod yn llywydd, rhoddodd foddlonrwydd mawr i bob plaid. Canys efe yw y gwr pwyllog a synhwyrlawn a ddewiswyd ac a ddanfonwyd drosodd gan William IV. i sefydlu matterion rhwng Brydain a Russia. Nid oes mor llawer o amser er pan ddaeth efe yn ei ol oddiyno. Mae y gwr hwn yn ddoeth, medrus, a thangnefeddus iawn.

*St. George's Harbour.*—Y cynnygiad am wneud Ffordd haiarn o Gaerlleon i Benmaen mawr nid yw wedi marw: er iddo gael ei daro yn drwm yn ei ben, y mae efe etto yn fyw. Cadwyd Cyfarfod ar yr achos yn mis Ionawr yn yr *Hop Pole Inn*, yn Nghaer, ac yr oedd y gwr enwog Charles Pearson, Ysw. o Lundain yno. Penderfynwyd myned ymlaen, i wneud cynnygion egniol am adeiladu dyfr-glawdd, a llunio Angorfa rhwng y Penmaen mawr a'r Penmaen bach, a gwneud ffordd haiarn oddiyno i Gaer. Ni fydd e sian ei dwyn ddim pellach, canys y mae'r ffordd haiarn o Gaerlleon i Crew i gydio a'r ffordd o Lverpool i Lundain, yn myned i gael ei dechreu yn ddioed.

*Ffair Amwythig.*—Ionawr 16, a 17. yn ffair Amwythig, yr oedd defaid yn gwerthu o 5½c i 6c. y pwys. Gwerthwyd rhai am 6½c. Moch am 4½c. y pwys. Eidionau a werthwyd am o 5c. i 5½c. y pwys. Gwerthwyd Gwartheg a lloi am bris da. Cig moch (*bacon*) a werthwyd am 6c. y pwys. Caws oedd yn hytrach yn gostwng ei bris. Y Caws isaf am o 32s. i 37s. Y canol, o 42s. i 47s. Y goreu yn y farchnad am 55s. Ymenyn am 10½c. a pheth am 10c. y pwys. Prynwyd aml laethdy (*Dairies*), am 11c.

*Damwain angeuol.*—Dydd gwener, Ionawr 12, pan oedd morwyn o'r enw Harriet Davies, a'i meistres, Mrs. Dutton, Bold Square, yn Nghaerlleon, yn cadw ad loliad teuluaidd, cyn eu myned i orphwys, canfu y ferch ieuanc fod ei dillad yn cymmeryd tân. Hi a neidiodd i fynu, ac a redodd allan o'r tŷ yn fflam; ac er galar nid oedd neb yn yr heol ar y pryd i'w gweled hi. A chyn y galwyd diffodd y tan yr oedd hi wedi llosgi yn ofnadwy iawn. Yr oedd yr olwg arni yn ddychrynllyd, er na bu hi yn llosgi ond ychydig o funudau. Cymmerwyd hi yn ddioed i'r Clafdy; ond er pob moddion a arferwyd, hi a fu farw mewn poenau dirfawr.

Dymunem alw sulw ein darllenwyr at y ddamwain hon, i'r dyben o roddi cyfarwyddyd i ddiffodd tan a ymgymmero mewn dillad, cyffelyb i'r un uchod. Os dechreuodd y tan yngodreu dillad y llances, pe buasai hi yn peidio codi i fynu, na rhedeg allan, er dim, ond eistedd ar y rhan danllyd o'i dillad, a'u gwasgu dani, diffoddasai y tan yn y fan. Dygwyddodd i ddillad geneth fach wyth neu ddeg oed a adwaenem yn dda, gymmeryd tan, a hi a redodd at ei thad i'r ystafell nesaf a'i tu blaen yn fflam fawr yn llosgi i'w hwyneb. Cipiodd y tad hi i'w fynwes, ac a'i gwasgodd hi yn ei freichiau, a'r fflam a ddiffoddodd yn y fan, heb wneud dim niwed i'r plentyn. Ymorwedd ar lawr ar y tan yn ymyl mur, a gwasgu ar y fflam yw y modd i w ddiffodd yn ddioed. Os rhedir dyna yr awyr lonydd yn ymgynhyrfu yn wynt, megis megin i gynnorthwyo y fflam i losgi yr holl ddillad, a'r corph yn y dillad hefyd.

*Tân mawr yn Russia.* Nos y 30ain o Ragfyr, llosgodd tan angherddol Balas Gauafu Ymerawdwr Russia. Yr oedd y rhew mor galed fel nad ellid defnyddio yr Ermygan dwfr i nemawr ddyben. Diangodd yr Ymerawdwr a'i deulu rhag y tan, ac a gyfanneddasant yn Mhalas yr Ymerodres. Adeiladwyd y palas hwn ychydig tai na chan mlynedd yn ol, gan Count Rastreli.

*Tân mawr yn Amwythig.* Nos iau Ionawr 18, dechreuodd tan ymgymmeryd yn Ystordy Mr. Meredith yn Wyle Cop. Ac er llafur a diwydrwydd gwyr yr Ermyngau, llosgodd yr Ystordy i'r llawr. Gwraig, trwy godi yn foreu i olchi, a ganfu y tan gyntaf foreu gwener, ac hi roddodd rybudd dioed o hono i'r gwilwyr. Fe ddylid bod yn ofalus iawn gyda than, yn enwedig yn y gauaf, pan mae llawer o danau, a'r rhai hyny yn gyffredin yn fawrion, yn cael eu defnyddio.

# BARDDONIAETH.

## CERDD DDIRWESTOL.

Er addurn i ddynoliaeth,
Doed pawb i fyw ar berffeith,
Glân dorcith, Dirwest;
Pob tad a fyddo'n fuan,
Yn dysgu'i blant o anian;
Athrawydd onest,
I fyw, yn ol da reol Duw,
Sydd gwedi gosod, am werth ymwrthod,
A gwawr y gwirod, cyn clywfo'r haufod, clyw,
Na ddilyn lwybrau'r gwallus,
A'r rheidus yn eu rhyw,
O'r llun, sy' wel'd ar lawer un!
Ei ddwylaw'n crynu pan fyddo'n sobri,
Nes y'nt yn methu, a gweini ar ol gwin,
Mae'n bryd i bawb roi heibio,
'R hyn sy'n andwyo dyn.

O gwel mor annrhugarog,
Gwna'r Meddwyn wario 'i gyflog,
Heb ofn na gofal,
Fel tâd yn berchen teulu,
Nid yw ef yn amcanu,
Rho'i dim i'w cynnal.
Bob dydd, ei wraig mewn syndod sydd,
Gan gymhar bywyd sydd boenus beunyd,
Rhyw ddyn cynnenllyd, Och feddwyn rheglyd rhydd!
Os gofyn geiniog ganddo, dim ond ei beio bydd.
Mor ffin, yw hwn i'w wraig ei hun,
Ni chaiff air serchog, o'i ên afrywiog,
Ond bydd mor bigog, a'r draenog idd i'w drin,
Och, och hen wreiddyn trallod, yw ddiod i bob dyn!

Mae'r hwn sy'n canlyn cwrw,
'N agored i'r ail farw,
Drwy ei oferedd,
Diammau dyna'r ammod,
Am hyny gâd dy bechod,
A chais well buchedd.
Ar frys, O clyw mae llef o'r llys,
A thaer wahoddiad, er dy ddychweliad,
Oddiar ddymuniad, am lwyr ddiblaniad blys,
Fu'n hir yn cael ei fwydo, a'i groeso dan dy grys.
Cei ben, heb gur; oes hir heb sen,
O hafaidd dymmor, i godi allor,
Er ceisio'r trysor, aneisor is y nen,
Fel galloch gydaddoli, fel teulu mwy Amen.

*Llundain.* D. Iago o Emlyn.

---

Blys yw y blâs i win—i wirodydd
O waredawl Frenin,
Rhag hyn yma o blâ blin,
Gwared yr euog werin.

*Llundain.* J. H.

---

## PENNILLION

*O waith y diweddar Mrs. Phillips, Penrhyn, gerllaw Mochdref.*

Fe gymr'odd Iesu 'n gwarth, bu'n aberth drosom ni,
Aeth rhwng y lladron yn ein lle, ar fynydd Calfari,
Rhowd archoll dan ei fron, lle rhedodd dwfr a gwaed,
A thyna'r fan y cafodd Duw, le i gyfiawn faddeu'n rhad.

Hwn ydyw 'r gwerthfawr waed sy [illegible]wedd yn parhau,
Er maint a olchwyd ynddo 'n lân [illegible]c heddyw yn glânha,
Euogrwydd camwedd dyn ac anwireddau'r oes,
Mae modd eu golchi'n lan bob du trwy rinwedd gwaed y groes.

Fel gwas bu Iesu 'n gweithio heb lithro dim o'i le,
Gwnaeth wisg nad rhaid ei gwnïo na'i llunio yn ei lle,
Mae'n fantell o gyfiawnder i guddio'n noethder ni,
Gorphenodd hon yn gyfa' trwy angau Calfari.

Ni cheisai'n wyneb angau yn noddfa ac yn nerth,
Ond 'wyllys da'r Diddanydd Preswylydd mawr y berth,
Mewn trallod gelwais arno, gwrandawodd lawer gwaith,
'Rwi'n credu bydd e'n ffyddlon i'm dwyn i ben y daith.

---

## PENNILLION AM YR EFENGYL.

Ar y dôn newydd 'Dedwyddwch.'

Y'methl'em dir y gwelaf wawr,
O'r Nef a ddaeth i ni;
Goleuni Haul Cyfiawnder mawr,
A d wnai lawr mewn bri:
O! hyn sydd yn newydd,
Newydd, newydd,
Am eni Ceidwad cun;
I rai mor wael eu llun;
Cawn seinio Haleluiah,
Daeth Duw mewn natur dyn!

Cyflawnai'r gyfraith er ein mwyn,
Mewn bywyd perffaith pur;
Agorodd ffordd drwy'i angau i'n dwyn,
O ddyfnder cwyn eincur:
O hyn sydd yn werthfawr,
Gwerthfawr, gwerthfawr,
Trwy rin cymmodol Iawn,
Y rhoddwyd taliad llawn:
Ni seiniwn yn gysonôl
I Dduw a'i Nefol ddawn.

O Henffych wawr Efengyl wen!
O Gariad Ior i gyd;
A ddug i ni drysorau'r nen,
Drwy angau'r pren mewn pryd;
Am hyn ni a'i molwn,
Molwn, molwn.
I'r carchar tywyll du,
Daeth gwawr Efengyl gu:
Am hyn cawn seinio 'n beraidd
Gyd a'r angylaidd lu.

Gogoniant fyth i'r Drindod lân,
Yn un Trag'wyddol Fod;
Tad, Mab, ac Yspryd di wahan,
Ni g'lymwn gân ei glod:
O! mae Ef yn deilwng,
Teilwng, teilwng,
Roi'r Goron ar ei ben;
Drwy'r ddaear a'r Nefoedd wen;
I'w Enw doed ogoniant,
A'r moliant byth.—Amen.

Alltud o Eifion.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXVII.] MAWRTH, 1838. [LLYFR VIII.


## COFIANT

### AM Y DIWEDDAR FRAWD, MR. TIMOTHY DAVIES, DANYCERIG,

Plwyf Llanpumsaint, Swydd Gaerfyrddin; yr hwn a fu yn Bregethwr llafurus a defnyddiol yn mhlith y Trefnyddion Calfinaidd, am bum mlynedd ar hugain, ac a fu farw Hydref y 24, 1837, yn 53 oed.

TIMOTHY DAVIES oedd fab i D. Thomas, Gwniedydd, o Blwyf Pencarreg. Ganwyd ef Mehefin y 6ed, 1784. Pan yn ieuanc cymmerwyd ef oddiwrth ei Rieni at ewythr iddo, sef William David Lewis, i Pantllyn. Cafodd ei ddwyn i fynu mewn ysgol, nes yr oedd yn medru darllen ac ysgrifenu yn lled dda. Yr oedd yn blentyn hardd iawn, o ran ei ymarweddiad allanol. Bu yn gwasanaethu am flwyddyn; a chafodd ei ddino yn fawr gan annuwioldeb y teulu lle yr oedd, fel y dywedodd lawer gwaith na feddyliodd cyn hyny fod y fath yn y byd. Byddai yn ei ieuenctyd yn arfer myned i wrando pregethau i gapel perthynol i'r Brodyr yr Anymddibynwyr; ac yno hefyd y dechreuodd ei yrfa grefyddol, pan oedd ynghylch un arhugain oed.

Yr oedd y pryd hyn yn hynod o lafurus gyda chrefydd. Byddai yn rhoi i lawr y testynau, ynghyd a phenau y pregethau yr oedd yn wrandaw. Wrth sylwi ar ei lafur a'i symledd gyda chrefydd, sef pan oedd o gylch tair ar hugain oed, annogwyd ef i waith y weinidogaeth; a bu yn pregethu gyda'r Brodyr a enwyd, am bedair blynedd. Byddai yn aml y blynyddoedd hyn, yn arfer gwrando Gweinidogion a Phregethwyr y Trefnyddion Calvinaidd.

Yn y flwyddyn 1811, priododd âg Ann, merch John Davies, Gilfaen-goch, plwyf Brechfa, a chartrefodd yn Pantllyn ddeng mlynedd. Yn y flwyddyn 1812, ymadawodd a'r Anymddibynwyr, ac ymunodd â'r Trefnyddion, yn Brechfa. Yr achos o hyn oedd, ei gariad at ddysgybliaeth, &c. y corph o bobl a enwyd olaf. Cafodd ganiatad i bregethu yn eu plith, mewn cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Brechfa y 4ydd dydd o Dachwedd, yr un flwyddyn. Pregethodd y Sabbath canlynol yn Brechfa, oddiwrth Ioshua 13. 1. 'A thir lawer iawn sydd etto i'w feddiannu,' a bu yn pregethu yn Brechfa agos unwaith bob mis am bum mlynedd ar hugain, sef hyd ddiwedd ei oes.

Fel dyn, yr oedd yn feddiannol ar dymer siriol, serchiadol a charuaidd iawn, yn hawdd i bob gradd o ddynion gyfeillachu âg ef. Yr oedd ynddo lawer o bethau neillduol i enill sylw ei wrandawyr. Yr oedd ei agwedd yn serchiadol o ran ei berson, a'i ddawn yn felus bob amser. Yr oedd, fel y dywedir am gariad, heb feddwl drwg am ei frodyr, ond yn gobeithio pob dim, yr oedd yn awyddus am ddilyn heddwch â phawb, yn ei deulu, yn y gymmydogaeth, ac yn enwedig yn yr Eglwys.

Fel crefyddwr, yr oedd yn rhodio yn holl orchymynion, a deddfau yr Arglwydd, yn ddiargyhoedd. Fel Pregethwr, yr oedd yn neillduol o felus a chymmwys; ac ni flinai neb un amser â meithder. Ei bregethau oeddynt fynychaf am Grist, yn ei berson, ei ddarostyngiad, ei ufudd-dod, ei wyrthiau, ei ddyoddefiadau, ei aberth a'i iawn; anchwiliadwy olud ei ras, a'i barodrwydd i dderbyn y penaf o bechaduriaid. Yr oedd yn hoff iawn ganddo bregethu ar wyrthiau ein Hiachawdwr, fel y dywedodd wrth frawd oedd yn gofyn iddo ryw dro, 'Beth yw'r achos eich bod yn pregethu am wyrthiau ein Hiachawdwr mor aml?' 'O,' medd efe, 'y mae yn hyfryd genyf feddwl bob amser ei fod yn iachau, a bywhau y marw, dim ond dywedyd.' Nid oedd wrth draddodi yn dynwared neb; ond yr oedd yn arfer ei ddawn naturiol ei hun; a'i agwedd a'i ystum yn gymmwys iawn i'r gwaith yr oedd gydag ef. Nid oedd yn chwenychu y blaen, ond yr oedd wrth draed ei frodyr ymhob man.

Yn y flwyddyn 1822, symmudodd i fyw o Pantllyn i Danycerrig, Plwyf Llanpumsaint; lle y bu am bymtheg mlynedd, sef hyd ddiwedd ei oes. Bu yno yn dra ffyddlon, a defnyddiol yn yr Eglwys yr oedd yn perthyn iddi, sef Rhydargaue; ac y mae galar mawr yn yr Eglwys, a'r holl wlad ar ei ol. Hefyd yr oedd yn llafurus a ffyddlon iawn gydag achos yr Ysgol Sabbathol, y Cyfarfodydd dau-fisol, &c. Ac yr oedd yn meddu dawn melus, hyfryd, ac adeiladol, i holi ac egwyddori'r plant, pa rai a'i hoffent yn fawr.

Yr oedd ei ffyddlondeb ymhellach i'w weled gyda Chyfarfod Misol y Sir, yn yr hwn yr oedd wedi ei osod yn Ysgrifenydd y blynyddoedd olaf o'i fywyd; sef ar ol y diweddar Barchedig Arthur Evans, Conwil. Yr oedd yn ffyddlon iawn gyda'r cyfarfod gweddi yn mhlith ei frodyr, yn enwedig y cyfarfod gweddi Misol, lle y byddai bob amser yn annog y brodyr i fod yn ffyddlon gyda hwn, gan ddywedyd, beth bynag fyddai i lawr, mai dyma achos fydd i fynu uwch pob achos yn fuan. Yr oedd ei rybuddion yn ddwys, a'i annogaethau yn ddifrifol, byddai yn aml yn cymhell pechaduriaid at Grist yn dirion a serchiadol. Yr oedd y blaenaf yn y Sir o blaid y Gymdeithas Ddirwestol; gwnai bob ymdrech er sefydlu y Gymdeithas hon trwy yr holl wlad, byddai yn egniol a llafurus iawn i berswadio dynion am y budd a'r lles ag oedd amrywiol yn fwynhau o ymuno â hi, a pharhaodd felly hyd ddiwedd ei oes.

Y Sabbath olaf iddo bregethu oedd Hydref y 15fed, 1837. Pregethodd nos Sabbath hono yn nhŷ Mr. Lloyd, Pentewyn, Swydd Gaerfyrddin, oddi wrth Ioan 7. 31. 'A llawer o'r bobl a gredasant ynddo, ac a ddywedasant pan ddelo Crist, a wna efe fwy o arwyddion na'r rhai hyn a wnaeth hwn?' Dydd Iau y 19eg yr oedd yn y cyfarfod Eglwysig gartref yn iach fel arferol, sef y tro olaf iddo, pryd y cynghorodd gyda phwys am wneyd mwy o ddefnydd o air Duw; oddiwrth yr hyn oedd wedi aros ar ei feddwl, (wrth gyflawni dyledswydd deuluaidd y boreu hwnw) am Ahab yn rhoi mwy o dderbyniad i'r gau brophwydi nag i Micah, prophwyd yr Arglwydd. Boreu dydd Gwener yr 20ed y teimlodd ei hun yn anhwylus a llesg. Achwynai fod rhyw boen, a chyfyngder yn ei wddf. Boreu Sabbath y 22in adfywiodd i raddau; teimlodd awydd mawr yn ei yspryd am gael adferiad i'r dyben i gyflawni ei rag-fwriad o fyned i'r Gymmanfa oedd yn Hwlffordd yr wythnos hono. Ond symmudwyd ef i Gymmanfa fwy a pherffeithiach yr hon ni dderfydd byth. Erbyn dydd Llun, sef y 23, Cryfhaodd a chynnyddodd ei boen yn fawr. Dywedodd wrth ei anwyl wraig lawer am gerbyd Israel a'i Farchogion, yn nghyd a llawer o adnodau hyfryd a melus, a rhai Hymnau, megis y rhai canlynol:—

Mae'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwan, &c.

Ychydig cyn ymadael a'r fuchedd hon, swniodd y pennill yma, yr hwn a garai yn fawr pan yn iach,

Bydd pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynnu'n groes,
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angau loes.

Ogylch 1 ar gloch boreu dydd Mawrth, y cymmerodd y datodiad mawr le, ac yr ehedodd ei yspryd adref at Dduw. Y mae ei wraig anwyl a thyner wedi ei gadael yn weddw, ac un arddeg o blant amddifaid o'u caredig dad. Tad yr amddifaid, a barnwr y gweddwon a fyddo yn Dduw iddynt oll! Amen.

Dydd Iau, sef dydd ei gladdedigaeth, darllenodd a gweddiodd Mr. Owen Howells, o Gaerfyrddin, a phregethodd y Parch John Evans, Llandilofawr oddiwrth Diar. 14. 32. (y rhan olaf) 'Ond y cyfiawn a obeithia pan byddo yn marw.' Yna hebryngwyd ei gorph gan dyrfa liosog i fynwent Llanpumsaint i orphwys hyd nes cano yr udgorn i ddeffroi preswylwyr y llwch, pryd caiff ei enaid a'i gorph yntau eu huno drachefn i fwynhau annrhaethol ddedwyddwch yn y nef i dragywyddoldeb.

*Rhydargaue.* EDWARD EDWARDS.

## Rhagoriaethau y Bibl.

MARC.

Yr Efengyl yn ol Marc a ysgrifenwyd, fel y tybir, oddeutu O. C. 61, dan gyfarwyddiad yr apostol Petr, er defnydd i'r Cenhedloedd; er dychweliad pa rai bu gweinidog aethyr apostol hwnw yn effeithiol. Mae yn coffâu y rhan fwyaf o'r pethau a gynhwysir yn Matthew, gyd ag ychydig o

chwanegiadau neillduol, ond mewn dull mwy cryno. Wrth ystyried symlrwydd ac eglurdeb yr ysgrifeniad, a'r matterion pwysfawr mae yn eu hadrodd, galwyd yr efengyl hon 'Yr hanes byraf ac egluraf, y mwyaf rhyfeddol, ac yr un amser y mwyaf boddlonawl yn y byd.'

Marc a renir i un-ar bymtheg o bennodau, yn cynnwys tri o brif ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn coffâu hanes gweinidogaeth Ioan Fedyddiwr, a bedydd a themptiad Crist, pen i. 1—13.

Dos. II. sydd yn adrodd gwyrthiau ac ymddiddanion Crist, o ddechreuad ei weinidogaeth gyhoeddus hyd ei ymweliad â Ierusalem yn y pasg diweddaf, pen. i. 14—x. Yn y dosparthiad hwn rhai o'r pethau mwyaf nodedig a goffeir ydynt,

1. Rhai pethau neillduol yn nghylch Ioan Fedyddiwr, pen. vi.

2. Hanes y gwr ieuangc goludog, yr hwn a wrthododd deyrnas nefoedd oherwydd ei ymlyniad wrth gyfoeth bydol, pen. x.

Dos. III. Sydd yn cynnwys hanes mynediad gorfoleddus Crist i Ierusalem, ei ddammegion a'i ymddiddanion yno, ei gondemniad, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i orchymyn i'w apostolion, y rhai ydynt oll yn dra phwysfawr a hynod, pen. xi.—xvi.—

*Cyfeiriadau yn Marc.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i. 2. | Mal. iii 1. | Pen. ix. 3. | Dan. vii. 9. |
| 3. | Esa. xl. 3. | 11. | Mal. iv. 5. |
| 8. | Esa xliv. 3. | xi. 9. | Ps.cxviii.26. |
| ii. 25.26. | 1 Sam. xxi.6 | xii. 10. | 22. |
| | Exod. xxix. 32, 33. | xiii. 26. | Dan.vii.13,14. |
| | | xv. 28. | Esa. liii. 12. |
| vii. 35. | Esa xxxv.5,6. | | |

## SYLWADAU

***Ar Gyfnewidiad y dymher, yr hyn a gymer le yn nychweliad ac adgenhedliad dyn trwy yr Athrawiaeth Gristionogol.***

Golygir gwahaniaeth rhwng y ddwy weithred osodedig uchod yn eu defnyddiad yma, gan eu bod yn gwahaniaethu yn eu hansawdd, gogymmaint a bod *dychweledigaeth* yn dynodi cymmeradwyad, a derbyniad yr *Athrawiaeth Gristionogawl* gan, ac i'r deall, y bod y dyn yn llwyr-ddymuno ei chydgorffori a'i ymarweddiad; tra y mae *adgenhedliad* yn dynodi cyflawn-dderbyniad yr Athrawiaeth i'r Ewyllys, a chydgorfforiad sylweddoledig *Cariad Cristionogawl* â'r fuchedd. Dan ddylanwad yr un rheswm, golygir gwahaniaeth rhwng ***Athrawiaeth Gristionogawl***, a ***Chariad Cristionogawl***; wrth y gyntaf y deallir, ***gwirionedd dwyfawl gair y Goruchaf yn goleuaw y deall***; ac wrth yr ail y deallir, ***effaith yr Athrawiaeth hono ar yr Ewyllys, a'r fuchedd, yn nygiad yn mlaen y ffrwythau priodawl a chanmoledig hyny, 'Gogoniant yn y Goruchaf i Dduw, ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da.'***

Cenfydd pob llygad bywiawg yr effeithiau bendithlawn hyny a genhedlir yn nhymher dyn, trwy dderbyniad yr Athrawiaeth uchod i'r deall, a'r gweddau canmoledig hyny a gerfir ar yr ewyllys â'r ymarweddiad; oherwydd nad yw yr Athrawiaeth Gristionogawl yn dir-gymmell dim, ond cariad perffaith at Dduw, a thosturi at ddyn, ynghyd a'r anghenrheidrwydd sydd am awdurdod a llywodraeth y cariad â'r tosturi ar feddwl dyn, er dymchwelyd cynhyrfiadau halogedig y nwydau hyny, a elwir ***hunanoldeb, cariad, a theimlad bydawl***; i ba swydd y'u bwriadwyd, o herwydd darostyngaeth dyn wrth natur, i gael ei gaethiwo o fewn cylch y galluoedd gormesawl hyny, o afaelion pa rai nis gall ymryddhau, heb gynnorthwyon y cariad â'r tosturi rhag-enwawl.

Canfyddir yn y gwir Gristion, grynodeb fywiawl *o'r* drefn a'r bywyd hwnw (a gymhellir *gan*, a genhedlir ac a blennir *drwy* yr Efengyl, yn mynwesau y gwir edifeiriolion ydynt ewyllysgar i ymgrymu ac ymostwng i'w heirchion iachusawl) i *lywodraethu* egwyddorion brwd-gynhyrfawl y chwantau corffawl, â'r serchiadau daearawl, ond nid i'w *diddymu*, gan yr ymdderchafu y plentyn hwnw i anfarwoldeb uwchlaw effaith un o'u llygredigaethau, a'u hanwadolion, gan ymddifyru yn edrych i lawr o orsaf dderchawl ac uchel, parch anghyfranogawl Duw ei Iachawdwriaeth,—uwchlaw bod yn gaethwas iddynt mwy, eithr yn feistr cydnabyddedig ar holl ffrydddylifion eu hamcanion a'u hymyfrydion llygredig.

Nid am y tybia y derchafiad na'r awdurdod hwn yn ddyledus i un gallu o'i eiddo ei hun, ond priodola ef yn drwyadl i drugaredd ddwyfawl, ynghyd a Hollalluogrwydd y Cyfryngwr, cynnorthwy pa un y mae yn dyddiol attolygu, ac a hyf-fforddiadau pa un y mae yn dyddiol ymgynghori

o dan adenydd pa un y cenfydd gysgod diogel a pharaus rhag y gerwinderau a esgorir gan ffyrnig-wyllt olwyniad y tymhestlodd a ddigwyddant ar ei daith drwy'r byd. Oddi yma y mae y gwir Gristion yn derbyn tymher ei feddwl, mewn perffaith gyduniad a'i egwyddorion llywodraethawl, ynghyd a diysgogrwydd eu gwreiddyn dwyfawl.

Yr ydym yn ei ganfod gan hyny, ar bob amserau, yn *dawel, digyffro, a siriol*, fel yr awyrgylch nefawl yr anadla ynddi; tra ar yr un pryd, y bydd yn gadarn, cryf, a diysgog, fel mynydd Arglwydd y lluoedd, ar ba un y saif ei drigfan dragwyddol.

Pan y dengys Rhagluniaeth ddwyfawl hoffder tu ag at ei fwriadau, a gwên cymmeradwyaeth ddwyfawl yn arllwys ymfoddiant i'w feddwl, teimla yn ddyiolchgar, nid yn rhyfygus; teimla ei hun yn llawen, ond nid dan gynhyrfiad pen-boeth orlonder. A phan yr ymddengys yr un Rhagluniaeth ar amserau eraill, yn *anfoddlawn*, a gwên y wedd ddwyfawl wedi ei chyfnewid am ŵg, etto, meddianna ei enaid mewn amynedd; ac os nad all deimlaw dyiolchgarwch yn deor ymloniant yn ei feddwl, etto, fe ffrwyna ei nwydau rhag marchog grwgnachrwydd mewn agweddau rhydd-wyllt ac anweddaidd.

Wrth sylwi arno yn ei holl ymwneuthurion a chymdeithas hefyd, bodd-lenwir ni gan briodoldeb ei weithrediadau unedigawl ar un egwyddor nefawl.

Os gelwir ef i ymddangos mewn cymmeriad cyhoeddus, neu i gyflawni dyledswyddau penaf bywyd cymdeithiawl, ceir ef yn dyfalwylio ei galon, gan ei llywodraethu yn ddeheuawl heibio i bob tymher o *falchineb*—*oferedd*—a *chwydd-dybiaeth*.

Yn ei ymddygiadau at bob graddau, fe'i ceir yn ddiargyhoedd; tu ag at ei isafiaid yn *fwyn, ymostyngawl*, a llawn cydymdeimlad: tu ag at ei uchafiaid, yn ostyngedig, heb fod yn orwael; moesgar, heb fod yn genfigenllyd.

Tu ag at ei gydradd, yn agored, rhydd, a chymdeithasgar: yn ei gymmeriad mwy cyfrinachawl, ceir ef yn ŵr *tyner*—yn riant *awdurdodlawn* a *diwyd*, er hyny, *serchlawn; rheolwr manylaidd*, ond nid yn *dra-arglwyddiaethwr*; dyfal yn nghylch cysur a breintiau ei blant, a'i weision, etto yn argyhoeddedig o'i anallu i gyrchu hyny yn fwy effaithiawl, na thrwy geisio oddiwrthynt ufudd-dod cynnorthwyedig i'w *holl eirchion rhesymlawn a chyfreithlawn*.

*Abergele.* IORWERTH GLAN ALED.

---

## LLYTHYR VIII.

*Oddiwrth hen Weinidog at ei fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

(Parhad tu dalen 39.)

Ond, nid anfuddiol chwaith yw rhoddi cyfarwyddiadau a gocheliadau i ti ynghylch dy ymddygiad yn y cyfryw wleddoedd, ac ar y cyfryw ymweliadau (*visits*) a grybwyllais, gan i'r Yspryd Glan eu tybied yn deilwng o le yn y Gyfrol Sanctaidd. '*Gosod gyllell ar dy geg os byddi ddyn blysig: na chwenych ei ddanteithion ef.*' '*Pan y'th wahodder gan neb i neithior, nac eistedd yn y lle uchaf,' &c.* Hwyrach fod gormodedd o ddefodau a defosiynau yn y cyfryw leoedd; ond er hyny, anweddus i swydd a lle Gweinidog yr Efengyl, yw bod yn hynod o fwngleraidd. Chwi feddyliech ar rai, mai ysbryd ydynt i gyd; a'u bod mor ddieithr i arferion dynolryw, a phe baent y dydd o'r blaen newydd ddisgyn o'r lleuad! Ni chymrant ddim i fynu yn y cwmni: hwyrach eu bod yn meddu ar sancteiddrwydd y Phariseaid. Ac eraill fel pe baent wedi eu magu ymhlith geifr gwylltion y creigiau heb ddysgu dim moesau; gochel y ddwy ochor.

Adeiliadaeth y meddwl a ddylai fod y prif ddiben; rhoddi a derbyn addysg. A chofia nad ydwyt ti, er dy fod yn fugail a thad i'r gwahoddedigion, ar dir na elli gael a derbyn addysg, am hyny, rhoddaf o'th flaen rai gosodedigaethau i'w hystyried. Meddwl *pa faint haws i ddyn gwael fesur a barnu dyn doeth, nag ydyw i ddyn doeth ei farnu ei hun.* Y mae yn anhawdd i ni ein gweled a chlywed ei hunain, yr ydym wedi ein ffurfio yn ormodol yn ein hansawdd ein hunain, Y mae'r hwn a saif yn ymyl y chwaraëwr yn enill mantais i'w farnu, er nas medr ef ar y gamp: dichon i'r forwyn, ig fo'n gweini wrth y bwrdd, weled dy frychau, cyn y gwybyddech di oddiwrthynt. Hefyd, *Meddwl, mor anhawdd it adnabod dy falchder a'th hunan, a'r ymddiried sydd genyt i'th wybodaeth.* Mae hwn yn holl yn glynu yn agos at bawb; felly mae

cwmni, o bosibl wrth dy fod yn weinidog yr Efengyl y meddyli dy fod yn uwch o'th ysgwydd i fynu na neb yn yr ystafell; ac, bron y disgwyli i'th farn di fod yn ddiwedd-glo ar bob peth. Hynod o annheilwng it feddwl dy wybodaeth yn berffaith ar bob pwngc a ddaw i'r ymddiddan.

Etto, *Cofia fod dy ymddygiad yn y fath le a hyn yn effeithio yn fawr ar y Cwmni.* Yr ydym ni yn awr yn rhan o'r cwmni, ar y Sabbath byddwn ni yn y Pulpit, a hwy-thau ar y llawr; nyni yn bregethwyr, a hwy yn wrandawyr; ond yn awr eisteddwn ar yr un faingc. Yn y cyfryw le, os byddi yr hyn a ddylit fod, fe deimla'r cwmni, ni chynnygiant chwedleua yn ynfyd a baldor-aidd i'th glyw; ac os noddi di y fath yn-fydrwydd, bydd hyny yn dy arddangos yn ddau-wynebog; ar y Sabbath yn ofalus ar deilyngdod dy alwedigaeth, ac ar ddydd gwaith yn eu rhyddhau hwythau i fod fel y fynont gyda'r eiddynt. Y mae yn iselhau accen athrawiaeth y Sabbath, ac yn ffurfio esboniad rhyfedd ar dy bregeth.

Hefyd, *Gwybydd fod magl beryglus, ac y dylit ei gochelyd yn y pethau yr ymdrinir â hwynt yn y cwmni.* Dichon it gael dy ddenu i ryw ormod ymddiddan am helynt y byd, newyddion yr wythnos, cywreinrwydd y celfyddydau; dyma eulunod y cenhedl-oedd. Diameu y byddai yn ddymunol it adnabod y byd a'i helyntion; a gwybod pa fodd i roi iddynt eu lle a'u cyfran priodol; ond os denir di i roi amryw opiniynau, a hir draethawd arnynt fe'th iselheir; ti a'i teimli yn orthrechwaith i ymsymyd oddi wrthynt at air Duw a gweddi. Bydd yr olew wedi colli oddiar yr olwynion, a byddi fel y Crydd a fu fis o'i weithdy yn medi'r cyn-haeaf, erbyn ei ddyfod yn ol, yr oedd ei arfau ar goll, a phigau yn ei ddwylo yn methu gweithio!

Ond os denir di i sylwi ar y cyfryw beth-au, *Gwylia dybied dy fod yn ddigon o wr i wneud i fynu yr ymddiddan â dynion y byd, a'u pethau, yn hollol ar eu tir eu hunain.* Mae bod felly yn eu boddio yn fawr, ond nid yn lleshau cymaint iddynt: cei wel'd mai anhawdd a chwithig fydd eu henill i dir gwell.

Mae gan y boneddwr balas prydferth, wedi ei adeiladu a'i ddodrefnu yn orwych; myn it ei weled, am ei fod yn sâl o glefyd yr hunan. Mae gan y Masnachwr ei ddengmil punnau; ti a'i cyferchi yn llawen yn eu cylch, heb goffâu iddo y gofal, ei berygl, a'r atteb a raid iddo roi am danynt. Mae gan y ffermwr ysgubor lawn, da lawer, ac anifeiliaid golygus; ac mae'n ymddifyru yn yr ymsyniad o honynt; a chroesawir dithau i'w hadolygu: ac os bydd dy ym-ddiddan a'th sylwadau gyda'r cyfryw rai mewn ysbryd bydolrwydd, nid hawdd y cyflawni swydd Gweinidog Crist i fod o un lles iddynt, ac amhosibl yw i ti eu hennill drosodd i dir santaidd. Ond os digwydd it gael dy amgáu gan y cyfryw ddamweiniau, cofia brysuro i'w newid. Y Frenhines Elizabeth a ddywedodd, 'Mai y rhai a ânt trwy'r byd oreu, yw, y rhai a ânt trwyddo gyflymaf, oblegid mai corsle ydyw, os safwn, ni a suddwn.' Etto, na fydd chwaith yn rhyw ormod ar dy ben dy hun, onidê fe'th gyfrifir yn greadur o dymher anfoes-gar, o ysbryd phariseaidd.

Os arweinir di trwy rodfa o arddrychau a darluniau celfydd a godidog, gweddus it gyfaddef a chydsynio fod yr olygfa yn gy-wreinwych ryfeddol, ond teilwng hefyd fod sylw a nodiad buddiol a phriodol yn disgyn yn y cyfle, a hyny yn achlysurol ac nid yn bwrpasol, etto gyda gostyngeiddrwydd a thynerwch mawr: cofia fod y bobl hyn mewn clefyd. 'Yr ydwyf yn sathru ar falchder Plato,' ebe Diogenes, pan yn rhodio ar hyd ei lawr-lon hardd ef. 'Ie, a hyny gyda balchder mwy.' Attebodd Plato. Ond gwell bod yn llym na chyfeiliorni. '*Chwi yw halen y ddaear.*' Lle hynod am lygru yw y cyfryw leoedd, am hyny os gelli mewn un modd bydd yn bereiddiwr arnynt: os bydd yr olwyn yn cerdded yn anesmwyth rhaid arfer pob moddion i gael allan y drwg.

Drachefn, *Yn y cyfryw leoedd mae yn berygl i fod yn rhyw segurddyn mawr;* a chenyt y fath gyflawnder o amser i'w heb-gor, heb ddim yn galw am danat, ac y gelli fod yn olaf ymhob cwmnïaeth. Na, dylit ddangos mwy o gyfrif o'th amser. Peth digon chwithig it weled dy gyfeillion yn dechreu dylyfu gên, ac ymystwyro, a thith-au yn foddlon ddigon, heb feddwl byth am droi adref o'r gwmnïaeth. Cofia mai gwr o alwedigaeth uchel ydwyt. Meddwl am y

pechod o segurdod: byddwn yn siarad yn y Pulpit am brinder a gwerth amser, eithr nid ydym yn ymarweddu ond ychydig i efelychu ein geiriau.

Mae'n debyg hefyd y byddi yn disgwyl cael addysg, gwersi, a hyfforddiadau oddi wrth dy gyfeillion yn y cyfryw leoedd. Rhyw ddyn ar ben ei ddigon ydyw hwnw, sydd am gyfranu o hyd, ac heb feddwl derbyn dim. Na fydded it gael dy siomi, trwy dybied y cei ryw onestrwydd mawr, a rhyw wersi eglur gan dy gyfeillion: rhy brin ydynt yn hyn; ac am hyny yr ydym ar ein colled.

Gwybydd, *Mai ychydig o ddynion sydd, a feiddiant siarad â dyn cyhoeddus*: gorchest ydyw, ac anaml y clywir neb yn dweud, 'Mae y peth hwn heb fod yn iawn; neu, mae eich dull yn anmhriodol a diffygiol.' Os dywedir fel hyn wrthym gan un doeth ac mewn symlrwydd, mae'n dangos gofal a chywirdeb tuag attom, nad efelychir gan bum cant o wenieithwyr. Ond mae yn ysbeiliad arnom ni, bregethwyr, am na chawn ein rhybuddion: dywedant yn ein cefnau, ac nid wrthym. Dichon hefyd fod adwyth arnom ninnau yn lluddias eu gonestrwydd. Clywir weithiau ymddiddan cwynfanus gan ein cyfeillion pan yn nodi ein ffaeleddau, 'Pa'm na ddywedwch chwi wrtho?' 'Dweud wrtho? ni wrendy arnom;' dyna golled nas gwyddom ei maint.

Hefyd, *Gwybydd fod annerbyniad a gwrthwynebiad i rybudd, argyhoeddiad, a cherydd, yn annoethineb, balchder, ac arwydd o adfeiliad mawr.* Gwr mawr, doeth, a ganiatta fod ynddo golliadau, ond y coegyn disylw sydd mewn arswyd ei chwythu ymaith, ac am hyny mae yn trwynsorri. 'Cured y cyfiawn fi yn garedig, a cherydded fi; na thored eu holew penaf hwynt fy mhen.'

Etto, yn y cyfryw leoedd fe ddichon it gyfarfod âg amryw fath o bobl; rhai mor hyfion ag y mynant dy rybuddio; ac eraill a roddant rybudd, etto heb amcanu a meddwl cymaint am hyny. Dichon it gyfarfod ag un y gelli ddarllen yn ei agwedd ei fod yn un ymyrgar; ei fod wedi penderfynu dy alw i gyfrif; a'i fod am dyosod ar yr iawn: digon tebyg mai efe ei hun fydd ar gyfeiliorn, ac os bydd ar yr iawn, o bosibl y byddai yn briodol it er hyny achub y cyfle, a rhoi pregeth iddo.

Rhyw arall, fe allai, a gyfarfyddi, sef rhai afrywiog, anfwyn, ac anfoddog, etto yn meddu ar alluoedd. Nid rhai weithiau yn cael, ac weithiau heb gael eu boddio; na, hwy ganfyddant ffaeledd a brychau yn mhob man. Na fydded it gamgymeryd y cyfryw, gan ofyn, 'Beth yw meddwl hwn? ni foddlonir mo hono byth?' Gwir ei fod yn anhawdd ei foddio, etto nid yw'n canlyn nad ydyw yn adrodd gwirionedd. Mae ei eiriau yn finiog, ond fe allai y dengys it beth na ellit ei ganfod ond trwy ei awchlymder ef. Bydded it dderbyn addysg a chynnydd er ei noethed, pa ddrwg a wna i ti? Dysg yr hyn sydd i'w ddysgu ganddo; ac yn aml yr addysg goreu a geir gan y dynion chwerwaf. Mae'r plastr yn peri i'r briw deimlo, etto mae yn gwella. Ond nid ydwyt i groesawi y fath rai beunydd, i'th drin yn anmharchus, ac i godi dadl ar bob achlysur, onidê ti ddygi ddinystr i'r Eglwys. Nid yw y rhieni a oddefant y plant i'w hameu, a'u holi, ac na dderbyniant ddim heb gant o brofion, yn ymddwyn yn addas i'w sefyllfa; felly yn fuan fe ddirmygir yr athraw, eir i feddwl eu bod yn abl i'w ddysgu ef, ac nid efe i'w dysgu hwy. Mae dy awdurdod di i fod goruwch hyny, onidê ti fyddi yn fyr o un o brif gynneddfau Gweinidog. Ond nid yw hyn yn anghyttunol â derbyn amnaid.

Rhyw arall a gyfarfyddi, rhai lled dywyll a byr eu gwybodaeth, etto o nodweddiad diffuant a gonest. Fe allai it ei derfysgu er nas gwyr yn iawn pa beth y mae yn ymofyn yn ei gylch. Ti a'i dyrysaist ef, y mae wedi ei frifo, a daeth attat am help. Mae addysg i'w gael gan y rhai gonest hyn, er eu bod yn dywyll. Diameu i'r Dr. Manton bregethu yn wych a gweddus o flaen y Maer; teimlodd argyhoeddiad ac addysg gan y tlawd a dynodd yn ei odreu, gan hysbysu iddo, 'na ddeallodd efe ddim o'i bregeth ef.' Mae profiad teimladwy ganddynt er eu tywylled, a gwrandawant arno, ac oddiar hwnw maent yn abl i'n dysgu ninnau. Doeth yr ymddygodd Apelles, pan gyfnewidiodd ei esgid ar amnaid y Cobbler.

Drachefn, math arall a'th gyferfydd, y dylit, nid yn unig oddef derbyn rhyw addysg achlysurol oddi wrthynt, ond hefyd eu hannog a'u cefnogi i roi eu beirniadaeth arnat, a'th addysgu: dylit ymagoryd, ac addasu

os dy hun iddynt, eu cefnogi yn y gorchwyl o roi eu barn a'u mesur ar dy ddull, dy bregeth, a'th lafur: wrth y cyfryw rai doeth y dylit ddywedyd 'pa ryw farn syml a ddygwch am fy mhregeth? pa fath ddyn ydwyf yn eich golwg?' Oh byddai yn drugaredd it gael y fath rai yn dy gynnulleidfa, ag y gallech ymddiried i'w symledd a'u gonestrwydd. Mae fod y fath ymweliadau a chwmnïaeth yn cael eu treulio i ddiben rhesymol ac adeiladol i'r meddwl yn cyfreithloni bod ynddynt. Ond gwelaf im gael fy arwain ar hir grwydr, yn hwy nag y dychymygais yn y dechreu.

(I'w barhau.)

---

## 'OND YNA, WYNEB YN WYNEB.'
1 Cor. 13. 12.

Y 'mwynhad o Dduw yn ei wyddfod, fydd unig ffynhonell holl weithrediadau yr enaid mewn cyflwr o ogoniant yn y drydedd nef; yr hyn ni wyddai yr hen Philosophyddion ddim am danynt; ac ni wyddom ninau chwaith i fanylrwydd beth fydd y gweithrediadau hyny, neu pa beth yw yr olwg ar Dduw. Er hyny, gwyddom hyn, fod Duw yn ei hanfod anfeidrol, yn anweledig i'n llygaid corphorol ni, ac y bydd efe felly i dragywyddoldeb; ac hefyd yn anamgyffredadwy i'n meddyliau. Canys ni ddichon dim gynnwys i berffeithrwydd yr hyn sydd anfeidrol, ond yr hyn a fyddo yn anfeidrol ei hun. O herwydd paham, yr olwg fendigedig a dedwyddol a gawn ni ar Dduw yn y nefoedd, a fydd byth 'yn wyneb Iesu Grist.' Ynddo ef y bydd i'r cyfryw ddatguddiad o ogoniant Duw yn ei anfeidrol briodoliaethau, ac yn eu gweithrediadau bendigedig, lewyrchu i'n heneidiau, fel y'n llenwir ni yn ddigyfrwng â heddwch, gorphwysfa, a gogoniant.

Y pethau hyn ydynt yn peri i ni yn awr ryfeddu, ond nis gallwn eu hamgyffred. Ni wyddom yn iawn am ba beth yr ydym yn son wrth grybwyll am danynt; er hyny, mae mewn gwir gredinwyr ragolwg a blaenbrawf o'r cyflwr gogoneddus hwn. Mae yn myned i mewn i'w calonau weithiau drwy y gair a'r Ysbryd y cyfryw brofiad o'r *gogoniant digrëedig*, yn llewyrchu Ynghrist ag sydd yn effeithio ar eu heneidiau i'w diwallu â llawenydd anhraethol. Oddiar hyn y mae yn tarddu 'tangnefedd Duw yr hwn sydd uwchlaw pob deall, i gadw eu meddyliau a'u calonau yn Nghrist Iesu.' Phil. 4. 7.

Crist yn y credinwyr, 'gobaith gogoniant' sydd yn rhoddi iddynt o flaenffrwyth yr hyfryd wlad. Ië, weithiau y mae yn trochi eu heneidiau yn ffynhon bywyd; ac yn rhoddi iddynt i yfed o 'afon ei hyfrydwch,' yr hwn sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd. Pwy bynag sydd yn hollol anadnabyddus â'r pethau hyn, cnawdol ydynt; dall ydynt, 'heb weled ymhell.' Y profiadau a'r teimladau hyn ydynt yn anaml, ac yn gyffredinol o fyr barhad.

Ond ein tywyllwch a'n diogi ein hunain yw yr achos na baem yn mwynhau chwaneg o'r ymweliadau hyn o ras; ac na byddai codiad gwawr gogoniant yn llewyrchu chwaneg i'n heneidiau. Dylai hyn ein cynhyrfu i arfer diwydrwydd. 'Oherwydd paham, yn hytrach frodyr, byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr.—*Dr. Owen ar ogoniant Crist.*

---

## HUNAN-YMOFYNION DIFRIFOL, AM BOB BOREU.

1. A 'ydoedd Duw yn fy meddyliau wrth orwedd i lawr, a chodi i fynu? ac a oedd fy meddyliau am dano yn felus a gwerthfawr i'm henaid?'

2. 'Yn mha dymmer y mae fy ngalon y bore hwn? A ydwyf yn rhyfeddu daioni Duw am fy ngwsg neithiwyr, ac am estyn ychwaneg o amser at fy nyddiau? ac a ydwyf yn ddiolchgar o galon iddo?'.

3. 'A fedraf fi gyflwyno fy hunan, a'm holl achosion yn siriol a diffuant i Dduw y dydd hwn, i fod tan arweiniad ei gynghor, nawdd a darpariaeth ei ofal, yn hollol tan ei drefniad ef?'

4. 'A ydwyf yn penderfynu gogoneddu Duw trwy ymadrodd fy ngenau, ac yn nerth Crist i wneuthur yr hyn sydd dda, heb ofni, heb gywilyddio, na blino?'

5. 'Pa un, ai plentyn Duw, ac etifedd gogoniant, neu caethwas i bechod, a phlentyn i ddiafol, ydwyf fi? Os plentyn Duw ydwyf, mi ddylwn wisgo gwisgoedd cyfiawnder. Os etifedd nefoedd, oni ddylwn fwrw ymaith garpiau llygredigaeth, a chym'ryd

gofal rhag llychwino fy hun â phechod? Oni ddylwn i *wneuthur mwy nag ereill?*'

6. 'Beth sydd fwyaf twyllodrus? Os fy ngalon, oni ddylwn i fod yn eiddigeddus a gwyliadwrus drosti? Yn mha le y mae y peryglon mwyaf, a'r camgymeriadau mwyaf dinystriol? Os mewn matter enaid, oni ddylwn anturio colli y cwbl, yn hytrach, na cholli fy enaid gwerthfawr anfarwol?'

7. 'Pa rai yw gelynion mwyaf anghymmodadwy, galluog, dinystriol i fy enaid? onid y byd, y cnawd, a'r diafol? Ac oni ddylwn i *wylio a bod yn sobr*, fel na byddo i mi wneuthur eulun o'r cyntaf, na mwythborthi yr ail, na gwrandaw ar y trydydd?'

8. 'Pwy yw, neu ynte all fod, fy nghyfaill goreu, ond Duw? ac oni ddylwn i ofni ei anfodlonrwydd yn fwy nag angau, chwenychu ei ffafr yn fwy na'm hoedl, a thrwy gydol y dydd hwn ufuddhau iddo ef, ei garu, a'i anrhydeddu?'

9. 'Pa le y mae y gwagedd a'r blinder mwyaf, onid yn y byd? ac oni ddylwn i fyw uwchlaw iddo? Onid yw duwioldeb yn elw mawr; ac onid ei cheisio hi ddylai fod fy nghorchwyl penaf?'

10. 'Pa beth yw fy ngwaith ysbrydol, onid rhedeg yr yrfa, ymdrechu, ymladd, ac ymorchestu? ac a allaf fi wneuthur hyn oll heb ofal, diwydrwydd, a gwyliadwriaeth?'

11. Golygon pwy fydd arnaf fi ar hyd y dydd hwn, i sylwi ar fy mhen a'm calon, fy ngwefusau a'm hymarweddiad, onid yr eiddo ef, yr hwn sydd Farnydd yr holl ddaear? A feiddiaf fi bechu yn ei wyddfod, a'i anmharchu yn ei wyneb?'

12. 'Pa gwariwn i y dydd hwn mewn gwagedd, segurdod, a phechod, oni byddaf ofidus yn yr hwyr? Os treuliaf ef mewn modd sanctaidd a defnyddiol, oni châf anadlu yn fwy rhydd o flaen yr orsedd, a gorwedd i lawr yn fwy tawel, a 'thystiolaeth fy nghydwybod yn orfoledd i mi?'

13 'Pa fodd y mynwn i'r dydd hwn ymddangos ar *ddydd y farn?* Oni ddylai fy meddyliau, fy ngeiriau, a fy ngweithredoedd, fod yn gyfryw yn *awr*, ag a ddymunwn y pryd hyny eu bod wedi bod?'

14. 'Pa fodd y trefnaf fy achosion bydol y dydd hwn gyda mwyaf doethder a challineb, uniondeb a gonestrwydd ac a fyddo yn wir elw i mi?'

15. 'A ydwyf yn awr yn barod i nesau at Dduw mewn gweddi? ac a allaf fi 'geisio yn gyntaf' ac fel fy ngorchwyl pennaf, 'deyrnas Duw a'i gyfiawnder ef?'

SENEX.

---

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dalen 43.)

Pan ddaeth lluoedd y Rhufeiniaid gyntaf i geisio cymmeryd Germani, hwy a arswydasant wrth yr olwg ar y wlad fynyddig a diffaith mewn cydmariaeth i'w gwlad eu hunain, Itali. Yr oedd y trigolion yn preswylio mewn bythod a chutiau gwaelion a thruenus, ac yn ymgynal trwy ladrad a helfeydd. Yr oedd eu mynyddoedd uchelfrigog yn orchuddiedig gan iâ y rhan fwyaf o'r flwyddyn, a'u gwasdattir yn llawn o goedwigoedd mawrion, dan frig-lwyni y rhai y cyflawnai y trigolion eu haddoliadau eilunaddolgar. Cyn ddiweddared a'r bedwaredd ganrif, yr oedd y Boden See, (sef Llyn uchaf Constance) wedi ei amgylchu â llwyni o ddyrys-goed, fel nad allai teithwyr fyned yn agos atto, ond yn unig yn y manau lle y darfu i lluoedd y Rhufeiniaid agoryd ffyrdd â'u bwyill.

Ffrainc, y pryd hyny a gyfanneddid gan y Gauliaid, *Gauls*, neu Galli. Cyn i'r Rhufeiniaid ei goresgyn, yr oedd y wlad hono yn dryfrith o anial-leoedd, morfeydd, rhosydd, a choedwigoedd.

Ond wedi perchenogi o'r Rhufeiniaid hi, hwy a blannasant ynddi Winwydd, ac a adeiladasant ddinasoedd a threfydd yma a thraw ar hyd-ddi. Eu Hoffeiriaid, y rhai a a elwid y Derwyddon, (*Druids*), a gadwent awdurdod ormesol ar y bobl; ac er nad oedd eu hathrawiaethau crefyddol ddim mor wrachïaidd a dychymygol a rhai o'r cenhedloedd paganaidd ereill, etto yr oedd eu harferion crefyddol yn annynol a gwaedlyd iawn.

Mewn amryw fanau ar hyd y wlad yr oedd ganddynt eilunod anferth o faintioli, yn wag o'u mewn, wedi eu gwneuthur o wiail plethedig, neu reffynau gwellt, tebyg i waith basged, y rhai ar ryw amserau nodedig a lanwent â dynion, fel aberthau, ac yna dodent dân ynddynt i'w llosgi yn fyw ynghrombil yr eilun echrydlawn. Yr oedd eu coelgrefydd mor greulon, fel yr

oedd eu concwerwyr Paganaidd, y Rhufeiniaid, yn arswydo wrth eu gweled hwynt. Ac am hyny hwy a losgasant eu llwyni coed yn y manau yr addolent eu heilunod, ac a ddistrywiasant urdd eu Derwyddon, sef eu Hoffeiriaid, ymhell cyn iddynt feddwl dyfod â rhodd well o Gristionogaeth iddynt yn lle eu hen grefydd greulon hwynt.

Nis gallwn gael allan fod Cristionogrwydd wedi llwyddo nemawr yn Ffrainc (yr hon a elwid *Gaul* y pryd hyny) cyn oddeutu canol yr ail ganrif; ond fel yr oedd y llen yn cael ei thynu yn raddol oddiar hanes tawel ddechreuad gwaith Crist yn y gwledydd hyny, canfyddwn yn fuan fod Eglwysi wedi cael eu plannu yn Lyons, Vienne, Arles, &c. A chyn hir iawn eu bod yn llwyddo. ac yn lliosogi cymmaint fel y barnodd y Llywodraeth Paganaidd yn angenrheidiol defnyddio erledigaeth i attal eu cynnydd. Mae yn debygol mai o Asia Leiaf y daeth yr had cyntaf er plannu y gerddi hyfryd hyn o Eglwysi Crist yn Gaul, naill ai drwy offerynoliaeth lluoedd Asiaidd o fyddinoedd Rhufain, y rhai a ddaethant ac a gyfanneddasant yno; neu gan Efengylwyr y rhai a ddaethant yno i'r perwyl o ennill eneidiau o gyfeiliorni eu ffordd at Grist: nis gwyddom yn iawn pa un.

Ond ni a wyddom am esgobion cyntaf y mae genym hanes am danynt a fuont yn blaenori yn ngwaith yr Arglwydd yn yr Eglwysi Cristionogol yn Gaul, sef Nicetius, Pothenius, ac Irenæus, y rhai oeddynt oll o Asia leiaf.

Peth rhyfedd yn nhrefn Rhagluniaeth Duw oedd hyn, tri chan mlynedd cyn Genedigaeth Crist darfu i finteioedd o'r Gauliaid (*Gauls*) symud trigias o Ffrainc (*Gaul*) i Asia Leiaf, a thrigfanu yno, a galw y wlad lle yr oeddynt yn Galatia, a'r genedl, oddiwrth yr enw Gaul, yn Galatiaid, at yr Eglwysi ymhlith pa rai yr Ysgrifenodd Paul ei Epistol. Ac o'r gwledydd hyny drachefn, dygwyd yr Efengyl i'r hen fam-wlad Baganaidd Gaul. Yn lled gyffelyb, Columbus, yr hwn a gafodd allan America gynt; efe a aethai allan i ymofyn am gyfoeth i geisio ennill Ierusalem o ddwylaw y Mahometaniaid; ac ymhen canoedd o flynyddoedd wedi hyny, fe welwyd Cenhadon o America yn cyhoeddi y newyddion da, 'ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid,' i drigolion hen ddinas Ierusalem. Pwy na lefai allan, megis Ezeciel gynt, O Olwyn! O ryfeddol Olwyn Rhagluniaeth Duw!

Nid oes genym nemawr ychwaneg o hysbysrwydd pa fodd y daeth anialdir Gaul, mewn ystyr ysprydol, i fod mor Baradwysaidd Ardd yr Arglwydd. Pa fodd y bu i weision Crist hau yr had da yno; pa anhawsderau a gyfarfuant yn yr ymdrech hwn, na pha barottoadau a wnaethid cyn dyfodiad cenhadon hedd i'w plith. Nid yw Hanes Eglwys Crist yn ein cynnorthwyo i roi egluriad ar bethau i'r manylrwydd hyn. Pa fodd bynag, cyn gynted ag y mae llwyddiant gwaith yr Arglwydd yn Gaul, yn dyfod yn gyhoeddus mewn Hanesyddiaeth, ni a gawn fod tân erledigaeth yn dechreu cynneu yn y wlad. Troes hyn allan er disgleiriach enwogrwydd y cristionogion yn eu plith, fel y cawn sylwi fel yr elom ymlaen.

Ynghanol y drydedd ganrif, dywedir ddarfod i saith o Genhadon yr Efengyl gael eu hanfon o Itali i Gaul, a hwy a breswyliasant mewn gwahanol fanau yn y wlad, ac a fuont yn offerynol i blannu Eglwysi cristionogol ymysg y trigolion. Hyn yn unig sydd genym o'u hanes; ac nid yw yn ymddangos ddarfod i'r Efengyl ymdaenu yn gyffredinol yn Gaul am amryw o flynyddoedd wedi hyny.

Yn Spaen hefyd, fe wreiddiodd y grefydd gristionogol yn foreu iawn. Tystiolaethodd yr Eglwys yn Spaen o ddechreuad ei hanes, mai yr apostol Paul ei hun a fu yno yn pregethu yr Efengyl gyntaf: ac mae Clement yn tystiolaethu yr un peth. Gwel Rhuf. 15. 28. Mae yn amlwg fod nifer mawr o gristionogion yn Spaen tua chanol y drydedd ganrif.

Am Frydain, lle yr oedd coelgrefydd y Derwyddon mor gadarn a llwyddiannus, mae traddodiad yn cadarnhau, mai yr Apostol Paul a fu yma yn pregethu Crist gyntaf i'r trigolion. Pa un bynag, mae yn ddigon amlwg, yn yr hanes a roddir i ni gan amryw o'r hen dadau eglwysig, fod yr Efengyl yn cael ei phregethu yn Brydain fawr cyn yr ail ganrif. Mae hen awdwyr yn tystiolaethu fod un o Dywysogion Brydain, yr hwn a fu yn ymladd naw

mlynedd â'r Rhufeiniaid yn ei wlad ei hun gael yn y diwedd ei orchfygu,'a'i gymmeryd yn garcharor, efe a'i holl deulu, a'i gludo mewn cadwynau i Rufain, ac yno y daethant yn adnabyddus â'r cristionogion; ac ar eu dychweliad yn ol i'w gwlad eu hun, yn y flwyddyn Oed Crist 62, iddynt daenu ar led grefydd Crist, yr hon a dderbyniasent yn Rhufain. Hefyd, fod amryw o Gristionogion, o Rufain, ymysg y rhai mae yn debyg fod Paul ei hun, wedi dychwelyd gyda hwynt i Frydain, a'u cynnorthwyo i wneud yn hysbys i'r trigolion Efengyl yr iachawdwriaeth.

Dywedir mai boneddiges o'r teulu a soniwyd uchod, oedd Claudia, yr hon y dywed Paul yn ei ail Epistol at Timotheus ei bod yn ei annerch, 2 Tim. 4. 21., yr hon a enwid yn Brydain, ei gwlad ei hun, yn Gwladus, sef Gwladus Ruffudd: canys y Cymry oedd prif breswylwyr Brydain y pryd hyny. O Rufain yr ysgrifenodd Paul yr Epistol hwn, ac yr oedd Claudia yno y pryd hyny, ac wedi ei hennill i broffesu y ffydd gristionogol, fel y mae yn amlwg wrth ei chyfarchiad caredig at Timotheus.

Mewn perthynas i eilunaddoliaeth y Derwyddon (*Druids*) y rhai oeddynt yn wreiddiol sefydledig yn Mrydain, yn gystal ag yn Gaul, (*Ffrainc*), mae hen Hanesydd Cymreig yn hysbysu fod eilunod ei wlad ef mor liosog ag eilunod yr Aipht, ac yn hollol mor wael a gwrthun; a'i fod ef ei hun wedi gweled rhai o honynt, y rhai a gadwesid yn ofalus er y cynoesoedd i fod yn goffadwriaeth i'r genedl. Ymerawdwr Rhufain, Claudius, fodd bynag, yn y flwydd yn 61, a barodd i'r holl Dderwyddon, y rhai a allodd efe gael gafael arnynt, i gael eu lladd, a'u holl lwyni derw dan gysgod y rhai yr eilun-addolent, i gael eu dinystrio. Hyn a wnaeth efe, nid oddiar un argyhoeddiad o'u cyfeiliornadau fel eilun addolwyr; ond oddiar ei fod wedi cael allan drwy amrywiol brofion mai y Derwyddon ofergoelus oedd ei brif elynion, a'u bod yn barhaus yn annog y bobl i wrthryfela yn erbyn iau Rhufain.

Ond yn y dyddiau rhyfelgar hyny, nid oedd llwyddiant a chynydd yr Eglwysi Cristionogol yn Mrydain ond araf ac anniben iawn. Ac nis gallwn gael hanes eu bod wedi cael eu sefydlu, a'u cadarnhau hyd ddyddiau heddychol llywodraeth Cwstenyn fawr, Ymerawdwr Rhufain. Ac nid yw y rhan hon o'r Hanesiaeth i gyrhaeddyd ond o ddyddiau yr Apostolion hyd amser heddychol yr Ymerawdwr Cristionogol nodedig hwnw.

(I'w barhau.)

---

YR HEN DESTAMENT YN GYSON A'R NEWYDD.

'Yr holl eneidiau y rhai a ddaethant gyda Iacob i'r Aipht, yn dyfod allan o'i lwynau ef, heblaw gwragedd meibion Iacob, *oeddynt* oll chwe enaid a thriugain. A meibion Ioseph y rhai a anwyd iddo ef yn yr Aipht, *oedd* ddau enaid: holl eneidiau tŷ Iacob, y rhai a ddaethant i'r Aipht, *oeddynt* ddeg a thriugain,' Gen. 46. 26, 27.

Y mae anghydfod ymddangosiadol rhwng adroddiad Moses yn yr *adnodau hyn*, a'r eiddo Stephen yn Act. vii. 14. un yn gosod allan rifedi y personau a ddaethant i'r Aipht yn ddeg a thriugain, a'r llall yn bymtheg a thriugain.

Amrywiol ffyrdd o roddi cyfrif am y gwahaniaeth a gynygiwyd, ond yr eiddo Dr. Hales a feddyliwyd yn fwyaf boddäol, ac yn wir, nid ydyw yn gadael yr esgus lleiaf dros haeru gwrthddywediad rhwng y ddau ysgrifenydd. Y mae fel y canlyn:—Adrodd odd Moses fod yr holl eneidiau y rhai a ddaethant gyda Iacob i'r Aipht, *yn dyfod allan o'i lwynau ef,* (oddieithr *gwragedd* ei feibion), yn chwe enaid a thriugain, a'r cyfrif hwn a gesglir fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Plant Iacob, unmabarddeg ac un ferch | 12 |
| Meibion Reuben .................. | 4 |
| ——— Simeon .................. | 6 |
| ——— Lefi .................. | 3 |
| Tri mab a dau ŵyr Iudah .......... | 5 |
| Meibion Isachar .................. | 4 |
| ——— Zabulon .................. | 3 |
| ——— Gad .................. | 7 |
| Pedwar mab, un ferch, a dau ŵyr Aser | 7 |
| Mab Dan .................. | 1 |
| Meibion Naphtali .................. | 4 |
| ——— Beniamin .................. | 10 |
| | 66 |

Os at y chwech a thriugain plant, wyrion, ac or-wyrion, y chwanegir Iacob ei hun, Ioseph, a'i ddau fab a anwyd yn yr Aipht, y cyfanswm fydd deg a thriugain, sef holl

deulu Iacob a sefydlwyd yn yr Aipht (fel yr adroddir yn ad. 27). Gadawyd allan o'r adroddiad hwn *wragedd* meibion Iacob, y rhai a ffurfient ran o'r tylwyth, *yr oeddent* yn naw *mewn rhif*; o herwydd o ddeuddeg gwraig y deuddeg mab, yr oedd gwraig Iudah wedi marw (Gen. xxxviii—12), a'r un modd yr eiddo Simeon fel y gallwn gasglu oddiwrth ei fab ieuengaf, Saul, o'r Ganaanees (Gen. xlvi. 10), a gwraig Ioseph oedd eisoes yn yr Aipht, chwaneger y naw gwragedd hyn at y chwech a thriugain, *yna gwna* bymtheg enaid a thriugain, *sef* holl rifedi tylwyth Iacob a aethant i waered gydag ef i'r Aipht; cyfateba 'n fanol gyda'r adroddiad yn y Testament Newydd, fod Ioseph wedi anfon am ei dad Iacob, *a'i holl genedl* yn cyraedd i *bymtheg* enaid *a thriugain*:—Yr ymadrodd, *ei holl genedl*, yn cymeryd i mewn y gwragedd y rhai oeddynt genedl Ioseph nid yn unig trwy berthynas, ond hefyd trwy waedoliaeth: tebygol eu bod o deuluoedd Esau, Ismael, neu Ceturah. Fel hyn y cyflawna y Testament Newydd esboniad tra hoffus ar yr Hên.—'*Examination of Scripture difficulties by William Carpenter.*'

*A·r ·* CEPHAS

YR YSGOL SABBATHOL.

*Hanes yr Ysgol Sabbathol perthynol i'r, Trefnyddion Calfinaidd yn Nosbarth Llanlluan, Swydd Gaerfyrddin.*

Mae yr Ysgol Sabbathol yn rhagori ar bob Ysgol arall, yn ei rheolau—ei dydd—ei Llyfr, ac yn ei rhadlonrwydd, a'i chyfattebolrwydd i amgylchiadau y rhai a ddysgir ynddi. Llais eglur pob ysgol arall yw 'dygwch fy ngwerth;' ond hon yn ei gwahoddiadau sydd yn gweiddi, Addysg i bawb, 'heb arian ac heb werth,' 'Pwy bynag a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim.'

Rhagora yr Ysgol hon yn ei chyffredinolrwydd ar bob Ysgol arall. Yma y mae pob gradd, o'r Pendefigion hyd y rhai troednoeth ar y ddaear; a phob oedran, o'r plentyn sugno hyd y dyn briglwyd. Y mae yn ei deiliaid yn tebygoli i'r dyrfa ryfeddol a weloddd Ioan gynt, 'Tyrfa fawr yr hon ni allai neb ei rhifo, o bob llwythau a phobloedd ac ieithoedd.' Mae'r cwmmwl bychan hwn, a dderchafodd o'r môr yn y fl. O. C. 1780, wedi ymledaenu, mewn modd anhygoel eisoes; a chyn hir fe ireiddir bro yr Iâ, â brasder y cwmmwl hwn, nes y byddo yr hen ddiffaethle oesol fel gardd paradwys. Prysuro y mae y cyfnod dedwydd hwnw 'pryd na ddysgant bob un ei gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, adnebydd yr Arglwydd, oblegid hwynt hwy oll a'i hadnabyddant ef o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf.'

Nifer y gwahanol Ysgolion a berthynant i'r Dosparth uchod ydyw saith; sef Llanlluan, Cefn berach, Pentwyn, Llanedi, Hendre, Llandebie a Bettws: eu llafur a'u cyfrifon am y Flwyddyn aeth heibio sydd fel y canlyn.

| Ysgol | Arolyg. | Athr. | Ysgolheig. | Pen. | Adn. | RhoddMam | Pynciau. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Llanlluan . | 2 | 10 | 94 | 1365 | 5831 | .... | 2 |
| Cefn berach | 1 | 8 | 48 | 268 | 561 | .... | .... |
| Pentwyn .. | 3 | 10 | 133 | 3350 | 2602 | .... | 2 |
| Llanedi .. | 2 | 12 | 78 | 669 | 146 | .... | 2 |
| Hendre . | 2 | 8 | 103 | 1906 | 7038 | 236 | 2 |
| Bettws .. | 2 | 8 | 90 | 665 | 3698 | .... | 2 |
| Llandefie | 1 | 2 | 10 | 259 | 414 | .... | 2 |
| Y cwbl .. | 13 | 58 | 556 | 8482 | 18290 | 236 | 12 |

Cynnaliwyd ein Cyfarfod blynyddol ar ddydd Llun y Pasg diweddaf, yn Llandebie. Ac ar ddydd Nadolig cyfarfodydd y Dosparth mewn dau o wahanol fanau, sef Pentwyn, a Llanedi. Y boreu yn Mhentwyn am 10, dechreuwyd trwy adrodd Ps 111. gan un o aelodau Ysgol y lle; yna gweddiodd Mr. David Hopkins, Llanlluan; a holwyd Ysgolion Pentwyn a Llanlluan ganddo. Y gyntaf ar Sancteiddrwydd a Chyfiawnder Duw. Y llall ar Ddyledswyddau Rhieni at eu plant, a'r Plant at eu Rhieni. Ac annerchwyd y gynnulleidfa oddiwrth Iago 1. 21—25, gan yr un: ac wedi canu mawl i Dduw ymwahanasant mewn modd siriol a sobr, dan raddau o argraffiadau y gwirioneddau a adroddwyd ganddynt.

Am 10, yr un diwrnod, cyfarfyddodd y rhan arall o'r Dosparth, yn Ebenezer, Llanedi. Dechreuwyd trwy adrodd Gen. 1.

gan un o aelodau Ysgol y lle. Yna gweddiodd Mr. B. Thomas, Hendre. Holwyd Ysgol Ebenezer, ac Ysgol yr Hendre, gan y Parch. J. Evans, Llandeilo. Y cyntaf ar Amser, a'r olaf ar natur a drwg pechod; a thraddodwyd pregeth addas ar yr achlysur gan yr un, oddiwrth Ps. 1. 2.

Am hanner awr wedi 2, ymgynnullwyd, a dechreuwyd trwy adrodd Ps. 9. gan un o aelodau Ysgol Llandebie. Gweddiodd Mr. D. Morris, Hendre. Holwyd Ysgol Llandebie gan Mr. B. Thomas, Hendre, ar Ddyoddefaint Crist, ac Ysgol y Bettws, gan Mr. D. Morris, Hendre, ar Eiriolaeth Crist: a dywedodd ychydig mewn modd sobr a difrifol, wrth yr ieuenctyd, ac eraill o'r gwagddyfodolion, yn nghylch y gweddeidd-dra sydd yn ofynol, wrth ymarferyd â'r Gair Sanctaidd, ac am y galwad neillduol sydd yn bresenol ar bawb i ddyfod allan 'yn gynnorthwy i'r Arglwydd, ïe yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn,' trwy ymuno a'r sefydliadau daionus diweddar sydd yn y wlad, i'r dybenion. Yna annerchwyd gorseddfainc y gras gan Mr. B. Thomas, Hendre, o barthed llwyddiant yr amrywiol sefydliadau clodwiw sydd yn ein gwlad, er gwella'r byd, a sobreiddio ein cydoesolion, yn enwedig o barthed llwyddiant y *Gymdeithas Ddirwestol*, a'r *Ysgolion Sabbothol*, fel y byddo 'i deyrnasoedd y byd i ddyfod yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef;' a thebygol mae'r rhai hyn y lyw Echelau olwynion diwygiad y Mil Blynyddoedd. Felly ymadawsom y tro hwn hefyd, dan arwyddion neillduol o bresenoldeb ein Duw, ac megys a hiraeth yn mhob calon am gyfarfod drachefn, 'Deled dy deyrnas.'

UN O BLANT YR YSGOL.

*Hendre, Ion.* 15, 1838.

BYWYD Y DYN DEDWYDD.

Y dyn dedwydd a anwyd yn ninas Adenedigaeth, yn mhlwyf Edifeirwch: efe a addysgwyd yn ysgol Ufudd-dod; ac y mae yn awr yn byw yngwlad Dyfal bara, ac yn dilyn y gelfyddyd o Ddiwydrwydd. Heblaw hyny, y mae ganddo etifeddiaeth yn ngwlad Boddlonrwydd, ac yn fynych efe a weithia orchwylion o Hunan ymwadiad. Ei wisg ydynt ddillad syml Gostyngeiddrwydd. Efe, yn fynych, a rodia wastadedd Hunan-ddarostyngiad, ac ar amserau a ddringa fynyddoedd Gofal ysprydol. Torymprydia bob boreu ar weddi ysprydol, ac a swppera bob prydnawn ar yr unrhyw. Y mae ganddo fwyd i'w fwyta na wyr y byd oddiwrtho; a'i ddiod ydyw 'didwyll laeth y Gair.'

Fel hyn dedwydd y bydd fyw, a dedwydd y bydd marw. Dedwydd yw efe, yr hwn y mae ganddo ymostyngiad efengylaidd yn ei ewyllys, trefn ddyledus yn ei serchiadau, heddwch gwirddwys yn ei gydwybod, gras sancteiddiawl yn ei galon, ian y *Gwaredwr* ar ei wddf; y byd dan ei draed, a choron gogoniant ar ei ben.

Dedwydd yw bywyd y fath un: ac mewn trefn i'w gyraedd gweddia yn wresog, cred yn ddiysgog, dysgwyl yn amyneddgar; gweithia yn ddiwyd, bydd fyw yn sanctaidd, marw beunydd, câr *Grist*, gan barhaus ddisgwyl am ogoniant.

*Glan Frogwy, Mon.* CYF. I. CWYLLOG.

COFIANT MR. WILLIAM WILLIAMS, GARNEDD GOCH, MON.

Ganwyd W. Williams yn y flwyddyn 1770. Tywyllwch i raddau mawr, oedd y pryd hyny yn gorchuddio'r wlad; a'i thrigolion, gan mwyaf, yn cyflawni gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, megis chwareu y bel-droed, a chyffelyb bethau, ar y Sabbathau. Ac oherwydd fod William Williams yn un o gyfansoddiad corphorol cryf, ac o dymherau bywiog, blaenorai ei gyfoedion yn y chwareuyddiaethau a'r gorchestion a arferid yn yr Ynys. Ymhen yspaid wedi iddo fyned i'r sefyllfa briodasol ymwelodd yr Arglwydd yn rasol a'i wraig, trwy yr hyn y tueddwyd ei meddwl i ymofyn lle yn Eglwys Dduw. Bu hyn yn achlysur i'r diafol gyffroi meddwl W. Williams, a chynhyrfu ei elyniaeth at grefydd, ac i rwystro ei wraig yn ei gyrfa ysprydol.

Eithr cyn nemawr o ddyddiau cyffyrddodd Duw a'i galon yntau, a galwodd ei feddwl at ei gyflwr fel pechadur, ac yn neillduol i ystyried ei duedd a'i ymddygiad erledigaethus. Tarawyd ef (megis Saul o Tarsus) ar y ddaear, gwnawd cyfnewidiad trwyadl a disymwth arno, a chlybuwyd ef yn ostyngedig erfyn, pa beth a fynai yr Arglwydd iddo ei wneuthur. Pan oedd tua

25in oed, aeth dan grynu i gynnyg ei hun i sylw a gofal yr Eglwys, a ymgynnullai yn y dyddiau hyny mewn tŷ bychan gerllaw Llanddaniel. Yn ganlynol i hyny, derbyniodd achos yr Arglwydd i'w dŷ, byddai pregethwyr yn rhoddi eu cyhoeddiad i fyned yno i bregethu, a'r Arglwydd yn rhoddi arwyddion neillduol o'i foddlonrwydd ar y gwaith.

Oherwydd idde agor ei ddrws, i achos cyhoeddus yr efengyl, ymgynhyrfodd uffern yn ofnadwy yn ei erbyn, a chododd erledigaeth gref arno. Bygythiwyd y byddai raid iddo ymadael a'i fferam, oni chyfnewidiai ei ymddygiad. Ond er hyny, cyflawni ei ddyledswyddau crefyddol, yn ddirgelaidd a chyhoeddus a wnaeth efe, megis cyn hyny, hyd oni esgorodd y bygythion ar eu cyflawniad. Gan nad oedd ganddo un man i fyned gyda ei deulu, ymbiliai lawer am gael aros yn ei le, ond yn hollol ofer. Un tro aeth yn mhell oddicartref, i ymddiddan ag un o Oruchwilwyr ei feistr tir, yr hwn a'i cadwodd allan am ddiwrnod cyfan yn y rhew a'r eira, cyn rhoddi unrhyw atteb iddo; a phan ei galwodd atto, gofynodd iddo, a oedd efe yn gweddio? O ydwyf, meddai yntau, 'oherwydd y mae pob duwiol yn gweddio.' Dioddefodd ei holl erledigaethau yn dawel, a chymmerodd ei droi o'i fferam yn llawen, heb olwg ar un lle i fyned gyda ei deulu. Eithr yr Arglwydd, yn ol ei arfer i'w ffyddlon weision, a agorodd ddrws mewn rhagluniaeth, iddo i fyned i'r Garneddgoch, lle y bu hyd ddydd ei farwolaeth.

Pan oedd ynghylch 30in oed, neillduwyd ef yn Henuriad eglwysig, a bu yn ffyddlon a defnyddiol yn y swydd hon, hyd angau. Anfonwyd ef amrywiol weithiau dros y wlad, i Gymdeithasfâau Chwarterol, i ymofyn cyhoeddiadau, &c. a byddai yn wastad yn dra llwyddiannus. Bu yn cyd-deithio ag amryw o'r pregethwyr trwy'r Gogledd a rhanau o'r Deheudir. Fel cristion a blaenor, rhagorai ar lawer. Er maint ei drafferthion gyda'r byd, yr oedd yn nodedig am ddyfod i foddion gras, (os byddai gartref). Gadawai ei holl oruchwylion tymhorol i ddyfod iddynt, a thystiai mai ynddynt yr oedd ei fywyd a'i ddiddanwch. Yr oedd yn dra gofalus am waith yr Arglwydd, yn ei bethau allanol a thufewnol. Cynghorai a chalonogai bregethwyr i fod yn llafurus a ffyddlawn yngwaith y weinidogaeth; anfynych y gwelid neb a siriolai gymmaint ar feddyliau pregethwyr dieithr.

Yr oedd yn rhagorol o dosturiol wrth dlodion; ystyriai eu hamgylchiadau, a chyfranai yn haelionus i'w dianghenu. Y mae tlodion y plwyf yn parhau i gwynfan yn alarus ar ei ol. Fel yr oedd yn nesu at ben ei daith, ymddangosai yn fwy tirf ac iraidd, o ran ei yspryd. Y troion diweddâf y bu yn gweddio yn gyhoeddus, yr oedd ei wasgfa, ei daerineb, a'i nefoleidd-dra, yn tynu sylw pawb oedd yn gwrando. Fel yr oedd efe yn ymddiddan a rhyw frawd, am y byd tragywyddol, dywedai, 'mai trwy ddrych, mewn dammeg, yr oedd yn gweled yma, ond yno, wyneb yn wyneb; yn awr yr wyf yn adnabod o ran, ond yna yr adnabyddaf megis y'm hadweinir. Nid amlygwyd i ni etto, beth a fyddwn: eithr gwyddom pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn ei weled ef megis ag y mae.' Ni chafodd ond byr ac ysgafn gystudd, a braidd y gellir dweud iddo deimlo loesion marwolaeth, gan mor esmwyth yr olwg arno yn huno yn yr Iesu. Bu farw y 24in o Awst, 1836, yn 66in oed. Yr hwn oeddwn, GYD-HENURIAD.

---

## COFIANT AM WILLIAM JONES,

*Aberca eg, Llanllechid, Swydd Gaernarfon,*
*(y rhan gyntaf o'i waith ef ei hun.)*

'Fe'm ganed yn Mawrth 1775; enw fy nhad oedd John Roberts, yr hwn oedd yn byw mewn lle a elwir Plasdu yn mhlwyf Llanllyfni. Yr oeddwn yn un o ddeg o blant iddo. Pan oeddwn yn 10 oed, bu farw fy nhad, a phan oeddwn yn 17 oed, bu fy mam farw; ac ar ei marwolaeth hi, ymadawais o'r Plasdu i Llanllechid.

'Yr oeddwn y pryd hwnw mor dywyll a diofal ynghylch fy enaid a phe buaswn heb fod yn feddiannol arno; nis gwyddwn ddim gwahaniaeth rhwng dyn yn pregethu ac yn gweddio oni welwn ei lygaid yn agored; ac ni wyddwn ychwaith ragor rhwng y testyn a'r bregeth.

'Pan oeddwn tua 18 oed aethum i wrando Mr. Ishmael Jones yn pregethu i le a elwir Tai'nycoed, a phan oedd yn son

am y damnedigion yn uffern, effeithiodd gymaint arnaf nes y torrais allan i wylo; er hyny yr oedd arnaf ofn i'm cyfoedion fy ngweled rhag iddynt fy ngwawdio. Cafodd ei bregeth y fath effaith arnaf fel y bum dros flwyddyn yn hynod o sobr. Pan awn i wrando pregeth yr amser hwnw byddai y gair yn cael effaith ddwys ar fy meddyliau, ond ymdrechwn i ddiffodd a llwyr-fwrw o fy meddwl bob ystyriaeth o'r pethau a berthynent i'm heddwch tragywyddol. Un tro aethum i wylmabsant, yr hyn oedd beth cyffredin yn yr ardaloedd y pryd hyny, ond gwasgodd pethau ar fy meddwl am fy nghyflwr nes yr aeth yn rhy boeth ac annoddefol i mi aros yno; aethum adref oddi yno a bu o hyny hyd y boreu yn radd o uffern ar fy meddwl.

'Yn fuan ar ol hyn aethum i wrando ar y Parch John Elias yn pregethu ar y gair hwnw, "Ydwyf yr hwn Ydwyf." Dywedodd fod yr Arglwydd yn ddigyfnewid byth, yn enwedig y 'nghosbedigaeth y damnedigion yn uffern; gwaedodd hyn fy nghlwyfau ac agorodd fy mriwiau mor ddwfn ag erioed. Ar ol hyny byddwn yn myned allan i leoedd dirgel i weddio, ond os clywn y twrf lleiaf codwn i fynu rhag i neb fy-ngweled. Yn fuan wedi'n aeth yr ymrysoniadau yn llai, a'r ystorm yn dawelach, a'r pregethu yn ddistawach wrthyf Byddai y gair hwnw yn ddwys ar fy meddwl ar brydiau, "Nid ymrysona fy Ysbryd i â dyn yn dragywydd," a byddwn yn ofni y cawn fy rhoddi i fynu am byth oherwydd fy ngwyrthwynebiadau.

'Pan oeddwn yn 21 oed, cefais y fraint o fyned i dŷ Dduw; ac yr wyf yn rhyfeddu ei amynedd yn curo mor hir wrth ddrws ei elyn, ac na buasai yn fy nammio yn dragywyddol. Ymrysonodd â mi dros dair blynedd, a chefais le i feddwl iddo orchygu fy nghyndynrwydd. Bum dri chwarter blwyddyn o dan Seinai heb y llewyrch lleiaf, ond, diolch i Dduw, gwawriodd arnaf cyn fy myned i'r tywyllwch eithaf Bu pelyderau haul cyfiawnder yn effeithiol ar fy enaid i'm bywhau a'm ffrwythloni mewn rhan fel ag i ddyfod ar fy meddwl yn mhen ychydig gyda dwy flynedd i godi ysgol sabbathol yn ardal Llandegai a Llanllechid. Yr oedd cywilydd ar y cyffredinolwydd o drigolion yr ardal fel na ddeuent iddi. Yn y cyfamser bernais oddi wrth hyny y buasai ysgol yn y nos yn fwy effeithiol i gael pobl iddi; ac felly y bu, daeth aml un iddi.

'Y fan y dechreuais yr Ysgol oedd Tre'r garth; ni buom yn amddifaid o bresenoldeb Duw gyda ni, ond rhoddodd ei foddlonrwydd arnom mewn modd neillduol. Cymmerodd diwygiad le ymhlith y plant, ac mae arwyddion neillduol ar amryw o honynt hyd heddyw fod yr Arglwydd am eu hachub. Yr oedd yr agwedd ar yr Ysgol yn y dechreu yn llesg iawn, nid oedd yno neb a nemawr o ddawn ganddo i ddechreu canu, a byddai raid o'r achos roddi yr un pennill i'w ganu bob tro.

'Tu a'r un amser dechreuais weddio yn uchel wrth fy ngwely yn y tŷ yr oeddwn yn llettya, lle, am a wn i, na bu erioed weddio o'r blaen ynddo; meddyliodd y teulu fy mod bron a myned o'm synwyrau. Yn fuan wedi'n gofynais a gawn gadw dyledswydd; cefais hyny. Ond buan yr aethant i gwyno o achos canwyllau oedd yn cael eu llosgi tra byddem yn darllen a gweddio, ac i symyd y rhwystr hwnw, prynais ganwyllau fy hun i roddi goleuni i hyny. Ond blinasant drachefn, dywedent y byddai arnynt eisiau myned i'w gwelyau, ac iddynt y byddent yn myned; awn innau ar fy ngliniau wrth ddrws eu hystafell, gan fy mod wedi penderfynu ymdrechu i'w henill. Ac i Dduw y bo'r diolch, yr hwn a roddodd fuddugoliaeth ar eu cydwybodau, er iddynt unwaith ddywedyd y cadwent y Bibl o'm dwylaw, am fy mod (meddynt) yn ei ddyfetha. Ni bu fy ymdrech i godi crefydd yn y teulu yn gwbl ofer, cefais cyn hir gydawn dawelwch.

'Yr arferion y pryd hyny yn yr ardaloedd hyn oeddynt *pitchio*, cicio pel droed, chware *interlude*, &c. &c. a hyny ar y sabbathau; tyngu a rhegu oedd yn dra chyffredin, heb i neb ddywedyd, "drwg y gwneist." Noswaith lawen fyddai mewn rhyw fan yn yr ardal bob nos sadwrn, a byddai y sul ar ei ol yn cael ei gadw i ganu a dawnsio gan feibion a merched o bob gradd.

'Ni bu tywydd a chyfyngder fy meddwl yn fychan; byddwn weithiau yn soddi cymmaint o ran fy meddwl fel y byddwn

yn llwyr benderfynu fy mod yn amddifad o heddwch Duw a'i ras eadwedigol. Un tro pan oeddwn tua 43 oed, bum o dan glefyd, a phan oeddwn yn dechreu gwellau o hono, daeth y gair hwnw i fy meddwl, 'Nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef.' Cododd hyny derfysg yn fy meddwl fel y penderfynais fy mod yn hollol annuwiol: ond llewyrchodd y gair hwnw i'm meddwl, 'Gollwng ef yn rhydd, mi a gefais iawn,' fel yr aeth yn ddydd ar fy enaid, ac ni theimlais dros hir amser y fath dywyllwch trallodus. Tro arall bu fy meddwl mor isel fel yr anobeithiais yn hollol na chedwid fi byth i fywyd tragywyddol, oddi ar y profiad hwnw gweddiais ar yr Arglwydd os oedd am fy namnio, fel yr oeddwn yn penderfynu ei fod, am iddo wneud hyny heb wybod i fyd nac eglwys, fel na byddai yn orfoledd i'r byd nac yn dristwch i'r eglwys. Ond nid hir y bu heb wawrio arnaf drachefn, gyda'r gair hwnw, 'Efe yw'r Iawn.' Gwelais le i'r euog ffoi, ac i'r llofrydd gael ei fywyd.'

Wedi cael hanes mor fanwl gan y gwr ei hun o'r rhan fwyaf o 'daith yr anialwch,' afreidiol fyddai ychwanegu am ei ddyddiau boreuol, ond rhoddaf ychydig o hanes ei ddyddiau diweddaf. Dewiswyd ef yn flaenor eglwysig ers tua 38 mlynedd, a diau fod gofal mawr arno am borthi praidd Crist. Yr oedd achos yr eglwys ar ei galon, a bu yn ffyddlon a llafurus gyda'r gwaith yn ei holl ranau. Ceryddai yn llym a didderbyn wyneb, ac nid arbedai rhag dywedyd yn erbyn pechod pa un bynag ai yn y byd ai yn yr eglwys y'i canfyddai. Pan fyddai arferion llygredig yn ymddangos o'r newydd yn yr ardal, safai yn eu herbyn a'i holl egni, trwy ddywedyd yn eu herbyn yn y moddion cyhoeddus ac yn yr Ysgol Sabbathol; a diau iddo fod yn foddion i attal llawer ffrwd gref o lygredigaeth a fyddai ar dorri allan. Bu hefyd yn ffyddlon iawn gyda'r Ysgol Sabbathol; diau y bydd y rhybuddion sobr a difrifol a roddodd i'r plant a'r bobl ieuaingc yn ddrain ynghydwybodau llawer o honynt.

Y sul diweddaf y bu byw, dywedodd y Parch. Daniel Jones y genadwri olaf oddi wrtho at yr Ysgol. Dywedai ei fod wedi eu rhybuddio lawer gwaith i ymadael a'u pechodau, ond fod yn alar ganddo feddwl fod yn rhaid iddo farw gan adael llawer o honynt yn annuwiol—y byddai uffern y gwyr ieuaingc a fyddai farw yn annuwiol o Ysgol y Carneddi yn boeth iawn, a'i fod ef wedi eu rhybuddio, yn lân oddiwrth waed pawb oll. Yna dywedai iddo erfyn arno ddywedyd wrthynt drosto, '*Ffarwel! ffarwel!! ffarwel!!!*'

Anhawdd darlunio y sobrwydd a ymddangosai ar bob wyneb bron, a dagrau yr Athrawon, &c. a dystiant eu bod yn colli un oedd anwyl iawn ganddynt.

O ran ei iechyd yr oedd yn hynod o wanaidd er's blynyddau, ac ychydig fisoedd cyn ei farwolaeth trymhaodd i'r fath raddau fel yr oedd ei adferiad yn annobeithiol; ond yr oedd ef yn dawel i ewyllys yr Arglwydd, etto teimlai arno chwant i ymddattod a bod gydâ Christ, am ei fod yn gwybod mai llawer iawn gwell ydoedd. Un tro dywedai, 'Fy Nhad, fy Nhad, y mae'n galed iawn arnaf, a raid i mi fod yma yn hir? ond nid ydyw mor galed a'r haeddiant; mae y gwaethaf wedi myned heibio, mae pob peth yn dda; mae yr heddwch yn isaf, er bod chwerwder yn uchaf. Diolch byth, fy Nhad, beth a wnaethwn pe buasit a'th gleddyf yn dy law uwch fy mhen?'

Tro arall dywedai, 'Y mae arnaf ofn mawr boddloni ar dystiolaeth rhai eraill am fy nghyflwr, heb ei chael yn glir ger bron gorsedd Duw; aml yr annogai eraill i ochelyd yr un peth. Dywedai wrth dair o chwiorydd ieuaingc a aethant i ymweled ag ef;—'Wele, fy mhlant, a oes rhyw beth rhyngoch a'm cyfaill i? beth debygech chwi am Grist? Ymbriodais i ag ef ers 41 mlynedd, ac ni ddattodir y cwlwm byth. Gwiliwch edrych ar un blodeuyn i'w garu yn fwy na Iesu Grist.' Bryd arall pan oedd yn lled gymmylog arno daeth y gair hwnw i'w feddwl gyda llewyrch mawr, 'Nid wyf finau yn dy gondemnio di.' Tro arall dywedai wrth un brawd, mai dydd blin oedd arno, 'ond,' medd ef, 'yr hyn sydd yn gwneud y dydd blin yn orfoleddus yw fod genyf Babell i ymguddio ynddi yn y dydd blin:' ac ychwanegai, '*peth mewn meddiant* sydd yn achos gorfoledd heddyw.'

Ychydig cyn marw dywedai, 'Gollwng, gollwng, gollwng.' Yna erfyniai arnynt ganu yr anthem 'Y cyfiawn drig yn y nef, gyda Duw a'r Oen,' &c. a dywedodd wrth

hen chwaer oedd gerllaw iddo, 'Nis gallwn ni ganu heddyw, ond pe caem yr ochr draw i'r afon canwn cystal a'r goreu o honynt.' A dydd Mercher Medi 13, 1837, cyrhaeddodd ben ei daith yn dangnefeddus. Y nos Wener ganlynol pregethodd Mr. Morris Jones yn ei wylnos, oddiar Iosua xxiii. 14. a thranoeth cyn cychwyn y corph, pregethodd y Parch. Daniel Jones, oddiar 1 Thes. iv. 16. D. LLWYD.

*Pontytwr.*



## Gofyniad.

Syr,—Dymunol fyddai genyf weled yr Emyn rhagorawl a ganlyn, wedi ei gyfieithu i Iaith 'Gwyllt Wallia,' os bernwch yn addas ei osod yn rhyw gwr o'ch Cyhoeddiad.

GOD'S DOMINION AND DECREES.

Keep silence all created things,
And wait your Maker's nod,
The Muse stands trembling while she sings
The honours of her God.

Life, death, and hell, and worlds unknown,
Hang on his firm decree;
He sits on no precarious throne,
Nor borrows leave to be.

The Almighty voice bid ancient night
Her endless realm resign,
And lo! ten thousand globes of light
In fields of azure shine.

He spake—the Sun obedient stood,
And held the falling day,
Old Jordan backward drives his flood,
And disappoints the sea.

Lord of the armies of the sky,
He marshalls all the stars;
Red comets lift their banners high,
And wide proclaim his wars.

Chain'd to his throne a volume lies
With all the fates of men;
With every angels form and size,
Drawn by the Eternal pen.

His providence unfolds the book,
And makes his counsels shine,
Each opening leaf, and every stroke,
Fulfils some deep design.

Here he exalts neglected worms
To sceptres and a crown,
Anon the following page he turns,
And treads the Monarch down.

Not Gabriel asks the reason why,
Nor God the reason gives,
Nor dares the favourite angel pry
Between the folded leaves.

My God, I never long'd to see
My fate with curious eyes;
What gloomy lines are writ for me,
Or what bright scenes arise.

In thy fair book of life and grace
May I but see my name,
Recorded in some humble place,
Beneath my Lord the Lamb.

*Watts's Horæ Lyricæ.*

*C-rf-dd-n* Yr eiddoch, MARA.

## Attebion.

*Atteb i Ofyniad J. Powell am eglurhad ar y geiriau annghynefin, Rhif. 86, tu dalen 46.*

Goddiweddyd—Cael o hyd i un, ei ddal ef.

Cynllwyn—Llechu i'r dyben o ddal un i'w niweidio.

Dieneidio—Lladd. Gyru enaid dyn allan o'i gorph.

Dialydd—Un fyddo am ddial ar un arall.

Gwarchglawdd—Clawdd gwarchae.

Affaith—Euogrwydd. Effaith.

Glwth—Un rheibus am ei fol. Bwyttawr blysig.

Nen—Pen. Y to uwch ben. Pen y tŷ.

Dirwy—Fforfed. Cosp o daliad arian.

Dispaidd—Un wedi ei ddysbaddu.

Damwain—Dygwyddiad. Amgylchiad annisgwyliadwy.

Estron—Un dieithr. Gwr oddi cartref.

Gwala—Digonedd. Hyd ddiwall.

Gwystl—Rhyw beth cydwerth â'r hyn a fenthycier.

Cyfathrachwr—Perthynas nesaf.

Difianiad—Mellni. Deifiad.

Ymbalfalu—Araf deimlo â'r dwylaw.

Esgeiriau—Coesau.

Gwatwargerdd—Testyn gwawd.

Gwarchae—Amgylchu dinas i'w chymmeryd hi drwy orthrech.

Moethus—Mwythus. Un wedi ei ddwyn i fynu gyda thynerwch a mwythau.

Gwehynnydd—'Gwehynnydd dy ddwfr.' Tynwr dy ddwfr. Un a fo yn tynu ac yn cludo dwfr.

Cyngrair—Cyttundeb neu gyfammod trwy lw.

Callestr—'Craig gallestr.' Carreg *Flint.* Carreg dân.

Pwyntiaist—Aethost yn dew iawn. Braseaist.

Briglwyd—Un a'i frig, sef ei ben, wedi llwydo. Un a'i wallt yn dechreu gwynu.

Bryniau tragywyddol—Bryniau oesol. Bryniau meithion a pharhaol.

Myrddiwn—Deng mil.

Ehangydd—Yr hwn a ehango arno. Yr hwn a baro iddo helaethrwydd.

Cenaw—'Cenaw llew.' Llew ieuanc.

Breichiau tragywyddol—Gallu anfeidrol Duw yn gofalu am ei bobl, ac yn eu hamddiffyn hwynt.

Tarian—Offeryn i amddiffyn rhag peryglon rhyfel.

*Att. i Ofyniad Penydarren, Rhif. 86. tu dalen 46.*

Y Gofyniad yw, 'A oes seiliau ysgrythyrol yn gwahardd claddu y marw ar y Sabbath?'

Att. Oes: yn y pedwerydd gorchymyn:—'Cofia y dydd Sabbath i'w sancteiddio ef. Ar y dydd hwnw na wna ddim gwaith.' Gwaith yw claddu y marw, gorchwyl ydyw, i'w gyflawni ynghorph y chwe diwrnod. 'Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith.' Mae torri y bedd yn waith, mae bwrw pridd ar y marw yn waith.

Mae sail i farnu nad oedd dim moddion o ras, na seremoniau crefyddol yn cael eu harferyd wrth gladdu y marw ymysg yr Iuddewon, nac yn yr Eglwys cristionogol hyd amser Pabyddiaeth. Ac mae yn ddigon amlwg fod rhai yn teimlo eu hunain yn rhydd i fyned i gladdedigaeth ar ddydd yr Arglwydd oherwydd fod cymmaint o ddarllen a gweddio yn arferol wrth gladdu y marw yn ein hoes a'n gwlad ni. Ac oni bai hyny, diammeu na theimlynt eu cydwybodau yn rhyddion i fod yn gyfranog o'r ath orchwylion ar y Sabbath. Nid ein bwriad ni yn bresennol yw dywedyd yn erbyn y cyfryw arferiad; ond yn unig ei grybwyll.

Ond mae llaweroedd yn claddu ar y Sabbath rhag colli amser ar ddydd gwaith; mae hyn yn chwanegu y pechod yn ddirfawr. Pa beth? Duw yn rhoddi chwe diwrnod i ni, ac yn cadw dim ond un iddo ei hun, a ninnau yn dewis cymmeryd rhan o'r un diwrnod sanctaidd hwnw at gladdu y marw, a chenym ninnau chwech o ddyddiau at y cyfryw orchwylion!

Ond ar amser o bla peryglus, neu haint echryslawn, megis y *Cholera Morbus*, pan fydd nifer mawr yn meirw, a phan fyddo cadw y marw heb ei gladdu yn peryglu bywyd neu iechyd y rhai byw, yr ydym yn rhydd i ddywedyd y gellir claddu y meirw ar ddydd yr Arglwydd heb anfoddloni Duw; canys 'y Sabbath a wnaethpwyd er mwyn dyn, ac nid dyn er mwyn y Sabbath.' Er hyny, ni ddylai neb fyned i'r cyfryw gladdedigaethau heblaw perthynasau y marw, a'r cyfryw yn unig a fyddo yn angenrheidiol tuag at gyflawni yr orchwyliaeth.

Ar amserau cyffredin, pa bryd bynag y byddo dyn farw, gellir ei gladdu ef, naill ai o flaen y Sabbath, neu ei gadw heb ei gladdu hyd ar ol y Sabbath. Ac felly nid yw claddu yn waith anhepgorol angenrheidiol i'w gyflawni ar ddydd yr Arglwydd, ac oherwydd hyny y mae yn ddigon amlwg ei fod yn drosedd o'r pedwerydd gorchymyn.

CYHOEDDWR.

---

ERCHYLLDRA MEDDWDOD.

1. Meddwdod sydd ddiafol gwenieithus, gwenwyn melus, a phechod hyfrydus. Y dyn meddw nid yw yn ei feddiant ei hun. Meddwdod sy gywilydd cyffredinol y natur ddynol, a gwarth dynolryw. Mae y meddw yn debyg i ddyn yn cysgu ar ben hwylbren ynghanol y môr.

2. Meddwdod a achosir drwy yfed gwin neu ddiod gadarn yn anghymedrol, nes syfrdanu galluoedd yr enaid. Mae y pechod hwn yn dwyn pläau i'r enaid a'r corph. Mae yn ennyn y gwaed â phoethder annaturiol, yr hyn sydd yn codi syched anghymedrol, ac yn peri chwanegiad ar yfed, a'r ffrwyth yw y gymmalwst, y graianwst, coesau llinorog, y ddueg, iselder yspryd, gwyntglwyf, dyfrglwyf, nychdod, a darfodedigaeth, ynghyd â marwolaethau annhymoraidd a disyfed. Beth yw y duedd manwynaidd, (*scrophulous*) a welir ar blant mewn gwlad a thref, ond ffrwyth meddwdod ac aflendid eu rhieni; fel y mae llawer o blant yn gruddfan wrth gario corph afiach ar hyd eu hoes o'r herwydd. Felly, wrth yfed 'iechyd da' i ereill, maent yn colli eu hiechyd eu hunain a'u hiliogaeth.

3. Mae Meddwdod yn hurtio y deall, yn dyrysu y côf, yn gwanhau ansawdd y corph, ac yn gwrthuno ei harddwch. Trwy feddwdod mae dynion yn annhymeru ac yn tanio ysbrydoedd y galon a'r ymenydd, y rhai yw offerynau digyfrwng yr enaid; ac oddiar hyny y mae dychymygion drygionus ac annuwiol yn cyfodi, a thrachwantau afreolus a didrefn yn gwneud dynion yn debyg i'r cythreuliaid mewn drwg. Mae ynglyn â meddwdod anadl ddrewllyd, llygaid cochion, palldod nerth, ymrafaelion cwerylus, a briwiau heb achos. Diar. 23. 21—29.

4. Meddwdod a lygra y gwaed, a fodda yr ysbrydoedd, a lymha y cefn, a wagha y pwrs, ac a orlwytha y cylla. Try y gwaed yn ddwfr, y bwyd yn ddiod, rheswm yn ffoledd, a'r ysbryd yn ewyn, (*froth*). Y pechod ffiaidd hwn, yn fochaidd, a ddieneidia alluoedd dealltwriaeth dyn, ac mewn gair, efe a lygra y ddynoliaeth o'i flaen, canys nid yw pechodau ereill, mintai o honynt, ond megis llaw forwynion yn gweinyddu i hwn.

5. Meddwdod a bair chwydiad a budreddi, o ba herwydd y mae yr Arglwydd ei hun yn achwyn trwy y Prophwyd Esaiah yn erbyn yr offeiriaid a'r phrophwydi, ac eraill, mai trwy hyny yr aethant ar gyfeiliorn, fel y methasant mewn prophwydoliaeth, methasant mewn barn; aethant yn anwybodus, cam-adroddasant eu cenadwri, ac aethant i fagddu. Difawyd hwy gan win; ac fel yr oeddynt hwy yn yfed gwin, yr oedd gwin yn yfed eu synhwyrau hwythau, fel y boddwyd hwynt ynddo. Esa. 28. 7. 8.

Gof. Pa fath bechod yw meddwdod?

Att. 1. Mae yn bechod paganaidd. 'Chwant y cenhedloedd' y geilw Pedr ef. 1 Pedr 4. 3.

2. Mae yn bechod anifeilaidd. Mae yn un o weithredoedd y cnawd; ac yn un o'r rhai gwaethaf o honynt. Gal. 5. 21.

3. Fe'i gelwir yn waith y tywyllwch, Rhuf. 13. 13.

G. Ar ba amser yn gyffredinol y cyflawnir y pechod o feddwdod?

1. Yr amser y cyflawnir ef yw yn y nos, 1 Thes. 5. 7.

2. Yr amser i'w adael ef, 'y nos a gerddodd ymhell, a'r dydd a nesaodd.' Rhuf. 13. 11. 12.

G. Pa effeithiau sy'n dilyn meddwdod?

A. 1. Yn ddufewnol. (1.) Mae yn tynu ymaith galon dyn oddiwrtho ei hun, ac yn ei lyngcu ef i fynu, Esa. 28. 7. (2.) Mae yn tynu ei galon oddiwrth wasanaeth Duw, Hos. 4. 11. (3.) Mae yn ei thynu ymaith oddiwrth farnedigaethau Duw: sef barnedigaethau presennol, Esa. 5. 11, 12. Ac oddiwrth y farn ddiweddaf, a'i ddiwedd ef ei hun Amos 6. 3, 4, 6. (4.) Mae yn magu cynddaredd. Diar. 20. 1. (5.) Mae yn magu chwant a blys allan. Diar. 23. 29—23. (6.) Mae yn syfrdanu dyn, Diar. 20. 1.

2. Ei effeithiau allanol. (1.) Mae yn tro dynion o ffordd iachawdwriaeth, Esa. 28. 7. Mic. 2. 11 (2.) Mae yn cynnyrchu chwydiad ac aflendid o bob math. Esa 28. 8. (3.) Mae yn cynnyrfu yspryd gwawd a dirmyg, Psal. 69. 12. (4,) Mae yn peri tafliad allan o gymdeithas y duwiol 1 Cor. 5. 11. (5.) Mae yn peri tlodi a newyn, Diar. 21. 17. Ioel 1. 5. Diar. 23. 21. (6.) Mae yn magu cyflawnder o ofidiau, Diar. 23. 29. (7.) Mae yn codi ymrafaelion ac anghydfod, Diar. 20. 1. Hos. 7. 5. (8.) Mae yn dodi dyn yn agored i beryglon ac enbydrwydd annhraethadwy, Diar. 23 32, 34. (9.) Mae yn dwyn melldith a digofaint Duw yn gyffredinol, Esa. 5. 11. a 22. 13, 14. (10.) Mae yn dwyn damnedigaeth enaid a chorph, 1 Cor. 6. 10. (11.) Mae yn hollol groes i effeithiau yr Efengyl ar galonau pechaduriaid, Tit. 2. 11, 12. (12.) Mae gormodedd o win a'r Yspryd Glan yn hollol groes ac anghyttun a'u gilydd, fel nas dichon neb fod wedi eu llenwi â'r ddau, Eph. 5. 18. (13.) Mae meddwdod yn gospadwy wrth gyfreithiau Lloegr: y dirwy yw pum swllt, neu gyffion. Am ail droseddiad gellir rhwymo yr euog i ymddygiad addas.

EGLURYN O GYFIAWNDER DUW YNGHOSPEDIGAETH MEDDWDOD.

1. Trwy feddwdod y gwasgarodd yr Amaleciaid ar hyd wyneb yr holl dir, ac fe laddodd Dafydd agos yr oll o honynt, 1 Sam. 30. 16. 17.

2. Trwy feddwdod Ammon, pan oedd yn llawen ei galon, a laddwyd gan lanciau Absalom, 2 Sam. 13. 28, 29.

3. Trwy feddwdod Benhadad a deuddeg brenhin ar hugain gydag ef, y gorchfygwyd hwy gan Israel, 1 Bren. 20. 1, 16, 20, 21.

4. Trwy feddwdod Belsassar a ymnewidiodd ei wedd, a chymmerodd y Mediaid le deyrnas ef, Dan. 5. 1—30.

5. Trwy feddwdod y meddyliodd Dafydd am gael Uriah adref i guddio y pechod a gyflawnodd, 2 Sam. 11. 13.

6. Trwy feddwdod, Elah, gan i'w was frad-fwriadu yn ei erbyn, a laddwyd, 1 Bren. 16. 9

7. Trwy feddwdod Gaal a'i frodyr a gydfwriadasant yn erbyn Abimelech, Barn. 9. 24. 27, 28, 29.

8. Trwy feddwdod Herod yn ei gyfeddach feddwawl, a barodd dori pen Ioan Fedyddiwr, Math. 14. 6, 7, 8.

9. Trwy feddwdod yr Israeliaid a yfasant nes oeddynt yn sychedig, ac uffern a ddarparwyd iddynt, Esa 5. 12, 13, 14, 16, 18.

10. Trwy feddwdod Noah a ymnoethodd ynghanol ei babell, ac a ddatguddiwyd gan ei fab, Gen. 9. 20, 21, 22.

11. Trwy feddwdod Lot a orweddodd gyda ei ferched, Gen. 19. 31, 32.

12 Trwy feddwdod Nabal oedd a'i galon yn llawen ynddo yn ddisymwth a aeth fel carreg, 1 Sam 25. 36, 37.

13. Trwy feddwdod y Philistiaid a gymmerasant Samson yn wrthrych eu llawenydd a'u gwawd, a'r tŷ a syrthiodd arnynt, ac a'u lladdodd hwynt, Barn. 9 25, 30.

Mae gwae Duw uwch ben y meddwon, Esa 5. 22, 23, 24. Am hyny dybenwn yn ngeiriau ein Harglwydd Iesu Grist, yn Luc 21. 34, 35, 36. 'Edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhau drwy lythineb a meddwdod,' &c.

---

## Y MEDDYG DIRWESTAWL.

### LLYTHYR I.

Hybarch Drysorydd,—Y mae prydferthwch y gemau a dyffithiant eich Trysorfa wedi peri i mi foddiant nid bychan, a theimlais fy nghalon yn llon lawer gwaith o gael ymddifyru yn oriau tywyllion y ddunos yn cynniwair yn nghanol eich perlau; ac o weled hawddgared eich ystafell Ddirwestawl y temtiwyd finau o dro i dro i'ch anrhegu â rhyw bethau, gyda llawn hyder o gael eu trysori i oesoedd a chenhedlaethau, yn dystion bywiog a chywir o aidd a zel plant y diwedd y bedwaredd ganrif ar bymtheg yn erbyn yr *ysprydion* allan hyny, a lethent yspryd a chorph dyn, ac a barent i Yspryd yr Arglwydd g lio!!

Er cymmaint a draethir ac a ysgrifenir am y diodydd gwirfawl, ie, er cymmaint a haerir ac a brofir am eu *niweidiau* dychrynllyd i'r cyfansoddiad dynol, y mae yr hen gyfeiliornad oferwag hwnw; y *lles* sydd ynddynt, yn aros o hyd yn monwesau llawer, ac wedi gwreiddio mor ddwfn, fel nad yw hyawdledd yr areithiwr, na phrofiad y meddyg ychwaith, ond yn eu siglo am y moment, ac wedi hyny y maent yn syrthio i'w cadernid cyntefig. Bum yn synu lawer

tro glywed rhai dynion synwyrawl yn ymhyfhau i ddywedyd 'Na choelient byth nad oes *lles* mewn hanner peint o gwrw,' a hyny efallai newydd weled y cynhyrfydd syfrdanawl o dan offer gywrain y distyllydd yn cael ei ddifynio, a rhan o hono yn dioddef ei haeddiant yn y tân, a rhan arall yn prysur garlamu i'w ystad gyntefig, sef yn ddwfr glân, wedi ei ryddhau o ormes y gelyn, a rhan arall yn chwerwnodd anghyfaddas i'r archwaeth dynol—a'r *lles*, meddaf, wedi diangc mewn cywilydd, yn rhywle o'r bragdŷ i'r darllawdŷ, yn y cymmysgfa bechadurus.

Ac yn awr, Mr. Trysorwr, yr wyf am ofyn eich nawdd chwi i osod ger bron y gwyr a daerant mai llesol yw y diodydd meddwawl rai Llythyrau yn cynwys barnau meddygon ar y pwngc hwn; gan obeithio y bydd iddynt ddarllen, ac ystyried, a barnu drostynt eu hunain.

Un amgylchiad nodedig, yr haerir ac y credir fod diodydd meddwawl yn anhebgorol angenrheidiol ynddo yw i wragedd ar enedigaeth, ac yn amser magwraeth eu plant wrth y fron; ac er bod gan y Dirwestwyr gannoedd o wragedd a brofant ragoroldeb y drefn Ddirwestawl yn yr amgylchiadau hyny, etto y mae ganddynt dystiolaeth meddygon enwog—y *meddygon* a wyddant ansawdd y corph—y *meddygon*, ag ydynt yn hyiwyr gydnabyddus a chywreinrwydd y peiriant dynol—y mae ganddynt air a barn y dynion hyn o'u plaid, fel y canfyddir isod.

TYSTIOLAETH BWYSIG.

'Er hyrwyddiad yr ymdrech daionus a wneir yn y dyddiau hyn er anghefnogi yr ymarferiad o ddiodydd meddwawl, tueddwyd fi, yn gwbl o'm rhydd-ewyllys fy hun, i roddi y dystiolaeth ganlynol ar goedd gwlad. ddarfod i'm diweddar anwyl wraig, er ei bod o gyfansoddiad corphorol gwanaidd, feithrin ein holl blant, yn wyth mewn rhifedi, a'r rhan fwyaf o honynt am naw neu ddeng mis, *heb yfed dim cryfach na dwr a llaeth*. Ni bu iddi yfed chwart o gwrw erioed yn ystod ei bywyd.

'William Tothill, *Consulting Surgeon*,
yn y fl. 78 o'i oedran.

'*Eglam Flith*,
5ed mis (mai) 17eg. 1837.'

'O. Y. Y mae yr holl blant yn fyw yn awr, ac mewn perffaith iechyd, oddigerth un a fu farw yn ddau-ar-ddeg oed. Fy marn bendant i yw, a hyny oddiar sylw manylaidd a phrofiad, fod unrhyw ddiod gryfach na dwfr yn gwbl afreidiol—a bod dim diodydd ereill, oddigerth yn feddyginiaethol, yn amlach yn niweidiol nag ydynt yn llesol,—ac y byddai i lwyrymwrthodiad â phob gwlybwr gwirfawl wneuthur gwellhad mwy yn sefyllfa moesawl a gwladawl dynolryw nag unrhyw foddion eraill pa bynag.'

W. T.

Yn awr, gobeithiwyf y bydd yr hyn a ddyfynwyd uchod wasanaethu yn ddigon o brawf ar y pwngc hwn. Fel hyn y mae un Meddyg yn haeru, a deg yn selio, mai da a chymmwys yw Llwyr ymwrthodiad â diodydd meddwawl bob amser, ac ar bob amgylchiad oddigerth iddynt gael eu gweinyddu yn feddygawl, a hyny ar achosion neillduol iawn.

Wrth ddiweddu fy Llythyr *cyntaf*, mewn gobaith o gael ysgrifenu attoch *ail* a *thrydydd* a mwy ar yr un pwngc pwysig, anrhegaf chwi a'r Ardystiad isod a arwyddwyd gan gynnifer o Feddygon enwog yn y Brifddinas.

'Yr ydym ni, y rhai a arwyddnodasom ein henwau isod, yn datgan ein barn, fod y diodydd distylledig nid yn unig yn afreidiol ond yn niweidiol i ddynion mewn iechyd; ni chynnwysant ddim sylwedd maethlawn; y mae yr ymarferiad beunyddiol o honynt yn demtasiwn gref i fed-wdod, yn achosi llawer afiechyd tost, ac yn peri i ereill fod yn anhawdd i'w gwella, yn arwain i dlodi, i drueni, ac i farwolaeth; a byddai llwyr ymwrthodiad a hwynt, oddieithr i ddibenion meddygawl arbenigawl iawn, yn nerthawl a grymus i daenu moesoldeb ac iechyd ym mysg dynion yn gyffredinol.'

500 o Feddygon enwog yn Llundain.

Gan ddymuno pob llwydd i Ddirwest, a hyder gref y bydd i bob gwrthwynebwr ystyried *egwyddorion*, *dibenion*, ac *effeithiau* y Gymdeithas hon y terfynaf y waith gyntaf,

*Bala.* J. PHILLIPS.

GWELY ANGEU Y MEDDWYN.

(Allan o'r 'Home Missionary Magazine.')

Pa mor fynych bynag y dygir ni at erchwynion gwelyau y meddwon, y mae arswyd y fan, ac erchylldod yr olygfa yn ddigon a pheri i ni beidio eu hanghofio tra byddom byw yn y byd; ond etto y mae cyffredinolrwydd yr olygfa yn gwisgo yr argraph yn fuan, a ninnau, efallai, heb ddwyn ein calon i ddim doethineb oddiwrthi. Ni weledodd neb y meddwyn druan yn disgyn dros geu'lenau afon marwolaeth i'r rhedlif ofnadwy ag sy'n chwyrnellu ei daith ar y gorwaered, ond mewn niwl caddugawl a chorwyntoedd enbydus. Un ysgrifenydd diweddar yn yr '*Home Missionary Magazine*' a rydd yr hanes canlynol, pa un sydd yn gadarnhad cyflawn i'r hyn a nodwyd eisoes. 'Un dyn truenus, wedi treulio oes fwystfilaidd, ac anghymmedroldeb pa un a ddygodd arno y dyfrglwyf, yr hwn a'i torodd ymaith yn ei gryfder yn ddeugain mlwydd oed, sydd newydd fyned i sefyll o flaen gorsedd barn. Ymwelais ag ef lawer gwaith, ond yr oedd mor annheimladwy am sefyllfa ei enaid ag oedd y pren neu y gareg oedd yn ei ymyl. Ar y prydnawn y bu farw bum yn ymweled ag amryw gleifion ereill, ac wrth ddychwelyd adref fe'm goddiweddwyd gan wlaw. Tarawodd rhyw feddwl sydyn fi fod

yn rhaid i mi fyned i ymweled â'r dyn hwn unwaith yn rhagor; gwnaethym felly, ac fel yr oedd yn oeri ac yn oeri deallais yn fuan fod ei ymddatodiad gerllaw. Ond O! pa eiriau a allant ddesgrifio ei sefyllfa ef a'm teimladau innau? Ni welais erioed y fath wrthddrych mor druenus: gwaeddai allan am un mynyd ei fod yn llosgi yn ulw, a'r mynyd nesaf ei fod yn rhewi i fynu. Weithiau dolefai, 'O Dduw! tor yr edau, O! tor yr edau, a gad i mi farw. O! beth a wnaf? I ba le yr wyf yn myned? Rhowch i mi *gin*—O! boenau dychrynllyd marwolaeth dragywyddol. Mam ewch i geisio *gin!* dowch a gwerth chwe cheiniog; neu werth wyth geiniog! Mam, brysiwch yn ol.' Ceisiais ganddo waeddi am drugaredd ar Iesu Grist; a dywedais wrtho fod Iesu Grist yn abl i waredu hyd yr eithaf a chynnygiais fyned i weddi gyd âg ef; ond ymddangosai fod enwi y pethau hyn yn ei boeni ddeng mil o weithiau yn waeth na dim arall. Ymdrechodd i siarad; a chlywais ef yn dywedyd 'Nis gallaf oddef —.' Y frawddeg a dorwyd gan y poenau tumewnol. Cyn gynted ag y gallai lefaru wedi hyny efe a waeddai 'Mam, prysurwch brysiwch,—rhaid iddi—.' Ond cyn iddi ddychwelyd, efe a syrthiodd i ddirdynfa arswydus drachefn; ac wedi ymdrechfa galed ei weddi a atebwyd, 'yr edau a dorwyd,' ac yntau a safodd o flaen gorseddfaingc barn. Gwn nad anghofiaf byth mor olygfa; canys yma gwelais yr adnod hono yn cael ei chyflawni yn llythyrenol 'Y drygionus a yrir ymaith yn ei ddrygioni.'

DON TYDI.

---

NEWYDD DA I DDIRWESTWYR.

Wrth adroddiad y Gyllidfa o barth difethiad blynyddol y Brag gan 12 o brif ddarllaw-wyr Llundain, yr oedd lleihad, y flwyddyn yn diweddu Hydref 10, 1837, wrth ei gydmaru a'r flwyddyn o'r blaen, o *ddeuddeng mil ar hugain, wyth gant, a phedwar ugain a dau o chwarteri.—London Temperance Intelligencer.*

---

EFFEITHIAU ANGEUOL MEDDWDOD.

Ychydig amser yn ol, cafwyd corph gwr o'r enw Charles Morler, oddeutu deugain mlwydd oed, yn gorwedd yn farw ar y grisiau a arweiniai i dŷ ei rieni, No. 5 Paradise Row, Chelsea College, Llundain. Ymddengys i'r dyn hwn fyned o'i gartref ei hun brydnawn ddydd Sul i ymweled a'i rieni, gyda pha rai yr arosodd mewn cyfeddach annuwiol hyd hanner nos Ond gan ei fod yn dra meddw, methodd ei gamrau ar y grisiau, a syrthiodd i'r gwaelod, a thorodd ei wddf. Ei fam oedd y gyntaf un a welodd y corph!! Feddwon, pa hyd? Y'mhob rhith y daw angeu.—*Weekly Chronicle.*

---

*Cyfarfod Chwarterol Cymdeithas Ddirwestol Penllyn, yr hwn a gynnaliwyd yn Llanuwchllyn, Chwef. 8, 9, 1838.*

Yn Nghyfarfod Dirprwyol y Gymdeithas hon penderfynwyd y byddai i Gymmanfa Ddirwestol Gwynedd gael ei chynnal yn y Bala, Mai 22, 23, 1838.

Am 6 o'r gloch, nos Iau, (yr wythfed) dechreuwyd y moddion gan y Parch. C. Jones, (A) Dolgellau, a phregethodd y Parch. L. Edwards, (T. C.) Bala, oddiar Act. 5. 38, 39. a'r Parch. E. Davies (A.) Trawsfynydd, oddiar Act. 17. 19.

Boreu ddydd Gwener, am 8 o'r gloch cynnaliwyd Cyfarfod Dirprwyol. Am 10 Cyfarfod i'r Aelodau pryd y dechreuwyd y moddion gan y Parch. E. Davies, (A.) Trawsfynydd, ac yr areithiodd y Parch. —— Griffiths, (A.) Llanegryn. Mr. D. Davies, (T. C.) Myfyriwr, Bala; Parch. E. Evans, (A.) Abermaw; a'r Parch. R. Jones, (T. C.) Bala; a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. —— Griffiths, (A.) Llanegryn.

Am un o'r gloch trefnwyd yr orymdaith, a'r cantorion a ganent benillion wedi eu cyfansoddi ar yr achlysur.

Am ddau o'r gloch, cynnaliwyd Cyfarfod i Areithio, pryd y dechreuwyd y moddion gan Mr. D. Williams (T. C.) Myfyriwr, Bala; ac yr areithiodd y Parch. D. Charles, (T. C.) Bala; y Parch. — Williams, (A.) Dinas Mowddwy; Mr. Thomas Jones, (T. C.) Myfyriwr, Bala; y Parch. C. Jones, (A) Dolgellau; Mr. J. Jones, (T. C.) Myfyriwr, Bala; a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. D. Charles.

Am 6 o'r gloch, Areithiodd y Parch. R. Jones, (T. C.) Bala; y Parch. E. Davies, (A.) Trawsfynydd; Mr. T. Jones, (T. C.) Myfyriwr, Bala; Mr. J. Jones, (T. C.) Myfyriwr, Bala; y Parch. — Williams, (A.) Dinas, a therfynwyd trwy weddi gan Mr. Daniel Jones, (T. C.) Myfyriwr, Bala.

Chwanegwyd at y Gymdeithas hon lawer o newydd, a rhif presennol Llanuwchllyn sydd uwchlaw 1000; a Dosparth Penllyn sydd uwchlaw 4000. "Rhyfedd yw yn ein golwg ni."

*Llanuwchllyn.* E. EDWARDS.

---

## Y DYSGAWDWR CYFFREDINOL.

VIII.—AM LYWODRAETH A CHYFREITHIAU.

(Parhad tu dal. 338.)

143. Yn ol ein cyfreithiau ni, llofruddiaeth gwirfoddol, ffugiad, (*forgery*), toriad tai, llosgiad tai, lladrad ceffylau a defaid, treisiad, yspeiliad y ffordd fawr, tori ac anafu, mor-ladrad, bathu, a bradwriaeth yn erbyn y brenin, ydynt gospadwy â marwolaeth.

144. Troseddiadau lliosog eraill ydynt gospadwy â marwolaeth; ond y dedfryd yn gyffredin a newidir i alltudiaeth am fywyd: troseddiadau llai a gospir âg

alltudiaeth am saith neu bedair-ar-ddeg o flynyddoedd; a rhai bychain a gospir â charchariad a llafur caled, fflangellu, ac â dirwyau.

145. Dyn a fyddo wedi cyflawni trosedd, a gyhuddir o hono ger bron ynad heddwch, yr hwn a rydd allan ei warant i'r heddgeidwad i ddal y troseddwr.

Yr ynad a'i traddoda ef i ddalfa y sirydd yngharchardŷ y sir, ar lw y cyhuddwr; yr hwn, yn y llŷs barn, a raid adrodd ei gyhuddiad o flaen yr uchel reithwyr. Os cant hwy ef yn gyhuddiad cywir, yna mae yn cael ei brofi o flaen yr is reithwyr, ac wedi ei gael yn euog, mae yn derbyn oddiwrth y barnwr ddedfryd y gyfraith.

146. Cospir â marwolaeth trwy grogi; alltudiaeth a wneir i New Holland; llawer o'r cyfryw ddrwgweithredwyr a ddodir ar waith yn Lloegr ar fyrddau cyff-lestri, neu hen longau, neu mewn Penydfäau. Troseddwyr bychain a ddanfonir i dai cospedigaethol, ac a gedwir mewn llafur caled.

Megis mai y brenin yw gweinyddwr y cyfraithiau, a'r holl ddygiad ymlaen yn cael ei weithredu yn ei enw ef, mae ganddo ef awdurdod i wellâu llymder y gyfraith, a maddeu i droseddwyr.

147. Mae ffurf-lywodraeth Brydain Fawr yn sicrhau rhyddid, yn gystal ag iawn lywodraethiad, y bobl:—

*Oherwydd* nas gall yr un gyfraith gael ei gwneuthur, heb gydsyniad eu cynnrychiolwyr yn Nhŷ y Cyffredin.

*Oherwydd* nas gall yr un dreth gael ei gosod, oddigerth iddi ddechreu, a myned trwodd yn gyntaf, yn y tŷ hwnw.

*Oherwydd* nas gall yr un dyn gael ei gospi, mewn un ffordd, heb gydsyniad pedwar-ar-bugain o'i bendefigion neu ei gydraddolion; h. y., deuddeg o uchel a deuddeg o is reithwyr.

148. Iawnderau cyhoeddus y Brytaniaid ydynt hefyd wedi eu sicrau trwy y Magna Charta, trwy yr Habeas Corpus Act, trwy Ysgrif yr Iawnderau, (*Bill of Rights,*) a thrwy aneirif o gyfreithiau a deddfau a wneuthpwyd yn bennaf yn nheyrnasiad Edward y Cyntaf, a William y Trydydd.

Syl. Y ddwy wlad mwyaf goleu yn Ewrop, wedi cyhoeddi egwyddorion cyffredinol llywodraeth, un mewn arch-ysgrif, a elwir YSGRIF YR IAWNDERAU, yn 1689; a'r llall mewn ADRODDIAD O IAWNDERAU, yn 1789; y ddwy hyn a adchwanegir fel y crynodeb cyflawnaf a lleiaf gwrthddadleuadwy a gyfansoddwyd erioed ar y testynau.

*Yr Arglwyddi ysprydol a thymhorol a Chyffredin Lloegr*, yn gynnulledig mewn cyflawn a rhydd gynnrychiolaid o'r genedl, er amddiffyn a sicrâu eu hen iawnderau a'u rhyddid, (megis yr arferai eu henafiaid wneuthur mewn cyffelyb amgylchiadau,) a adroddasent, yn 1689,

1. Fod y gallu honnedig o ddirymu cyfreithiau, neu i wneuthur cyfreithiau, trwy awdurdod brenhinol, heb gydsyniad y senedd, yn anghyfreithlawn.

2. Fod y gallu honnedig o ddirymu cyfreithiau, neu wneuthur cyfreithiau, trwy awdurdod brenhinol, fel y'i cymmerwyd ac y'i harferwyd yn ddiweddar, yn anghyfreithlawn.

3. Fod y gorchymyn i adeiladu llŷs diweddar y dirprwywyr i achosion eglwysig, a phob Dirprwyaeth a llys arall o'r cyffelyb natur, yn anghyfreithlawn a niweidiol.

4. Fod trethu arian i, neu at wasanaeth y goron, trwy ymhonniad o ragorfraint, heb ganiatâd y senedd, dros hwy o amser, neu yn mhob modd arall heblaw mae y cyfryw yn neu i gael ei ganiatau, yn anghyfreithlawn.

5. Ei fod yn iawn i'r deiliaid i wneuthur erfyniadau at y brenin; a phob math o gospedigaethau ac erlidigaethau oherwydd y cyfryw erfyniadau ydynt anghyfreithlawn.

6. Fod codi neu gadw byddin sefydlog o fewn y deyrnas yn amser heddwch, eithr trwy gydsyniad y senedd, yn groes i gyfraith.

7. Fod i'r deiliaid y rhai ydynt brotestaniaid gael arfau er eu hamddiffyn, cyfaddas i'w hamgylchiadau, sydd ganiatäol trwy gyfraith.

8. Y dylai etholiad aelodau y senedd fod yn rhydd.

9. Na ddylai y rhyddid ymadrodd, a'r dadleuon neu'r gweithrediadau yn y senedd, gael eu cyhuddo na'u holi mewn un llys neu le allan o'r senedd.

10. Na ddylai machniaeth ormodol gael ei gofyn, na dirwyau gormodol eu gosod, na chospedigaethau creulon ac anarferol gael eu rhoddi.

11. Y dylai rheithwyr gael eu rhestru a'u dewis yn deilwng; ac y dylai rheithwyr a fyddont yn rhoddi barn ar ddynion mewn profion am uchel fradwriaethau fod yn uchelwyr.

12. Fod pob goddefiadau ac addewidion o ddirwyau a chamlwrwau (fforffediadau) o bersonau neillduol cyn dyfarniad, yn anghyfreithlawn ac ofer.

13. Ac er mwyn esmwythâd o bob gofidiau, ac er gwellad, cadwraeth, a chadarnad y cyfreithiau, dylai eisteddfodydd y senedd gael eu cynnal yn fynych.

Ac maent yn honni hawl, erchi, ac yn dadleu yn gadarn yr oll a phob un o'r rhagenwedigion, fel eu hiawnderau a'u rhyddid diamheuol; ac na ddylai dim adroddiadau, barnau, cyflawniadau, na gweithrediadau, er niweid y bobl yn yr un o'r gweithrediadau rhagenwedig, mewn un modd gael eu tynu rhagllaw mewn canlyniad nag esampl.

(I'w barhau.)

### GWAREDIGAETH RYFEDDOL.

Ysgrifenais hanes y waredigaeth ryfeddol a ganlyn o enau Cadpen y llong, John Williams, a'r *Mate* Elias Hughes, y rhai ydynt wyr geirwir; a chlywais amryw o Gadpeniaid ereill yn cadarnhau y peth. Felly, chwi ellwch fod yn sicr fod yr hanes yn wirionedd didwyll. Yr eddoch,

*Mostyn Quay.* T. G. JONES.

"Am 6 ar gloch brydnawn ddydd mawrth, y 24ain o Hydref diweddaf, cychwynodd Llong o r enw Peter, Port Beaumaris, Cadpen John Williams, cychwynodd meddaf o Colwyn gerllaw Abergele, yn rhwym i Liverpool, gyda llwyth o gerrig calch. Yn perthyn i'r Llong, ar ei bwrdd hi, yr oedd Cadpen, a *Mate*, ac un llaw, sef John Pritchard; hefyd yr oedd ar fwrdd y llong ferch ieuanc fel *passenger*, o'r enw Ann Roberts, merch Thomas Roberts o'r Llysfaen, yn bwriadu myned i Liverpool.

Ar ol hwylio o ddeutu dwy filltir, cododd yn dymhestl nid bychan, gwlaw a gwynt cryf o'r dehau ddwyrain, ac yn dywyll anarferol, nes oedd y tonnau yn gorchuddio y llestr yn ddidorr. Meddyliasom, meddynt, ysgafnhau drwy daflu y llwyth i'r dyfnder. Gan faint y storm torrodd rhaffau yr hwyl; a thaflodd y tonnau y cwch drwy 'r hwyl. Erbyn hyn, nid oedd dim i'w wneud ond ymdrechu am dynu tu a'r lan, i'r lle y cychwynasom o hono. Nid oedd ond ychydig iawn o reol ar y llong, oherwydd fod yr hwyl yn chwilfriw, a'r tonnau yn gynddeiriog, a'r nos yn dywyll fel y fagddu.

Rhwng wyth a naw ar gloch gwelem ychydig o oleu, yr hwn, fel y deallasom wedi hyny, oedd yn ffenestr Mr. Clough, Min y don, Colwyn. Yna dygwyddodd i'r llong sefyll ar y *gravel* o fewn pedwar rhwd i'r fan y cychwynasom o hono. Yr oedd y môr yn parhau yn dra ffyrnig, a'r tonnau yn barhaus yn gorchuddio 'r llong. Aethom ni ein tri i fynu i'r *mast* neu y *riggings*, i uchder o 4 i 5 llath; er hyny, yr oedd y tonnau mor fawr a'n gorchuddio oll yn aml. Yr oedd y llances wedi ei chau i fynu genym yn y *Caban*, a ni a'i clywsom hi yn awr a phryd arall yn gwaeddi, yr hyn oedd ryfedd genym, gan fod y llong dan y tonnau mawrion er ys cynnifer o oriau.

Am hanner awr wedi deg o'r nos, ar ol i'r môr dreio ychydig, a gadael y llong i raddau, aethom ein tri ar hyd y traeth tua Cholwyn, a chyfarfu a ni bedwar o bysgodwyr a chanddynt lanternau Yr oeddym o'r bron yn methu cerdded gan wlybaniaeth ac oerfel. Gofynasom i'r pedwar dyn am fyned i ymofyn am gorph yr eneth, yr hwn oedd yn y *Caban*. Felly hwy a aethant. Yr oedd y môr wedi cilio erbyn hyn, a hwy a aethant ar fwrdd y llong, ac yr oedd y *Caban* yn llawn o ddwfr. Estynasant eu breichiau i lawr i deimlo am y corph, ond y cwbl yn ofer: methu ei theimlo hi na chlywed dim llais; felly hwy a ddychwelasant. Am hanner awr wedi unarddeg aethom ninnau tua'r llong eilwaith i edrych am yr eneth, ac am ansawdd y llong; ac er ein dirfawr syndod clywem hi yn gwaeddi am ymwared o i chyfyngder a'i mawr bergyl. Parodd hyn ddychryn nid bychan i ni oll, gan fod y llong er ys cyhyd o oriau o dan ddwfr.

Estynodd Elias Hughes ei fraich drwy y *sky light*, a chafodd afael yn ei llaw, a thynwyd ei phen i'r twll, canys yr oedd yn rhy fychan i'w chorph, a dodasom ein breichiau o dan ei breichiau hi, i'w dal felly nes cael Saer coed o Golwyn i dynu ffrâm y *sky light* allan. Bu fel hyn am hanner awr, a i phen allan, a'i chorph yn y dwfr, a hanner troedfedd rhwng ei thraed a'r llawr; o'r diwedd cawsom hi i fynu, a chariwyd hi yn hanner marw mewn trol i dŷ Mr. Williams, Siopwr, Colwyn, yr hwn a ymddygodd yn dirion iawn wrthi.

Yr ydym yn barnu mai fel hyn y bu iddi gael ei bywyd:—Yr oedd Cwpbwrdd wedi ei hoelio ar yr ystlys y tu fewn i'r *Caban*; ac yr oedd drws hwnw yn agored. Safodd hithau ar fainc yn y *Caban*, a'i breichiau a'i phen ar ben uchaf drws y Cwpbwrdd. Daliodd ei phen yn gam, a'i genau ar ben uchaf y *Caban*, ar yr un pryd yr oedd oll o dan ddwfr ond ei hwyneb, yr hwn oedd iddo wagle o ddeutu tair neu bedair modfedd yn y pen uchaf i'r Caban, i anadlu ynddo: yr oedd y *Caban* yn llawn dwfr ond hyny o fodfeddi yn y fan lle yr oedd hi yn sefyll. Yr oedd hwn yn lle bychan iawn iddi hi gael ei hanadl am gynnifer o oriau meithion. Un o'r pethau rhyfeddaf yw ei bod wedi ei chadw yn fyw. Hi fu yn hir yn sal iawn; ond yn awr y mae hi wedi dyfod yn lled iach. Rhyfeddol yw trefn Rhagluniaeth ddoeth a daionus Duw y nefoedd. "O na foliannem yr Arglwydd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion!"

## Hanesiaeth Cenhadol.

### MADAGASCAR.

*Erledigaeth a Merthyrdod yn Madagascar.*

Mae hanes Ynys fawr Madagascar yn hysbys bellach i'n darllenwyr. Ar ol marwolaeth y Brenhin, yr hwn oedd amddiffynwr i ddysgeidiaeth a Christionogaeth, dangosodd y Frenhines, ei weddw ef, ei bod hi o wahanol ysbryd. Cyfododd amryw o wyr mawr yn y Wladwriaeth gynnwrf yn y llywodraeth, drwy hysbysu eu barn i'r Frenhines, mai os goddefai hi i'r Cenhadon i fyned ymlaen fel yr oeddynt yn nyddiau ei gwr, y dadymchwelid holl hen arferion y wlad, a'n crefydd, ac na fyddai dim yn Madagascar cyn hir ond enw Iesu a'r grefydd Gristionogol yn cael son am danynt.

Hithau yn tueddu i feddwl yr un modd a hwy, hi a roddes allan orchymyn caeth,

na chai Cenhadon yr Efengyl ddysgu dim yn chwaneg ar ei deiliaid hi; na chaid cadw un cyfarfod i addysgu na phregethu o hyny allan. Hyn a wnaed yn y flwyddyn 1835. Ni feiddiai erlid y Cenhadon o Frydain; ond hi a'u hattaliodd hwynt yn hollol rhag gweithredu.

Ymhen ychydig ar ol hyn aethant ymaith o'r Ynys, oddigerth Mr. Johns, yr hwn a arosodd yno yn hir i ddysgwyl amser gwell; ond o'r diwedd aeth yntau ymaith. Yr oedd yn yr ynys gryn lawer yn proffesu Cristionogrwydd; ac yr oedd amryw o honynt yn tystiolaethu wrth y Cenhadon na wadent hwy mo'u crefydd er dyoddef erledigaeth a cha char, ie merthyrdod os byddai raid. Yr oedd y Cristionogion, yn wyneb gwahardd-iad y Frenhines, yn mynych gyrchu ar y Sabbathau i ymgyfarfod a'u gilydd yn y mynyddoedd, i ddarllen gair Duw, ac i weddio, a chanu mawl.

Ond o'r diwedd cafwyd hyny allan, a chyhuddwyd hwynt. Yna, ymofynwyd yn fwy manwl ynghylch y peth, ac fe gafwyd o hyd i gistan llawn o lyfrau Cristionogol yn agos i dŷ gwraig grefyddol o'r enw Rafaranavy, a chymmerwyd hi i fynu, ac a'i carcharwyd. Cymmerwyd meddiant o'i thŷ, a hi a yspeiliwyd o'i holl eiddo. Wedi hyny dirboenwyd hi yn ddirfawr i'r dyben iddi gyfaddef pwy oedd gyfranog â hi yn y llyfrau, a phwy fyddai yn arferol o gyd-gyfarfod â hi i addoli Iesu Grist, ond y cwbl yn ofer. Yna collfarnwyd hi yn ol cyfraith y Frenhines i ddyoddef merthyrdod o achos ei chrefydd. Cymmerwyd i fynu bymtheg ereill am yr un peth, ac a'u condemniwyd i gaethiwed tra y byddont byw, fel nas gellir eu rhyddhau am bris yn y byd. Eu caethiwed ydyw, gorfod gweithio yn galed hyd eithaf eu gallu, fel Caethion, (*Slaves*) bob dydd o'r boreu hyd yr hwyr, dan feistriaid creulon. Cymmerwyd meddiant o'u holl eiddo. Y cyfryw o honynt ag oedd wedi priodi, fe gymerwyd i fynu hefyd eu gwragedd a'u plant, pa un bynag a fyddont yn proffesu duwioldeb ai peidio: dyna yw eu cyfraith hwy. Ond am y rhai nad ydynt yn proffesu Crist, y maent yn brynadwy; eithr nid yw y proffeswyr felly am bris yn y byd byth.

Mae hanes wedi cyrhaeddyd Llundain fod yn agos i gant wedi cael eu cymmeryd yn gaethion fel hyn, rhwng proffeswyr a'u perthynasau. Y wraig dduwiol a enwyd, y mae hi wedi cael ei merthyru i farwolaeth drwy law hysbyswyddog gwladol yn gyhoeddus, yn ol gorchymyn y Frenhines. Anfonodd Mr. Johns, y Cenhadwr, hanes hon i fanylrwydd, am mai hi oedd y Merthyr cyntaf a ddyoddefodd yn achos crefydd Crist yn Madagascar.

Rafaravavy, a ennillwyd i'r ffydd drwy weinidogaeth y Cenhadon, ynghylch saith mlynedd yn ol. Hi a roddodd brofion llwyr foddlonawl ei bod wedi ei gwir argyhoeddi o bechod, a'i bod yn credu yn Nghrist, drwy y cyfnewidiad grasol a welwyd arni, ffrwythau yr Yspryd yn ei thymher radlawn, ac yn ei buchedd sanctaidd. Yr oedd yn siampl i ereill o ran gair, ac yspryd, a phob ffrwythau da; yr oedd yn rhagori ar y cyffredinolrwydd o broffeswyr crefydd.

Yn y flwyddyn 1836, achwynodd un o'i morwynion wrth swyddogion y llywodraeth fod ei meistres yn cadw y Sabbath, ac yn darllen ei Bibl. Ar hyn, cymmerwyd hi i fynu, a dirwywyd hi yn drwm am anufudd-dod i gyfraith y Frenhines. Goddefodd hyny yn dawel iawn, ac ni wadodd, ond cyfaddefodd y gwir. Ac er i'w thad paganaidd, yn hen wr penllwyd, ynghyd a'i pherthynasau ereill, ei pherswadio hi i adael ei chrefydd, etto ni wnai er dim, ond hi a broffesodd mai dysgybles i Iesu Grist oedd hi; ie, er cael ei bygwth a marwolaeth.

Hi ddywedodd wrth un o'i chyfeillesau mynwesol gyda dagrau, ei bod hi yn foddlon i farw, ac os byddai i'w gwaed gael ei dywallt ar y ddaear yn achos proffesu Crefydd Crist, ei bod yn credu y byddai i hyny fod yn foddion i gynnyrfu y fath deimladau yn Madagascar, nad anghofir byth. Ei bod yn cofio ddywedyd o'n Iachawdwr, y byddai ei ddisgyblion "yn gas gan bawb er mwyn ei enw ef." Rhoddodd Mab Duw ei einioes drosom ni, a thrwy rinwedd ei angau efe a'n gwared ni yn fuan o'n holl drallodau. 'Myfi a wn i bwy y credais.' Ac er i'm gwaed gael ei golli, fe fydd gair Duw yn sicr o lwyddo yn y wlad hon.' Hi a ddywedodd ymhellach, gyda rhyw deimladau rhyfedd o effro a bywiog, "Gweddiwch drosof, os bydd ewyllys yr Arglwydd i mi ddyoddef drosto ef yn awr, am iddo dderbyn fy enaid atto ei hun; ac os arbedir fi, am i mi gael byw yn fwy i'w ogoniant nag erioed." Dywedodd nad oedd dim yn ei gofidio yn fwy na chyflwr truenus y rhai oedd o'i hamgylch. A bod meddwl am gael ei merthyru yn llai o boen iddi na gweled ei holl berthynasau yn byw mewn annuwioldeb.

Er na ddarfu i'r Frenhines orchymyn ei merthyru hi y tro hwn, ond ei dirwyo, etto hi a anfonodd air atti, "am iddi beidio cellwair â gorchymyn y Frenhines, rhag digwydd iddi yr hyn fyddo gwaeth." Braidd y gwelwyd siampl mwy nodedig o diriondeb Cristionogol ac yspryd maddeugar yn yr holl Hanesiaeth Eglwysig nag a welwyd yn y wraig dduwiol hon, ar awr ei phrofedigaeth lem.

Mae y Cenhadwr Mr. Johns, yn ysgrifenu fel hyn am dani, yn ei horiau diweddaf cyn ei merthyru. "Wedi cael hyd i'r llyfrau yn agos i'w thŷ, cymmerwyd ei holl eiddo oddiarni, daliwyd hi, a dodwyd

cadwynau o haiarn, ar ei thraed a'i dwylaw. Poenwyd hi am ddeng niwrnod i geisio ganddi enwi pwy oedd gyfranogion a hi, ond yn ofer. Yr oedd hi yn parhau yn gadarn ac yn hollol dangnefeddus. Hi a ysgrifenodd mewn llythyr at Mrs. Johns, "Peidiwch ag ofni o'm plegid i, yr wyf yn hollol barod i farw er mwyn Iesu, os bydd hyny yn ol ewyllys Duw." Fe'i cynnaliwyd hi yn rhyfeddol hyd y munud olaf o'i bywyd. Ei hoedran oedd 38.

Tystiolaethodd llawer o'r hen bobl, na welsant neb erioed mor "ystyfnig" a Rafaravavy, canys pan orchymynodd y Frenhines iddi beidio gweddio, yr oedd hi yn gweddio, hyd yn nod pan oedd mewn cadwynau heieyrn, ac yr oedd hi yr parhau i bregethu Crist i'r Swyddogion ac i'r lluoedd pobl ag oedd yn ei chanlyn hi, am dri chwarter milldir, sef o'r fan y condemniwyd hi i'r lle y merthyrwyd hi. Ac wedi dyfod i'r lle, yr oedd hi yn parhau i weddio, ac i gynghori pawb o'i hamgylch, nes i'r Dihenyddiwr cyffredinol ei chodi i ben lle cyhoeddus, a chymmeryd piccell lem a'i thrywanu drwyddi, nes oedd ei gwaed hi yn pistyllio allan, a chan ballu yn ei lleferydd, hi a fu farw yn y fan, ar y 14eg o Awst, 1837. Dyma y dull creulon a chighyddlyd a arferir yn Madagascar o ddihenyddio y rhai a droseddant gyfreithiau eu Penllywydd.

Ni chlybuwyd wedi hyny, pa beth a ddaeth o'r nifer mawr o'r lleill o'r Cristionogion y rhai a gymmerwyd i fynu. Ond fe fuwyd yn cadw cyfarfodydd gweddi yn eu hachos drwy Loegr, Scotland ac amryw fanau yn Nghymru, ar y 29ain o Ionawr yn yr hwyr.

---

## YNYSOEDD MOR Y DE.

Mae Parch. J. Williams y Cenhadwr, yr hwn sydd yn awr yn Mrydain, wedi bod flynyddoedd yn Ynysoedd Môr y De yn llafurio gyda'i gyd Genhadon. Mae efe wedi bod yn neillduol o lwyddiannus i annog llafur a thriniaeth tir, a chynnydd masnach yn yr Ynysoedd hyny, heblaw addysgu y trigolion yn addysg yr Ysgrythyrau, a gwybodaeth am drefn yr Efengyl i achub pechaduriaid, a'u dwyn i gymmod â Duw drwy Grist. Efe a gafodd allan un Ynys newydd, na wybu yr Ewropëaid am dani o'r blaen, yr hon a elwir Rarotonga.

Efe a adeiladodd long, i fyned i chwilio am yr Ynys hon, canys efe a glywsai gan drigolion yr Ynysoedd ereill fod y cyfryw Ynys yn bod yn nghanol y cefnfor mawr. Efe a hwyliodd allan gydag ychydig wŷr i chwilio am dani, ac wedi hir hwylio ar hyd y Môr tawelog, efe a ddaeth o hyd iddi. Ac erbyn ei ddyfod yno yr oedd yno ddisgwyliad mawr am Genhadon yr Efengyl. Yr oedd rhyw ddynes wedi dygwydd dyfod yno yn un o'r Cychod sydd ganddynt yn arfer pysgotta, &c. â hwynt, yr hon oedd wedi gweled a chlywed y Cenhadon yn yr Ynysoedd ereill. Ac er nad oedd y ddynes hon wedi derbyn y grefydd Gristionogol, etto yr oedd hi yn gallu dweud wrth y trigolion fod rhyw ddynion rhyfedd wedi dyfod o dros y cefnfor mawr i'w dysgu hwynt yn y grefydd newydd i addoli un Iesu Grist, a bod y bobl yn troi oddiwrth eu heulynod i ddilyn hyfforddiadau y Cenhadon hyn. Bod y Cenhadon yn gwneud llyfrau, ac yn dysgu i'r trigolion eu darllen hwynt, fod ganddynt lyfr y Duw mawr yr hwn a wnaeth y byd, yr hwn a elwir y Bibl. A bod y bobl ddyeithr hyn yn dysgu y trigolion i wisgo am danynt, gwneud tai, plannu gerddi, trin tir, a magu anifeiliaid, &c. &c.

Yr oedd yr hanes rhyfeddol a roddes y ddynes hon am y Cenhadon wedi parottoi y ffordd i'r Efengyl, yn gyffelyb i Ioan fedyddiwr gynt, er mai nid mor amlwg. Yr oedd yr hanes a roddes hi, fodd bynag, wedi cyrhaeddyd clustiau brenin yr Ynys, ac yr oedd wedi effeithio yn fawr arno, ac ar y pennaethiaid, yn gymmaint a'u bod yn dechreu gweddio ar eu duwiau, ac aberthu iddynt i'r dyben iddynt gyfarwyddo ffordd y Cenhadon i ddyfod attynt i'w dysgu hwythau hefyd. Ac er mai ar eu duwiau mudion yr oeddynt hwy yn gweddio, darfu i'r gwir a'r bywiol Dduw wrando ar eu dymuniad, a chyflawni eu deisyfiadau.

Erbyn i Mr. Williams a'i gyfeillion gyrhaeddyd yr Ynys, yr oedd eu hymborth ar fwrdd y llong bron wedi llwyr ddarfod; ond cawsant dderbyniad croesawgar iawn gan y trigolion, a hwy a ddechreuasant ddysgu iddynt wybodaeth am Dduw, ac am yr hwn a anfonodd efe Iesu Grist. Dododd Mr. Williams allan hanes yr Ynys hon, ynghyd a'i sefyllfa, ei Hydred a'i Lledred, ac mae hi i'w gweled yn y darluniau diweddaraf a argraffwyd. Yn awr mae yno Ysgolion, a Chenhadon, a'r Efengyl yn cael ei phregethu i'r trigolion yn eu hiaith gynhennid eu hunain.

Fe allai y dichon i rai ofyn pa fodd y beiddiai Mr. Williams fyned allan i'r cefnfor mawr mewn llong fechan, a salw, fel y mae yn rhaid ei bod, gan mai ei waith ef ei hun oedd hi? Ac hefyd pa fodd y gallai efe lefaru mewn iaith Ynys ddyeithr felly, heb fod erioed yno o'r blaen? Gwybydded ein darllenwyr fod Môr y De yn dawel a llonydd iawn, nad oes yno ddim ystormydd a gwyntoedd mawrion fel sy gyda ni, Môr tawelog y gelwir ef. Ac am yr iaith, fe ofynodd Ysgrifenydd hyn o hanes iddo, pa fodd yr oedd efe yn gallu pregethu yn ieithoedd yr Ynysoedd hyny. Efe a attebodd mai cyffelyb iawn i'w gilydd yw ieithoedd holl Ynysoedd Môr y De, ac nad ydynt wahanol ieithoedd, ond cangen ieithoedd, am fod o dafod ieithoedd, oll o'r un [illegible] Gofynais hefyd iddo, a oedd [illegible]

deall fod tebygolrwydd mawr yn y cangen ieithoedd hyny i un iaith adnabyddus ar y cyfandir, fel y gellid gwybod o ba barth o'r ddaear y daethant i'r Ynysoedd hyny? Attebodd fod, mai y Malay oedd yr iaith wreiddiol, sef iaith gynhennid Malacca.

Mae Mr. Williams wedi argraffu llyfr o hanes yr Ynysoedd, ynghyd a hanes llafur a llwyddiant y Cenhadon. Mae y pedwerydd argraffiad o hono wedi dyfod allan o'r wasg. Mae y llyfr gwerthfawr hwn wedi ei gyflwyno i'r Brenin William IV. trwy ei ganiattad ef ei hun. Ac fe ddarllenodd ein Grasusaf Frenhines y Llyfr yn y pedwerydd argraffiad i gyd drwyddo. Mae Mr. Williams wedi bod yn llwyddiannus iawn i blannu a chynnyrchu *Arrow Root*, yn Ynysoedd Môr y De. Mae y Gwreiddyn meddyginiaethol a maethlawn hwn yn cael ei gynnyrchu yn Tahiti a rhai o'r Ynysoedd ereill, gan y trigolion o dan gyfarwyddyd y Cenhadon. Fe ddyg Mr. W. gryn swm o hono gydag ef i'r deyrnas hon, ac wedi cael prawf digonol o hono, ei fod yn well ac yn burach na dim oedd yn cael ei werthu yn Mrydain o'r blaen, a bod, oherwydd hyny, alwad mawr am dano, efe a anfonodd am lawer yn chwaneg. Ac mae efe yn awr wedi agoryd llwybr i fasnachu yn helaeth â'r Ynysoedd hyny, drwy osod rhyw un Gwerthdy cyhoeddus ymhob dinas a thref fawr yn Lloegr i werthu yr *Arrow Root* hwn; ac mae prynu mawr arno. Bydd hyn yn ddefnyddiol iawn er cysur a chynnaliaeth y trigolion, ac er lles i lwyddiant yr Efengyl a'i bendithion yn eu plith. Ceir gwaith i'r bobl, ceir arian at gynnal y Cenhadon, a moddion i anfon Cenhadon i Ynysoedd ereill, ac i gynnorthwyo i argraffu y Bibl a llyfrau da ereill yn eu plith, &c.

Wrth weled Mr. Williams mor nodedig o fedrus, ac wedi bod mor hynod o lwyddiannus, mae cyfeillion y gwaith da, cyfoethogion lawer, yn cyfranu yn helaeth tuag at brynu llong yn y deyrnas hon, a gosod dwylaw arni i fod yn eiddo y Gymdeithas Genhadol, a'i defnyddio yn gyntaf i anfon Mr. Williams allan i Fôr y De; ac i fod yn barhaus at wasanaeth y Cenhadon i'w hanfon allan i'w lleoedd priodol, ac i'w symmud o'r naill fan i'r llall, fel y bo yr achos yn gofyn. Mae traul mawr bob blwyddyn, ar y Gymdeithas i dalu am gael trosglwyddo Cenhadon allan i bedwar chwarter y byd.

Fe gyst y Llong, ynghyd a bwyd i'r fordaith, a chyflogau i'r llongwyr, oddeutu tair mil o bunnau, ac mae dros ddwy fil eisoes wedi cael eu haddaw at y gwasanaeth. Felly, gorchwyl cyntaf y llong Genhadol hon fydd anfon Mr. Williams, a Chenhadau ereill i Ynysoedd Môr y De, ac am ryw hyd wedi hyny bydd at ei wasanaeth ef yn yr achos Cenhadol ymysg yr Ynysoedd hyny.

Mae Cristionogion Brydain wedi bod yn offerynol i anfon yr Efengyl a'i rhagorfreintiau i yn agos i gant o Ynysoedd Môr y Dé, y rhai ydynt, fel y crybwyllasom o'r blaen, yn wreiddiol o un genedl. Ond y mae yn y Môr mawr llydan hwnw genedl arall o bobl, y rhai a fernir eu bod yn amryw filiwnau o rifedi, yn preswylio mewn oddeutu dau gant o Ynysoedd ereill, yn gorwedd rhwng y *Navigator's Islands* a *New Guinea*, yr hwn sydd ynghylch deuddeg can milldir o hyd. Mae y Gymdeithas yn bwriadu gwneud ymegniad tuag at anfon Cenhadau at y rhai hyny hefyd. Y gorchymyn yw, 'Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl i bob creadur.'

## Hysbysiadau Crefyddol.

Syr,—Dymunir arnoch hysbysu, trwy gyfrwng y Drysorfa, fod Cylchwyl Ddirwestaidd Abergele i fod Mawrth y 6ed, *er y bu son am Ebrill y 15.* Disgwyliwn y Parch. Henry Rees, a'r Parch. T. Awbry, &c. yma y pryd hwnw.

Gobeithiwn y cofia Dirwestwyr Rhuddlan, Rhyl, Cefn, Llanelwy, Llanefydd, Llansanan, Llangeirnew, Llanfair, holl Ddosparth y Bettws, Mochdre, Conwy, a'r ardaloedd ddyfod yma attom, a'u Banerau buddugoliaethus yn chwifio, a'u caniadau yn adsain y fro, er llwyr gwymp meddwdod, a llawenydd Ddirwestwyr yr holl ardaloedd.

Yr eiddoch,

*Abergele.* JOHN FOULKES.

ELUSENGARWCH BRENHINESOL.

Yn y gauaf oer hwn, ar amser y rhew caled a pharhaus, yn mis Ionawr, pan oedd lawer oedd o weithwyr tlodion allan o waith, rhoddodd ein Grasusaf Frenhines, Victoria, fil o bunnau i Faer Llundain i'w rhoddi i'r tlodion, a mil arall i Hedd Ynadon Westminster i'r un perwyl. Dyma siampl o haelioni ac elusengarwch.

HAELIONI BONEDDIGION CYMRU I DLODION.

Syr,—Mi dybygwn nad yw gymhwys gadael y profion canlynol o haelioni heb eu cofnodi, er cydnabyddiaeth ddiolchgar i'r Boneddigion caredig—ac er siampl i'r rhai sydd etto heb gyrhaedd i hyn, ynghyd a galw ar y tlodion i ddangos y parch a ddylent roddi i'r Boneddigion hyn. Gweddus iawn ydyw cadw yr haelionusrwydd hwn mewn cof i'r oes a ddel, er siampl iddynt hwy, ac er dysgu y plant i wneuthur fel eu tadau; ynghyd a dal i fynu goffadwriaeth barchus y boneddigion hyn, er anrhydedd eu henwau a'u cenedl pan fyddont hwy yn y beddau.

Ei Arglwyddiaeth Esgob Llanelwy a fu hael iawn i oddeutu 200 o bobl, trwy gyfranu iddynt Wrthbanau, Cynfasau, Gwlaneni; Stwffiau, &c. &c. ac a orchymynodd fynu Glo i'r tlodion anghenog.

Miss Clay o'r un lle, sydd yn arolygu *clwb* i dlodion Llanelwy a'r gymmydogaeth, yr hwn a ymgeledda lawer iawn o dylodion

yn eu cyfyngderau. Rheddodd y Foneddiges rinweddol hon giniaw blasus i 80 o'r hen bobl, ddydd calan diweddaf. *Arfera* hefyd ymweled a'r cleifion, gan gyfranu i'w hangenrheidiau hwy trwy y flwyddyn, gan eu cynghori a'u dyddanu, a gweddio gyda hwy.

Edward Lloyd, Yswain, Cefn Meriadog, hefyd fu haelionus iawn y gauaf caled hwn. Dilladodd 20 o blant tlodion; cyfranodd lawer iawn o wrthbannau, cynfasau, stwffian, a gwlanen i dlodion y Cefn, a Llysfaen hefyd, lle y mae ganddo etifeddiaeth. Dywedir iddo wneuthur gwlan ei ddefaid gan mwyaf yn ddilladau i'r tlodion, heblaw a brynwyd ganddo â swm mawr o arian. Y mae gan foneddigesau Llanelwy dan-sgrifiadau at wneud *Soup* i dlodion, yr hwn a ranant ddwywaith bob wythnos; ac y mae yn mor ragorol o ran ei wneuthuriad, na byddai yn anfri ei weled ar fyrddau y Boneddigion eu hunain. O, mor dda yw i dlodion ei gael yn y gauaf llwm! Rhyfedd yr yspryd haelionus sydd yn y Ddinas, ac o'i hamgylch.

Troaf fy ngolwg o Lanelwy at haelioni yr Anrhydeddus Lord Dinorben. Cyfrana yntau *lawer iawn* o Wlaneni, Gwrthbannau, Stwffiau, Llieiniau; ie, cwbl ddillada lawer o'i weithwyr tlodion bob dwy flynedd, yn ychwanegol at ei haelioni blynyddol. Ar ddydd Mawrth, a dydd Gwener, gwelir llu mawr o wragedd yn troi oddi wrth y Palas, rhai bob ffordd, a'u llestri yn llawnion o *Soup* rhagorol, yr hwn fydd yn wledd i'r teuluoedd tlodion gartref yn eu prinder a'u cyni.

Oddi yno, âf ar drem i Garthewin yn Llanfair Talhaiarn, lle y gwelaf haelioni yr hybarch R. W. Wynne, Yswain. Dillada yntau noethion, rhydd fwyd i rai newynog, darpara waith i dlodion erbyn amser o brinder gwaith; a phan elo ei hen weithwyr yn analluog i weithio gan henaint a gwaeledd, telir y cyflog iddynt gartref. Pan y cymerer R. W. Wynne, Yswain, i'r bedd, cymerir ymaith un o'r noddwyr penaf i ddaioni ac elusengarwch a fedd Sir Ddinbych oll.

Ni allaf ymatal heb nodi haelionusrwydd rhagorol Boneddigesau rhinweddol y Coed Coch, Bettws, ger Abergele. Y mae ganddynt *Clwb* rhanedig i dri man, sef y Bettws—Dolwen—a'r Dawn—Yn yr hwn y cyfrana y tlodion geiniog yr wythnos, a rhai ddwy geiniog, chwanegant hwythau 3s. at y geiniog, a 3s. 6c. yn y flwyddyn at y ddwy geiniog. Ac y mae yn y clwb hwn *uwchlaw* 200 o dlodion: felly cyfranant rai degau o bunau yn y flwyddyn yn y ffordd hon, heblaw y ffrwd o Elusengarwch sydd yn llifo ar hyd y flwyddyn, i gyfarfod rhai cleifion, a mammau a'u babanod newydd eni, &c. Pe gwelech y lluoedd yn dychwelyd tu a'r gwyliau, a'u *paccau* dan eu ceseiliau, mor hynod y gwelir eu helusengarwch!

Ymhellach nodaf Lady Emely, H. B. Hesketh, Castell y Gwrych, Abergele, yr hon a gyfrana lwythi o dda i'r tlodion, oll yn ddilladau parod ar welyau, ac am gyrph hen wyr, a hen wragedd, a phlant, o'u penau i'w traed. A phwy bynag a el at y Lady i gwyno mewn clefyd neu noethni, &c yn llawnion y dychwelant.

Mrs. Jones Bateman, o'r Pentref mawr, Abergele, a gyfrana yn haelionus iawn ddechreu y gauaf, *Counterpanes*, Gwrthbannau, Cynfasau, Clogau parod; ac y mae yn werth nodiad am y foneddiges hon, *fod* y nwyfau oll yn rhai rhagorol, ac nid yn enw o nwyfau, a thlodion y dref a'i hanrhydeddant. Mrs. Clough a'r Miss Cloughs, o Fin y Don, Colwyn, hefyd, ydynt yn cyflawni y daioni hwn yn yr un dull, er llawenydd a chysur mawr i dlodion Colwyn.

Tybiais fod y nodiadau hyn yn anrhydedd teilwng i haelioni y Boneddigion Clodwiw, o Balas Esgob anrhydeddus Llanelwy, i Balas Min y Don; ac o Garthewin a'r Coed Coch, i lan y Môr. Fe allai y gall amrai, mewn gwahanol fannau, nodi y cyffelyb garedigrwydd haelionus yn ngwahanol barthau y wlad. Bendith y Goruchaf fyddo arnynt hwy, a'u hiliogaeth, ddyddiau y ddaear. Ydwyf yr eiddoch,

*Abergele, Chwef.* 6, 1838. JOHN FOULKES.

CYDYMDEIMLAD AC ELUSENGARWCH.

Cyfranodd Mr. David Lewis, Bragwr, Aberystwyth, werth £5 o Haidd i dlodion plwyf Llansantfraid, Ceredigon, ac hefyd werth £5 o Wrthbannau (*Blankets*) newyddion i dlodion Aberdovey, Sir Feirionydd, yn y ddwy wythnos ddiweddaf, yr hyn ydoedd o fawr gysur a chynorthwy i'r tlodion hyny y tywydd oer, caled, a chyfyng diweddaf. Gobeithio y bydd hyn yn foddion i gynhyrfu teimladau llawer etto o'r newydd, (yn ol eu graddau a'i sefyllfa), i ganlyn y Boneddwr clodwiw uchod, yn y cyfryw weithredoedd anrhydeddus a chanmoladwy. B. EVANS.

*Lletty John, Chwef.* 9, 1838.

ELUSENGARWCH YN NGHAERLLEON.

Casglwyd yn y ddinas hon y swm mawr o £730, sef *saith gant a deg ar hugain o bunnau*, i'w cyfranu yn danwydd, bwyd, diod, a dillad i'r tlodion. Cyfranwyd yn yr wythnos gyntaf, ar amser rhew caled a maith, fel hyn: i 1535 o deuluoedd angenus, yn cynnwys 5400 o wyr, gwragedd, a phlant. Cyfranwyd iddynt 1834 o gantoedd o bwysi o lo, 948 o fesurau o gloron, (*potatoes*), 15,422 o bwysau o fara, 1680 o chwartiau o gawl (*Soup*), oll yn werth 210 o bunnau. Yn yr ail wythnos cyfranwyd i 1489 o deuluoedd, yn cynnwys 2462 o bobl uwchlaw 12 oed, a 2229 o blant; cyfranwyd iddynt 1412 o gantoedd o bwysi o lo, 911 o fesurau o gloron, 13,944 o bwysau o fara, a 1665 o chwartiau o gawl, y rhai yn werth 200 o bunnau. Mewn dau [illegible]

wrnod o'r drydedd wythnos, cyfranwyd i 1002 o deuluoedd, yn cynnwys 1748 o bersonau mewn oedran, a 1484 o blant. Cyfranwyd iddynt 1090 o gantoedd o bwysi o lo, 640 o fesurau o gloron, 10,704 o bwysau o fara, a 1117 o chwartiau o gawl.

Fel hyn y mae yr haelioni a'r elusengarwch yn myned ymlaen bob dydd ar yr amser yr ydym yn ysgrifenu yr hanes hwn. Ac mae cyfarfod yn Llys y ddinas heddyw i gyttuno ar wneud casgliad etto, am fod yr arian wedi darfod. Yr ydis yn bwriadu parhau o hyd yn yr un gorchwyl clodwiw, tra y parhao yr hin yn galed a rhewog er attal gweithwyr tlodion rhag gwneud eu gorchwylion at gynnal eu hunain a'u teuluoedd.

## Helyntion yr Amseroedd.

*Damwain ddisymwth.*—Dydd mawrth, Chwefror 6, fel yr oedd gwr ieuanc yn sefyll wrth ben ceffyl ieuanc gwyllt mewn *gig* yn ymyl tŷ tafarn Mr. Onslow, *Grosvenor Street*, Caerlleon, dychrynodd y ceffyl, a rhedodd ymaith gyda ffrochwylltra dirfawr. Carlamodd ar draws henwr, a thaflwyd ef i lawr, fel yr aeth yr olwyn drosto, ac a'i briwodd yn drwm, ond nid yn farwol: ynna rhedodd o'i ffordd i *Cuppin Street*, ac i wyneb trol oedd yn sefyll wrth ddrws Gefail Gôf, nes aeth ei phaladr yn y fan i fewn i'w fol ef, fel y bu farw ar yr heol. Yr oedd dyn yn agos i'r lle wrth ei orchwyl gwaith, yn dringo i ben ysgol, ac yn ei ddychryn, efe a syrthiodd i lawr ar ei ben nes y daeth ei ymenydd allan, ac y bu farw yn y fan.

*Australia.*—Mae y newyddion a gyrhaeddodd Prydain o'r wlad bellenig hon (*New Holland*) yn hynod o gysurus. Mae y Sefydliad newydd yn bur lwyddiannus: y byrdra mwyaf ydyw, eisiau chwaneg o weithwyr, yn enwedig llafurwyr y ddaear. Mae yr alwad yn llawer mwy na'r nifer sydd oddifewn y Sefydliad. Dyma le i weithwyr a'r cyflogau bychain i fyned i breswylio.

*Cymdeithas Llawgelfyddwyr* (*Mechanics' Institution.*)—Yn yr hwyr ddydd gwener, Chwefror 9, darfu i'r Parch. S. Luke, Gweinidog yr Anymddibynwyr, draddodi araeth yn nghyfarfod y Gymdeithas hon, yn yr *Assembly Room*, Caerlleon, ar 'Effeithiau gwybodaeth o'r Celfyddydau er cynnydd Crefydd.' Mae amryw o bobl grefyddol yn erbyn y Cymdeithasau uchod, am nad oes dim yn cael ei ddysgu ganddynt ond dysgeidiaeth ddynol, ac am nad oes dim a wnelo hi ag un blaid o grefydd mwy na'u gilydd. Dysgu gwybodaeth gyffredinol am bethau naturiol. Haera rhai fod dysgeidiaeth felly yn beryglus, ac yn niweidiol, a'i bod yn debyg o fagu a meithrin anffyddiaeth yn y wlad.

Dyben yr Areithydd oedd ceisio dangos fod gwybodaeth o'r holl Gelfyddydau yn tueddu i feithrin crefydd, yn hytrach nag i feithrin anffyddiaeth ac anghrefydd. Dangosai nad oedd dim mewn gwybodaeth am bethau natur yn tueddu i wneud dyn yn fwy anghrefyddol. Ac er nad yw gwybodaeth a dysgeidiaeth ddynol am bethau naturiol yn ddigon i wneud dyn yn grefyddol, canys mae yn rhaid cael gallu Dwyfol i hyny, etto fod gwybodaeth felly yn lawforwyn fuddiol i dduwioldeb. Haerai yn gryf yn erbyn yr athrawiaeth hono ag sy yn dal allan, 'Mai mammaeth duwioldeb yw anwybodaeth.'

Yr oedd yr Ystafell êang yn llawn o gynnulleidfa barchus. Rhoddodd yr araeth foddlonrwydd cyffredinol i'r gwrandawyr, yn gymmaint ag y mae'r Gymdeithas yn dymuno ar yr Areithydd roi caniattad i'w hargraffu hi: ac mae yn debygol mai felly fydd.

*Damwain ar y ffordd haiarn.*—Ar y ffordd haiarn o Liverpool i Manchester, brydnawn sadwrn, Chwefror 10, Digwyddodd i'r agerdd gerbydau gyfarfod â Cherbydau neu droliau glo, yn agos i le a elwir Olive Mount. Ni laddwyd neb; ond fe friwyd llawer. Nid pethau i gellwair a hwynt, nac i fod yn ddiofal yn eu cylch yw y Cerbydau cyflym hyn.

*Llosgiad i farwolaeth.*—Yn yr ail wythnos o Chwefror, yn Marleston cum Lache, yn Swydd Gaerlleon, darfu i fachgen bychan o ddwy flwydd i dair oed, roi ei ddillad ei hun ar dân, wrth estyn at y bachau crochan ag oeddynt yn crogi uwch ben y tân, ac efe a losgwyd i farwolaeth yn y fan.

### Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Bu cyfraith newydd llywodraeth Canada yn hir o flaen y Tŷ. Gwrthwynebwyd hi yn gadarn gan Arg. Brougham, gan farnu ei bod yn rhy lem a gorthrymus; ac yr oedd amryw Arglwyddi o'r un farn. Mynai rhai dorri yr undeb, a gollwg Canada yn rhydd i'w llywodraethu eu hunain fel y mynont. Ond yr oedd y rhan fwyaf o lawer o blaid Ysgrif y Llywodraeth, ac felly fe'i pasiwyd hi yn ddeddf, a'r Frenhines a'i seliodd hi. Hyn a fu, Chwefror 10.

Chwefror 12. Dywedodd Arg. Brougham y bydd iddo ef ar y 19eg o'r mis roi cynnygiad o flaen y Tŷ am ddau beth o fawr bwys mewn perthynas i Gaeth-fasnach a Chaethwasanaeth. Yn gyntaf, mewn perthynas i Gaethfasnach. Bydd iddo gynnyg am gael gan y Tŷ i gydweled âg ef mewn perthynas i anfon Archiad at ei Mawrhydi y Frenhines i erfyn arni wneud ammod â phob parth o'r byd ag y mae ei chymmeriad yn cyrhaeddyd, am attal yr holl Deyrnasoedd hyd y gallo rhag dwyn yn mlaen Gaeth-fasnach; hyny yw, ymgais

am roi pen ar brynu a gwerthu dynion ymhob man, hyd y gall ei Mawrhydi. Yn ail. Ceisiaf osod achos sefyllfa y Prentisiaid yn Ynysoedd yr India Orllewinol ger gwydd y Tŷ, i'r dyben o gael cyfraith newydd etto yn eu hachos i beri gwelliant ar gyflwr y trueiniaid gorthrymedig gyda brys. Mewn perthynas i roi pen ar y Prentisiaeth nid oedd efe yn awr am ddweud ei feddwl ar hyny, er ei fod yn barnu yn gryf y dylid gwneud hyny; ond yr hyn a geisia efe yn benaf fyddai cael gwelliant ar gyflwr y Negroaid o hyn hyd ddiwedd amser eu Prentisiaeth, sef gosod rhwymau ar eu Meistriaid gwaith i roi digon o gynaliaeth iddynt, a pheidio a'u gorthrymu na'u fflangellu, nac ymddwyn yn greulon tuag attynt. Efe a wahoddodd y Tŷ i ymgyfarfod yn llawn ar y dydd a bennodwyd achod, i wneud tegwch i'w olygiadau, a chyfiawnder i'r trueiniaid, achos pa rai y bwriada efe ei ddadleu.

*Tŷ y Cyffredin.*—Chwefror 7. Cafodd Mr. O'Connell ganiattad i ddwyn i mewn Ysgrif am welliant ar gyfraith enllib, (*Libel.*)

Chwefror 8. Gofynodd Mr. Duncombe i Swyddogion y Llywodraeth, a oeddynt hwy ddim yn bwriadu dwyn Ysgrif i'r Tŷ mewn perthynas i'r Dreth Eglwys? Attebodd Canghellwr y Drysorlys, fod y llywodraeth yn bwriadu gosod Eisteddfod i ystyried achos Treth yr Eglwys, ac oddiar eu tysiolaeth a'u barn hwy am y peth, fe ddygir i mewn Ysgrif am wneud cyfraith i roi pen ar y matter yn y modd goreu ag y gellir ei ffurfio hi.

Cafodd y Cyfreithiwr Cyffredinol ganiattad i ddwyn i mewn Ysgrifau i beri gwelliant ar gyfraith am feddiant oeiddo anghyffro, (*real property.*)

Ar gynnygiad Arg. J. Russell, trefnwyd Eisteddfod i ystyried achos taliad trethi ag y mae trinwyr tyddynod bychain yn eu talu drwy gyfraith.

Ystyriwyd Ysgrif gwelliant y gyfraith ynghylch Cydgyfranogwyr mewn Banciau, o ddarn i ddarn.

Yna trowyd y Tŷ yn Eisteddfod i ystyried Ysgrif Cymmwysderau gwyr i'w dewis yn Aelodau o'r Senedd, o ddarn i ddarn.

Chwefror 9. Dywedodd Mr. Wilmot y bydd iddo ef ddwyn Ysgrif i mewn ar yr 20 fed o'r mis, am drefnu gwell modd i farnu plant am droseddau o gyfraith y tir.

Dyg Mr. O'Connell i mewn Archiad wedi ei lawarwyddo gan bedair mil o bobl yn Dublin i ddymuno ar y Tŷ i ystyried achos Cydymgyssylltiad Crefftwyr i oruwch lywodraethu eu Meistriaid mewn cyflogau, &c. Yr hyn fu yn achlysur o lawer o anghydfod a pheth tywallt gwaed yn Dublin, ac mewn amryw fanau ereill.

Dyg Mr. Plumtree Archiad i mewn, yr hwn a gyttunwyd arno mewn Cyfarfod yn Llys Exeter, yn deisyf ar y Senedd fwrw allan o'u plith yr Aelodau Pabaidd am fod yn anghymwys iddynt fod yn gyfranogion mewn gwneuthuriad cyfraith mewn gwlad Brotestanaidd.

Trodd y Tŷ yn Eisteddfod i ystyried Ysgrif Cyfraith Cynnaliaeth y tlodion yn y Werddon, o ddarn i ddarn. Gwrthwynebodd Mr. O'Connell yr Ysgrif mewn araeth faith, a dilynodd rhai ereill o'i ochr ef. Ond rhanwyd y Tŷ,

| | |
|---|---|
| A chafwyd o blaid yr Ysgrif .... | 277 |
| Yn ei herbyn hi ...... ...... | 25 |
| Mwy o blaid o ............ | 252 |

Dyg Arg. J. Russell i mewn ei gynnygiad am gael passio yr Ysgrif am welliant ar Gyfraith dewisiad Aelodau i'r Senedd.

Hysbysodd Mr. O'Connell y bydd iddo ef ddwyn i mewn Ysgrif am gael allan well ffordd i brofi gwobrwyad ar amser etholiad, ac er amddiffyniad y neb a ddygo dystiolaeth er profi y cyfryw wobrwyad.

Hysbysodd y Cyfreithiwr Cyffredinol y bydd iddo ef ddwyn Ysgrif i mewn er gwelliant Cyfraith Cofrestraeth Etholwyr Aelodau y Senedd, ac y bydd iddi gynnwys diddymiad ar daledigaeth y swllt am gofrestraeth Etholydd.

Chwefror 12. Ystyriwyd drachefn Ysgrif Gwelliant cyflwr y tlodion yn y Werddon.

Chwefror 13. Ystyriwyd achos amryw o'r cwynion yn erbyn tegwch etholiad rhai o Aelodau o'r Senedd.

Ar gynnygiad Canghellwr y Drysorlys, barnwyd yn addas drefnu Eisteddfod i ystyried y gyfraith a wnaed yn y 6ed flwyddyn o deyrnasiad George IV. ac i chwilio i mewn i ansawdd, gweithrediadau, ac ehangder Undeb y Crefftwyr, gyda golwg am ddwyn Ysgrif i mewn i wellhau y gyfraith er amddiffyniad Meistriaid gwaith.

*Cardotiaid Cyfoethog.*—Bu farw, y gauaf hwn, hen wr penllwyd o gardottyn, yn Nghaerlleon, a gadawodd yn ei ewyllys ar ei ol, *bedwar cant o bunnau i deulu* ag oedd wedi bod yn bur haelionus iddo yn ei fywyd! Yr oedd yr hen wr twyllodrus hwn yn gwisgo gwisg garpiog, ac yn cardotta megis dyn llwm, tlawd, a newynllyd. Yr oedd yn crynu yn wastad wrth ofyn cardod, megis pe buasai y parlys arno, ac felly fe fyddai agos i bawb yn cyfranu iddo, oherwydd eu bod yn barnu wrth yr olwg arno, ei fod yn wir wrthrych elusen.

Hefyd yn lled agos i'r un amser, bu farw hen wraig, a fyddai yn byw ar werthu bara gwyn o ddrws i ddrws. Byddai hon hefyd yn wastadol yn gofyn elusen bob dydd: ac wrth bob drws bron, os na phrynent deisenau ganddi, byddai yn cwyno oherwydd ei thlodi. Ac fel yr oedd ei hymddangosiad allanol yn dylawd ac angenus, cyfranid llawer iddi yn y modd hwn. Pan fu farw, gadawodd *ddau gant a hanner o bunnau ar ei hol!*

CANADA.

Yn ol y newyddion diweddaraf a gyrhaeddodd Frydain o'r wlad Ogleddol hon, hysbyswyd fod y gwrthryfel wedi cael ei daro yn ei ben. Cymmerwyd llawer yn garcharorion, a diangodd amryw ymaith o'r wlad. Dywedir fod pennaeth y gwrthryfel, Papineau, wedi ffoi i Washington yn yr Unol Daleithiau. Yn ol pob tebygolrwydd, darfu i'r gwrthryfelwyr dorri allan cyn bod pethau yn addfed, ac o herwydd hyny, daliwyd hwynt yn eu gwendid. Yn yr Ynys a elwir *Navy Island* y parhaodd y gwrthryfel hwyaf; ond mae hono wedi ei hadennill yn awr, a'r gwrthryfelwyr lawer o honynt, wedi ffoi, a'r lleill wedi rhoi eu harfau i lawr.

Dywedir fod Llywodraeth Brydain yn bwriadu tua'r gwanwyn anfon llongau ag erdd arfog i afon St. Laurence, ac i Lynoedd Canada, i amddiffyn y ddwy Canada rhag i ddim ymgyrch gwrthryfelgar dramwy o'r Unol Daleithiau i aflonyddu heddwch trigolion Canada.

*America.*—Derbyniasom y Rhifyn cyntaf o Gylchgrawn y Cymry yn yr Unol Daleithiau, America, yn yr Iaith Gymraeg. Dodwn yma ei wyneb-ddalen ef ger bron ein Darllenwyr.

## Y CYFAILL O'R HEN WLAD,

YN AMERICA.

Sef Cylchgrawn o wybodaeth fuddiol i'r Cymry, yn cynnwys Pigion detholedig o Gylchlyfrau presennol Cymru, ynghyd a Gohebiaethau buddiol y wlad hon, mewn Hanesyddiaeth, Duwinyddiaeth, Anianyddiaeth, Celfyddydwaith, Barddoniaeth, a Pheroriaeth. Gyda chasgliad helaeth o newyddion diweddaraf Brydain ac America, Eglwysig a Gwladol, Priodasau, Marwolaethau, Digwyddiadau, &c. Dan olygiad William Rowlands, C. N. CAEREFROG NEWYDD. Rhif. I. Ionawr 1838.

Gwel ein Darllenwyr fod ein Cyd-genedl y Cymry yn America yn ymroddi i ddal i fynu yr Iaith Gymraeg, ac i arfer moddion i daenu gwybodaeth fuddiol yn eu hiaith yn y wlad bellenig hono. Mae y Rhifyn hwn o'r eiddynt wedi ei argraffu yn hardd ar bapur da, ac â llythyrenau eglur. Dodwn yma hanes agoriad Capel Cymraeg a godasom allan o hono.

### AGORIAD CAPEL

*Perthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Mhottsville, Swydd Schuylkill, Talaith Pennsylvania.*

Dyddiau Sadwrn a Sul, Tachwedd y 4ydd a'r 5ed, 1837, cyssegrwyd, yn y lle uchod, dŷ hardd a chyfleus, gan y Trefnyddion Calfinaidd, i addoliad dwyfol yn yr iaith Gymraeg.

Y moddion crefyddol a arferwyd ar yr achlysur oeddynt yn y drefn ganlynol:

Prydnhawn y dydd cyntaf, am bedwar o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen rhan o'r gyfrol sanctaidd, canu mawl, a gweddio, gan y brawd Owen Jones, o Philadelphia; pregethodd y brodyr John O. Davies, Dunkers' Beech, a John Davies, Carbondale, oddiar 2 Pedr i. 17. a'r 1 Cor iv. 5. Ac yna cadwyd cyfeillach gynnwysedig o'r eglwys yn y lle, a'r gweinidogion dieithr.

Tranoeth, am 10, dechreuwyd gan y brawd Jenkin Jenkins, Dundaff, (anymddibynwr;) a phregethodd y brodyr Owen Jones, a Wm. Rowlands, o Gaerefrog Newydd, oddiar Matth. xviii. 20. a'r 2 Bren. iv. 26. Am 2, dechreuodd y brawd Owen Jones; a phregethodd Wm. Rowlands, (yn Saesoneg), a John Davies, oddiar Rhuf. i 16. a Ioan v. 5, 6, 7. Am 6, dechreuwyd gan y brawd Shadrach James, (Bedyddiwr;) a phregethodd y brodyr Owen Jones, a Wm. Rowlands, oddiar Nahum. i. 7. a'r Salm. lxxxvi. 10.

Maintioli y tŷ yw 30 wrth 32 troedfedd, wedi ei adeiladu yn hardd o briddfeini cochion, a'i orphen oddifewn yn gyfleus, a meinciau addas, *stove*, &c. Er ei henwi yn olaf, nid y drugaredd leiaf oedd genym weled gwynebau ein hathrawon yn ei agoriad, wedi diogelu ar eu teithiau pell—a geill llawer dystio nad oeddynt yn gymmylau diddwfr.

Heblaw eich hen gydymdeithydd
A'ch didwyll gyfaill,
EDWARD THOMAS.

*East Mines, ger Pottsville.*

---

*Y ffordd haiarn.* Dydd mercher, Chwefror 14, dechreuodd Ysgrifenyddion y Llythyrdy fyned allan yn yr Agerdd gerbydau rhwng Birmingham a Liverpool, gan ddosparthu y llythyrau ar eu taith yn lle yn eu swyddfa, rhag colli amser, ac yna eu cyflwyno yn beccynau yma a thraw ar y ffordd yn ol eu cyfarwyddiadau darparedig.

*Diddymiad Prentisiaeth y Negroaid.*—Er i Frydain roi ugain miliwn o bunnau i berchenogion y Caethion yn yr India Orllewinol a manau ereill am eu rhyddhau hwynt. Rhyddhawyd hwynt, drwy eu rhwymo yn Brentisiaid, a rhoi cyflog iddynt, a phan ddelo amser eu Prentisiaeth i fynu, byddant yn rhyddion hollol: felly y gwnaed y gyfraith. Ond, er hyny mae profion lawer fod eu hen feistriaid creulon a chalon galed yn parhau i'w gorthrymu hwynt yn dost iawn, gan eu ffangellu, eu carcharu, &c. Cynnaliwyd Cyfarfod mawr yn Llundain Chwefror 14, i gyttuno am anfon Eirchion i'r Senedd, i erfyn iddynt wneud cyfraith newydd etto am ollwng y Caethion oll yn rhydd y dydd cyntaf o Awst nesaf, gan farnu y bydd hyny yn gyfiawn, oherwydd y cam y mae'r caethion wedi gael oddiar ddwylaw eu meistriaid. Mae amryw Eirchion i'r perwyl wedi cael eu hanfon eisoes.

CYNGOR MEDDYGOL.

*Rhag y peswch, gwendid, a phoen yn y ddwyfron, a'r Darfodedigaeth.*

Cymmerwch un troed buwch, torrwch ef yn ddarnau, a dodwch y darnau mewn 3 Chwart o ddwfr, a dodwch attynt 2 owns o Isinglass, a 2 owns o siwgr Candy, gwyn yw y goreu. Yna dodwch y cyfan mewn cawg pridd, a gosodwch ef yn y pobty brwd ar hyd y nos.

Yn y boreu, hidlwch ef drwy ogr. Cymmerwch lonaid llwy fwyta o hono mewn llefrith yn gynnes, neu mewn gwydriad o win, unwaith neu ddwy bob dydd. Pan ddarfyddo, gwnewch yr un modd drachefn.

*Rhag y Llwg*, (Scurvy).

Cymmerwch ychydig o frigau a swpynau y ffawydden a elwir *Scotch Fir*, a dodwch ddwfr poeth arnynt dros nos; yna yfwch hanner peint o'r drwyth bob dydd: sef chwarter peint yn y boreu, a chwarter peint yn yr hwyr.

---

MARWOLAETHAU.

Awst 29, 1837, bu farw William Thomas, Pant y cored, Pentyrch, Morganwg, yn 34 oed. Treuliodd y naw mlynedd olaf o'i oes mewn proffes hardd o Grist y Gwaredwr. Bu farw mewn ymorphwysiad ffyddiog arno. Pregethodd y Parch. Benjamin Evans, St. Fagans, yn ei angladd. Claddwyd ef yn Llantrisant.

Rhagfyr 1, 1837, bu farw Llywelyn ei frawd yn 32 mlwydd oed. Yr oedd ei feddwl yn gywir am drefn Duw yn achub pechaduriaid, ond yn amheus am ei ymorphwysiad ar y drefn hono. Pregethodd y Parch. Benjamin Evans, yn ei gladdedigaeth ef, a chladdwyd ef yn Llantrisant.

HANESYDD.

Bu farw, ddydd Mercher, Ionawr 31, 1838, am hanner dydd, Mr. Phillips, Penrhyn, gerllaw Mochdre, yn 74 o'i oedran; un o Flaenoriaid yr Eglwys Calfinaidd yn Mochdre. Gwr da a haelionus iawn at achos yr Arglwydd.

Mae Eglwys Mochdre wedi colli tri o'i Blaenoriaid ers ychydig o flynyddau; sef Mr. Hugh Williams, Mochdre, Mr. John Roberts, Bryndedwydd, a Mr. Phillips. Gwyr parchus, a gair da iddynt gan y Corff, yr Eglwys, cymmydogion, a'r byd. Blaenoraid oeddynt wrth fodd pawb: gwyr gonest gyda'r achos ymhob ystyriaeth, fel y gellir dywedyd am danynt, 'wele Israeliaid yn wir yn y rhai nid oedd twyll.'

*Mochdre.* HUGH WILLIAMS.

ESGORODD.

Ar ddydd Sadwrn, 20fed o Ionawr diweddaf, boneddiges E. Morris, Ysw. Penbontvach, Llansantffraid, Ceredigion, ar fab ac etifedd.

D. W.

# BARDDONIAETH.

COFFADWRIAETH

Am y Parch. T. CHARLES, A.B. o'r Bala, a fu farw Hydref y 5, 1814, yn 59oed. Gan y diweddar Barch. W. HUGHES, Dinas y Mowddy, Gweinidog yr Anymddibynwyr.

"Yn gymeradwy ymmysg lliaws ei frodyr; yn ceisio daioni i'w bobl, ac yn dywedyd am heddwch i'w holl hiliogaeth."—Ester x. 3.

Gwerthfawr iawn gan Dduw yn ddiau,
Ydyw angau ei saint i gyd;
Pan y mae'n eu cym'ryd atto,
I breswylio i'r nefol fyd:
I orphwyso oddiwrth eu llafur,
Mewn gwir gysur gydag E;
Lle ni ddaw na chroes na thrallod,
I'w cyfarfod o un lle.

Am y cyfiawn fe fydd cofio,
Tra parhao oesoedd byd;
Am Mr. Thomas Charles fe gofir,
Er ei fyn'd i'w fedd yn fud:
Yn ei iengctyd y dechreuodd,
A pharhaodd hyd ei fedd,
I bregethu Efengyl Iesu,
Sydd yn cyhoeddi ini hedd.

Llawn o zel a llawn diwydrwydd,
Oedd yngwaith ei Arglwydd mawr;
Er cyfarfod gwrth'nebiadau,
Er hyn ni roes ei arfau i lawr:
Ond fel milwr da i'r Iesu,
Bu'n ymdrechu o blaid y ffydd;
Nes gorphenodd ar ei yrfa,
Nol diodde' pwys a gwres y dydd.

Gras a doniau a doethineb,
Oedd yn cyfateb ynddo fe;
I gyflawni ei weinidogaeth,
Yma'n odiaeth is y ne:
Cadd ei lwyddo'n fawr i alw
Llawer oedd yn feirw 'i fyw;
Ac i'w dwyn o feddiant diafol,
At y gwir a'r bywiol Dduw.

Yn llaw'r Arglwydd bu'n ddefnyddiol
I gysuro'r duwiol rai;
Codai'r llesg a'r gwan i fynu,
Pan yn soddi yn y clai:
Ac fe roddai gyfran gymwys,
I bob gradd yn Eglwys Crist;
Bwyd i'r cryfion, llaeth i'r gweiniaid,
A diddanu'r enaid trist.

Canwyll oleu fu flynyddoedd,
A ddiffoddodd ganol dydd;
Seren ddisglaer fu'n llewyrchu,
Ond yn awr a aeth ynghudd:
Udgorn arian beraidd seiniodd,
Yngwersylloedd Israel Duw;
Ond er marw mae'n llefaru,
Wrthym ni sydd etto 'n fyw.

Yn y Gogledd a'r Deheudir,
Y llafuriodd flwyddau maith;
Ac ymhob rhyw ran o'r Dalaith,
Fe fydd cofio am ei waith:

Diwyd iawn a fu'n 'sgrifenu,
Amryw lyfrau yn ei ddydd;
Y rhai yn ddiau fydd yn fendith,
I'r oes hon ac oesau fydd.

Ei Eiriadur Ysgrythyrol,
Sydd yn wir ragorol waith;
Yn egluro tywyll eiriau
'R Ysgrythyrau yn ein hiaith:
Chwiliodd i wahanol ieithoedd
Am ddyfnderoedd pethau Duw;
Gan ymdrechu rhoddi'r synwyr
I'w ddarllenwyr o bob rhyw.

Deuwch Gymry i ddyfal chwilio,
Ei werthfawr Lyfrau sy'n eich iaith;
Y mae ynddynt fwyd i'r cryfion,
A llaeth i'r gweinion ar eu taith:
O egwyddorion athrawiaethau,
Ac Esponiadau maent yn llawn;
Petha' hanesiol a phrofiadol,
Sydd yn eu gwneud yn fuddiol iawn.

I gael Ysgolion rhad yn Nghymru,
Bu'n ymdrechu yn ei ddydd;
Ac i ddysgu hen ac ieuangc,
I fedru darllen gair y ffydd:
Ei hoff waith oedd egwyddori,
Cyfrwyddo a dysgu ymhethau Duw;
A chael dynion i'r goleuni,
O'r tywyllni maent yn byw.

Bu'n ymdrechgar i helaethu,
Achos Iesu yn y byd;
Cyfaill oedd i'r Bibl Gymdeithas
A'r un Genhadawl yr un pryd:
Yn ei ardal fe ymdrechodd,
Nes gorphenodd ddyddiau i oes;
I ddwyn dynion i wir gredu,
Yn Iesu Grist fu ar y Groes.

Ac er cymaint oedd o ddefnydd,
Yma dros ei Arglwydd mawr;
Mae ei yrfa wedi darfod,
A'i bererindod ar y llawr:
Ymdrech deg a ddarfu ymdrechu,
Ac fe ddarfu gadw'r ffydd;
Cadd ei ollwng mewn tangnefedd,
O'i gaethiwed oll yn rhydd.

Darfu ei drallod a'i ofidiau,
A'i gystuddiau oll i gyd;
Ni ddaw tristwch poen na galar,
Byth i'w flino i'r nefol fyd:
Ni ddaw anghydfod na therfysgoedd,
Na rhyfeloedd o un rhyw;
Byth i flino neb o'r teulu,
Sydd yn cartrefu gyda Duw.

Hyfryd meddwl am y dyrfa,
Ddihangodd adre i wlad yr hedd;
Ni ddaw gruddfan ing na thrallod,
I'w cyfarfod draw i'r bedd:
Mae eu gynau wedi eu golchi,
A'u cannu yn wyn yngwaed yr Oen;
Maent a'u palmwydd a'u coronau,
Yn canu byth heb un-rhyw boen.

Y mae miloedd yn galaru,
Yn Lloegr a Chymru yr un wedd;
O achos marw Charles o'r Bala,
A'i roi i orwedd yn y bedd:
Cenad ffyddlon o Ladmerydd,
Dros yr Arglwydd oedd efe;
Ac mae'n anhawdd cael wrth chwilio,
Un a allo lanw ei le.

Triugain mlwydd ond un a drefnwyd,
Iddo o amser ar y llawr;
Ar y pumed dydd o Hydref,
Aeth i dragywyddoldeb mawr:
Mil wyth gant oedd oedran Iesu,
Gyda phedair blwydd ar ddeg;
Pan y darfu iddo orphen,
Ei lafurus ymdrech deg.

Pan oedd yn ei oriau olaf,
Fel Simeon d'wedai'n hŷ;
Yr awr hon Arglwydd y gollyngi,
Dy was mewn tangnefedd cu:
Pallu wnaeth fy nghnawd a'm calon,
Ond nerth fy nghalon ydyw Duw,
Ac efe yw'm rhan drag'wyddol,
A'm hiachawdwriaeth rasol yw.

Nid oes achos i alaru,
Fel rhai heb obaith ar ei ol;
Mae genym le i hyderus gredu,
I Dduw ei gym'ryd i'w ei gôl;
A phan ymddangoso 'r Iesu,
Ar ei orsedd ddydd a ddaw;
Ymddengys yntau mewn gogoniant,
Gyd a thorf ei ddeheulaw.

Y mae Arglwydd Dduw Elias,
Er mawr gysur etto 'n fyw;
I anfon gweithwyr i'w gynhauaf,
Er mawr les i ddynol ryw:
Llefed Sïon am fugeiliaid,
Fyddo wrth fodd ei galon Ef;
I'w phorthi â deall a gwybodaeth,
Tra byddo yma is y nef.

Er bod cymylau tywyll duon,
Uwch ben Sïon lawer pryd;
Etto ni âd Duw ei achos,
Yn ddi lwyddiant yn y byd:
Ac er symud rhai defnyddiol,
I fwynhau eu nefol ran;
Yn eu lle mae Duw yn danfon,
Ffyddlon rai o fan i fan.

Gwylwyr Sïon byddwch ffyddlon,
Nid yw'ch dyddiau ond byrion iawn;
Llefwch lawer mewn gweddiau,
Am i Dduw roi llwyddiant llawn:
Byddwch daer ar bechaduriaid,
Tra bo galwad ar eu hol;
I ddychwelyd at yr Arglwydd,
Gan ado eu ffyrdd annedwydd ffol.

Duw a roddo wir ffyddlondeb,
I'r rhai oll sydd yn ei waith;
A mawr lwyddiant ar eu llafur,
Ymhlith pob cenedl, llwyth, ac iaith:
Doed Iuddewon a chenhedloedd,
I wir gredu yn Iesu Grist;
Fel y gwelo hyd ddiwallu,
O lafur boen ei enaid trist.

TALYWAEN. PSALM 51. Gan y diweddar JOHN WILLIAMS, Dolgelley.

Trugaredd dod i mi, Duw o'th ddaioni tyner: Ymaith tyn fy an-

wiredd mau O'th drugareddau lawer. O'th drugareddau lawer.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXVIII.] EBRILL, 1838. [LLYFR VIII.

## CRYNODEB O BREGETH

## Y DIWEDDAR DAVID CADWALADR, O'R BALA, YN LLYNLLEIFIAD,

*Tach.* 1, 1815.

"Parhewch mewn gweddi,"—Col. iv. 2.

MAE yr apostol yn annog y Colosiaid i farwhau eu haelodau y rhai sydd ar y ddaear, godineb, aflendid, gwyn, drygchwant, a chybydd-dod yr hon sydd eilun addoliaeth: ynghyd a phob drygioni. Pethau i'w dodi heibio yw y pethau hyn i gyd, eu dodi heibio o'ch ewyllysiau a'ch dymuniadau, a'ch ymarferiadau. Nid yw y Bibl yn gofyn i ni roi heibio dim ond y pethau a wnant niwaid i ni ein hunain. Darllenwch y Bibl mor fanwl ac y medroch, a chwi welwch hyn. 'Oherwydd y pethau hyn y mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufudd-dod.' Digofaint Duw a gymmer afael tragywyddol arnom os na waredir ni oddiwrth 'y pethau hyn.' Er cymmaint a wnaeth Iesu Grist yn lle a thros bechaduriaid, os ceir di yn gaethwas i'r un o'r pethau hyn, 'Digofaint Duw' a gaiff afael arnat. Ond os cai di ymadael a'r pethau hyn, ti gei bethau rhagorach yn eu lle.

'Rhoddwch eich serch ar y pethau sydd uchod.' Y mae Duw am ein cael i'r nefoedd yn gynt o lawer nag yr ydym yn disgwyl. Nid oes yma neb yn meddwl myn'd i uffern, a oes? Y mae Duw am gael dy serch i'r nefoedd cyn marw. Cryf iawn yw serch dyn. Mae serch llawer un wedi rhedeg ar ol ei gwrthrych â serchogrwydd na ollyngant eu gafael tra byddont byw. Os bydd i dy serch fyn'd i'r nefoedd fe â dy enaid a dy gorph yno ar ol y serch.

Y ffordd i iawn gyflawni yr holl ddyledswyddau y mae yr aposol yn eu gorchymyn ydyw, 'parhau mewn gweddi:' i farwhau llygredd, i lenwi y lle y mae Duw wedi ein gosod ynddo, &c. Y mae gweddi yn tarddu o galon y credadyn yn myn'd i entrych y nefoedd; i drysorau y Cyfryngwr, i ddwyn yn ol i'r enaid ddigon o nerth i fyw er gogoniant i Dduw yn y byd. Ni welwyd erioed, ac ni welir byth ddyn duwiol diweddi. Dywedir am Saul o Tarsis, wedi iddo gael troedigaeth, 'Wele, y mae efe yn gweddio.'

Wele, yn awr, beth yw gweddio?

I. Beth nad yw gweddio. Nid darllen na gwrando darllen gweddiau da o lyfr, nid hyny yw gweddio. Mi ddarllenais i yr holl weddiau yn y *Common Prayer*, er hyny ni weddiais i ddim. Un gwr a ysgrifenodd 140 o weddiau, ac mi a'u darllenais i gyd, heb weddio un gair. Mi ddarllenais y Psalmau drosodd a throsodd, ac etto heb weddio dim. Ië, mi ddywedais fy Mhader 5 neu 6 o weithiau yn y dydd neu ragor, ac etto heb weddio dim.

Ac nid cymmeryd geiriau rhai ereill, a dywedyd rhyw lawer o eiriau wrth yr Hollalluog i fynegi iddo pa fath un ydyw, ac am ei Berffeithiau gogoneddus, &c. nid hyn chwaith yw gweddio. Ac nid dywedyd rhyw beth, a churo pob peth o'n hamgylch, a bloeddio, a chodi llais, nid yw hyn chwaith yn weddio. Gallwn fod yn dra ffurfiol wrth geisio gweddio, heb un ffurf. Wele ynte, mewn difrif, beth yw gweddio? 'Gweddiaf â'r Yspryd, ac â'r dyall hefyd,' medd yr apostol. Y mae holl alluoedd yr enaid ar waith wrth wir weddio. Hefyd, gweddio yn yr Yspryd Glan. Gwaith pechadur yw gweddio, a'r Yspryd Glan yn ffurfio gweddi ynddo. Nid oes gan weddi un ffordd i fyned at Dduw ond trwy'r Cyfryngwr.

Medd y Psalmydd, 'A myfi a weddiaf ar yr Arglwydd fy Nuw;' nid ar Mair, Paul, Peter, &c. Ond ar Dduw, fy Nuw cyfammodol; ar Dduw sydd anfeidrol uwchlaw amgyffred neb o'i greaduriaid. Mae perygl tynnu darluniad neu ddychymyg am Dduw

wrth geisio gweddio. Y rhai sydd yn gweddio ar y Duw y maent hwy yn ei amgyffred yw yr eulunaddolwyr gwaethaf. Y pechadur yw y gweddiwr, ac mae yr Yspryd Glan yn ei gynnorthwyo; a'r Mab yn cyflwyno y weddi i'w Dad. Diau y Tad sydd yn gwrando gweddiau. Wele, wele, 'parhewch mewn gweddi.' Y mae gweddi i gydfyn'd â phob dyledswydd.

Y mae llawer o sôn yn bresennol am lwyddiant yr Efengyl tros y moroedd yn mhlith y Paganiaid tywyll. Wele, 'parhewch mewn gweddi.' Os nad oes fawr o arian genyt i'w rhoddi i gyfranu Biblau ac anfon Cenhadon, dybla dy weddiau. Yn wyneb pechadurusrwydd a llygredd y wlad, a'th gymmydogaeth, parha mewn gweddi. Oh! meddi, mae fy nheulu yn annuwiol iawn, parha di i weddio drostynt, fe allai wedi dy gladdu di y bydd atteb i'th weddiau. Y mae llygredd fy nghalon yn gryf iawn. Wele, glyn di wrth orsedd gras; parha mewn gweddi, a thi a gei fod 'yn fwy na choncwerwr trwy'r Hwn a'th garodd.' Nid oes nemawr o argoel llwyddiant ar bregethu; ychydig o bechaduriaid sydd yn cael eu hachub i fywyd tragywyddol. Parhewch chwi mewn gweddi, a chwi a gewch weled llwyddiant mawr ar yr Efengyl: y mae pob peth a welwch ac y glywch am holl deyrnasoedd y byd yn gwaeddi yn uchel 'parhewch mewn gweddi.'

Nid oes ar y cythraul ofn dim yn fwy na gweddi y Cristion. Dychrynwch y cythreuliaid a'ch gweddiau, bobl! Tra byddo Duw yn parhau yn Hollgyfoethog, a thithau yn anghenus, parha mewn gweddi. Ni welais i gymmydogaeth erioed a gafodd yspryd gweddi, na bum yn dyst o ddiwygiadau mawrion yn yr ardal hyny. Duw y Nefoedd, bendithia y cynghorion hyn i fy ngwrandawyr. Pechod dirfawr yw bod yn anufudd i Dduw. Cofiwch mai Efe sydd yn gorchymyn; caffer chwi oll yn glynu wrth orsedd gras, 'yn *parhau* mewn gweddi,' tros eich eneidiau, a'ch cyrph, eich teuluoedd, a'ch cymmydogaethau, dros bob dyn yn yr holl fyd. Cofiwch bod Duw yn barottach i roddi nag ydym ni i ofyn na dymuno. Duw a fendithio hyn o annogaethau trwy Iesu Grist. Amen.

'Ni fethodd gweddi daer erioed
A gyrhaedd hyd y nef.'

# Rhagoriaethau y Bibl.

LUC.

Yr efengyl yn ol Luc a ysgrifenwyd er mwyn y Cristionogion o'r Cenhedloedd, ac a gyflwynwyd i Theophilus, boneddwr wedi ei ddychwelyd i ffydd Crist. Mae yn rhanedig i bedair ar hugain o bennodau, yn cynnwys pedwar o brif ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn adrodd y pethau mwyaf neillduol yn ngenedigaeth Ioan Fedyddiwr a'r Iesu, ac yn eu hanes borenol hyd fedydd Crist, pen. i.—iii. Y pethau mwyaf hynod yn y dosparthiad hwn ydynt.

1. Ymddangosiad yr angel Gabriel i dad Ioan, ac wedi hyny i'r forwyn Mair, pen. i.

2. Genedigaeth Ioan, ar ol yr hyn yr adferwyd ymadrodd ei dad, pen. i.

3. Genedigaeth yr Iesu, yr hyn a fynegwyd gan yr angel i'r bugeiliaid, pen. ii.

4. Doethineb yr Iesu yn ei ymddiddan â'r doctoriaid Iuddewig yn y deml, pan nad ydoedd yn unig ond deuddeg oed, pen. ii.

Dos. II. Sydd yn coffâu llawer o ymddiddanion a gwyrthiau Crist, dros yspaid tair blynedd ei weinidogaeth, hyd onid aeth i Iudea, i'w basg diweddaf, pen. iv.—ix. Y pethau mwyaf hynod yn y dosparthiad hwn ydynt,

1. Pregeth gyntaf Iesu Grist yn synagog Nazareth, lle y magesid ef, pen. iv.

2. Dyfodiad disgyblion Ioan at Grist pan yr ydoedd yn cyflawni llawer o wyrthiau, pen. vii.

3. Iachau y dyn ydoedd wedi ei feddiannu gan leng o ddiafliaid, pen. viii.

Dos. III. Sydd yn adrodd ymddiddanion, dammegion, a gweithredoedd Crist yn Iudea, ac yn Ierusalem, hyd nes y bradychwyd ef, pen. x.—xxi.

Y pethau mwyaf nodedig yn y dosparthiad hwn ydynt,

1. Anfoniad y deg disgybl a thriugain i bregethu yr efengyl, pen. x.

2. Dammegion y mab afradlawn, y gwr goludog a Lazarus, a'r pharisead a'r publican, pen, xv. xvi.—xviii.

3. Dychweliad Zachëus y publican, pen. xix.

Dos. IV. Sydd yn cynnwys hanes dyoddefiadau, marwolaeth, adgyfodiad, ac esgyniad Crist, pen. xxii.—xxiv. Heblaw y pethau neillduol yn nyoddefiadau ei

Iachawdwr, a adroddir gan yr efengylwyr eraill, y pethau mwyaf hynod yn y dosparthiad hwn ydynt, 1 Dychweliad y drwg weithredwr pan yn marw ar y groes, pen. xxiii.

2. Ymddiddan Crist, ar ol ei adgyfodiad, gyd â'r ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmäus, pen. xxiv.

3. Dull esgyniad Crist, pen. xxiv.

*Cyfeiriadau yn Luc.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen i 5 | 1 Cron xxiv 10--19 | Pen iv 27 | 2 Bren v 14 |
| 9 | 2 Cron viii 14 | vii 22 | Esa xxxv 5 |
| 32 | 2 Sam vii 11 12 | ix 54 | 2 Bren i 10--12 |
| | Esa ix 6 7 | x 27 | Deut vi 5 |
| 33 | Ps cxxxii 11 | | Lef xix 18 |
| 55 | Gen xvii 19 | xi 31 | 1 Bren x 1 |
| 79 | Esa ix 2 | 50 | 2 Cron xxiv 20 21 |
| ii 34 | —— viii 14 | xiii 6 | Esa v 2 |
| 42 | Exod xxiii | 34 | Mic iii 12 |
| | 15--17 Deut | xvii 26 | Gen vii |
| | xvi 1--16 | 28 | —— xix |
| iii 4 | Esa xl 3 | xix 38 | Ps cxviii 26 |
| 6 | — lii 10 | xx 17 | ——— 22 |
| iv 8 | Deut vi 16 | xxi 22 | Dan ix 26 27 |
| 10 | Ps xci 11 | xxiii 11 | Esa liii 3 |
| 25 | 1 Bren xvii 9 | xxiv 46 | ——l. 6 iii 2 &c. |

## LLYTHYR VIII.

*Oddiwrth hen Weinidog, at ei fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

(Parhad tu dalen 71.)

I ddangos i ti mai gorchwyl pwysfawr yw yr un wyt wedi dy alw iddo, ac i bennodi ychwaneg o'th ddyledswyddau fel Gweinidog yr Efengyl, mi âf ymlaen:—

Math arall ar ymweliad i'th gynnulleidfa ag sydd yn perthyn i'th swydd, yw, ymofyn ac ymweled â rhai crwydredig ac adfeiliedig. 'Gan edrych yn ddyfal na bo neb yn pallu oddi wrth ras Duw.' O'r blaen yr oeddwn yn son am it gael dy wahodd i ymweled â'th gyfeillion; ofer it ddisgwyl hyn yma. Gwyddost am effaith adfeiliad ei fod yn pellhau oddiwrth Dduw a phob cymdeithas a'i bobl; a myn'd ar ol yr hon a gollwyd y mae y Bugail da; a dyna yw dyledswydd y bugeiliaid sydd dano. Afraid i mi sylwi a phrofi dy rwymau i'r rhan yma o'th waith; ac nid fy niben chwaith ydyw ymdrin ag achosion ac arwyddion adfeiliad, ond crynhoaf trwy dy gyfarwyddo i gyflawni y gorchwyl o ymgeleddu y cyfryw, a hyny yn dy waith yn ymweled â hwy.

Dichon i gyfyngderau, trallodion, ac erlid beri rhwystr i amryw yn eu gyrfa grefyddol pan na byddo eu hysbrydoedd gymaint yn adfeiliedig. Mae llawer etto 'yn rhwystro y rhai bychain,' a, gwell fyddai iddynt grogi maen melin wrth eu gwddf, ac ymdaflu i eigion môr, na bod yn achos rhwystr mewn duwioldeb i neb o'u hamgylch. Os gwyddost am na gwragedd na phlant yn gorfod goddef croesau, a blinderau gan y rhai sydd mewn awdurdod arnynt, nid wyf yn dy gynghori ond i dalu ymweliad anaml a byrr i'r cyfryw, oddeithr it allu penderfynu bod o les i'w gorthrymwyr. Oblegid mae yn berygl chwanegu eu croesau. Clywais am un gelyn crefydd (yn yr olwg ar weinidog duwiol yn dyfod at ei dŷ) yn edliw i'w wraig, 'Dyma dy berson rhagrithiol a phenboeth yn dyfod; rhaid imi droi allan.' Ymweled â'r cyfryw sy'n addasach ei roi heibio, os na fynwn ychwanegu eu dioddefiadau yn achos Crist. Ond cofia roi iddynt gyflawn groesaw i ddyfod i dy dŷ di, a llawer o gyfleusderau i adrodd eu helynt yn yr Eglwys, a rhan feunyddiol yn dy weddiau.

Diameu mai yn yr enaid mae yr adfeiliad yn dechreu, ond dyledus yw i'r bugeiliaid fod a'u llygaid yn graff i'w ganfod yn yr ymddangosiad. Ymddengys weithiau mewn esgeulusdod o foddion gras, bryd arall gwelir ef oreu yn y tŷ, mewn esgeulusdod o grefydd ac addoliad teuluaidd. Ac weithiau yn esgeulusdod cyfraniadau teilwng at achos Crist. Ond wrth it ganfod fod adfeiliad wedi dechreu, y peth nesaf fe allai yw ymofyn ynghylch ei natur; canfyddir rai prydiau mai difatterwch ydyw; dwysder pethau Duw wedi colli, dylanwadau yr Ysbryd Glan wedi arafu ac ysgafnhau ar y meddwl. Peth digon anhawdd i'w yrru allan ydyw y rhyw yma o adfeiliad: fe fethodd y disgyblion fwrw y cythraul mud a byddar allan; a dywedaf ei fod yn ormod gorchwyl i tithau oddieithr fod dy galon yn wresog iawn ymhethau yr iechydwriaeth, ac arwydd amlwg dy fod o dan oruchwyliaethau yr Ysbryd. Oblegid dy fod di dy hun dan lywodraeth marweidd-dra a difatterwch sydd agwedd amhriodol i adfywio eraill.

Gwelir hefyd am adfeiliad rhai eu bod wedi eu llyngcu i ysbryd y byd, a'r drafferth, a'r cybydd-dod; dyma ydyw eu hanwylyd, eu cariad, druain. Ond fe â eu cariad ar dân cyn hir, pa beth a wnant? Mae gwaith diddyfnu ar y rhai hyn; a'r ffordd oreu ydyw eu denu i chwenychu

pethau eraill; ac ymdrechu i roddi ymrafael rhyngddynt a'u teganau.

Weithiau hefyd, cenfigen ac ymryson fydd natur yr adfeiliad: ac un o brif ordinhadau y diafol i adfeilio y saint ydyw ymryson; oblegid mae ei amcan ef am i'r lefain gyraedd 'yr holl does.' Anhawdd iawn ydyw adnewyddu y rhai hyn, ond trwy rym rhesymau. Oblegid ymgais am dawelwch trwy gladdu, sydd groeni ar y wyneb, a drwg yn y gwaelod; ond os gorchfygir trwy rym dadl, ceir mantais i fagu ysbryd maddeu. Yna bydd yn hawdd dangos y lle, a'u perswadio hwy i dorri 'r bedd, a chei dithau gyd gyfranogi i'w briddo. Ond yn dy ymweliadau o'r natur yma, cofia ei bod yn un o anhawsderau dy swydd i'w chyflawni yn ffyddlon. Dylai fod y diben wrth gychwyn yn dy anog i daerineb wrth orsedd gras, ac i gyflenwi dy hun â darpariaeth dda i'r anturiaeth. Gwelaf fy mod yn hir. Math arall a enwaf yw

Ymweled â'r rhai blinderog, cystuddiedig, a phrofedigaethus. 'Mae dyn wedi ei eni i flinder fel yr eheda gwreichionen i fynu;' a phwy gymwysach, (a ddylai fod) 'i gysuro pob galarus,' ac i wybod oddi wrth eu doluriau, nag ydyw gweinidog yr Efengyl.' Mae 'crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad,' yn dwyn y nodweddiad o 'ymweled â'r amddifaid, a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd.' Am hyny bydded 'i'th wefusau gadw gwybodaeth,' a bydded genyt 'dafod y dysgedig i lafaru gair mewn pryd wrth eneidiau diffygiol.' Mae profedigaethau, a chroesau rhagluniaethol a gyfarfyddo â'th braidd yn galw arnat i fod yn gyntaf i ymweled â hwynt yn yr amgylchiad.

Meddyliaf mai ychydig yr ydym yn ystyried y ddyledswydd yn wyneb hyn. Ond os darllenwn hanes Job, gwelwn fod hyn yn achos i'w gyfeillion ef i godi o bellder gwlad i roi ymweliad iddo. Ac mae Satan yn defnyddio amgylchiadau dyryslyd o derfysg i lethu y meddwl; ac ychydig o blant Duw sydd yn medru dweud eu bod 'yn hyfryd yn Nuw eu hiechydwriaeth,' wedi i'r dâ a'r defaid ballu. Ac yn wir, rhaid cael crefydd hynod o glir i gydnabod, mai 'yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith.' O na, mi adwaen rai a fagodd y darfodedigaeth dan rym profedigaeth; ac mae y Iehofah yn gwisgo cwmwl mor dew o amgylch ei orseddfa rai prydiau, nes mae ei blant yn dyrysu, ac yn gweiddi, 'Yn fy erbyn i mae hyn oll.' Am hyny brysia yno, i ymladd â'r anghrediniaeth, ac i ddangos a gwrthdadleu ystryw Satan; i gyfiawnhau trefn dy Dduw, ac i droi dyffryn Achor yn ddrws gobaith i'w blant: bydded dy bresenoldeb i'w sirioli, dy eiriau i'w lloni, os na all dy bwrs eu helpu.

Afiechyd, cystudd, a gwely angau, etto sydd yn galw am dy ymweliad. Oni fyddi di yn son llawer am yr adeg yma, am hyny dylit fod yn fedrus iawn ar hanes clogwyni, dyrysni, a garwleoedd tywyll y dyffryn hwn. Mae yr amser yma yn gyfleusdra a roddwyd it gan Dduw i ymweled â'th gynnulleidfa. Maent o angenrheidrwydd yn absennol o'th weinidogaeth gyhoeddus, yn amddifaid o gymdeithas preswylwyr y tŷ, ac hefyd, fe allai, fod eu cydwybod yn effro, ac fe'i llwythir gan hen euogrwydd eu llwybrau ceimion gynt; a gwych fel y saif Satan etto yn eu hymyl i edliw yr hen gastiau, a meithrin pob ofnau, a llethu pob gobaith. Pwy sydd ganddynt druain i gyweirio eu gwely yn eu hadfyd, os byddi di yn wr absennol a dieithr iddynt? O, faint o destynau ymddiddan a weinyddir it yn achos cystudd sant! Cei ddangos mai nid damwain yw afiechyd, eu bod dan gyfarwyddyd doeth a daionus law Duw; weithiau yn gerydd am bechod, bryd arall er profi llawer Abraham, a'i roi i ymarfer ei ffydd; gan ddangos fod un 'yn eistedd wrth enau pob ffwrn,' ac mai 'dyma yr holl ffrwyth, sef tynu ymaith y pechod.'

Gelli eu cyfarch hefyd â'r henffych well wynfyd yr ochor draw i'r afon: ffarwel pob gelyn, pob temtio, pob gofid, pob pla, pob llygredd; y gelynion a welir heddyw, ni welir mo honynt byth ond hyny. Croesaw pob cyfaill; mwynhad perffaith dilen o Dduw, bod gyda Christ, yr hwn a ddygodd ei galon er ys llawer dydd: cael cwmni yr angylion fu yma yn ei wylio yn mýd y stormydd: cyfarfod a'r hen seintiau y bu yn ymbleseru yn eu cyfeillach, ac yn wylo ar ol eu colli! Mae yn rhaid fod y Nefoedd yn lle da gan fod cynnifer o rai da a adwaenem wedi myn'd yno! Mae y myfyrdod am dani bron yn peri i'm lesmeirio mewn

hyfrydwch hiraethlon 'am y breswylfa lonydd, y babell na thynir i lawr, ac ni syflir un o'i hoelion' byth, rhaid i mi arafu, ni ddaeth yr amser etto.

Ond fachgen anwyl, cyn terfynu, dywedaf etto, cofia am y saint yn eu gwaeledd, gan gydnabod fod gan aelodau dy Eglwys hawl gyfreithlon i'th bresennoldeb yn eu trallod; ac yn nesaf iddynt hwy, y gynnulleidfa sydd yn ymgynnull i wrando arnat. Achub y cyfle gyda y rhai hyn, ac arfer onestrwydd: sicr yw mai lle cyfyng i'w arfer ydyw. Fe'th gyrchir weithiau, am ei bod yn ddefod, heb ddim a fynont a'th wasanaeth Yr wyf yn cofio i mi fod gydag un a hir wrandawodd yr Efengyl; ac ar ei gwely angau, yr oedd mor dywyll ag anifail; ac felly y bu farw. Un arall, wedi fy nghyrchu atto, a fynai i mi gredu fod nefoedd yn barod sicr iddo, ond 'roedd gonestrwydd fy swydd yn fy nghymell i roddi tân yn ei loches, am mai noddfa'r celwydd ydoedd. Un arall, a wyddai trwy hanes, fod cysgod angeu yn troi yn foreu ddydd i'r saint; ond dywedai fod 'Duw yn cuddio ei wyneb oddi wrtho ef.' Ar ei dystiolaeth, deallais ei fod wedi hyderu ei fod yn sant. Ond erbyn gallu darllain ei lwybrau yn y byd, fod ei syniad a'i ymarweddiad yn ddaearol, cafwyd allan yn amlwg, nad oedd ef o nôd y plant; a barnodd fod fy narluniad o hono yn gywir: ac er i berthynas iddo ganmawl ei fuchedd, etto y trangcedig a lefodd 'distawrwydd, mae y cwbl yn wir.'

Trwy hyn ti a ganfyddi mai peth syml yw bod wrth wely y trangcedig. Weithiau pan ar liniau, rhydd gwrandawr gweddi arwydd fod ei glustiau yn gauad, ac na fyn wrando; etto ein dyledswydd yw arfer cywirdeb, a bydded y canlyniad yr hyn a fyddo.

Ond, fy anwyl blentyn, oddi wrth y llythyr hwn gweli yr alwad mawr sydd arnat am fod dy nodweddiad y fath ag a enill barch a chymmeriad; ac fe orphwys hyny 'yn fawr ar dy fuchedd a'th ymarweddiad; fel y byddit yn canmawl dy hun wrth bob cydwybod dynion yngolwg Duw. Y cyfeillion parchusaf ac anwylaf a wahoddir i gwmpeini—Y tad tirion a chariadus a wneir yn wybyddus o'r gŵyn a'r trallod—At y meddyg mwyaf medrus yr eir yn wyneb cystudd. Dy Dad, yn ei benwynni,

PASTOR SENIOR.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

*(Parhad tu dal. 74.)*

Yn Affrica hefyd y bu llwyddiant mawr ar yr Efengyl yn y canrifoedd cyntaf o Gristionogaeth. Yn y rhan Ogleddol o Affrica cawn hanes fod, tua diwedd yr ail ganrif, lawer iawn yn proffesu Crefydd Crist. Er nad allwn olrhain trwy bwy y pregethwyd yr Efengyl yno gyntaf, na phwy fu yno yn dyfrhau yr Eglwysi wedi hyny: mae hanesyddiaeth yn dywyll iawn am yr amserau hyny. Yn unig, gallwn ddywedyd, yn ol pob tebygolrwydd, mai o Rufain y tarddodd y gweithredoedd hyn o gariad. Canys yr oedd gohebu a chymdeithasu mawr y dyddiau hyny rhwng Rhufain a Carthage; a dinas Carthage oedd canolbwynt yr Eglwysi Cristionogol yn Ngogleddbarth Affrica.

Yr ydym yn ddyledus am yr hanesion boreuaf am agwedd y Grefydd Gristionogol yn y parthau hyny i Tertullian, yr hwn oedd un o'r hen dadau enwocaf yr oesoedd hyny yn Eglwysi Crist: yr oedd efe yn byw yn Carthage. Yn ei ddyddiau ef yr oedd yr Eglwys Gristionogol wedi cynnyddu cymmaint yn Affrica fel yr oedd efe yn gallu ysgrifenu at y Dirprwywr Rhufeinaidd ag oedd yn llywydd ar y wlad, fel hyn:—'Os parhewch chwi i erlid y Cristionogion yn Affrica, pa beth ydych yn ei feddwl wneud a'r holl filoedd o feibion a merched, o bob sefyllfa ac oedran, y rhai ydynt yn barod i broffesu ar gyhoedd yn eich gwydd mai Cristionogion ydynt? A ydych chwi yn tybied y gellwch chwi gael digon o danwydd i losgi, a chleddyfau i ladd a dyfetha yr holl rai hyn? Bydd raid i chwi arwain chwaneg na'r ddegfed ran o drigolion Carthage i'r lladdfa, ac ymysg y lladdedigion, chwi gewch weled y bydd amryw o'ch cyfeillion a'ch perthynasau chwi eich hunan; ie bydd yn eu mysg wyr a gwragedd o'r graddau uchaf yn ninas Carthage. Os na chymmerwch chwi drugaredd arnom ni, cymmerwch drugaredd arnoch eich hunain, ar Carthage, ac ar yr holl Dalaith sydd dan eich llywyddiaeth.'

Dro arall, y mae efe yn ysgrifenu fel hyn:—'Ymhob man yr ydym yn clywed ein gelynion yn gwaeddi allan mewn syndod, 'Mae yr holl ddinas yn llawn o Gristionogion. Maent i'w cael ymhob congl o'n pentrefydd, ein cestyll, a'n bynysoedd."

Ac yn wir cyn canol y drydedd ganrif, ni a gawn fod yn Nhalaith Carthage ddeg a thriugain o Esgobion; ac, ynghylch can mlynedd wedi hyny, cawn fod yno 446 o Esgobion.

Hefyd yn yr Aipht Uchaf, treiddiodd per arogl yr Efengyl o Alexandria; a thua diwedd yr ail ganrif, yr oedd wedi llwyddo fod yn berarogl bywyd i laweroedd, gan gynnorthwyo ei phroffeswyr i ddioddef angau dan yr erledigaethau mawrion y rhai a gyfodasant yn eu herbyn yn y gwledydd hyny. O fewn cylch y drydedd ganrif cyfodwyd Ysgol egwyddori Crefyddwyr ieuainc yn Alexandria; ac fe ellir galw yr Ysgol hon yr Athrofa Genhadol gyntaf, canys hi a droes allan yn wasanaethgar iawn er lledaeniad y grefydd Gristionogol. Yr Athrawon mwyaf nodedig yn yr Athrofâu hyn oeddynt Pantœnus, Clemens, ac Origen.

Parodd cyfieithiad o'r Testament Newydd i iaith gynnenid Coptic, fod yn offerynol a defnyddiol iawn i lwyddiant yr Efengyl yn mhlith y bobl gyffredin. Tua dechreuad y bedwaredd ganrif yr oedd cymmaint o lwyddiant ar y gwirionedd yn y wlad hono; fel yn amser yr erledigaeth dan yr Ymerawdwr Dioclesian, yn y flwyddyn 303, fe gafodd y nifer mawr o 140,000 o broffeswyr crefydd Crist eu merthyru drwy dorri eu penau oddiar eu cyrph, yn ol tystiolaeth Eusebius, heblaw 700,000 a fuont feirw mewn carcharau, drwy gaeth-wasanaeth, ac alltudiaeth, &c.

Wedi i ni fel hyn, fwrw golwg ar agwedd y grefydd Gristionogol yn Nhaleithiau cyffiniawl Ymerodraeth eang Rhufain, ni a drown ein golwg yn awr at Rufain fawr ei hun, yr hon oedd yn ganolbwynt yr Ymerodraeth. Yr oedd Ymerodraeth Rhufain wedi ymdaenu cyn belled ar led, nes ydoedd hi yn cael ei galw yn 'holl fyd.' Gwel Luc ii. 1. 'A bu yn y dyddiau hyny, fyned gorchymyn allan oddiwrth Augustus Cæsar i drethu yr holl fyd. Hyny yw yn ddiau, 'i drethu yr holl Ymerodraeth fawr ac ëang, Rhufain.'

Yn Ninas Rhufain, yn Itali, y llwyddodd y Grefydd Gristionogol ar ol dinystr Ierusalem, ymhell tu hwnt i un wlad na dinas arall ar y ddaear. Ac er fod Rhufain, yr hon y pryd hyny, a ellid ei galw yn famddinas y byd, yn cynnyddu yn fawr bob blwyddyn mewn anfad ddrygioni ac anfoesoldeb, ac yn dyfod yn fwy llawn o ymrysoniadau llywodraethol y naill flwyddyn ar ol y llall; ac er fod y tân uffernol o erledigaeth yn parhau i gynneu yno bron yn ddidorr, er hyny, yr oedd y Grefydd Gristionogol yn llwyddo, a nifer ei phroffeswyr yn amlhau yno o hyd.

Ië, yr oedd crefydd yn llwyddo yno yn ngwyddfod yr Ymerawdwyr creulon, er iddynt, a hwythau yn wyr mwyaf eu hawdurdod ar y ddaear, wneud a allont, y naill ar ol y llall, i'w diwreiddio hi allan o'r byd.

Ynghylch canol y drydedd ganrif, yr oedd gan Eglwys Crist yn Rhufain un Esgob, 46 o Henuriaid, saith o Ddiaconiaid, saith o Isddiaconiaid, deg a deugain o Gyhoeddus ddarllenwyr yr Ysgrythyrau, a swyddwyr ereill; ac yr oeddynt yn cyfranu tuag at gynnal 1,500 o aelodau tlodion. Yr oedd y Cristionogion wedi cynnyddu mor ddirfawr erbyn diwedd yr ail ganrif, fel y gallodd Tertullian ddweud yn wyneb yr Ymerawdwr a'r prif cynghor, yn yr ymadroddion hyfion hyn:—Nid ydym ni, y Cristionogion, ond megis er doe, ac wele, yr ydym yn llenwi eich gwledydd, eich dinasoedd, eich ynysoedd, eich hamddiffynfeydd, eich Cynghorau, eich byddinoedd, eich Corphoriaethau, eich llysoedd; Ie, hyd yn nod eich Senedd Ymerodrol, a'ch llysoedd Barnol, ac nid oes wedi eu gadael i'r Eilunaddolwyr ond eu temlau gweigion. Pe byddem ni yn tueddu i ddial ein cam a dderbyniasom oddiar eich llaw drwy ein herlid, ein caethiwo, a'n merthyru, yr ydym yn ddigon cryfion i amddiffyn ein iawnderau a'r cleddyfau yn ein dwylaw, canys y mae genym gyfeillion, nid yn unig mewn un neu ddwy o'r Taleithiau, ond ymhob parth o'r byd. A phe baem yn cyduno i symud o Ymerodraeth Rhufain i ryw wledydd ereill i breswylio, ystyriwch pa fath golled o ddeiliaid a dinasyddion a gai yr Ymerodraeth! Byddai yn syndod i'r byd weled y fath anghyfannedd dra, a adawem felly ar ein hol, canys fe ymddangosai, hyd yn nod y ddinas yr ydych chwi yn ei llywodraethu, megis wedi ei diboblogi.'

(I'w barhau.)

## Y MEDDYG DIRWESTAWL.

LLYTHYR II.

Hybarch Drysorydd—Yn ol fy addewid

yn y Llythyr o'r blaen yr wyf yn anfon i chwi y Llythyrau canlynol, er cadarnhau nad yw y diodydd gwirfawl, ond cymmysgfa aflesol a niweidiol. Y pwngc a drinir yn yr ohebiaeth canlynol sy'n cynwys atebiad cyflawn i'r gofynaid mawr hyny, 'A ellir ymattal oddiwrth feddwdod ac ymarferiad a'r diodydd gwirfawl, yn sydyn ac ar unwaith yn ddiogel?'

'Ymosodwyd ar yr egwyddor hon,' medd y meddyg enwog C. Fauconnet, 'o eiddo y Gymdeithas Llwyr ymattaliawl gan luaws mawr o ddynion, yn enwedig meddygon; y rhai, trwy resymeg gywrain, ac ychydig ffeithiau a geisiant brofi nad all y dyn a arfero yfed yn helaeth o'r diodydd gwirfawl ddim eu troi heibio yn *sydyn* ac yn *hollawl*, heb roddi ei iechyd, ac hyd yn nod ei fywyd, mewn perygl mawr.

'Rhaid addef fod eu rhesymau yn gywrain, a'r ffeithiau a ddygant yn anwadadwy; ond yr wyf yn barnu eu bod yn mwyhau effeithiau symudiad sydyn, a'u bod yn gosod rhai *eithriadau* yn *rheol gyffredinol*. O ganlynaid, rhaid y bydd pob ffaith a brofa anghywiredd y cyfryw dyb a hono yr ymosodwn yn ei herbyn, o werth mâwr i'r achos Dirwestawl; a'r ystyriaeth hon a barodd i minnau ychwanegu fy sylwadau at y lluaws tystiolaethau o brofion arbenigawl; ym mha rai ni bu i *hollawl* a *sydyn* ymwrthodiad â'r diodydd gwirfawl greu ond ychydig o anesmwythder, yr hwn a ddilynir âg iechyd rhagorach, a gwell mwyniant corphorawl, a helaethach dedwyddwch mewn meddwl a chorph.

'Bernais y gallai fy nghyfaill hybarch a defnyddiol, CHRISTOPHE AUBANEL, *Director of the Penitentiary Prison of Geneva*, roddi i mi ryw hysbysiaeth bwysig ar y pwngc dadleuawl hwn; o herwydd yn y sefyllfa y mae ynddi, a'i hir brofiad, bu iddo gael cyfleusdra teg i wneuthur llawer o sylwadau y rhai a fyddent yn gyfnerthiad cryf i'm barn innau ar y peth. Anfonais iddo ychydig ofyniadau pa rai a atebodd gyd â'r parodrwydd mwyaf; ac yr wyf yn teimlo fy hun yn llawen o gael ei farn ammhleidiol ef (oherwydd nid yw efe yn aelod rheolaidd o'r naill na'r llall o'r ddwy Gymdeithas) o du fy nhyb wael innau, ac wele cyflwynwyf hwynt yn bresennol i sylw y darllenwyr.' *Chs. Fauconnet. M. D.*

Gofyniad 1.—A yw y carcharorion yn derbyn yn feunyddiol neu yn achlysurol, y gwlybyroedd ymweithiedig neu ddistylledig o ryw natur fel diod gyffredin?

Atebiad—Nid yw y carcharorion yn ngharchar Geneva, y rhai a ddedfrydwyd oll am fan droseddau i ddyoddef carchariad am ddeuddeng mis o leiaf, yn cael dim, ac nis gallant gael dim, yn ddiod, ond *dwfr pur* yn unig, oddieithr trwy gyngor meddyg yr hwn a ganiatâ weithiau i'r claf gael dau wydraid (oddeutu hanner peint) o win cyffredin, a hwnw yn wanaidd iawn, tebyg i ddiod fain, ddwy waith yn y dydd; ond y mae hyn mor anghyffredin nad oes dim dros 100 o 22,000 o ddyddiau y gweithir arnynt ag y gweinyddir y ddogn fechan hon o win; ac nis gall yr un carcharor, ar un esgus na phris, gael un diferyn o win, *brandy*, nac un ddiod ymweithiedig, pa bynag, oddieithr ei fod yn glaf.

Gofyniad 2.—A fu i chwi ddim sylwi ddarfod i iechyd y rhai hyny a orfodogwyd i fyw ar ddwfr glân yn unig gael ei wellâu, neu ei waethygu drwy y gorfodogaeth hyny?

Atebiad—Yn ystod y deuddeng mlynedd y bum yn benaeth ar y sefydliad hwn, ym mha un ni chaniateir i'r carcharorion ddim ond gwin, a hyny ar yr achlysuron a nodais, mi a sylwais yn wastadol, heb eithriad yn y byd, na bu i'r ymddifadiad o win *greu un anghyfleusdra* i'r rhai a arferent ei yfed yn fwy neu lai cymmedrol o'r blaen; ac i'r rhai hyny a arferent yfed yn anghymmedrol o hono o'r blaen, bu y cyfnewidiad hwn yn *fanteisiawl iawn* i iechyd y cyfryw rai. Clywais lawer o honynt yn traethu eu syndod wrth weled mor hawdd y cynnefinid hwynt i'r cyfryw lwyr-ymattaliad, y'u bod yn alluog hefyd i ymgynnal mewn llafur caled heb deimlo gwendid nac eisiau oddiwrth yr ymddifadiad hyn o'r peth a fernir yn gyffredin yn gyfranydd nerth a chryfder.

Gofyniad 3.—Pan y cawsoch dan eich gofal hen feddwon sefydledig, a fu i chwi sylwi a fyddai eu hymddifadiad sydyn o'u symbylydd beunyddiol yn niweidio eu cyfansoddiad? As os felly, a fu yr effaith yn barhaus neu yn symudol, ac yn cael ei ddilyn a gwellhâd graddol?

Atebiad.—Bu genyf yn fynych o dan fy ngofal hen feddwon sefydledig, rhai wedi

arfer am 10, 20, a 30 mlynedd i yfed gwin o foreu hyd brydnawn, ac a gyfodwyd lawer gwaith oddiar yr heol gan y swyddogion yn farw feddw, ac ni chanfyddais ddim gwahaniaeth ynddynt hwythau pan y dygid hwy i'r ymarferiad hwn. Ond nis gallaf ddynodi yn bendant ymataliad sydyn â'i effeithiau: o herwydd cedwid rhai mewn carchar arall i aros eu prawf am ddau fis, ac weithiau fwy, lle y gallent gael gwin trwy dwyll; felly nid yw y dynion hyn ond yn cael eu symud o gamarferiad i gymmedroldeb ac wedi hyny i hollol ymataliad pan y dygir hwy i'r carchar hwn. Etto, gallaf ychwanegu, na chlywais erioed o'r carchar arall fod llwyr ymddifadiad o ddiodydd ymweithiedig wedi niweidio dim ar iechyd; a gwn am rai a ddyoddefasant eu hymddifadu o hono yn sydyn ac yn hollawl, yn enwedig y rhai a garcherid mewn unigolrwydd. Yr wyf yn credu yn ddiysgog, gan hyny, wrth ddibenu, fod y *dyb o na all dyn fyw heb win, neu ddiodydd ymweithiedig ereill, yn gamsyniaeth mawr;* a bod y cyfnewidiad sydyn o ymarferiad o honynt i lwyr-ymataliad yn niweidiol i iechyd yn dyb heb un sail na chadernid iddi, oddieithr yn anfynych iawn.

CHRISTOPHE AUBANEL.

Y rhelyw o ohebiaeth y meddygon hyn a gant ymddangos yn Llythyr III.

*Bala.* J. PHILLIPS.

---

## BYR HANES

### RHAI O FLAENORIAID EGLWYS LLWYNEINION YN AGOS I'R BALA.

"Ah! clywch yr Alarch sy'n swniaw yn Sion
Ei chedyrn sy'n rhedeg o'r frwydr yn rhydd—
Dibenodd ymdrechfa y dewraidd rymusion—
Y gamp ennillasant—cadwasant eu ffydd.
Nid rhaid i ni blethu y lawryf a'r lili
Yn goron flodeuawg i'w rhoi ar eu bedd,
Ah! na, mae y coffant o'u hol yn arogli
Nes llenwi yr ardal a thangnef a hedd.

"Ha, cysgwch enwogion.—mae swn y cerbydau,
A'u trystiad yn dechreu ar balmant y nef,
Mae'r Arglwydd yn dyfod a myrdd a myrddiynau
I farnu y ddaear, a'u rhwysg sydd yn gref,
Eich llwch a gyd gesglir o gyminysg y dyffryn,
O'r briddell adfeiliawl cewch neidiaw yn fyw,
A threulio'r holl oesoedd, a'r oesoedd diderfyn,
Ym mro y tangnefedd, yn nghwmni eich Duw.

Bu gradd o ofid ar fy meddwl lawer gwaith o herwydd fod llawer o ddynion enwog mewn duwioldeb, a defnyddiol gyda'g achos Duw yn eu heglwysi a'u hardaloedd eu hunain, er na byddai eu henwau wedi lledaenu ym mhell, wedi myned i dŷ eu hir gartref heb un gair o son am danynt wedi ei adael i'r oesoedd dyfodol. Mi a adwaenwn rai o'r cyfryw y mae yn resyn, os nid yn bechod, na byddai rhyw grybwylliad am danynt yn cael ei argraphu yn y Drysorfa ryw bryd neu gilydd.

Cynnysgaeddodd yr Arglwydd rai Eglwysi bychain yn yr ardaloedd hyn â dynion y mae'n addas eu dynodi yn rhai hynod y'mhlith y brodyr. Yr Eglwys sy fwyaf ar fy meddwl yn awr yw yr Eglwys sydd yn ymgynnull yn Nghapel Llwyneinion, gerllaw y Bala. Mae gwyr nodedig iawn wedi bod yn flaenoriaid yn y lle hwn mewn côf genyf fi, ac yr oeddwn yn gydnabyddus iawn â hwynt. Y cyntaf a enwaf yw,

JOHN DAVIES, Dolfeirig uchaf. Yr oedd efe yn adnabyddus yn llawer gwlad, o herwydd yr oedd yn bregethwr, ac yn arfer teithio ychydig ar hyd Siroedd Cymru. Yr enw mwyaf cyffredin arno mewn ardaloedd ereill, ydoedd, *Sion Dafydd o'r Bala.* Gwr da ac ysbrydol oedd; a gallesid yn hawdd ei ddynodi 'yr hwn sydd ysbrydol.' Yr oedd yn gadarn yn yr athrawiaeth; yn ysbrydol yn ei brofiad; yn fanwl yn ei rodiad; ac yn gwir ofalu am yr eglwys gartref. Yr oedd wedi ei ddonio yn neillduol i ymgeleddu y saint yn y Gymdeithas eglwysig. Ni chyfrifid mo hono gan y gwrandawyr yn gyffredinol yn wr o ddawn hyawdl a ffraeth; ond pe traethwn i fy marn am dano dywedwn mai gwr yn perchen dawn mawr ydoedd; oblegid gwnai i mi ddeall pa fodd y bu i bechadur gael ei achub. Bu hwn farw er ys llawer o flynyddoedd mewn oedran teg ac yn gyflawn o ddyddiau, ac heb i'w goron gymaint a gwyro i'r naill ochr. Y nesaf a goffâf yw,

HUMPHRY JONES, o'r Ysgubor Isaf—yn yr un ardal. Yr oedd hwn hefyd yn wr duwiol iawn, a bu yn henuriad parchus am lawer o flynyddoedd yn Llwyneinion. Dangosodd y gwr hwn lawer o ffyddlondeb a chariad tu ag at Iesu Grist a'i dŷ yn ngwyneb graddau go fawr o rwystrau. Bu hwn farw hefyd mewn oedran mawr, ac wedi cyflawni ei ddyddiau a'i redfa heb golli ei harddwch a'i ddefnyddioldeb hyd ei ddiwedd, ac y mae ei goffadwriaeth yn beraidd hyd y dydd hwn.

Un arall o enwogion yr ardal hon a goffâf ydyw HARRY OWEN, Tyddyn Barwn. Bu Harri Owen yn henuriad ffyddlon am

lawer o flynyddoedd yn Llwyneinion, a pherchid ef yn fawr bob amser gan ei gydhenuriaid a chan yr Eglwys yn gyffredinol, nid yn unig oblegid ei hynafiaeth ond hefyd o herwydd ei wybodaeth helaeth yn yr ysgrythyrau, ei brofiadau nefolaidd, ei fywyd diargyhoedd, a'i ffyddlondeb difefl gyd â'r holl waith, hyd yn nod wedi iddo fyned yn hen iawn. Yr oedd ei dymher a'i eiriau bob amser yn addfwyn, yn dirion, ac yn ennillgar, a mynych iawn y byddai ganddo ryw beth newydd ar ei feddwl i'w ddywedyd yn y Cyfarfod Eglwysig. Bu H. Owen fyw ar ol y brodyr ereill a enwyd lawer o flynyddoedd: a gorphenodd yntau ei yrfa trwy lawenydd er ys amrai flynyddau yn ol, a theimla ei frodyr a'i chwiorydd gryn hiraeth ar ei ol hyd heddyw. Y nesaf i'w enwi yw,

Owen Parry, mab i'r dywededig Harry Owen. Cafodd Owen Parry ei fagu yn yr Eglwys, ac ni bu iddo lithro allan o honi erioed. Dangosodd lawer o arwyddion ei fod yn 'gwir adnabod Duw, a'r hwn a anfonodd efe Iesu Grist.' Dewiswyd ef yn flaenor lawer o flynyddau cyn i'w dad farw: ac yr oedd yn gymmeradwy iawn ym mysg lluaws ei frodyr. Os oedd bai ar y gwr hwn dyna oedd—bod yn rhy ddiog i lefaru; neu rhy dawedog, canys byddai yr hyn a ddywedai yn wastad yn dangos gwybodaeth, pwyll, ac ystyriaeth, fel y dymunai pawb arno fyned rhagddo; ond anhawdd iawn oedd ganddo un amser lefaru. Yr oedd yn un gwylaidd iawn o dymher naturiol, a golwg wael arno ei hun yn ymyl ei hen frodyr; am hyny rhoddai le iddynt hwy, a hyny hwyrach i raddau gormodol, er mor ragorawl yw y rhinwedd hono. Bu Owen Parry farw y flwyddyn ddiweddaf, yn lled ieuangc o oedran; a gadawodd wraig, a phlant, ac eglwys mewn galar ar ei ol.

Yr olaf (ond nid y lleiaf) o enwogion yr ardal hon ydoedd John Jones, Gwernyrewig, yr hwn a fu farw yn mis Mehefin, 1837, yn 67 oed. Yr oedd yn amlwg iawn fod y gwr hwn 'yn un o rai rhagorawl y ddaear.' Ymwelodd yr Arglwydd âg ef pan ydoedd yn lled ieuangc—yn amser y tywalltiadau grymus a fu ar yr ardaloedd hyn er ys oddeutu 50 mlynedd yn ol. Bu yn aelod eglwysig am 47 o flynyddoedd, ac yn flaenor am 32 mlynedd o hyny. Aeth trwy lawer o brofedigaethau yn ystod ei daith: ond cafodd y fraint fawr o gadw yn agos at yr Arglwydd; ac yn ei gariad yn fwy cyson, y mae'n debyg, na'r rhan fwyaf, os nid na neb o'i gydoeswyr. Yr ydoedd yn preswylio ym mhell iawn oddiwrth y Capel—ei deulu yn lluosog—ei drafferthion yn fawr— a'i iechyd yntau, er ys llawer blwyddyn, wedi anmharu yn drwm; ond er y pethau hyn oll, byddai ef agos ym mhob cyfarfod a fyddai yn y Capel, ac yno hefyd yn brydlawn; ac ni welid ef un amser mewn rhyw frys mawr am gychwyn ei daith anghysurus tu ag adref ar ol i'r moddion ddarfod, ond arosai yno hyd y diweddaf, ac elai adref yr holl ffordd i'w dŷ gan byngcio canu, a thaer weddio yn fynych iawn. Gellir dywedyd am J. Jones mai Iacob ei oes ydoedd mewn gweddi. Yr oedd ei weddiau cyhoeddus mor oleu, mor newyddion, mor daerion, ac mor hyderus, fel mai hawdd y gellid barnu mai un mawr oedd gyd a'r Arglwydd mewn dirgel fanau. Arferai hyfdra sanctaidd a mabaidd o flaen Duw yn ei weddiau, nes y byddem yn synu bob amser o'r bron, ac yn teimlo ein hunain yn myned gyd ag ef, am y tro beth bynag, i gyssegr Duw: ac, yn wir ni bu yr un hynod mewn duwioldeb erioed heb fod yn hynod mewn gweddi. Yr oedd J. Jones hefyd nid yn unig yn ddyfal am ddyfod i foddion gras, ond yr oedd yn hynod am fod yn effro iawn ynddynt yn ymdrechu am fendith i'w enaid tlawd; yr oedd hyny yn amcan mawr ganddo wrth ddyfod iddynt; ac anfynych iawn yr elai odfa nad ymddangosai ef ei fod yn cael yr hyn a ddymunai i ryw raddau ynddynt. Gwrandawai yn gyffredinol yn effro ac yn fywiog, pan y byddai ereill o'i ddeutu yr farwaidd ac yn ddi lafur; ac y mae colli gwrandawr o'i fath yn golled fawr i'r pregethwr ac i'r gynnulleidfa hefyd. Arferai ddyfod i'r Bala ar foreu y sul olaf o bob mis i'r cymundeb. Yr oedd iddo bum milltir o ffordd, ond byddai ef yno yn brydlon erbyn naw o'r gloch yn wastad, heb golli dim bron oni byddai yn rhy glaf: a daeth lawer tro trwy wendid a llesgedd corphorol mawr iawn, ac ar ei draed bob amser. Wedi dyfod fel hyn trwy gryn anhawsderau anaml y gwel-

wyd erioed heb gael mwynhad o Dduw, yn enwedig yn ngweinyddiad yr ordinhad—dyblai y canu drosodd a throsodd drachefn. Er nad oedd ei ddawn canu ond bechan, etto byddai y fath fwyneidd-dra a dirodresrwydd yn ei ganu nes y byddwn yn barnu ie fod yn boddio Duw a dynion hefyd.

Yr oedd Aberth ac Iawn anfeidrol yr Iesu mawr ryw beth yn debyg iddo ef ag ydyw i Dduw ei hun, sef yn arogl peraidd. Byddai ei bregethu iddo ef fel y mêl a diferiad y diliau mêl.

Bu J. Jones hefyd yn ffyddlon odiaeth gyd â'r Ysgol Sabbathol, bron o'i dechreu cyntaf yn y wlad hon. Cododd Ysgol fechan yn y cwr anghysbell o'r gymmydogaeth lle yr oedd efe yn preswylio ynddi. Bu llawer o gyfnewidiadau a symudiadau ar yr Ysgol hon, ond y mae heb ei chwbl ddiddymu hyd heddyw. Bu efe fel tad yn ofalus iawn am dani hyd ei ddiwedd. Cafodd hir a maith gystudd, yr hwn a ddyoddefodd yn amyneddgar gan ymostwng i ewyllys yr Arglwydd; a phrofodd lawer o orfoledd yr iachawdwriaeth trwy yr holl dymhor adfydus i gyd. Yr oedd yn medru gorfoleddu a chanu yn ei ddyddiau a'i oriau olaf, a hyny ar yr un sylfaen ag yr ydoedd wedi pwyso arni, a gorfoleddu ynddi drwy ei holl yrfa, sef Iesu Grist, a'i aberth anfeidrol, a'i gyflawnder diderfyn.

Cyn terfynu yr hanes byr hwn am John Jones, nid annheilwng fyddai coffâu un tro lled ryfedd a ddigwyddodd iddo yn ei oes, yr hwn a goffêid ganddo ef bob amser gyda rhyw ddifrifwch a sirioldeb neillduol:—Mae yn ddilys genyf nad rhaid i mi fanylu llawer i ddwyn ar gôf i'm darllenwyr am flynyddoedd y cynhauaf diweddar y rhai a u er's ychydig amser yn ol. Yr oedd y dyffrynoedd a'r iseldiroedd yn goddef llawer y dyddiau hyny; ond yr oedd y bryniau a'r uchel fanau yn llawn o gyfyngder a chyni. Felly yr oedd preswylfa yr hen sant nodedig hwn hefyd âg arwyddion lled anobeithiol ynddo y cesglid ffrwyth ei feusydd i ddiddosrwydd cyn ei ddifetha gan y tywydd, o herwydd y mae Gwern-yr-Ewig, o ran ei sefyllfa yn un o'r rhai uchaf yn Nghwm Hirnant, ar ochr mynyddoedd amlwg Berwyn. Yr oedd cyfyngdra yr amseroedd wedi ei wasgu yntau a'i deulu i gyfyngdra mawr. Yr oedd efe a'i lafurwyr wedi bod yn tori ŷd mewn maes gerllaw gan ddisgwyl ei gasglu yn brydlon i lenwi eisiau ei deulu, ond boreu y diwrnod y bwriadai ei gario aeth i'w olwg, ac er ei ddigalondid mawr yr oedd wedi ei doi âg eira tew fel nad oedd ond ambell i dywysen i'w gweled yn chwareu ar ei wyneb. Darluniai ei hun yn sefyll uwch ben y maes, ar ben careg fawr, âg ymborth ei deulu ac yntau yn gorwedd dan gnwd tew o eira. Aeth tu ag adref oddiyma a chalon drom a meddwl terfysglyd, a cheisiai fwyta ei foreubryd yn siriol. Wedi hyn daeth y Bibl i'r bwrdd, ac wrth ddarllen daeth yr adnod hono dan ei sylw, 'Sefwch, ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd, yr hwn a wna efe i chwi heddyw.' Daeth goleu a grym mawr gyda'r adnod hon i'w feddwl, a chafodd ef a'i deulu ryw wledd neillduol arni yn y ddyledswydd deuluaidd hon. Yr adnod hon oedd yn swnio yn felys yn ei feddwl yn barhaus. Ym mhen enyd aeth i olwg y maes drachefn, ac fel yr oedd yr haul yn cyfodi saethai belydr gwresog, a cherddai awel dyner, a dechreuai yr eira doddi o'u blaen. Ym mhen enyd gwelai y tywysenau yn chwareu yn yr awel, a'r eira yn cilio nid trwy wlaw i ysgubo yr ŷd i'w ganlyn, ond trwy dynerwch rhyfeddol a daioni mawr. Cyn nos y diwrnod hwnw cafodd weled peth o'r ŷd mewn diddosrwydd, a thystiai ei fod yn fara da. Fel hyn cafodd gyflawniad llythyrenol ac ysprydol o'r geiriau melys a lefarodd yr Arglwydd wrtho yn y boreu. Y nos hono yr oedd yr enwog a'r Parchedig Richard Jones, o'r Wern, yn pregethu yn y Bala, a chynnelid Cyfarfod Eglwysig ar ol yr oedfa. Adroddodd J. Jones weithredoedd y dydd hwnw yn nghlyw ei gyfeillion yn y Bala, ac yr oedd syndod a gorfoledd wedi meddiannu pawb. A thystiai y Parch. R. Jones na fu iddo gael y fath wledd i'w enaid erioed o'r blaen. Ym mhen rhai nosweithiau wedi hyny adroddodd yr un peth gyda'i frodyr yn Llwyneinion, ac effeithiau rhyfeddol a'i dilynasant. Yr oedd y tro nodedig hwn bob amser yn newydd ar ei feddwl a blas neillduol arno; ac yn amlwg ddangos i'r oesoedd a ddelai 'Na welid y cyfiawn wedi ei adael na'i had yn cardotta bara.'

Ond yn awr y mae y cyfiawn hwn wedi myned i dangnefedd a'i goffadwriaeth yn fendigedig ar ei ol.

*Bala.* R. JONES.

---

LLINELLAU A FYFYRIWYD AR FARWOLAETH MR. J. JONES, GWERNYREWIG.

Yn iach, it' ein hybarch hoff gyfaill,.
O'th golli mawr ofid y sy—
A raid in' dy roddi 'n y 'stafell
Gul, ddistaw, y ddaear sy ddu.

Ehedodd dy enaid i fynu
O fyd o drallodion a gwae:
Yn awr mae yn mawr lawenychu—
'Does gofid na thrallod lle mae.

Trwy 'i oes bu yn ffyddlon was'naethu
Yr Arglwydd sy'n llawn o bob gras;
A hynod y dawn i hyfforddi
A roddes yr Arglwydd i'w was.

Ei grefydd oedd eglur a hyfryd,
Ennillai y mwyaf diffydd;
Ac hefyd addfwynder ei yspryd
A welid yn amlwg bob dydd.

Mawr iawn oedd yr ennill hwn iddo—
Gael marw a myn'd at ei Dduw:
Cyfiawnder yr Iesu am dano
Yn wynach na'r eira ei liw.

Wel, bellach, nid oes ond tawelu
A dilyn trwy ffydd ar ei ol,
A cheisio 'r un cariad at Iesu—
A diangc mor gyflym i'w gol.

*Bala.* M. JONES.

---

## CYFARCHIAD

### AT ATHRAWON YR YSGOL SABBATHOL.

Fy-nghyd-athrawon anwyl a hoff,—Gyda llawer o deimlad o'm hannheilyngdod yr anturiwyf eich cyfarch âg ychydig linellau; ond nid heb hyder gref y bydd eu testyn o les mawr i ni oll, i'r athrawon, i'r ysgolion, ie i genedlaethau dyfodol lawer.

Addefir bellach, yn gyffredinol, fod yr Ysgol Sabbathol wedi bod, ac yn bod, o'r fath les na ellir ei fesur, na'i bwyso, na'i brisio. Pe meddaswn ar bin ysgrifenydd buan, buasai yn hyfryd genyf sgrifenu am y manteision mawrion a'r buddioldeb a ddaeth i'n cenedl trwyddi: ond gan na allaf wneud dim tebyg i gyfiawnder â'r testyn, rhaid i mi ei adael i eraill, ac yn foddlonach gan fod yn ddiau fyrdd myrdd yn y byd hwn ac yn y byd arall hefyd yn bendithio Duw am yr Ysgol Sabbathol.

Ond er mor hyfryd meddwl am y mawr lwydd fu ar yr Ysgol Sabbathol, yr wyf yn teimlo argyhoeddiad yn fy meddwl, er blynyddoedd, ei bod yn sefyll mewn angen am wellhad dirfawr. 'Rwy'n addef ei bod, ar amryw olygiadau, wedi gwellau llawer er pan wyf fi yn cofio: a rhaid i mi feddwl ei bod yn rhagori llawer, mewn rhai manau, ar yr hyn ydyw mewn manau eraill: ond, a chymeryd golwg gyffredinol arni, ni theimlwyf yn sicrach o un peth yn y byd na hyn, sef, *Nad yw yr Ysgol Sabbathol yn Nghymru yn haner y peth y dylai fod.*

A'm syniadau yn gyfryw, pan welais, yn ddiweddar, hyspysiad am lyfr newydd ar y testyn, nid bychan oedd fy awydd am ei weled; prynais a darllenais ef; ac er cymaint oedd y glod gyda'r hyspysiad am dano, meddyliwyf a theimlwyf na fynegwyd mo'r haner. O na byddai i bob athraw yn Nghymru, ag sydd yn deall Saes'neg ei ddarllen, a'i ystyried, a gwneud ei gynnwysiad yn hyspys i'w holl gyd-athrawon. Nis gallaf lai na gobeithio y bydd y llyfr crybwylledig yn achos o ddiwygiad trwyadl a pharäol ar yr Ysgol Sabbathol trwy ein gwlad.

Enw y llyfr yw, 'Todd's Sunday School Teacher.'

Gan na allaf ddysgwyl i ganmoliaeth oddiwrth un mor annheilwng a mi, fyned fawr o ffordd gyda nemawr o honoch i'ch perswadio i'w brynu; cyfieithiais gynnwysiad y Pennodau, gan obeithio y gellir rhoi lle iddynt yn y Drysorfa.

Amcenais ar y cyntaf yru cyfieithiad o'r cynnwysiadau yn *llawn*, fel y maent yn *fanwl* yn nechreu y llyfr; ond byddai hyny y gallai y cynnwysiadau, yn *gyflawn*, fod yn ormod y tro hwn. Gan y meddyliwn yn sicr yn fuddiol iawn fel *hints* i athrawon, ac fel testynau Cyfarfodydd perthynol i'r Ysgolion, bwriadwyf eu cyfieithu a'u gyru i'r Drysorfa.

Pen. 1. Dyben mawr yr Ysgol Sabbathol.

Pen. 2. Yr Egwyddorion cyntaf mewn addysg Gristionogol.

Pen. 3. Yr Arolygwr; ei nodweddiad a'i ddyledswyddau.

Pen. 4. Cymmwysderau Athraw da.

Pen. 5. Moddion eraill o wneuthur daioni heblaw addysgu.

Pen. 6. Llafurio am wybodaeth mewn trefn i addysgu ereill.

Pen. 7. Cyfranu addysg grefyddol.

Pen. 8. Ysgolion Sabbathol Babanod.

Pen. 9. Canu yn yr Ysgol Sabbathol.

Pen. 10. Cyssylltiad yr achos Cenhadol a'r Ysgol Sabbathol.

Pen. 11. Dyledswydd yr Eglwys a'r Gweinidog at yr Ysgol Sabbathol.

Pen. 12. Dyledswydd Athrawon gyda golwg ar y Sabbath.

Pen. 13. Ynghylch dynion ieuaingc yn meddwl am y Weinidogaeth.

Pen. 15. Calonogiadau i ffyddlondeb.

Gellwch weled wrth y Cynwysiad uchod, fod Mr. Todd* yn cymeryd golwg gynwysfawr ar yr Ysgol Sabbathol, yn ei holl ranau a'i pherthynasau: a gallaf sicrâu i chwi ei fod yn ymdrin â'r cwbl yn synwyrol, yn ymarferol, yn fywiog, yn ddifyr, ac yn effeithiol iawn. J. R. J.

*Bangor.*

* Gweinidog yr Efengyl yw y Parch. John Todd, yn Philadelphia, yn America. Efe yw Awdwr y llyfr rhagorol hwnw, 'Lectures for Children,' ac hefyd y 'Student's Manual,' &c.

---

## COFIANT

*Am* DAVID JONES, *Ty fry, Llanengan, yr hwn a fu farw Ebrill* 12, 1837, *yn ei* 64 *flwyddyn o'i oedran.*

Mab oedd David Jones i John ac Ann Jones, *Tŷ Mawr, Llanengan.* Rhai enwog mewn duwioldeb yn eu dydd oeddynt hwythau. Ganwyd eu mab David yn y flwydd yn 1773; a chan eu bod yn aelodau perthynol i gyfundeb y Trefnyddion Calfinaidd yn Llanengan, ni esgeuluswyd ganddynt eu dyledswydd o ddwyn eu mab hwn i fynu yn eglwys Dduw o'i febyd. Bu *farw* ei dad cyn iddo ef dyfu i fynu i oedran gwr. Rhwymwyd ef gyda Dilledydd, gan feddwl y byddai iddo ddilyn yr alwedigaeth hono; ond nid hir y bu ef heb ei gadael, a dewis yn hytrach wasanaeth yr ammaethwr. Wedi tyfu o hono i fynu, ymollyngodd i raddau gyda llygredigaeth yr oes, yn fwyaf neillduol yn ei rag-gyfeillach, ac yn newisiad ei wrthddrych i'r stad briodasol. Bu am dymor y pryd hwnw allan o'r eglwys. Ond wedi ei ddychweliad cafodd ei gynal o hyny hyd ei fedd gydag achos Mab Duw, yn addurn i'w broffes, ac yn ddiachos gofid i'w frodyr, ac yn ddefnyddiol yn eu mysg.

Un o brif ragoriaethau ein brawd ymadawedig ydoedd, ei gymwysderau galluog i *ganu mawl.* Yr oedd hyn iddo ef yn beth naturiol, yn dalent wedi ei rhoddi iddo gan Dduw, yr hon y bu ef yn ffyddlon i'w defnyddio er gogoniant y Rhoddwr o honi hyd derfyn ei oes. Gallwn ei restru yn mysg y rhai blaenaf fel dechreuwr canu ac fel Cyhoeddwr. Fel y cyfryw, teimlir colled ar ei ol yn gyffredinol gan y gynnulleidfa, a chan yr eglwys yn neillduol.

Ni fyddai dim bron a'i lluddiai ef i ddyfod i'r moddion os byddai gartref ac yn iach, a deuai bob amser yn brydlawn erbyn yr amser y byddai wedi cyhoeddi, ac ni ddeuai ond ychydig funudau yn gynt. Ac nid yn unig hyny, ond byddai yn flaenllaw ac egniol am i bob moddion gael eu *dechreu* yn eu *hamser.*

Yr oedd D. Jones yn ei fywyd yn un hynod o ddiabsen am bawb. Gellir priodoli iddo y nodweddiad a rydd y Salmydd i breswylydd pabell a mynydd Duw, yn Sal. 15, sef, "Heb absennu a'i dafod, heb wneuthur drwg i'w gymmydog, ac heb dderbyn enllib yn erbyn ei gymmydog.'

Byddai yn meddu arafwch mawr yn gyffredin. Yr oedd fel pe buasai wedi penderfynu cymeryd ei lywodraethu gan y cynghor hwnw o eiddo'r Apostol, 'Bydded eich arafwch yn hysbys i bob dyn.' Felly yr oedd ei arafwch yntau yn hysbys i bawb a'i hadwaenai.

Yr oedd hefyd yn meddu côf hynod o gryf; yr hyn oedd yn gysur mawr iddo ef, ac yn adeiladol iawn i ereill, yn enwedig yn ei flynyddoedd diweddaf, gan ei fod wedi ei ymddifadu i raddau o'i olwg ers amryw flynyddoedd, fel na welai ddarllen dim. Ei wybodaeth helaeth yn yr Ysgrythyrau sydd brawf o gryfder ei gôf, ynghyd a'i lafur a'i ddiwydrwydd yn trysori ynddo pan oedd ei olwg ganddo. Pan fyddai rhyw fater yn cael ei drin genym yn y gymdeithas neillduol dangosai D. ei fod yn meddu amgyffrediad eang, a dawn i draethu ei feddwl yn rhwydd, a byddai yr hyn a ddywedai yn hynod briodol ac i'r pwrpas. Ei unig fai yn hyn oedd ei fod yn rhy fud a distaw. Byddai cymaint a ddywedai bob amser yn hynod berthynasol a chynnwysfawr, a rhyw flas ac archwaeth nefolaidd arnynt yn gyffredin. Byddai pawb yn hoffi yn fawr glywed D. yn dweud gair.

Byddai ei awydd gymaint am foddion grâs, nes y byddai yn ceisio ymlusgo iddynt pryd y byddai pawb a'i gwelai yn barod i farnu ei bod yn rhyfyg ynddo ddyfod allan o'i dŷ. Nid oedd ei iechyd yn dda ar brydiau er's blynyddoedd. Yr anhwyldeb a'i blinai oedd yr *Asthma*, neu glefyd yr Ysgyfaint. Yn ei afiechyd, weithiau cwynai ei bod yn dywyll ar a'i feddwl, waith arall ymddangosai yn llon ei feddwl yn llewyrchus. Hoffai yn fawr weled ei gyfeillion yn dyfod i ymweled ag ef.

Ar ryw adeg, gofynodd i'w blant, 'Beth meddwch chwi am grefydd yn awr?' 'Y mae crefydd yn talu ei ffordd yn y caledi mwyaf, onid yw hi fy nhad?' ebe un o'i blant. 'O! ydyw,' eb yntau. Ychydig cyn ymadael dywedodd yn lled wanaidd ynghlyw un o'i ferched, 'O! rhyfedd! rhyfedd!! iachawdwriaeth gymaint i'm bath i!' Yn mhen ychydig cymerodd ei ran fywiol ei thaith (fel y mae sail hyderus i obeithio) i wlad o hedd tra gyfyth, forau y 12 o Ebrill, 1837, yn ei 64 flwyddyn o'i oedran.

Gadawodd D. Jones, wraig, a phedwar o blant (dau fab a dwy ferch) mewn galar o'i golli o dir y byw. Cafodd ei wraig ei hymddifadu o briod ffyddlon a theimladwy; ei blant, o dad serchog a gofalus; ei gymydogion, o gymydog caredig a thangnefeddus; ac eglwys Dduw, o gristion profiadol, defnyddiol, a diargyhoedd. 'Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn; canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd.'

Du ofid sydd am Dafydd,—y parod,
 A'r peraidd ganiedydd;
 Un emyn ber mwy ni bydd
 O'i ben, i'n lloni beunydd.

Mewn gwleb orweddle briddlyd,—ei adael,
 Raid wedi hardd fywyd:—
 Erys yno dros enyd,
 Hyd waedd barn, a diwedd byd.

Yna daw ar amnaid Iôn,—i fynu
 O fonwent Llaneinion;
 Ac i Ner ar dyner dôn
 Una fawl â nefolion.

ELLIS HUMPHREYS,
*Bwlch, Llanengan.*

---

COFIANT

AM MRS. PRICHARD, LLANRWST.

*Dydd Llun, Ionawr 8, 1838, bu farw Mrs. Mary Anne Prichard, gwraig Mr. Evan Prichard, Llanrwst, Swydd Dinbych, yn 60 mlwydd oed.*

Mrs. Prichard ydoedd ferch i'r diweddar Thomas Parry, Ysw., Llidiarde, gerllaw Aberystwyth, Swydd Aberteifi. Bu pan yn blentyn gyda ei thaid a'i nain Mr. a Mrs. Williams, Rhandir, y rhai fyddai yn arferol o dderbyn pregethwyr i'w tŷ, cynghorion pa rai a gafodd argraff ddwys ar ei meddwl pan oedd yn ieuanc iawn.

Ymhen ysbaid ar ol hyn bu yn myned i wrando ar y Methodistiaid Calfinaidd gyda ei modryb, Mrs. Edwards, Aber-Meiric, i Langaetho, a manau eraill. Byddai yn hoff o grybwyll am un tro neillduol o fendithiol iddi y pryd hwnw; pan yn edrych ar weinyddu yr Ordeinhad o Swper yr Arglwydd yn Llangaetho, pan oedd y gweinidog yn adrodd y geiriau hyny, 'Eu coffa sydd drwm genym, y maent yn faich arnom anrhaith eu goddef,' yr hyn nis anghofiodd tra bu byw.

Hefyd, yr oedd morwyn grefyddol yn gwasanaethu yn nheulu ei thad: bu cyfeillach ac ymddiddanion hon yn fendithiol iawn iddi; a chyda hi yr aeth ac yr ymunodd â'r Methodistiaid Calfinaidd yn Cynon, pan oedd yn 18 oed; yr hyn beth oedd yn dra gwrthwynebol gan ei rhieni, a thynodd arni eu gwg yn drwm o'r herwydd, gan eu bod hwy yn dra phell oddiwrth y *Sectarians*, ac yn ymlynwyr selog wrth yr Eglwys Sefydledig. Ond trwy ei mwyneidddra, a'i doethineb, medrodd enill y fath barch i grefydd yn eu meddyliau nes gorchfygu eu rhagfarn yn llwyr, a'i henill i roddi eu tŷ yn nodded ac yn lletty cysurus i Weinidogion yr Efengyl.

Yn Awst, 1802. Priodwyd hi â Mr. Prichard, a symudodd i gyfanneddu i Lanrwst.

Cyfarfyddodd â llawer o dywydd, cyfnewidiadau, a siomedigaethau, yn ystod y gweddill o'i hoes; ond cafodd nerth i ddal ei ffordd, ac i lynu wrth yr arch trwy y cwbl; ac fel Naomi gynt, ymdawelodd i ewyllys Duw, gan gydnabod ei llaw yn hyn oll.

Yr oedd yn wraig rinweddol, yn gristion egwyddorol a phrofiadol; a chafwyd lle i farnu fod achos yr Arglwydd yn agos at ei meddwl. Yn ei hafiechyd diweddaf, yr oedd yn siriol a hyderys, yn gweled rhyfeddodau newydd yn nhrefn Iachawdwriaeth; a'i meddwl yn addfed i roddi i fyn-

bywyd helbulus hwn: ac ymadawodd gan adael tystiolaeth ar ei hol bod ganddi obaith cadarn am gartref gwell.

Oddiwrth hyn gallwn ddysgu,

1. Mai lles mawr yw 'Hyfforddi plentyn ymhen ei ffordd,' Diar. 22. 6.

2. Mai bendith fawr mewn teulu yw gwasanaethddynion duwiol, Gen. 24. 1—13.

3. Yr effaith dda mae crefydd yn ei gael (ond ymddwyn yn addas iddi) ar ei gwrthwynebwyr, sef 'canmol ei hunan wrth bob cydwybod dynion.' 2 Cor. 4 2.

4. Gwerth anmhrisiadwy duwioldeb i fyned trwy y byd siomedig hwn, ac yn neilltuol ar wely anghysurus angau, 'Yr holl bethau dymunol nid ydynt gyffelyb iddi.' Diar 3 15.

*Llanrwst* G. WILLIAMS.

---

## LLYDAW.

Anwyl Frawd,—Nid yw yn debygol y caf gyfleusdra yn fuan i gydgyfarfod a'm brodyr yn eu Cymdeithasfaoedd; a chan fod y teimlad o dosturi at y Llydawiaid yn dyfnhau, a'r dymuniad i weithredu er eu lles yn cynnyddu, cymmeraf fy rhyddid i alw sylw eich darllenwyr yn gyffredinol, a'r pregethwyr a'r blaenoriaid yn neillduol at y pethau canlynol.

Tu ag at sefydlu Cenhadaeth yn Llydaw, mae tri pheth yn anghenrheidiol;—

1. *Gwybodaeth am y Wlad*—y bobl—eu hiaith, ynghyd a'u amgylchiadau naturiol, gwladol, a chrefyddol.

2. *Personau addas* i fyned allan fel cenhadau, galluog i ddysgu yr iaith, cymmwys i addysgu yr ieuenctyd, ac arolygu ysgolion —cyfarwydd yn egwyddorion ac arferion y grefydd Babaidd—medrus i amddiffyn Protestaniaeth—ac yn yr holl bethau hyn, yn 'gall fel y sarph, ac yn ddiniwed fel y golomen.'

3. *Cymdeithas* i gasglu tanysgrifiadau tu ag at gynnal y Cenhadau neu yr Ysgolfeistri a ddanfonir.

Mewn ffordd o rag-barottoad, mae yn ymddangos i mi mai un o'r pethau cyntaf sydd yn angenrheidiol ydyw,—Gwybodaeth gywir a helaeth ynghylch y Wlad, a'r trigolion; ac nis gellir cael hyn, ond mewn un o ddwy ffordd; naill ai trwy ymweliad personol, neu ynte trwy ohebiaeth. Ni byddai o nemmawr o les i neb ymweled a Llydaw oddieithr eu bod yn deall rhyw ychydig o'r iaith, ac oblegid hyny, gwell fyddai ffurfio cyfeisteddiad i'r dyben o ysgrifenu at ryw bersonau addas i farnu mewn perthynas i'r angenrheidrwydd am, a'r priodoldeb sydd mewn Cenhadaeth o'r fath. Cynghorwn y cyfryw gyfeisteddiad i ysgrifenu at y Parch. J. Jenkins, (gynt o Hengoed) Cenhadwr yn Morlaix; a'r unig Genhadwr Protestanaidd (am a wn i), yn Llydaw;—at y Parch. J. S. Hine, un o'r Bretoniaid, sydd yn awr yn weinidog parchus yn Ynys Guernsey;—at M. de, Presense, Goruchwyliwr y Bibl Gymdeithas yn Paris; —ac at Ysgrifenyddion y Gwahanol gymdeithasau sydd wedi eu ffurfio er lledaeniad y grefydd Efengylaidd yn Ffrainge, ac ar y Cyfandir yn gyffredinol. Gallai yr enwogion uchod roddi, nid yn unig wybodaeth, ond cyfarwyddiadau addas ynghylch y lle i ddechreu ar y gwaith, a'r modd y dylid ei ddwyn yn mlaen.

Ond y mae yn ymddangos i mi mai y peth cyntaf sydd yn anhebgorol ydyw gwybodaeth ynghylch yr hyn a nodwyd uchod; ac wedi hyny gellir barnu yn well am ddymunoldeb, possibilrwydd, a buddioldeb y cynnygiad.

Ni oddef amser i mi ychwanegu yn bresennol. Ydwyf yr eiddoch,

THOMAS PHILLIPS.

*Llundain, Chwef.* 21, 1838.

### Y LLYDAWAEG.

Mae amryw o'n darllenwyr yn dymuno cael chwaneg o hysbysrwydd ynghylch Iaith trigolion Llydaw. Dodwn yma Lythyr y Parch, D. Jones, yr hwn a anfonodd efe at y Cyhoeddwr yn Mis Hydref, yn y flwyddyn 1824.

Fy Anwyl Syr,—Tuag at barotoi meddyliau darllenwyr i wneuthur defnydd o bigion allan o iaith y Llydawiaid, a'u galluogi i'w chymharu â'r Gymraeg, fe ddichon y byddai y sylwadau canlynol o wasanaeth. Yn iaith y Llydawiaid, fel yn Gymraeg, y mae yr holl gydseiniaid a'r llefariaid yn cadw eu sain pennodol, ac felly nid oes dim yn anghenrheidiol tu ag at allu darllen yr iaith hono ond cael adnabyddiaeth o alluoedd ei llythyrenau. Y mae pob llythyren bob amser i gael ei swnio, ac y mae yr acceniad yn *gyffredinol* ar y sill olaf ond un o bob

geiriau o fwy nag un sill. Etto y mae yr Orgraff Lydawaidd yn gwahaniaethu oddiwrth yr un Gymraeg i'r fath raddau fel y mae yr unrhyw lythyrenau yn arwyddion gwahanol seiniau i'r hyn sydd iddynt yn ein hiaith ni. Er mwyn dangos pa mor belled y maent yn cytuno, a pha mor belled nid ydynt, mi a ddodaf yma yr Egwyddor Gymreig, ac ar gyfer pob llythyren, rhoddaf yr arwydd o'r unrhyw sain yn iaith y Llydawiaid :—

| Cymr. | Llydaw. | Cymr. | Llydaw. |
|---|---|---|---|
| a | a | l | l |
| b | b | ll | ll |
| c | c *neu* k | m | m |
| ch | c'h | n | n |
| d | d | o | o |
| dd | z | p | p |
| e | e | ph | ph *neu* f |
| f | v | r | r |
| ff | f | s | s |
| g | g *neu* gu | t | t |
| ng | gn *neu* n | th | - |
| | | u | u |
| h | h | w | w neu ou |
| i | i | y | eu neu e |

Gwelir oddiwrth y daflen uchod y dull y byddai yn anghenrheidiol i'r Orgraff Gymreig fod er mwyn dangos i'r Llydawiaid ein llafaredigaeth ni. Yn y manau lle y mae gwahanol seiniau yn cael eu harwyddo gan yr un llythyren, ni ddylid tybied y gellir eu harferyd ar amcan. Felly am yr *c* Gymreig, dodir c o flaen *a* ac *o*; ond yn y manau y b'o y Ffrangcod yn swnio c fel *s*, megis o flaen *e* ac *i*, yn lle yr *c* Gymreig dodir *k* megys am y gair *cejais*, dylid ysgrifenu yn Orgraff Llydaw *kevais*. Nid yw sain ein dwy *d* neu *dd* ni i'w gael ymhlith y Llydawiaid; etto lle bynag y byddo yn newid i *dd*, y mae eu *d* hwy yn troi yn *z*; ac am y gair *trugaredd* hwy a ysgrifenant *trugarez*, &c. Y maent yn swnio *z* yr un modd ag y gwna y Saeson. Y maent hefyd yn fynych yn dodi *z* neu *s* yn lle ein *th* ni. Arferant g o flaen *a* ac *o*, ac yn mhob man ag y mae y Ffrangcod yn swnio g yn galed; mewn manau ereill, maent yn gyffredin yn arferyd *gu*.—Ni arferir *w* oddieithr mewn ychydig gyhoeddiadau tra diweddar; *ou* yn gyffredin a ddefnyddir. I arwyddo sain hir yr *y* Gymreig, dylid defnyddio *eu*; ac am ei sain fer *e*, canys i'r *e* heb acceniad arni y rhoddant hwy sain lled-gudd megys *u* neu *y* yn *ur* neu *yr* yn fyr. I'r *é* acceniadol y rhoddant sain gyffelyb i sain *e* Gymreig.

Ni swnir yr *ll* ganddynt hwy mor egniol a chenym ni, eithr yn debycach i'r Saeson yn y gair *million*. Nid oes un rhyw lythyren yn cael ei dodi ar gyfer *th*, am nad yw y llythyren hono, na'i sain, yn hanffodi yn mysg y Llydawaiaid. Nid yw y llythyrenau ereill yn gofyn un rhyw sylwad pennodol.

Yn canlyn isod y mae yr Egwyddor Lydawaidd yn ol Mr. Le Gonidec, beirniad sydd awr yn fyw, ac awdwr Gramadeg a Geirlyfr cyfrifol o'r iaith hono; ar eu cyfer y mae llythyrenau Cymraeg cyfattebol :—

| Llyd. | Cymr. | Llydaw. | Cym. |
|---|---|---|---|
| a | a | m | m |
| b | b | n | n |
| k | c | o | o |
| d | d | p | p |
| e | e *neu* y | r | r |
| f | f | s | s |
| g | g | t | t |
| h | h | u | u |
| ch | sh | v | f |
| c'h | ch | w | w |
| i | i | z | - |
| j | - | At y rhai hyn chwanegir | |
| l | l | y llefariaid cyfansawdd | |
| | | aw | o |
| | | ou | w |
| | | eu | y |

Llythyrenau diweddarol a fenthyciwyd oddiwrth y Ffrangaeg ydyw *ch*, *j*, ac y *z*; a hwy a swnir fel yn yr iaith hono. Mae yr *c* a nôd oddidani fel hyn (ç) yn cael ei chymmeryd i arferiad oddiwrth yr unrhyw iaith, ac fe'i swnir fel *s*: ac y mae yr *c* heb nôd mewn llyfrau ereill i'w swnio fel yn y Ffrangcaeg. Yn yr un modd y cyfarfyddir a'r *g* weithiau yn ei sain galed, ac weithiau yn feddal fel *j*; ac felly ceir mewn amryw lyfrau *u* wedi ei dodi ar ol yr g pan y byddo i gael ei sain galed o flaen *e*, *i*, &c. megys yn y gair *Treguier*, yr hwn a swnir *Treger*, yn ol ein horgraff ni; eithr *partage*, a swnir fel ped ysgrifenid *partaje*. Gellir cyfarfod â *qu* yn lle *k*, a chyffelyb afreoleiddrwydd.—Pan fyddo *é* wedi ei haccenu hi swnia fel ein *e* ni; os amgen, hi a swnir yn fynych fel *y* fer. Mae llefariad dyblyg yn gyffredin yn cael sain hir.

Mae y sylwadau uchod yn briodol i bob un o'r cangen-ieithoedd (*dialects*), oddieithr y gellir chwanegu fod yn briodol i gangen-iaith Vannes i swnio *h* yn fynych yn y gwddf fel ein *ch* ni. Pan ddodir *y* mewn geiriau Llydawaidd, hi a swnir yn wastad fel *i*. Y cangen-ieithoedd y cefais

leusdra i glywed eu darllen a'u siarad ydoedd rhai Vannes, Leon, a Tregnier: at y rhai'n gellid chwanegu un Quimper, yr hon nid yw yn gwahananiaethu ond ychydig oddiwrth y ddwy olaf.

Ydwyf yr eiddoch yn ddiffuant,

D. JONES.

---

## GRAMMADEG CYMRAEG.

### PRIFAIR, (*Verb*).

### RHANGYMMERIAD, (*Participle*)

Gelwir Prifeiriau yn Rhangymmeriaid pan y'u treiglir yn y fath fodd ag y cyfranogont o anian Prifair ac hefyd o anian Ansoddair.

Pedwar Rhangymmeriad y sydd; sef Dau o'r lleferydd gweithredol; megys,

Rhangymmeriaid o'r { Amser presennol. / Amser dyfodol.

A Dau o'r lleferydd goddefol; megis

Rhangymmeriaid o'r { Amser gorphenol. / Ail Amser dyfodol.

Rhangymmeriad o'r Amser presennol a ffurfir trwy ddodi *yn* neu *gan* o flaen modd annherfynol y prifair; megys, *yn dysgu*, *gan ddywedyd*. Fe gymmer hwn bob cenedl a rhif.

Rhangymmeriad o'r Amser dyfodol a ffurfir trwy ddodi *ar fedr* o flaen modd annherfynol y Prifair; megys, *ar fedr dywedyd*. Fe gymmer hwn hefyd bob cenedl a rhif.

Rhangymmeriad o'r ail Amser dyfodol a ffurfir trwy chwanegu *edig* at wreiddyn y prifair, megys, *car*, *caredig*; *dysg*, *dysgedig*. Neu ynte a ffurfir weithiau trwy ddodi *wedi* o flaen y modd annherfynol; megys, *wedi ei ddysgu*.

Rhangymmeriad o'r Ail Amser dyfodol a ffurfir trwy chwanegu *adwy* at wreiddyn y prifair; megys, *ysgrifenu*, *ysgrifenadwy*. Neu ynte, a ffurfir weithiau trwy ddodi *i'w* o flaen y prifair gwreiddiol; megys, *peth i'w hoffi*,

#### TREIGLIAD PRIFAIR.

Treigliad Prifair ydyw ei gysoddiad a'i drefniad yn ei amrywiol rifau, personau, moddau, ac amserau.

Dealler fod rhai Prifeiriau yn wreiddiol; megys, *au*, *addu*, *athu*, *aethu elu*, *myned*,—*bod*, *bu*, *bi*, *bydd*,—*yw*, *ydyw*, *ydi*, *oes*,—*oedd*, *ydoedd*,—*sy*, *sydd*,—*mae*, *ys*, *ydys*.

A rhai yn gynnorthwyol; megys, *gwneud*, *gwneuthur*, *gallu*, *cael*, *caffael*, *dyfod*, *daeth*, *medru*.

Ereill ydynt gyfansoddedig; megys, *caru*, *cerdded*, *dysgu*, *darllen*, &c.

Mae'r Prifeiriau Rheolaidd yn terfynu y person cyntaf ymhob un o'r moddau a'r amserau yn y naill neu'r llall o'r terfyniadau canlynol; *wyf*, *ais*, *af*, *wn*, *aswn*, *af*, fel y gwelir yn y cynllun isod.

TREIGLIAD y Prifair Rheolaidd DYSGU, trwy yr amrywiol rifau, personau, moddau, a'r amserau a grybwyllwyd, yn weithredol a goddefol, sydd fel y canlyn.

#### DYSGU—LLEFERYDD GWEITHREDOL.

### MODD MYNEGOL.

#### AMSER PRESENNOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 *Person* Dysgwyf, neu yr wyf yn dysgu. | 1 Dysgwm, neu yr ym yn dysgu. |
| 2 *Person* Dysgwyt, neu yr wyt yn dysgu. | 2 Dysgych, neu yr ych yn dysgu. |
| 3 *Person* Dysgyw, neu y mae yn dysgu. | 3 Dysgynt neu y maent yn dysgu. |

#### AMSER ANORPHENOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 *Person* Dysgwn | 1 Dysgem |
| 2 *Person* Dysgit | 2 Dysgech |
| 3 *Person* Dysgai | 3 Dysgent |

#### AMSER GORPHENOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 *Person* Dysgais | 1 Dysgasom |
| 2 *Person* Dysgaist | 2 Dysgasoch |
| 3 *Person* Dysgodd | 3 Dysgasant |

#### AMSER TRAGORPHENOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 *Person* Dysgaswn | 1 Dysgasem |
| 2 *Person* Dysgasit | 2 Dysgasech |
| 3 *Person* Dysgasai | 3 Dysgasent |

#### AMSER DYFODOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 *Person* Dysgaf | 1 Dysgwn |
| 2 *Person* Dysgi | 2 Dysgwch |
| 3 *Person* Dysg | 3 Dysgant |

#### AIL AMSER DYFODOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 *Person* Dysgaf | 1 Dysgom |
| 2 *Person* Dysgych | 2 Dysgoch |
| 3 *Person* Dysgo | 3 Dysgont |

### MODD GORCHYMYNOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 *Person* Dysgwyf | 1 Dysgwn |
| 2 *Person* Dysg | 2 Dysgwch |
| 3 *Person* Dysged | 3 Dysgant |

Mewn perthynas i'r Modd Galluogol, y Dymuniadol, a'r Ammodol, gwybydder eu bod o'r un drefn a'r Modd Mynegol, ond eu bod yn cael eu harwyddocâu trwy eiriau cynnorthwyol.

Y Modd galluogol a gynnorthwyir gan *fel y*, *mal y*; a chan *gallu*, *medru*; megys, *gallaf ddysgu*; *medraf ddysgu*.

Y Modd dymuniadol a gynnorthwyir gan, *O na*, o flaen prifair a fo yn dechreu gyda chydsain; ac *O nad*, *O nas*, o flaen prifair a fo yn dechreu gyda llafariad.

Y Modd ammodol a gynnorthwyir gan o, od, os, pe, ped, &c. megys, 'Os gwelwch yn dda, dygwch fy ngwerth.'

### MODD ANNHERFYNOL.

| Amser Presennol. | Amser Gorphenol. |
|---|---|
| Dysgu | Bod wedi dysgu |
| Bod yn dysgu | |
| Bod am ddysgu | |

## RHANGYMMERIAD.

AMSER PRESENNOL

Gan ddysgu. Yn dysgu.

AMSER GORPHENOL.

Dysgedig, wedi dysgu

AMSER DYFODOL.

Dysgadwy.

DYSGU—LLEFERYDD GODDEFOL

## MODD MYNEGOL.

AMSER PRESENNOL.

| Unigol. | | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Fe'm dysgir | 1 Fe'n dysgir |
| 2 *Person* | Fe'th ddysgir | 2 Fe'ch dysgir |
| 3 *Person* | Fe'i dysgir | 3 Fe'u dysgir |

AMSER ANORPHENOL.

| Unigol. | | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Dysgid fi | 1 Dysgid ni |
| 2 *Person* | Dysgid di | 2 Dysgid chwi |
| 3 *Person* | Dysgid ef, neu hi | 3 Dysgid hwy, neu hwynt |

AMSER GORPHENOL.

| Unigol. | | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Dysgwyd fi | 1 Dysgwyd ni |
| 2 *Person* | Dysgwyd di | 2 Dysgwyd chwi |
| 3 *Person* | Dysgwyd ef | 3 Dysgwyd hwy |

AMSER TRAGORPHENOL.

| Unigol. | | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Dysgasid fi | 1 Dysgasid ni |
| 2 *Person* | Dysgasid di | 2 Dysgasid chwi |
| 3 *Person* | Dysgasid ef | 3 Dysgasid hwy |

AMSER DYFODOL.

| Unigol | | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Dysgir fi | 1 Dysgir ni |
| 2 *Person* | Dysgir di | 2 Dysgir chwi |
| 3 *Person* | Dysgir ef | 3 Dysgir hwy |

AIL AMSER DYFODOL.

| Unigol. | | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Dysger fi | 1 Dysger ni |
| 2 *Person* | Dysger di | 2 Dysger chwi |
| 3 *Person* | Dysger ef | 3 Dysger hwy |

## MODD GORCHYMYNOL.

| Unigol. | | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Dysger fi | 1 Dysger ni |
| 2 *Person* | Dysger di | 2 Dysger chwi |
| 3 *Person* | Dysger ef | 3 Dysger hwy |

## MODD ANNHERFYNOL.

| Amser Presennol | Amser Gorphenol |
|---|---|
| Bod yn ddysgedig | Bod wedi ei ddysgu |
| Bod i ddysgu | |
| Bod yn ddysgadwy | |

## RHANGYMMERIAD.

AMSER PRESENNOL.

Yn ddysgedig Yn ddysgadwy

AMSER GORPHENOL.

Dysgedig. Wedi ei ddysgu

AMSER DYFODOL.

Dysgedigadwy.

---

SILLEBIAETH CYMRAEG.

*Yw, i'w.* Mae llawer o ysgrifenwyr Cymraeg yn cymmeryd y naill o'r geiriau hyn yn lle y llall. Mae hyn yn gamgymmeriad mawr, canys nid ydynt mewn un gradd o gyffelyb ystyr, ac am hyny ni ddylent byth gael eu harfer mewn cyffelyb sefyllfa mewn brawddegau Cymraeg.

*Yw* sy dalfyriad o'r gair *ydyw*. Ond *i'w* sy dalfyriad o ddau air, sef *i ei*, neu *i eu*; a'r sillgoll a ddengys nad ydyw yn air cyfan, ond fod sill wedi ei ollwng i'w golli o hono er mwyn byrdra.

Na 'sgrifened neb gan hyny ymadrodd cyffelyb i hwn:—Efe a aeth *yw* dŷ. Ond, Efe a aeth *i'w* dŷ. Nac ychwaith, Hwy a aethant *yw* cartrefleoedd. Ond, Hwy a aethant *i'w* cartrefleoedd. Nac etto yr ochr arall. Hwn *i'w* y dyn—Ond, Hwn *yw* y dyn—Hon *yw* y dref.

*Amriw*—Nid felly y dylid sillebu y gair; ond *Amryw*. Canys nid *am* a *rhiw*, (gallt), yw ystyr y gair, ond *am* a *rhyw*; felly nid *i* yw y llythyren wreiddiol ond *y*.

*I gid*—Nid felly y mae sillebu y gair; ond *i gyd*; megis yn yr ymadrodd hwn, *Er hyny* i *gid*; nid felly; ond *Er hyny i gyd*. Canys, nid yw *gid* yn air Cymraeg, eithr *gyd*.

Dalier sulw—Nid ydym wedi nodi un gair o gamsillebiaeth Cymraeg, ond y geiriau a gamsillebir yn ysgrifenadau ein Gohebwyr; ac am hyny dymunwn ar ein cyfeillion wneud defnydd o'r cyfarwyddiadau ydym yn eu rhoddi y naill fis ar ol y llall ar y pen hwn.

---

ATGASRWYDD CELWYDD.

Ffieiddia yr Hollalluog y celwyddwyr yn fawr, oherwydd Duw y gwirionedd yw efe ei hun. Delw prif elyn Duw yw y celwyddwr. Gelwir satan yn dad y celwydd, a'i blant ef yw y rhai a hoffant gelwydd; ac a gauir allan o deyrnas nefoedd, efo eu tad annedwydd, yn y diwedd. Enwir y celwyddog yn mhlith y rhai atgasaf gan yr Arglwydd, Diar. 6. 17. 19.

Yr oedd brenin Israel yn ffieiddio celwydd mor fawr fel nas gallasai oddef yn ei olwg, nag o fewn i'w dŷ yr un a ddywedai gelwydd. Y mae pob dyn yn ffieiddio y celwyddog o anghenrheidrwydd, am ei fod yn un peryglus; ie, hyd yn nod y naill gelwyddog yn ofni ac yn casâu y llall, ac yn wfftio eu gilydd, nis gallant ymddiried dim i'w gilydd Gwareded Duw ni rhagddynt! Nid oes un pechod mor niweidiol yn mhlith dynolryw a chelwydd; y mae yn tueddu i ddyrysu pob trefn a osododd y Bod mawr yn mhlith ei greaduriaid yn y fuchedd hon, er cysur amserol iddynt. Os celwydd a ddaw i mewn at benaethiaid, ânt benben a'u gilydd yn fuan; os i deulu, wele heddwch wedi gadael y fan. Y mae celwydd yn waradwydd i lŷs, yn felldith i wlad, yn bla i ddinas, yn anair i deulu, ac yn gywil-

ydd i'w luniwr. Gellir ysgrifenu *Ichabod* ar golofnau y byd, pe byddai gwirionedd wedi ei gau allan o hono Gwirionedd yw grym ein byd yn mhob ystyr; celwydd yw yr achos o bob annhrefn ac anghysur, yn naturiol, ac yn ysprydol, yn y byd hwn a'r hwn a ddaw.

Gellir profi yn hawdd mai dyn ffol dros ben yw dyn celwyddog, wrth ystyried y pethau canlynol. I guddio bai yn gyffredin y dechreuir dywedyd celwydd; sef, i fantellu drwg rhag iddo fod yn amlwg. Ond beth yw hyn ond chwanegu at y drwg? megis pe dodid olew poeth ar losg tân. Hefyd, nid yn aml bydd y celwyddog yn diangc yn hir heb ei ddal; gelwir ef gan rai Cymry 'y gwr cloff,' a hyny yn eithaf priodol; yn ol ei ddal bydd cywilyddio, nis gall ef dwyllo chwaneg heb newid ei ardal; yn awr, bydd pob un ar ei ocheliad rhagddo ef; gan ddywedyd, ein bai ni fydd cymeryd ein twyllo etto ganddo, ond ei fai ef oedd ein twyllo y waith gyntaf.

Rhaid bod y celwyddog yn fwy ei drafferth na dyn geirwir o lawer iawn hefyd; bydd angen iddo weithiau wneud rhesi aml o gelwyddau cynnaliol i ddal un i fynu yr hwn y byddo ef am osod ger bron y byd yn lle gwir. Ac os na fydd ei gof yn rhagorol, gall ddadwneud y cwbl ar unwaith, fel y syrthio yr holl adeiladaeth fawr am ei ben a'i glustiau, fel na byddo ganddo yn y diwedd am ei holl lafur, ond gwarth, a dirmyg; a ch'wilydd wyneb yn ei amgylchu yn nes ato na'i wisgoedd.

Y mae dyn celwyddog yn gwneud cam arswydus a'r fendith werthfawr o leferydd: 'Rhoddwyd tafodau i ni i dywedyd y gwir â hwy,' meddai gwyr Athens. Ië, bendith fawr yw medru dodi ein meddyliau allan i'n gilydd mewn geiriau. Gan hyny, na fydded i neb gellwair â'r pechod atgas a ffiaidd hwn mwy nag angau ei hun. Bydded i rieni plant fod yn ofalus iawn i ddangos i'w rhai bychain y niwaid marwol sy mewn celwydd; peidied neb ag addaw pethau i'w plant heb gyflawni a hwy; er mai pethau diwerth y dichon iddynt fod yn eich golwg chwi, ond byddant yn bethau o bwys yngolwg y plentyn; ac efe a gofia y twyll, ac a wna yr un peth ei hun, efallai â chwi pan na fyddo genych rym i'w argyhoeddi, gan i chwi yn anystyriol roddi ar ddeall iddo ef nad oeddech chwi yn edrych yn bwysig ar ddywedyd y gwir.

Dylai rhieni ddangos i'w plant bod dweud y gwir yn beth mawr yn eu golwg, gan nad pa mor ddibwys y byddo y peth, neu y pethau y byddont yn son am danynt. Y mae o gymmaint pwys dweud y gwir wrth blentyn, fel nad oes ond ychydig yn ystyried y drwg neu y daioni ag sydd wedi tarddu oddiwrth iawn neu gam 'Hyfforddi plant.' Pa faint o nifer sydd wedi tystio ar y pren dioddef, mai dywedyd celwydd yn blant oedd y peth cyntaf a galedodd eu calonau i fyned ymlaen i ddrygau eraill? ac yn y diwedd gorfod marw yn waradwyddus o'u plegid. Y mae eraill drachefn, yn gallu diolch i'w rhieni yn deimladwy, am iddynt argraffu ar eu meddyliau, pan yn blant, y pwysigrwydd o ddweud y gwir, a bod hyny wedi eu dilyn trwy eu hoes, a thrwy hyny wedi dyfod i anrhydedd a chymeradwyaeth gan Dduw a dynion.

Os oes gan un hawl i ddywedyd celwydd paham nad oes gan bob un? Os bydd i bawb ddywedyd celwydd, beth a ddaw o bob masnach a chyfeillgarwch ag sydd rhyngom yma yn y byd? Pa wahaniaeth fyddai rhwng y byd ag uffern? 'Gwir a saif;' am hyny, 'Dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog.'

*Gwernneidr.* EDWARD ADAMS.

---

## DIRWEST.

### Y GYMDEITHAS DDIRWESTAWL YN GYMDEITHAS GREFYDDOL

Yr achos dirwestawl, mae'n debyg, yw yr achos y siaradir mwyaf am dano yn bresennol, o un achos braidd trwy Gymru. Ac nid wyf yn meddwl fod mwy o wahanol farnau am unrhyw achos na'r achos hwn. Ychydig yn awr a haerant ef fod yn ddrwg, ac nad ydyw yn dda i ddim. Fe ddywed nifer liosog iawn mai da ydyw: ond pa dda? da gwladol, moesol, &c. ynte da crefyddol? Os caniattewch, yr wyf fi am haeru fod y Gymdeithas ddirwestawl yn Gymdeithas grefyddol: ond cofiwch, nid yn grefydd.*

I brofi yr haeriad uchod, sylwyf ar y prif bethau a raid fod mewn unrhyw gymdeithas, cyn y bydd yn Gymdeithas grefyddol; a barned y darllenydd a ydyw (neu o'r hyn lleiaf a ddylai) y pethau hyny fod yn y Gymdeithas ddirwestawl.

I. Gair Duw yn sylfaen.

II. Gogoniant Duw, dyrchafu'r Gwaredwr; ac achub pechaduriaid yn ddybenion. Os bydd y pethau a nodwyd yn bod yn wirioneddol, fe fydd addoli yn y Gymdeithas hono.

Yn awr, mae gair Duw yn sail genym i fyned yn erbyn meddwdod. 1. Fel y mae yn bechod yn erbyn Duw. A thebygaf mai ar yr egwyddor hon yn benaf y dylem ym-

* Yr wyf yn meddwl fod y gwahaniaeth sydd rhwng cyfarfod neu gymdeithas grefyddol, a chrefydd, yn rhywbeth tebyg i hyn: nid oes dim yn grefydd tu yma i undeb sylweddol a ffyddiog a Mab Duw: a thebygaf fod pob cymdeithas y byddo hyny yn benaf fel dyben yn ei golwg, yn deilwng o'i hystyried yn gymdeithas grefyddol. Nid ymddygiadau yr aelodau, &c. yw ein rheol i farnu y pwngc hwn, ond y dyben a fo mewn golwg: mae'n wir nad ydyw proffes o ddirwest, na buchedd ddirwestol yn achub neb, ond mor wir a hyny y mae gwir ddirwest yn hanfodol ffrwyth yr Ysbryd. Galat. 5. 23.—E. M.

drechu yn ei erbyn; (a goddefwch i mi synnu gronyn wedi canfod nad oedd hyn yn cael son am dano yn egwyddorion dirwest yn yr Amseroni dirwestawl.) Lliosog iawn yw yr Ysgrythyrau sydd yn dangos meddwdod yn bechod; megis, Esa 28. 1, 3. 7, 8. Gal. 5. 21, &c. Mae meddwdod yn bechod. (1.) Yn ei natur: mae yn groes ac yn erbyn natur Duw. Os edrychwn i'r drych dwyfol, gwelwn fod Duw yn gyfiawn: os edrychwn ar y dyn meddw, nid oes neb yn fwy anghyfiawn, tuag atto ei hun, a'i deulu, a'i gymydogion, a thuag at drugareddau ei Gynhaliwr mawr. Gwelwn hefyd fod Duw yn sanctaidd, a glân; y dyn meddw yn ysgerbwd ffieiddiach na'r hwch pan yn ymdreiglo yn y dom: ac na'r ci pan yn dychwelyd at ei chwydiad. Gwelwn fod Duw yn drugarog a graslawn: y dyn meddw yn greulonach na'r teigr. Gwelwn ei fod ef "y Duw unig ddoeth:" y dyn meddw yn hurtyn ynfydaf dan haul. Mae campau chwareus a ffol yr eppäod yn orchestion doethion ragor eiddo y dyn meddw. Gwelwn fod meddwdod yn ei *natur* yn erbyn natur Duw; ac felly yn bechod. Heblaw hyny, mae yn sathru yr amlygiad a roes Efe o hono ei hun fel rheol i fyw wrthi; sef y ddeddf foesol.

(2.) Mae'n bechod yn ei effeithiau. Mae'n effeithio yn bechadurus ar y corph. Ein rhesymol wasanaeth ni yw rhoddi ein cyrph, ein holl aelodau i wasanaethu Duw; ond y mae corph wedi meddwi mor anghymwys a'r anifail at y gorchwyl. Mae'n effeithio yn bechadurus ar yr enaid hefyd: mae'n meddwi'r enaid: nis gallaf ddyfeisio priodolach enw ar enaid wedi dyrysu dan ddylanwad diod feddwol, nag enaid meddw. Yr wyf yn cwbl gredu nad oes dim a ddyfeisiodd satan erioed yn fwy effeithiol ac uniongyrchol yn erbyn yr efengyl sanctaidd, na meddwdod. Nid oes dim yn anghymwyso dyn i dderbyn argraffiadau o'r efengyl ar ei enaid yn fwy na meddwdod: pan anfona y Duw mawr yr efengyl i ryw wlad baganaidd, fe fydd satan yn sicr o fyned a'r peiriant uffernol hwn yno i luchio ei ddwfr meddwol am ben y tân sanctaidd i'w ddiffodd os gall. Mae'n tywyllu y deall treiddgar fel nas gall farnu pa beth a ddywed yr efengyl wrtho. Mae'n rhwygo ei gof, fel nas gall ddal ar yr hyn a ddywedir. Mae'n creuloni y serchiadau, yr hyn yw ymysgaroedd yr enaid, fel y gall wrando am y Cyfryngwr mawr—yr Emanuel, yn cael ei ladd ar y groes mor ddideimlad a phe clywai am ryw anifail yn cael tywallt ei waed! Oh, effeithiau erchyll meddwdod!! Mae'n caledu cymaint ar y gydwybod, nes y gall y dyn o ran ei feddwl roi tro trwy waelodion Gehennah, dan chwibianu! Oh enaid meddw. Oh, bechadurusrwydd meddwdod!

Hefyd mae'n effeithio'n bechadurus ar ei gymydogion, a'i deulu. Llawer tad sydd yn awr yn pydru yn y pentwr, a'i lwon yn chware yn fyw ar dafodau ei blant, mewn canlyniad i'w esiamplau drwg ef. Llawer camp annuwiol a adawodd llawer dyn meddw ar ei ol i'w gymydogion. Meddyliwch am bob drygau a darddodd o bydew meddwdod; anghysur teuluaidd,—anghysur personol, ac eglwysig. A oes rhyw beth yn fwy effeithiol i gynhyrfu ein zel yn ei erbyn, nag ystyried yr holl ddrygau fel y maent yn bechod yn erbyn Duw.

(3.) Mae'n bechod yn ei gosp. 'Ni chaiff y meddwon etifeddu teyrnas Duw:' mae'n rhaid gan hyny y *bwrir hwynt i'r 'Llyn o dân.'* Ac nid wyf yn ameu na bydd rhan o uffern y meddwon mewn syched tanllyd, ac heb fodd i chwanegu meddwdod at syched byth. Rhyw olwg chwithig iddynt fydd gweled y cerwinau, a'r barilau yn myned ar dân, a'u cynnwysiad yn sychu am dragywyddoldeb. A phe bai fodd i ni gael ein galluogi i sefyll uwch ben y llyngclyn mawr am ychydig, caem achos i ofyn i rywrai yno, pa fodd y mae dy danwydd di yn cynneu yn fwy fflamllyd na thanwydd y Mahometan acw?—Pa fodd y mae dy ysgrechfeydd di yn anhaws eu gwrando nag ocheneidiau yr eulunaddolwr acw o China? &c. Fe'n hattebid yn ddigon croew yn yr iaith Gymraeg; meddwi yngwlad efengyl wnaethym I: diystyru moddion gras, a phorthi fy chwant â meddwdod a wnaethum I: Ie, attebai rhai, daethum I yma trwy ganol Eglwys Dduw! O na wrandawswn ar lais fy athrawon. Yn awr, galwaf ar fy mrodyr dirwestawl yn fawr a bach, i beidio anghofio yr egwyddor fawr hon, sef fod meddwdod yn bechod, wrth ymdrechu yn ei erbyn: a thebygaf fod gair Duw yn sail i'r sylwadau uchod.

2. Mae'r gair dwyfol yn sail genym i lwyr ddinystrio y pechod a fyddo uwchaf ei ben yn ein gwlad. Y genedl y mae genym yr hanes mwyaf am dani yn y Bibl yw Israel: a'r pechod y mae genym hanes y byddai Israel yn fwyaf tueddol iddo yw eulunaddoliaeth. Mynych yr ydym yn cael hanes y byddent yn *ymroddi* i hyny; a phob amser yr aent yn hynod felly, byddai Duw yn sicr o gyfodi rhyw un i *lwyr-falurio* yr eulynod a'r delwau. Cof yw genyf am Moses yn llwyr falurio y llo aur yn Horeb, a'i losgi yn lludw, a thaenu ei lwch ar wyneb y dyfroedd, ac yn ei roddi i Israel i'w yfed. Cofied y rhai sydd am gadw yr eulun o feddwdod yn gyfan y medr Duw gymysgu ei lwch yn eu cwpaneidiau melysaf etto; ac fe fydd yn chwerw iawn yn wir. Yn Exod. 23. 20—25. rhoddir gorchymyn i Moses i lwyr-ddinystrio delwau yr Hethiaid a'r Phereziaid yn gandryll; ac adnewyddir y gorchymyn yn Deut. 12. 1, 2, 3. yn fanwl iawn. Ac yn y benod nesaf, o'r 6ed hyd y 12fed adn. chwanegir, lladd, a llabyddio, ac heb arbed y sawl a anogo yn ddirgel i eulunaddoliaeth. Yn 2 Cron. 31. 1. Cawn fod Hezeciah dduwiol, a holl Israel yn myned allan yn gymdeithas i ddryllio y delwau, a'r llwyni, a bwrw yr allorau i lawr. Gallasai

rhai cyndyn a chas ddadleu, a dweud, O, Hezeciah dduwiol, gad i'r rhai sydd yn dueddol i addoli yr eulunod eu bwrw i lawr, yr wyt ti wedi dysgu addoli Duw Abraham, Isaac, a Iacob. Nid oes perygl yn y byd i ti fyned i eulunaddoli: O, na, na, mae arnaf gymaint gofal am fy nghenedl, cymmaint eiddigedd dros ogoniant fy Nuw; mae arnaf ofn i'r un allor na llwyn fod heb ei lwyr fwrw i lawr; mae arnaf ofn i gymaint a bawd, na bys bach o ddelw, nac eulun gael aros heb ei lwyr-falurio.

Fy mrodyr crefyddol yn euwedig, cyfarchaf chwi trwy eich galw i'r maes eleni i lwyr ddinystrio meddwdod;—dilynwch ôl traed y praidd yn hyn. Ai nid oes ofal genych dros achos Duw,—yr efengyl fawr; er mwyn y profiad melys a gawsoch o waredigaeth o ymyl uffern (mewn argyhoeddiad gynt) trwy waed Crist, deuwch i roi *help* i achub y rhai sydd yn dawel yn y perygl mawr y buoch chwi bron a drysu eich synhwyrau ynddo.

II. Yr Egwyddor fawr yw. 1. Gogoniant Duw yn ddyben: a thebygaf fod galw crefyddwyr yn benaf, ac yn mlaenaf, i fyned yn erbyn meddwdod fel *pechod*, heb fod gogoniant Duw yn benaf yn ein golwg, yn anghysondeb mawr. O gwelwch fel y mae gogoniant y Creawdwr mawr dan draed y meddwon, nid oes arnynt ofn Duw, na chan ddynt barch i ddyn.

Hefyd, dyrchafu y Ceidwad mawr; ac achub meddwon: dylai hyn etto fod yn ddyben. Yn awr, os bydd ein hamcan yn gywir i fyned yn erbyn meddwdod fel *pechod*; heb yr hyn nis gallwn ddisgwyl bendith, na llwyddiant, ac os llwyddwn i argyhoeddi rhywun o'r pechod hwn; a'i adael yn y cyfyngder hwnw heb ddangos Gwaredwr iddo, (ac fe wyr rhai o ddirwestwyr Cymru mai cyfyngder ofnadwy yw gweled drwg pechod, ac heb weled Ceidwad,) fe fydd yn greulondeb mawr arnom. Ac os wrth ymdrechu y llwyddwn i gael y pechadur meddw i afael Crist, pwy a fedr wahanu, na gwahaniaethu hyny oddiwrth grefydd? Pa niwed ydyw i ni fyned a rhaffau y gwirionedd yn ein dwylaw, i'r pydewau at y meddwon; a'u tynu ar hyd llwybr y gair, a pheidio gorphwys yn un man nes eu cael yn gwbl oll i Grist? I Dduw y bo'r diolch, nid ydym heb iechydwriaeth i ddweud am dani wrth y meddwon. Onid oes noddfa yn nghlwyfau Crist i chwi? onid oes ffynnon wedi ei hagor i'ch golchi chwi? Gan hyny dewch feddwon i gael eich bywyd, i gael ymgeledd; a dysgwch yfed dyfroedd iachawdwriaeth yn awr, a diddyfner chwi oddiwrth bob diodydd meddwol.

Tebygaf hefyd, fod cydweithrediad yr enwadau crefyddol yn yr achos hwn yn cryfhau y meddwl mai Cymdeithas Grefyddol ydyw. Ond fe ddywed rhywun, y gadawant y Gymdeithas ddirwestol, ac yr ymunant a'r eglwys, pan y cant eu hargyhoeddi; wel, os digwydd i ryw un gael ei argyhoeddi yn yr Ysgol Sabbathol, i ba le y gyra hono ef? I dŷ Dduw cyn gynted ag y gallo. Os gwel rhywun ddrwg pechod yn y bregeth, neu y cyfarfod gweddi, i ba le y gyrr y rhai hyny y pechadur? O, i Sion. Os gwel rhywun ddrwg meddwdod yn y cyfarfod dirwestawl, i ba le yr â hwnw? i'r un fan bid siwr: 'ac felly, gan syrthio ar ei wyneb, efe a *Addola Dduw*, gan ddywedyd fod Duw yn wir ynoch chwi.' Wrth ystyried y pethau hyn nis gallaf feddwl yn amgen nad cymdeithas grefyddol yw y 'Gymdeithas ddirwestawl.' E. Morris.

*Tremadoc.*

---

### DARLITH AR ENEDIGAETH CRIST.

Luc 2. 1—9.

Cynnwysa y gyfran detholedig uchod hyspysiad yr Efangylydd Luc ynghylch amser a lle genedigaeth Crist, yn nghyd a'r personau oeddynt wyddfodawl ar y pryd. Cymmerodd le dan deyrnasiad Augustus, yr hwn y pryd hyny, a lywodraethai y gyfran helaethaf o'r ddaear drigiannol. Nodir yr amser gyd a mwy o fanylrwydd wedi'n,—'Bu hefyd yn y dyddiau hyny, fyned gorchymyn allan oddi wrth Augustus Cæsar, i drethu yr holl fyd;' at yr hyn, yr ychwanegir, 'y trethiad yma a wnaethpwyd gyntaf pan oedd Cyrenius yn rhaglaw ar Syria.'

Yn ol hanesion eraill, ymddengys nad oedd Cyrenius yn llywodraethydd awdurdodedig ar Syria, am 11 o flynyddoedd wedi hyny; ac ni bu anffyddiaeth yn fusgrell yn nygiad y ffaith hon yn mlaen, er cefnogaeth a chynnorthwy i ddymchwelyd gwirionedd yr Ysgrythyrau; ond y mae anffyddwyr fel tyrchod, yn dwyn eu gwaith yn mlaen yn y tywyllwch, yr hwn wedi y delo ger bron llygad y goleuni, a syrth yn ddarnau annghynaliedig yn y fan. Arferai Augustus anfon ei gyfeillion neillduawl i arolygu y cofrestriaid, pa rai a gynnysgaeddid a gallu cyfartal mewn awdurdod i eiddo goruwchlywodraethwyr y taleithiau. Fel yr anfonwyd Ioab gan Dafydd i rifo pobl Israel, heb gymmeryd unrhyw sylw o'r awdurdodiaid llywodraethawl, oeddynt dan urddas hawl bennodedig. Felly, nis gall dim fod yn fwy naturiol na bod Cyrenius yn wyddfodawl ar amser y trethiad yma, trwy genattad yr Ymerawdydd, a'i fod wedi ei bennodi yn llywodraethwr wedi hyny.

Gan hyny, nis gellid twyllo yr Efangylydd; a phan y traethai mor oleu am ffaith mor hynod, nis gellid ei gamddeall.

Rhag-hyspyswyd amser dyfodiad y Messiah gan y trangedig Iacob; 'ni ymad y deyrnwialen o Iuda, nes y del y Siloh;' h. y. pan y deuai ef, y cymmerid y goruwchallu o Iudah; yr oedd gallu y trethi Leviaidd ar yr Iuddewon, mewn grym a gweithrediad gan y Rhufeiniaid, yn amser genedigaeth Crist. Y lle ydoedd Bethlehem,

pentref bychan, yr hwn a dderbyniai hynodrwydd gan enedigaeth Dafydd.

Ni anwyd ef yn Ierusalem, Athen, neu Rufain; nid oedd ei deyrnas ef o'r byd hwn; ond ei enedigaeth a enwogodd BETHLEHEM!

Daeth genedig-leoedd Beirdd i hynodrwydd. Pa sawl dinas fu mewn ymryson blin am yr anrhydedd o fod yn fan genedigaeth Homer! ond nid anghofir *Bethlehem*, gan un oes. Bethlehem Ephrata! er mai ychydig yw yn mhlith miloedd Iuda, fe ddywedir, 'Etto, yno y ganwyd.' Mor annhebygol ydoedd i dyb ddynol y genid ef yno; ni feddyliai Mair am ddim pellach na chanlyn Ioseph; ac ni feddyliai Ioseph am ddim pellach, nac ufuddhau i orchymyn y llywodraethwr; ni feddyliai y llywodraethwr am ddim pellach, na dilyn archiad yr Ymerawdwr; ac nid ufuddhai yr Ymerawdwr i ddim ond ymchwydd ei drachwant a'i oferedd; etto, gwelir yr holl bersonau hyn yn cyd dueddu i gyflawni cynghor penderfynedig Duw, a hyny yn eu hanwybodaeth a'u tywyllwch!

Mor rydd y goruwch-drefna Duw lywodraeth ar weithredoedd dynion, mewn trefn i ddirwyn ei fwriadau rhagosodawl i berffeithder terfynedig!

O! 'r fath ryfeddodau sydd i'w canfod yn nylanwadau ymdreiglion rhagluniaeth, yn plygu ewyllysiau a phenderfyniadau dynion i ewyllys ei threfnydd Hollalluog; fel dynion mewn cwch, yn edrych un ffordd, ac yn rhwyfo ffordd arall!

Gweinyddid i'r newydd-anedig Waredwr, gan ddoethion o'r dwyrain, bugeiliaid o'r maesydd, ac angylion gwynion o nefoedd y gogoniant; y rhai a nodwyd flaenaf oeddynt ddysgedig yn ngweithredoedd rhyfeddawl natur; yn astronomyddion hysbys o gylchdreiglion y bodau wybrenawl, pa rai a arweinid gan Dduw, drwy rediad y seren danbeidiawl uwch ben! Y bugeiliaid oeddynt Iuddewon, a'r Ysgrythyrau cyssegredig yn eu dwylaw, pa rai a arweinid gan Angel; —a'r negesyddion nefawl (pa rai ydynt ar bob amser i weini i etifeddion Iachawdwriaeth) brysurent y pryd hyny i weini i'w Hawdwr, gyda gorlawenydd yn prysur-ddylifo dros eu gwefusau. 'A phan y mae yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd, y mae yn dywedyd, Ac addoled holl angelion Duw ef.' Er mor fawr yw y peth hwn, etto y mae llawer mor ddibris o hono, fel na roddant *un cam* tuag at fwynhau golwg arno! Hyd yn nod ar amser y wledd, yr hon sydd adgoffâad o hono, canfyddir *hwy* mewn unrhyw le, yn hytrach na Bethlehem; denir hwy gyda hawdd-der gan unrhyw wrthddrych, yn hytrach na'r hwn a ddenodd y bugeiliaid oddiwrth eu defaid, a'r doethion dwyreiniawl o bellder maith, ac a ddenodd beraidd ganiadau y nefoedd i ddawnsio ar chwyfiadau awelon peraroglaidd Bethlehem. Pan ryddheir dynion oddiwrth lafur, ceir rhai yn esgeuluso y dydd hwnw, a'i fwriad; a thrwy loddest ac annghymedroldeb, llithir hwy i adfywio gweithredoedd y diafol, i ddistrywio pa rai yr anfonwyd yr Arglwydd Iesu Grist!

Sugner ein sylw oddiar orchwylion trengawl y byd hwn, a sefydler ef ar ddymuniad yr holl genhedloedd—*Baban Bethlehem!* Cyfeirier ein golygon at y parotoadau llawnion, sydd i'w canfod ynddo ef, er ein hadnewyddiad a'n bywioccad; addolwn ef fel y darfu yr Angylion; cysegrwn ein meddiannau goreu iddo ef fel y *Magi*; dilynwn esiampl y bugeiliaid trwy wneuthur yn hysbys yr ymadrodd a drosglwyddwyd iddynt mewn perthynas i'r baban, *gan ogoneddu a chlodfori Duw, am bob peth a glywsom ac a welsom yn ei gylch fel Gwaredwr.*

*Abergele.* IORWERTH GLAN ALED.

---

## Gofynion.

Hybarch Gyhoeddwr—Dyma i chwi y rhestr geiriau anghynnefin a gesglais o Lyfr Joshua. Dymunaf arnoch eu cyhoeddi yn y Drysorfa, a rhoddi Eglurhad arnynt.

*Coedllai,* J. POWELL.

| | | |
|---|---|---|
| Joshua 2. 6. | Bolldeidiau llin. | |
| 7. | Rhydau. | |
| 3. 2. | Llywiawd-wyr | |
| 4. | Ennyd. | Adn. 13. Ior. |
| 4. 8. | Cyfleasant | |
| 18. | Ceulennydd | |
| 5. 1. | Tu hwnt | |
| 6. 23. | Ansawdd. | |
| 26 | Dyffryn Achor. | |
| 9. 4. | Costrelau. | |
| 5. | Baglog. | |
| 21. | Cynnud. | |
| 10. 9. | Diattreg. | Adn. 17. Ogof. |
| 40. | Bronnydd. | |
| 13. 23. | Goror | |
| 15. 7. | Rhiw | |
| 17. 14. | Cilfach | |
| 21. 2. | Meusydd pentrefol | |
| 22. 10. | Cyffiniau | |
| 19. | Cildynnu. | |
| 28. | Heppil | |
| 23. 13. | Ffrewyll | |
| 16. | Cyfrgollir,—ebrwydd | |
| 24. 17. | Tramwy | |

---

Syr,—Ai oddiar yr un eglwyddor y cyflawnir pob pechod? LIENAD.

*Liverpool.*

---

Syr,—A ydyw ysgrifenu Tônau Cerddorawl, neu fel y dywedir yn gyffredin, (*pricio Notes*), yn beth pechadurus i'w wneuthur ar ddydd yr Arglwydd?

*C-d-ll-i.* HOFFWR CERDDORIAETH.

---

### ADOLYGIAD PREGETHAU

*Y diweddar Barch. D. Charles o Gaerfyrddin: yn cynnwys rhai sylwadau cyffredinol ar Bregethwyr a Phregethu.*

*(Parhad tu dal. 50.)*

'Beth sydd yn myned yn mlaen yn y Sen-

edd y dyddiau hyn?' meddai Dafydd y Gof wrth Gruffudd y Tyddyn du; 'A oes dim son am symud rhywfaint ar y beichiau trymion sydd yn attal llwyddiant y crefftwyr?' 'Na, nid felly,' meddai Gruffudd, 'y mae llawer mwy o angen am gyfreithiau i gefnogi amaethyddiaeth.' Dyma hi yr hen chwedl, ebe ninau wrth eu gwrandaw. Pob un atto ei hun. *There is nothing like leather*. Awn lle y mynom, ni a gawn yr egwyddor hon yn gweithredu yn y rhan fwyaf o blant dynion. Dyma yr achos fod y fath nifer o'r philosophyddion hyny sydd yn ymgyrhaedd yn benaf am wybodaeth o gyfansoddiad y byd hwn yn barod i haeru nad oes un byd ar ol hwn. Ac o'r rhai sydd yn credu yn amgen, y mae llawer yn ymddangos fel pe byddent yn barnu mai myfyrio ar y greadigaeth fydd prif orchwyl y saint mewn dedwyddwch: ïe, y mae mwy nag un Awdwr wedi myned mor bell a dweyd na fydd athrawiaeth iachawdwriaeth ddim yn ddigon i lanw y meddwl dynol am dragywyddoldeb. Wfft i ffolineb rhai dynion. Y mae y cyfryw dybiau, nid yn unig yn ddaearol ond yn afresymol. Pe na byddem yn gwybod dim mwy yn y nef nag a wyddom ar y ddaear, etto ni a fyddwn yn gwybod digon i wneyd creadur sanctaidd yn berffaith ddedwydd yn oes oesoedd. Pwy erioed a flinodd ar unrhyw wrthddrych pan yr oedd cariad diragrith yn ei galon tuag atto? I'r gwrthwyneb, onid yw ein hyfrydwch yn ngwrthddrychau ein serch yn cynnyddu wrth ymgynefino â hwynt? Ond nid dyma y cwbl. Nid yn unig y mae addasrwydd yn yr iachawdwriaeth i enill y serchiadau; ond y mae yma ddigon i'r deall hefyd. Yma y gwelir 'mawr amryw ddoethineb Duw' Y mae ac fe fydd, yn y drefn sydd gan Dduw i achub pechadur, fwy o ryfeddodau a dyfnach dirgelion nag mewn dim arall o'i waith. Dyma i'ni gynllun o honynt yn y rhifynau sydd yn awr dan ein sylw. Os oes neb yn tybied fod maes yr Ysgrythyrau yn rhy gyfyng i'w feddwl, neu ei fod wedi gweled cymaint ag sydd ynddynt, darllened bregethau Charles o Gaerfyrddin. Caiff yma olygfeydd newyddion ar fydoedd o feddyliau, a phob un o'r meddyliau hyny yn cynnwys cymaint o ddirgeledigaethau fel na fydd dim ond tragywyddoldeb yn ddigon maith i'w cyfrif.

'Pan bwy'n rhyfeddu unpeth,
Peth arall ddaw i'm bryd,
O iachawdwriaeth rasol,
Rhyfeddol wyt i gyd.'

Dyma ni wedi disgyn o'r diwedd ar un o'r rhagoriaethau mwyaf arbenig sydd yn perthyn i'r pregethau hyn, sef eu gwreiddioldeb (*originality*). Dyma un o'u prif nodweddau. Yn yr ychydig o honynt sydd wedi eu cyhoeddi yn barod y mae rhai degau o ddrychfeddyliau na chlywodd ac na ddarllenodd neb o'r blaen er dechre'r byd: ac yr oedd cyfansoddi un o honynt yn fwy peth na chael y fraint o ddarganfod Uranus a'i lleuadau. Wedi eu gweled y maent yn ymddangos mor amlwg ac mor agos, nes ydym yn barod i synu pa fodd na buasem yn eu cael allan ein hunain; ac o braidd y gallwn beidio gofidio na fuasai rhai o honynt wedi eu gadael i ninau fod yn awdwyr o honynt. Ond un peth yw llafurio am olygiadau newyddion, a pheth gwahanol yw myned i mewn i lafur rhai eraill. Y mae cymaint o faes hollol newydd yn y gair i ti, ddarllenydd, ag oedd i Charles o Gaerfyrddin; ond y gwirionedd yw, 'Mai o ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd yn awr yr ydys yn treisio teyrnas nefoedd, a threiswyr sydd yn ei chipio hi.'

Ar yr un pryd na ddiystyred neb y cardotwyr tlodion sydd mor ddiwyd ac amyneddgar yn lloffa tywysenau allan o waith y prif awduron. Y mae hyny yn annrhaethol well na llanw pregethau â geiriau heb ddim meddyliau. Pwy a wyr wrth iddynt ymdrechu yn ddyfal i bigo y tywysenau gorau o feusydd rhai eraill, na ddeuant bob yn ychydig i feddu ar faes lled gynyrchiol o'u heiddo eu hun. Ond dyna sydd yn wael; fod llawer heb ddim eu hunain, ac yn rhy ddiog i loffa. Y mae hyn yn ymddygiad nas gellir ei esgusodi,—mewn gair, yn bechod. Os na allant gyfansoddi pregeth dda heb loffa, yna hwy a *ddylent* loffa. Os bydd hyny yn gofyn llafur, hwy a *ddylent* lafurio. Os bydd mis yn ofynol at un bregeth, hwy a *ddylent* roddi mis atti, a dau fis os bydd achos, a hyny yn ddiflino. Yn y dull hyn fe all pob pregethwr fod yn dra defnyddiol os bydd yn meddu ar gymwysderau canolig. Y cymwysder cyntaf sydd yn anhebgorol angenrheidiol yw archwaeth a synwyr cyffredin i wahaniaethu rhwng y gwerthfawr a'r gwael, ac i wybod pa beth i'w ddewis a pha beth i'w wrthod, yn lle tinceirddiaw pregeth o aur a phres, haiarn a phridd, yn debyg i ddelw Nebuchodonosor. Ac eilwaith, wedi cael digon o ddefnyddiau, y defnyddiau gorau sydd yn ddichonadwy iddo eu cael, ni fydd fawr o lun na harddwch arnynt er eu bod i gyd o aur pur, os na fydd dim ond hoelion yn eu dal wrth eu gilydd. Y mae yn rhaid iddo fwrw yr holl ddarnau i ffwrnes ei feddwl ei hun, ac y mae yn rhaid fod ganddo ddigon o dân yn ei ysbryd i'w toddi, a digon o fedrusrwydd i'w llunio a'u ffurfio mewn dwysfyfyrdodau.

Ond er fod yn dda i ni gael y man-fasnachwyr i gario nwyddau ar draws y wlad, etto ni fuasai ganddynt ddim nwyddau i'w cario oni bai fod rhyw rai fel Charles o Gaerfyrddin wedi agor gweithfeydd mawrion i'w darparu. Megis na fuasai genym yr un Bibl i'w gyfieithu oni bai ei fod wedi ei ysgrifenu mewn rhyw iaith wreiddiol, felly ni fuasai genym ddim syniadau ar y Bibl i'w benthyca oni bai eu bod wedi tyfu ar ryw feddwl gwreiddiol. A phe buasai pawb, er cael y Bibl, yn gorfod ymfoddloni

ar eu syniadau eu hunain, y mae yn hawdd deall mai tlawd fuasai cyflwr y rhan fwyaf yn ein gwlad. Gan fod yr adolygiad hwn wedi ei fwriadu, nid yn unig i ddangos rhagoroldeb y pregethau dan sylw, ond hefyd i dynu addysgiadau oddi wrthynt er buddioldeb i ni ein hunain ac eraill o bregethwyr Cymmru ; a chan y geill fod rhai yn mhlith ein darllenwyr wedi derbyn digon o athrylith, ond ei arfer, i'w gwneyd yn gyffelyb i Charles o Gaerfyrddin, fe allai mai nid anmhriodol fyddai ymofyn cyn myned ynmhellach beth yw, a pha fodd y mae cyrhaedd, gwreiddioldeb meddwl.

Yn y lle cyntaf, y mae yn angenrheidiol i ni sylwi mai nid meddyliau gwreiddiol yw pob math o feddyliau dieithr. Y mae lle i gredu mai barn llawer yw, nad oes modd iddynt gael gafael mewn golygiadau newyddion heb fyned i ryw eithafion i chwilio am danynt. Pan y byddant yn mhell oddi wrth y testyn, ac yn mhell hefyd o derfynau rheswm, y maent yn tybied eu bod yn mhell tu hwnt i neb a fu erioed o'u blaen. Mewn cysylltiad â'r mater hwn yr ydym yn cofio clywed hanesyn am y gwr anwyl ac enwog hwnw, yr hwn y mae calonau miloedd hyd heddyw yn archolledig ar ei ol, a'r hwn yr ydym yn gobeithio cael yr hyfrydwch galarus o adolygu ei gofiant cyn bo hir; fe deimla pawb ein bod yn cyfeirio at y diweddar Mr. Richards o Dregaron. Aeth un o'r gwyr uchod atto unwaith i ofyn am esboniad ar ryw ran o'r ysgrythyr. Dangosodd yntau yn eglur beth oedd ystyr llythyrenol y gair, a'r unig ystyr a allasai fod i'r gair hwnw. 'Ie,' meddai'r dyn, gan edrych yn hynod o gall, 'y mae'r esboniad yma yn burion mor belled ag y mae yn myn'd ; ond yr wyf fi yn meddwl fod rhywbeth pellach na hyna ynddi.' 'O, tebyg iawn, ebe yntau, 'tebyg iawn ; ond chwi wyddoch nad wyf fi ddim yn gwel'd yn mhell.' Gellir dweyd am lawer eu bod yn gweled, neu o leiaf yn ceisio gweled gormod, i weled dim newydd. Y maent fel yr hen Alchemists yn llafurio yn ddibaid mewn ymgais diffrwyth am ryw sylwedd dychymygol i droi y cwbl yn aur, a thrwy hyny yn gwario yr holl aur oedd ganddynt yn ofer ac am ddim.

Ond os oes llawer yn methu wrth amcanu gwneyd gormod, y mae mwy etto yn ymfoddloni ar ry fach. Y mae y rhai hyn yn berffaith wrth eu bodd os gallant cael digon o ryw-beth o fewn can milltir i'r testyn. Ac er ffoled yw meddyliau rhai dynion, y maent yn ddigon call i beidio cymeryd llawer o drafferth i chwilio am bethau newyddion pan y maent yn cael y ffrwyn yn rhydd i grwydro lle y mynont gyda phethau cyffredin. Yn awr, y rheol fawr i bawb sydd yn dymuno cael gafael mewn syniadau gwreiddiol, yw sefydlu eu holl gynneddfau yn fanwl ac yn ddiysgog ar yr un pwnc—Y testyn, yr holl destyn, a dim ond y testyn. Wrth y testyn yr ydym yn deall, nid y gwrthddrych a nodir, y personau a ddysgrifir, ac felly yn y blaen ; ond y gwirionedd sydd yn ngolwg yr ysgrifenydd. Yr ydym yn credu yn sicr nas gall neb feddwl yn ddwys ac yn ddyfal am unrhyw ran o'r gwirionedd dwyfol dros ddiwrnod cyfan, na haner diwrnod ychwaith, heb weled ynddo lawer o bethau hollol newydd. Y mae dirgelwch myfyrio yn gynwysedig mewn dau air, undeb a pharhad. Pe byddai holl alluoedd y meddwl yn cydweithredu ar un mater, ac yn para i gydweithredu felly ; fe gai y meddwl hwnw afael yn fuan mewn cymaint a allai gario o syniadau gwreiddiol, pe gorfyddai iddo dreiddio trwy graig o adamant i chwilio am danynt. Ond pan y mae y meddwl yn wasgaredig gyda phob math o bethau yn y ffurfafen uchod, ac ar y ddaear isod, ac yn y dyfroedd odditan y ddaear ; pan y mae yn gwibio dros bant a bryn, drwy dref a gwlad, yn ngherbyd dychymyg, beth ellir ddysgwyl oddiwrtho ond cymysgedd o'r golygiadau mwyaf arwynebol. Y mae yn rhaid cymeryd rhyw air fel testyn ; ond ni fu y dyn ddim yn aros deng mynyd yn ddifrifol uwch ben y mater sydd ynddo ; a chan fod galwad arno i draethu rhywbeth am dri chwarter awr, neu awr, nid oes dim i'w wneyd ond cymeryd y pethau nesaf at law. Fe wyr y rhai sydd yn ein hadnabod nad ydym yn hoff o feio ar ein brodyr : ond y mae yn rhaid i ni gyfaddef ein bod, wrth wrando ambell bregeth, yn mron cael ein cynhyrfu i ddweyd, 'Pe buasem hefyd yn cael ychydig o'r testyn, ni a gawsem ychydig o bob peth.' Ond y peth cyntaf a wneir yn gyffredin fydd tatiu mater y testyn o'r golwg fel pel droed ; ac yna y mae'r pregethwr doniol yn gosod tri, neu bedwar, neu bump o benau i fynu yn ei le, nad ydynt yn perthyn iddo mwy nag i Ymerawdwr China, ac yn neidio trwy y rhai hyny gwedi'n, fel rhai epäod lled gampus trwy gynifer o gylchau heb gyffwrdd ag un o honynt. Y mae yn ddiau na fydd neb o'n darllenwyr yn anfoddlon i ni adrodd un hanesyn etto am y Gweinidog haeddbarch a grybwyllwyd yn barod. Dywedai unwaith, yn ei ddull cyrhaeddgar arferol, ei fod bob amser yn cael ei loni yn fawr wrth glywed rhyw adnod felus yn cael ei darllen fel testyn ; ond ambell waith byddai yn barod i waeddi allan yn fuan, 'O fy nhestyn anwyl, dacw fe yn myn'd ni wela'i olwg arno bellach hyd ddiwedd y bregeth.'

Digon tebyg fod rhai nas medrant fyfyrio yn sefydlog ar ddim. Er hyny, yn gyffredin, nid mewn diffyg cynneddfau y mae'r bai ; ond mewn diffyg gallu, neu yn hytrach, mewn diffyg ewyllys i sefydlu eu cynneddfau ar unrhyw bwnc. Y mae eu meddwl fel plentyn drwg wedi myned yn rhy aflywodraethus i weithio. Am y rhai hyn nid oes dim i'w wneyd iddynt ond eu troi gyda'u gilydd i ddosparth y cardotwyr ; ac

os byddant yn rhy ddiog i gardota, eu troi o bregethu. Eithr na anobeithied neb o'r rhai hyny ag sydd yn gallu meddwl drostynt eu hunain. Bydded iddynt fyfyrio cymaint a Charles o Gaerfyrddin; ac yna, os na chant afael mewn meddyliau mor fawrion, y mae yn bur debyg y cant rai mor newyddion ag yntau. Yr oedd efe am y rhan fwyaf o'i oes yn gorfod rhoddi cyfran helaeth o'i amser at orchwylion tymmorol: ond bob dydd, pan yn gweithio yn ddiwyd i gynnal ei deulu, yr oedd ei 'awenyddfawr gynneddfau' yn treiddio yn ddystaw ac yn ddwfn i ddirgeledigaethau athrawiaeth yr efengyl; ac wedi dychwelyd adref, treuliai yr hwyr gan mwyaf yn ysgrifenu ffrwyth ei fyfyrdodau. Y mae yn wir mai nid Charles o Gaerfyrddin yw pawb; ond er hyny gallwn ddweyd na ddarfu i ni erioed gyfarfod â neb hynod o dduwiol nad oedd hefyd yn meddu ar syniadau hynod o wreiddiol. Ac nid yw yn anhawdd gweled paham; oblegid y mae y duwiol a'i 'ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos.'

Y mae cymmaint o wahaniaeth rhwng meddyliau plant dynion ag sydd rhwng eu gwynebau. Pe byddai mil o honynt yn myfyrio yn astud am ychydig oriau ar yr un peth, ac yn gadael eu meddyliau i gael eu ffordd naturiol, ond gofalu yr un pryd am eu cadw gyda'r testyn, y mae yn ddiau y byddai rhai o honynt yn gweled yn llawer pellach nag eraill; ond y mae yn ddiau hefyd y byddai y gwanaf ei olwg yn gweled rhywbeth nad oedd yn ganfyddadwy i'w gymydog mwyaf craff; ac yn gyffredin fe fyddai golygiadau gwahanol y naill yn olygiadau newyddion i'r llall. Er nad oes talent o ras cadwedigol, y mae talent o ryw ddawn gwreiddiol yn mhob dyn wrth natur: ac nac esgeulused neb y dawn sydd ynddo. Y syniadau mwyaf naturiol bob amser yw y syniadau mwyaf gwreiddiol. Goddefer i ni egluro hyn trwy anghraifft. Nid yw Syr Walter Scott mewn un modd wedi treiddio mor ddwfn i'r natur ddynol a Shakespeare; ac nid yw ysgrifenydd poblogaidd y dyddiau hyn, yr hwn a eilw ei hun Boz, wedi myned yn agos mor ddwfn a Scott. Ac etto y maent oll yn ysgrifenwyr gwreiddiol, oblegid i'r graddau ag yr oedd pob un o honynt yn gweled ac yn adnabod dynoliaeth, y maent yn ol eu gwahanol ddoniau wedi ei dysgrifio yn y modd mwyaf naturiol. Felly am yr hen John Bunyan, beth all fod yn fwy naturiol na 'Thaith y Pererin?' Ac etto ni fu dim erioed yn fwy gwreiddiol. Pe byddem ni yn addas i roddi cynghor i'n brodyr ieuainc, dywedem wrthynt, os ydych yn dewis bod yn bregethwyr gwreiddiol, dilynwch eich dawn naturiol, a rhoddwch ddigon o le i'r dawn hwnw i weithio. Na ddynwaredwch neb. Mewn corph a meddwl, mewn acen ac ystum, mewn edrychiad ac ysgogiad, byddwch y peth y gwnaeth y Creawdwr chwi. Na cheisiwch fod yn fwy, ac nac ymfoddlonwch i fod yn llai. Ac i grynhoi y cwbl mewn un gair, meddyliwch drosoch eich hunain, ac ymrowch i feddwl yn ddiarbed.

Y mae son am bobl ieuainc wedi codi awydd ynom am gael ymddyddan gair a rhai o honynt. Dyma un sydd newydd ddechreu ar y gwaith o bregethu. Mae yn dda genym weled nad oes dim rhodres oddiamgylch iddo. Y mae hyny yn arwydd dymunol. Dowch yn mlaen, frawd ieuanc, dowch yn mlaen. Eisteddwch. Byddwch mor eofn yma a phe buasech gartref. Er ein bod yn ymddangos fe allai yn lled sarug ar yr olwg gyntaf, yr ydym yn cofio am yr amser pan oeddym ni ein hunain yn ieuanc fel chwithau. A fyddwch chwi yn arfer darllen llawer? 'Byddaf yn bur hoff o ddarllen, Syr; ond ychydig iawn o lyfrau sydd genyf etto.' Wel, beth pe byddem yn eich cau mewn ystafell ar eich pen eich hun, a fedrech chwi ddarllen yn ddibaid am dair awr? 'Pe cawn lyfr buddiol, Syr, yr wyf yn meddwl y darllenwn ef trwy'r dydd heb flino.' Da iawn. Byddai hyn yn gymaint cosp i lawer a phe troid hwy i'r *tread-mill*. Ond beth pe byddem yn eich cau i mewn heb un llyfr? A fedrech chwi feddwl yn astud am ryw un pwnc dros ychydig oriau? Neu gadewch i ni gael gweled yn y fan yma yn awr. Eisteddwch yn llonydd am bum mynyd, a meddyliwch o hyd am y pwnc o ail-eni. * * * Pa le y mae eich meddwl erbyn hyn? Dyma yr amser wedi dyfod i fynu. 'Wel, ni feddyliais i erioed ei fod ef mor wammal. A dweyd y gair, yr oeddwn yn meddwl y fath *inkstand* rhyfedd yw hwna sydd ar y bwrdd. Fe aeth y meddwl rywffordd yn ddiarwybod.' Ydyw, y mae yr *inkstand* yn un tra chywrain. Fe'i danfonwyd yn anrheg oddiwrth hen gyfaill caredig. Ond cofiwch, fe fydd rhyw gorn du o hyd yn ymddangos o'ch blaen, ac yn eich tynu oddiwrth y testyn, nes yr arferwch eich meddwl i ddwys-fyfyrio. A chofiwch hefyd na ddaw neb byth a phethau gwreiddiol i'r golwg heb dreiddio i'r gwraidd i ymofyn am danynt. Ond cymmerwch gysur, ni ddaeth neb erioed heb ymarfer. Dowch yma yn aml: bydd yn dda genym eich gweled.—Aroswch. Y mae genym un gair i'w ofyn etto. A ydych chwi wedi darllen pregethau Charles o Gaerfyrddin? 'Ydwyf, Syr, wedi darllen y ddau rifyn cyntaf.' Beth yw eich barn chwi am danynt? 'Yr wyf yn meddwl y gallaf ddweyd yn sicr na ddarllenais i ddim erioed gyda mwy o hyfrydwch.' Y mae yn dda genym glywed hyny. Y mae rhyw obaith am bob gwr ieuanc sydd yn hoffi pregethau Charles o Gaerfyrddin: ond os clywch chwi ryw un yn eu diystyru, gellwch benderfynu am hwnw, pwy bynag fyddo, nad yw yn deilwng i gael ei restru gyda chreaduriaid rhesymol. Dyma y

trydydd rhifyn etto. Cymerwch ef genych; a darllenwch ef yn drwyadl.

* * * *

O. Y. Yr oeddem yn bwriadu rhoddi amryw anghreifftiau allan o bregethau Mr. Charles i ddangos eu gwreiddioldeb; ond gan fod yr ysgrif hon wedi myned eisoes mor faith, rhaid i ni adael hyny hyd y tro nesaf.

Mewn difrif, Mr. Cysodydd, y mae yn rhaid i chwi gadw gwell dysgyblaeth ar eich llythyrenau; oblegid y mae rhai o honynt yn dra afreolus. Ni a ymataliwn heb ddynoethi eu beiau am y waith hon, gan ddysgwyl y diwygiant o hyn allan.

# Hanesiaeth Cenhadol.

## YR INDIA DDWYREINIOL.

***Llythyr oddiwrth un o'r Indiaid dychweledig at un o'r Cenhadau, pan oedd ar ddychwelyd o'r India Ddwyreiniol i Frydain, er mwyn ei iechyd.***

Barchus Dad—Mae fy nghalon yn alarus iawn wrth feddwl fod yn rhaid i chwi fyned i Frydain. Cyn i chwi ddyfod yma yr oeddym ni mewn tywyllwch Paganiaeth; chwi a ddygasoch i ni y gwir oleuni, chwi a ddygasoch Iesu Grist i ni. Duw a'ch danfonodd chwi, a chwithau a ddaethoch. Nyni a glywsom, a ni a gredasom; nyni a fwriasom ymaith ein duwiau, y rhai nid ydynt dduwiau; ond mudion, a byddarion ydynt, ac heb fywyd na nerth ynddynt.

Chwi a ddywedasoch i ni am Iesu, yr hwn yw delw y Duw anweledig. Yr oedd Iesu Grist yn fyw, yn siarad, ac yn cerdded. Yr oedd efe yn siarad yn iaith dynion, ond geiriau Duw oedd ei eiriau ef. Chwi a'n dysgasoch ni i ddarllen yr Ysgrythyrau, y gwir Ysgrythyrau, geiriau Duw yn y Testament Newydd—(O! mor hoff genyf yw y Testament Newydd!)—yr hwn sydd yn dweud fwyaf am Iesu Grist—Mae yn dywedyd i 'Dduw garu y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab;' a 'bod Iesu Grist wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid.' Chwi a hysbysasoch hyny i ni, a ni a ddarllenasom hyny ein hunain, ac yr ydym yn credu mai Iesu Grist ydyw unig Geidwad pechaduriaid. Mae fy nghalon yn awr yn sicr o'r iachawdwriaeth. Mi wn y gall anwyl Fab Duw fy achub i; yr wyf yn gwybod trwy brofiad fy mod wedi cael calon arall. Yr wyf yn teimlo yn fy nghalon gariad mawr at Grist, yr hwn a'm carodd i mor fawr.

Yr oeddwn i yn arfer addoli eilunod, ond nid oedd ynof fi ddim cariad attynt: ni ddaeth un eilun erioed i mewn i fy nghalon; ond mae Iesu Grist wedi dyfod i mewn i fy nghalon, ac mae efe yn preswylio yno. Am hyny llawen wyf: ond oherwydd eich bod chwi yn myned ymaith yr wyf yn alarus iawn. Yr ydych chwi yn myned ymaith, ond nid yw Iesu Grist yn myned ymaith: ni âd efe mo honof. Chwi yw fy nhad; ond Iesu Grist yw fy Ngwaredwr. Yn iach y bo chwi: yr wyf fi yn gweddïo am i Iesu Grist fyned gyda chwi, ac aros gyda ninnau. Fe all Iesu Grist eich cadw, eich iachau chwi, a'ch dwyn chwi yn eich ol i'r India drachefn. Ni a weddiwn drosoch chwi, bawb o honom: na phoenwch yn ein hachos ni: nyni a fyddwn mor dda ag y gallom hyd oni ddeloch yn eich ol drachefn; ond ni fyddwn ni ddim yn rhy dda heboch chwi. Yr ydych chwi bob dydd, yn dweyd wrthym am yr iawn ffordd, ac mae hyny yn ein cadw ni ar yr iawn ffordd.

Yr wyf fi wedi ysgrifenu llawer iawn: mae yn rhaid i mi ysgrifenu un peth etto. Pan eloch chwi i Loegr, dywedwch, O! dywedwch, wrth Gristionogion Brydain pa fath le i'r cythraul yw yr India: pa fodd y mae y cythreuliaid yn preswylio mewn pobl. Pa fodd y darfu i Iesu Grist yru y diafol allan o honom; ac mai ei bobl ef ydym ni yn awr; ac yr ydym yn bobl happus. Pe bawn i yn myned gyda chwi, mi a ddywedwn y fath hanes resynus wrthynt, a barai i lawer o Gristionogion ehedeg i'r India i bregethu Iesu Grist i fy mrodyr tlodion. Mae Cristionogion Brydain yn dda iawn am anfon i ni iachawdwriaeth—am anfon i ni y fath Waredwr; ond mae arnaf fi eisiau iddynt anfon ychwaneg o Genhadau i bregethu yr iachawdwriaeth. Nid rhyw beth mawr iawn iddynt wneud ydyw anfon deg, neu bump; dywedwch wrthynt fod yn rhaid iddynt anfon, ar unwaith, ddau gant; yna fe gaiff yr holl waith ei wneud ar unwaith. Pe buasai i gynnifer a hyny fod wedi cael eu hanfon gyda chwi, fe fuasai yma yn awr ddau gant cymmaint yn chwaneg o Gristionogion nag sydd. Ai nid yw hyn yn feius?

Dad tirion, anfonwch gynnifer ag a alloch yn chwaneg o Genhadau, cyn i chwi ddychwelyd, a dowch a chwaneg gyda chwi yn ol. * * *

## Y NEGROAID YN BERBICE.

Mae y Parch. Mr. Haywood, Cenhadwr yn mysg y Negroaid yn Berbice, yn ysgrifenu yn ei lythyr, yn mis Ionawr, 1837, fel hyn:—

Dichon y bydd yr hanesyn canlynol am ffyddlondeb y Negroaid dros eu crefydd, yn hyfryd gan aml un ei ddarllen. Yn nechreu amser casglu Coffi oddiar y coed, daeth Golygwr y gwaith o'r gymmydogaeth hon attaf un prydnawn sadwrn, ac a ddywedodd fod arno chwant gofyn un cwestiwn i mi, A oedd genyf ryw wrthwynebiad i'r Negroaid i gasglu Coffi ar y Sabbath, ar ryw achlysuron pennodol? Efe a ddywedodd fod y Perchenog ei hun wedi cael ei siomi o eisiau cael y bobl i gynnorthwyo i gasglu y cnwd Coffi i mewn; ac os na fydd i'w bobl ef ei hun weithio ar y dydd Sabbath

am gyflog, y byddai yn golled fawr i'r Blanhigfa. Da y gwyddai efe os na byddwn i yn bleidiol i hyny, mai ofer fyddai iddo ofyn i'r bobl am wneud. Mi a attebais, oherwydd fod y Perchenog ac yntau yn fath gyfeillion caredig i mi, ac i'r achos da, yr hwn yr ydwyf yn llafurio ynddo, nad oes neb a lawenychai yn fwy na myfi yn nghasgliad llwyddiannus eucynnyrch Coffi; ond fy rheol wastadol i yw, tystiolaethu nad oes dim gwaith i gael ei wneuthur ar y Sabbath ond gweithred o angenrheidrwydd, neu weithred o drugaredd: mewn perthynas i wir angenrheidrwydd, ac ehangder y cyfryw angenrheidrwydd, nid oes genyf fi ddim a wnelwyf â hwynt. Ac hefyd, os bydd i chwi a hwythau farnu ei bod yn angenrheidiol gweithio ar y Sabbath, fe fydd yn ddyledswydd arnaf fi eu rhybuddio rhag gwneuthur angenrheidrwydd o hunanoldeb, na gwneud hunanoldeb yn angenrheidrwydd.

Efe a aeth ymaith, ac a ddywedodd wrth y bobl ei fod ef wedi bod gyda'r Person, ac i'r Person ddywedyd fod yn rhaid iddynt weithio, os bydd angenrheidrwydd. Pa fodd bynag, hwy a ddywedasant nad oedd angenrheidrwydd, a hwy a naccasant. Wedi hyny, fe ddaeth y Golygwr attaf drachefn, ac a ddymunodd arnaf ddweud wrth y bobl fod angenrheidrwydd am iddynt weithio ar y Sabbath. Mi a ddywedais wrtho, nad allwn i ddim gwyro oddiwrth y rheol a osodais i lawr yn y cyfryw amgylchiadau; ac am hyny y bydd raid iddo fy esgusodi i, i beidio ymyraeth dim â'r achos mewn modd yn y byd. Felly fe aeth heibio rai wythnosau; ac ar ryw ddydd Sadwrn hi wnaeth gawod ddychrynllyd o wlaw, a gwynt mawr iawn; ac fe wyddai y bobl, onid aent hwy a chasglu y Coffi ag oedd yn fwyaf addfed i mewn yn foreu y dydd Sabbath, y dyfethid ef erbyn dydd llun. Gan hyny hwy a aethant allan foreu y Sabbath, ac a gasglasant fasgedeidiau llawnion o hono. Yna galwyd arnynt oll yn y prydnawn o flaen drws y Perchenog, ac fe ddygwyd iddynt arian, a *Rum*, a Thobacco, yn wobrwy am eu gwaith; hwythau o un fryd a'u gwrthodasant, ac a ddeisyfasant ar y gwr a'u cynnygiai iddynt ddywedyd wrth y Perchenog, a'r Golygwr, 'mai oherwydd ei fod yn orchwyl gwir angenrheidiol, eu bod wedi ei gyflawni ar ddydd yr Arglwydd; ac am hyny na dderbynient un hadling o arian, un dyferyn o *Rum*, nac un ddeilen o Dobacco.' Aeth y gwr ymaith mewn syndod mawr, ac ni ofynodd iddynt byth wedi hyny am weithio ar y Sabbath.

Dyma y tro cyntaf i neb o'r Negroaid weithio ar y Sabbath er pan wyf fi yn eu plith, ac yr wyf yn meddwl mai dyma y tro diweddaf hefyd. Ni thramgwyddodd y boneddigion ddim wrthyf fi, nac wrth y bobl; ac fe ddywedodd un o honynt wrthyf ar ol hyny, 'Syr, ni ddarfu i ni erioed feddwl fod y Negroaid yn meddu ar y fath reddf grefyddol, ag a ddangosasant ar yr achlysur hwn.'—*Friendly Visitor.*

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

### YSGOLION CYMRAEG.

Ymysg hen lyfrau dygwyddodd ddyfod i'n llaw lyfryn a gyhoeddwyd gan y Parch. Griffith Jones, Llanddowror, y gwr urddasol, duwiol, a llafurus hwnw a fu gynt yn offerynol o sefydlu Ysgolion rhad i ddysgu plant y Cymry yn y Gogledd a'r De i allu darllen yr Ysgrythyrau yn yr Iaith Gymraeg. Cynnelid yr Ysgolion hyn drwy Gydroddion Boneddigion, a than ofal Offeiriaid Plwyfau, a'r cyfan dan olygiad y rhagddywededig Mr. Jones. Yr oedd yr Ysgolion yn symmudol; ac mae y Llyfryn hwn fel math o Adroddiad (*Report*) o'r Ysgolion hyn, yn dangos y lleoedd y cynnalid yr Ysgolion, y nifer oedd ynddynt, yn nghyd â thystiolaeth yr Offeiriaid am addasrwydd, llafur, a llwyddiant yr Ysgolfeistriaid, yn yr amseroedd tywyll hyny ar ein gwlad. Mae y Cyfarchiad yn nechreu yr Adroddiad yn dangos agwedd meddwl y gwr duwiol hwnw, ei ofal am eneidiau ei gydgenedl, ynghyd a'i fawr dosturi tuag attynt, a'i lafur diorphwys am eu goleuo a'u hachub. Cyhoeddwyd ef yn y flwyddyn 1751. Dodwn yma gyfieithiad i'r Gymraeg o'r Cyfarchiad Saesoneg.

'Anrhydeddus Syr,

'Gan fod Ysgolion rhad symmudol, er taenu gwybodaeth Gristionogol ymhlith y tlodion yn Nghymru, wedi llwyddo yn fawr, drwy rasol ddylanwad Dwyfol Ragluniaeth, er y pryd y dechreuwyd hwynt hyd yn awr; yr wyf yn dymuno caniattad i barhau i gyhoeddi hanes eu cynnydd a'u llwyddiant, er gogoniant i Dduw, ac yn dystiolaeth gyhoeddus o'n rhwymedigaethau a'n diolchgarwch i elusengar Gynnorthwywyr y gwaith.

Nifer yr Ysgolion am y flwyddyn yn diweddu yn ngwyl Fihangel 1751, ydyw 129, yn cynnwys o ysgolheigion 5,669. Gellir gweled ymha blwyf y mae pob Ysgol, yn nghyd a pha nifer o blant sydd ymhob un, yn niwedd yr Adroddiad hwn. Ac er pan gyhoeddwyd Adroddiad cyntaf yr Ysgolion hyn, fe ddysgwyd 83,177 o Ysgolheigion, ac fe fu genym 1,578 o Ysgolion.

Pa fath olwg hyfryd ac effeithiol a fyddai pe gwelech chwi lai na hanner y miloedd hyny yn sefyll o'ch blaen yn awr, yn dyrchafu eu calonau a'u lleisiau mewn diolchus fawl am ddiriondeb eu cymwynaswyr; gan gydnabod, er gogoniant i Dduw, mai eu helusengarwch hwy a fu yn foddion dedwyddol, drwy ein Grasusaf Bryniawdwr, a'i Yspryd Sanctaidd, 'i agoryd eu llygaid, ac i'w troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw; fel y derbyniont

faddeuant pechodau, a chyfran ymysg y rhai a sancteiddiwyd drwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu.' Byddai y cynnyrfiad boddhaol a deimlent, wrth weled ffrwyth llafur eu cariad, yn peri na byddai eisiau un gradd o annogaeth ymhellach i fyned â'r gwaith da hwn ymlaen.

Yn wir, y mae yn beth rhy amlwg, am yr angenrheidrwydd sydd i fyned ymlaen gyda'r gwaith, oherwydd y nifer mawr sydd etto yn aros heb eu dysgu yn y rhan fwyaf o Gymru. Ped ystyrid cyflwr tywyll a thruenus yr eneidiau tlodion ac amddifaid hyn, yn llawn o anwybodaeth, caethion deillion i'r Dinystrydd, fe gynnyrfid tosturi i'r radd eithaf yn meddyliau pob Cristion. Canys pwy a ddichon fod mor ddidrugaredd, ag y gall edrych, heb ofidio, ar ieuainc a hen yn cael eu dyfetha o eisiau gwybodaeth? Ac megis y dywed Esgob duwiol, 'Os na hyfforddir hwynt yn y ffordd y dylent rodio ynddi, mae yn sicr yr arweinir hwynt ar hyd ffordd na ddylent rodio; ac yn ol pob tebygolrwydd hwy a barhant ynddi, ac y byddant eu hunain yn druenus, ac yn niweidiol i ereill; yr hyn, yn y canlyniad, a fydd yn waeth iddynt eu hunain ac i ereill, na phe buasent yn meirw yn eu mabanded o eisiau cynnaliaeth naturiol.'

Ped ystyrid hyn, fe fyddai i'w hachos gynnyrfu eich tosturi yn fwy effeithiol na dim a allaf fi ddweud ar yr achos. Canys pa weithred o drugaredd a ddichon fod yn fwy o elusen na'r ymgais am achub y lluoedd o eneidiau sy mor werthfawr a'ch eneidiau chwithau, ac i fyw cyhyd a hwynt, o afael dinystr tragywyddol? Pa beth a all fod yn fwy cristionogol, na thosturio wrth, a cheisio achub y creaduriaid tlodion a thruenus ag sydd yn cael eu 'dyfetha o eisiau gwybodaeth?'

Ni wn am yr anwyl addfwyn Iesu, pan oedd yma yn y byd, fod dim wedi cynnyrfu ei dosturi yn fwy na gweled gwrthrychau truenus, tebyg i'r rhai hyn, yn dyfod dan ei sulw. Ac mae yn ddiau y dylem ni ei ddilyn ef, neu nid ydym deilwng o'n galw yn Gristionogion. Pan ddaeth efe yn agos i Jerusalem, ac i'w golwg hi, ychydig cyn ei farwolaeth, Efe a edrychodd ar y ddinas, 'ac a wylodd drosti,' am nad oedd y trigolion 'yn gwybod y pethau a berthynent i'w heddwch.' Och! yr oeddynt y pryd hyny yn addfedu yn brysur iawn i ddigofaint a barn Duw, yr hyn nid allent ei weled na'i ystyried etto, oherwydd eu dallineb a'u hangredinaeth. Duw a wnel na byddo hi felly ar ein gwlad ni, er yn ol ei sefyllfa bresennol ei bod yn bur debyg o fod.

Gwelwn siampl arall o dosturi ein Hiachawdwr at yr anwybodus ag oeddynt mewn angen am hyfforddiant; 'Pan welodd efe y torfeydd, efe a dosturiodd wrthynt, am eu bod wedi blino, a'u gwasgaru fel defaid heb ganddynt fugail.' Ein hanwyl Iachawdwr a dosturiodd yn fawr wrthynt, nid yn gymaint oherwydd eu gwasgfa dymhorol o ran eu cyrph, ond yn fwyaf neillduol oherwydd eu perygl ysprydol o gael eu dyfetha yn dragywydd, canys yr oeddynt 'fel defaid heb ganddynt fugail.' Yr oeddynt 'wedi eu gwasgaru,' yr oeddynt yn myned ar gyfeiliorn allan o ffordd y bywyd tragywyddol, ac o lwybrau doethineb; am eu bod heb fugail ysprydol i'w hyfforddi ac i'w porthi. Ac etto ar yr un pryd, yr oedd ganddynt rifedi mawr o synagogau, a phregethu ynddynt bob Sabbath, neu yn amlach, a hyny gan amrywiol o Athrawon, Offeiriaid, Dysgawdwyr, Ysgrifenyddion, a Phariseaid y manylaf o'r holl bleidiau; *ond Eilun bugeiliaid* oeddynt oll. Tebygid wrth eiriau Crist nad oeddynt fath yn y byd o fugeiliaid; Ie, gwaeth na bod heb yr un. Os dywedaf yr hyn sydd yn hysbys i bawb, a'r hyn a ddywedwyd gan amryw o Ddifinyddion enwog, mewn sefyllfäau uchel yn yr Eglwys, gyda mawr alar o'r blaen, gobeithiaf na thramgwyddaf un Gweinidog duwiol a llafurus; 'Nad ydyw Athrawon diog, meddw, ac anffyddlon, ddim yn Athrawon, ond Bradychwyr ydynt yn hytrach, yngolwg Duw.' Llawer llai y bydd hyn yn dramgwydd i neb ond i'r rhai ag yr ydwyf wedi dyoddef digofaint ac anfoddlonrwydd oddiar eu llaw er's talm bellach, os ail goffâf sulw a wnaed gan Esboniwr dysgedig ar y Bibl, ar y testyn uchod:—'Bod yr hwn nad yw yn porthi ei braidd â didwyll laeth y gair, nac yn eu gwneud yn hysbys o'r pethau a berthynant i'w heddwch, a hyny allan o galon lawn o gariad Duw, a chariad at yr eneidiau sy dan ei ofal, yn annheilwng o'r enw Bugail. Canys y mae bod yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn ddiffygiol o hyn, yn peri fod Crist yn cwyno fod yr Iuddewon yn 'ddefaid heb iddynt fugail.'

Diau fod genym ni yn yr Eglwys Wladol, yn y Deyrnas hon, Fugeiliaid ffyddlawn yn aros, (ychwaneger eu nifer,) y rhai ydynt yn galaru oherwydd nas gallant yn effeithiol addysgu eu praidd drwy eu pregethau mwyaf llafurus, er eu cyfeirio hyd y mae ynddynt at amgyffrediadau y rhai mwyaf annysgedig. Llawer un sy wedi sylwi gyda galar, a chwyno yn dost, nad oes gan bobl bur anwybodus ddim archwaeth at eu pregethau, nad ydynt yn cael dim blas arnynt, ac nad oes ynddynt un duedd tuag attynt, mwy na phe pregethid iddynt mewn iaith estronol. Yr achos o hyn sydd amlwg: ni buwyd erioed yn eu cateceisio nac yn eu haddysgu yn egwyddorion y Grefydd Gristionogol; ac ni ddysgwyd hwynt i ddarllen, fel y gallent ddeall yn well, a derbyn yn rhwyddach, yr hyn a ddywedir wrthynt o'r Pulpud. Hyfforddi drwy gateceisio oedd prif ddull o ddysgu pobl yn athrawiaeth Cristionogaeth ar ei dechreuad; ac felly y maent yn awr yn dysgu yr Indiaid, yr hyn y mae llawer o bobl haelionus, yn ganmoladwy iawn, yn ei annog ymlaen, hyd yn

nod ymhlith y rhai mwyaf pellenig o honynt. Gorchymynir i ni 'wneuthur da i bawb, yn enwedig i'r rhai sydd o deulu'r ffydd.' Gan ein brodyr tlodion, ein cydwladwyr, genedigion ein broydd ein hunain, y rhai ydynt yn druenus o anwybodus, y mae hawl i'r haelioni a grybwyllir yn y rhan olaf o'r adnod hon. Maent hwy wedi eu dwyn i mewn i'r Eglwys, drwy yr ordinhad o fedydd, ac er hyny, y mae arnaf ofn y bydd raid iddynt fyw a marw mewn gwaeth cyflwr na'r Paganiaid, oni fydd i elusengarwch rhyw rai o ddedwydd wirioneddol deulu y ffydd, i'r rhai y mae y bobl anwybodus hyn yn perthyn, ddyfod ymlaen i gynnorthwyo i'w haddysgu hwynt.

Ni ddichon i gristionogion dreulio eu harian i well perwyl nag er cynnydd y Grefydd Gristionogol, yr hyn a dry allan yn ogoniant i Dduw, ac a fydd yn offerynol i achub eneidiau dynion rhag dinystr tragywyddol. Amser hau yw hwn, ac fe ddaw amser medi cyn hir, pryd y bydd i'r gwyr elusengar hyn, ynghyd a gwrthrychau yr elusen gyd-lawenhau, â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus.

*(I'w barhau.)*

---

## Marwolaethau Disyfyd, &c.

Yr oedd hen wraig nodedig o grefyddol er's dros 30 mlynedd, o'r enw Jane Samuel, yn byw yn mhlwyf Llanrug, Swydd Gaernarfon, dymunodd am i'r cyfeillion ddyfod i'w thŷ i gadw cyfarfod gweddi; yr hwn ddymuniad a gyflawnasant nos y 30ain o Ionawr diweddaf. Ac ar ddiwedd y moddion, aeth yr hen wraig yn ol ei harfer i ganmol Iesu Grist, ac i ddiolch i'r cyfeillion am ddyfod i ymweled â hi; a phan ydoedd yn canmol yn wresog am angau y groes, aeth un o'r chwiorydd ati i ffarwelio â hi: cododd hithau i fynu oddiar y gadair, gafaelodd yn ei llaw, yn ddisymwth ymollyngodd ar y gadair yn ol, a bu farw yn y fan. Yr oedd tua 80ain mlwydd oed.

Hefyd, yn y Waen fawr, ardal arall gyfagos, bu digwyddiad lled nodedig. Yr oedd yno hen wr o'r enw Henry Thomas yn byw; yr oedd wedi treulio ei fywyd yn lled fras, ond cafodd ar ei feddwl gynyg ei hun i Eglwys Dduw, aeth i'r Capel nos yr 21ain o Chwefror. Ond cyn dau ar gloch y boreu yr oedd wedi myned i'r byd tragywyddol.

Hen Amaethdy yn mhlwyf Beddgelert, Swydd Gaernarfon, o'r enw *Cwmdyli*, a gymerodd dân nos y 23ain o Ionawr. Llosgodd bron gymaint oll ag a oedd ynddo. Yr oedd yno werth tuag 23ain punt o ymenyn, toddodd y cwbl ond un llestraid bychan; llosgodd hefyd tua gwerth 15eg punt o gig, ynghyd â holl dodrefn y tŷ, oddieithr un gwely plyf. Bernir y golled yn agos i ddau cant o bunnau; ond cafodd pawb eu bywyd.

Yn Mhentref Ebenezer, plwyf Llanddeiniolen, yn yr un Swydd, er's llai na chwech wythnos, llosgodd dau o blant i farwolaeth trwy fod y rhieni yn eu gadael yn y tai eu hunain. Mae'n drueni na ddysgai penau teuluoedd wers i beidio gadael plant yn y tai eu hunain. Mae dau beth yn y blynyddoedd hyn yn peri fod ugain am un yn llosgi wrth a fyddai ddeugain mlynedd yn ol,—un peth ydyw y cyfnewidiad mawr sydd yn nefnydd gwisgoedd plant rhagor y pryd hwnw. *Cottons* yw braidd ddillad holl blant y gwledydd y dyddiau hyn, yn lle gwlaneni yn ol yr hen ffasiwn, ac y mae y defnydd blaenaf fel pe byddai rhyw sugn ynddo er cymeryd tân. Peth arall ydyw, fod *Gratiau* bron yn mhob tŷ, ac nid tân ar yr aelwyd, yn ol arfer yr hen bobl. O'r plant sydd yn llosgi y blynyddoedd hyn, nid oes un o ddeg o honynt yn cyfarfod a'r amgylchiad heb fod un o'r ddau beth uchod yn ei achosi. Yn gymaint a bod dull y byd wedi cyfnewid, dylai rhieni fod o hyny 'n fwy gofalus.—David Williams, Tŷ Ddewi.

## Rhybudd i Feddwon.

Yn Nghaerlleon, am wyth ar gloch nos Sadwrn, y degfed dydd o Fawrth, cafwyd dyn ieuanc o'r enw Thomas Andrews, 24ain oed, wrth ddrws ei dŷ, yn feddw iawn, wedi bod yn yfed *Whiskey*. Llusgwyd ef yn rhyw fodd i'r tŷ. Ac wedi ei gael yno, arferodd ei chwaer bob moddion a allai i gael y dwfr llosg o hono, rhag ei farw ef, ond yn gwbl ofer. Felly y bu yn yr agwedd fochynaidd hono hyd y boreu, Yna aeth ei chwaer ac un arall i'r *Infirmary* i ymofyn am Feddyg atto.

Daeth y Meddyg yno gyda brys, ac a orchymynodd iddynt ddefnyddio rhyw foddion yn ddioed i'w gael ef i'r *Infirmary*. Felly, fe'i dygwyd ef yno erbyn hanner awr wedi naw ar gloch bore Sabbath. Dodwyd *Stomach pump* i lawr i'w gylla i geisio sugno y *Whiskey* o'i fola ef, ond ni lwyddwyd nemawr. Yna dodwyd plastr o fwstard ar ei ddwyfron, ac ar amryw fanau ereill o'i gorph, i geisio cael rhyw faint o'r dwfr llosg (*Whiskey*) allan o'i gnawd ef. Ond yr oedd rhyw olwg druenus arno ar hyd y dydd. Efe a aeth yn aflonydd a gwyllt tu a'r prydnawn. Meddyliwyd unwaith y byddai yn rhaid rhoi *Strait waistcoat* am dano, canys yr oedd yn wyllt iawn.

Oddeutu deg ar gloch o'r nos, mi a'i gwelais ef fy hun mewn rhyw gyflwr gresynus a dychrynllyd iawn. Nid allodd ddweud dim wrth neb ond un gair wrth ddyn oedd yn ei ymyl, *O! go to hell!* Am un ar gloch bore ddydd llun efe a fu farw yn y cyflwr ofnadwy hwn.

Cynnaliwyd rhaith-chwiliad ar y corph, yn yr hwyr; ac fe agorwyd ei gorph ef: a'r penderfyniad oedd, 'ei fod wedi marw oherwydd yfed gormodedd o ddiodydd meddwol.' Effeithiodd ei farwolaeth ef gymmaint ar y bobl sydd yn yr *Infirmary*,

nes y cefais ddeg o honynt i law-arwyddo yr Ardystiad dirwestol o beidio yfed dim o'r diodydd meddwol. Mi gefais lawer o enwau o'r blaen, sef rhai ag oeddynt wedi dyfod i'r Clafdy hwn yn hollol drwy effeithau niweidiol yfed diodydd meddwol.* Mae yma lawer yn bresennol yn dioddef poenau mawrion trwy effeithiau diodydd meddwol. O na byddai hyn o linellau yn fendith i ryw rai o ddarllenwyr y Drysorfa i ddyfod â hwynt i weled y mawr ddrwg sy mewn meddwdod a diotta.

Eich diffuant gyfaill,
Thomas Jones, Gwasanaethwr yn
Infirmary Caerlleon.

*Mawrth* 16, 1838.

### Y FRENHINES A'R SABBATH.

Un o'r Arglwyddi, Swyddog uchel yn y Llywodraeth, yr hwn nid yw yn un o'r rhai mwyaf nodedig am gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath, a ddaeth at ei Mawrhydi, y Frenhines Victoria, ar nos sadwrn, ynghylch dau fis yn ol, gan ddywedyd:—'Mi a ddaethum â rhyw bapurau o bwys at eich Mawrhydi i edrych yn fanwl drostynt. Ni flinaf eich Mawrhydi heno, ond mi ddeisyfaf gael eich sulw arnynt boreu fory.' 'Y fory,' medd y Frenhines, 'Sabbath fydd y fory, fy Arglwydd,' 'Ië, eb yntau, 'ond, os rhynga bodd eich Mawrhydi, mae yn rhaid gofalu am achosion y Llywodraeth.' 'Myfi a wn fod yn rhaid,' eb y Frenhines, 'a chan nad allech chwi ddyfod yma yn gynnarach heno, os yw y papurau o gymmaint pwys, mi a edrychaf drostynt y fory, ar ol dyfod adref o'r Eglwys.'

I'r Eglwys yr aeth y teulu brenhinol—ac i'r Eglwys yr aeth yr anrhydeddus Arglwydd.—Ac er ei fawr syndod, pregethodd yr Offeiriad ar y ddyledswydd o 'gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath.' Ar ol dyfod o'r Eglwys, gofynodd y Frenhines, 'pa fodd yr oedd y bregeth yn boddio eich Arglwyddiaeth?' 'Yr oedd yn fy moddio yn fawr, eich Mawrhydi,' meddai, yr Anrhydeddus Arglwydd, gan wneuthur gwen mor siriol ag y gallai. 'Ni chelaf oddiwrthych,' ebai y Frenhines, 'myfi annfonodd y testyn neithiwr i'r Person, gan ddymuno arno bregethu arno. Gobeithio y bydd y bregeth yn lles i ni oll.'

Aeth yr holl ddiwrnod heibio heb i neb son gair am y 'papurau o bwys,' y rhai oedd yn galw 'am edrych yn fanwl drostynt.' Yr oedd ei Arglwyddiaeth yn hynaws a chyfeillgar ar hyd y dydd, yn ol ei arferiad cyffredin. Ac wedi ei myned yn gryn lawer o'r nos, pan oedd y Frenhines yn parotoi i ymadael o'r ystafell eistedd, 'Boreu fory, fy Arglwydd,' eb hi, 'cyn foreued ag y mynoch—cyn foreued a saith ar gloch, os ewyllysiwch, nyni a edrychwn dros y papurau a soniasoch.' Ond ni fynai ei Arglwyddiaeth ormesu ar ei Mawrhydi mor fореu a hyny—'Naw ar gloch fydd yn llawn ddigon buan.' Gan eu bod o bwys mawr, fy Arglwydd, eb y Frenhines, mi a ymroddwn i edrych drostynt yn foreuach; ond ni a benderfynwn ynte, naw ar gloch.'

Ac erbyn naw, yr oedd y Frenhines wedi eistedd yn barod i'r Anrhydeddus Arglwydd ddwyn ei bapurau ger bron. Gobeithir y bydd y tro yn lles iddo, i beri iddo o hyn allan gofio yn well gadw yn sanctaidd y dydd Sabbath.—*Court Journal.*

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Mawrth 8, Dyg Arg. Lansdowne ysgrif Cyfraith Diwygiad Dewisiad Aelodau y Senedd, i'w darllen yr ail waith. Gwrthwynebodd Duc Wellington ef, ac amryw o'r Arglwyddi ereill hefyd. Rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| Yn erbyn yr Ysgrif ............ | 147 |
| O blaid .. .................... | 82 |
| Mwy yn erbyn o .............. | —65 |

Felly fe gollwyd yr ysgrif hon etto, wedi yr holl drafferth gyda hi yn Nhŷ y Cyffredin.

Mawrth 9. Dyg Archesgob Canterbury Archiad i mewn oddiwrth Bersoniaid Canada yn dymuno am i'r Tŷ gymmeryd mewn llaw i drefnu am iddynt hwy gael cynnaliaeth gysson a pharhaus. Llefarodd Arg. Glenelg, Iarll Ripon, ac Esgob Llundain yn bleidiol i'r Archiad. Ond dywedodd Arglwydd Glenelg, fodd bynag, fod llawer iawn o anhawsdra i ddwyn y peth i ben. Dodwyd yr Archiad ar fwrdd y Tŷ.

*Tŷ y Cyffredin.*—Mawrth 6 a 7. Cynnygiwyd am gerydd ar Swyddogion y Llywodraeth, gyda bwriad am eu bwrw allan o'u swyddau, mewn araeth faith, gan Syr W. Molesworth. Y prif fai a enwyd oedd ymddygiad Arg. Glenelg, Ysgrifenydd y Trefedigaethau, tuag at drigolion Canada yn Ngogledd America Mae y *Torics* yn beio arno am fod yn rhy ddiofal ynghylch darostwng y gwrthryfel, eisiau iddo arfer mwy o ragweliad a llymder ar yr achlysur; ond mae y *Radicals* yn beio arno am arfer y fath lymder ag a wnaeth. Gwrthwynebodd Arglwydd Palmerston ef, mewn araeth faith. Yna cynnygiodd Arg. Sandon welliant ar y cynnygiad, ond lled gyffelyb. Llefarodd Arg. Stanley o blaid y Gwelliant, a Syr F. French, Mr. Gladstone, Syr R. Peel, &c. ar yr un ochr. Gwrthwynebwyd ef gan Mr. Labouchere, Mr. Spring Rice, Syr G. Grey, Arg. John Russell, &c. Yna rhanwyd y Tŷ ar achos y Gwelliant, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid y Gwelliant .......... | 287 |
| Yn erbyn..................... | 316 |
| Mwy yn erbyn o ............. | 29 |

* Gwelwn mor fuddiol ydyw cael Gwasanaethwr yn ofni yr Arglwydd, yn enwedig yn y fath le a hyn. Dichon un gwas effro yn ei enaid wneud llawer o les mewn teulu, ac yn neillduol mewn clafdy.—*C—r.*

Felly fe fethwyd a thaflu Arg. Glenelg a'i gyd-Swyddogion o'u lleoedd y tro hwn etto.

Mawrth 9. Aed ymlaen gydag Ysgrif Cyfraith y tlodion yn y Werddon, o ddosparth i ddosparth. Gofynodd Canghellwr y Trysorlys ganiattad i ddwyn i mewn Ysgrif am well trefn ar oruchwyliaeth y Llythyrdy, a chenad a gafwyd.

Mawrth 11. *Tŷ yr Arglwyddi.* Dygwyd i mewn nifer mawr o Eirchion yn dymuno ar i'r Senedd wneud cyfraith newydd am roi pen ar brentisiaeth y Negroaid, oherwydd y mawr orthrymder y maent yn ei ddioddef gan eu meistriaid creulon.

*Haelioni ac Elusengarwch.*—Darfu i Mrs. Yale, gwraig y Milwriad Yale, Plas yn Yale, yn Sir Ddinbych, gynnal yr holl bobl dlodion ac anghenus yn yr holl gymmydogaeth, drwy ddyfnder y gauaf, nid yn unig â bwyd, ond â dillad clyd, a thanwydd hefyd. Dyma siampl nas gellir ei gwneud yn rhy gyhoeddus, i'r dyben o fod yn annogaeth i eraill.

*Botymau Dirwestol.*—Ar yr 20fed o Mawrth, fel yr oeddym yn sefyll mewn Gwerthdy helaeth yn Nghaerlleon, dangosodd un o'r dynion i ni dri math o *Fotymau Dirwestol.* Cymmaint yw y brwdfrydedd ag sydd yn y dyddiau hyn gyda'r achos dirwestol, fel na wyddys pa bryd y ceir pen draw arno, fel y mae goreu'r ffawd. Yn Birmingham y lluniwyd y Botymau hyn.

Ar un math o honynt y mae'r geiriau hyn 'Tee Total Society,' yn y canol, gyda'r ymadrodd *Honi soit qui mal y pense.* h. y. 'Drwg a fydd i'r neb a feddylio ddrwg,' ar ardys o gylch yr ymyl.

Ar fath arall y mae'r geiriau 'Tee Total Society,' wedi eu gosod o amgylch ffynnon, yr hon sydd yn bwrw ei dwfr allan yn ffrwd loyw. A'r trydydd math sy debyg o ran cynllun, ond gyda chwanegiad o 'Deml Iechyd.' mewn cyffelyb sefyllfa i'r ffynnon ddwfr ar y llall. Dywedai y gwr wrthym, nid yn unig fod y cyfryw Fotymau newyddion ganddo ef ar werth, ond hefyd y gellir eu cael yn y Gwerthdai yn gyffredinol yn Nghymru. Beth fydd nesaf?

*Damwain alaethus yn yr Agerdd-long Victoria.*—Boreu ddydd Gwener, Mawrth 16, codai y llestr hon ei hangor er morio i lawr afon *Thames* i'r diben o wneuthur prawf o ddyfais newydd a fernid gan y perchenogion o bwys mawr. Yr oedd amryw o foneddigion urddasol a boneddigesau hefyd ar ei bwrdd; ac aeth y cwbl ymlaen yn foddhaol hyd oni ddaethant ar gyfer Erith. Ar hyn ymdorai un o'r peiriau, neu ryw beth perthynol iddynt,—yr hyn a ddilynid â sŵn mawr cyffelyb i dwrf taranau neu gynnwrf daeargryn. Yr agerdd a dywyllai yr awyr mewn munud fel nas gellid gweled y llestr oddiar y lan; ac wedi iddo chwalu ychydig yr oedd yr olygfa ar y bwrdd yn ddychrynllyd. Y dyoddefwyr oeddynt yn debycach i Negroaid nag i ddim arall: ond da genym allu dywedyd nad ysgubwyd hwy oll i dragywyddoldeb yn y fan. Wedi i bob cynnwrf dawelu, cafwyd allan fod un o'r peiriannwyr yn gorwedd yn farw yn y glo; a bod pedwar ereill wedi eu hanafu yn dost fel yr ofnir yn fawr na bydd iddynt wellhau. Dywedir fod y Victoria yn un o'r agerdd-longau harddaf a mwyaf ag sydd yn perthyn i'r deyrnas hon: a'i bod wedi ei threfnu i forio rhwng Llundain a Hull.

*Hirhoedliad.*—Bu farw hen wraig, o'r enw Ellen Pritchard, yn y Waenhir, yn agos i Gapel Curig, Arfon, wedi cyrhaedd yr oedran mawr o 103 o flwyddi. Gadawodd o'i hol bedair o ferched; 34 o wyrion; 74 o orwyrion; a dau esgynnydd.

*Ffair Llangefni.*—Yn y ffair hon, a gynnaliwyd Mawrth 14, yr oedd gwerthiant rhwydd ar bob da oddigerth ceffylau. Bustych a werthid am o £10 i £12. Buchod a lloiau o £8 i £10, a moch o 30s. i £3.

*Ffair Amwythig.*—Yn ffair ddiweddaf y dref hon gwerthid defaid tewion am 6½c. y pwys—moch tewion o 4½ i 5c. a moch ereill am brisiau uchel iawn.

Yr oedd nifer y tafarnau yn Lloegr a Chymru, yn ol y cyfrif a gymmerwyd am y flwyddyn ddiweddaf, yn diweddu Rhagfyr 31, fel y canlyn:—Tafarnau â thrwydded i werthu cwrw i'w yfed yn eu tai 40,102, a thafarnau ereill 5,292. Y cwbl 45,394.

Cofus gan ein darllenwyr, y mae yn ddiammheuol genym, fod y fath ddyhirwyr yn Lloegr ychydig amser yn ol ag a roddent deisi ŷd ar dân, a chyffelyb gyflafanau, a hyny o falais a chenfigen yn unig; ond yr oeddym am Gymru yn gobeithio pethau gwell, a drwg genym roddi yr hanes canlynol o flaen ein darllenwyr. Ychydig amser yn ol derbyniodd cyfaill i Aneurin Owen, Ysw. Eigryan, yn agos i Ddinbych (mab i'r diweddar Gymro clodwiw Dr. Owen Pugh) lythyr dienw yn bygwth y rhoddid tâs o wair i Mr. Owen, ag oedd mewn cae cyfagos, ar dân. Ni chymmerodd Mr. Owen fawr o sylw o'r bygythiad, oherwydd gwyddai na pharodd achos tramgwydd i neb, a barnai mai ysmaldod oedd y cwbl. Ond cyn hir amser cariwyd y bygythiad i ben; ac er pob cynnorthwy difawyd agos i hanner y dâs cyn y gellid diffodd y tân. Yr hyn a wna yr amgylchiad hwn yn fwy rhyfeddol fyth yw, fod Mr. Owen mor barchus gan, ac haelionus i'r tlodion; ac nad yw yn gwybod fod ganddo un gelyn yn y gymmydogaeth. Ni chafwyd y dyhiryn allan etto, ond gobeithiwn y dygir ef cyn hir i afael cyfiawnder a chosp.—*Carnarfon Herald.*

*Daeargryn yn Ewrop.*—Y mae newyddiaduron y Cyfandir yn llawn o hanes y daeargryn mawr a deimlwyd yn ddiweddar

o'r môr Du i Cherbough, ar y 23 a'r 24 o Ionawr diweddaf. Wrth yr hanesion hyn yr ydym yn deall fod y cryniad saith awr yn ddiweddarach i'w deimlo yn Ffrainc nag yn Neheubarth Rwssia; ac na theimlwyd dim oddiwrtho i'r gogledd o'r Danube, ac i'r gorllewin o Transylvania.

*Rhyddhâd y Prentisiaid Negroaidd.*—Dywedir fod llywodraethwyr ynys Montserrat, yn yr India Orllewinol, wedi penderfynu gollwng eu holl brentisiaid yn rhydd ar y dydd cyntaf o Awst nesaf.

Ychydig amser yn ol cyrhaeddodd Llong ei Mawrhydi, Actæon, Cadben y Gwir Anrhydeddus Arglwydd Edward Russell, i Portsmouth, o Ddeheubarth America, â 360,000 dollars o arian.

*Tân dychrynllyd yn Manchester.*—Torodd tân allan yn ddiweddar yn un o felinau yr *Oxford Road Twist Company*, yn y dref uchod, yn mha un yr oedd oddeutu 2000 o ddynion yn gweithio. Cyfrifir fod y golled oddeutu £4000 neu £5000. Gellir dychymmygu peth am eangder yr adeiladau hyn, a'r gwaith ynddynt, wrth y cyfrifiad canlynol:—darperir 28 llath o frethyn ynddynt bob munud—1680 bob awr—20,160 bob dydd—a 120,960 o lathoni, neu yr hyn a gyrhaedd 57 o filltiroedd, bob wythnos—*Chester Chronicle.*

*Ffordd o dan yr afon Thames, Llundain.*—Y mae y gwaith mawr a rhyfeddol hwn bron ar ben; ac os bydd iddo gael ei ddwyn ymlaen mor llwyddiannus a'r wythnosau diweddaf bernir y bydd allan o berygl oddi wrth yr afon, ac yn rhydd i'w thramwy tua diwedd yr haf nesaf. Bydd y ffordd hon yn gyfnerth fawr i drefnidaeth eang rhwng y ddau fan hyny, Rotherhithe a Wapping, a wahenir yn bresennol oddiwrth eu gilydd gan yr afon.

*Angau disyfyd.*—Mawrth 13, cynnaliwyd celain-ymholiad ar gorph plentyn bychan, o'r enw Francis Wright, dwy flwydd a chwe mis oed, yn Little Bolton, Swydd Lancaster, yr hwn a gyfarfyddodd â'i angau yn y wedd ganlynol:—Ymddengys oddiwrth dystiolaethau y gwahanol dystion ei fod yn ddarostyngedig i lewygfeydd trymion os gyrid ef allan o'i dymherau naturiol, a pharhai ynddynt weithiau am rai oriau. Ar brydnawn y dydd Llun blaenorol daliai ei fam ef yn curo ffenestr yn y gymmydogaeth â ffon, ac am hyny dwrdiai ef yn fawr, yr hyn a barodd iddo syrthio i lewyg drom, a throi yn ddu yn ei wyneb. Rhoddwyd ychydig ddwfr oer yn ei enau, ond ni allai ei lyngcu, ac wedi iddo ocheneidio yn drwm ddwy waith, efe a drengodd. Y rheithwyr a ddychwelasant â'r rheithfarn, 'Ei fod wedi marw mewn llewyg.'

*Arall.*—Ar ddydd Sadwrn, Mawrth 10, fel yr oedd bachgenyn 14 oed, yn croesi heol *Dean'sgate Manchester*, mewn man cul arni, yr hwn oedd yn llawn o drolieu ar y pryd, digwyddodd iddo fyned yn rhy agos i geffyl, yr hwn a gyfrifid yn llonydd, ond a ddychrynwyd yn ddisymwth fel y cododd ei droed ac a darawodd y bachgen fel y disgynodd i gryn bellder oddiwrtho. Ac er iddo ddyfod ato ei hunan i raddau, etto cymmaint oedd effaith y tarawiad fel y bu farw dranoeth mewn poen ddirfawr. Rheithfarn 'Marwolaeth ddamweiniol.'

*Y Gwlan.*—Y mae y newyddiaduron diweddaraf yn hysbysu fod y drefnidaeth oedd gofyn mawr am dano, a phrisiau da yn mewn gwlan ar gynnydd. Yn Halifax yr cael eu rhoddi. Yn Bradford hefyd gwnaed cais i dynu y pris uchel oedd arno i lawr: ond ni wnaed llawer o gyfnewidiad. Yn Leeds, er nad oedd y farchnad mor lawn ag arferol; etto cadwyd y pris i fynu er y cwbl. Yn Huddersfield yr oedd y farchnadfa yn llawn o nwyddau, a'r gwerthwyr yn parhau i ofyn yr un pris ag o'r blaen.

*Creadur cynddiluwiawl.*—Un o'r wythnosau diweddaf darganfuwyd esgyrn, &c. rhyw greadur anferth, o lwyth yr Icthyosaurus, mewn cloddfa yn Twerton, o eiddo C. Wilkins, Ysw. Y mae ei ysgerbwd yn gorwedd mewn peth a eilw anianyddwyr yn *lias*, ac esgyrn anferth ei ên, ei ddannedd, a'i asenau, ydynt berffaith.—*Bath Journal.*

---

### Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi*—Mawrth 15. Dywedodd Arg. Brougham y dygai efe i'r Tŷ Ysgrif am Welliant ar y gyfraith Rhyddhad y Caethion yn y Trefedigaethau, gan ddodi ynddi derfyniad amser prentisiaeth y Negroaid ar Awst 1, 1838, yn lle Awst 1840, sef dwy flynedd yn gynt. Ac ar ddydd Llun, Mawrth 19, efe a wnaeth hyny. Darllenwyd yr Ysgrif y tro cyntaf, a gorchymynwyd am iddi gael ei hargraffu.

*Tŷ y Cyffredin*—Mawrth 14, cynnygiodd Mr. V. Smith ddarllen Ysgrif terfynau Bwrdeisdrefi; ond pan welodd gynnifer yn ei erbyn, efe a'i galwodd yn ol.

Mawrth 15, Dyg Mr. Villiers gynnygiad am i'r holl Dŷ droi yn Eisteddfod am ddiwygiad ar Gyfraith yr Yd. Bu dadl o bob tu, ac fe ranwyd y Tŷ ar yr achlysur, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid y cynnygiad ........... | 95 |
| Yn erbyn ..................... | 300 |
| Mwy yn erbyn o .............. | 205 |

Felly nid gwiw dysgwyl am dro ar Gyfraith yr Yd y leni.

*Tŷ yr Arglwyddi.*—Mawrth 20. Dyg Arg. Stanhope ei gynnygiad i mewn am ddiddymiad neu gyfnewidiad gwreiddiol yn Nghyfraith newydd cynnaliaeth y tlodion. Efe a wrthwynebwyd yn gadarn ac effeithiol gan Arg. Brougham, a Duc Richmond. Ac nid oedd cymmaint ag un o'r Arglwyddi o'i blaid. Felly, fe ddiffoddodd y cynnygiad.

# BARDDONIAETH.

## LLYDAW.

Barch. Olygydd,—Llawen oeddwn, a llawen oedd llaweroedd eraill yn ddiameu, weled achos ein cyd-genedl yn Llydaw yn Ffrainc yn cael ei osod ger gwydd y Cymry yn y Rhifynau diweddaf o'r Drysorfa; ond er nad wyf fi fy hun ond ieuanc, etto gall achos o fath hwn gael cymaint o le yn meddyliau rhai ieuainc ag y gall yn meddyliau rhai hen; a gobeithio yr ydwyf y bydd llawer o wyr ieuainc heini Cymru yn barod ac ewyllysgar i offrymmu eu hunain at y gwaith o bregethu yr efengyl am y deyrnas ymhlith y Llydawiaid anwybodus.

Nid achos Negröaid duon ar ororau Caffararia ydyw hwn, nid achos rhyw farbariaid anwar a drigant barthau pellenig y ddaear ydyw hwn, ond achos rhai yn hanu o'r un genedl a ni, achos rhai y mae yr un gwaed yn rhedeg drwy eu gwythi ag a red drwy ein gwythi ninnau, achos rhai a siaradant yr un iaith ag a siaredir wrth odreu mynyddoedd Cymru.

Gan obeithio y cyfyd gwawr ar Lydaw dywyll, a chan annerch fy nghyd-genedl gyda'r llinellau isod, y terfyna

Eich Gohebydd,

*Liverpool.* J. HUGHES.

I Lydaw at dylodion—yn fwynaidd
Anfoner Cenhadon,
Yn degwedd weinidogion
Efengyl fad, rad yr Iôn.

O un waed a ni ydynt—o'n cenedl
Deg, hoenwedd yr henynt;
Ond draw hwy ymadawynt
O'u gwlad gu, hen Gymru gynt.

Nos erch anwybodaeth y sydd—a'i chaddug
Yn gorchuddio'u bröydd;
Gau yno pob trigianydd
Fal gwlad amddifad o ddydd.

Unwedd a hwynt hwy oeddym—ninau gynt
Mewn enwau gau credym;
Yn baganiaid heb genym
Air Duw hedd a'i ryfedd rym.

Ond daeth Efengyl i'n tir—yn firain,
I Brydain ein brodir;
A gwnaeth ein gwlad fad yn fir
A goleu fel ei gwelir.

O eled hon yn hylwydd—dros foroedd,
Dros furiau ynfydrwydd;
Eurglod boed enw ein Harglwydd
A son am Iesu a'i swydd.

Aed Bibl pur i bechaduriaid,—manna
Dymunol yr enaid:
Boed yn gu ranu wrth raid
Allu Duw i'r Llydawiaid.

## MYNYDD HOREB.

Ar gopa craig ar Horeb fryn
Y safai'r prophwyd gynt,
Ac'r Arglwydd heibio ger ei fron
Mewn cryf a nerthol wynt;
Cwympai'r goedwig gan ei nerth,
Ac ymrwygai'r creigiau serth,
Ond nid oedd Duw yn hwn:
—Nid oedd ond corwynt chwyth yr Ion
Gyhoeddai wae, a marw, a phoen.

Tawelodd—a daeth cwmwl du
A chuddiai'r haulwen mawr;
Trwy eigion bryniau dwfn a chroch
Ddaeargryn siglai'r llawr:
Yr Eryr dyrchu i'r nen a wnae—
Y Blaidd gan ffio ae o'i ffau—
Ond nid oedd Duw yn hwn:
—Nid oedd ond swn ei gerbyd Ef,
Ac adsain traed ffrom feirch y nef.

Drachefn, gostegai natur frau,
Tawelai trwyddi'n lân;
Yn chwyrn o entrych nef i lawr
Disgynai fflamau tân;
Suddai'r môr i'r dyfnder du,
Ac'r haul yn glaf uwch daear gu,
Nid oedd Duw yn y fflam:
—Nid oedd ond pelydr ei lygad Ef
Yn saethu rhwng cymylau 'r nef.

O'r diwedd daeth llef ddistaw fain,
Pereiddiol nefol lon,
Yr oedd ei sain fel clywai pawb
Trwy'r nef a'r ddaear hon;
Traethai gariad—traethai hedd,
Fel gwna Engyl heirdd eu gwedd—
'R oedd Duw ei hun ger bron;
Can's O! yr ydoedd yn llais Tad,
A lanwai'r byd â lloniant mâd.

Llefara, a boed, O Arglwydd Ior,
Dy ddychrynfeydd i ni
Yn hoff flaenredwyr nefol ras,
Gwroniaid cariad cu;
Tyr'd trwy'r daeargryn a'r tân,
Y gwynt, a'r llef soniarus lân,
Fel cwympo'n hofnau du;
Un gair llefara, Arglwydd Dduw,
A bydded hwn, CYFRYNGWR BYW.

*Bala.* J. PH.

## MYFYRDOD BACHGENYN YN NGHONGL Y CAE.

*Ton 'Sweet Home.'*

O Arglwydd un cyfiawn a sanctaidd wyt ti;
Ond euog ac aflan o anian wyf fi,
Ond genyt ti Arglwydd mae cyfoeth yn stor,
O ras a thrugaredd diderfyn fel môr.
Môr, Mor, yn y mor.
O tafl f'anwireddau i ddyfnder y mor.

Tydi sy'n gyfiawnder, doethineb, diau,
Wyt fywyd, wyt feddyg i'm hollol iachau;
Tydi yw f'arweinydd, tydi yw fy Ior,
Wyt barod i faddeu, mae'th gariad fel mor.
Mor, Mor, yn y mor, &c.

O cofia fi, Arglwydd; 'rwy'n eiddil a gwan,
'Rwy'n methu a dringo o'r dyfnder i'r lan,
Mae hiraeth ar f'enaid am gwmni y cor
Sy'n gwledda ar gariad diderfyn fel mor.
Mor, Mor, yn y mor, &c.

*Glan Tegid.* R. H. P.

# Y DRYSORFA.

RHIF. LXXXIX.]  · MAI, 1838.  [LLYFR VIII.

## COFIANT AM WILLIAM EVANS,

Henuriad Eglwysig, ymhlith y Trefnyddion Calfinaidd, yn Dinorwic, Swydd Gaernarfon.*

Mab oedd William Evans i Evan Jones, a Jane Jones, o'r Tyddyn mawr, Plwyf Llandwrog, swydd Gaernarfon. Fe'i ganwyd Awst 17, yn y fl. 1773. Yr oedd ei rieni yn yn rhai hynod mewn duwioldeb; ac felly cafodd yntau ei ddwyn i fynu dan addysg grefyddol, (er heb fod yn yr eglwys). Pan ydoedd tu a 10 oed aeth i gymdeithas (*Society*) y plant i *Llanllyfni*, dilynodd hono am tu a 2 flynedd; ond wedi hyny aeth yn hynod o wyllt ac anystyriol; cafodd ei adael felly hyd nes ydoedd rhwng 14 a 15 oed. Ond tu a'r amser hwnw aeth i Fryn'rodyn i wrando pregeth; cafodd hono y fath argraffiadau ar ei feddwl fel na ddilëwyd hwy byth oddiarno. Y noson hono aeth i'w wely fel arferol; ond yn y nos fe freuddwydiai weled ei holl bechodau wedi eu hargraffu yn fras o'i flaen: dychrynodd hyn ef gymaint nes y deffrodd ac y gwaeddodd; cyfododd o'i wely gyd a'r brys mwyaf; ond ni wybu neb yn y tŷ pa beth oedd yr achos. Bu dda iawn ganddo dranoeth gael lle i fyned ar ei liniau i lefain am ei fywyd, ac hefyd i ddiolch am ei fod yn rhywle tu yma i uffern.

Bu felly am tu a blwyddyn, mewn trafferth ddwys ynghylch ei gyflwr, heb hysbysy i neb, er bwriadu dweud i'w dad bob wythnos: ond ar ryw noswaith pan ydoedd ei dad yn parotoi i fyned i Fryn'rodyn i'r *Society*; gofynodd W. E. iddo a gai ef ddyfod gyd ag ef i'r *Capel* y noson hono. '*Cai fy machgen*' (eb yr hen wr); ac felly aethant; ac wrth fyned fe fynegodd i'w dad pa fodd y treuliodd y tair blynedd diweddaf. Yr ydoedd hyn yn y gwanwyn pan ydoedd W. E. rhwng 15 ac 16 oed.

Treuliodd yr 20ain mlynedd o'i oes grefyddol heb golli cymmaint ag un *Society* na dydd na nos. Ymhen tu a blwyddyn ar ei ol ymunodd Mr. John Parry, (Cyhoeddwr y Drysorfa) â'r *Society* yn y Bryn'rodyn, a bu'r ddau yn gyfeillion mawr tra bu'r diweddaf yn y Gymydogaeth. Yr oedd tad pob un o'r ddau ynghyd a John Griffiths Tŷ'r Capel yn arfer cadw ysgol nos yn y Brynrodyn, a W. E. a J. Parry yn eu cynorthwyo; ond ni byddai yr ysgol hon ond yn y gauaf. Ond wrth edrych ar eu cyfoedion ieuangc yn halogi dydd yr Arglwydd mor benuchel fe gynhyrfodd ysbryd y ddau ddyn ieuaingc hyn, a dechreuasant ymddiddan â'u gilydd am gael ysgol ar y Sabbath i Fryn'rodyn, i edrych a ellid dim dysgu i rai o'r lluaws ieuengctid i ddarllen gair Duw, er na chlywodd yr un o honynt erioed son am y fath beth. Ond rhag ofn eu bod yn gwneuthur peth heb fod yn iawn, penderfynasant ofyn i'r hen bobl pa beth oedd eu barn hwy am y fath gyfarfodydd; ac erbyn gofyn i'r rhai hyny nis gwyddent pa atteb i roddi iddynt; ond barnasant fod dysgu y Bibl yn waith da. A rhoddwyd cenad i'r ddau i gynyg ar y gorchwyl, ac felly bu.

Ymhen ychydig Sabbathau, daeth y Parch. John Roberts o Lanllyfni (wedi hyny o Langwm) i Bryn'rodyn i bregethu; ac annogodd hwy i fyned ymlaen; ac felly dechreuodd y ddau hyn yr Ysgol Sabbathawl yn y Bryn'rodyn yn y fl. 1791, hon mae'n debyg oedd yr Ysgol Sabbathawl gyntaf yn Swydd Gaernarfon. Yn lled fuan ar ol hyn gadawodd J. Parry yr ardal, a gadawyd W. E. yno i lafurio ei hunan pan nad ydoedd ond tu ag 19eg oed.

Bu felly am flynyddoedd yn llafurio gyd a'r Ysgol ei hunan, heb neb yn ei gynorthwyo: yr oedd wedi enill y fath awdurdod

ar ddeiliaid yr Ysgol fel y cai ganddynt wneyd braidd bob peth ar a geisiai ganddynt: ac yr oedd yr awdurdod hon wedi ei henill ganddo yn gwbl trwy diriondeb. Efe hefyd a fu'n brif offeryn i dyny i lawr y cyfarfodydd llygredig a gynhelid a'r ddiwrnodau gwylion ac ar y Sabbathau yn Llanwyndaf, a manau eraill, a hyny trwy anog yr ieuengctid yn dirion i beidio myned i'r cyfryw leoedd.

Pan ydoedd yn 26ain oed, dewiswyd ef yn flaenor ar yr Eglwys yn Bryd'rodyn; ac nid oedd yn Sir Gaernarfon neb yn fwy ffyddlon. Ychydig iawn o gyfarfodydd misawl a gollodd yn ysbaid yr ugain mlynedd cyntaf ar ol ei godi i'r swydd; bu dros ugain o weithiau yn Nghymanfaoedd y Bala, bu hefyd mewn amryw yn Dinbych a Rhuthyn &c.

Yn y flwyddyn 1802, fe briododd gyd â Jane Williams, Bodyngharad, plwyf Llanwyndaf, bu yn y. Tyddyn mawr am 15 mlynedd ar ol priodi, wedi hyny symydodd i dŷ Capel Rhostryfan. Bu yn y lle hwnw 7 mlynedd, ar y pryd hyn daeth i weithio i Gloddfeydd Llechau Dinorwic: ac o'r herwydd symudodd i blwyf Llanddeiniolen i fyw, i le a elwid Sarn ap Evan.

Yr oedd er's amryw flynyddoedd yn ddarostyngedig i ryw'syrthni annaturiol, yr hyn yn y diwedd a drodd yn angau iddo. Pan adeiladwyd Addoldy helaeth Dinorwic, annogwyd ef i ddyfod i fyw i'r hen Ysgoldy, lle hefyd y bu hyd derfyn ei oes. Un ydoedd W. E. a 'Gair da iddo gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun:' ïe, gellir dywedyd am dano, ei fod yn hynod mewn duwioldeb. Nid oedd yn feddiannol ar ryw ddoniau mawr, ac amgyffrediadau helaeth iawn; ond gwr cadarn yn yr athrawiaeth ydoedd; ac yr oedd yn amlwg ei fod wedi cael ei gymhwyso gan Dduw, i'r lle a'r gorchwyl a roddwyd iddo, yr hwn hefyd a gyflawnodd yn ddidwyll a ffyddlon dros 38 o flynyddau.

Ei brif lyfrau ydoedd, y Bibl, y Geiriadur Ysgrythyrol. a gwaith *Gurnal*. Darllenwr mawr ydoedd, a chofiwr da o'r hyn a ddarllenai. Yr oedd ei ffyddlondeb yn rhyfeddol gyd â phob rhan o waith Duw; ac yn mysg rhanau ereill gyda'r Ysgol Sabbathol. Yr oedd ganddo gymhwysder tuag at egwyddori plant, yn nodedig bron ar bawb; gwasgai yr hyn a ofynai at gydwybodau y rhai fyddai'n bresenol, nes y byddai gorfod i bawb wrando. Pan âi i geryddu, gwnai hyny gydag awdurdod, a phan âi i ddiddanu, gwnai hyny nes codi'r gweiniaid ar eu traed.

Saith wythnos y bu heb allu gweithio, a dwy wythnos a thridiau o hyny yn gorwedd. Yn ei glefyd olaf, yr oedd yn hynod o lewyrchus ar ei feddwl; a gwiriwyd y geiriau hyny ynddo yn amlwg; sef, 'Ni frysia yr hwn a gredo.' Ddiwrnodau cyn ei farw yr oedd mor glaf nes oedd yn methu dywedyd nemawr ddim; ond pan y cai ychydig hamdden, yr oedd yn gallu dywedyd yn groyw i ba wlad yr oedd ar fyned. Weithiau gwaeddai, Diolch, diolch, am fod pob peth wedi ei wneyd i fynu cyn yr amgylchiad hwn. Ac felly fe ymadawodd o'r byd hwn y 18 dydd o Awst, 1837, yn 64 ei oed. Bu 48 mlynedd gyd â chrefydd, a 38 yn flaenor. Yr oedd marwolaeth William Evans yn golled i'r ardal yn gyffredinol, ac i'r eglwys yn neillduol.

Gadawodd weddw, ac 8 o blant, i alaru ar ei ol; mae chwech o honynt yn aelodau eglwysig. Un cymeradwy yn mysg lliaws ei frodyr ydoedd W. Evans, a hynod o barchus gan bawb a'i hadwaenai; oblegid yr ydoedd yn ol ystyr helaethaf y gair yn Gristion trwyadl, ac yn Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oedd dwyll. Hawdd y gallaswn ychwanegu llawer ynghylch ffyddlondeb a rhinweddau W. Evans; ond rhaid terfynu rhag troseddu gormod ar y rheol.

DAVID WILLIAMS, Tŷ Ddewi, Dinorwic.

---

## ARDYSTIAETH RHYFEDDOL.

'Canys fel hyn y dywed y Goruchel, a'r dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb, ac y mae ei enw yn Sanctaidd, y goruchelder a'r cyssegr a breswyliaf; a chyda'r cystuddiedig a'r isel o yspryd, i fywhau y rhai isel o yspryd, ac i fywhau calon y rhai cystuddiedig,' Esaiah lvii. 15.

*Fel hyn y dywed.*—Nid oes eisiau dim ychwaneg i alw ein sulw manylaf na chlywed fod y Iehofah yn myned i lefaru. *Y Goruchel a'r dyrchafedig.* Mewn cydmariaeth i'r hwn y mae urddas ei hun yn soddi i ddiddymdra, mawrhydi i ddirmyg, a phob

peth a elwir yn fawr, neu a ddichon i ni feddwl fod yn fawr, nid yn unig ar y ddaear, ond yn y nefoedd hefyd, yn fychandra ac yn wegi. Efe a dywallt ddirmyg ar foneddigion, ac a ymostynga islaw ei fawredd digrëedig pan mae yn gweled yn dda edrych i lawr ar drigolion mwyaf dyrchafedig a breswyliant nef y nefoedd. Efe a eistedd ar amgylchoedd y ddaear, a'i thrigolion ydynt fel locustiaid. Mae efe yn eistedd ar ei orseddfainc goruwch ei holl weithredoedd nerthol, ac mae yn canfod eithafion gweithrediadau yn y dyffryn odditanodd.

*Yr hwn a breswylia dragywyddoldeb.* Anfeidroldeb yr hwn ni ellir ei amgáu o fewn cylch amser na lle, yr hwn ni wyr am ddechreu dyddiau na diwedd blynyddoedd.

*Ac y mae ei enw yn sanctaidd.* Yn casâu pechod, yn meddu ar anfeidrol uniondeb yn ei natur, hollol unffurfiaeth ag ef ei hun, ac yn ddiysgog a digyfnewid yn ei fwriad am ei ogoniant ei hun yn ei holl weithredoedd. *Fel hyn y dywed.* Gwrandewch arno, O chwi feibion balchder.

*Y Goruchelder a'r Cyssegr a breswyliaf.* Y lleoedd na ddichon y pechadur balch ac anedifeiriol esgyn iddynt, na dyfod byth o'u mewn. Ond, a ydyw Arglwydd y gogoniant drwy y disgrifiadau hyn o'i fawredd yn amcanu dychrynu y pechadur crynedig rhag nesâu atto? Nac ydyw: ond yn hollol yn y gwrthwyneb. *Fel hyn y dywed.* Gwrandewch hyn, O chwi y nefoedd, a synwch; Gwrando dithau, O ddaear, ac addola. Clyw hyn, O bechadur calon ddrylliedig, a sodded y geiriau yn ddwfn yn dy feddwl, canys byddant yn iechyd i'th fogail, ac yn fêr i'th esgyrn. *A chyda'r cystuddiedig a'r isel o yspryd y preswyliaf.* Ai gwir yw, y bydd i'r un uchel a dyrchafedig hwn, yr hwn ni ddichon i nef y nefoedd ei gynnwys, wneud ei breswylfod yn dy galon dlawd di? Mae yr ardystiad yn llawn o ryfeddod, ac yn gyflawn o gysur i'r pechadur anniddanus ag sydd barod i anobeithio am drugaredd.

Mae yr hanesyn canlynol yn taflu goleu ymhellach ar yr ymadroddion ardderchog, mawreddog, a rhyfeddol sydd yn yr adnod dan sulw. Fel yr oedd dyn cyffredin o'r wlad yn myned ar y ffordd i'r addoliad ar ddydd Sabbath, fe ddaeth Anffyddiwr o hyd iddo ar ei daith, ac a ofynodd iddo, I ba le yr wyt ti yn myned? Yntau a attebodd, i'r eglwys. Beth wyt ti yn myn'd i wneud yno, eb yr Anffyddiwr. Addoli Duw, eb y dyn. Pa un a'i Duw mawr ai Duw bychan, pa un a'i Duw uchel ai Duw isel yw dy Dduw di? medd yr Anffyddiwr. Mae efe yn Dduw uchel ac yn Dduw isel, meddai y dyn. Ai ie, meddai yr Anffyddiwr. Pa fodd y profi di hyny? Mae efe mor uchel, fel y mae yn preswylio yn nef y nefoedd, ac mae mor isel fel y mae yn trigo yn fy nghalon i, meddai y dyn. Tystiodd yr Anffyddiwr fod yr attebiad hwn wedi cael mwy o effaith ar ei feddwl, na'r holl lyfrau a ysgrifenodd y Dysgawdwyr dysgedicaf yn erbyn ei gyfundraith.

---

## Rhagoriaethau y Bibl.

IOAN.

Nid yw y dysgedigion yn cyttuno ynghylch y flwyddyn bennodol yr ysgrifenodd Ioan ei efengyl; rhai a dybient iddi gael ei hysgrifenu O. C. 69, cyn dinystr Ierusalem; tra mae eraill, yn mhlith pa rai yr oedd rhai o'r hynafiaid, yn barnu iddi gael ei hysgrifenu ar ol ei ddychweliad o'i alltudiaeth O. C. 98. Y rhesymau dros ysgrifenu yr efengyl hon oeddynt, i gadw amrywiol o ymddiddanion mwyaf pwysfawr ac adeiladol Crist, y rhai oeddynt heb eu coffâu gan yr efengylwyr eraill, i ddinystro rhai o'r heresiau niweidiol a gyhoeddwyd gan y gau athrawon yn nghylch person a marwolaeth Crist,—ac yn enwedig i gadarnâu y prif gristionogion yn eu crediniaeth o briodol Dduwdod a dyndod eu Harglwydd a'u Hiachawdwr. Dywedir i Ioan ei hysgrifenu ar ol gweddi ddifrifol a chyhoeddus gan yr eglwys, am yr Yspryd Glan i'w ysprydoliaethu i'r gwaith.

Yr efengyl yn ol Ioan sydd yn rhanedig i unar-hugain o bennodau, yn cynnwys pump o brif ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn adrodd amryw bethau neillduol yn nghylch Ioan Fedyddiwr, a gweithredoedd cyntaf Crist ar ol ei ddechreuad ar ei weinidogaeth gyhoeddus, pen. i. Yn y dosparthiad hwn mae yn hynod deilwng o sylw, mor gyflawn mae yr apostol yn mynegi mai yr Iesu, Mab Duw, ydoedd Creawdwr pob peth, ac iddo

gael ei wneuthur yn ddyn i ddwyn ymaith bechod y byd, adn. 1—3. 14—29.

Dos. II. Sydd yn coffâu amrywiol o ymddiddanion a gweithredoedd Crist hyd ei ymddangosiad olaf yn Jerusalem, pen. ii.—xii. Yn y dosparthiad hwn y pethau mwyaf nodedig ydynt,

1. Y wyrth o droi y dwfr yn win, pen. ii.

2. Ymddiddan ein Hiachawdwr â Nicodemus, pen. iii.

3. Tröedigaeth y wraig o Samaria, pen. iv.

4. Ymddiddanion doethion Crist â'r Iuddewon, pen. v.—x.

5. Yr adroddiad rhyfeddol am Lazarus a'i adgyfodiad, pen. xi.

Dos. III. Sydd yn cynnwys ymddiddanion serchiadol Crist gyd a'i apostolion cyn ei farwolaeth, pen xiii.—xvii. Yn y dosparthiad hwn y pethau mwyaf hynod a goffeir ydynt,

1. Y wers o ostyngeiddrwydd yr oedd ein Hiachawdwr yn ei ddysgu, trwy olchi traed ei ddisgyblion, pen. xiii.

2. Yr addewid fynych o'r Ysbryd Glan, fel Diddanydd anghyffredinol i'r apostolion, i'w haddysgu yn anffaeledig i'w cenadaeth, ac fel Diddanydd arosol yn yr eglwys, pen. xv. xvi.

3. Gweddi ein Hiachawdwr dros ei apostolion, a thros yr holl rai a gredant ynddo, pen. xvii.

Dos. IV. Hanes Crist yn cael ei fradychu, ei gondemnio, a'i groeshoelio, pen. xviii. xix. Y peth mwyaf hynod yn y dosparthiad hwn, heblaw y pethau a goffâwyd gan yr efengylwyr eraill, ydyw—y gofal serchiadol a ddangoswyd gan yr Iesu am ei fam; yr hwn, pan ar y groes, a orchymynodd ei nodded i Ioan ei ddisgybl anwyl, pen. xix.

Dos. V. Sydd yn adrodd rhai pethau neillduol am adgyfodiad Crist, a'i ymddiddanion diweddaf gyd â'i apostolion, pen. xx. xxi. Yn y dosparthiad hwn y pethau hynotaf ydynt,

1. Tiriondeb ymostyngol Crist, yn rhoddi boddlonrwydd i ammheuon yr Apostol Thomas, pen. xx.

2. Ymddiddan serchiadol ein Hiachawdwr gydà Phedr edifeiriol, pen. xxi.

*Cyfeiriadau yn Ioan.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i 1 | Diar viii 22 23—30 | 21 | Mal iv 5 Deut. xviiii 15—18 |
| 12 | Esa lvi 5 | i 23 | Esa xl 3 |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen i 45 | Deut xviii 28 Mic v 2 | x 11 | Esa xl 11 |
| | | 12 | Ezec xxxiv 12 |
| iii 13 | Diar xxx. 4 | xii 13 | 's cxviii 25 26 |
| iv 5 | Gen xxxiii 19 Jos xxiv 33 | 15 | Zec ix 9 |
| 9 | 2 Bren xvii 24 | 34 | Ps lxxxix 36 37 Ezec xxxvii 25 Dan vii 13 14 |
| 25 | Gen iii 15 xlix 10 | 41 | Esa vi 1—10 |
| vi 14 | Deut xviii 18 | xix 24 | Ps xxii 18 |
| 31 | Exod xvi 15 | 28 | lxix 21 |
| 45 | Esa liv 13 Jer xxxi 34 | 31 | Deut xxi 23 |
| | | 36 | Exod xii 46 |
| vii 35 | Esa xi 12 | 37 | Ps xxii 16 17 Zec xii 10 |
| 37 | lv 1 | | |
| 42 | 1 Sam xvi 1—4 | xxi 25 | Amos vii 10 |

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dalen. 102.)

III. *Erledigaethau Cyffredinol dan Ymerawdwyr Paganaidd Rhufain.*

Fe goffeir mewn Hanesion Eglwysig am ddeg o Erledigaethau mawrion, o amser cychwyniad pregethiad yr Efengyl hyd deyrnasiad Cwstenyn fawr, y rhai a ddygwyddasant dan lywodraeth yr Ymerawdwyr Nero, Domitian, Trajan ac Adrian, Lucius Verus, Septimius Severus, Maximian, Decius, Valerian, Aurelian, a Dioclesian. Yr achlysur cynnyrfiol o bob un, o'r erledigaethau hyn yn gyffredinol, ydoedd, gwasgu ar y Cristionogion i aberthu i eilunod y cenhedloedd, ac i ddangos eu ffyddlondeb i'r Ymerawdwyr drwy offrymu arogl-darth a chyflawni seremonïau ereill o flaen eu cerfluniau hwynt. Ac am na wnaent hyny, oherwydd na oddefai eu cydwybod iddynt, cyfrifid hyny yn ddirmyg ar grefydd y wladwriaeth, ac yn anufudd-dod i'r llywodraeth; ac fe geisiwyd eu gwasgu hwynt i wneud hyny drwy orthrech, gan gyfrif yr hyn a alwent hwy yn ystyfnigrwydd yn drosedd yn haeddu marwolaeth.

Pan fwyaf y cynnyddai y cristionogion mwyaf dyfal y ceisiai yr Ymerawdwyr ganddynt ufuddhau, oherwydd eu bod yn meddwl os goddefid iddynt gynnyddu, a pharhau yn anufudd, y byddai eu llywodraeth a'u personau mewn perygl. Ac ni wyddent am un ffordd debycach i gael gwared o'u perygl dychymygol na thrwy eu difa hwynt oddiar y ddaear ymhob modd ag y gellid ddyfeisio. Cyfododd erledigaeth hefyd yn fynych yn Ymerodraeth Rhufain heb un gorchymyn pennodol oddiwrth yr Ymerawdwr i hyny, yn unig oddiar gynnyrfiad Goruchwilwyr Taleithiau Rhufain a ddygwyddent fod mewn gelyniaeth at y cristionogion. Darfu i'r Ymerawdwyr

Maximian a Descius eu herlid yn benaf oddiar gasineb at yr Ymerawdwyr nesaf attynt o'u blaen hwynt y rhai a fuont yn dirion wrth y cristionogion gan eu hachlesu hwynt.

Er fod y cristionogion yn bobl heddychol, etto cawsant yn fynych eu cyfrif megis o'r un grefydd a'r Iuddewon terfysglyd, fel y bu gorfod arnynt ddyoddef llawer yn ddiachos o'r herwydd. Felly fu dan deyrnasiad Adrian, twyllwr Iuddewig o'r enw Barcocab (mab y seren,) yr hwn wedi hyny a elwid Barcozebi, (mab y twyll), a gododd derfysg yn Palestina yn erbyn y Rhufeiniaid; a lladdwyd llawer o gristionogion o'r achos, er fod Barcocab ei hun yn erlidiwr y cristionogion.

Nid oes un wlad, lle y daeth y grefydd gristionogol i'w mewn, na chyfodwyd erledigaeth yn ei herbyn. Ysbeiliwyd y cristionogion o'u tai a'u meddiannau. Poenydiwyd hwynt â phob math o arteithiau; ac nid oes braidd un dull o gospedigaeth na arferwyd tuag attynt. Bu gorfod ar Daleithiau cyfain ynghyd a'u Gweinidogion a'u Hathrawon, weithiau, ffoi i wledydd pellenig, i'r anialwch, a choedwigoedd; llawer oedd yno a gollasant eu bywydau mewn modd truenus, drwy newyn a syched, oerfel ac afiechyd, a thrwy wylltfilod, a dynion anwâr.

Amryw o'r cristionogion y rhai a syrthiasant i ddwylaw eu herlidwyr ni feddynt ddigon o wroldeb meddwl i selio eu proffes â'u gwaed; eithr hwy a syrthiasant ymaith drwy ofn a gwendid; ereill a barhasant yn gadarn yn y ffydd hyd y funud olaf o'u hymddattodiad araf a phoenydiol, gan roddi eu bywyd i lawr yn ewyllysgar o achos proffesu yr hwn a'u carodd ac a'i rhoddes ei hun drostynt. Mae Lactantius yn y drydedd ganrif, yn ysgrifenu, 'Pe byddai genyf y can cymmaint o rym iaith, er hyny nis gallwn adrodd yr holl gyflafan a gyflawnwyd, na rhoddi hanes am yr holl arteithiau a ddyfeisiwyd gan Benaethiaid gwledydd i ddirboeni lluoedd aneirif o gristionogion diniwaid ymhob oes.' Darfu i feibion a merchaid, plant a hen bobl, morwynion a mamau, milwyr a dynion ereill o bob sefyllfa ac oedran ddyoddef marwolaeth yn achos Crist.

Aeth rhai i wisgo coronau Merthyron drwy fflangellau a thân; eraill drwy gael eu lladd â'r cleddyf, a llawer o'r rhai hyny a ddyoddefasant yn gyntaf eu dirdynu ar yr arteithglwyd. Rhoddid rhyddid i bawb a fynai i ddirboeni y cristionogion. Curai rhai hwynt â chlybiau, ereill â gwiail; ereill a'u fflangellasant hwynt â chareiau, ac ereill â rhaffau. Rhwymwyd rhai wrth Ermyg o bren, a'u dwylaw yn rhwym ar eu cefnau, a thynwyd eu haelodau yn ddarnau oddiwrthynt. Darfu i'r poenwyr gigyddio rhai o honynt a chethrau haiarn, *(Spikes)*; crogwyd ereill i fynu gerfydd un llaw, nes dirdynu eu cymmalau oddiwrth eu gilydd; ereill a grogwyd wrth gadwyni, yn y cyfryw fodd nes y byddai pwysau eu cyrph yn eu torri hwynt yn agenau mwyaf poenus: a mynych y gwneid iddynt ddyoddef y pethau hyn ar hyd y dydd yn ddibaid. Wedi eu lladd, mynych y llusgid eu cyrph marwol hwynt yn gyhoeddus ar hyd yr heolydd er chwanegu dirmyg arnynt, a chodi dychryn ar ereill rhag eu dilyn hwynt. Dywedodd un Ymerawdwr Rhufain, 'Nac ymboened neb yn achos y cristionogion hyn, canys nid ydynt deilwng o ymddwyn tuag attynt fel dynion.'

Wedi i un merthyr ddyoddef poenau yr arteithglwyd, a'i losgi â dalenau o heieyrn poeth, parodd ei farnwr iddo gael iro ei gorph noeth i gyd drosto â mel, a'i osod allan ar y maes yngwres yr haul, fel y gallai y cacynod a'r gwenyn a'r holl wybed ei ysu i farwolaeth. Rai gweithiau dirboenwyd i farwolaeth ddeg, deg ar hugain, neu driugain, ac unwaith gant o wyr, a gwragedd, a phlant, mewn un diwrnod, drwy amrywiol fath o ferthyrdod. Gwelodd Eusebius unwaith gynnifer yn cael eu cigyddio i farwolaeth mewn un dydd yn yr Aipht, nes oedd y dihenyddwyr wedi blino yn eu lladd hwynt, a'u harfau wedi pylu yn y gorchwyl melldigedig. Fodd bynag, dyoddefodd llawer o gristionogion yr holl ddirmyg a'r arteithau angeuol hyny gyda gwroldeb ac amynedd rhyfeddol iawn, ac â'u hanadl olaf canasant fawl a diolchgarwch i Dduw.

Gellid llenwi cyfrolau o hanesion am ferthyrdod y cristionogion dan yr Ymerawdwyr Paganaidd cyn amser Cwstenyn; ond ni oddef ein terfynau i ni ymhelaethu

llawer. Er hyny nis gallwn ymattal rhag traethu rhai engraifftiau nodedig allan o liaws aneirif ereill a ellid eu coffâu.

Simeon, Esgob yr Eglwys yn Ierusalem, pan oedd yn gant ac ugain oed, a ddygwyd o flaen Ymerawdwr Rhufain. Efe a fflangellwyd am amryw ddyddiau ynghyd, ond efe a barhaodd mor ddiysgog yn ei broffes, nes oedd ei boenydwyr eu hunain wedi synu. Gan barhau hyd y diwedd i naccâu gwadu ei ymlyniad wrth Iesu Grist, efe a groeshoeliwyd yn y flwyddyn O. C. 106.

Ymhen y tair blynedd ar ol hyn, dygwyd Ignatius, Esgob Antioch i Rufain, drwy orchymyn yr Ymerawdwr Trajan, ac yno y dyoddefodd farwolaeth oherwydd ei fod yn credu yn yr hwn a groeshoeliwyd yn ei le. Yn ei lythyr a ysgrifenodd efe at Eglwys Crist yn Rhufain, y mae yn dywedyd, 'Ar hyd yr holl ffordd o Syria i Rufain gorfu arnaf ymladd â bwystfilod gwylltion, canys mi deithiais yn rhwym â chadwyn wrth bedwar o lewpardiaid, (milwyr Rhufain), cynddaredd y rhai a gynnyddai i'm herbyn yn ol y graddau y ceisiwn wneuthur daioni iddynt. Ond pe byddai iddynt fy nhaflu i ganol y tân, neu i'r llewod, neu fy hoelio wrth groes, pe byddai iddynt dynu fy holl aelodau oddiwrth fy nghorph,—beth yw hyny os gallaf fi lawenychu yn Nghrist Iesu?' Ar ei ddyfodiad i Rufain, efe a daflwyd at y bwystfilod gwylltion yn y Chwareuyddfa er difyrwch i'r bobl anwar a didrugaredd. Cyn gynted ag y clywodd efe ruad y llewod, efe a ddywedodd, 'Cyffelyb wyf i wenith wedi ei ddyrnu i Grist, yr hwn sy raid ei falu gan ddannedd bwystfilod gwylltion cyn cael ei wneud yn fara.' Buan y drylliodd y llewod ef yn ddarnau, ac fe gladdwyd yr ychydig weddill o'i esgyrn a adawyd ganddynt heb eu hysu, mewn beddrod yn Antioch.

Yn y flwyddyn 167, yr anrhydeddus Polycarp, Esgob Smyrna, yr hwn a fuasai yn ddisgybl i'r Apostol Ioan, a gollfarnwyd i gael ei losgi i farwolaeth. Yr oedd efe y pryd hyny yn 90 mlwydd oed. Pan annogwyd ef i wadu ei ffydd, efe a ddywedodd, 'Mi fum chwe mlynedd a phedwar ugain yn ngwasanaeth fy Arglwydd Iesu Grist, ac ni wnaeth efe ddim erioed yn fy erbyn; pa fodd y gallaf fi fod yn anffyddlon i'r hwn a'm prynodd?' Ar ol iddo gael ei rwymo wrth y polyn, efe a weddiodd yn daer, ac yna cynneuwyd y tân, ac er mor danbaid y llosgodd y tân, ni chyffyrddodd y fflam âg ef, ond ymattaliodd megis pe buasai yn ofni cyffwrdd a'r gwr sanctaidd hwnw. Yna trywanwyd ef a phicell nes y bu farw, a llosgwyd ei gorph marw ef yn lludw yn y fan. Dyma greulonderau digyffelyb. O mor ddirfawr y gwyrodd dyn oddiwrth ei gyflwr a'i ansawdd cyntefig yn Mharadwys!

(I'w barhau.)

---

## ABERTH ABEL

### YN RHAGORI AR YR EIDDO CAIN.

'Os da y gwnai, oni chai oruchafiaeth?* ac oni wnai yn dda, pechod a orwedd wrth y drws: attat ti hefyd *y mae* ei ddymuniad ef, a thi a lywodraethi arno ef.' Genesis 4. 7.

Mae yr adnod hon o'r ysgrythyr wedi dirfawr ddyrysu cyfieithwyr a beirniaid, a hyny mewn perthynas i'r ddau bwngc sydd ynddi. Mewn attebiad i'r cwestiwn, 'Paham na chymeradwywyd abeth Cain cygystal a'r eiddo Abel'? Y rhan flaenaf o'r adnod a ddyfynwyd, fel pe buasai Cain yn ddyn tra drygionus. Ond y rheswm a ddeallir yn well wrth ystyried natur yr aberthau, y rhai oeddynt o ddau fath, sef, *diolchus* a *iawnawl*: y blaenaf yn cynnwys ffrwythau y ddaear, a'r olaf anifail byw, bywyd yr hwn a dderbyniai Duw yn lle *bywyd* y troseddwr. *Abel* a ddygodd aberth o *iawn*, yn cydnabod ei hun yn bechadur—*Cain* a ddygodd aberth o *roddiad diolch*, yn disgwyl cael cymeradwyaeth *heb edifeirwch*, a thebygol yn bwriadu fel hyn led-bysbybu ei wrthodiad o athrawiaeth yr Iawn, o'r hon yr oedd yr anifail-aberth yn arddangosiad cysgodawl. Mae yr Hollalluog fel pe bai yn ymresymu fel hyn a Chain: 'Paham yr ydwyt athrist? Os oeddit mor gyfiawn nad oedd arnat angen aberth iawnol, fe ddylit gael cymeradwyaeth; tra nad ydwyt, pechod a orwedd yn y ffordd, nes y byddi wedi ei symud trwy aberth iawnol, neu bech-offrwm.' Nid ydyw y rhan ddiweddaf o'r adnod ('attat ti hefyd

---

* Fe wêl y darllenydd dwyieithawg, nad ydyw y geiriau *accepted* a '*goruchafiaeth*,' yn gyfystyr; (pa un yw y cyfieithiad *cywiraf* nis gwn); ond meddyliwyf fod y sylw mor briodol i'r naill a'r llall.—Gyf.

y *mae* ei ddymuniad ef') yn cael ei lefaru am *bechod* fel y deallodd llawer ef, ond am ymostyngiad *Abel* i *Cain*, fel ei uchafiad; hyny yw, 'Ti gai bob amser yr hawl o gyntafanedigaeth; *neu anedigaeth fraint*, ac mewn pob peth caiff dy frawd fod yn ddarostyngedig i ti.' Fe ymddengys ei lefaru i symud cenfigen Cain.—*Clarke. Scripture difficulties examined by William Carpenter.*

*Abermaw.* (Cyfieithydd) CEPHAS.

LAMECH YN CYSURO EI WRAGEDD.

'Adah a Silah, clywch fy llais, gwragedd Lamech, gwrandewch fy lleferydd; canys mi a leddais wr i'm harcholl, a llanc i'm clais. Os Cain a ddielir seithwaith, yna Lamech saith ddengwaith a seithwaith.' Gen. 4. 23. 24.

Ni ellir gwadu nad ydyw y ddwy adnod hyn bron yn annëalladwy yn ol ein Biblau *ni*; nid ydynt *ychwaith* yn rhydd oddiwrth anhawsdra ar gyfeiriad i'r gwreiddiol. Mae yn eglur fod edau'r hanes yn cael ei thori; ac megis y mae cyfarchiad Lamech yn y ffurf fydrol, fe gyfiawn benderfynwyd, mai dernyn wedi ei gyfuno â'r testyn gan yr hanesydd sanctaidd ydyw. Ymddengys bod cyfieithiad Mr. Wellbeloved yn trosglwyddo ystyr yr adnodau yn eglur ddigon:—

'Adah a Silah, clywch fy llais;
Chwi wragedd Lamech, gwrandewch fy lleferydd:
Canys mi a leddais ddyn *wrth iddo* fy archolli,
A dyn ieuangc *wrth iddo* fy mriwo.
Os Cain a gaiff ddial seithplyg,
Lamech a *gaiff ddial* saith deg a saith plyg!!'

Tebygol, medd Geddes, i'r weithred o eiddo Lamech yn cymeryd iddo ei hun ddwy wraig, gynhyrfu eiddigedd rhyw ddyn ieuangc, yr hwn dan gynhyrfiad ei nwydau a ruthrodd ac a archollodd Lamech, yr hwn (Lamech) yn ei hunan ddiffyniad a'i lladdodd. Am hyny i esmwythau ofnau ei wragedd, efe yn gyfiawn a ymresyma; os Cain, yr hwn yn wirfoddol a maleisus a laddasai ei frawd, er hyny a amddiffynwyd gan ragluniaeth heillduol Duw, oddiwrth y dialydd-gwaed, *efe* a allai yn hyderus ddisgwyl yr ymddiffyniad, yn gymaint ag i'r person a laddodd efe geisio a pheryglu ei fywyd: ac y syrthiai cospedigaeth drymach fyth, na'r hon a fygythiwyd i ddialydd marwolaeth Abel, ar y dyn a anturiai ei aflonyddu ef.—'*Scripture Difficulties Examined by W. Capenter.*'

*Abermaw.* Cyf. CEPHAS.

PREGETH FER.

Testyn, "Rhed, llefara wrth y dyn ieuanc hwn," Zec. 2. 4.

*Nodiad* 1. Y mae yn orchymyn. Y mae hyn yn arwyddoccâu fod awdurdod: os awdurdod, ufuddhau yw'r ddyledswydd, anufuddhau sydd bechod.

2. Y cyfarwyddyd yw 'Rhed.' Y mae brys yn perthyn i'r achos, a brys oherwydd fod perygl. Fe allai fod yn rhy ddiweddar; y dyrnod a allai fod yn farwol; y mae'r camwedd wedi ei wneud; y mae'r drygioni anniwigiadwy wedi dyfod. Y mae yn gyflwr bywyd a marwolaeth, gan hyny na wna ohiriad.

3. Pa beth a ydwyt i'w wneuthur? Yr ydwyt i lefaru wrth ddyn ieuanc. Yr ydwyt i ddywedyd wrtho am ei berygl a'i ddyledswydd; annog ef i ochelyd un a chyflawni y llall. Wrth wneuthur hyny, y mae yn ddisgwyliadwy yr arferi resymau priodol i'r achos, yr amgylchiad, a'r dyn. Y mae yn ymddanges hefyd y gwnei hyn yn garedig, yn ddyfal, yn eglur, yn synwyrol, yn ddeallgar, yn barhaus, a chan obeithio yn llwyddiannus hefyd.

4. Y dyn wrth ba un yr ydwyt i lefaru, 'Y dyn ieuanc hwn.' A ydwyt yn gofyn pa un? Paham y mae mor foneddigaidd yn ei wisgiad, mor barchus yn ei ymddangosiad? Cochliw iechyd ar ei ruddiau, cadernid nerth yn ei symudiadau—y dyn ieuanc yma, yr hwn yn awr a rodiodd i'r gwirod-dy, ac yn galw am Frandy a dwfr;—i'r trafiwncdy, i ymfoddhau mewn mwy anmharchus botiad.

5. Yr ydwyt i lefaru wrth ddyn 'ieuanc.' Y mae ei galon etto yn barod i dderbyn dirgymelliad rheswm, ei ymarferiadau nid ydynt etto yn anfeddyginiaethol; nid ydyw yn sicr y bydd dy lafur yn ofer. Y mae genyt gan hyny annogaeth i ufuddhau y gorchymyn, 'ac ufuddhau sydd well nag aberth.'

6. Os na lefari wrtho, y mae yn fwy na thebyg fod dyddiau ei lwyddiant wedi eu rhifo.—Ym mhen ychydig amser etto, ceir ei weled wedi ei wisgo a chaledwch meddwyn,

a chwyddedig ruddiau meddwyn ganddo, llygaid cochion, ac attal gamrau: cymeriad, eiddo, cyfeillion, oll wedi ei adael, ac yntau yn suddo i'w fedd yn gynarol ac anamserol. Prysura gan hyny, gwna dy waith yn fuan, ac achub flaen chwedl adlewyrchiad cydwybod ar dy esgeulusdod.

*Tryayan.* Cyf. OWEN PRITCHARD.

HANESYN AM MR. WHITEFIELD.

Yn fuan wedi adeiladu Capel mawr Tottenham Court Chapel, yn Llundain, yr oedd Mr. Shuter, yr enwog Chwareuwaithdraethwr, yn gweithredu dan yr enw Gwibgrwydryn yn y dyddiau hyny yn y Brif ddinas. Yr oedd gan y Chwareydd cyhoeddus hwnw barch mawr i Mr. Whitefield, ac efe a ddangosai gyfeillgarwch tuag atto, ac a ddeuai i'w wrando yn pregethu yn awr a phryd arall.

Un boreu Sabbath daeth i'w wrando i'r Capel newydd, Tottenham Court, ac a eisteddodd mewn eisteddle yn union ar gyfer y Pulpud. Ac fel yr oedd Mr. Whitefield yn ymollwng i lefaru â'i holl nerthoedd, ac mewn modd grymus ac effeithiol iawn yn gwahodd pechaduriaid at y Gwaredwr, efe a edrychodd yn wyneb Mr. Shuter, ac a ddywedodd, 'A thithau y Gwibgrwydryn druan, yr wyt ti wedi crwydro yn hir oddiwrtho, tyred tithau, a dod ben ar dy grwydriadau drwy ddyfod at Iesu.' Tarawyd Shuter a dychryn mawr; ac wedi darfod yr odfa, efe a ddaeth at Mr. Whitefield, ac a ddywedodd wrtho, 'Paham y trinech fi felly? Yr oeddwn yn meddwl yn sicr y buaswn yn syrthio i lawr mewn llewyg, gan effeithiau eich geiriau.'

Y DIWEDDAR BARCHEDIG ROWLAND HILL.

Yn mysg yr esiamplau lluosog a adroddir yn hanes bywyd y gweinidog hybarchus uchod, o effeithiau daionus ei lafur, y mae'r hanesyn canlynol.

Yn nghylch tair blynedd o flaen marwolaeth Mr. Hill, daeth dau wr boneddig i Gapel Surry un nos Sabbath o flaen y gwasanaeth hwyrol. Yr amgylchiad a'u harweiniodd yno ydoedd fel y canlyn. Yr oeddynt wedi bod yn gyfeillion yn hir, ac yr oedd un o honynt yn fuan i ymadael â'r wlad i fyned i'r India. Yr oedd hwn yn byw 'heb Grist, heb obaith ganddo, ac heb Dduw yn y byd;' ond yr oedd ei gyfaill yn gristion penderfynol a chyson, ac yn dymuno yn ddifrifol iachawdwriaeth ei gyfaill. Fel yr oedd amser ymadawiad y gwr ieuangc yn agosau, ei gyfaill duwiol a ddeisyfodd arno ganiatau un ffafr neillduol iddo, sef treulio ei bedair nos Sabbath olaf yn ei gwmni, a myned gydag ef i gysegr Duw; cydsyniodd yntau a'r deisyfiad, a llawer o weddiau a roddwyd i fynu i'r nef, ar fod i'r pregethau a wrandawai arwain y crwydryn at Dduw. Y gyntaf, yr ail, a'r drydedd begeth a wrandawyd, heb fod dim yn effeithio.

Y Sabbath olaf a ddaeth, a theimlai y cristion bryderwch ychwanegol ynghylch enaid ei gyfaill. Aeth ag ef i Gapel Surry i wrandaw Rowland Hill dduwiol, a dirgel weddiodd am i'r pregethwr fod mewn agwedd ddifrifol o ran ei feddwl, a chael ei gadw rhag ymollwng i sylwiadau afreolaidd a digrifol. Yr hen wr parchedig a ddarllenodd ei destun; '*Nid ydym ni heb wybod ei ddichellion ef;*' ac yn ebrwydd adroddodd y chwedl ganlynol. Llawer o flynyddoedd yn ol, fel yr oeddwn yn myned trwy un o heolydd tref fawr, cyfarfyddais a chenfaint o foch, ac er fy syndod mawr, nid oeddynt yn cael eu gyru, ond tawel ddilynent eu harweinydd. Y ffaith rhyfeddol hwn a gyffrodd fy syndod, dilynais y moch, hyd nes yr aethant oll yn llonydd i'r cigyddle. Yna gofynais i'r dyn pa fodd y llwyddodd i gael y moch druain, hurt, a chyndyn, i'w ddilyn mor foddlon, pan yr hysbysodd i mi y dirgelwch; yr oedd ganddo fasgedaid o ffa o dan ei gesail, a thrwy ollwng y ffa fel yr oedd yn myned yn ei flaen, sicraodd ei ddyben. Ah! fy ngwrandawyr, y mae gan y cythraul ei fasgedaid o ffa, ac y mae'n gwybod yn dda pa fodd i gyfaddasu ei demptasiynau at bob pechadur. Mae'n eu gollwng ar y ffordd, ac felly y pechadur druan a arweinir yn gaeth gan y diafol, wrth ei ewyllys; ac os na ettyl gras Duw, efe a'i caiff o'r diwedd i'w gigyddle, ac yno efe a'i ceidw am byth. O! 'nid ydym heb wybod ei ddichellion ef;' ac am hyny, yr ydym heno yn awyddus i'ch rhybuddio rhagddynt.

Galarodd y cyfaill duwiol yn ddwys wrth wrando y chwedl hon am y moch, gan

ofni mai codi gwên ar wyneb ei gyfaill annghrediniol a wnai, heb argyhoeddi ei feddwl. Wedi darfod y gwasanaeth, aethant allan o'r capel, ac am ennyd o amser bu dystawrwydd rhyngddynt. O'r diwedd, meddai y gwr ieuangc, 'y fath chwedl ddieithr a gawsom heno ynghylch y moch, ac etto mor nodedig ac arg'oeddiadol ydoedd!' Yr oedd y peth wedi effeithio ar ei feddwl, ni allai anghofio y basgedaid o Ŷa, y cigyddle, a cholledigaeth yr enaid yn y diwedd. Ymadawodd â'i wlad, ond y mae wedi ysgrifenu yn aml at ei gyfaill, ac yn parau etto i gyfeirio at y bregeth hon, fel wedi peri argraff fendithiol, a pharaol (y mae lle i hyderu) ar ei feddwl.

*Liverpool.* Cyf. MINIMUS,

---

MALAIS.

Mae malais o ran y cyfansoddiad o hono yn wir natur y diafol, a'r enaid sydd yn meddiant malais sy hefyd yn meddiant y diafol. Canys lle mae cynfigen, casineb, a dial yn llanw y galon, nid oes lle wedi ei adael i Dduw yn ei holl feddyliau ef.

Gallaf gyfarfod a gwallgofddyn, a diangc rhagddo, gallaf gyffwrdd a dyn y'meddiant y cholera, heb gael niwed oddiwrtho, gallaf gwrdd a meddwyn creulon, a chilio rhagddo; ond mae'r dyn malcisus yn fwy peryglus, gelynol, ac anocheladwy na hwynt oll.

Ni chyll malais un cyfleusdra i wneuthur drwg; os metha gyda'r sylwedd, fe erlidia'r cysgod. Fy enaid, na ddos i'w gyfrinach ef. Rhaid i mi roddi lle i ddigofaint, ac nid lle i drigo, ond lle i fyned heibio, fel y gallwyf gael hollol ymadawiad a'r gelyn annymunol hwn.

---

DYLEDSWYDDAU GWAS.

'Ai yn was i'th alwyd? Na fydded gwaeth genyt.' Os gwas ydwyt, ymddwyn yn gyfiawn tuag at dy feistr, fel y dymynit i'th was ymddwyn tuag attat tithau; lle'th orchymynir, ufuddha; oni'th orchymynir, bydd barod; bydded diwydrwydd dy gymmeriad, a ffyddlondeb dy goron; bydd ofalus am gymmeriad dy feistr, ac ymhyfryda yn ei lwyddiant; bydded dy lygad yn syml, a'th galon yn ostyngedig; bydd sobr fel y gallech wylio; yr hwn nad yw yn meddianu ei hun mewn sobrwydd, ond yn feddw, eiddo pwy yw? Na fydd gwerylgar, na diofal; mae'r naill yn dangos calon ystormus, a'r llall ymenydd dioglyd. R. J.

*Buckley.*

Y CYMRY YN BIRMINGHAM, BILSTON. &c.

Barchedig Syr,—Pan fûm yn ddiweddar yn eich Dinas, chwi a ddymunasoch arnaf ddanfon i chwi ychydig hanes o'n cydwladwyr, y Cymry, ag sydd yn cyfaneddu yn y parthau hyn, sef Birmingham, Westbromwich, Great Bridge, Tipton, a Bilston. Er i mi breswylio yn y cymmydogaethau hyn er's tros bymtheg mlynedd, nid wyf yn adnabyddus, ond gydag ychydig o'm cydwladwyr, etto mi roddaf i chwi yr hyn oll ag a allaf ei wybod am danynt, a'r amrywiol ymdrechiadau a wnaed er mwyn sefydlu Addoliad Grefyddol yn eu mysg, yn yr iaith Gymraeg.

Yn nechreu y flwyddyn 1823, y daethum gyntaf i Birmingham: nid oeddwn yn gwybod am un Cymro o fewn yr holl dref. Yn mhen oddeutu dau fis, daethum yn adnabyddus â gwr ieuanc o Ddinbych, ac yn mhen ychydig wedi hyny daethum yn adnabyddus a dau neu dri ereill: y rhai hyn nid oeddwn yn eu gweled ond pur anaml. Oddeutu diwedd y flwyddyn uchod yr oeddwn yn cael gwybod am oddeutu 20 o Gymry. Y rhai hyn oeddynt yn arfer myned i addoli ymysg y Saeson.

Yn y flwyddyn 1825, yr oedd y Parchedig J. Elias yn myned trwy y dref hon i Lundain; ac fe ddymunwyd gan un gwr o'r enw Rice Harris, (tad yr hwn oedd gynt yn weinidog yn Mhwllheli), am i Mr. Elias bregethu yn Gymraeg yn Nghapel Mr. J. James. Hyny a fu; ac fe gafodd y peth ei gyhoeddi yn mhob lle addoliad yn y dref. Fe fu hyn yn achlysur i lawer o'n cyd-wladwyr ymgynull ynghyd. Yr wyf yn meddwl fod yn bresennol yno oddeutu 200 o Gymry. Ar ol hyn, darfu i lawer o honynt gyfarfod ynghyd i'r diben o gael addoliad cyhoeddus yn eu hiaith eu hun. Ac yr oedd pob gweinidog Cymraeg ag oedd yn myned trwy y dref yn gorfod pregethu iddynt (o ba enw bynag fyddai).

Ac yma y cymeraf arnaf ddweyd, i mi gael y fraint o bregethu y bregeth gyntaf iddynt fel cynnulleidfa heb gymysgiad â'r Saeson, mewn Ysgoldy yn Hill Street; hyn a fu yn mis Mai, 1825. Fel hyn yr ymgynullasant am amryw wythnosau.—Daeth amryw weinidogion yn perthyn i'r Anymddibynwyr i lafurio yn eu mysg. Bu un o'r enw E. Williams, o Swydd Drefald-

wyn, yn perthyn i'r Methodistiaid Calfinaidd, yn rhagorol o lafurus yn eu mysg yn y flwyddyn 1826. Ac ar ol iddo ymadael, daeth un o'r enw E. Davies, yn perthyn i'r Anymddibynwyr i lafurio yn eu mysg. Fe fu yntau yn rhagorol o ddiwyd er mwyn cael allan y cyfaneddau yr oedd y Cymry yn byw. Yr oedd yn cael ei gynnal gan y Gymdeithas Genhadol Gartrefol (*Home Missionary Society*). Efe a fu yn bur ddiwyd oddeutu Great Bridge, Tipton, a Bilston, &c. Ac fe agorwyd Tŷ yn Bilston i bregethu yn Gymraeg ddwy waith bob Sabbath, (bum yno amryw weithiau).

Yn Birmingham yr oedd ganddynt le i addoli, ac yr oeddynt yn ymgyfarfod bob wythnos heblaw y Sabbath. Daeth hyn i gyd i'r llawr: ac ni fu bron ddim cynnwrf yn eu mysg tan oddeutu y flwyddyn 1831, pan ddaeth amryw o Gymry o Swydd Fon yma tuag at adeiladu y *Town Hall*, yn y dref hon, a hyn fu yn achlysur i y Parch. J. Jones, bregethu yn Gymraeg ar bryd-nawn y Sabbath. Wedi hyny, cymerodd y Cymry Ysgoldy yn y dref, i'r dyben o gynnal cyfarfod gweddi ar nos Sabbath, os na byddai iddynt gael rhyw un i bregethu. Bu amryw o bregethwyr o Gymru yn pregethu yn eu mysg ar eu ffordd i Lundain. Nid oes yn awr ond cynnulleidfa fechan yn Birmingham, o herwydd bod amryw o'r Cymry wedi ymadael a'r dref.

Mewn perthynas i Bilston maent yn myned ymlaen cystal ag y gellir disgwyl. Mae ganddynt Gapel Cymraeg yno, yr hwn a agorwyd y 29ain o Hydref diweddaf, (hanes am ba un sydd yn y Drysorfa am mis Rhagfyr). Y gynulleidfa sydd fach iawn: ond mae ganddynt addoliad fel y canlyn.—Ysgol am 10 o'r gloch bob Sabbath; pregethu am 2 o'r gloch; Y gynulleidfa neillduol (Society) ar ol yr odfa. Pregethu am 6 o'r gloch—a chyfarfod gweddi bob nos Iau. Y pregethwyr ag sydd yn llafurio fwyaf yn eu mysg, yw J. Jones o Tipton, ac Edward Price o Birmingham.

Mae llawer iawn o Gymry oddeutu y parthau hyn; ond gan fod llawer o honynt yn gweithio o dan y ddaear, nid oes bron neb o honynt yn gwybod dim am eu cyd-wladwyr. Pe bai yr holl Gymry ag sydd yn preswylio oddeutu yma, (sef Bilston, Tipton, Great Bridge, Westbromwich, Wednesbury, a Darlaston, &c.) yn ymgyfarfod ynghyd, yr wyf yn meddwl fod amryw filoedd o honynt i'w cael.

Oddeutu 10 mlynedd yn ol, bwriwyd fod oddeutu 12 mil o Gymry o fewn cylch 10 milltir i Birmingham. Yr wyf yn ofni na wneir fawr o ddaioni yn mysg ein cyd-wladwyr oddeutu Bilston, ond trwy gael Cenhadwr i fyw yn eu mysg, a'i holl waith i fod i chwilio allan eu preswylfeydd, ac i hysbysu iddynt fod lle addoliad Cymraeg yn y dref, &c.: ac i bwyso attynt y ddyledswydd o ymgynnull i wrandaw gair Duw, &c. Yr wyf yn meddwl pe bai y Corph o'r Methodistiaid Calfinaidd yn danfon Cenhadwr o'u mysg i breswylio yn y parthau hyn, gwr duwiol a gwresog, yn wr llawn o sêl am ogoniant Duw, a chariad tuag at eneidiau anfarwol, i chwilio am, ac i gynhyrfu ein cyd-wladwyr i ymgynull i addoli Duw yn eu hiaith eu hun, y byddai y lle addoliad presenol yn Bilston yn llawer iawn rhy fach iddynt, am fy mod yn meddwl bod rhai miloedd o Gymry yn nghymydogaeth Bilston. Byddai yn dda genyf glywed fod hanes am achos ein cyd-wladwyr yn cael ei ddwyn o flaen y pregethwyr yn Nghymdeithasfa y Bala, a byddai yn dda genyf roi unrhyw gynorthwy, neu unrhyw hysbysiad am danynt, er mwyn dwyn eu hachos yn mlaen. Ydwyf yr eiddoch,

WILLIAM JONES.

*Westbromwich, Mawrth* 19, 1838.

O. Y. Yn fy llythyr nesaf, mi a roddaf i chwi hysbysrwydd ynghylch sefydliad ein hachos Saesonig yn y gymmydogaeth hon, yr hwn a gynnelir yn ol trefn y Methodistiaid Calfinaidd; sef ei ddechreuad, ei lwyddiant, ynghyd a'r nifer sydd yn bresennol yn aelodau eglwysig. W. J.

---

## COFFADWRIAETH

### AM WILLIAM WILLIAMS, RHYMNEY, SWYDD FYNWY.

Yr oedd W. W. yn fab i Dafydd a Margaret Williams o Gwern-nant-yr-hen, plwyf Llandeilo yr faen, swydd Frycheiniog. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1768. Cafodd argyhoeddiadau llymion yn ei feddwl am ei gyflwr pan yn ieuangc iawn. Aeth i ymofyn am le yn Eglwys Dduw, ymysg y Methodistiaid Calfinaidd yn y Bailydu, a derbyniwyd ef yn aelod yno pan yn 15eg

oed. Wedi hyny lleihaoedd yr argyhoeddiadau, a chryfhaodd chwantau ieuenctyd, ac aeth i wrthgiliad a chaledwch; fel pan oddeutu 18 oed aeth heb un grefydd. Ond ymwelodd Duw âg ef drachefn, trwy bregeth ar Barn. 5. 23. 'Melldigwch Meros,' &c. A dychwelwyd ef etto i'r Eglwys, pan tu ag 21 oed, ac allan nid aeth mwyach.

Priododd pan yn 31 o oed, âg Elizabeth, merch i Richard Jenkins, Llwyn-yr-Eos, yn mhlwyf Llanthetby, swydd Frycheiniog. Ond oddeutu 4 blynedd wedi priodi, symmudodd rhagluniaeth ef i Rhymney, un o weithfaoedd haiarn, swydd Fynwy; y pryd hwnw nid oedd nemawr os dim moddion crefyddol o Merthyr Tydfil hyd Blaenafon, tuag 16 o filltiroedd (ond ychydig iin yn mygu ynghongl isaf Syrhowy gan y Bedyddwyr). Erbyn hyn meddyliodd beth a wnai i gael moddion crefyddol yn y wlad hon. Llafuriodd am genhadau Crist i bregethu yr efengyl o Forganwg a Mrycheiniog a manau eraill, y rhai a ddaethant i hau yr had da. Yna dechreuwyd cadw cyfarfod eglwysig, er nad oeddynt ond tri o nifer. Cadwyd y *Society* ar y cyntaf mewn tŷ (nad yw yn bod yn bresennol) a elwid Pen-y-rhos, rhwng Tredegar a Rhymney, ond yn fuan cynhyddodd yr achos, estynwyd y cortynau, ac adeiladwyd Capelau; un yn Tredegar, ac un yn Rhymney, gan y Methodistiaid Calfinaidd, y rhai yn awr ydynt wedi eu hail-adeiladu; a thrwy ei lafur ef, ac eraill a ddaethant i gyd lafurio, eangwyd yr achos i Cendle a Nantyglo, &c.

Fel dyn, yr oedd W. Williams o dymer bywiog, serchog, a chyfeillgar, ac yn meddu ar amgyffrediadau cryfion, ac yn treulio gan mwyaf o'i amser mewn darllain, a chwilio am wybodaeth, yr hyn a gyrhaeddodd tu hwnt i nemawr yn ei ddydd; ac ystyriwyd ef gan y rhai a'i hadwaenai yn ddyn synwyrol a chall. Bu am dymmor wedi ei ddychweliad yn cael ei flino yn ei feddwl am waith y weinidogaeth, yr hyn a benderfynodd wedi ei ystyried yn bwyllig nad oedd wedi cael y ddawn anghenrheidiol i draddodi yr athrawiaeth. Dywedodd wrthyf lawer tro ei brofiad ar yr achos yma, ei fod yn tybied iddo gael dawn blaenori, ond na chafodd ddawn pregethu; ac mai hyn a'i llonyddodd. Ac fel yr oedd efe yn tybied yn wanaidd am dano ei hun fel blaenor, yr oedd yr Eglwys, ie, yr Eglwysi yn gyffredinol, y rhai a'i hadwaenent, yn ei ystyried yn rhagori ar y rhan fwyaf yn ei ddydd, yr hyn ydoedd yn wirionedd.

Yr oedd llawer o bethau sydd angenrheidiol mewn blaenor wedi cyd-gyfarfod ynddo ef, na welir ond yn anaml. Cymerodd achos Crist fel ei achos ei hunan; ïe, o flaen ei achos ei hunan. Yr oedd yn athrawaidd, ac yn deall yr athrawiaeth yn dda; yr oedd yn dirion, ac yn anymladdgar, ac etto yn cadw llywodraeth, nid fel un yn tra-awdurdodi ar braidd Crist, ond fel tad, a phawb yn ymostwng yn naturiol iddo. Nid wyf yn adnabod neb a chymmaint o awydd ynddo i fagu pobl ieuaingc; ie, magu unrhyw beth a welai ynddynt yn debyg o fod yn ddefnyddiol.

Am ei brofiad trwy ei oes, yr oedd yn gymysglyd, weithiau i fynu, weithiau i lawr, cyfarfyddodd a llawer o dywydd o lawer natur, er hyny ymdrechai yn deg, a'i wyneb tu a thŷ ei Dad, gan bwyso ar Dduw yn ei addewidion am goncwest yn y diwedd. Ei glefyd oedd yr Asthma; cafodd ei boeni lawer yn y blynyddoedd diweddaf fel nas gallai fyned ymhell, ond ni chollodd nemawr o foddion gartref. Cymmaint oedd diffyg gwynt yn y pibellau, yr hyn a gynnyddodd o'r diwedd fel y gorfu ar ei enaid ymadael o'i dŷ pridd boreu Sadwrn, Medi 23, 1837, er llawenydd iddo ef, ond mawr golled a galar i'w deulu; ond yn fwy i'w deimlo gan yr eglwys yn Rhymney. Ei brofiad diweddaf ydoedd pwys yr achos yn yr ardal, oblegid eu bod yn adeiladu Capel arall yn yr ardal, nid oedd yn foddlon ymadael o'r byd, a'r achos crefyddol fel yr oedd; etto dywedodd, 'Yr oedd gan Dduw achos cyn fy ngheni, a gall etto fyned ag ef ymlaen hebof fi.' Yr oedd pwys yr achos hwn yn fwy na'i achos ei hunan, canys dywedai am hwnw, ei fod wedi ei *settlo*.

Claddwyd ef ddydd llun, Medi 25, yn mynwent Capel lwyn Carno, yn 69 oed, wedi bod 48 gyda yr achos wedi ei ddychweliad, a 34 o honynt yn flaenor ffyddlon, a defnyddiol. Ar ddydd y Cynhebrwng ymgasglodd lliaws mawr o'i ardal, a'r ardaloedd cymmydogaethol i wneuthur y gymwynas olaf, sef gosod y corph i orwedd yn nhŷ ei hir gartref, i aros udganiad yr udgorn

i'w ddeffro i gyfarfod a'i briod, ac i dderbyn y goron. Pregethodd ar yr achlysur, Mr. William Davies, Ysgwyddgwyn, oddiar Deut. 34. 5. 'A Moses gwas yr Arglwydd a fu farw yno yn nhir Moab, yn ol gair yr Arglwydd.' WILLIAM DAVIES.

LLYGREDIGAEH Y NATUR DDYNOL.

Anhyall yw amgyffred llygredigaeth ein nhatur, ond mewn modd egwan trwy gyfrwng yr anhwylderau hyny y mae y corff yn ddarostyngedig iddynt. Anaml y cyrhaedda yr anhwylderau hyny drwy yr *holl gorff*, heb adael rhyw ran o hono yn rhydd oddiwrth y boen a'r ing a gynnyrchant. Y mae pechod wedi halogi ein holl alluoedd, ac wedi llygru ein holl weithrediadau. Y mae ffynonell y meddwl wedi ei gwenwyno; ac y mae yr amgyffrediadau dirgeleiddiaf a berthynant i ysgogiadau myfyriawl yr enaid bob amser yn ddrwg o'r ieuengctid i fynu. Y mae yr halogedigaeth wedi treiddio trwy holl sylwedd ein bodolaeth: nid megys lliwiau celfyddyd, yn daenedig ar wyneb sylweddau; ond megys y rhai hyny o eiddo natur—yn cyrhaeddyd *trwy* yr holl sylwedd.

Pechadurusrwydd y galon, yn wir, sydd yn mhell uwchlaw ein cyrhaeddiadau ëangaf. Nid yw bywyd y pechadur aflanaf ei ymarweddiad yn caniattau ond meddylddrych anmherffaith am ddrygedd y cynnwysiad tumewnol. Caethiwir lawer o bechodau y corff yn y meddwl, i'w hailweithredu drachefn yn y dirgel; a llawer eraill a gyflawnir ganddo heb unrhyw berthynas hawledig rhyngddynt a'r corff. Gan hyny, nis gellir ystyried ei ymadawiad yn angau yn ddiangfa o afael trueni. Pe buasai yn gyfranogydd *anewyllysgar* yn nghamweddau y corff, gallasai ganfod terfyniad trwyadl i'w waeau yn angau; gallasai annerch y dyrnod fel cyflawn-ryddhad o gaethiwed prudd-gadwen sylwedd; gan ehedeg yn gysurus at ei Awdur anfeidrol.

Ond, Och! y mae yn dwyn gyd ag ef hadau ei drueni, a gwir achosion ei alltudiaeth oddiwrth yr Hollalluog! Nis gall mwy ymddifyru yn syllu arno, mwy na'r llygad noeth wrth syllu ar yr Haul! Chwilia am fangre i ymgysgodi rhagddo, fel y cyhuddedig rhag ei farnwr; cofleidia brudd-blygion y tywyllwch, fel cudd-leni i'w gysgodi rhag ei dremion gorlwythawg o ddigofaint! Cenfydd law yr Hollalluog yn ei ymlid drwy holl eithafion anamgyffredadwy y greadigaeth, gan ei lethu dan aneirif bwysau o gyni trymfrydaidd trwy holl ororau annherfynol ei barhad!

Y cyfiawnder hwn a'i gwisga etto a chnawd, fel yn ei ystad ail-gyfansoddedig y derbynia daledigaeth am ei weithredoedd; gan brofi annherfynoldeb haeddedigaeth ei bechod wrth reol annherfynoldeb ei hyrwymedd i santeiddrwydd Dwyfawl! A all y dyn annychweledig feddwl am hyn heb grynu!! A all efe ymfoddloni ar unrhyw ddiwygiad allanol, neu unrhyw lanhâd oddiwrth bechod a gyfansoddir o fewn cylch ei allu diddymawl ei hun! Ond y mae yr Ysbryd Glan wedi addaw ein santeiddio, ond i ni gyd-weithredu a'i gynnorthwy;—na fydded ini gellwair gyd a'r addewid, *nac* esgeuluso y llesoldeb a feddiennir drwy dderbyn y cynnygiad grasusol; bydded ini ymorphwys ar aberth cymmodlawn Crist, yn gystal a pharâus-attolygu dylanwadau santeiddiol yr Yspryd, yr hyn bethau ydynt unedig yn rheoleiddiad Dwyfawl Ras, ac a raid fod yn unedig yn ein golygiadau, ein teimladau, ynghyd a'n dyiolchgarawl gydnabyddiaethau ninnau.

*Cyf.* IORWERTH GLAN ALED.

Y FFYDD GADWEDIGOL.

FFYDD, yn ei hystyr gyffredinol, yw *credu tystiolaeth. Ffydd ddwyfawl* yw *credu tystiolaeth ddwyfawl.* Holl air Duw yw gwrth-ddrych ffydd ddwyfawl; cyrhaedda drwy y bygythiadau, hanesion, athrawiaethau, ac addewidion. Ond, yn fwy neillduol, ffydd gadwedigol yw y gras hwnw a blennir yn nghalon pechadur gan Yspryd Duw, trwy yr hwn y mae yn credu tystiolaeth Duw mewn perthynas i'w Fab Iesu Grist. Y mae yn hanfodol i ffydd gadwedigol, nid yn unig gredu y rhestr o *ffeithiau* a dystiolaethir drwy yr Efengyl mewn perthynas i Grist; ond hefyd, credu prif ddyben a bwriad y ffeithiau hyny. Y mae yn egluredig, nid yn unig fod Mab Duw wedi dyfod yn ddyn, wedi ei wneuthyr dan y gyfraith, ufuddhau a marw, ond ei fod wedi gwneuthyr hyny er mwyn cyflawni iach-

awdwriaeth pechaduriaid. Ac y mae yn eglur lle bynag y caffom hanes am ufudd-dod a marwolaeth Crist, fod yno feddyl-ddrych arall yn canlyn; y maent wedi eu cyfleu fel sylfaen ar ba un y mae ini ddis-gwyl bywyd tragywyddol.

Crediniaeth o'r ffeithiau heb ystyried eu dybenion, a gyrhaeddai i'r *radd hono*, ac nid *yn uwch*, sef, fod Crist wedi ufuddhau a marw yn ofer. A phe byddai i ddynion gredu y cyntaf, heb gredu yr olaf, ni a'u caem yn credu fod Crist wedi ufuddhau a marw heb ddyben pennodedig. Ffydd yn Nghrist a nodir allan yn fynych yn y geiriau hyny '*gwneuthyr derbyniad o hono*.' Efe ydyw rhodd Duw i fyd colledig; ac efe sydd rodd egluredig, gynnygiedig, a chyflëedig mewn tystiolaeth. Derbynir y rhodd trwy dderbyn neu gredu y dystiolaeth a'i tros-glwydda. Ystyrir ni yn derbyn tystiolaeth neu hyspysiad, pan y byddom yn credu ei gwiredd: a phan na byddom yn credu gwiredd tystiolaeth, dywedir ein bod yn ei gwrthwynebu. Derbyn tystiolaeth yr Efeng-yl gan hyny, ydyw credu ei bod yn wir-ionedd; ond, rhaid i'r grediniaeth hon gyrraedd drwy *yr holl* dystiolaeth, fel y dywedwyd; nid yn unig trwy restr o ffeithiau, ond hefyd i'w dyben a'u bwriad grasol: h.y. rhaid ini gredu yn wirionedd fod Iesu wedi ufuddhau a marw, a'i fod wedi gwneuthyr hyny mewn trefn i'n gallu-ogi ni i gyrhaedd bywyd tragwyddol trwy-ddo.

Etto, nid *tystiolaeth* yr Efengyl yw *unig* wrthddrych ffydd; ond y mae yr *addewid o fywyd tragwyddol* trwy Grist felly hefyd,—ac nid yw credu gwiredd y dystiolaeth hon amgen na chredu y dyben a'r bwriad pen-nodedig ac egluredig o ufudd-dod a mar-wolaeth Crist; yr hyn o angenrheidrwydd a arddengys ymorphwysiad hyderus ar Grist am fywyd tragwyddol; yr hon weithred sydd mor hanfodol i ffydd, fel hebddi nis gallai byth gymdeithasu yn rheolaidd a'i gwrth-ddrych. Nid am iachawdwriaeth rhai eraill yr ydym i ymddiried, ond am ein hiachawdwriaeth ein hunain. Ni wna cred-iniaeth gyffredinol fod iachawdwriaeth yn Nghrist i ddynion ddim tyneru cydwybod ddychrynawl y pechadur deffroedig: teimla ei hun yn gondemniedig a thruenus, ac y mae yn rhaid iddo gael tir i obeithio am iachawdwriaeth iddo ei hunan, cyn y cenfydd orphwysfa i'w enaid.

Nis gall dderbyn maeth drwy fara y bywyd, oddieithr iddo ei fwytta; nac ad-fywiad trwy ddwfr y bywyd, oddieithr iddo yfed o hono; nis gall dderbyn iachad trwy ddail pren y bywyd, oddieithr iddo eu cael yn gymhwysedig atto; ac nis derbynia nodded rhag y dymestl, oddieithr iddi gilio tan gysgod Crist, trwy weithrediad ymddiried ynddo, ac ymorphwysiad arno am ei iach-awdwriaeth ei hun.

Pe treiglid yr athrawiaeth uchod am briodoliaethau ffydd o fodolaeth ceuid ffydd wirioneddol o'r byd yn gyflawn; oherwydd os bydd un dyn yn amddifad o dir ac awdurdod i gredu yn Nghrist am ei iach-awdwriaeth ei hun, y mae yn eglur fod eraill yn yr un cyflwr; yna ceffid pawb yn yr un sefyllfa; y canlyniad sydd eglur, nad oes yr un dyn ar wyneb y ddaear yn credu am ei iachawdwriaeth drwy Grist, ac nad oes ganddo un tir nac awdwrdod i wneud hyny. Yn nghysgod hyn, ceffid y rhith-esgus hono, fod un person yn credu am iachawdwriaeth hwn, a'r llall am iachawdwriaeth un arall, felly canfyddid dynion yn credu dros eu gilydd, a neb yn credu drosto ei hun! Y cyfryw ydyw ffydd, yn anwahaniaethadwy, sydd yn dynodi ei *mheddiannydd yn gred-adyn*, a'r hwn sydd amddifad o honi yn *anghredadyn*.

*Cyf.* GOHEBYDD O LAN ALED.

## Gofynion.

Hybarch Olygydd—A gaf fi, trwy gyfrwng eich cyhoeddiad buddiol, erfyn ar rai o'r beirdd ag ydynt hyddysg yn y ddwy iaith, i gyfieithu y llinellau isod i'r Gymraeg.

*Gwaedd-y-grug.* MICRON.

*Epitaph on an Infant's Tomb Stone.*

Bold Infidelity, turn pale and die,
Beneath this stone an Infant's ashes lie;
Say, is it lost or sav'd?
If death's by sin, it sinned, for it lies here;
If heaven's by works, in heaven it can't appear:
Ah, Reason! how deprav'd!
Revere the Bible's sacred page, the knot's untied;
It died through Adam's sin; it lives, for Jesus died.

Deut. 14. 26. 'A dod yr arian am yr hyn a chwenycho dy galon; am wartheg, neu am ddefaid, neu am win, neu am ddiod gref, neu am yr hyn oll a ddymuno dy galon,' &c.

Barchedig Olygydd,—Gan mai yr adnod uchod a ddefnyddia y Gwrthddirwestwyr yn aml iawn, fel eu sylfaen i yfed y diodydd meddwol, oblegid dywedant fel hyn, 'Y mae'r Arglwydd yn Deuteronomium yn gorchymyn i ni yfed gwin, a diod gref, ac yn gorchymyn i ni hefyd i roddi ein harian amdanynt,' &c. Gan hyny dymunaf arnoch chwi neu rai o'ch Gohebwyr i wneuthur ychydig sylwadau eglurhaol arni mewn dull o esboniad. B. EVANS.

*Lletty John.*

## Attebion.

*Atteb i Ofyniad J. Powell am eglurhad ar eiriau anghynefin allan o Lyfr Josuah, Rhif.* 88. *tu dalen* 117.

Jos. 2. 6. Bollteidiau llin—Bollt ydyw corsen neu fonyn; Bollteidiau llin, cyrs llin, neu callod llin heb ddirisglio y llin oddi arnynt.

7. Rhydau—Rhydau yr Iorddonen. basleoedd yn yr afon hono ag y gellid myned drwyddi yn hawdd ar anifail neu ar draed.

3. 2. Llywiawdwyr—Swyddwyr awdurdedig.

4. Encyd—cyfrwng, cyfwng, gwagle.

13. Ior—Ion, Pôr, Arglwydd.

4. 8. Cyfleasant—Gosodasant.

18. Ceulenydd—Glanau, torlenydd yr afon.

5. 1. Tu hwnt—Y tu draw, y tu arall.

6. 23. Ansawdd—sefyllfa, trefn, cyflwr, agwedd.

7. 26. Dyffryn Achor—Dyffryn trallod: enw a roddwyd ar ddyffryn agos i Jerico, oherwydd y trallod a ddaeth ar Israel am bechod Achan.

9. 4. Costrelau—Pottelau.

5. Baglog—Drylliog a chlytiog.

9. 21. Cynnud—Tanwydd, coed tân.

10. 9. Diatreg—Dioed, uniawn gyrchol.

17. Ogof—Ceudwll, ffau.

40. Bronnydd—Bron, ochr neu ystlys bryn; lliosog Bronydd, ochrau bryniau.

13. 23. Goror—Ffin, cyffin, ardal.

15 7 Rhiw—Gallt, gorifynu.

18. 14. Cilfach—Crigyll, angorfa, congl.

21. 2. Maesydd pentrefol—Maes-drefi, y maesydd fyddo ar gyffiniau y pentrefydd.

22. 10. Cyffiniau—Gororau, ardaloedd, ymylau.

19. Cildynu—Tynu yn groes, gwrthryfela.

28. Heppil—Cenedlaeth, hiliogaeth, plant, a phlant eu plant, &c.

23. 13. Ffrewyll—Ffangell, *chwip*.

16. Cyfrgolli—Diflanu, darfod, difetha.

16. Ebrwydd—Cyflym, dioed.

24. 17. Tramwy—Myned, myned a dyfod.

---

*Atteb i Ofyniad Hoffwr Cerddoriaeth, Rhif.* 88 *t.d.* 117, *mewn perthynas i 'bricio Notes' ar y Sabbath.*

Yr wyf fi o'r farn fod yr arferiad o Ysgrifenu Tonau Cerddorawl, neu yr hyn a elwir yn gyffredin, *pricio Notes*, yn beth pechadurus i'w wneuthur ar ddydd yr Arglwydd; oddieithr ar achlysuron neillduol, sef y cyfryw achlysuron ag a baro fod y weithred yn un anghenrheidiol. Oblegid tri gorchwyl sydd yn gyfreithlon i'w cyflawni ar y Sabbath, sef Gwaith yr Arglwydd; Gweithred o drugaredd; a Gwaith anhepgorol angenrheidiol.

*Treffynnon.* D. JONES.

---

Syr,—Os bernwch yr ymgais canlynol i atteb Gofyniad 'MARA,' yr hwn a ymddangosodd yn eich rhifyn Mawrth, yn deilwng o le yn eich Trysorfa, wele ef at eich gwasanaeth.

*(Cyfieithiad.)*

LLYWODRAETH AC ARFAETHAU DUW.

Gostega, greadigaeth faith,
A dysgwyl air dy Lyw—
Yr awen gryna yn y gwaith
O ddatgan bri ei Duw.

Byd, bywyd, uffern ddofn a'r bedd
Sy'n nghrog wrth rym ei raith;
Nid eistedd ar annilys Sedd,
Ei fod ni echwyn chwaith.

Ei theyrnas rhoddai dunos hen
I fynu wrth ei air,
Ac wele! bydoedd llugain wên,
Mil myrdd, mewn asur cair.

Rhoes lef—e safai'r haul wrth rif—
Rhag gollwng dydd i lawr,—
Yr hen Iorddonen, daliai 'i llif
Gan siomi 'r eigion mawr

Arglwydd holl luoedd awyr lân,
Y ser byddina ef—
Coch wibser a'u baneran tân
I'w ryfel rhoddant lef.

Mae wrth ei faine yn rhwym erioed
  Lyfr tynged pawb a'u lle,
Ffurf, maint, pob angel ynddo rhoed
  A'i law drag'wyddol E.

Rhagluniaeth sy'n dadblygu'r rhol,
  A'i gynghor eglurâ—
Pob gair a llin, ymlaen ac ol,
  Rhyw amcan dwfn a wna.

Yma i bryfed gwael y rhydd
  Goronau eurawg wawr,
Ar fyr y nesaf ddalen trydd,
  A sathra'r teyrn i lawr.

Paham, ni ofyn Gabriel fant,*
  A Duw ni rydd ei sail;
Chwilio ni faidd y cuaf sant
  I'r cudd gauedig ddail.

* lofty

Fy Nuw! 'n hiraethu gwel'd nid wyf
  A llygad gwag fy rhan—
Pa dywyll ing a'm deil lle b'wyf,
  Neu pa ddysgleiriach glan.

Ond boed i'm henw gwael gael bod
  Yn llyfr y bywyd gwiw,
Mewn rhyw ysgrifenedig nod
  Islaw yr Oen fy Nuw.

*Llundain.* ERYRON.

---

SIRIOLDEB, (*Gan Addison.*)

Bydddaf bob amser yn dewis sirioldeb o flaen llawenydd. Ystyriwyf yr olaf fel gweithred, a'r blaenaf fel ansawdd y meddwl. Llawenydd sy fyr a diflanawl, sirioldeb sy ddiysgog a pharaus Y sawl sy ddarostyngedig i fwyaf o iselderau pruddglwyfus, a godir yn fynych i fwyaf o lawenydd gorhoenus; sirioldeb, yn y gwrthwyneb, er na ddyry y fath odiaeth londer i'r meddwl, a'i lluddias rhag syrthio i unrhyw ddyfnderau tristwch. Llawenydd sy fel llewyrchiad mellten, a dyr trwy gaddug o gymylau, ac a ddyscleiria am fynydyn: sirioldeb a geidw i fynu fath o oleuddydd yn y meddwl, ac a'i lleinw â hinon ddianwadal a dibaid.

Fe edrycha dynion o egwyddorion hylym ar lawenydd fel peth rhy nwyfus ac afreolus i gyflwr o brawf, ac fel yn llawn o ryw wag orfoledd a haerllugrwydd tufewnol, ag ydynt yn anghydweddol â bywyd ag sydd bob mynydyn yn agored i'r peryglon mwyaf.

Nid yw sirioldeb meddwl yn ddarostyngedig i unrhyw o'r anafau hyn. Y mae o natur ddifrifol a thawel. Nid yw yn taflu y meddwl i ansawdd anaddas i gyflwr presennol dynoliaeth; ac y mae yn dra amlwg yn nghymeriad y rhai hyny ag yr edrychir arnynt fel yr athronyddion mwyaf yn mysg y paganiaid, yn gystal ag yn mhlith y sawl a berchid yn haeddiannol fel dynion sanctaidd yn mysg Cristionogion.

Os ystyriwn sirioldeb mewn tri goleuni, sef gyda golwg arnom ein hunain, y rhai yr ymgyfeillachwn â nhw, a'r Bod mawr a'n creodd, efe a adganmola ei hun nid ychydig ar bob un o'r cyfrifon hyn. Mae y dyn sydd yn meddu ar yr ansawdd meddwl rhagorol hwn, nid yn unig yn esmwyth ei feddyliau, ond yn feistr ar holl alluoedd a chynneddfau yr enaid; y mae ei ddychymyg bob amser yn oleu, a'i farn yn dawel: y mae ei dymher yn wastad a digyffro, pa un bynag ai mewn gweithred ai mewn unigedd. Efe a ddaw gyda blas at yr holl ddaoedd hyny a ddarparwyd iddo gan anian; ef a archwaetha holl bleserau y greadigaeth a dywelltir o'i amgylch: ac ni theimla lawer bwysau yr anffodion hyny a allant ddygwydd iddo.

Os ystyriwn ef gyda golwg ar y personau â'r rhai yr ymgyfeillacha, y mae sirioldeb yn naturiol yn cynnyrchu cariad ac ewyllys da tuag atto.

Mae meddwl siriol nid yn unig yn dueddol i fod yn fwyn a charuaidd, ond cyfyd yr un dymher dda yn y sawl a ddeuant o fewn cylch ei ddylanwad. Mae dyn yn teimlo ei hun yn cael ei foddâu, na ŵyr pa fodd, gan sirioldeb ei gydymaith; mae yn debyg i heulwen ddisymwth yr hon a bâr hyfrydwch ddirgelaidd yn y meddwl, megys yn annysgwyliadwy iddo. Y galon o'i bodd a ymlona, ac a red allan yn naturiol i gyfeillach a charedigrwydd tuag at y person a effeithia mor garuaidd arni.

Pan ystyriwyf sirioldeb yn y drydedd berthynas, nis gallwyf ond edrych arno fel dyiolchgarwch arferol a gwastadol i Awdwr mawr natur.

Moliant a dyiolch-daliad ymroddawl ar ragluniaeth dan ei holl oruchwyliaethau yw sirioldeb tufewnol.

Mae yn fath o ymfoddloniad yn y sefyllfa y'u gosodwyd ynddi, ac yn gymeradwyaeth ddirgelaidd o'r ewyllys ddwyfol yn ei ymddygiad tuag at ddyn.

Nid oes ond dau beth, yn fy marn i, a allant yn rhesymol ein hamddifadu o sirioldeb meddwl. Y blaenaf yw teimlad o euogrwydd. Nis geill dyn ag sydd yn byw

mewn cyflwr drygionus ac anedifeiriol, gael un hawl i'r meddwl tawel a heddychol hwnw, yr hwn yw iechyd yr enaid, ac effaith naturiol rhinwedd a diniweidrwydd.

Mae sirioldeb mewn dyn drwg yn haeddu enw caletach nag a allwn gael mewn iaith; ac y mae lawer o raddau islaw yr hyn a alwn yn gyffredin ynfydrwydd neu orphwylldra.

Atheistiaeth, wrth yr hyn y meddyliwyf annghrediniaeth o'r Bod goruchel, ac yn ganlynol o sefyllfa ddyfodol, dan ba enwad bynag yr ymgysgoda, a ddichon hefyd yn dra rhesymol amddifadu dyn o'r dymher siriol hon.

Mae rhywbeth yn y rhagolwg ar anfodolaeth, mor neillduol o drymfrydig a gwrthwyneblyd i'r natur ddynol, fel nas gallaf lai na rhyfeddu, gyda llawer o ysgrifenwyr rhagorol, pa fodd y mae yn alluadwy i ddyn fyw yn hwy na'r dysgwyliad am dano. 'O'm rhan i, yr wyf yn tybied fod bodolaeth Duw i'w ammeu cyn lleied, fel mai efe braidd yw yr unig wirionedd ag yr ydym yn sicr o hono, ac yn gyfryw wirionedd ag a gyfarfyddwn yn mhob gwrthddrych, yn mhob dygwyddiad, ac yn mhob meddwl. Os edrychwn i nodweddiadau y tylwyth hwn o annghredinwyr, gwelwn yn gyffredin eu bod wedi eu gwneyd i fynu o falchder, dygasedd, a checraeth. Yn wir nid yw yn rhyfeddod fod dynion, ag sydd yn anesmwyth ynddynt eu hunain, felly i'r rhan arall o'r byd; a pha fodd y mae yn alluadwy i ddyn fod yn amgen nag anesmwyth ynddo ei hunan, ag yntau mewn perygl bob mynyd o golli ei fodolaeth yn hollol, a syrthio i ddiddymdra?

Nid oes gan hyny gan y dyn drygionus a'r atheist unrhyw rith-hawl i sirioldeb, a gweithredent yn dra afresymol pe ymgeisient am dano. Mae yn analluadwy i neb fyw mewn tymher dda, a mwynau ei fodolaeth presenol, ag sydd yn ofni naill ai poenedigaeth ai diddymiant; bod yn druenus neu beidio bod o gwbl. Wedi crybwyll y ddwy egwyddor fawr yma, ag ydynt yn ddinystrol i sirioldeb yn eu natur, yn gystal ag yn ngolwg iawn reswm, nis gallaf feddwl am un arall a ddylai yru y dymher ddedwydd hon ymaith o feddwl rhinweddol. Nid yw poen ac afiechyd, cywilydd a gwarth, tlodi a henaint, nac angeu eihunan, gan ystyried byrder eu parad, a'r fantais gallwn fodi oddiwrthynt, yn deilwng o'r enw drygau. Gall meddwl da ddal i fyny o danynt gyda chalondid, tawelwch, a sirioldeb calon. Nid yw tafliad tymmestl yn cynhyrfu dyn, yr hwn sydd yn sicr y bydd iddi ei ddwyn i borthladd gorfoleddus.

Mae gan yr hwn sydd yn ymdrechu yn egniol i fyw yn ol cyfarwyddiadau rhinwedd a rheswm cywir, ddau achos gwastadol i fod yn siriol, yn yr ystyriaeth o'i natur ei hun, ac o'r bod hwnw, ar yr hwn yr ymddibyna.

Os edrycha iddo ei hun, nis gall beidio llawenychu yn y bodolaeth a roddwyd iddo mor ddiweddar, a'r hwn, wedi milfiloedd o oesau, a fydd eto yn newydd, ac eto yn ei ddechreuad. Pa gynnifer o hunan-gyfarchiadau llon a ymgyfodant yn naturiol yn y meddwl pan yr adfyfyria ar hyn, sef ei fynediad i dragywyddoldeb; pan y cymer olwg ar y galluoedd gwelladwy hyny, y rhai mewn ychydig flynyddoedd, ac hyd yn nod yn nechre ei yrfa, a gynnyddasant gymaint, a'r rhai a fyddant etto yn derbyn ychwanegiad o berffeithrwydd, ac yn ganlynol ychwanegiad o ddedwyddwch! Mae ymwybyddiaeth o'r cyfryw hanfod yn achosi gwasgariad paräol o orfoledd drwy enaid dyn rhinweddol; ac yn gwneyd iddo deimlo cymaint o ddedwyddwch ag a eill feddwl am dano.

Yr ail achos o sirioldeb i feddwl da, yw ei ystyriaeth o'r Bod hwnw, ar yr hwn yr ymddibynwn, ac yn yr hwn, er nad ydym yn ei ganfod etto, ond megys yn yr amlygiadau egwein cyntaf o'i berffeithderau, y gwelwn bob peth a allwn ddychymygu fel yn fawr, gogoneddus, neu hawddgar.

Yr ydym yn gweled ein hunain yn mhob man yn cael ein cynnal gan ei ddaioni, ac ein hamgylchynu gydag anfeidroledd o gariad a thrugaredd. Yn fyr, yr ydym yn ymddibynu ar Fod, ag y mae ei allu yn ei addasu i'n gwneyd yn ddedwydd trwy foddion diderfyn; ei ddaioni a'i wirionedd yn peri iddo wneyd y sawl a geisiant hyny ganddo, yn ddedwydd; a'i annghyfnewidioldeb yn sicrâu i ni y dedwyddyd hwn i dragwyddoldeb.

Y cyfryw ystyriaethau, y rhai y dylai pob un eu meithrin yn barâus yn ei feddyliau, a yrant oddiwrthym yr holl drymder calon dirgelaidd hwnw ag y mae dynion anystyriol yn ddarostyngedig iddo, pan na fyddont mewn unrhyw drallod gwirioneddol; yr holl ofid a allwn deimlo oddiwrth unrhyw ddrwg a fyddo yn gormesu arnom; at yr hyn y gallaf hefyd ychwanegu clindarddach llawenydd ac ynfydrwydd, ag sydd yn fwy tueddol i fradychu rhinwedd na'i chynnal; a sefydlu ynom y fath dymher mor wastad a siriol, ag a'n gwna yn foddaol i ni ein hunain, i'r rhai yr ymddyddanwn â nhw, ac i'r Hwn yn gwnaed idd ei foddâu.

I. D. FFRAID.

*Llansantffraid Glan Conwy.*

## DIRWEST.

Anwyl Frawd,—Mae yn ddifyrus genyf ddarllen ò fis i fis yn eich Trysorfa, bob cefnogiad i'r diwygiad Dirwestol sydd yn cynnyddu mor hynod yn ein gwlad. Ond y mae un peth ar fy meddwl ag sydd yn nglilyn â'r achos daionus hwn, ag y disgwyliais yn hir weled rhyw un yn cyffwrdd âg ef, ond yn ofer hyd yma. A chan nas gallaf ymattal yn hwy, mi anturiaf ei an-

ion attoch yn fy llythyr hwn, fel os cymmeradwywch yr annogaeth y byddwch cystal a'i gyhoeddi yn eich Rhifyn nesaf.

Y peth yw hyn: nid oes ond ychydig iawn o Ddirwestai da a chyfleus etto i'w cael yn Nghymru. Mae amryw o dai dirwestol yma ac accw, ond dymunol iawn fyddai cael un tŷ helaeth, cyfleus, o leiaf ymhob tref. Mae amryw o Drafeilwyr yn awr yn Ddirwestwyr, ac mi glywais rai yn cwyno eu bod yn methu cael tai cyfleus i ddisgyn ac i orphwys ynddynt ar eu teithiau; ac yn tystio nad aent hwy byth i'r *Inns*, pe caent Ddirwestai cyfleus. Cwynant, mai anaml iawn y mae Ystablau yn perthyn i dai felly. Ië mi a adwaen rai Trafaelwyr, ag sydd yn gorfod tynu eu henwau o lyfr yr Ardystiaeth, am eu bod yn methu yn lân ag 'atteb cydwybod dda' wrth deithio drwy Gymru oherwydd y byrdra hwn.

Paham nad allai fod cystal gwelyau, a chystal bwydydd, a chystal ystablau, a chystal *attendance* mewn Dirwesty ag sy mewn *Inn?* Ai i ddilyn y ddiod feddwol y mae cynnaliaeth cysurus dyn ac anifail i fod! Attebaf, Nage; gadewch i ni ddangos i'r byd y dichon Dirwestwyr gadw cystal tai, os nid gwell na'r tai sydd yn gwerthu Gwirodydd a diodydd cedyrn. Yn awr y mae lliaws y Dirwestwyr mor gryfion, fel y gallwn yn hawdd osod gwr a gwraig heinif a medrus i fynu i gadw Dirwesty cysurus a hardd, a chyflawn o bob cynnaliaeth cysurus i ddyn ac anifail ymhob tref, ond i ni sefyll fel dynion yn blaid iddynt. Byddai yn hyfryd iawn genyf glywed fod yr achos hwn yn cael ei ddwys ystyried mewn cyfarfodydd lliosog y Dirwestwyr sydd yn cael eu cynnal yma ac accw ar hyd y wlad y dyddiau hyn. Mae diffyg yn hyn ag sydd eisiau ei wneud i fynu. Gobeithiaf y cymmer fy anwyl frodyr dirwestol ef mewn llaw yn ddioed. T. OWENS.

*Llangefni.*

DIRWEST YN ERBYN ANGHYMMEDROLDEB.

Rhoddwyd bachgen bychan allan unwaith fel egwyddor-was at law gelfyddwr, (*mechanic*) mewn gweith-dŷ chelaeth iawn, a chan ei fod yn egwyddor-was ieuangaf, yr oedd gorfodiad arno i wneud negeseuau dros rai eraill; un rhan o ba orchwyl ydoedd ceisio gwirodydd poethion, pa rai a yfent bob dydd. Ond ni yfai efe ddim o honynt, a chwarddai y lleill am ei ben a gwawdient ef, o achos fel y dywedent hwy, nad ydoedd yn ddigon o ddyn i yfed *Rum*. Ac o herwydd y cam-driniaeth yma, arferai fyned o'r neilldu i ollwng allan ei ofid mewn dagrau.

Ond yn awr y mae pob un o'r egwyddorweision hyn, oddigerth efe ei hun, yn feddwyn, neu, gwedi eu claddu yn medd y meddwyn. Y mae efe yn ddyn sobr; yn feddiannydd etifeddiaeth eang, yr hon a bwrcasodd drwy ei ddiwydrwydd; y mae ganddo weithwyr lawer yn ei wasanaeth, a'r oll o honynt yn byw yn ol y rheol o lwyr-ymwrthodiad â'r diodydd poethion; ac y mae ei ddylanwad gwerthfawr yn cyrhaeddyd yn mhell ac yn agos, mewn gwlad eang iawn ei maintioli.—Parch. John Todd yn ei lyfryn rhagorol 'Athraw yr Ysgol Sabbathol,' cyhoeddedig yn ddiweddar yn y wlad hon. ALLTUD.

*C——n.*

CYNNADLEDD RHWNG MEDDWYN AR EI WELY ANGAU A GWERTHWR GWIRODYDD.

Mr. A. Boreu da gyfaill D. Y mae yn ddrwg genyf eich gweled mor isel. Yr ydych yn ymddangos yn agos i'ch diwedd.—D. ydwyf, yr ydwyf yn bur isel, ac yr ydwyf yn meddwl nas gallaf fyw lawer yn rhagor. Yr ydwyf wedi bod yn bur ffol, ac yr wyf yn awr yn gweled hyny, wrth yfed mor galed yr ydwyf yn myned i'r bedd yn anamserol. Mr. A. Paham wrth hyny gyfaill D. marwolaeth chwi wyddoch yw tynghedfen gyffredin pob dyn; a bydd rhai yn marw yn ieuengach na'u gilydd; nyni a ddylem ymostwng i ewyllys y Nef—D. myfi a chwi a fuom yn gymydogion am lawer o flynyddoedd. Yr wyf yn meddwl y byddem bob amser yn byw yn gyfeillgar, Mr. A. Do; ni a fuom, ac fe ddarfu i ni wario llawer awr ddiddan gyd a'n gilydd. Chwi a fuoch yn gyfaill pur garedig.

D. Mr. A., mi a fum bob amser yn fasnachwr da yn eich gwirod-dy, oni fum?

Mr. A. Do, yr wyf yn wybyddus eich bod. D. Myfi a weriais lawer iawn o arian am wiriodydd.

Mr. A. Do, yr ydwyf yn bur rhwymedig i chwi am eich arferiad—D. Mr. A., a ydych chwi yn tybied fod yr holl Rum a yfais erioed yn eich gwirod-dy wedi gwneuthur imi un daioni? A ddarfu iddo erioed gynyddu fy eiddo; dyrchafu fy nghymeriad; diddanu fy nheulu; ac uwchlaw y cwbl, ddarparu i mi ddiddanwch erbyn fy ngwely angau hwn?

Mr. A. Ni allaf ddywedyd ei fod. Fe fuasai yn well i chwi beidio yfed cymaint.

D. Mr. A., pa fodd ynte, y gallech chwi barhau i werthu Rum i mi pan oeddych yn gwybod nad oedd yn gwneud i mi un daioni? Y mae yn bresenol yn awr bwysig gyda mi Mr. A. yr wyf yn awr yn gallu canfod yn eglur fy ynfydrwydd i, a'ch euogrwydd chwithau. Yr wyf yn ddyn marwol, yn feddwyn marwol. O'ch llaw chwi y derbyniais y cwppan angeuol. Yn eich llogell chwi y mae gwerth fy iechyd, fy mywyd, ac, O Dduw! fy yspryd anfarwol. Fel dyn marwol yr wyf yn attolygu arnoch, yn eich rhybuddio, i beidio gwerthu rhagor o Rum. Rum! Rum O! fy ——— (Efe a fu farw mewn convulsions)

CYF. OWEN PRITCHARD.

*Tynllan Tregayan.*

## COFFI.

Yn mhlith yr ymrywiol bethau a gyfodwyd gan Ddirwest i gymmeriad a pharch, y mae Coffi yn sefyll yn y rhifres gyntaf o honynt. Ac yn yr ystyriaeth hyny yr ysgrifenais yr ychydig a ganlyn o hanes y llysieuyn llesol hwn, gan farnu nad annerbyniol a fydd genych chwi, na chan eich darllenwyr lluosog ychwaith. Cyfrifwch ef yn gasgliad, cyfansoddiad, neu gyfieithiad, neu bob un o honynt os mynwch, mae yn rhaid i mi addef fod amryw awduron wedi rhoddi i mi beth hyfforddiant ar y pwnc.

Fe ddywedir na ddarganfuwyd y llysieuyn gwerthfawr hwn hyd ddiwedd y drydedd ganrif ar ddeg; ac fel y cafwyd allan amryw ddarganfyddiadau enwog a phwysig trwy ddamwain yn unig, felly hefyd mewn perthynas i'r Coffi. Rhyw Arabiad o'r enw Shekh Omar a syrthiodd o dan erledigaeth drom yn ei wlad ei hun. Ar hyn diangodd efe, a'i ddisgyblion hefyd, i fynydd yn nhalaeth Yomen. Yn yr anialdir hwn darfyddodd eu hymborth oll, a newyn tost a agorai ei safn welw-las o'u blaenau. Digwyddodd fod ar ochr y mynydd brysgwydden Goffi yn tyfu, a phan welsant ei ffrwyth, y ffoaduriaid ymlidiedig a geisient ei fwyta, ond buan y teimlent ef yn rhy galed bron i'w gnoi; yna cytunasant i'w ferwi fel y profent ef wedi hyny; yr hyn wedi iddynt ddrachtio o'i drwyth iachusawl, a theimlo ei effaith adfywiawl, a barodd iddynt ddechreu canu ei glodydd anfarwawl.

Yr oedd Coffi yn gwbl anadnabyddus i'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid hefyd, pan oedd y cenedloedd hyny yn eu henwogrwydd gynt. Y traddodiad cyntaf a ddywed iddo gael ei ddwyn i arferiad yn Ethiopia; ac mai yn y fl. 1554 y deuwyd ag ef gyntaf i Gaer Cystenyn; o ba fan y daeth yn raddol i barthau gorllewinol Ewrop. Yr hysbysiaeth sy genym am ei drosglwyddiad i Loegr sy fel y canlyn; yn y flwyddyn 1652, daeth marsiandwr Tyrcaidd, o'r enw Daniel Edwards, â llengcyn Groegaidd o'r enw Pasqua yn was gyd âg ef, yr hwn oedd yn deall y gelfyddyd o drin a darparu Coffi. Hwn oedd y gwr a werthodd Goffi gyntaf yn Lloegr, a chadwai dŷ i'r dyben hyny yn *George Yard, Lombard Street*, Llundain. Yn Paris, yn Ffraingc yr oedd Coffi yn gwbl anhysbys hyd ddyfodiad y Cenadwr Tyrcaidd, Solomon Aga, yn 1669, yno; ac ym mhen oddeutu tair blynedd wedi hyny y sefydlwyd y tŷ cyntaf i werthu Coffi ynddo yn y ddinas fawr hono.

Y Coffi goreu a drosglwyddir o *Mocha*, ar y môr Coch. Fe ddywedir fod y *Mocha* a'r *Turkey Coffee* yn tra ragori ar yr hwn a drinir gan y trefedigion Ewropaidd, a hyny y mae'n debyg o herwydd ansawdd yr hin a thymher y ddaear y trinir ef ynddi. Y Coffi nesaf at hwn mewn rhagoroldeb yw yr un a dyf yn Java a'r India Ddwyreiniol; a'r isaf bris, a'r gwaelaf hefyd, yn yr India Orllewinol, a'r Brazil. Fe ddywed un awdwr enwog fod Coffi yn colli ei flas a'i archwaeth ddymunol pan y llwythir ef gyda *Rum* a Phupur, a nwyddau ereill, i groesi y moroedd meithion o'r gwledydd tramorawl i'r wlad hon. Fel hyn y mae'n amlwg fod y Coffi druan, purwin dirwestawl, yn cael ei lygru a'i ddyhiro os cadwynir ef i gydforio a'i elyn creulon alcoholaidd, y *Rum* angeuawl.

Os damwain yn unig a ddygodd y Coffi i sylw, ac os yn araf y cerddodd i'w fri presennol, y mae erbyn heddyw wedi dyfod yn un o nwyddau mwyaf enillfawr y marsiandwr a'r maeliwr hefyd. Bernir fod swm y Coffi a drosglwyddir yn flynyddol o Arabia dros 14,000,000 o bwysi. Cyn dechreuad y chwyldroad Ffrengig, yr oedd Ynys Domingo yn unig yn anfon allan dros 70,000,000 o bwysi yn flynyddol: ac yn y dyddiau hyn cymmaint yw ffrwythlonrwydd yn ynys hon, fel yr enfyn ddigon o Goffi allan i iselhau ei bris trwy yr holl fyd gwareiddiedig.

Yn yr oes hon y mae Coffi wedi dyfod yn un o ddewisbethau holl genedloedd y byd. Mae y Mahometaniaid bron i gyd yn yfed Coffi o leiaf ddwy waith yn y dydd, yn dra phoeth, ac heb ddim siwgr. Y mae y Tyrcaid oll yn yfed Coffi bron drwy y dydd, o'r boreu hyd yr hwyr; a'r cnöwr *opium* a fydd byw ar ddim arall ond Coffi ac *opium* drwy ei oes. Dywed Beaujour, yn Hanes Groeg, am un cnöwr *opium* yr hwn a yfai 60 cwpanaid o Goffi mewn diwrnod ac a chwiffiai gynnifer a hyny o bibelleidiau o Tobacco. Bu gwroniaid dewrwych, a doethwyr enwog, yn cyfrif Coffi yn un o'u diodydd mwyaf dewisawl. Yfai Buonapate ddewr, a Frederick Fawr, o hwn yn helaeth: chwennychai Voltaire ei gael yn gryf; ac yfai Leibnitz o hono trwy gydol y dydd, a'r naill hanner o hono yn llaeth tew.

Yn yr Aipht, cyfrifwyd yfed Coffi ar y cyntaf fel seremoni grefyddol. Ymgasglai y coel grefyddwyr at eu gilydd ar brydnawnau Llun a Gwener i yfed Coffi, pryd y gyrid y cwpan o amgylch ogylch gyda difrifolder dwys, a gweddiau byrion, a dolefent yn awr a phryd arall, 'Nid oes yr un Duw ond Duw!' Mae llyfr enwog mewn ysgrifen, yn y Llyfrgell Freninol yn Paris, yn Arabaeg, yr hwn a elwir 'Amddiffynydd Diniweidrwydd,' (*Support of Innocence*) yn gwbl ar gyfreithlondeb yfed Coffi. Yr awdwr ydoedd Aljeziri Alhanbali. Bu cryn ddadleu unwaith ym mysg y Mahometaniaid pa un ai nad oedd Coffi yn un o'r diodydd meddwawl a waherddir yn y Coran ai peidio; a dyben y llyfr hwn yw profi nad oedd yn un o'r rhai hyny. Yr ysgrifenydd hwn a haera mai ysgolhaig a Mahometan enwog o Arabia Felix o'r enw Dhabani, oddeutu y flwyddyn 870 o'r Hegira oedd y cyntaf a ddangosodd ddefnyddioldeb Coffi. Yn Ewrop hefyd dilynwyd dyfodiad Coffi â

chryn gynwrf yn y byd crefyddol, o herwydd y mae rhai pregethau ar gof a chadw heddyw wedi eu cyfansoddi yn erbyn yr arferiad o yfed Coffi yn gystal a chwiffio myglys. Darllenir y frawddeg ganlynol mewn hen bregeth. 'Nis gallant aros hyd onid amgylchir hwy gan fwg o'r gororau uffernol, ond anhuddant eu hunain â mwg o'u gwneuthuriad eu hunain (mwg Tobacco) ac a yfant wenwyn, yr hwn a wnaeth Duw yn ddu (Coffi) fel y byddai iddo ddwyn lliw y cythraul.'

Erbyn heddyw y mae helynt Coffi wedi newid. Rhifir ef yn un o'r tri rhwymyn llysieuaidd hyny ag sydd yn rhwymo Lloegr a thair rhan o'r ddaear wrth eu gilydd, a fuasent, yn ol pob tebygoliaeth, yn gorwedd mewn anadnabyddiaeth oesawl oni bai y llysiau hyny. Nid oes bron ddim yn cylymu China wrth Loegr ond ei *Thea*: am dri chan mlynedd, *Tobacco* oedd yr unig gadwen a gydiai y deyrnas hon wrth y byd mawr Gorllewinol: ac Arabia, hyd yr awr hon, sydd bron yn gwbl ddidrefnidaeth o'n rhan ni, oni bai ei Choffi. Tros ddwy ganrif faith o amser bu y llysieuyn hwn yn ymwthio ei ffordd i sylw y cyffredin. Ac wrth ddywedyd hyn nis gallaf lai na sylwi mai rhyfeddol o gyfeiliornus yw barn dyn pan y gesyd ei ewyllys lygredig yn rheol iddo: tra na bu *Tobacco* dros chwech neu saith mlynedd yn ennill ei barch a'i gymmeriad cyn belled ag yr hwyliai llongau i'w gludo, bu Coffi ddwy ganrif, fel y sylwyd, yn ennill ei fri yn ei wledydd ei hun, a thros bedair canrif, yn ceisio dwyn sylw trigolion Ewrop fawr ac eang. TEGIDON

## ORIAU OLAF MR. JOHN JONES, GWERN-YR-EWIG, GERLLAW Y BALA, MEIRIONYDD.

Barchedig Syr—Gan ddarfod i chwi fod mor hynaws a rhoddi ychydig o hanes 'Blaenoriaid Llwyneinion,' &c. yn y Rhifyn diweddaf o'ch Cyhoeddiad clodwiw, efallai nad blin fyddai genych fanylu ychydig am oriau diweddaf yr olaf o honynt, sef J. Jones, Gwern-yr-ewig Sylwedd yr hyn a adroddir yma a dderbynwyd oddiwrth ei frawd Mr. W. Jones, Rhiwaedog; gwr ag sydd dra adnabyddus yn yr eglwysi, ac a fawr berchir ganddynt.

Wedi i J. Jones nychu yn hir, trymhaodd ei gystudd yn fawr ar y 15fed dydd o fis Mai, 1837, a pharhäodd felly am dair wythnos: a gorfu arno gadw ei wely yn hollol. Yr oedd ei agwedd yn ei gystudd yn ddïoddefgar a'i eiriau yn felys. Er bod sŵn afon marwolaeth yn adsain yn ei glustiau, etto y cyfryw oedd ei hyder o gael cwrdd â'r archoffeiriad mawr ar fin y dwr, fel nad oedd nesâd awr ei ymddatodiad yn creu nac ofn nac arswyd arno. Un tro pan oedd ei blant wedi dyfod i ymweled âg ef o'u gwahanol gartrefleoedd, efe a alwai hwynt (fel yr hen batriarch Jacob gynt, pan yn bendithio ei feibion) at erchwyn ei wely oll yn ddeg o eneidiau, ac a ddechreuodd olrhain ei daith trwy yr anialwch, a chanmol daioni yr Arglwydd tu ag ato ef a hwythau—yn ei ofal tadol am danynt, yn ei amddiffyn cadarn drostynt—a'i arweiniad cywir iddynt—hyd y manau hyny o'r daith ddaearol y dygwyd hwynt iddynt. Ac yna anogai hwy yn ddifrifol ac yn daer i roddi eu pwys a'u goglud yn gyfan arno ef, heb ammeu dim. Dywedai un am dano, nas gwelsai neb yn atteb mor gyflawn i'r geiriau hyny ag oedd efe, 'Yn llawen mewn gobaith, yn ddyoddefgar mewn cystudd, yn dyfal barhau mewn gweddi.' Er bod ei gystudd yn drwm yr oedd ei sirioldeb y fath fel y buasai yn werthfawr iawn i holl philosophyddion anffyddiawg yr oes gael eu gwahodd at ei wely i weled Cristion yn marw.

Ymhen ychydig wedi hyn, galwai am ei blant drachefn at ei wely, ac a archodd yn daer arnynt i wneyd eu cartref yn eglwys Dduw, gan gadarnhau iddynt mai dyma y lle goreu a allent byth ei gael, 'oherwydd, (ebai efe) rhaid i mi gredu hyny, dyma y lle goreu a gefais i erioed.'

Fel yr oedd yn nesau i waelodion y glyn, dechreuai gael rhai llewygfeydd trymion a pharhaus; ond yn nghyfwng seibiant byr, gofynai un cyfaill iddo, 'A oes dim ar eich meddwl i'w ddweyd wrth Eglwys Llwyneinion?' Attebai, 'Oes, dywedwch wrth Sïon, dy Dduw di sydd yn teyrnasu; perwch iddynt weddio yn daer am i'r Arglwydd godi rhai amlwg mewn duwioldeb, a chynnyddu fwy fwy mewn cariad brawdol, a bod yn sicr o ochelyd cybydd-dod.' Gyda hyn, cafodd wasgfa drom a maith iawn; a phan y dadebrodd ychydig, dywedai, 'Wel, mi a feddyliais y cawswn fyned adref y tro hwn; ond dy ewyllys di a wneler.' Yna daeth y pennill hwn i'w feddwl yn rymus iawn:—

'Mae eglwys Dduw trwy'r ddae'r a'r nef yn un,
Y meirw a'r byw a'u cydsain yn gytun.'

ac adroddai ei ddiwedd lawer gwaith trosodd, sef,

'Teilwng yw'r Oen, medd seintiau yn y nef,
Teilwng yw'r Oen, yw'n llafar ninnau a'n llef.'

'a'r olygfa hon,' medd ei anwyl frawd, 'a ddygodd i'm côf lawer o droion y gwelsom ef yn taraw yn felys ar y tant hwnw, sef 'aberth y groes,' pan treuliai nerth ei gorph yn ngorfoledd ei enaid; ond heddyw yr oedd gorfoledd ei enaid yn ychwanegu pan oedd nerth ei gorph yn cael ei ddirdynu. Erbyn hyn yr oedd wedi myned yn ddwfn iawn i'r dwfr, ac yn nhonau yr afon cafodd seibiant byr i ddweyd gair o'i ol, ag sydd yn deilwng o'i gofio, 'Mi a wn i bwy y credais,' gan ei ddyblu lawer gwaith, a chwanegai, 'Ni waeth i'r cythraul heb daeru; mi *wn innau, gwn yn wir.*' Ac ar foreu Sabbath, y 4ydd o Orphenaf, y tawel lanfodd yr ochor draw i'r Iorddonen, ar feusydd gorfoleddus y Gaersalem nefol, i fwynhau Sabbath heb drangc na gorphen.

*Bala, Ebrill* 12, 1838. R. J.

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Esboniad ar y Bibl, yn cynnwys Nodiadau beirniadol ar y rhanau tywyllaf ac anhawddaf eu deall o'r Ysgrythyrau. Gan Owen Jones, Wyddgrug.*

Dyma chwanegiad etto at drysorau moddion gwybodaeth Ysgrythyrol i'r Cymry yn eu Hiaith eu hun. Mae yr Esboniad hwn yn dangos llafur mawr iawn; canys y mae yn cynnwys pigion cyfieithedig o nifer mawr o Awdwyr rhagorol yn yr Iaith Saesoneg; sef Ainsworth, Barnes, Boothroyd, Burder, Calmet, Campbell, Clarke, Davidson, Doddridge, Edwards, Gill, Guyse, Harmer, Henry, Lightfoot, Lowth, Macknight, Newton, Poole, Prideaux, Scott, Taylor, Trapp, &c. &c.

Mae yn dyfod o'r wasg mewn dau wahanol faintioli; sef yn Rhifynau chwech wythnosol, o faintioli bychan, oll i wneud i fynu dair Cyfrol, cymhwys i'r llogell; ac hefyd yn Rhifynau mawrion, a phob tu dalen yn cynnwys pedwar o du dalenau yr un bychan: fel y gellir cael yr un a fyner o'r ddau am yr un bris.

Gwelsom y Rhifynau cyntaf o'r gwaith clodwiw hwn: y maent yn hynod o hardd, ac yn cynnwys llawer iawn o sylwedd wedi ei grynhoi mewn ychydig le. Gan mai yr amcan yn yr Esboniad hwn yw crynhoi llawer o Eglurhad Ysgrythyrol i gylch bychan, barnwyd mai priodol oedd gadael y Testun allan, oherwydd fod Biblau eisoes mor rad ac mor helaeth ymhlith ein Cenedl.

Mae yn ymddangos i ni fod yr Esboniwr, yn gyffelyb i Mr. M. Poole o'i flaen, yn chwilio am y rhanau hyny o'r Ysgrythyr ag sydd yn ymddangos yn ddyrys neu yn dywyll, i'r dyben o'u hegluro a'u gwneud yn ddealladwy i'r darllenydd.

Gobeithiwn y bydd i'n Cydwladwyr, ac yn enwedig y Genedl ieuanc sydd yn codi, fod yn awyddus am feddiannu yr Esboniad hwn, ac yn ffyddlawn a diwyd yn ei ddarllen, a'i chwilio, er mawr gynnydd mewn gwybodaeth Ysgrythyrol yn eu plith.

---

UN ARALL.

'Blwch o Berlau: *sef, dywediadau cynnwysfawr, o eiddo* Dynion Duwiol: *wedi eu dethol, a'u cyfieithu o'r Saesoneg, er dyddanwch ac adeiladaeth i'r ieuenctyd; un am bob dydd yn y flwyddyn, a phenill am bob mis, gan* Iorwerth Glan Aled: *Llanrwst: argraffwyd gan J. Jones.*

Y mae yn hyfrydwch mawr genyf gael defnyddio y cyfleustra presennol i argymmell y llyfryn bychan, buddiol, a difyrus hwn, i sylw holl ieuenctyd y dalaeth: y mae ynddo drysorau gwerthfawr; perlau gloywon, a dyddanion prydferth;—pa rai a gymmeradwyir gan bob meddwl sychedig am adeiladaeth dduwiolaidd i'w deimladau a'i brofiad. Y mae y derbyniad a gafodd '*llyfrau unwedd a hwn a ymddangosasant yn y Saesonaeg*,' yn argoel o gymmeradwyaeth gyffredinol; a chan yr hona y cyfieithydd ei fod, '*wedi cadw yn ddiwyro at wreiddiau yr holl ragoriaethau a deilyngasant y sylw a ddangoswyd yn helaeth tuag at flaenoriaid hwn*,' hydera yr adolygydd na ddangosir llai o frwd-frydedd am ei feddu yn mhlith yr ieuengctyd Cymreig, nac a ymddangosodd yn mhlith eu cyfoedion cymmydogol:—

Y mae yn werth ei *brynu*, ei *ddarllen*, ei *ystyried*, ei *gofio*, ei *ddilyn*, ei *gredu*, a'i *ganmol*. Bydded gwerthiad helaeth arno, bendith fawr ar ei ddefnyddiad, a lles mawr yn canlyn ei led-daeniad, yw gwir, a diffuant ddymuniad yr Adolygydd,

Thomas Lloyd.

*Abergele, Ebrill*, 1838.

---

HANES THAMAS KOULI KHAN.

Thamas Kouli Khan, dyn o dras isel, oedd frodor o'r mynyddoedd yn ngogleddbarth Persia, ar derfyn Khorassan. Y dyn hwn, a elwid Nadir Kouli,† a dywedid ei fod yn fab i fugail; ond hynod y treiglo a fu arno o sefyllfa i sefyllfa yn ei oes; fel y bu yn yspeilydd pen ffordd, yn flaenor yspailfintai, yn gad-lywydd byddin Persia, yn frenin Persia, ac yn Amherawdr yr India.

Efe a wnaed yn Gadlywydd Persia yn y flwyddyn 1729, ac yn 1736, efe a wrthryfelodd yn erbyn ei feistr, a chan fod y fyddin dan ei awdurdod, efe a fynodd ddiorseddu y brenin cyfiawn, a'i ddyrchafu ei hun i'r orsedd yn 1737, dan yr enw Nadir Shah.

Wedi hyny efe a estynodd ei olygiadau uchelfrydig tu hwnt i derfynau Persia, ac a arweiniodd ei luoedd allan i ddarostwng yr India; ac yn yr hynt yma, gorchfygodd y Mogul mawr, wŷr yr enwog Aurengzebe; gan gymmeryd Delhi, ei brifddinas, a'i gyhoeddi ei hun yn Amherawdr yr India. Yna efe a gynnygiodd ail orseddu yr Amherawdr, ond cael yr iawn o *ddeng mil-fil ar hugain o bunnau*; ac wedi cyfymweliad ag ef, efe a gymerodd ddau cant o fagnelau, a swm dirfawr o drysorau a gemmau, yn yspail, ac a'u hanfonodd i *Candahar*. Ar ol y pethau hyn efe a ddychwelodd i Delhi, a thra yr ydoedd yn ceisio darostwng gwrthryfel, taniwyd llawddryll arno, ar yr hyn y parodd efe i'w fil-wyr ruthro ar y trigolion, a gwneuthur lladdfa gyffredinol o honynt, a'r milwyr gwaedlyd oeddynt ddigon parod i ufudd'u i'r gorchymyn creulawn hyd yr eithaf, yn gymmaint ag y llofruddiwyd chwechugain mil o'r dinasyddion yn y tro. Dylynid hyn yn ddiatteg ag attafaeliad o'r holl dlysau, a'r arian lestri a ellid gael, heblaw gorfodi y trigolion i dalu y deng mil-fil ar hugain punnau dywededig, yr hyn a wnaed gyda'r llymder mwyaf, yn gymmaint, fel y darfu i

† Kouli, a arwyddocäa *caethwas*.

laweroedd o'r trigolion eu lladd eu hunain, rhag eu darostwng dan yr arteithiau a osodid ar y rhai oeddynt analluog i dalu yr arian a ofynid ganddynt.

Yn y cyfamser, pan oedd y creulonderau hyn yn cael eu cyflawni, parodd NADIR i *wyres* AURENGZEBE gael ei phrïodi â'i fab ef, ac wedi dirwasgu yr holl symiau anferth a ofynai, efe a adferodd y deyrnwialen yn ol i'r Pennadur a ddiorseddasai, ac a ganodd yn iach i'r Amherawdr, gan broffesu cyfeillgarwch mawr atto. Y gormeswr gwaedlyd yma a ymadawodd o Delhi ar y 6ed o Fai, 1739, wedi llofruddio dros ddau can mil o bobl; ac a ddychwelodd i Persia gyda thrysorau dirfawr, gwerth oddeutu 125 milfil o bunnau.

O'r diwedd, efe a lofruddiwyd ei hunan, yn y flwyddyn 1747; yr hyn a fwriodd Persia i ganol dychrynfeydd rhyfel unwaith yn rhagor; a chyn iddi braidd ymryddhau o honynt, rhuthrodd y Tartariaid ar y Persiaid yn llawn cynddaredd, ond fe'u gwrthwynebwyd yn bybur; a'r Tartariaid a wasgarwyd, a chan ymdaenu drwy y taleithiau, hwy a gludasant hadau terfysg, gwrthryfel, ac afiywodraeth, yr hyn a barodd anrhaith nid bychan ar y wlad annedwydd hono dros amser maith. Wedi hyny, hi a ranwyd yn ddwy freniniaeth, dan yr enwau Persia Ddwyreiniol, a Phersia Orllewinol; neu, yn fwy prïodol, Persia ac Afghanistan. O. J.

---

## CYMDEITHAS GENHADOL GYMROAIDD.

*(Celtic Missionary Society.)*

Barchedig Olygydd,—Gwyddoch, ein bod ni, Cenedl y Cymry, wedi disgyn o Gomer fab Japheth, fab Noah;—fod amryw genhedloedd eraill hefyd, heblaw nyni yn Nghymru, wedi disgyn o hono; fod amryw o honynt wedi colleidio ieithoedd, nas gellir heddyw gael allan nemmawr berthynas rhyngddynt a'r eiddom ni: ond, fod eraill, a'r rhai hyny yn genhedloedd lliosog, yn parhau i lynu wrth yr hen dafodiaith.

Yn awr, y mae amryw filiynau o'r Cymry hyn, yn eistedd ynghanol tywyllwch, heb dderbyn iachawdwriaeth, na chael cynnygiad o honi ychwaith; tra yr ydym ninau, eu brodyr yn ol y cnawd, yn rhodio yn y goleuni; ac yn dringo ar ol ein gilydd i'r wlad, lle y disgleiria goleuni moesol, a happusol byth. Onid ein *Brawd hynaf* ni oedd hwnw, pan ddaeth a'r newydd da i fyd, a chwiliodd yn gyntaf am 'yr eiddo ei hun?' a phan oedd yn ymadael, a feddyliodd yn gynnes am ei gyd genedl, gan ddywedyd, 'dechreuwch yn Ierusalem.' Ac un o honom ni oedd hwnw, 'oedd mewn tristyd mawr, a gofid dibaid yn ei galon,' dros ei gyd genedl: a phwy a wâd nad oedd y nef wrth lenwi ein tai ni a Bara y bywyd, yn disgwyl i ni gyfranu cyn hyn, i'n brodyr truain yn ol y cnawd, sydd bob awr o'r dydd yn newynu o'i eisiau!

Gwyr amryw o'ch darllenwyr yn well na myfi, yn mha le y ceir yr amrywiol lwythau o'n brodyr, ag ydynt etto, yn parhau i siarad rhyw gangen neu gilydd o'n hiaith; ond, yr wyf fi yn tybied, fod *tair milium* ohonynt i'w cael yn Llydaw yn Ffrainc; *chwe milium* yn yr Iwerddon; *milium* neu ragor yn yr Albania yn Scotland; *milium a hanner* yn Cantabria, neu Biscay, yn yr Hispaen; ac nis gwn pa nifer yn Bruttium, neu Calabria yn Naples; Sclavonia yn Nhwrci Ewropëaidd; ar lanau yr afon Rhine, neu o'r Celtiberi, ar lanau yr Ebro, &c. &c.

Pa beth a wneir i'n cig a'n gwaed ein hunain, ein brodyr truenus hyn? A wnawn ni *ran brodyr* â hwynt? ac os gwnawn, pa fodd y dechreuwn? Wel, rhaid cael *Cymdeithas*, os mynir cyflawni un peth mawr. *Bydded Cymdeithas ynte. Oes Cymdeithasau yw yr oes.* Cyhoedder fod cyfarfod cyhoeddus cyntaf y Gymdeithas i fod yn nhref . . . yn y . . o Fehefin neu Awst nesaf. Parottoed y sawl a gaffo ar ei feddwl araith ar, (1) Y fantais sydd i Gymro ddeall Cystrawen y cangenau hyn, o iaith ei fam, a'u haeenu, a'u seinio, nes ennill ymddiried y brodorion; rhagor y Saeson, neu unrhyw genedloedd eraill. (2) Bydded ail gyfarfod Cyhoeddus y Gymmanfa i areithio ynghylch Llydaw, a'i thrigolion; eu rhagfarn, anwybodaeth, &c. (3) A'r trydydd Cyfarfod yr un modd, ynghylch Iern, Iferna, neu Iwerddon. Yna ynghylch y lleill; gan sylwi ar eu perthynas a'r Cymry, er cynneu ein zel, a chynnesu o'n calon attynt. Yn y Cyfarfod hwnnw, dewiser Trysorydd, ac Ysgrifenwyr, Cyfeisteddwyr, &c. Ffurfier yno Gyfarfodydd Siryddol ar yr un matter; ac anfoner, Cenhadau addas trwy bob Sir, gan ei chynhyrfu o'r naill gwr i'r llall, cyn cynnal y cyfryw Gyfarfod Siryddol. Galwer ar bersonau addas i gyfansoddi Grammadegau, Geiriadyddon &c. o'r ieithoedd crybwylledig. Argrapher adroddiad manwl o'r Gymmanfa, ynghyd a'r Areithiau traddodedig yno. Taener yr Adroddiad *yn rhad* trwy yr holl Eglwysi. Penderfyner ar un Sabbath *pennodol* i weddio; ac yn yr Ysgol Sabbathol y dwthwn hwnnw i ddarllen dewis-ranau o'r adroddiad, ac i ffurfio Cymdeithas. Dechreuer gyd a'r ieuenctyd, ac yna sicrheir yr oes nesaf; a hawdd fydd o ganlyniad ennill yr ardal.

Dylai pob Cyfundraeth Gymdeithasgar, gynnwys o'i mewn ei hun, egwyddorion ei phuredigaeth. Diffyg o hyn sydd yn peri iraddol gynnydd gwybodaeth wywo cynnifer o Sefydliadau hên a pharchus yn ein gwlad. Ninnau, gan hyny; os ffurfiwn gyfryw Gymdeithas, pwyswn bob peth, a gosodwn ei sail i lawr, fel y byddo yr adeilad yn ddiogel rhag llygru o'i hegwyddorion, ar un llaw; na cholli ei chynnorthwyon arianol, ar y llaw arall.

Nid wyf fi ond anheilwng i gychwyn y fath orchwyl; etto pwy a wyr na bydd yr ysgrif wael hon, yn foddion i alw sylw gwyr teilwng at y gwaith. Pob Cymdeithas sydd *heddyw* yn gref, gwan *oedd ei dechreuad*.

Gobeithiaf na byddwn yn hwy mor euog o waed ein brodyr, yn ol y cnawd; pa rai a lusgir gan y Bwystfil i angau wrth y miliynau; ond y bydd y ganwyll fach hon a oleuir heddyw, heb ei diffodd nes goleuo pob cell, y ceir un diferyn o waed Cymroaidd ynddi, mor oleu a hanner dydd y Mil blynyddoedd.—Ydwyf, yr eidoch,

J. JONES.

*Llangollen*, *Chwef.* 20, 1838.

---

## Y DYSGAWDWR CYFFREDINOL.

---

### VIII.—AM LYWODRAETH A CHYFREITHIAU.

(Parhad tu dal. 85.)

Drachefn, yn 1789, Cymmanfa Wladol Ffrainge a gydnabyddai ac a adroddai, yn mhresennoldeb y Bod Goruchaf, ac mewn gobaith o'i fendith a'i ffafr, yr iawnderau cyssegredig, (*sacred*) canlynol, dynion a dinasyddion.

1. Genir dynion yn gwbl rydd, ac yn wastadol maent yn parhau felly, ac maent yn gyfartal mewn perthynas i'w hiawnderau. Gwahaniaeth gwladol, gan hyny, a ellir ei seilio yn unig ar ddefnyddioldeb cyhoeddus.

2. Dyben pob cymdeithasau gwladwriaethol, ydyw, cadwraeth iawnderau naturiol a hanfodol dynion; a'r iawnderau hyn ydynt rhyddid, eiddo, diogelwch, a gwrthwynebiad i orthrymder.

3. Y Genedl ydyw yn hanfodol ffynhonell pob arglwyddiaeth, ac nis gall yr un dyn neillduol, nac un corph o ddynion, gael hawl i unrhyw awdurdod nad ydyw yn tarddu yn bendant o honi.

4. Rhyddid gwladwriaethol, yn gynnwysedig mewn awdurdod i wneuthur pa beth bynag nad yw yn niweidio arall, yr arferiad o iawnderau naturiol pob dyn, nid oes iddo unrhyw derfynau eraill na'r rhai ydynt yn angenrheidiol i sicrâu i bob dyn arall y rhydd arferiad o'r cyfryw iawnderau, a'r terfynau hyn ydynt bennodadwy yn unig gan y cyfreithiau.

5. Ni ddylai y gyfraith warafun yn unig ond gweithredoedd niweidiol i gymdeithas. Yr hyn na warafunir gan y gyfraith, ni ddylid ei luddias; ac ni ddylai neb gael ei gymhell i wneuthur yr hyn nid yw y gyfraith yn ei ofyn.

6. Mae y gyfraith yn ddatganiad o ewyllys y wladwriaeth; mae gan yr holl bobl hawl i gydsynied, naill ai yn bersonol, neu trwy eu cynnrychiolwyr yn ei ffurfiad. Dylai fod yr un fath i bawb, pa un bynag ai amddiffyn ai cospi y byddo; ac oll yn bod yn gydradd yn ei golwg ydynt yn gydradd ddewisadwy i bob anrhydedd, lleoedd, a gorchwylion, yn ol eu gwahanol gymhwysderau; heb un gwahaniaeth arall na'r hyn a achosir trwy eu rhinweddau a'u talentau.

7. Ni ddylai un dyn gael ei gyhuddo, ei ddal, a'i gadw mewn caethiwed, oddieithr mewn amgylchiadau pennodedig gan y gyfraith; ac yn ol y dulliau a bennodwyd ganddi. Y rhai oll a ddygant yn mlaen, a erfyniant, a gyflawnant, neu a barant gael eu cyflawni, orchymynion tra awdurdodus, a ddylent gael eu cospi; a phob person y gelwir arno neu a ddelir trwy awdurdod y gyfraith, a ddylai ufuddhau yn ddioed; ac mae yn gwneuthur ei hun yn feius trwy wrthwynebiad.

8. Ni ddylai y gyfraith arddodi dim cospedigaethau eraill na'r cyfryw ag ydynt yn hollol ac amlwg angenrheidiol; ac ni ddylai neb gael ei gospi, ond trwy awdurdod cyfraith wedi ei chyhoeddi cyn y trosedd, a'i chymhwyso yn gyfreithlawn.

9. Pob dyn a dybid yn ddiniweid cyn ei euog-brofi, pa bryd bynag byddo ei garchariad yn dyfod yn annesgusadwy, dim gerwindeb, mwy nag a fo yn angenrheidiol i ddiogelu ei berson, ni ddylid ei arferu.

10. Ni ddylai un dyn gael ei aflonyddu ar gyfrif ei dybiau, hyd yn nod ar gyfrif ei dybiau crefyddol; os na bydd ei addefiad o honynt yn terfysgu y drefn gyffredin a sefydlwyd gan y gyfraith.

11. Cyfranogiad diattaledig o feddyliau a barnau, yr hyn sydd un o iawnderau gwerthfawrocaf dyn, dylai pob dyn lefaru, ysgrifenu, a chyhoeddi yn rhydd, ond yn ddarparedig ei fod yn attebol am bob camarferiad o'r rhyddid yma, mewn dulliau pennodedig gan y gyfraith.

12. Gan fod grym cyffredin yn angenrheidiol i roddi diogelwch i iawnderau yr holl bobl, y grym hyny sydd wedi ei sefydlu er lles y wladwriaeth, ac nid er lles neillduol y personau hyny gyda'r rhai mae wedi ei ymddiried.

13. Gan fod cyfraniad, (cydroddiad) cyffredinol yn angenrheidiol er cynnaliaeth y grym cyffredin, ac er dygiad traul costau ereill y llywodraeth, dylid ei gasglu yn gyfartal yn mhlith aelodau y wladwriaeth, yn ol eu gallu i dalu.

14. Mae gan bob person hawl, naill ai trwyddo ei hun neu ei gynnrychiolwr, i lais rhydd yn mhenderfyniad yr angenrheidrwydd o gyfraniadau cyffredin; y priodoliad o honynt a'u swm; dull eu trethiad, a'u parhad.

15. Mae gan bob gwladwriaeth hawl i ofyn gan ei holl orchwylwyr gyfrif o'u hymddygiad.

16. Pob gwladwriaeth yn yr hon nid oes diogelwch iawnderau wedi ei ddarparu iddi, trwy wahaniad awdurdodau, (*powers*), sydd arni eisiau Ffurf-lywodraeth.

17. Gan fod hawl i eiddo yn anhalogadwy a sanctaidd, ni ddylai neb gael ei ddifeddiannu o hono, oddieithr mewn amgylchiadau o angenrheidrwydd cyhoeddus amlwg

wedi ei sicrhau yn gyfreithlawn, ac ar ammod o ddigolledrwydd cyfiawn blaenorol.

☞ Astudwyr y rhai a ewyllysient ddyfod yn fwy cydnabyddus a'r matterion hyn, a ddylent ymgynghori â *Blackstone's Commentaries on the Laws of England*; *Delolme on the Constitution*; *Miller on the Constitution*; *Goldsmith's British Geography*; *Smith on the Wealth of Nations*; *and Phillips on the Powers and Duties of Juries*.

149. Y mwynhad o eiddo neillduol. Yr hyn yw cymhellai diwydrwydd, a sylfaen trefn gymdeithasol, a sicrheir trwy gyfraith gyffredin y wlad, a thrwy gyfryngiad rheithwyr; y rhai ydynt yn penderfynu mewn amgylchiadau o hawl neillduol, yn gystal ag mewn amgylchiadau o niweid cyhoeddus, neu drosedd.

150. Eiddo a renir yn anghyffro a chyffroedig: eiddo anghyffro sydd yn gynnwysedig mewn tiroedd a'u hychwanegiadau, a thai ac adeiladau eraill; eiddo cyffröedig sydd yn arwyddo da symmudedig, anifeiliaid, a phob peth yn y rhai nid oes gan y daliwr ond lles tymhorol.

151. Eiddo anghyffro a ddelir *mewn hawl unigol*, h. y. gan y person a'i etifeddion am byth: neu fe'i delir *mewn hawl ammodol*, h. y. ganddo ef, a'i blant ei hun, neu ganddo ef, ac wedi hyny i fyned i ryw berson neillduol. Gellir meddiannu etifeddiaethau hefyd *am fywyd*; neu trwy *ammod weithred* ar dilerau pennodol, am nifer o flynyddoedd; neu *wrth ewyllys*, am ardreth flynyddol.

152. Tŷ yr Arglwyddi sydd yn cynnwys y *Tywysogion* o'r gwaed brenhinol; y *Duciaid*, yr *Ardalyddion*, *Ieirll*, *Is-ieirll*, a *Brewyr* (Barons). Yr arwyddion cyhoeddus o'u graddau, a'r rhai maent yn eu dwyn ar eu cerbydau a'u seliau, ydynt gynnwysedig yn eu coronau gwahanredol. Y graddau eraill ydynt y *Barwnigau*, *Brewyr-farchogion*, (Baronets) yn cael eu gwahaniaethu â llaw waedlyd; yn chwarthoriedig yn yr arfau, *Marchogion*, yn wahaniaethedig wrth eu helmau; *Yswaenyddion*, trwy gread, neu swydd; a *Boneddwyr*, a chanddynt £300 yn flynyddol o eiddo anghyffro.

152. Penau Eglwys Loegr ydynt yn cynnrychioli y sefydliad hwnw yn Nhŷ yr Arglwyddi; ac ydynt yn gynnwysedig o *Archesgobion* Caergaint a *York*, a *phedwar-ar-hugain* o Esgobion Seisnig, a *phedwar* Gwyddelig. Urddasolion eraill yr eglwys ydynt y *Deoniaid*, neu gynnorthwywyr i'r Esgobion. *Arch Deoniaid*, neu Esgobion Is-raddol. *Deoniaid Gwladol*, y rhai ydynt yn arolygu dros ran o'r esgobaeth. *Rectoriaid* a *Ficeriaid* Plwyfau, yn ol fel y maent yn derbyn y degymau mawrion a bychain. A'r *Curadiaid*, y rhai ydynt yn derbyn cyflog am wneuthur y swydd eglwysig, neu offeiriadol.

154. Y deuddeg Barnwyr ydynt yn eistedd yn achlysurol yn Nhŷ yr Arglwyddi, ond nid ydynt yn pleid-leisio. Yn y gyfraith mae hefyd *Gofiaduron*, neu Farnwyr bwrdeisdrefydd; *Cyfreithwyr uch-raddol*; (*Sergeants at Law*); *Bar-gyfreithwyr*, neu *Gynghorwyr*; *Dadleuwyr*, (Erfynwyr, *Solicitors*), a *Dirprwy-gyfreithwyr*.

Y *Dirprwy-gyfreithiwr* a'r *Dadleuwr-cyffredin* ydynt Bar-gyfreithwyr, y rhai ydynt yn dadleu yn holl orchwylion cyfreithiawl y Goron.

155. *Siryddion* ydynt swyddogion, y rhai ydynt raglawiaid gweithrediadol y Brenin yn eu gwlad; maent yn gweinyddu pob ysgrifenadau a chynghawseddau; cadw y carcharau; enwi a gwysio rheithwyr; a rhoddi dedfrydau y gyfraith mewn gweithrediad.

*Coroners*, ydynt swyddogion pennodedig i ymholi i achosion marwolaethau disyfyd.

*Ynadon heddwch* ydynt yn gwrando achwyniadau, traddodi troseddwyr i brawf, i garchar cyffredin y sirydd; ac yn esmwytháu llawer o gwynion.

*Maerod* (swyddogion) *bwrdeisdrefydd*, (Head-boroughs) ydynt Heddgeidwaid Cantrefydd; ac Is-heddgeidwaid ydynt yn gweithredu gwarantau yr Ynadon.

Syl. Brenhinoedd Lloegr, fel attaliad ar alluoedd yr hen Frëwyr a pherchenogion mawrion y tiroedd, a ganiatasant fraint-ysgrifiau i drefydd, yr hyn a roddodd iddynt ragorfreintiau neillduol, ac awdurdod i weinyddu y cyfreithiau o fewn eu hamgylchoedd. Y freintlen ydoedd yn enwi y fwrdeisdref gyntaf, ac weithiau yn rhoddi y gallu i gyflenwi y gwag leoedd i'r bobl, a phrydiau eraill, yn gadael y gallu hwn i aelodau arosol y fwrdeisiaeth, (dref). Y rhai cyntaf a elwir bwrdeisdrefydd *agored*, a'r olaf *cauedig*; ond fel yn y cyntaf mae'r bobl yn dewis dynion am eu talentau, ac yn yr olaf maent yn cael eu dewis am eu hystwythder a'u gwaseidd-dra i'r aelodau arosol, felly bwrdeisdrefydd cauedig ydynt wedi dirywio mewn dealltwriaeth yn mhell islaw prawf-reol y wladwriaeth. Yr un egwyddor ddirywiedig sydd yn gweithredu ymhob cyrph neu gymdeithasau y rhai ydynt yn cyflenwi eu gwagleoedd eu hunain. Ond y mae cyfraith newydd am well trefn yn awr.

(I'w barhau.)

## Hanesiaeth Cenhadol.

### YR INDIA DDWYREINIOL.

*Aberthu plant yn Goomsur.*

Mae y ddau Genhadwr Mr. Gordon a Mr. Potter yn ysgrifenu yn eu llythyr, dyddiedig yn Mis Awst diweddaf, o'r India Ddwyreiniol, at Olygwyr y Gymdeithas Genhadol, mewn perthynas i'r wlad hon Goomsur, a'i thrigolion tywyll, anwar, a chreulon, y rhai

a elwir Khroonds, gan alw eu sulw ar y genedl, i'r dyben o gynnyg anfon Cenhadon i'w mysg. Dywedant am danynt fel hyn:—

'Y rhyfel ddiweddar yngwlad Goomsur, (yr hon sy'n gorwedd ynghylch dau gan milldir oddiyma,) a drodd yn offerynol i agoryd drws i fyned i mewn i faes helaeth o lafur Cenhadol, yr hwn yr ydym yn obeithio a ddefnyddia y Golygwyr yn ddioed. Y genedl a elwir y Khroonds ydynt yn cyfanneddu y rhan fynyddig o'r wlad hono. Mae yn ymddangos i ni eu bod yn hollol wahanol o ran eu harferion a'u crefydd oddiwrth y bobl sydd yn preswylio y gwastadedd. Nid oes yn eu plith y rhwymau llwythawl, a elwir y *caste*, nac ychwaith yr un o arferion arbenig yr Hindooaid. Maent yn farbaraidd ac yn anwâr; ac mae eu coelgrefydd yn nodedig o waedlyd: maent yn offrymu aberthau dynol, ac yn cyssegru gwaed yr aberthau lladdedig i'w duwies, y ddaear, *Ceres*.

Mae ymhlith y bobl hyn urdd o offeiriaid, y rhai ni pherchir gymmaint ganddynt ag y perchir y Brahmins gan yr Hindooaid. Mewn perthynas i'w harferion gwaedlyd, yr hanes canlynol a godwyd allan o llythyr yr hwn a ymddangosodd yn ddiweddar yn un o bapurau newyddion Madras:—

Mae yn amlwg yn awr fod y Khroonds yn arfer aberthu plant bob blwyddyn ar amser hau, yn y modd creulonaf, i'r dyben o gymmodi yr ysbryd drwg, yr hwn y maent yn ei addoli, ac i sicrhau, fel y maent hwy yn dychymygu, cynhauaf ffrwythlawn, drwy rinwedd gwaed yr aberth.

Yn mis Ionawr. sef ychydig cyn amser plannu prysgwydd *turmeric*, y mae y genedl yn gwneud cyflawniad o'u haberth gwaedlyd fel y crybwyllwyd. Hwy a ddewisant yn aberth blant gwrryw, y rhai a neillduir o'u mabandod i'r dyben hwn, ac a werthir i'r penaethiaid, y rhai a elwir Kunwariaid, perthynol i'r amrywiol bentrefydd. Pan fyddo y tir yn barod i'w hau a'i blannu, y bachgen a ddygir ymlaen i'r maes, wedi ei rwymo mewn *bamboos*, er diogelwch. Yna mae yr Amaethwyr tir yn ymgyfarfod yn y lle, ac ar funud pennodol, y maent yn dechreu haccio corph y plentyn druan, â'u cyllill; ac mae pob un yn torri ymaith ddarn o'i gnawd ef mor gyflym ag y gallant, ac yn rhedeg â'u holl egni gyda'r darn i'r maes y maent yn dychymygu fod eisiau aberthu drosto er peri cynnydd i'w gnwd ef.

Y gwaed, yn yr hwn y mae y Khroons yn dychymygu fod y rhinwedd, a wasgant â'u llaw i ddyferu o'r darn cnawd ar y ddaear, a'r cnawd, tra y bo heb gwbl oeri, a gladdant yn yr un maes. Wrth dorri darnau o gnawd y bachgen, y maent yn cymmeryd gofal mawr rhag torri dim yn rhy agos i'w ranau bywiol ef, rhag iddo gael ei ladd yn rhy fuan; canys y maent yn credu os bydd y plentyn farw cyn dyferu o'i waed ef ar y maes, y bydd y rhinwedd wedi colli o hono, a'r aberth yn ofer.

Wrth i'r Ewropëaid ymresymu â'r Khroons am greulondeb yr arferiad felldigedig ac annaturiol hon, eu hatteb fydd, 'Beth a wnawn ni, canys oni wnawn hyn, ni chawn ni ddim cnwd ar y maesydd?'

'Ddoe,' eb yr ysgrifenydd, 'darfu i Swyddogion milwraidd Madras achub pump ar hugain o fechgyn, y rhai a fwriedid eu haberthu yn y dull hwn gan y Khroons, ac a'u dygasant hwynt i'r wersyllfa filwraidd; ac fe anfonwyd mintai o filwyr allan neithiwr i achub ychwaneg o'r creaduriaid diniwed hyn allan o'u dwylaw gwaedlyd hwynt.'

Mae Mr. Gordon a Potter yn ychwanegu, gan ddywedyd, fod pedwar arddeg o'r bechgyn a waredwyd o ddwylaw y Khroons, gan Swyddogion milwraidd Madras, hyd yn nod ar ol eu rhwymo i'w haberthu, wedi eu dodi dan ofal Swyddog y Cyllid yn Ganjam. Mae yn ddrwg genym hysbysu fod y Swyddog hwnw yn awr wedi marw. Ond fe fydd i'r bechgyn yn awr gael eu rhoddi dan ofal Cyfreithiwr duwiol sydd yn preswylio yn Chicacole. Cyn gynted ag y del y Cenhadau i Chicacole, fe fydd i'r Cyfreithiwr drosglwyddo y bechgyn i'w gofal hwynt. Fe fydd i hyfforddiant y bechgen hyn yn egwyddorion y grefydd Gristionogol dan olygiad y Cenhadau, fod yn offerynol i osod sail i daeniad gwybodaeth o'r Efengyl ymysg y genedl dywyll ac ofergoelus hon, cyflwr a sefyllfa gresynus pa rai sydd yn y dyddiau hyn yn cael eu dwyn dan olygiad y Cymdeithasau Cenhadol.

'Yr ydym yn gobeithio,' medd y brodyr hyn, 'na fydd i'r Golygwyr oedi yn hir, heb benderfynu anfon Cenhadau at y Khroons, i gyhoeddi ymhlith y bobl ddeillion a llygredig hyn,anchwiliadwy olud yr Hwn sydd Arglwydd ar y cynhauaf, nefoedd a daear, ac ar yr Hwn y mae holl feibion dynion yn hollol ymddibynu am y bara a dderfydd, ac am y bara a bery i fywyd tragywyddol'

## Hysbysiadau Crefyddol.

### CYMDEITHASFA FLYNYDDOL MANCHESTER.

Ar y 12, 13, 14, 15. o Ebrill, Cynnaliodd y Trefnyddion Calfinaidd eu Cymanfa flynyddol yn Manchester, y gyntaf ar ol y newid a ganiatawyd i ni gan ein brodyr, yn Nghymanfa y Bala. Mae'r agwedd oedd ar ein Cymanfa eleni yn brawf fod y newidiad er gwell. Dangoswyd ffyddlondeb mawr gan laweroedd y tro hwn etto; gwnaeth amryw uwchlaw eu gallu, a diameu genyf iddynt gael eu had-dalu cyn diwedd y Cyfarfod. yr oedd y cynnulleidfaoedd yn lliosog, y pregethau yn wlithog, a'r Cyfarfod neillduol yn adeiladol. Rhoddwyd cyflawn dderbyniad i'r brawd ieuanc Mr. Thomas

Charles Evans, (mab y diweddar Barch. Evan Evans, Cenhadwr yn Affrica) i bregethu yn ol yr alwad a fydd am dano.

Dygwyd y rhanau cyhoeddus o'r gwaith ymlaen, gan y Parchedigion John Elias, J. Hughes o Sir Drefaldwyn, Henry Rees, W. Jones, Rhuddlan, Moses Parry, Dinbych, J. Edwards, Berthen Gron, Rich. Humphreys, Dyffryn, Roger Edwards, Wyddgrug, John Roberts, Liverpool, Joseph Williams, Caer, a John Foulkes, Abergele. Disgwyl yr wyf yr enfyn rhai o'm brodyr hanes cyflawn i chwi erbyn eich Rhifyn nesaf; sef, y testynau, manau, &c. a phregethau y brodyr uchod. Yr wyf yn bwriadu cyn hir anfon i chwi hanes fer am y brodyr anwyl, a ffyddlon, a gollasom yn ddiweddar; sef Evan Jones, Robert Roberts, T. Hughes, a John Jones, pedwar henadur iachus a chryf eu barn, sanctaidd a duwiol eu hymarweddiad, gweithgar, a diflino, yn eu swydd. Nid ymhelaethaf. Hoffwr llwyddiant y Drysorfa, W. WILLIAMS.

---

## YSGOLION CYMRAEG YN Y FLWYDDYN 1751.

### *Cyfarchiad y Parch. Griffith Jones at y Tanysgrifwyr.*

(Parhad tu dalen 124.)

'Pan mae Cristionogion yn gweithredu tuag at ddedwyddwch y tlodion, y maent ar yr un pryd yn cynnyddu eu dedwyddwch eu hunain. Mae dedwyddwch y rhoddwyr a dedwyddwch y derbynwyr yn cydfyned. Mor ryfeddol yw trefn Duw, fel y mae ein dyledswydd a'n dedwyddwch wedi eu cylymu ynghyd, fel y mae yn rhaid i holl ddynolryw weithredu tuag at ddedwyddwch eu gilydd, os gwir ddymunant eu dedwyddwch eu hunain.

*Cyffredinol ewyllys da i ddynion yw gwir ysbryd duwioldeb, yr hyn y mae pob gwir gristion yn ymestyn atto, ac yn cynnyddu ynddo, yn ol y graddau y maent yn cynnyddu mewn gwir grefydd.* Canys nid oes dim ond gwir grefydd a enyn ynom barhaus awyddfryd o ewyllys da a haelioni cyffredinol tuag at bawb o'n hamgylch.

Bydd yr ysbryd hwn yn wastad yn ymroddi i chwilio am gyfleusderau i gyflawni swyddau cyfeillgar o frawdgarwch a charedigrwydd cristionogol; ond yn fwyaf neillduol caredigrwydd tuag at y gwrthrychau mwyaf angenus am dosturi Cristionogol. Canys fe ddywed yr Apostol mai 'diwedd y gorchymyn yw cariad: cwblhad o'n holl ddyledswyddau ydyw, crynodd o'r holl orchymynion wedi eu casglu ynghyd yn un, yr hyn gan hyny a ddylai fod yn ddyben ac amcan ein holl hyfforddiadau. Ac megis y dywed yr Apostol mewn lle arall, 'Cyflawnder y gyfraith yw cariad.'* Ac yn wir dyma yr hyn y mae ein Iachawdwr yn ei orchymyn, ac yn ei wasgu attom yn fwy na dim arall, drwy annogaethau taerion, a'i esiampl ei hun hefyd, yr hwn oedd yn berffaith gynllun o hono. Canys pan oedd yma yn y byd yn gwisgo dynoliaeth, efe a alarodd ac a wylodd dros ei greaduriaid truenus; ac oherwydd ei fawr gariad yr ymddarostyngodd efe i gymmeryd arno waith mawr y prynedigaeth i'n gwaredu o'n dirfawr drueni.

Nyni a ddylem gofio mai i'r dyben o elusengarwch yn benaf y mae cyfoeth yn cael ei roddi i ni. Onid rhoddion y nef, a thrugareddau, neu *elusen* oddiwrth Dduw yw cyfoeth, yn cael eu cyfranu i ni fel y byddo i ni ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, ac 'anrhydeddu yr Arglwydd â'n cyfoeth, ac â'r peth penaf o'n holl ffrwyth,' drwy eu defnyddio, heblaw yr hyn sydd yn angenrheidiol at ein cynnaliaeth ni a'n teulu, er cyflawni angenion rhai ereill? I ba beth arall y mae cyfoeth yn dda? Canys y mae'r amser yn nesâu pan y bydd i'r cyfoethog er ei fawr dristwch weled mai gwagedd ydyw cyfoeth. A ddichon i gyfoeth y cyfoethog weinyddu cysur iddo yn ei ofid, neu bwrcasu iddo un munudyn o seibiant yn angau, neu weinyddu iddo un gradd o gysur neu ddiddanwch ar fin y bedd? Rhaid iddo y pryd hwnw, er ei holl gyfoeth syrthio yn ysglyfaeth i frenin y dychryniadau, yr hwn a'i diosg ef o'i holl gyfoeth gwag, ac a'i gedy yn noeth i fyned allan o'r byd, yr un modd ag y ganwyd ef iddo. Yna fe wel mai gwir yw, mai 'haws yw i gamel fyned drwy grai y nodwydd ddur, nag i wr goludog fyned i mewn i deyrnas Dduw.' Mae yn beth nodedig i sylwi arno, nad oes dim son am ddim pechodau yn perthyn i'r annuwiolion yn nedfryd y farn ddiweddaf yn Matth. xxv. 41—46. ond eu annhrugarogrwydd, yr hyn a osodir allan megis swm yr holl anwireddau ereill, ac yn eu cauad allan o bob hawl i ffafr Duw a bywyd tragywyddol.

Mae yn ddiameu fod cyfoeth, os na iawn ddefnyddir ef, nid yn unig yn wegi, ond yn llawn o berygl marwol, ac felly yn dra niweidiol, fel y mae ein Difinyddion goreu yn ysgrifenu yn eu hesboniadau, fel y dywed un:—'Mae cyfoeth yn beryglus *yn y casgliad o hono*, pan y meddiannir ef drwy anghyfiawnder a thwyll, neu drwy orthrymder a chrib-ddeiliad, neu oddiar awydd gormodol, a gofal anghymedrol, ag fyddo yn tynu ein serchiadau oddiwrth Dduw ar ei ol. Mae hefyd yn beryglus wrth *ei feddiannu*, pan y pentyrir ef i fynu mewn cybydd-dod. Ac mae yn beryglus *yn y defnyddiad o hono*, pan y'i gwerir ef mewn afradlonrwydd, mewn difyrwch gwag a dyfeisiadau diles, neu pan dreilier i borthi balchder a diogi, a gloddest ac afrad. Mae pob dyn cyfoethog yn agored i'r naill neu'r llall o'r peryglon hyn, os nad yw efe yn treulio cyfran addas o'i gyfoeth mewn elusengarwch.'

Mae pob dyn cyfoethog duwiol yn barod i gyfaddef fod eu cyfoeth wedi ei roddi yn

eu dwylaw i wneud lles âg ef; ac er hyny nid eu lles eu hunain yn unig, ond i'w galluogi hwynt 'i gyfranu i'r hwn y mae angen arno,' ac i'w gwneud hwynt yn offerynau dedwydd o weinyddu trugaredd i'r adfydus, a'r tlawd. Fel hyn mae yn rhyngu bodd Duw i'w gwneuthur hwynt fel gwyr haelionus, yn offerynau i drosglwyddo ei drugareddau yn y fath fodd ag y byddont yn ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, pan ar yr un pryd y diwellir ac y donir y rhai angenus. Pan feddyliont am ddaioni Duw, a'i aml drugareddau tuag attynt, pan fyfyriont ar rad gariad y Gwaredwr, ac annhraethadwy gyfoeth ei ras ef, oni lenwir hwynt a dymuniad diffuant ac awyddus am attalu yn ol hyd eithaf eu gallu, mewn ffrwythlondeb ac ufudd-dod? Oni fydd iddynt deimlo cymmaint o ddiolchgarwch yn eu mynwesau, fel nad allant ymattal rhag ymofyn gyda'r Psalmydd duwiol, 'Beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi?'

(I'w barhau.)

### TEITHIAU SABBATHOL MON.

1 Llangoed, a Beaumaris.
2 Llanddona, Beraciah, Borthaethwy.
3 Pen y garnedd, a Nazareth.
4 Tabernacl, Llanallgo, a Glashinfryn.
5 Park, Ty mawr, Gosen.
6 Carmel, a Llannerchmedd.
7 Gorslwyd, Nebo, Siloh.
8 Burwen, ac Amlwch
9 Moriah, Bethesda, Siloam.
10 Bethlehem, Ysgoldy Mynydd Mechell, Llanrhuddlad.
11 Elim, Ty'n y maen, Llanfwrog.
12 Tabor, Caergeiliog, Bodedern.
13 Rhos Colyn, Caergybi.
14 Hebron, Sion, Gwalchmai.
15 Rhos Neigr, Bryn du, Aberffraw.
16 Bethel, Llangristiolus, Cana.
17 Talwrn, Llangefni
18 Gilead, Gaerwen.
19 Bethania, Niwbwrch, Dwyran.
20 Brynsiencyn, Llanfair.

*Llangefni* THOMAS OWEN.

### HANES CYFARFOD BLYNYDDOL YSGOLION SABBATHOL.

*Y Trefnyddion Calvinaidd yn Sir Aberteifi,*
Am y Flwyddyn 1837.

Cynhaliwyd ein cyfarfod blynyddol am y flwyddyn ddiweddaf yn Penllwyn, ger Aberystwyth, ar y dydd Iau, Mawrth 1. 1838. Am 9 o'r gloch y boreu, dechreuwyd y Cyfarfod Athrawon trwy fawl a gweddi. Yna galwyd am y Cyfrifon gan Ysgrifenyddion y Dospeirth i Ysgrifenydd y Sir; a chafwyd fod cynnydd yn y flwyddyn ddiweddaf ar y flwyddyn o'r blaen yn y pethau canlynol:

Ysgolion, 1—Athrawon, 18—Plant, 168—Pennodau, 14361—Egwyddorion, 515—Pyngciau, 17.

Cyfanswm y cyfrifon am y flwyddyn ddiweddaf oeddynt fel y canlyn:—

Dosparth, 7—Ysgolion, 55—Athrawon, 1866—Plant, 12339—Pennodau o'r Bibl a adroddwyd, 223345—Egwyddorion, 9458—Pyngciau, 355—Rhodd Mam, 13505.

Yna galwyd ar y Parchedig Daniel Evans Capel Drindod a Mr. Lewis Edwards, Pwllcenawon, i edrych Llyfrau yr Ysgrifenyddion, a chafwyd eu bod yn eu cadw yn lân ac yn rheolaidd. Yna penderfynwyd ar yr hyn a ganlyn:—

1. Penderfynwyd i annog pob Athraw ac Athrawes i fod yn feddiannol ar Lyfr y Parch. W. Roberts, Clynog; a Llyfr y Parch. Ebenezer Richards, Tregaron; i fod yn rheolau, ac hyfforddiadau, i Athrawon, ac Ysgolion.

2. Penderfynwyd y dylai pob Ysgol i ymwroli i gael ychydig Lyfrgell, megis y Geiriadur Ysgrythyrol, a rhyw Esboniadau da eraill, i'r dyben i droi attynt yn union am oleuni ar ryw beth a fyddo yn ymddangos yn dywyll.

3. Penderfynwyd, na bydd i neb gael ei ddewis i fod yn Athraw o hyn allan, heb fod yn ddirwestwr, ond y dylid ymdrechu goddef y rhai sydd yn Athrawon yn barod; a phob un a doro ei ardystiad a droir o'i swydd. A chadarnhawyd y penderfyniadau uchod drwy gyfodi dwylaw heb na digter na dadl.

Am 11 o'r gloch, dechreuwyd y cyfarfod cyhoeddus gan y Parch. David Jenkins, Llanilar. Yna cynnygiodd un o Flaenoriaid y lle, ar fod i Mr. Matthews, (yr henaf) o Aberystwyth, i fod yn Gadeiriwr, a chefnogwyd hyny gan y Parch. Edward Jones. Ac wedi i'r Cadeiriwr i ddywedyd ychydig am natur a dyben y Cyfarfod, galwodd ar Mr. James Davies, Penymorfa, i ddywedyd, pa ddaioni yn neillduol a ddisgwylir i'r ieuengctyd i gael trwy'r Ysgol Sabbathol? Mr. Evan Jones, Llangeitho, A ydyw y daioni hwnw a ellid ddisgwyl, i ei weled yn effeithiol ar ddeiliaid yr Ysgol Sabbathol? Mr. John Jones, Penymorfa, Pa beth, neu bethau sydd yn achosi, nad yw daioni yr Ysgol Sabbathol, mor amlwg a chyffredinol ag y byddai yn ddymunol iddo fod ar drigolion y wlad. Mr Abel Green, Aberauron, Pa beryglon neillduol mae y genedl ieuangc, ac eraill, yn agored iddynt, trwy ymwneud a gair Duw mewn ysgafnder a chellwair. Y Parch. John Jones, Llanbedr, Am yr angenrheidrwydd i'r Ysgolion Sabbathol i bleidio (â'u holl egni), y sefydliad dirwestol yn y wlad. Y Parch. Jenkin Davies, Mor ddymunol, ac angenrheidiol yw dechreu dysgu plant yn ieuangc, &c. 'Y boreu hau dy had.' Y Parch. Daniel Evans, Fod pob moddion a llafur yn ymddibynu yn hollol ar fendith Duw, tuag at atteb y dyben. Yna terfynwyd trwy weddi gan y Parch.

Jenkin Davies. Yr ydoedd yr holl areithiau yn hynod o effro a bywiog. Yr eiddoch,
*Lletty John, Ebrill* 2, 1838. B. Evans.

### SIROEDD GWYNEDD.

**Cofrestrau o Enwau a Chartrefleoedd Gweinidogion a Phregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd, perthynol i Gyfarfodydd Misol pob Sir yn Ngogledd Cymru; sef y rhai a fuont feirw dan eu coron, ac a aethant i orphwysfa; a'r rhai sydd yn awr yn fyw.**

Dodwn hwynt i lawr yma yn ol y drefn y daethant i law.

| Siroedd Gwynedd. | Y Gweinidogion a fuont feirw. | Y Gweinidogion sydd yn fyw. | Y Pregethwyr a fuont feirw. | Y Pregethwyr sydd yn fyw. | Nifer y Capelydd. | Y Teithiau Sabbathol. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Dinbych | 2 | 7 | 17 | 18 | 49 | 20 |
| Fflint | 3 | 7 | 19 | 22 | 60 | 26 |
| Meirion. | 5 | 7 | 17 | 32 | 74 | 26 |
| Caernarfon | 2 | 9 | 39 | 31 | 72 | 28 |
| Mon | 1 | 7 | 15 | 19 | 45 | 20 |
| Trefald. | 2 | 9 | 19 | 32 | 65 | 34 |
| Llundain | 1 | 2 | 0 | 1 | 3 | 0 |
| Liverpool | 1 | 2 | 1 | 2 | 4 | 0 |
| Caer | 0 | 1 | 1 | 2 | 2 | 0 |
| Manchester | 0 | 0 | 0 | 3 | 3 | 0 |
| Amwythig | 0 | 0 | 0 | 0 | 1 | 0 |
| Dublin | 0 | 1 | 0 | 0 | 1 | 0 |
| Holl Wynedd | 17 | 52 | 128 | 162 | 379 | 154 |

Gwel y darllenydd yr amser yr ysgrifenwyd, a'r manau o'r lle y codwyd yr hanesion uchod, trwy gyfeirio yn ol y cyfarwyddyd hwn:—Sir Ddinbych Rhif. 26. tu dal. 23 Rhif. 64. tu dal. 123. a Rhif. 65. tu dal. 154. Sir Fflint, Rhif. 59. tu dal. 347 a Rhif. 61. tu dal. 13. Sir Feirionydd, Rhif. 68. tu dal. 251. a Rhif. 72. tu dal. 370. Sir Gaernarfon, Rhif. 76. tu dal. 118. Rhif. 77. tu dal. 152, a Rhif. 85. tu dal. 25. Sir Fon, Rhif. 75. tu dal. 84. Rhif. 77. tu dal. 152. a Rhif. 89. tu dal. 154.

### CENHADAETH MOR Y DE.

Dydd mercher, Ebrill 18, y Parch. J. Williams, y Cenhadwr enwog a llafurus, yr hwn a fu amryw flynyddoedd yn llwyddianus gyhoeddi Efengyl Crist, ac yn taenu ar led y grefydd Gristionogol yn Ynysoedd Môr y De, a ganodd yn iach i'w liosog gyfeillion yn Mrydain, gan gychwyn hwylio i'w fordaith faith i chwilio am ynysoedd anghysbell ac anhysbys yn y Môr pellenig hwnw, i'r dyben o ddefnyddio moddion at oleuo y trigolion paganaidd a thywyll a breswyliant ynddynt.

Mae amryw o'n darllenwyr yn awr yn hysbys o'r Cenhadwr rhagorol hwn, drwy ein bod wedi crybwyll am dano yn ein Rhifynau blaenorol. Dyma y gwr a gafodd allan Ynys yn y Môr Tawelog, na wybu neb o Ewrop am dani erioed o'r blaen, a'r hon ni welwyd o'r blaen mewn un Darlun a wnaethpwyd yn y byd. Efe a fu yn offerynol o gyhoeddi y newyddion da am Geidwad pechaduriaid i'r trigolion. Wedi dychwelyd o faes ei lafur i ymweled a Brydain, ac wedi iddo ymddangos mewn llawer iawn o gyfarfodydd cenhadol yma a thraw ar hyd y wlad, a dangos mewn areithiau pwysfawr a phriodol pa weithredoedd mawrion y mae Duw yn eu cyflawni yn ffordd ei ras ymhlith y cenhedloedd paganaidd, a bod llawer iawn yn chwaneg i'w wneud; y mae efe yn awr ar y cefnfor yn dychwelyd at ei orchwyl hyfryd a phwysig.

Efe a ofynodd yn ostyngedig i Lywodraeth Brydain, a fyddent cystal a rhoi Llong iddo i'r dyben o gludo y Bibl a'r Efengyl i blith Ynysoedd Môr y Dê, ac o sefydlu tramwyad a masnach â'r trigolion. Ond nis gallent hwy wneud hyny i un blaid mwy na'u gilydd. Wedi hyny efe a'i frodyr crefyddol a benderfynasant brynu llong drwy dansgrifiadau a rhoddion gwyr cyfoethog a haelionus, ac efe a lwyddodd i gael ei ewyllys yn gyflawn i ben: fe bwrcaswyd y llong, ac ar fwrdd hono y mae efe wedi hwylio i'r cefnfor mawr.

Rhoddodd Iarll Fitzwilliam £300, tuag at y llong hon; a'r Duc Devonshire £150. Rhoddodd Corphoraeth Dinas Llundain £500, ynghyd a boneddigion ereill lawer iawn: rhoisant yn haelionus ryfeddol. Rhoddwyd ar y Llyngeswr Pirie i brynu llong addas; yntau a brynodd Long o'r enw Camden, yr hon a fuasai gynt yn Dramwy-long y Llywodraeth; ac y mae hi mewn cyflwr rhagorol o dda. Cafwyd benthyg Agerddlong fawr o'r enw City of Canterbury, i anfon y Cenhadwr Mr. Williams, ac amryw o Genhadwyr ereill gydag ef i'r llong, ac fe aeth o 400 i 500 o'u cyfeillion i'w hanfon hwynt o Bont Llundain hyd Gravesend lle yr oedd y llong Camden. Yr oedd lliaws aneirif o bobl wedi ymgasglu ar lanau yr afon Thames i edrych arnynt yn cychwyn allan.

Am ddeg o'r gloch ddydd mercher, cychwynodd yr Agerddlong, a chyrhaeddodd y Camden yn Gravesend erbyn hanner awr wedi un ar gloch. Ar eu cychwyniad o ymyl pont Llundain yr holl filoedd pobl a roisant floedd fawr nes oedd glanau yr afon yn dadseinio gan faint ei rym. Yna aeth Mr. Williams a'i frodyr Cenhado', a'u gwragedd a'u plant, ar fwrdd y Camden yn Gravesend. Ac aeth Dr. Read i weddi dros y Cenhadau, a rhoddodd allan Emyn addas i'w chanu ar yr achlysur.

Wedi hyny cododd y Camden ei hwyliau mawrion i fynu i'r gwynt, ac a hwyliodd

tua'r Nore. Aeth yr Agerddlong a'r holl bobl ar ei bwrdd hi i'w danfon am amryw filldiroedd, hyd dri ar gloch brydnawn, pryd y trodd yn ei hol, a'r holl bobl a roisant dair bloedd fawr wrth ganu yn iach i'r Llong Genhadol a'i llwyth gwerthfawr. Felly cychwynasant gyda gweddi ac ewyllys da miloedd o gristionogion.

---

## GWROLDEB MENYW.

Tua deng mlynedd ar hugain yn ol, yr oedd gwr boneddig o'r enw Webster yn byw ar lethr rhyw fryniau llymion anial yn Swydd Derby, ar derfyn Swydd Gaer Efrog: ac ar ryw achlysur, yr oedd yn rhaid iddo fyned oddi cartref. Yr holl deulu heblaw ei hunan, oeddynt gynnwysedig o un gwas, geneth ieuanc, a'r llances a gadwai y ty. Pan oedd y meistr yn cychwyn oddi cartref, efe a archai yn y modd mwyaf pendant i'r gwas aros yno gyd a'r merched, ac nad âi allan y nos ar un cyfrif, tra fyddai ef oddi cartref; yntau a addawai wneuthur hyny, ac felly y meistr a gychwynodd i'w daith. Pa fodd bynnag yn y nos, y dyn a aeth allan, er holl daerni y llances a'r eneth i'r gwrthwyneb, a chan nad oedd yn dychwelyd, aeth y merched i'r gwely tua'r amser yr arferent.

Ryw bryd yn y nos, ddeffröid hwy gan drwst curo trwm yn y drws; a'r llances a gyfododd i ymofyn pwy oedd yno, a pha beth oedd eu neges. Rhyw un oddi allan a attebai, mai cyfaill i Mr. Webster ydoedd, wedi colli y ffordd, a bod y noson yn wlyb ac ystormus, am hyny ei fod yn crefu cael lle i lechu yno hyd y boreu. Hi a agorodd iddo yn y fan, a gynhyrfodd y tân i gael iddo ymdwymno ac ymsychu, ac a gymerodd ei anifail i'r ystabl; yna hi a ddychwelodd ac a arlwyodd rywbeth iddo i fwyta, o'r hyn y cyfranogodd, ac yna a arweiniwyd i'r ystafell wely.

Wedi hyny hi a ddychwelodd i'r gegin i roddi ei gôt uchaf ef ar daen i sychu, pan sylwai ei bod yn hynod o drom, a rhyw chwilfrydedd a'i cymhellai i edrych ei llogellau, pan y canfyddodd yno ddau law-ddryll llwythog, a'u twcca mawr hwy eu hunain! Wedi canfod hyn, hi a ddechreuodd ddirnad i ba ryw gnaf y rhoisai lety, a pha beth a allai ei neges fod. Ond gan ymwroli hyd y gallai, hi a gymerodd reffyn, ac wedi myned i fynu y grisiau yn ddystaw, a rwymodd ddor yr ystafell lle yr oedd y filain, oreu y gallai. Yna hi a aeth i lawr, ac yn gynhyrfus ei meddwl, y dysgwyliai y canlyniad: ac yn lled fuan, deuai dyn at y ffenestr, a gofynai mewn llais lled isel, ond digon hyglyw, 'A ydych chwi yn barod?'

Yn ei braw arswydlawn, hi a ymaflodd yn un o'r llawddrylliau, a chan ei gyfeirio at ei wynebpryd, hi a daniodd! Swn y llaw-ddryll a ddychrynai y llall oedd i fynu, yr hwn a geisiai ddod allan, ond a attaliwyd yn ei amcan gan ei lleferydd hi, yn dywedyd, 'Y filain, os beiddi di ddyfod allan oddi yna, ti a fyddi yn ddyn marwol yn y fan!' Yna hi a anfonodd yr eneth am gymmhorth, tra y gwarchaeai hithau ddrws yr ystafell, a'r llaw-ddryll yn ei llaw: pan ddaeth cymmhorth yno, cymerwyd yr yspeilydd ysgeler i fynu; ac wrth chwilio oddi allan, caed y gwas, wedi ei saethu yn farw; a'r dyhiryn arall yr hwn a gymerwyd i fynu, yn fuan a gyfarfu a'i haeddiant; a'r llances, yr hon a ymddygasai mor ffyddlawn a gwrol, a wobrwywyd trwy ei huno mewn priodas anrhydeddus â'i meister Mr. Webster.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ y Cyffredin.* Dyg. Syr G. Strickland i mewn gynnygiad am gael Ysgrif yn cynnwys gwelliant ar gyfraith rhyddhad y caethion, drwy roi pen am byth ar y prentisiaeth ar Awst 1, 1838, yn lle aros ac oedi i beri i'r Negroaid gael eu gorthrymu a'u gwasgu a'u ffiangellu am ddwy flynedd ymhellach. Gwnaed areithiau meithion a chynnwysfawr o blaid ac yn erbyn y cynnygiad hwn.

Yna cyfododd Syr George Grey, Is-Ysgrifenydd y Trefedigaethau tramor, ac a dystiolaethodd nad allai gyttuno i roi pen ar y prentisiaeth, oherwydd fe wnaed cyfraith a chyttundeb rhwng y Llywodraeth â Meistriaid y prentisiaid hyn, ar fod iddynt rwymo y Negroaid yn brentisiaid am chwe blynedd; ac os gwnawn ni gyfraith etto i'w gollwng yn rhydd ymhen pedair blynedd yn lle chwech, fe fydd hyny yn dorri ammod. Hefyd, pan wnaed y gyfraith o'r blaen, yr oedd gwasanaeth y prentisiaeth yn cael ei gyfrif yn rhan o'r taliad a roddid i'r Meistriaid am ollwng y caethion yn rhydd ymhen y chwe blynedd. Ac os tynwn ni hyn oddiwrthynt, ni wnawn gyfiawnder â hwynt. Fe ellir gwneud cyfraith etto fel gwelliant ar yr hen, heb ollwng y prentisiaid yn rhyddion, ond gwasgu ar y Meistriaid i gyflawni eu hammodau, ïe eu rhwymo hwy i wneuthur hyny.

Dywedodd Mr. O'Connell na ddylasid talu yr ugain miliwn punnau i'r Planhigyddion, nes gweled eu bod yn cyflawni eu hammodau. Yr ydis yn awr yn gweled ein bod wedi ymddiried gormod i'w ffyddlondeb, a chawsom ein twyllo ganddynt.

Yna cynnygiodd Syr George Grey am gael ail ddarllen Ysgrif y Llywodraeth am welliant ar Gyfraith rhyddhad y Caethion drwy wasgu y Planhigyddion i gyflawni eu hammodau, yn lle gollwng y prentisiaid yn rhydd. Wedi hyny, rhanwyd y Tŷ, a chafwyd,

| | |
|---|---|
| O blaid Ysgrif y llywodraeth .. | 269 |
| Yn erbyn .................... | 205 |
| Mwy o blaid o........ | —64 |

Mae yn debyg iawn na ryddheir y Caethion hyd Awst 1, 1840, pryd y bydd tymhor eu prentisiaeth ar ben; ac wedi hyny rhyddion fyddant.

Wedi hyny ystyriwyd Ysgrif y Llywodraeth am welliant ar gyflwr y prentisiaid, o ddarn i ddarn mewn Eisteddfod. Cynnygiodd Mr. James Stewart ar fod hyn yn cael ei roddi yn y gyfraith newydd, sef fod y prentisiaid yn Ynys Jamaica i gael eu gollwng yn rhydd yn Awst nesaf, am eu bod hwy yn cael eu gorthymu yn fwy yno nag yn un man arall; ond fe wrthwynebwyd hyny hefyd, rhag gwneud terfysg drwy wneud rhagor rhwng y naill fan a'r llall

Yn y Gyfraith newydd hon, y mae gorchymyn caeth ar y Planhigyddion i beidio flangellu y prentisiaid, peidio rhoi gormodedd o galedwaith iddynt, peidio a'u dal at eu gwaith dros ben oriau pennodol; rhoi cwbl fwynhad o orphwysfa y Sabbath iddynt; rhoi bwyd a diod addas iddynt, &c. &c. Hefyd mae ynddi orchymyn i'r Hedd Ynadon ollwng yn rhydd bob un o'r prentisiaid a orthymer gan eu Meistriaid. Ac mae yn cynnwys amddiffyniad i'r Hedd Ynadon rhag cael eu gwobrwyo na'u bygwth, na'u drygu mewn un modd gan y Planhigyddion; ond y mae iddynt gyflawn ryddid ac awdurdod i gyflawni eu swydd bwysig, o edrych na byddo y Negroaid yn cael cam o dan law eu Meistriaid.

*Ty yr Arglwyddi* Ebrill 10. Dyg Arglwydd Glenelg Archiad i mewn oddiwrth berchenogion tiroedd yn Montreal, yn Canada, yn dymuno ar fod Canada uchaf, a Canada isaf yn cael eu huno yn un Dalaeth.

Hysbysodd Arglwydd Wharncliffe y bydd iddo ef, ar ol gwyliau y Pasc ddwyn Ysgrif i mewn am welliant ar gyfraith newydd cynnaliaeth y tlodion.

*Tŷ y Cyffredin.* Darllenwyd Ysgrif y Llywodraeth am welliant ar Gyfraith rhyddhad y Caethion y drydedd waith.

Ebrill 11. Hysbysodd Arglwydd J. Russell y bydd iddo ef ar ol cyfarfod wedi gwyliau y Pasc, ddwyn amryw Ysgrifau i mewn i'r Tŷ. Un fydd cynnyg dwyn Ysgrif i mewn am welliant ar drefn y carcharau, ac am welliant ar garcharu a chospi pobl ieuainc am droseddiadau gwladol. Hefyd ar y 3ydd o Mai efe a ddwg i mewn gynnygiad am ffurfio Eisteddfod pennodol i ystyried Rhwym-weithredoedd Eglwysig; ac y rhydd efe gynnygiad am ddarllen Ysgrif Cyfraith y tlodion yn y Werddon y drydedd waith Ebrill 26; ac y dwg efe ger bron y Tŷ achos y Degwm Gwyddelig ar y 14eg o Mai.

Addawodd Syr Robert Peel y bydd iddo ef ddwyn cynnygiad i mewn am gael Eisteddfod pennodol i ystyried achos Etholiadau amheus ar 26ain o Mai.

Yna Gohiriwyd y Senedd am wyliau y Pasc, a phenderfynwyd cyfarfod drachefn ar y 25 o'r mis hwn, Ebrill.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Ebrill 11. Rhoddwyd cydsynied Brenhinol i amryw Gyfreithiau newyddion; sef Cyfraith Diwygiad Cyfraith rhyddhad y Caethion—Cyfraith terfysg—Cyfraith terfysg Morawl—Cyfraith estyniad ffordd haiarn Llundain a Greenwich—Cyfraith angorfa Exmouth, &c. &c. Y Dirprwywyr oeddynt Arg. Ganghellwr, Iarll Shaftsbury, ac Arg. Glenelg.

Yna Gohiriwyd y Senedd dros wyliau y Pasc, hyd y 27 o'r mis, pryd y cyfarfyddant drachefn.

*Pla yn America.*—Torodd pla angeuol allan yn America, o'r un natur, meddant, a'r 'Pla Du,' yr hwn a laddodd filoedd lawer yn Lloegr ac Ewrop er's pump neu chwe chanrif yn ol. Y manau y torodd y pla hwn allan ynddynt yw y tueddau gorllewinol a de orllewinol y Taleithiau Cyfunol. Hyd yn hyn nid yw wedi ymaflyd yn neb ond yr Indiaid. Ymeifl yn y pen a'r lwynau yn dra sydyn, a chyda phoen ddirfawr; ac ymhen oddeutu dwy awr bydd y claf yn gorph. Y corph wedi hyny a chwydda yn fawr, ac a dry yn ddu. Gellir ffurfio rhyw ddrych-feddwl gwan o erchylldod y dinystr a wneir gan y pla hwn oddiwrth yr hanes, fod uwchlaw 30,000 o drigolion y Prairies (gwastadoedd gwelltog breision), wedi meirw o fewn ychydig wythnosau. O 1600 o'r Mandaniaid (llwyth tra ardderchog) nid oes yn fyw ond 35 yn unig. Bu farw hefyd o'r Assineboiniaid, 10,600 o wyr; a chyrph pydredig, o amgylch pa rai y chwery y gigfran waedlyd a'r eryr ysglyfaethus, ydynt yn awr yn arwyddion galarus o'r coedwigoedd Indiaidd a'u trefydd. A'r genedl ardderchog a ddesgrifir gan Irving yn ei '*Astoria*,' a'i '*Rocky Mountain*,' sydd wedi dioddef yn ddychrynllyd; ac ychwaneg nag un o'r llwythau bychain a wysiwyd oll, gwr, gwraig, a phlentyn, i ymddangos o flaen y 'Manitoulin,' neu yr 'Ysbryd Mawr,' fel y geilw yr Indiaid y Bod Goruchaf. Barna rhai i'r pla hwn hanu o'r frechwen, ym mysg y marsiandwyr, ac i hwn droi ym mhlith yr Indiaid yn 'Bla Du.'

*Marwolaeth Buwch trwy Feddwdod.*—Yn ystod yr wythnos gyntaf yn Ebrill, gadawodd Mr. Castle, amaethwr yn Northbone, rhyw gymmaint o ddiod feddwol ag oedd ganddo mewn tŷ allan cyfagos. Pan aeth y gwartheg o'r fuches, troes un fuwch ato, ac yfodd lawer o hono, nes y bu iddi fyned yn glaf iawn: anfonwyd am y meddyg anifeiliaid yno gyda brys, yr hwn a roddes iddi bob cynnorthwy a allai, ond yn gwbl aneffeithiol; o herwydd bu farw yr anifail druan cyn pen ychydig o oriau. Ha feddwon! pa hyd y glynwch wrth y diodydd *angeuol* ag sydd mor amlwg yn lladd.—*Kentish Chronicle.*

*Damwain Angeuol.*—Ar ddydd Iau, Ebrill 12, fel yr oedd Daniel M'Harvey tânwr un o agerdd-gerbydau cledr ffordd Llynlleifiad

a Manchester, yn llamu o'r cerbyd pan oedd yn cyflym redeg syrthiodd ar y llawr, ac aeth yr olwynion dros ei fraich a'i goes yn y fan. Cyfodwyd ef i fynu, a chariwyd ef i'r Ysbyty, lle bu farw yn mhen chwarter awr wedi ei ddyfodiad iddi.

*Tân dinystriol yn Rochdale.*—O herwydd enyniad disymwth yn un o beiriannau *Factory* eang yn Rochdale, eiddo Mr. Jacob Bright, cymmerodd yr holl adeilad dân, a dinystriwyd y peiriant newydd costfawr oedd ynddi a'r holl eiddo mewn ychydig amser. Yr oedd yr adeilad yn 57 o latheni o hyd, ac 20 llath o led; ac yn 5 uchder lloft, ac yn awr y mae yn gorwedd yn garnedd.

---

AGERDD LONG FAWR Y GORLLEWIN.

Dyma yr Agerdd-long fwyaf, a'r harddaf fu erioed yn y byd. Mae hi newydd ei hadeiladu, i'r dyben o groesi y Mor mawr Gorllewinol, rhwng Brydain a New York yn America. Mae hi yn anferthol ei maint. Mae hi yn ol ei mesur, i gludo 1340 o dunnelli; ei hyd yw 240 o droedfeddi; a'i lled yw 40 o droedfeddi; ei huchder o waelod ei cheudod i'r bwrdd uchaf yw 44 o droedfeddi; ac fe gymmerwyd y mawr ofal am fod coed ei gwneuthuriad o ran eu nerth yn cyfatteb i'w hanferth faintioli. Mae iddi bedwar o hwylbrenau, ac iddi mae lliaws o hwyliau mawrion iawn, y rhai yn ddiau, pan fyddo y gwynt yn deg a fyddant o fawr gynnorthwy iddi i fyned yn gyflymach yn ei blaen.

Mae yr Ermyg Agerdd sydd i'w gyru ymlaen dros y cefnfor glas yn nerth 450 o geffylau! Yr Ermyg fawr hon a wnaed gan Mri. Maudsley & Co., ac mae hi yn pwyso oll ynghyd 500 o dunnelli. Y Padelli berw a bwysant 150 o dunnelli; a'r Heiyrn bachog yn 17 o dunneli bob un. Cylch y Rhodol rhwyfawl sydd yn 39 o droedfeddi o drawsfesur, a'u tarawiad a gyrhaedd 12½ o droedfeddi. Mae math o Orig gywraint iawn wedi ei gwneuthur a'i gosod yn gyfagos i'r Rhodol rhwyfawl, wrth ba un y gellir cyfrif cylchdroiadau y Rhodol ar y môr. Pan roddo y Rhodol ddwy filiwn o droiau o amgylch fe fydd eisiau dirwyn yr Orig yn gyffelyb i ddirwyn Orlais (*Clock*). Wrth hyn gellir barnu yn lled agos pa faint o amser a gymer y Llong i fyned o Frydain i'r America. Bernir y cyflawna hi y fordaith faith mewn o untu pedwar diwrnod arddeg! Ni fu erioed y fath beth er dechreu y byd. Mae hi yn cymmeryd gyda hi i'w mordaith y swm mawr o lo, i'r hwn y mae digon o le o'i mewn hi, wyth gan tunnell.

Hyd ystafell yr Ermyg (*Engine*), yw deg a thriugain o droedfeddi, ac mae pob peth wedi ei wneud mor gyfleus fel y gellir myned at bob cogwrn, hoel, a phin gyda'r hwylusdod mwyaf. Mae y Caban goreu yn ddwy droedfedd a phedwar ugain o hyd. Y cilfanau yn y canol ydynt yn bedair troedfedd ar ddeg ar hugain wrth chwech ar hugain. Mae Ystafell fwytta y Swyddogion yn a mesur ugain troedfedd: ac mae ynddi gyfleusdra i 120 o foneddigion i gysgu mewn gwahanol welyau cysurus. Yr ail Gaban hefyd sydd yn hynod o ehang a chyfleus.

---

MARW-RESTR.

Yn Abergele, Mawrth 22, Bu farw Robert Roberts, Henuriad yn Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd; ac a gladdwyd y 26, gan dorf luosog o'i gyfeillion a'i gymmydogion, yn 61 o oedran, ac wedi 40 mlynedd o ddilyn gwaith yr Arglwydd, a bod rhan fwyaf o'r tymor hwnw yn swyddog Eglwysig. Un rhagorol ydoedd fel priod a thad; un da fel cymmydog, swyddog ffyddlon, diwyd a gofalus; manwl iawn ei sylw ar yr holl braidd. Cyfaill ydoedd a gadwai gyfrinach. Ei galon, ei law, ei gyfoeth, ei dŷ, a'i amser a gyssegrai yn ewyllysgar at waith yr Arglwydd. Bu farw yn Gristion. Er nad ydoedd yn olea ddigon iddo fynegu rhinweddau ei Waredwr yn y glyn dwfn, eto yr oedd Cristnogrwydd ei fywyd yn sail i obeithio y pethau goreu. Collasom ef oddi ar faes addfed, o ganol cynhauaf trwm lwythog; collasom ef heb arall i lanw ei le; aeth adref o fynwes a chalon ei frodyr; ac ni feddyliasom fod un golbfu yn dal cymmaint o bwys, nes tynu o'r Arglwydd hi ymaith. Bu ef farw mewn tangnefedd, ac a 'aeth i dangnefedd.'

*Abergele.* J. FOULKES.

---

DIRWEST.

Anwyl Syr,—Wrth weled fy nghyfeillion Dirwestawl yn cadw eu cyfarfodydd a'u gwyliau mor fynych yn y dyddiau presennawl, a chlywed sŵn eu caniadau mor beraidd yn seiniaw, ym mryniau fy ngwlad, tueddwyd fi i anfon y Dôn a'r Pennillion canlynol, fel anrheg i bawb a'u derbyniont, i'w canu yn eu gorymdeithiau lluosog a threfnus. Os bernir yn addas ychwanegaf anfon Tôn a Phennillion cymwys i'r perwyl, yn awr a phryd arall, fel cynnorthwon bychain i'm brodyr zelog ac enwog yn rhai o barthau Cymru nad oes ganddynt y fantais i gael Pennillion o'r fath. Hyderwyf yn fawr y bydd i hynawsedd y Parch. J. D. Edwards, Awdwr y Dôn uchod, beri iddo fyned heibio i'r hyfdra a gymerais yn ei hanfon i'w chyhoeddi heb ei ganiatâd; o herwydd y mae y gymmeradwyaeth a wneir o honi, a rhagoroldeb ei seiniau, yn creu rhyw awydd ynwyf am ei gweneyd yn hysbys trwy Gymru oll, ac yn fy nhemtio i'w chyhoeddi: a disgwyliwyf hefyd, y bydd iddo, pan y gwel ei neilldúo at hyrwyddiant gwaith da, faddeu imi fy nhroseedd. Gan ddymuno pob llwyddiant i chwi ac i Ddirwest, y terfyna eich cysson ddarllenydd.

RODLAND Y CORD.

## LOVELY. 6. 6. 8. 8. M. N.

Y Dôn gan y Parch. J. D. EDWARDS, Llanwrin; a'r Pennillion gan Mr. J. PHILLIPS, (Tegidon) Bala.

Mae'r wawr yn tori draw, A'r tw'llwch yn ysgoi; Fe ddaw, fe ddaw, y
A Babel fawr mewn braw, A'r llew rhuadwy'n ffoi:

Iubil fwyn, Y chwery'r blaidd y'mhlith yr wyn. Y chwery'r blaidd y'mhlith yr wyn.

BYRDWN.

Dowch i foli a choroni, Byth yn ben y Brenin Iesu. A—men.

Y mae rhyw uchel lef,
  Fod Arglwydd nefyn dod;
Par'towch ei lwybrau Ef,
  Rhowch iddo uniawn glod:
Pan ddel, pan ddel, fe syrth yn ddim,
Holl dduwiau Babel fawr ei grym.
  Bydd goruchel furiau Babel
  O flaen Iesu 'n ddigon isel.—Amen.

Ymunwn ninnau'n awr
  Yn erbyn pechod cas
O entrych nef i lawr
  Tywallted Duw ei ras.
Ni awn, ni awn, dan ganu'n llon,
I gadw'r wyl hyfrydol hon.
  Gyda Dirwest yn yr ornest
  'Rym yn siwr o gael y goncwest. Amen.

Mae angel nef yn llon,
  A'r gadwyn yn ei law,
A Satan ger ei fron
  Yn crynu yn ei fraw:
Fe ddaw, fe ddaw, yr hyfryd awr
I'w fwrw'n rhwym i'r t'w'llwch mawr.
  Daw i ninnau hyfryd ddyddiau
  Rhydd o gyrhaedd ei bicellau.—Amen.

Fe dorodd gwawr y dydd
  I daflu'r eilun gwan—
Coroni'r Arglwydd sydd
  Yn Frenin y'mhob man—
Fe ddaw, fe ddaw, y plant yn llu
I Sion fryn at Iesu cu—
  A choronau ar eu penau
  Gan gu seinio eu hanthemau.—Amen.

O rho, IEHOVAH mawr.
  I ni ryw nerthawl rin,
I 'mattal ar bob awr
  Oddiwrth y meddwawl win
A byw, a byw, yn ddi wahân
Dan ddylanwadau'r Yspryd Glân.
  Byw i'th ofni, a'th glodfori,
  Ac i ddysgu dy was'naethu.—Amen.

---

*Llinellau o Goffadwriaeth am y diweddar* JOSEPH DAVIES, *Moel y Crio, Rhosesmor, yr hwn a fu farw Ionawr* 8, 1838, *yn* 37 *oed.*

O! angau hen elyn dynoliaeth
  Dy rwysg sydd yn helaeth o hyd;
Trwy'r codwm niweidiol yn Eden,
  Yr aethost yn bèn ar ein byd;
Dy amser i ni sydd ddamweiniol,
  Ond nid yn ddireol, gwir yw:
Rheolir dy saethau n dra chywrain,
  Ni ddygwydd un ddamwain i Dduw.

Er cymmaint o luoedd a leddaist,
  Dy fwa annelaist yn awr;
A'th saethau, hyll angau, ollyngaist,
  A gwron a luchiaist i lawr:
Yr henwr i'r bedd oedd yn barod,
  Eist heibio iddo'n hynod o hyf;
Y dewraidd a ddarfu it daro,
  'Doedd'n Moel y Crio un mwy cryf.

Mae'r Foel† rhaid yw addef hyd heddyw,
  Yn cadw ei henw'n dra hir:
Hi a'i ceidw am hir amser etto,
  Lle'r crio a'r wylo yw'n wir:
Mae yno rifedi'n ofidus,
  Ar ol Joseph Davies bob dydd:
Ei blantos ymddifaid a'i briod,
  Mewn trallod a syndod y sydd.

I Sarah, och! ddydd anghysurus
  Un dydd mwy gofidus ni fu;
Llewygfa drom wasgfa am ysgar,
  Ei chymmar i'r ddaear oer ddu:
Nid ydoedd yr ammod o'r dechreu,
  Ond hyd afon angau gwir yw;
Ond Tad yr amddifaid, Duw Nefoedd,
  Mae ef hyd byth bythoedd yn byw.

Mawr wagle sy'nghapel Rhosesmor,
  Lle bu am hir dymor yn dod;
Am ganu nid oedd ei amgenach,
  Ei ddewrach na'i burach yn bod;
Efe ydoedd Asaph y dyrfa,
  I ddechreu yn gynta' ar y gân:
A sel tros yr achos mawredig,
  Oedd ynddo yn debyg i dân.

Ei lais megis udgorn a seiniai,
  Pan fyddai yn dechreu y dôn;
Ond 'nawr yn nystawrwydd y beddrod,
  Mawr chwithdod a syndod yw sôn.
Er hyny mae lle i obeithiaw,
  Ei fod e tu draw i bob drwg;
Yn chwareu yr Anthem ddiddiwedd,
  Un gelyn ei delyn nis dwg.

Am bedair-ar-bymtheg o flwyddi,
  Y bu yn proffesu'r wir ffydd;
Yn hyned o bwyllog heb ballu,
  A hyny nes darfu ei ddydd:
Mae llawer yn eithaf hiraethol,
  Am golli hyfrydol wir frawd;
Un ydoedd ffieiddiai athrodiaith,
  Goganiaith a gweniaith a gwawd

Un esgud iawn oedd gyda'r ysgol,
  Yn siriol cyflawnai ei swydd;
I'r diddysg gwir addysg a roddai,
  O'i galon, 'wyllysiai eu llwydd;
Ond, Ow! ar ei babell ddaearawl,
  Rhoes angau ei loesawl oer law;
Ei enaid âi'n berl hynod burlan,
  Medd gobaith, i drigfan well draw.

Fel ag y bydd marw yr annoeth,
  Y bydd marw'r doeth medd gair Duw;
Dwyn ymaith un addas defnyddiol,
  A gadaw'r anfuddiol yn fyw;
Yr Arglwydd er hyn sy'n teyrnasu,
  Efe biau barnu y byd;
A goleu y farn wna'r dirgelion,
  Yn hynod o gysson i gyd.

*Cefn-y-Coed.* OWEN JONES.

---

† Oddeutu milldir oddiwrth y Foel uchod y mae lle a elwir, waen trochwaed, dywedir i ryfel gwaedlyd fod yno, ac i luoedd ymgasglu ar y foel hon, i weled yr ymdrech, a'u bod yn crio (wylo), ac mai oddiwrth hyny y cafodd ei henw.

# Y DRYSORFA.

RHIF. XC. MEHEFIN, 1838. [LLYFR VIII.

## YR UNFED AWR AR DDEG.—MATTHEW XX. 1—16.

Camgymmeriad ynghylch gwir ystyr 'yr unfed awr ar ddeg.'

Y sylwadau hyn a berthynant i ddammeg y llafurwyr yn Matt. xx. ynghyd a'r cymhwysiad a wneir o'r ymadrodd uchod at ddychweliad dynion at Dduw yn niwedd eu hoes. Dywedir yn fynych am ddynion a ddangosant arwyddion o dristwch am bechod, ac edifeirwch gwely angau, fod y cyfryw 'wedi eu hachub ar yr unfed awr ar ddeg.'

Fe ymddengys mai yr hyn a olygir yn gyffredinol yn y ddammeg ydyw, fod cyflogiad y llafurwyr ar yr amrywiol amserau crybwylledig, yn cyfeirio at raniad y dydd ymysg yr Iuddewon, yn arwyddo, *galwad dynion i'r eglwys ar wahanol amserau yn eu bywyd.* A bod yr un faint o gyflog yn cael ei roddi iddynt yn y diwedd, er mor anghydradd oedd y gwasanaeth a gyflawnwyd ganddynt, yn arwyddo *rhadlonedd a pherffeithrwydd gogoniant y nefoedd*, o'r hyn y cyfranoga pob cywir ddychwelwr.

Diameu yw fod dynion o bob oedran, ac o bob sefyllfa yn wrthrychau achubol ras. Gelwir rhai o honynt i droi at yr Arglwydd, ac i wynebu ar ei dŷ ef yn moreu eu dyddiau; rhai yn eu hieuenctyd; rhai ar ganol oed; ac ereill yn eu hen ddyddiau. Ac mae mor ddiamheuol y bydd iddynt oll gael eu dwyn yn y diwedd i'r un nefoedd i fwynhau perffaith ddedwyddwch ger bron Duw a'r Oen yn dragywydd. Ond yn fwy neillduol:—

Yn y ddammeg dan sulw, Wrth 'deyrnas nefoedd', y meddylir, 'Goruchwyliaeth yr efengyl.' Wrth 'y winllan,' y meddylir 'yr eglwys gristionogol.' Ac 'Arglwydd y winllan,' yw 'Duw.' Wrth 'y dydd,' y sonir am dano, y meddylir, 'amser cychwyniad gosodiad i fynu oruchwyliaeth pregethiad yr efengyl, yn dechreu drwy Ioan fedyddiwr, ac yn diweddu gyda gweinidogaeth yr Apostolion.' Galwyd yr Iuddewon i'r winllan yn gyntaf gan Ioan fedyddiwr, ac yna gan Iesu Grist yn ei weinidogaeth bersonol, yr hon oedd 'y drydedd awr.' yna ar ddydd y Pentecost, yr hwn oedd canol dydd yr amser cychwynawl hwn, sef 'y chweched awr' o'r dydd Iuddewig, a'n hanner dydd ni: wedi hyny gan yr Apostolion ar ol dydd y Pentecost, cyn iddynt fyned allan dros derfynau Iudea, yr hon oedd 'y nawfed awr.'

O'r diwedd, ychydig cyn gorphen yr amser cychwynawl a grybwyllwyd, sef ar 'yr unfed awr arddeg,' y sonir am dani yn y ddammeg, sef yn agos iawn i ddiwedd y dydd Iuddewig, aeth yr Apostolion allan, mewn ufudd-dod i'r gorchymyn, "ac a gawsant ereill yn sefyll yn segur,' sef y cenhedloedd y rhai hyd y pryd hwnw, ni wahoddasid gan neb i ddyfod i mewn i eglwys Dduw. Y rhai hyn a gymmellasant, drwy erfyniadau, i ddyfod i mewn, gan sicrhau iddynt y derbynient gogymaint o ras a rhagorfreintiau, drwy gredu yn Nghrist, er eu bod yn ddyeithriaid i'r enwaediad, a'r rhai hyny a ddychwelwyd o blith yr Iuddewon. Wrth y cydraddiad hwn, yr Iuddewon, y rhai a broffesent eu hundeb â'r hen Eglwys, ac â'r rhagorfreintiau goruchel a fwynhasent hwy ers llawer oesoedd ragor cenhedloedd ereill, a rwgnachasant, fel y gwelwn yn Act. xi. Ond ni ddarfu i'w grwgnachrwydd hwynt effeithio dim ar fwriadau Duw; ac yn y diwedd hwy a gyttunasant â'r drefn rasol, drwy fod yr Apostolion yn eu cyfeirio at benarglwyddiaeth Duw, a'i helaethrwydd o ras yn nghyfraniadau ei roddion heb dderbyn wyneb neb mwy na'u gilydd.

Wrth olygu y ddammeg fel hyn, y mae hi yn cyd-redeg â llawer o ddammegion ereill a lefarodd ein Harglwydd; ïe yn wir â'r rhan fwyaf o ddammegion y Testament Newydd, yn ei phrif amcan, sef rhag ddangos galwad y cenhedloedd i fwynhau cydradd ragorfreintiau a'r Iuddewon dychweledig, a hyny heb eu henwaedu, a'r anhawsder o berswadio yr Iuddewon i ymgymmodi â hyn, yn gystal ag afresymoldeb eu grwgnachrwydd hwynt.

Oherwydd fod y gwirioneddau hyn yn dramgwydd i'r Iuddewon, fe'u crybwyllwyd wrthynt fel yma mewn dull damhegol, hyd oni ddaeth yr amser y cyflawnwyd hwynt yn weithredol; ac erbyn hyny yr oedd eu meddyliau wedi cael eu parottoi mewn rhan i dderbyn rhesymau yr Apostolion wrth iddynt ymgais am eglurhau y peth iddynt Mae dammeg y Swpper mawr, dammeg y ddafad golledig, dammeg y darn arian dammeg y mab afradlon, ac amryw ereill, yn cyfeirio at eglurhau yr un gwirioneddau, ac yn tueddu i barottoi meddyliau yr Iuddewon at yr amser pryd y gelwid y cenhedloedd i mewn i fwynhau gras Duw a rhagorfreintiau yr efengyl dan y Testament Newydd.

Bod yr olaf yn myned yn flaenaf, a'r blaenaf yn olaf, hefyd, sydd yn cadarnhau yr esboniad hwn ar ddammeg y llafurwyr, yr hyn a goffeir o flaen ac ar ol y ddammeg, Pen. xix. 30. a xx. 16. Yr Iuddewon y rhai a gredasant yr efengyl er eu galw yn gyntaf, nid oeddynt ond ychydig o nifer; a'r Cenhedloedd, er yn olaf, oeddynt lawer. Y cenhedloedd, o ran doniau, grasau, a rhif a aethant eisoes ymhell y tu hwnt i'r Iuddewon. Fel hyn, bwriadau grasol Duw tuag at y byd, er iddynt fod yn hir yn guddiedig, a dorrasant allan mewn gweithred yn nghyflawniad yr hyn a rag grybwyllir yn y ddammeg hon a damhegion ereill o gyffelyb ystyr.

Ond beth a ddaw gan hyny o edifeirwch a dychweliad gwely angau? Cyn belled ag y mae y ddammeg hon yn cyrhaeddyd nid oes un sail i hyderu arno. Y rhai sydd yn credu fod dychweliadau gwely angau yn gywir a gwirioneddol, mae yn rhaid iddynt gael eu seiliau o ryw le arall, ac nid o'r ddammeg hon. Heb wadu yr anmhosiblrwydd o gywirdeb y cyfryw ddychweliad mae yn ymddangos i'r ysgrifenydd nad oes fawr o sail i sicrau hyny allan o'r Ysgrythyr lân. 'Nis gall edifeirwch cywir,' Medd Matthew Henry, 'byth ddyfod yn rhy ddiweddar; ond anfynych y mae edifeirwch diweddar yn gywir.'

Fe wyr y cyfryw ag a sylwasant ar ddynion, a ymddangosent yn gwir edifarhau am eu pechodau ar eu clafwely, ac wedi hyny a iachawyd, ac wedi codi i fynu a brofasant wrth eu buchedd anraslawn ac annuwiol nad oes nemawr o ymddiried i edifeirwch gwely angau. er mor obeithiol yr ymddangosai. Gadawodd un gwr Eglwysig duwiol dystiolaeth mewn ysgrifen ar ei ol, ei fod ef drwy gydol hir lafur gweinidogaethol, wedi gweled rhai cannoedd o ddynion ag oeddynt yn ymddangos yn edifeiriol iawn ar eu claf welyau, ac iddynt gael adferiad iechyd, a phrofi yn amlwg wedi hyny nad oedd y cwbl ond ffug a siom. Ni chafodd efe brofion o ddiffuantrwydd yr edifeirwch onid mewn dau neu dri allan o'r cantoedd crybwylledig. Gwareded Duw ni rhag oedi edifeirwch a dychwelyd at yr Arglwydd hyd yr awr olaf. Amen.

CYFIEITHYDD.

---

## Rhagoriaethau y Bibl.

### ACTAU YR APOSTOLION.

Llyfr yr Actau sydd fath o hanes gweinidogaeth a gweithredoedd yr apostolion, oddiwrth yr hyn mae yn derbyn ei enw. Mae yn adchwanegiad mwyaf dymunol i'r pedair efengyl, ac yn rhagymadrodd angenrheidiol i'r amrywiol Epistolau. Mae yn dechreu gyd ag adrodd esgyniad Crist, ac yn parâu ei hanesiaeth hyd garchariad Paul yn Rhufain, O. C. 65, yn cynnwys yspaid dros ddeg-ar-hugain o flynyddoedd. Mae yn dangos planiad cristionogaeth yn mhlith yr Iuddewon a'r Cenhedloedd; taeniad yr efengyl yn amrywiol barthau y byd; amynedd a gwroldeb rhai o'r apostolion dan y dyoddefiadau y darfu iddynt eu goddef er ei mwyn, a'r llwyddiant rhyfeddol a'u dilynodd, oll yn uno i brofi gwirionedd a dwyfoldeb cristionogaeth.

Nid yw Luc yn rhoddi hanes cyffredinol am yr eglwysi cristionogol cyntaf, gan ei fod yn ddistaw yn nghylch llafur y rhan fwyaf o'r apostolion, ac am blaniad crist-

ionogaeth yn y rhan fwyaf o'r cenhedloedd dwyreiniol, yn yr Aipht, a llawer o fanau eraill yn y rhai yr ydoedd wedi ei derbyn. Mae dau beth hynod o amlwg yn nyben y llyfr hwn; yn gyntaf, i ddangos sefydliad gwyrthiol cristionogaeth, trwy ddoniau a grasau yr Yspryd Glan, ar yr apostolion a'r eglwysi, yn gytunol ag addewid Crist: ac, yn ail, i egluro bwriadau grasol y Duw trugarog, yn dwyn y Cenhedloedd i'r eglwys, yn ol prophwydoliaethau yr Hen Destament. Wrth ei ystyried yn unig fel tyst, yr ydoedd Luc, ysgrifenydd y llyfr hwn, wedi ei gyfaddasu yn well na neb arall i roddi hanes credadwy o'r apostolion, gan ei fod yn gydymaith ffyddlawn i Paul yn llawer o'i lafur a'i deithiau. Hefyd, fel yr ydoedd yn physygwr, ac yn wr o ddysgeidiaeth uchel, yr ydoedd Luc yn alluog i ffurfio barn gywir am yr amrywiol wyrthiau a weithredid gan Paul; ac oddiwrth ei dystiolaeth ef, mor uniongyrchol ac amgylchiadol, mae genym brofion cedyrn o'u gwirionedd dwyfol.

Mae Actau yr Apostolion yn rhanedig i wyth ar hugain o bennodau, yn cynnwys chwech o brif ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn adrodd gweithrediadau yr apostolion dros ddeng niwrnod yn Jerusalem, hyd wyl y Pentecost, pen. i. Yn y dosparthiad hwn mae i'w nodi.

1. Y pethau neillduol perthynol i esgyniad Crist.

2. Cytundeb neu unfrydedd y brif eglwys gristionogol yn nghyflawniad ymarferiadau crefydd.

3. Eu hetholiad o ddisgybl cyfaddas i fod yn apostol yn lle Iudas fradwr.

Dos. II. Sydd yn adrodd cyhoeddiad cyntaf cristionogaeth fel efengyl iachawdwriaeth i'r holl genhedloedd; a dechreuad a chynnydd y fam eglwys yn Ierusalem, hyd ferthyriad Stephan, pen. ii.—vii. Yn y dosparthiad hwn y pethau mwyaf nodedig ydynt,

1. Cymhwysiad gwyrthiol yr apostolion, trwy ddoniau yr Yspryd Glan, i'w parotôi i gyflawni eu swydd apostolaidd, trwy bregethu yr efengyl yn mhob iaith, pen. ii.

2. Ychwanegiad at yr eglwys oddeutu tair mil o bobl, fel effaith pregeth Petr yn eu dychweliad at Iesu Grist, pen. ii.

3. Iachau y gwr a enid yn gloff, gan Petr a Ioan, pen. iii.

4. Ychwanegiad at yr eglwys o amryw filoedd o ddychweledigion yn rhagor, pen. iv.

5. Bygythiadau ofer y cyngor Iuddewig yn erbyn yr apostolion, pen. iv.

6. Haelioni anghyffredinol y prif gredinwyr, effaith eu duwioldeb personol rhagorol, pen. iv.

7. Marwolaeth arswydus Ananias, a'i wraig Sapphira, fel barn arnynt am eu celwydd a'u rhagrith, pen. v.

8. Carchariad yr apostolion, pen. v.

9. Etholiad y saith diacon i drin achosion tymhorol yr eglwys, pen. vi.

10. Condemniad pechadurus, a merthyrdod Stephan dduwiol, pen vii.

Dos. III. Sydd yn coffáu erledigaeth yr eglwys yn Ierusalem, gwasgariad y disgyblion, a sefydliad eglwysi yn mhlith y Cenhedloedd, pen. viii.—xii. Yn y dosparthiad hwn y pethau mwyaf hynod ydynt,

1. Ffurfiad eglwys gristionogol yn Samaria, pen. viii.

2. Dychweliad yr Ethiopiad pendefigaidd pen viii.

3. Trôedigaeth anghyffredinol yr erlidiwr gwaedlyd Saul, pen. ix.

4. Parotöad Petr, trwy weledigaeth ddwyfol, i groesawu y Cenhedloedd i eglwys Crist, pen. x.

5. Dychweliad y canwriad Rhufeinig Cornelius, a sefydliad eglwys gristionogol yn Cesarea, pen. x.

6. Merthyrdod yr apostol Iago, pen.xii.

7. Carchariad Petr, a'i waredigaeth gan angel, pen. xii.

8. Barn Duw ar y brenin annuwiol Herod, pen. xii.

Dos. IV. Sydd yn adrodd llafur Paul a Barnabas hyd eu hymwahaniad, pen. xiii. —xv. Yn y dosparthiad hwn y pethau mwyaf nodedig ydynt,

1. Pennodiad neillduol Paul a Barnabas i lafur cenhadol, pen. xiii.

2. Taro Elymas y swynwr â dallineb, pen. xiii.

3. Pregethu yr efengyl i'r Cenhedloedd yn Antioch, pen. xiii.

4. Iachau y cloff efrydd yn Lystra, lle y llabyddiwyd Paul i farwolaeth, ac yr adferwyd ef yn wyrthiol i fywyd, pein. xv.

5. Penderfyniad yr apostolion, gyd â'r eglwys yn gynnulledig, yn nghylch y seremonïau Lefiaidd, pen. xv.

Dos. V. Sydd yn cynnwys hanes llafur Paul yn mhlith y Cenhedloedd, o ba rai darfu iddo gynnull llawer o eglwysi cristionogol, pen. xvi.—xx. Y pethau mwyaf nodedig yn y dosparthiad hwn ydynt,

1. Dygiad yr efengyl i Ewrop, pen. xvi.

2. Dychweliad Lydia a cheidwad y carchar yn Philippi, a ffurfiad eglwys yn y lle hwnw, wedi i Paul a Silas gael eu trin yn gywilyddus gan y dyrfa a'r swyddogion, pen. xvi.

3. Ffurfiad ail eglwys yn Ewrop, yn Thessalonica, pen. xvii.

4. Pregethu yr efengyl yn Athen. pen. xvii.

5. Dychweliad llawer o bobl yn Corinth, a ffurfiad eglwys yn y ddinas hono, pen. xviii

6. Dychweliad y consurwyr yn Ephesus, a sefydliad eglwys yn y ddinas hono, pen. xix.

7. Terfysg yn cael ei godi gan y gôf arian Demetrius, yn mhlaid addoliad y gau dduwies Diana, pen. xix.

8. Cyfodi Eutychus yn fyw, yr hwn a syrthiasai i lawr yn farw, pan yn cysgu, tra yr ydoedd Paul yn pregethu, pen. xx.

9. Cyngor serchiadol a chyfarchiad ymadawol Paul i henuriaid Ephesus, pen. xx.

Dos. VI. Sydd yn adrodd taith Paul i Ierusalem, ei erledigaeth gan yr Iuddewon, ei appeliad at Cesar, a'i anfoniad yn garcharor i Rufain, pen. xxi.—xxviii. Yn mysg y pethau mwyaf hynod yn y dosparthiad hwn mae,

1. Malais diorphwys yr Iuddewon yn erbyn enw Crist, a'u dyfais i ladd Paul, pen. xxi.

2. Annerchiad Paul i'r Iuddewon oddi ar risiau y castell, pen. xxii.

3. Paul yn ei amddiffyn ei hun yn erbyn achwyniadau yr Iuddewon, o flaen y llywodraethwr Rhufeinaidd Ffelix, pen. xxiv.

4. Amddiffyniad Paul drosto ei hun o flaen y Llywodraethwr Rhufeinaidd Ffestus, pen. xxv.

5. Adroddiad Paul o'i ddychweliad at gristionogaeth o flaen y brenin Agrippa, yr hwn sydd yn cyffesu ei hun o fewn ychydig wedi ei ynnill i ddyfod yn gristion, pen. xxvi.

6 Mordaith beryglus Paul i fyned i Rufain, ei long-ddrylliad ar ynys Melita, ei ddyfodiad i Rufain, a'i ganiatad i aros am ddwy flynedd yn ei dŷ ardrethol ei hun, gan bregethu yr efengyl, hyd yn nod pan yn gwisgo arwydd-nod carcharor, pen. xxvii. xxviii.

*Cyfeiriadau yn Actau.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen. i 3 | 1 Cor xv 3 | Pen iv 8 | Luc xii 11 12 |
| 3 | Gwel pen ii 2–6 Matt iii 11 | 25 | Ps. ii. 1 |
| 9 | Luc xxiv 4 9 | vii 42 | Amos v 25 |
| 16 | Ps. xli 9 | 52 | 2 Cron xxxvi 16 |
| 20 | cix 9 | xiii 34 | Esa lv 3 |
| ii 4 | Marc xvi 1 7 | 35 | Ps xvi 10 |
| 17,39 | Ioel ii 28,29 | 41 | Esa xxix [illegible] |
| 25 | Ps xvi 8 | 47 | ——lv 5 |
| 30 | 2 Sam vii 12,13 | xv 16 | Amos ix 11 12 |
| 34 | Ps cx. 1 | xxi 11 | Gwel adn. 33 |
| iii 22 | Deut xviii 15–18 | xxviii 26 | Esa vi 9 |

## DYFOD MEWN PRYD I FODDION GRAS.

Dyfod mewn pryd i foddion gras, ydyw dyfod yn gywir at yr amser y cyhoeddir y moddion; megys, os naw a gyhoeddwyd, dyfod erbyn naw, a pheidio gadael iddi fyned yn 10 munud, 20 munud, a haner awr wedi naw. Y mae llawer o ganlyniadau niweidiol yn tarddu oddiwrth yr arferiad waradwyddus o beidio dyfod mewn pryd i foddion gras.

1. Y mae yn niweidiol i'r esgeuluswyr eu hunain. Eu harosiad diweddar ac annhrefnus o bosibl a'u difuddiodd o fyfyrdod a gweddi dros ychydig funudau cyn cychwyn o'r tŷ; eu mynediad tua thŷ Dduw oedd i bawb a'u gwelsant, fel mewn brys ac annhrefn. Yr oeddynt yn rhy ddiweddar i'r ymbarotöad i ganu mawl i Dduw, yr hyn a drefnwyd i hwylio'r meddwl, a'i ddiddanu a'i wresogi at addoli Duw. Fe allai eu bod yn rhy ddiweddar i glywed y pregethwr yn gweddio ar Dduw dros y bobl; ac fe ddichon nad oeddynt yno pan ddarllenwyd y testun a phan adroddwyd y rhagymadrodd, a rhaniad y bregeth. Annhebyg yw fod neb o'r bobl hyn yn cael lles na bendith wrth wrando; oblegyd yr oeddynt yn dangos yn eu hymddygiad nad oeddynt yn gofalu fawr am yr addoliad, ac nad oedd cael bendith yn bwysig ar eu meddyliau, onite buasent yn gofalu am ddyfod yno'n brydlon rhag iddynt golli adeg cael y fendith.

2. Y mae y rhai sy'n dyfod yn anamserol i foddion gras yn aflonyddu y gynnulleidfa fydd wedi dyfod i'r addoliad yn brydlon.

Mae y rhai sydd yn dyfod yn anamserol i'r addoliad yn tynu sylw y gynnullfeidfa, ac wrth iddynt esgyn ar hyd y grisiau i'r llofft, bydd eu hesgydiau yn gwichian a'r *pattens* yn swnio, a'r olwg arnynt fel rhai yn euog o ryw drosedd echryslon. Mae eu dyfodiad anamserol yn aflonyddu y glust, yn denu y llygad, ac yn tori ar wrandawiad ac astudrwydd y gynnulleidfa. Pan bydd y pregethwr yn ymdrechu mewn gweddi, o bosibl y bydd i'r dynion ag a fyddo yn addoli gael eu hymddifadu o fendith, trwy atal eu hawydd a'u gwresogrwydd, gan swn a chynnwrf y rhai hyn ar eu dyfodiad.

3. Y mae yn niweidiol i'w plant eu hunain. Y maent yn atal eu plant oddiwrth fendithion tŷ Dduw, ac yn dysgu arfer annhrefnus iddynt, yr hyn sydd yn hawddach ei feithrin na'i adael heibio; ac yn eu dysgu i ystyried addoliad dwyfol yn ddiwerth, ac i aflonyddu cynnulleidfaoedd y saint.

4. Mae y rhai sydd yn dyfod yn anamserol i'r addoliad yn taflu *dirmyg ac anfri arno*. Gan na waeth ganddynt pa bryd y deuant iddo: mae hyn yn dangos nad ydynt yn prisio fawr arno, nac yn gofalu am dano. Gofalant am fyned at eu galwedigaethau mewn pryd, rhag iddynt golli rhan o'u cyflog; gofalant am fyned i'r farchnad mewn pryd, er mwyn cael pob mantais i brynu Gofala y gwahoddedigion am fyned i'r wledd mewn pryd, rhag colli eu rhan, a thaflu diystyrwch ar arglwydd y wledd a'r gwahoddedigion. Dynion annuwiol a ânt i'r dawns, ac i'r chwareu-dai, mewn pryd, ac nid yn aml y gwelir hwy yn dyfod ar haner y chwareu. O ganlyniad, y mae y rhai a esgeulusant ddyfod mewn pryd i dŷ Dduw, yn arddangos nad oes cymaint o werth mewn dwyfol addoliad ag sydd yn chwareuon gwag yr annuwiolion! Dyma achos gwrido a chywilyddio! Dynion am bleserau munud awr mor ofalus am fod yn brydlon, ac eraill sydd yn disgwyl cael mwynhau pleserau tragywyddoldeb, mor ddiystyr, esgeulus, a diofal am yr adeg bennodedig i ymaflyd yn tc ynt!

5. Mae esgeuluso dyfod i'r addoliad yn amserol yn brawf eglur *nad ydyw gwaith gras yn ddwfn* yn eneidiau yr esgeuluswyr. Yr enaid hwnw ag sydd yn 'wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd,' y mae efe yn llawn o hiraeth am 'gynteddau yr Arglwydd; ie, yn blysio: ei galon a'i gnawd a waeddant am y Duw byw,—Pa bryd y deuaf, ac yr ymddangosaf ger bron Duw?'

6. Wrth esgeuluso dyfod yn brydlon, y maent yn troseddu gorchymyn yr apostol, 'Gwneler pob peth yn weddus ac mewn trefn.' Ond, ai peth gweddaidd yw taflu y fath ddirmyg ar y genadwri fwyaf gogoneddus, y gwahodiadau a'r cynghorion taeraf, yr addewidion melusaf, a'r barnedigaethau trymaf? Ai peth gweddaidd yw diogi gartref, a chysgu, pan y mae addoliad Duw yn dechreu? Ai peth gweddaidd yw cellwair, pan y dylid gweddio? A chwerthin pan y dylid moliannu Duw? Ai trefn ydyw i rai ddyfod ar amser y weddi, eraill yn adeg yr ail ganu, ac eraill yn amser cymeryd y testun, rhai pan fydd y rhagymadrodd yn cael ei draddodi, a'r lleill tua haner y bregeth! &c. Nid ydyw hyn yn weddus nac mewn trefn.' Felly y mae y cyfryw esgeuluswyr yn troseddu rheol ysgrythyrol, ac o ganlyniad yn euog ger bron Duw.

*Yn ddiweddaf*, y mae y fath ymddygiadau a hyn yn dangos eu sefyllfa anghysurus ac arswydus eu hunain; amlyga eu dyfodiad diweddar i dŷ Dduw nad oes ganddynt un parch i Dduw, i'w dŷ, i'w bobl, i'w genhadon, i'w air, i'w Ysbryd, nac i'w Fab; dengys eu bod yn fyr o'r cariad hwnw, 'yr hwn nid yw yn gwneuthur yn anweddaidd, ac ni wna ddrwg i'w gymydog, ond sydd yn gwneuthur, pob peth yn weddus ac mewn trefn.' Diau fod eu hymddygiadau yn dangos yn eglur eu hanystyriaeth o'i fawr eisiau. Pe ystyrient eu tywyllwch, byddent awyddus am ddyfod i'r goleuni. Pe ystyrient bechod yn dra phechadurus, diau nad esgeulusent y moddion a ordeiniwyd i gael rhyddhad oddiwrtho. Pe byddai newyn arnynt, ni byddent foddlon i fod yn casglu y gweddillion ar ol eraill; oni byddai awydd ynddynt i fod yno gyda'r blaenaf wrth y bwrdd sydd yn llawn o basgedigion breision, ac a loyw win puredig. Mewn gair, mae eu hymddygiadau yn dangos nad oes ganddynt ond golwg wael ar ei rhinweddau a'i bendithion. Pe iawn ystyrient werth ei hordinhadau, ei hathrawiaethau, ei hargyhoeddiadau, ei haddysgiadau, ei cher-

yddon, a'i hyfforddiadau, y rhai a ddarlunir oll y'ngair Duw, ni fyddent mor esgeulus o hono, ond y byddent gyda'r difrifwch mwyaf yn ei wrando, ei ddarllen, ei gadw, ac yn rhoddi lle iddo yn y galon.

*Llanrwst.* J. R.

---

COFIANT AM JOHN JONES, BACHEIDDON,

*Un o flaenoriaid yr eglwys yn Narowen, Sir Drefaldwyn: a chrybwylliad am rai blaenoriaid ereill o'r un lle.*

Dangosodd J. Jones awydd am fwynhau moddion gras, ac arwyddion eu bod yn effeithio arno, pan oedd yn ieuangc. Yr wyf yn cofio un nos Sabbath pan oeddwn yn cau y Capel, iddo droi yn ol, ac estyn ei law i mi, a'i lygaid yn llawn dagrau heb ddweud dim. Pan oedd tuag 20 oed, ymunodd â'r eglwys. Wrth ei dderbyn, dywedodd y Parch. J. Hughes fod yn llawen gan bawb ei weled a'i glywed; ond mai iddo ei hun y byddai'r elw mwyaf. Dywedodd ei fam, fod yn fwy peth yn ei golwg hi, fod ei phlant yn cael gras na dim arall.

Yr oedd gofal penteulu newydd ddisgyn arno; cododd ef a'i frawd addoliad teuluaidd, a glynodd wrth hyny yn fanwl tra y bu byw. Un tirion at, a gofalus iawn am, ei frodyr a'i chwiorydd ydoedd; ac yr oedd ganddo lywodraeth dda ar deulu mawr. Yn mhob moddion o ras, braidd y gwelid ei le un amser yn wâg; ïe, byddai ef a'i deulu ganol dydd gwaith, yr amser prysuraf, fel amser arall. Pen ychydig flyneddau, galwyd ef i flaenori, i'r hyn yr ufuddhaödd ac y bu ffyddlon i geisio cyhoeddiadau, &c. Un helaeth yn ei gyfraniadau, a gwir ofalwr am yr achos yn ei holl rànau oedd.

Pan oedd tua 25oed priododd un o gyffelyb feddwl, a thymer ddystaw, ag ef ei hun, a bu ei dŷ (fel y mae etto,) yn lletty cysurus i bregethwyr. Un gafaelgar iawn mewn gweddi oedd; matter bywyd fyddai ganddo amlaf. Un o'r cyfarfodydd chwarterol olaf y bu ynddo, wrth gofio ei blant a hâd ei bobl, aeth yn wylo dystaw drwy'r eglwys dros enyd. Llwydd Jerusalem oedd ei ddymuniad penaf. Yr oedd yn ddeallus yn yr athrawiaeth, ac yn selog iawn dros yr Hyfforddwr, y Gyffes ffydd, &c. Soniai yn aml yn y gymdeithas am drueni dyn wrth natur, ac addasrwydd yr iachawdwriaeth i'r fath un. Soniai yn fynych am ddywediad y Parch. W. J. Dolyfonddu, "Un yn dy le." Yr oedd yn ofalus am y ddysgyblaeth, ac yn hynod o ddiachos tramgwydd pan yn llym yn erbyn pechod. Gwyddai pawb mai ceisio anrhydedd yr achos, a gwneud lles yr ydoedd.—Yr oedd yn isel yn ei olwg ei hun ac yn barchus iawn gan eraill.

Yn nechreu ei gystudd, dywedai ei fod yn cael cysur yn yr adnodau, "Yn ol dy ddydd y bydd dy nerth.—Hwn a osododd Duw yn Iawn. Gollwng ef, mi gefais iawn. Y cyfiawn dros yr anghyfiawn,' &c. Ni chafodd ond ychydig hamdden gan rym y clefyd. Bu farw Meh. 14, 1837, yn 35oed. Gadawodd chwech o blant. Y dydd y bu farw, dywedodd ei fam, er bod Ann (ei merch hynaf a fuasai farw yn ddiweddar) ac yntau, fel ei dau lygad ganddi, etto fod y gobaith oedd ganddi am eu happusrwydd yn cymmedroli ei galar. Etto y mae galar yn para am dano, gan ei deulu, yr eglwys, ei gymmydogion, a'r tlodion.

Ychydig flynyddau yn ol, collodd yr eglwys yma flaenoriaid eraill; sef, Hugh Hughes, o Riwgriafol, yr hwn oedd ŵr llariaidd, a gostyngedig. Yn ei dŷ ef (a'i deulu ar ei ol) y byddai pregethu amlaf cyn gwneud y Capel.

Edward Roberts, Tŷ'nyllwyn, oedd ŵr bywiog, treiddgar, ac egniol iawn gyda'r achos. Byddai pregethu yn ei dŷ yntau. Colled fawr oedd ei golli mor fuan, yn enwedig yr ochr hono i'r ardal.

Evan Jones, Maesteran, oedd ŵr llafurus iawn, trwy ei lafur, a than ei olygiad ef yn benaf yr adeiladwyd Capel Rhyd 'y felin. Bu y tri feirw yn ŵyr canol oed. Edward Lewis, oedd hen ŵr siongc, dros 90 oed. Yr oedd yn un o'r aelodau cyntaf yn yr ardal pan ddechreuwyd yr achos tua 72ml. yn ol. Perchid ef yn fawr, o herwydd ei dduwioldeb, yn gystal a'i oedran. Tirf, iraidd, a ffrwythlon oedd yn ei henaint. Ei weddiau yn fyrion, a melus.—Dangosai yr angen mawr am waith yr Yspryd Glân, a rhodiad sanctaidd fel effaith o hono. Cawsom lawer o hanes yr achos yn y gymmydogaeth yma ganddo ef, a Barac Dafydd (hen wr arall): peth rhyfedd fod y berth heb ei hollol ddifa. Gallaswn helaethu llawer, ond yr wyf yn cofio yr aml rybudd i fod yn fyr, rhag cael fy nghau allan.

W. B.

COFFADWRIAETH AM MISS MARY JONES,

*Unig Ferch Robert ac Anne Jones, Siop, Henllan, Swydd Dinbych.*

Gan fod nodweddiad Mary Jones yn dra hynod, er nad ydoedd ond ieuangc, nid ammheuir na bydd ychydig o'i hanes yn dderbyniol gennych chwi, ac y bydd ei argraffu yn y Drysorfa yn annogaeth i ferched ieuaingc ein gwlad i ymdebygu iddi.

Genid hi Rhagfyr 17, 1820, a phan eto yn blentyn cafodd yr anrhydedd o ddyfod i feddiant ar freintiau eglwysig drwy ymuniad ei Mham a'r Gymdeithas berthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Henllan, ac yn yr amser boreuaf o'i hoes gwelwyd fod cryn athrylith ynddi, a bod ei chynneddfau yn gryfion, yn enwedig ei chof, fel pan oddeutu naw mlwydd oed y dysgodd lyfr yr Hyfforddwr allan i gyd, ac adroddodd ef yn gyhoeddus bob yn bennod; ond pan y cyrhaeddodd tu a thairarddeg oed yr ydoedd wedi cynnyddu cymmaint o ran ei deall am byngciau y grefydd gristionogol fel y rhoddai attebion ysgrythyrol a chyson i bob cwestiwn a ofynid i'r ieuengctyd yn y Gymdeithas Eglwysig; ïe, byddai ei hattebion yn peri syndod i y rhai mwyaf deallus yn ein plith, a gwyddis y byddai llawer yn barod i ddweyd wrth ei chlywed, 'Pe gofynasid y cwestiwn yna i mi, ni allaswn ei atteb gyda'r fath gyssondeb ac yr attebwyd ef gan Mary Jones.' Wrth ei chofio yn hyn y mae galar gennym ar ei hol hyd heddyw.

Er fod gan ei rhieni ddigonedd o bethau y byd presennol a dim ond Mary i etifeddu y cwbl, (oblegid yr oedd yr unig frawd a fuasai ganddi wedi marw er 1833,) eto, cafodd ei chadw rhag balchio o'i chalon nac ymddyrchafu o'i llygaid, ond byddai yn gydostyngedig a'r rhai iselradd; Yr oedd pethau crefydd a phobl yr Arglwydd wedi ennill cymaint ar ei bryd, hyd nes ydoedd ei holl hyfrydwch ynddynt, ac nid oedd dim ar a allai yn ormod i'w wneud erddynt, fel y mae amryw o weinidogion yr Efengyl yn dystion: ac er mwyn dangos ei hundeb a'r Eglwys mewn modd mwy cyhoeddus, yr ydoedd er's yspaid o amser cyn ei chaethiwo gan ei hafiechyd wedi rhoddi ei henw yn Llyfr aelodau yr Eglwys, ac yr ydoedd nid yn unig o dueddfryd haelionus tu ag at bob achos da a gynhygid i'w sylw, ond hi a ddychymygai achosion newydd i'r dueddfryd honno i weithredu tu ag attynt, a dangosodd yn amlwg fod ei mheddwl wedi ymgylymmu gymaint wrth achos Crist fel nad oedd y blwch ennaint yn armod ganddi i'w dori. Daeth i'w mheddwl pan oedd tu a phymtheg mlwydd oed, am gael *Seren* i ddal y Canhwyllau yn ein Capel, ond y pryd hyny gan na chafodd fawr o annogaeth na chydweithrediad oddiwrthym ni ei chyfeillion, fe'i siomwyd o gael gweled cyflawniad ei dymuniad, am hyny gan fod ei mheddwl hi heb gyfnewid fe benderfynodd pan ar ei chlaf wely, adael yr arian a feddiannai i brynu y Seren: ac yn bresennol, y mae wedi ei gosod, yn un dra threfnus, a diammeu, y pery y coffa am Mary Jones yn Henllan tra pery y Seren beth bynag: gwnaiff yn hwy, Oblegid 'y cyfiawn a fydd byth mewn coffadwriaeth.'

Y mae yn ddiamheus i'w rhieni feddwl lawer gwaith y buasent yn dra happus yn eu hunig ferch, ac y buasai hithau cyn hir yn dyfod yn lle llygaid iddynt, ond nid eu meddyliau hwy oedd meddyliau arfaeth Duw, oblegyd yn Tachwedd 1836, cymerwyd hi yn glaf gan Enuynfa yn yr Ysgyfaint, yr hyn yn fuan a droes yn Ddarfodedigaeth nychlyd, yr hwn a'i gwnaeth gan wanned fel nas gallai ymddiddan ond ychydig heb boen fawr, ond yr oedd ei phrofiad o bethau ysprydol a'i hagwedd ddioddefgar yn peri syndod i bawb a'i gwelodd. Wrth weled y gelyn creulon yn malurio pabell ei hunig blentyn dywedodd ei Mham wrthi un diwrnod, 'Wel, Mary bach, y mae hi yn galed iawn heddyw.' O, na, meddai hithau 'Y mae pob peth yn dda:' ac os gwelai ei Mam neu ryw un yn wylo, dywedai, 'Nad oedd achos iddynt wylo o'i hachos hi, na galaru ar ei hol, gan mai ewyllys yr Arglwydd oedd.' ac am iddynt ymfoddloni, o herwydd pe buasai yn gwella mai marw fuasai raid wedi'n, 'ac fe allai heb fod mewn agwedd mor barod er i'r cyflwr fod yn barod.' Anfynych y clywyd gair tebyg i rwgnach nac anfoddlonrwydd o'i genau.

Y Bregeth olaf a wrandawodd oedd un y Parch, John Davies, Ty mawr, oddiar Exod. 20. 24, y rhan olaf, a mynych y soniodd am dani yn ei chystudd, yn enwedig y sylwiad a wnaeth y parchedig weinidog ar eiriau ereill yn ei bregeth, megys, 'Fod

Duw yn raslawn a thrugarog, ac o herwydd hyny beth yw pechodau gwael, ïe holl bechodau i'r Duw mawr sydd yn llawn gras?' Wrth iddi goffau hyn, dywedodd ei bod yn teimlo ei hunan yn ymroddedig i'r Duw graslawn hwn.

Yn yr olwg ar ei hanneilyngdod, byddai yn sibrwd y llinellau canlynol yn effeithiol, "Dyw gras i ti ond gronyn,' &c. a dywedai mai gwell ganddi farw na byw ond cael yr Iesu yn gyfaill. Pan y dywedwyd wrthi 'Ei bod yn ddioddefgar yn ei chystudd,' attebodd, ei bod yn ofni nad ydoedd yn dyfal barhau mewn gweddi. Aml iawn y coffâi y geiriau hyny, 'Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul, a dywedai, 'O, Mam na allem gredu yr addewid, yna ni byddai yn siomedigaeth pan y'i cyfarfyddem,'

Cwynai ei Modryb iddi oblegyd ei thrwm gystudd, attebodd hithau ei bod yn cael yr hyn oedd yn yr addewid; nad oedd ei chystudd ond *byr*, ond ei bod wedi cael llawer iawn o iechyd.' Pan unwaith mewn gofid mawr anadlai y darn pennill canlynol, 'Er byw'n ei ogoniant ynghanol y nef, Mewn awr o gyfyngder, fe wrendy fy llef.' Cafodd hefyd lawer o gynhaliaeth i'w meddwl yn y geiriau hyny, 'Trwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen, gan edrych ar Iesu.

Galwodd am un o'r blaenoriaid atti un noswaeth wrth iddo fyned i'r cyfarfod Eglwysig, a dymunodd arno am roddi ei hanerchiad hi at yr ieuengctyd a berthynai i'r Eglwys, i fod yn ffyddlon i'w proffes, ac i ddweud wrthynt fod ei chrefydd yn talu ei ffordd iddi hi yn yr amgylchiad cyfyngaf; 'a thystiodd fod y cyngorion a gawsai gan y Blaenoriaid wedi bod yn fendithiol iawn iddi hi yn ei chystudd. Ychydig cyn ei marw dywedoddmai amgylchiad sobr ydoedd marw, ond nad oedd dim niweid ynddo iddi hi.'

Rhaid coffâu hyn eto am dani, ddarfod iddi gofleidio egwyddorion dirwest yn un o'r rhai cyntaf yn Henllan, a bu yn ffyddlon i'w hymrwymiad hyd ddiwedd ei hoes: llawenhai yn fawr pan glywai am ryw un yn rhoddi ei enw i lawr, a gofidiai yn ddwys pan glywai am ryw un yn tynnu yn ôl, annogai y rhai a ddeuai i edrych am dani i ymuno a'r gymdeithas, ac ni bu ei hymdrechiadau heb fod yn llwyddiannus i gael pawb o'i theulu i ymuno a'r Gymdeithas,—peth mawr yw bod yn ffyddlon.

Gorphenodd ei gyrfa fer Mawrth 26, 1837, a chladdwyd hi yn drefnus y 30in, yn ol ei dymuniad heb ddim o'r diodydd meddwol yn ei chladdedigaeth.

JOHN ROBERTS,
*Henllan* ISAAC DAVIES,
JOHN FOULKES.

---

## HANES ENOCH JONES,

*Mab Enoch a Mary Jones, Mwnglawdd, Swydd Dinbych, a fu farw Medi* 15, 1837 *Yn* 8 *mlwydd a phedwar mis oed.*

Mae ymddygiad ufudd a moesgar plentyn rhinweddol, yn tynu sylw cyffredinol. Nid oes dim yn creu mwy o gyfeillion ac yn enill mwy o barch na'r cyfryw ymddygiad: y mae yn fath o ogoniant yn amgylchu y plentyn i ba le bynag yr elo; ac yn rhagargoel y bydd iddo gyflawni ei sefyllfaoedd yn y byd yn gymhwys a pharchus. Yn enwedig, nid oes dim yn rhoddi mwy o hyfrydwch i rieni duwiol, na gweled arwyddion amlwg o dduwioldeb yn eu plant; y mae yn wledd barhaus iddynt, ac yn wobr ddigonol am eu llafur a'u gofal am danynt, a'u gweddiau drostynt. Y mae yn dda genyf allu hyspysu fod gwrthrych y cofiant hwn yn ateb i'r disgrifiad uchod er mor ieuangc ydoedd. Yr oedd Enoch bach yn un o dymer addfwyn, tirion, a bywiog; yr oedd ei serchawgrwydd yn neillduol, ei symlrwydd yn nodedig, a'i ufudd-dod a'i barch i'w rieni yn rhyfeddol: ei diriondeb a'i foesgarwch a dynai bawb i'w hoffi a'i barchu.

Medrai ddarllen ei Feibl yn rhwydd er ieuenged oedd; ac yr oedd wedi trysori llawer o hono yn ei gof: ychydig cyn myned yn sal, yr oedd wedi llwyr fwriadu dysgu llyfr y Salmau allan i gyd. Yr oedd wedi dysgu y 'Rhodd Mam,' a'r Deg Gorchymyn allan yn berffaith, ac wedi dysgu llawer o'r Hyfforddwr allan. Cafodd ei fam hyfrydwch mawr lawer gwaith wrth ei holi yn y 'Rhodd Mam,' yn enwedig wrth holi y bedwaredd bennod, bob tro yr holid ef yn y bennod hon yr oedd fel pe buasai yn rhyfeddu y pethau melus oedd ynddi, a dywedai yn wastad, 'O mam bach, onid oes yno le braf yn y *nefoedd*, a chwmpeini braf hefyd, gwyn fyd na byddwn i gyd a hwy.' Ymhyfrydai yn

canu hymnau, ac yr oedd ganddo fedr hynod yn hyny ac ystyried ei oedran: llawer gwaith y peraidd ganodd ei hoff bennillion canlynol.

O deuwch tu a'r wlad, y ffordd a gaed yn rhydd, &c.
Yn Eden cofiaf hyny byth, &c.

Mawr oedd ei hoffder at ei Feibl, oblegid achubai bob cyfle i'w ddarllen. Yr oedd wedi bwriadu ei ddarllen drosto o'i gwr: yr oedd wedi cyraedd agos i ddiwedd llyfr Lefiticus cyn ei farw. Ychydig cyn myned yn sal yr oedd y 26 bennod o Matthew wedi cael lle dwys ar ei feddwl: a'r diwrnod cyn ei farw yn ei wely, gofynodd am fenthyg y Bibl, a dysgodd 16 o adnodau o honi allan. Hoff iawn oedd ganddo ddarllen hanes Iesu Grist yn rhoddi ei hun i farw dros bechaduriaid. Y Sabbath cyn ei farw gofynodd i'w fam, 'Mam, a ydyw yn bechod ysgrifenu ar y Sul?' 'O ydyw,' ebai ei fam. Ebe yntau, 'A ydyw yn bechod ysgrifenu adnodau o'r Bibl ar y Sul?' 'Nac ydyw am a wn i,' ebe ei fam. 'Wel,' ebai yntau, y mae genyf lawer o adnodau ar fy meddwl eisiau eu hysgrifenu, ac fe'u hysgrifenodd.

Er pan y daeth i fedru cerdded yr oedd yn myned gyd a'i dad i'r addoliad, a chymmaint oedd ei hoffder at foddion gras fel y parhaodd i fyned yno yn gyson ddydd a nos, nes yr attaliwyd ef gan afiechyd ychydig ddyddiau cyn ei farw. Yr oedd ganddo ddwy filldir o ffordd i gerdded i'r Capel (Adwy'r Clawdd); ond er pelled y ffordd, ac er ieuenged ydoedd, ni welodd neb erioed mo hono yn cysgu yn yr addoliad; ond i'r gwrthwyneb, os gwelai efe rai o'i berthynasau yn tueddu i'r bai hwnw, buan yr aflonyddai hwy trwy eu distaw *bwtian* neu sathru eu traed: O na byddem oll yn debyg iddo yn hyn. Ac wedi dyfod i'r addoliad, nid seguryn diofal a llygadrythol a fyddai, ond gwrandawai mor astud a'r un henwr, a chofiai lawer o'r pregethau, ac adroddai hwy gyda hyfrydwch.

Y clefyd o ba un y bu farw oedd y frech wen, yr hon a'i cymerodd ymaith mewn ychydig ddyddiau. Cyn ei farw, cafodd bangfa drom o'r *Colic*, ac yr oedd edrych ar y bach yngafael y poenau dirdynawl yn ddigon a hollti calon; tad a mam yn methu gweini un cymhorth iddo, yn ei gyfyngder mawr: cyfodai ar ei liniau yn y gwely, a chan blethu ei ddwylaw bychain, dywedai yn ddifrifol, 'O fy nhad bach, gweddiwch drosof, oblegid byddaf yn y farn cyn y foru! Gwnaf fy machgen bach i, ebe ei dad gofidus, ac efe a aeth ar ei liniau ac a weddiodd yn daer drosto; ond pa fodd bynag yn y man llonyddodd y poenau mawrion, er mawr dawelwch i'w rieni gofidus. Yn mhen ychydig, efe a hunodd yn dawel yn yr Iesu, oddeutu haner nos, nos wener y 15 o Fedi, 1837. Tystia ei Athraw dyddiol ei fod yn un o'r plant llonyddaf, distawaf, a mwyaf diniwed a fu erioed o dan ei ofal. Yr oedd ei rieni yn coleddu disgwyliadau gobeithlawn am Enoch bach. Ond er pob ymdrechiadau yr angau du a'u siomodd, torodd y blodeuyn golygus i lawr, ac yn awr y mae yn ymledu mewn gwawr ddymunol yn y baradwys fry, lle nad yw yr un o'r blodau teg byth yn gwywo.

'Megys rhosyn teg blodeuodd,
Megis rhosyn buan gwywodd;
Ond daw boreu gwynfydedig,
Ail flodeua 'n anllygredig.'

*Mwnglawdd.* A. FRANCIS.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dal. 134.)

Yn Ffrainc, yr oedd swn taranau megis oddi draw, yn arwyddo fod ystorm heb fod yn neppell, ac o'r diwedd hi dorrodd allan yn Lyons a Vienne yn y flwyddyn 169, yn erbyn y Cristionogion. Cymmerwyd i fynu y rhai mwyaf enwog a chyhoeddus o honynt, a bwriwyd hwynt i garchar. Yr oedranus Esgob Pothinus yn 90 mlwydd oed, wedi iddo ddyoddef llawer o ddirmyg ac arteithiau, a fu farw yn y carchar. Rhai o honynt a oddefasant y poenau a'r arteithiau mwyaf ofnadwy a ellid eu dyfeisio i'r dyben o gael ganddynt wadu Crist.

Benyw, o gaethes, a elwid Blandina, oedd ferch o ansawdd corphorol tyner a gwanllyd, yn gymmaint felly, fel yr ofnai y cristionogion yn fawr nad allai ymgynnal dan awr y brofedigaeth. Fe'i poenydiwyd hi o'r boreu hyd yr hwyr, â phob math o arteithiau a allai ei gelynion ddyfeisio, hyd nes o'r diwedd i'r poenydwyr ddihoeni, a synu ei bod hi yn parhau yn fyw, am fod holl gyfansoddiad ei chorph wedi ei gigynio mor resynus. Ond Duw a'i cynnorthwyodd yn rhyfeddol, fel y parhaodd i ddal i fynu ei phroffes, gan ddywedyd o hyd, 'Cristion ydwyf fi, a'r drygair a roddir yn erbyn y Cristionogion ydynt gelwydd.'

Yn gyffelyb y bu gyda'r Henuriad Sanctus, yr hwn yr ymddygwyd yn ddidrugaredd iawn tuag atto. Ond wrth i'r erlidwyr ei ddirboeni ef, efe a ddywedai ar bob hamdden a gâi, 'Cristion ydwyf fi;' canys Crist oedd yn ei nerthu ef. Ymgynddeiriogodd ei erlidwyr oherwydd hyny, fel y rhwymasant ddarnau o haiarn poeth ar y rhanau mwyaf teimladol o'i gorph ef. Ac er fod ei holl gorph wedi myned megis un dolurus friw, ac wedi crebychu cymmaint fel nad oedd yn ymddangos yn debyg i ddyn, er hyny efe a ddaliodd broffes ei grefydd a'i ffydd yn ddiysgog. Ac wedi ei adael felly yn ddolurus drosto am rai dyddiau, nes oedd ei gnawd wedi chwyddo, a'i friwiau wedi ennyn, fel nad allai oddef cyffwrdd â hwynt, hwy a'i gosodasant drachefn ar yr arteithglwyd; ond ni bu i ddim o'r pethau hyn ei ysgogi ef; canys rhoddwyd iddo nerth i ddyoddef hyn oll. Wedi hyny gwnaed gwledd arbenig, a phenderfynwyd ei ddwyn ef ger bron i'w ddihenyddio er difyrwch i'r bobl anwâr a chreulon galon.

Yna dygwyd Cristion arall, o'r enw Maturus, yr hwn nid oedd ond newydd ei fedyddio i'r ffydd gristionogol, hwn a ddygwyd allan gyda'r crybwylledig Sanctus. Dodwyd y ddau, ar ddydd y wledd, i eistedd mewn cadair freichiau o haiarn bob un, wedi eu poethi mewn tân: ac wedi gorfod eistedd yn y rhai hyny nes oeri o honynt, fe'u taflwyd felly yn hanner marw i'r anifeiliaid gwylltion i'w hysglyfaethu. Hwy a lynasant yn eu proffes. Ac fel na ddarfu i'r anifeiliaid ysglyfaethus ddim ond dryllio ychydig arnynt, fe orphenwyd eu lladd hwynt â'r cleddyf. Blandina, yr hon a grybwyllwyd uchod, i'r dyben o roi pen ar ei heinioes, a rwymwyd wrth bolyn, a'i dwylaw ar led ar ddull croeshoeliad, ac yna gollyngwyd anifeiliaid gwylltion ati, ond ni wnai y rhai hyny ddim niwed iddi, megis pe buasent yn fwy eu tosturi na'i herlidwyr creulon. Wedi hyny cymmerwyd hi ymaith, ac a'i cadwyd erbyn amser arall. Yna, pan oedd dau o gristionogion enwog ereill, Attalus, ac Alexander, i gael eu rhostio yn fyw yn y cadeiriau poethion, a'u taflu oddiyno i'r anifeiliaid gwylltion i'w rhwygo i farwolaeth, daeth ei thro hithau i ddyoddef unwaith yn chwaneg. Hi a gyfarfu âg angau mor orfoleddus, a phe buasai yn myned i wledd priodas cyfaill anwyl. Dodwyd hi mewn rhwyd, a gollyngwyd tarw gwyllt atti, yr hwn a'i taflodd ar ei gyrn i entrych awyr, a hi a ddisgynodd ar y llawr yn gelain farw yn y fan. Ar unwaith â hi lladdwyd bachgen ieuanc, o'r enw Ponticus, yr hwn a ddyoddefodd ferthyrdod gyda gwroldeb ac amynedd nodedig. Lladdwyd llawer o'r Cristionogion drwy gyffelyb greulonderau, ac ereill a fuont feirw mewn carcharau caethion a budron. Mewn erledigaeth o flaen hyn, dan yr Ymerawdwr Severus, dilynwyd Pothinus ac Irenœus gan amryw ereill, y rhai a aethant allan o'r cystudd mawr drwy ferthyrdod i wisgo y goron anllygredig.

Ynghylch y pryd hwn dodwyd amryw o Gristionogion mewn cadwyni yn Carthage, ymysg pa rai yr oedd gwraig briod ieuanc a elwid Perpetua, dwy ar hugain oed; dygwyd y plentyn sugno oddiarni, a thaflwyd hi a benyw arall o gaethes, o'r enw Felicitas, i garchar, a dodwyd hwynt mewn cadwyni i aros dydd eu dienyddiad. Yr oedd tad Perpetua yn bagan, ac efe a ddefnyddiodd bob moddion a allai i geisio ennill ei ferch i wadu ei chrefydd. Efe a ymwelodd â hi yn y carchar, ac a ddywedodd wrthi, 'O fy merch, tosturia wrthyf yn fy hen ddyddiau. Tosturia wrth dy dad, os wyt yn fy nghyfrif yn deilwng o'r enw tad i ti. Tosturia hefyd wrth dy faban bach dy hun, yr hwn ni ellir disgwyl iddo fyw ar dy ol di. Yr wyf yn dymuno arnat, tosturia, a galw yn ol dy broffes; canys os byddi di farw megis drwg weithredydd fe dderfydd am barchedigaeth fy nheulu am byth.' Efe a gusanodd ei llaw, a gwympodd i lawr wrth ei thraed, a wylodd, gan ddywedyd nad oedd efe yn ei hystyried hi mwyach yn ferch iddo yn unig, ond yn feistres ei dynged, am fod ei holl barch a'i fri ef ar ei llaw. Pa wroldeb meddwl oedd raid iddi gael i wrthsefyll yr holl daerni calon ddrylliol hyn! eu gwrthsefyll yn enw yr Hwn sydd i fod yn anwylach genym na thad a mam, ac na brawd a chwaer! Wedi hyny aed a Perpetua a Felicitas i'r Chwareuyddfa (*theatre*) a gollyngwyd buwch wyllt i'w cyfarfod hwynt yngwydd yr holl dyrfa, a hi a'u drylliodd hwynt, ond fe fu raid gorphen eu lladd hwynt â chleddyf.

Mewn erledigaeth yn Alexandria yn y

flwyddyn 247, cymmerwyd i fynu hen wr o achos ei grefydd, o'r enw Metras. Gorchymynwyd iddo gablu Crist! Ac am na wnai, hwy a'i curasant ef â chlwbiau, a rwygasant ei wyneb â mieri, wedi hyny fe'i llusgwyd ef allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiwyd ef â meini i farwolaeth. Yn fuan ar ol hyn, cymmerwyd i fynu wraig dduwiol o'r enw Quinta, ac a'i dygwyd hi i dŷ yr eilun, a chymhellwyd hi i syrthio ar ei gliniau o flaen yr eilun a'i addoli ef, ond hi ni wnai; am hyny ei herlidwyr a rwymasant ei thraed ynghyd, ac a'i llusgasant hi ar hyd palmant garw y ddinas, a'i tarawsant hi yn erbyn hen faen melin, ac wedi hyny hwy a'i ffiangellasant hi, ac yna, llusgasant hi i'r lle o'r hwn y cymmerwyd hi, ac yno gorphenasant ei lladd hi.

Ar ol hyn, cytunodd yr erlidwyr i fyned i mewn i dai yr holl gristionogion, ac a'u hysbeiliasant, gan gymmeryd ymaith eu holl bethau goreu bwynt oddiarnynt, a llosgi y gweddill ar yr heol, fel yr oedd y ddinas yn ymddangos ar ol y galanastra a wnaed yn y dull hwn, megis ped ysbeiliesid hi gan ei gelynion mewn rhyfel. Ymhlith ereill, hwy a gymmerasant mewn llaw hen ferch ddibriod, o'r enw Appolonia; ac wedi curo ei dannedd oll o'i phen, hwy a gynneuasant dân y tu allan i furiau y ddinas, ac a fygythiasant ei llosgi yn fyw os na wnai hi gablu Crist. Hi a erfynodd gael munud o hamdden, a hi a neidiodd i ganol y tân yn hytrach nag y cablai hi ei Harglwydd a'i Phrynwr, a hi a losgwyd i farwolaeth.

Wedi hyny, daliasant gristion, o'r enw Scrapion, yn ei dŷ ei hun, yna taflasant ef allan drwy ffenestr y llofft i lawr bendramwnwgl i'r heol. Nis gallai y cristionogion fyned allan o'u tai yn ddiberygl, na dydd na nos: ymhob man yr oedd y bobl yn bygwth eu bwrw hwynt i'r tân oni chablent Grist. Dygwyd un Swyddog o'r Llys i wyddfod yr Ymerawdwr, ac o herwydd ei grefydd, efe a fflangellwyd ger bron yr Ymerawdwr yn y modd creulonaf. Ac o herwydd ei fod yn parhâu i naccâu aberthu i'r eilunod, er ei fod wedi ei fflangellu mor dost nes oedd rhai o'i esgyrn yn ymddangos yn y briwiau, fe rwbiwyd gwinegr a halen ar y briwiau; a chan na ddarfu i hyn oll ei orchfygu, efe a rostiwyd i farwolaeth uwch ben tân araf. Hyn a fu yn y flwyddyn Oed Crist 302.

Wedi i Esgob Rhufain, o'r enw Lixtus, gael ei ferthyru yn y flwyddyn 260, fe chwanegwyd dala y Dïacon perthynol i'r un eglwys. Y Dïacon hwn a elwid Laurentius. Mi a wn, meddai y Rhaglaw wrtho, eich bod chwi, y cristionogion, yn ymffrostio yn eich dibrisdod o ddyoddef marwolaeth: mi a wnaf o'r goreu a thi, ni chai di ddim marw ar unwaith; ond mi a'th rostiaf ar dân araf i farwolaeth. Efe a orchymynodd, gan hyny, ei rwymo ef, a gosodwyd ef ar ridyll haiarn mawr uwch ben tân i'w rostio. Ac wedi i Laurentius fod felly ennyd ar un ystlys; efe a waeddodd ar y Rhaglaw, 'Mae yr ystlys yma wedi rhostio digon, yn awr trowch fi.' Ac wedi iddynt ei droi ef, efe a edrychodd tu a'r nef, ac a weddiodd dros drigolion Rhufain, ac wedi hyny efe a fu farw.

Yr oedd rhyw wroldeb rhyfedd yn cael ei roddi oddiuchod i'r merthyron hyn i ddyoddef anmharch a phoenau ac angau o bob math er mwyn enw Iesu Grist. Yn y flwyddyn 260, Masnachwr o Asia Minor, o'r enw Maximus, a waeddodd allan dan arteithiau merthyrdod, 'Nid poenau ydyw y rhai hyn ydym yn eu dyoddef er mwyn enw Iesu Grist; eneiniadau gogoneddus ydynt.' Efe a labyddiwyd â meini, fel y bu farw dan y gawod.

Mae genym hefyd hanes am blant a phobl ieuainc yn dyoddef yn amyneddgar dros achos Crist. Yr oedd bachgen bychan yn Cesarea o'r enw Cyril, yr hwn oedd yn wastad yn galw ar enw yr Arglwydd Iesu; ac ni pheidiai, na thrwy fygythion na thrwy ddyrnodiau a chyffesu ei ffydd yn Nghrist. Erlidiai rhai plant ef am hyny; ac fe droes ei dad ef dros y drws. O'r diwedd dygwyd ef o flaen swyddogion Rhufain, y rhai a ddywedasant wrtho, 'Blentyn, yr ydym yn barod i faddeu i ti, ac hefyd i adael i dy dad dy gael adref yn ol; a chyn y bo hir ti gai feddiannu eiddo dy dad, os byddi di yn gall, ac os ymddygi di er dy lesad dy hun. Ond y bachgen a ddywedodd, 'Yr wyf fi yn hollol barod i ddyoddef. Duw a'm cymmer atto ei hun; nid wyf fi ddim yn gofidio am i mi gael fy nhrol dros y drws; mi gâf fi well cartref. Nid oes arnaf ofn marw; ni

fydd i angau ond fy anfon i fwynhau amgenach bywyd.' Wedi iddo broffesu proffes dda fel hyn, efe a rwymwyd drwy orchymyn y swyddog, ac a arweiniwyd i'r dihenyddle. Ond y Swyddog yn ddystaw a barodd ei ddwyn ef yn ei ol drachefn, wedi dangos iddo y lle, canys gobeithiasai y dychrynai efe wedi gweled y tân ac y dadgyffesai. Ond fe barhaodd Cyril, fodd bynag, yn ddiysgog. Cyn gynted ag y dygwyd ef yn ol, fe ddechreuodd y Swyddog ei berswadio ef drachefn yr ail waith. Y merthyr ieuanc a attebodd, 'Ni ddichon i'ch tân na'ch cleddyf wneud dim niwed i mi; mi gâf fyned i gartref gwell; brysiwch i roi pen arnaf, fel y gallwyf fyned yno yn gynt.' Yr oedd y rhai oedd yn gwrando arno a'u dagrau yn llifo. Efe a sylwodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, 'Chwi ddylech fod yn llawen; ac felly y byddech pe gwybyddech i ba fath ddinas yr wyf fi ar fyned.' Fel hyn, yr aeth efe i angau, fel ag yr oedd yn ymddangos fel gwyrthiau yngolwg yr holl drigolion. Hyn a fu yn y flwyddyn Oed Crist 260.

Bachgen ieuanc iawn yn Affrica, yr hwn a feddyliodd y Rhaglaw ei ddychrynu yn hawdd drwy fygythion, a attebodd, gydag ymroddiad diysgog, 'Gwnewch yr hyn a fynoch, Cristion ydwyf fi, ac yr wyf yn bwriadu bod felly.'

Dyn o'r enw Romanus a fflangellwyd yn Antioch. Gwawdiodd un o'r milwyr ef, ac ac a ddywedodd, 'Er doe y mae eich Crist chwi; ond mae ein duwiau ni yn hynach o lawer.' Galwodd Romanus am fachgen, ac a barodd iddo atteb y milwr. Y bachgen yn galonog, a'i hattebodd, "Nyni blant a wyddom yn awr nad oes llawer o dduwiau; nid oes ond un Duw, ac mae efe yn preswylio yn y galon.' Ar hyny fe gurwyd y plentyn yn greulon â gwiail; ei fam yr hon a safai ger llaw, a waeddodd yn ddiofn, 'Dal atti hi, fy mhlentyn, a saf yn ddiysgog; yn fuan fe fydd coron o ogoniant yn dysgleirio ar dy ben anwyl di!' A phan oedd y plentyn bron marw dan y wialen, llefodd y fam allan gyda dagrau, 'Farwel fy mhlentyn anwyl a graslawn i. Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef.'

Nid anfynych, ar yr achlysuron hyn, y gwelwyd y fath amynedd mewn dyoddefiadau nes synu y Paganiaid eu hunain. Felly y mae Eusebius, yr Hanesydd Eglwysig enwog, yn hysbysu i ni am amryw bersonau yn Palestina a Phoenicia, y rhai a adwaenai efe yn bersonol, ag y synodd efe wrth weled eu rhyfeddol amynedd o dan y fflangellau, ac wrth gael eu taflu i'r anifeiliaid gwylltion i'w rhwygo. Un o honynt, o dan ugain oed, a safodd a'i ddwylaw ar led, yn gweddio o flaen eirth a llewpardiaid; a'r rhai hyny yn ymattal yn hollol heb gyffwrdd âg ef. Anfonwyd tarw gwyllt atto, ac yntau yn sefyll yn yr un agwedd ac yn gweddio o hyd; a'r tarw a droes oddiwrtho gan ymruthro ar ei ymwyr yn ei le ef; ac fe gafwyd digon o waith i gael gan y creaduriaid gwylltion ei ladd ef yn y diwedd.

Yr oedd agos yr holl drydedd ganrif ar hyd yr hon y dyoddefodd y cristionogion gymaint o ferthyrdod yn amser o helbul mawr drwy yr holl fyd yn gyffredinol. Nid nemawr lai na hanner cant o Ymerawdwyr a eisteddasant ar orseddfaingc Rhufain yn y ganrif hono, y rhai, er yn gyffredinol iddynt gael eu dewis gan y fyddin, a laddwyd yn fuan gan eu milwyr eu hunain. Yr Ymerodraeth a ddiboblogwyd i raddau mawr drwy alanastra a difrod o amryw fath, yr hyn a gyfrifid gan y cristionogion yn gosp oddiwrth Dduw am eu creulondeb tuag attynt hwy, y rhai er hyny a effeithient ar y Paganiaid i'w chwerwi hwynt yn fwy yn eu herbyn.

Yn y flwyddyn 180, dan lywodraeth Commodus, ar ganol erledigaeth gyffredinol y cristionogion, ymdaenodd pla ofnadwy yn Itali, a Groeg, a rhanau ereill o Ymerodraeth Rhufain, pryd y bu farw ymhell dros ugain mil o drigolion Rhufain mewn ychydig amser. Bu pla yn lladd mor ddychrynllyd yn Ethiopia yn y flwyddyn 256, fel na allwyd rhifo y nifer mawr a laddwyd ganddo.

Yn y flwyddyn 311, ar amser yr erlidigaeth dan yr Ymerawdwr Maximian, bu farw ymhlith ei filwyr ef, gan y pla, bum mil o honynt. Tarawodd Duw hefyd rai o'r Ymerawdwyr y rhai a erlidiasant y cristionogion, â barn amlwg iawn. Yr Ymerawdwr Valerian, wedi cael ei gymmeryd yn garcharor gan Sapor, brenin Persia, a fu raid iddo blygu ar ei liniau ar lawr, a

myned yn stol dan ei draed ef i'w gynnorthwyo i fyned ar ei farch, ac yn y diwedd gorchymynwyd ei flingo ef yn fyw, a'i halltu ef â halen; hyn a fu yn y flwyddyn 260.

Yr Ymerawdwr Galerius, yr erlidiwr, yn y flwyddyn 310, a ddaliwyd gan glwy anfeddyginiaethol, yr hwn a drodd y rhan isaf o'i fol ef yn bwdr ddu fel glöyn. Galwyd ar y Physygwyr atto, a gweddiwyd ar yr eilunod drosto; eithr oll yn ofer. Llanwodd y palas lle yr oedd yn glaf â drewdod anoddefol; efe a fu yn dyoddef poenau dirdynol am flwyddyn gyfan; ac yn y diwedd efe a yswyd gan bryfed fel y bu farw yn druenus. Gan drymed ei glefyd, yn y fl. 311, efe a barodd rhoi attalfa ar erlid y cristionogion; a rhoddodd hefyd ganiatad i ail adeiladu Eglwysydd cristionogol; ac ymhellach na hyny, efe a anfonodd at y cristionogion i erfyn arnynt weddio drosto, am iddo gael adferiad iechyd. Yn fuan ar ol hyn daeth Cwstenyn fawr i'r orsedd Ymerodraethol, yr hwn a amddiffynodd y cristionogion, ac a roddes ben ar yr erledigaeth, yr hwn a barhausai am dri chan mlynedd.

O ran ein teimladau, mae yn dda genym gael rhoi terfyn, yn bresennol, ar hanes y creulonderau echryslawn hyn; a gwell fyth fyddai genym, pe na byddai raid i ni etto roi hanes am y cyffelyb ysgelerder a gyflawnwyd wedi hyny gan eglwys Rhufain Babaidd, yn erbyn disgyblion yr Arglwydd Iesu.

Mae y pethau canlynol yn gweithredu yn gryf ar ein meddyliau wrth ysgrifenu hanes yr erledigaethau ofnadwy uchod.

1. Bod Crist wedi rhagddywedyd am hyn oll wrth ei ddisgyblion, pan ydoedd yma yn y byd. 'A chas fyddwch gan bawb er mwyn fy enw i,' Math. x. 22. 'Yna y traddodant chwi i'ch gorthrymu, ac a'ch lladdant: a chwi a gasheir gan yr holl genhedloedd er mwyn fy enw i,' Matth. xxiv. 9. 'Hwy a roddant eu dwylaw arnoch, ac a'ch erlidiant, gan eich traddodi i'r synagogau, ac i garcharau, wedi eich dwyn ger bron brenhinoedd a llywodraethwyr, o achos fy enw i,' Luc xxi. 12.

2. Bod y nerth a dderbyniodd y merthyron, i sefyll yn wyneb eu herlidwyr, eu hamynedd rhyfeddol i ddyoddef creulonderau, a'u dyddanwch a'u gorfoledd ynghanol eu poenau mwyaf, yn profi rhinwedd dwyfol ras, a ffyddlondeb Crist i gyflawni ei addewidion gwerthfawr. "Myfi a roddaf i chwi enau, a doethineb, yr hon nis gall eich holl wrthwynebwyr na dywedyd yn ei herbyn na'i gwrthsefyll." Luc xxi. 15. "Byddwch lawen a hyfryd, canys mawr yw eich gwobr yn y nef." Matt. v. 12.

3. O bawb sydd o fewn cylch ëang llywodraeth Brydain fawr, nyni, broffeswyr Crefydd Crist, a ddylem fod yn fwyaf diolchgar i Dduw pob gras, am diriondeb ei Benarglwyddiaethol ragluniaeth, yn nhrefniad Brenhinoedd tirion, a Brenhines radlawn, i lywodraethu arnom, y naill ar ol y llall; ac am y cyfreithiau amddiffynol a osodwyd arnom, fel y mae ein rhyddid a'n rhagorfreintiau yn rhagori mor hynod ar y rhai a feddiannodd ein tadau a'n brodyr yn yr oesoedd gynt. Yr Hollalluog a amddiffyno Brydain, a'i Brenhines, a'i breintiau, a dyweded yr holl bobl. Amen.

---

## Y TUEDD FRYD ANGENRHEIDIOL I IACHAWDWRIAETH DRAGYWYDDOL.

1. Deuwch, *megys yn golledig ac andwyol diobaith a digymhorth* at Iachawdwr trugarog a hollddigonol. Gwaeddwch allan, fel un yn suddo ynghanol tonnau a thymmestl, 'Arglwydd, cadw fi, canys darfu am danaf.' Edrychwch ar ei ddwylaw, a'i draed, a'i ystlys, a dywedwch fel Thomas, 'Fy Arglwydd a'm Duw!' Fy Nghrist a'm Hachubwr! A dadleüwch gyda Pedr; 'Arglwydd at bwy yr af fi? Gennyt ti y mae geiriau bywyd tragywyddol. 'Tydi a elli fy ngodi allan o dom dwfn fy mhechodau, a'm cadw rhag syrthio i gerwyn dy ddigofaint, a'm dwyn i'th wynfydedig bresenoldeb, i fynwes garedigol Duw y gogoniant. Yr wyf yn estyn braich egwan fy ffydd attat ti; O estyn gadarn fraich dy allu a'th drugaredd, a thyred ac achub fi!'

2. Dyneswch, *fel pechadur edifeiriol a gostyngedig* at Dduw digofus. Dewch tan nngr,y a'r dagrau yn eich llygaid, a dwfn dristwch yn eich calon. Deüwch, mal un ffiaidd yngolwg Duw, yr angylion, â'r saint, ac yn enwedig yn eich golwg eich hun. Fel y *Publican* heb feiddio cymmaint a

chodi eich golygon tu a'r nef, curwch eich dwyfron, gan ddywedyd, 'O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur.' Fel y *Canwriad*, 'Arglwydd nid wyf deilwng ddyfod o honot dan fy nghronglwyd.' Neu, yn debyg i'r *afradlon*, 'Pechais yn erbyn y nef, nid wyf deilwng i'm galw yn fab i ti.' Er hyny y mae moroedd o drugaredd yn ngalon rasol Duw, ac yn dy haeddedigaethau di fy Iachawdwr. Trwy fy mhechodau y darfu i mi yn fynych gynt, megis agoryd dy glwyfau o newydd, y rhai a lifasai gymmaint troswyf; ond yn awr, mae yr olwg arnynt yn hollti fy ngalon, ac yn llenwi fy enaid â duwiol dristwch.'

3. Deuwch, *megis creadur halogedig*, at ffynnon buredig o ras. Cyffeswch yn ostyngedig. 'Nid oedd Lazarus a'i gornwydydd, na Job a'i *gornwydydd blin o wadn ei droed hyd ei goryn, pan eisteddai yn y lludw* mor ffiaidd yn ngolwg dyn, ag ydwyf fi, oblegid pla fy ngalon a'm buchedd, yngolwg y Duw pur, a sanctaidd. Y mae ffieidd-dra pechod yn fy nilyn i ba le bynnag yr elwyf. O fel y mae yn glynu wrthyf yn mhob dyledswydd, ac yn mhob mwynhad! Aflan! Arglwydd, glanha fi, a phura fi trwy dy waed.'

4. Deuwch, fel *creadur caethiwus*, at Brynwr cadarn. Cwynfanwch rhag gormes creulon Satan, a phechod; a dywedwch, 'Arglwydd, ti a delaist bridwerth digonol. Ti a'm prynaist trwy dy waed, gwaed gwerthfawrocach na myrdd o fydoedd. Cur ymaith fy llyffeitheiriau heiyrn hyn. Dwg fi allan o ddaear-dy uffernig pechod yma! Nid oes gennyf lywodraeth ar ben, na chalon, na thafod! Pa fodd y mae y chwantau hyn yn gorfodi! Pa mor dŷn i'm rhwymwyd wrth y ddaear gan fy nghalon anianol! Os tydi, Arglwydd, a'm rhyddha i, rhydd a fyddaf yn wir!'

5. Deuwch, fel *enaid heintus* at Grist y *Physygwr anffaeledig*. 'Llefwch allan, Och y bla o galon galedwch! O yr ing, o gydwybod archolledig! Arglwydd dyma lle yr ydwyf yn llewygu, ac yn trengu. O am ddyferyn o'th waed di! Yr adfywiol eli y galon hwnw! Y balm arbenig diflêth hwnw! Yr wyf wedi bod mewn diferlif gwaedlyd pechod, y blynyddau meithion hyn, ie dros holl ddyddiau fy mywyd: os câf yn unig gyffwrdd a'th wisg di, iach a fyddaf.

6. Deuwch *yn flinderog ac yn llwythog dan faich eich pechodau*, fel y caffoch gan Grist *orphwysdra i'ch eneidiau.* Onid ydyw Paul wedi cwyno rhag gwasgfeuon pechod, yn gorfoleddu yn Nghrist? Felly y gellwch chwithau hefyd, os ydyw y pechodau oedd gynt yn anwyl, yn awr yn ffiaidd annioddefol gennych.

7. Deuwch at Grist, *fel y tlodion yn dyfod at y cyfoethogion am elusen.* Deuwch, wedi ymddiosg o'ch hunan gyfrifiad, nid yn ymddiried yn eich hunan gyfiawnder, eithr cyffesu eich tylodi ysbrydol. Dywedwch wrth yr Arglwydd, 'Ni ddaeth dyn tylotach erioed attat i geisio trugaredd a grâs. Arglwydd, os derfydd am danaf, wrth dy draed y bydd hyny. Ni chymeraf fy ngwthio ymaith oddiwrth dy ddrws. Y mae arnaf angen ffydd, dioddefgarwch, a chariad, ie, myrdd mwy nag allaf eu henwi. O gad i'th Ysbryd agoryd dy addewidion, a thywallt eu trysorau nefol i fy mynwes.'

8. Deuwch at Grist, *yn newynu ac yn sychedu am adfywiant ysbrydol.* Llefwch, 'Bara, bara, bara, Arglwydd, dyro i mi ymborth nefawl! Gâd i mi 'ymborthi ar y briwsion a syrth oddiar dy fwrdd di! Bydd briwsionyn a diferyn yn feddyglyn adfywiol, yn wledd ó loyw win; o basgedigion breision, a gloyw win puredig!'

9. Dewch, *dan deimlad o'ch anwybodaeth*, at Grist am ddwyfol ddysgeidiaeth. Dywedwch, Arglwydd, ni chyrhaeddaf fi byth ddysgeidiaeth ysbrydol, oni ddysgi di fi. Hurt, ac anneallus ydwyf fi, ond yr wyt ti yn gwneuthur dy bobl yn ddoeth i iechydwriaeth: Arglwydd, agor fy neall, fel y derbyniwyf fy ngolwg ysbrydol, yr wyf yn dyfod i fod yn ddisgybl i ti, i eistedd wrth dy draed, O dyro i mi ddysgeidiaeth dy air, a'th Ysbryd!

10. Deuwch, yn *egwan ac annigonol*, at Grist, megis Tywysog ein hiachawdwriaeth: ymddadleuwch ag ef, Arglwydd, rhaid i ti 'ddysgu fy nwylaw i ymladd, a'm bysedd i ryfela,' ac ymladd fy mrwydrau, neu mi syrthiaf o flaen fy ngelynion ysbrydol. Megis Dafydd yn erbyn y llew, yr arth, a'r Philistiad, felly yn dy nerth, a than dy arweiniad di, âf allan yn erbyn llygredigaeth.

au a themtasiynau, yn erbyn 'Tywysogaethau ac awdurdodau."

11. Deuwch at Grist eich Eiriolwr, *megis troseddwyr condemniedig.* Mae eich camweddau yn borphoraidd, eich cyhuddwyr ydynt liosog a chyfrwys-gall, bywiog a chreulon. Eich Barnwr goruchel a gyffröwyd yn ddirfawr. Er hyny yr Iesu a ymrwymodd dros eich bâth chwi. Attolygwch arno, 'Arglwydd, sâf rhwng cyfiawnder dïaleddol Duw, a'm henaid dinystriol i.'

12. Deuwch at eich Arglwydd a'ch Meistr, Iesu Grist, *fel deiliad ffyddlon, a gwas ufudd.* Deuwch ac ufuddhewch, anrhydeddwch, a charwch ef hyd angau. Dywedwch wrtho, 'Arglwydd, dyma fy mhen i'th adnabod di, fy nghalon i'th garu di, fy nghlustiau i wrando dy lais di, fy nwylaw a'm traed i gyflawni dy ewyllys di. Beth a fynni di i mi ei wneuthur? Arglwyddi ereill heb dy law di a arglwyddiaethasant arnaf fi, ond tydi yn unig yw fy Nhywysog, a'm Iachawdwr. Nid wyf yn angharu un o'th orchymynion; ond yr wyf yn gofidio, am nad wyf yn dy garu yn wresocach, ac yn ufuddhau i ti yn siriolach'

13. Deuwch, *fel priodasferch ddiles*, at Grist, eich anrhydeddus Briod, a'ch gogoneddus Ben. Deuwch atto ef i ymofyn eich gwisg priodas a'ch cynnysgaeth anghydmarol. Dywedwch wrtho, "Arglwydd, un o waodoliaeth isel ydwyf fi; trwy bechod yn blentyn satan, ond tydi ydwyt yr Arglwydd o'r nef. O urddasa fi trwy dy râs! Er fy ngwneuthur gan bechod yn wrthyn, ac yn ffiaidd, O gwisg fi yn dy gyfiawnder difrycheulyd, fel nad *Ymddangoso gwarth fy noethder.*" SENEX.

GWRAIG GREFYDDOL

Mae yn debyg iawn y byddai yn briodol dweyd llawer mwy o'r Areithfa am ddefnyddioldeb crefydd yn y byd yma, a'r angen am dani, hyd yn nod i wasanaeth bydol. Mor angenrheidiol yw crefydd i lywiawdwyr gwladol: canys trwy yr Arglwydd y teyrnasa breninoedd, ac y llywodraetha tywysogion. Mae crefydd yn puro teimladau a thymher dyn; ac yn ei ddyrchafu uwchlaw marwolion yn gyffredin, yn ei olygiadau.—Mae crefydd yn bob peth i wraig; ac nid oes dim yn fwy anmrhrydferth na chlywed gair yn cael ei ddweyd yn erbyn yr hyn sydd yn gefn, yn gynhaliaeth, ac yn harddwch mwyaf i wraig. Nid oes olwg hawddgarach i'w gael ar wraig, na phan fyddo ar ei gliniau yn gweddio. Mae gweddiau mam yn debyg o gael mwy o ddylanwad ar feddwl ei mab, na'r holl areithiau a wrandawa efe o'r Areithfa. Ei rhybudd dwys, a'i chyngor caredig hi, a dyn y deigrau heillt i droiglo, lle ni ffynai yr hyawdledd mwyaf.—

GADEWCH EICH 'HUNAN FYCHAN' GARTREF.

Fel yr oedd gweinidog seis'nig euwog yn traddodi y Cynghor i weinidog ieuanc ar ddydd ei ordeiniad unwaith, efe a i cyfarchai fel y canlyn, Goddefwch i mi eich rhybuddio, Syr, pa bryd bynag y deloch i'r lle hwn, ac y cyfarchoch y bobl hyn, nad ydych i ddwyn eich hunan fychan gyda chwi. Ail adroddaf hyn eto, fel y caffo ei argraffu yn ddwysach ar eich cof. Nid ydych i ddwyn eich hunan fychan gyda chwi. Na Syr, ond pan fyddoch yn sefyll yn y lle sanctaidd hwn, y mae yn ddyledswydd arnoch chwi ddyrchafu eich Athraw mawr i'r bobl, yn ei nodweddiad, ei swyddau, ei orchymynion, ei addewidion, a'i ogoniant. Dyma y darlun gwiw yr ydych i'w ddal i fynu i olwg eich gwrandawwyr, tra fyddoch chwi eich hunan yn sefyll o'r tu ol iddo, heb adael i gymmaint a'ch bys bach fod yn y golwg.'—*Church of Eng. Mag.*

CYDWYBOD EUOG.

Pan oedd Dr. Donne, Dëon St. Paul wedi hyny, yn cymeryd meddiant o'i blwyfoliaeth gyntaf, fel yr oedd efe yn rhodio yn y gladdfa, efe a welai asgwrn penglog yn cael ei daflu i fynu gyd a'r pridd, gan wr oedd yn tori bedd yno: efe a'i cyfododd, ac wrth edrych arno efe a welai hoel fechan heb un pen, ynddo, yr hon a dynodd efe allan yn ddirgelaidd, gan ei chadw yn nghongl ei gadach; yna, efe a ofynodd i'r torwr beddau, a wyddai efe i bwy yr oedd yr asgwrn hwnw yn perthynu. Yntau a attebai, mai asgwrn pen Masnachwr gwirodydd oedd, yr hwn wedi myned i'w wely yn feddw ryw noswaith a gaed yn farw y boreu dranoeth. Gofynai y doctor, 'A oedd ganddo wraig?' yntau a attebai fod. 'Pa fath gymeriad sydd iddi?' 'Da iawn; oddieithr bod rhai o'i chymmydogion yn ei beio am brïodi mor fuan ar ol marw ei gwr: canys

**hi a briododd drannoeth wedi ei gladdu ef.' Yn mhen ychydig ddyddiau wedi hyny, y gwr parchedig a aeth i ymweled â hi; ac megis yn anfwriadol, efe a'i holai am lawer o bethau; ac yn mysg pethau eraill o ba farwolaeth y buasai ei gwr farw; a hithau yn dweyd yr un fath chwedl a'r clochydd; yn y cyfamser efe a ddadblygai ei gadach, ac a ofynai mewn llais awdurdodol, 'Wraig, a adwaenoch chwi yr hoel yma?' Hithau wedi ei tharo â dychryn, a addefodd y llofruddiaeth.—*Church of Eng. Mag.***

---

### CYD-YMDEIMLAD.

Nid oes dim yn weddeiddiach i ddyn, nag ydyw parodrwydd i gyd ymdeimlo â'i gyd greäduriaid mewn cyfyngder, a gweini yr ymgeledd a allo iddynt. Gochelwch byth wawdio diffygion naturiol eich cyd-ddynion. Ni welodd y Goruchaf yn dda yn nhrefn ei ragluniaeth, ranu i bawb yn gyfartal, mewn teleidrwydd corphorol, na galluoedd eneidiol. A yw yn weddus i mi o herwydd hyny, ddirmygu arall am na byddai mor brydferth a mi; neu ei wawdio am na fyddai ei ddirnadaeth mor ehang, a'i ddeall mor rymus a'r eiddof fi? A wawdiwn ni ddyn am na wybyddai yr hyn na chafodd erioed gyfle i'w ddysgu? Na, mae y cyfryw ymddygiad yn eithaf anweddaidd. Esgeulusdra i ddefnyddio galluoedd naturiol, neu gam ddefnyddiad o honynt, yn unig a haeddai y ffrewyll; ac eto, y mae yr hwn a gymhwyso y wialen o herwydd hyn yn aml, yn ei theilyngu yn fwy na r hwn sydd yn ei theimlo.

---

### CYNGHOR I WYR PRIOD.

**Cerwch, fel y'ch ofner; rheolwch, fel y'ch anrhydedder; na fydd rŷ betrusgar rhag i ti ddysgu dy wraig i th dwyllo; na rhy ddrwg-dybus, rhag ei dysgu i'th ddifrïo; os gweli fai, dysged dy gariad i ti ei guddio; os bydd yn parhau ynddo, boed i'th ddoethineb ei hargyhoeddi o honaw. Na cherydda hi yn gyhoeddus, rhag iddi hi fyned yn wyneb galed; nac yn ddirmygus rhag iddi hi fyned yn drahaus. Na ddatgan ei thegwch, rhag ei gwneyd yn falch; nac ymffrostia o'i doethineb, rhag dy gyfrif di yn ynfyd; na chaffed weled dy anmherffeithrwydd, rhag iddi dy ddiystyru: na chlywed ei chlustiau ymddiddanion ffiaidd genyt, rhag halogi cyssegr ei gwylder. Gwr deallus, a wna wraig synhwyrol, a hithau a wna ŵr dedwydd. Imp. Mag. Vol. 3. Col. 904.—**

---

***Yr amlygiad o ddoethineb y Creawdwr yn ei weithredoedd.—Guide to Knowledge, Vol. 1. p. 72.***

**Mae yr amrywiaeth lluosawg o lysiau, ydynt arlwyedig yn mhob parth o'r ddaear, tuag at gynhaliaeth yr afrifaid fywiolion a'i trigianant, yn eglurâad nodedig o ofal rhagluniaethol y Creawdwr, ac yn dangos un mor dda ac mor fawr yw Tad holl deuluoedd y ddaear. Gan fod y syniadau canlynol o eiddo St. Pierre mor briodol i wasgu y gwirionedd uchod ar feddyliau y darllenwyr, nyni a'i dyfynnodwn yma heb ychwaneg o esgusawd.—' Y fuwch fusgrell a bawr yn ngheuedd y dyffryn; y ddafad ysgafndroed, ar lethr y bryn; yr afr chwareu-gar a frig-bawr brysgwydd y graig; yr hwyaden a ymbortha ar ddwfr-lysiau yr afon; yr iâr â llygad craff, a gasgl yr holl rawn a wasgarwyd, ac a gollwyd yn y maes; y golomen gyflym ei hedyn, a gasgl deyrnged gyffelyb o weddillion y goedwig; a'r wenynen gynnilwedd, a wna ddefnydd hyd yn nod o'r man-lwch sydd ar y blodeuyn. Nid oes un gongl o'r ddaear, lle ni ellir medi yr holl gnwd llysieuaidd yn gyflawn gwbl. Y planwydd a wrthodir gan y naill greadur, ydynt ddanteithiol yn nghyfrif y llall, a gweinydda llysiau tuag at frasâu, hyd yn nod y llwythi asgellog. Y mochyn a ddifa y llysiau a elwir Rhawn y march, a Llewyg yr iâr; a'r afr yn awchus a ymbyrth ar yr ysgall a'r cegyd: a'r cwbl a ddychwelant yn min yr hwyr at drigle dyn, a'u brefiadau, a'u trydar, a'u llon floeddiadau, gan ddwyn iddo deyrnged ddymunol oddiwrth afrifaid lysiau, wedi eu trawsnewidio drwy oruchwyliaeth o'r fath fwyaf annirnadol i fel, llaeth, hufen, ymenyn, ac wyau.**

---

### HENAFIAID.

Mae yn syn ar yr olwg gyntaf gynnifer o henafiaid sydd gan ddyn mewn ychydig oesau. Ar y cyntaf, nid oes ganddo ond dau, y tad a'r fam; yn yr ail oes, pedwar, sef rhieni ei dad, a rhieni ei fam: yn y drydedd, wyth, sef rhieni ei ddau daid, a'i ddwy nain: a chan gynnyddu yn y cyffelyb raddoldeb, y mae ei henafiaid yn fil a phedwar ar hugain, erbyn y ddegfed genhedlaeth: ac erbyn yr ugeinfed, y mae gan bob dyn dros fil-fil o henafiaid. *Christian's Penny Magazine,*' Vol. 5. p. 3.

---

### CYMYLAU A GWLAW.

Mae agos yn annichonadwy ffurfio meddyl-ddrych teilwng, am y swm dirfawr o ddwfr sydd yn esgyn i fynu i'r ffurfafen yn fath o darth yn barhaus, neu yn nofio yn gymylau uwch ein penau.

Cawn gynnyrch nodedig o swm y dwfr a esgyn i fynu i'r wybren uwch ein penau, yn môr y Canoldir. Mae afonydd mawrion y Nile, y Po, y Rhone, yr Ebro, y Danube, y Nieper, y Don, a lluaws o afonydd llai eraill, yn ymdywallt yn barhaus i Fôr y Canoldir, neu i'r cainc foroedd cyssylltiedig ag ef; eto er yr holl gasglfa fawr yma o ddyfroedd, nid yw y môr yn cynnyddu dim mewn maintiolaeth, er fod llifiant gwastad ol iddo o'r Atlantic, drwy gulfor Gibralter: yr hyn sydd brawf digonol fod mwy o ddwfr yn cael ei darth-sugno oddiar wyneb y

Canoldir ei hunan yn unig, nag a arllwysir iddo o ranau ehang o Ewrop ac Affrica hefyd.

Gyda phriodoldeb y sylwa Dr. Thompson ar hyn; 'Tybiwn am funyd,' ebe efe, 'fod y myg-darthiad naturiol yma yn ymattal; a pha beth fyddai y canlyniad? Ni allai gwlaw na gwlith ddisgyn mwyach; y ffynnonau a ballent yn bwrw allan eu ffrydiau grisialaidd; a'r holl afonydd a sychid i fynu. Byddai holl ddwfr y byd yn ganedig o fewn y cefnfor: y ddaear a fyddai yn sych a chrâs; a llysiau, wedi eu hamddifadu o leithder, ni allent dyfu mwyach; yr anifeiliaid a'r bwystfilod o bob rhywogaeth, ni allent gael eu hymborth arferol; a dyn ei hun a drengai. Buan y byddai y ddaear yn bentwr anhardd, difywyd, a diffrwyth; heb unrhyw lysiau i harddu ei hwyneb, nac un creadur byw i dramwyo ei hanial-leoedd arswydus.

Gallwn ychwanegu, pe byddai holl ddyfroedd y byd wedi ei gynnull i'r cefnfor, y gorlifai efe y tir yn fuan, gan ei orchuddio drachefn â llifeiriant cyffredinol. Mygdarthiad sydd yn bresennol yn lluddias dylif arall.

Gwnaed cyfrifiad oddiar sylw manol, fod y myg-darthiad blyneddol oddiar wyneb Brydain Fawr, yn gymmesur i ddeuddeng modfedd ar hugain o ddwfr: ond ni ellir cyfrif swm y gwlaw sydd yn disgyn ar Frydain Fawr i gyd, mewn blwyddyn, yn llai nac 36 mod.; felly y mae y myg-darthiad yn llai na'r gwlaw, o 4 mod. Y 4 mod. ychwanegol yma a sugnir o'r moroedd; ac y mae rhaid i'r pedair modfedd hyn, nad ydynt yn cael eu sugno i fynu yn y mygdarthiad oddiar wyneb y ddaear, gael ei gludo i'r môr drwy yr amryfal afonydd yn flyneddol. Byddai swm o ddwfr a orchuddiai holl Brydain Fawr, bedair modfedd o ddyfn, yn 4,467,725,610,767, o alwyni, neu 17,729,069,844 o dunnelli.'

Felly, y mae 6 gwaith y swm mawr uchod yn esgyn yn darth o'n Hynys, a 9 gwaith y swm yn disgyn yn wlaw arni bob blwyddyn.—*Thompson's Outline of Heat.*

## Gofynion.

Dymunaf gael gwybod genych chwi neu rai o eich Gohebwyr, A oes i ni feddwl fod y gweledigaethau a gafodd Ioan, (ag sydd ar lawr yn y pennodau olaf o Lyfr y Datguddiad), eu bod yn traethu am bethau gogoneddus y drydydd nef, neu ynte am bethau perthynol i'r Eglwys filwriaethus yma ar y ddaear yn ei sefyllfa berffeithiaf yn y mil blynyddoedd? GLANCADWYN.

---

Syr,—Byddai 'dda genyf gael atteb i'r Gofyniad canlynol yn eich Trysorfa. Beth yw y gwahaniaeth sydd rhwng y geiriau *gwahanol*, a *gwahaniaethol*, a *gwahanredol*; ac os oes gwahaniaeth, pa un o'r tri yw y mwyaf priodol i'w arferyd am y Personau Dwyfol?

*Llanllyfni.* JOHN HUGHES.

---

*Geiriau anghynnefin i'w heglurhau o Lyfr y Barnwyr.—Eich cyfaill,* J. POWELL.

Barn. iii. 10. Trech—Bod *yn drech* nag un arall, ydyw, bod yn gryfach nag ef, a'i orchfygu
15. Anrheg—Rhodd.
16. Dager—Math o gleddyf byr.
18. Cyflwyno yr anrheg--Rhoddi yr anrheg yn ei law ef.
19. Chwarelau--Cloddfeuydd cerrig.
Cyfrinach—Neges ddirgel.
Gosteg—Dystawrwydd.
20. Ystafell—Cell, parlawr.
21. Potten—Y bol, ceudod.
23. Cyntedd — Porth, ystafell gyntaf.
30 Dwthwn—Dwthwn hwnw—y diwrnod hwnw — y pryd hwnw.
31. Irai ychain—Ierthi ychain —swmbwl ychain.
iv. 19. Cynnog — Llestr — Math o gostrel.
21. Pwyo—Curo, cnocio.
Arlais — Cwr uchaf i gern dyn.
v. 6. Anhygyrch — Llwybr anhygyrch, yw llwybr y cerddir ar hyd-ddo yn anfynych.
12. Caeth-glud—Yr hyn a ddygwyd i gaethiwed.
17. Porthladd — Aber, angorfa llongau—Porth llongau.
30. Gwisgoedd symmudliw — gwisgoedd o amryw liwiau
vi. 2. Llochesau—Lleoedd dirgel a diogel i lechu ynddynt.
11. Gwinwryf — Gwin-wasg — Offeryn i wasgu y gwin o'r grawnwin.
19. Isgell—Cawl—Pottes cig.
24. Iehofa-Shalom — Yr Arglwydd a roddo heddwch.
32. Ierubbaal—Dadleued Baal.
viii. 5. Lluddedig—Blinedig.
11. Ysgafala—Egeulus—Diofal.
15. Dannod—Edliw.
26. Arogl-bellenau--Addurniadau crynion peraroglaidd.
Tyrch—Cadwyni.
ix. 4. Gwammal—Ysgafn—Cellweirus.
24. Traha—Creulondeb.
37. Byddin—Llu.
54. Trywanu—Archolli—Gwanu trwodd.
xi. 4. Talm—Ers talm, Ers amser maith—*Ers talwm.*
19. Mangre—Cartrefle.
34. Tympanau—Offerynau cerdd. Tabwrdd, *Drum.*
35. Molestu—Aflonyddu.

## Attebion.

Syr,—Anfonwyf y llinellau isod i'ch llaw, fel rhydd-gyfieithiad o'r llinellau Saesoneg, a ddymunid gan Micron, *Gwaedd-y-grug*, yn y Rhifyn diweddaf o'r Drysorfa, tu dal. 141. Iorwerth Glan Aled.

### BEDD-ARGRAFF MABAN.

Anffyddiaeth hyf! treng-wywa'n awr! can's dan
Y garreg hon rhoed llwch un baban gwan;
D'wed i'm, a gollwyd, neu a gadwyd ef?
Os angeu genlyn bech,—fe bechodd!—wele 'i le!
Os gwaith ennilla'r nef,—nid yno ceir efe:—
*O! Resum gwael*—tro i'r dystiolaeth gref,
Cei yno'r pwngc o'th flaen mewn goleu gwiw;—
*Trwy bechod Adda*, marw; *trwy angau Iesu*, byw.

### Y PECHOD GWREIDDIOL.

Un tro ar ol i weinidog duwiol draddodi pregeth ar yr athrawiaeth o *bechod gwreiddiol*, rhai o'r gwrandawyr a alwasant gydag ef i'r dyben i osod ger ei fron eu gwrthddadleuon i'r hyn a draddododd. Ar ol gwrandaw arnynt, y gweinidog a ddywedodd ei fod yn gobeithio nad oeddynt yn gwadu *pechod gweithredol hefyd*; i'r hyn yr attebasent nad oeddynt ar un cyfrif. Yna y gwr da a hyspysodd ei foddlonrwydd i'w haddefiad, ac i ddangos ffolineb eu tybiadau o wadu athrawiaeth a ddysgir mor eglur yn yr Ysgrythyrau, a'u ceryddodd trwy ofyn, 'A welsoch chwi erioed goeden yn tyfu ac yn ffrwytho heb wreiddyn iddi?'

*Canele, Mai* 3, 1838. Cyf. Nihil.

### MARWOLDEB MABANAIDD.

Nos Fawrth, Ebrill 10, 1838, bu farw fy merch fechan, yn 5 mis oed, yr hyn fu'n achlysur o dywys fy meddwl pruddaidd i edrych ar y ffordd anhylon sydd yn arwain i'r tŷ rhagderfynedig. Ac, O! y fath ormeswr cadarn ac anhostur ydyw angau; ni fedrai dosturio wrth wên fy maban serchoglawn, mwy na gwelw wedd yr henaint ceintachlyd; mor rheibus oedd ei wanc fel y cadwai ei grafangau arthawg ynddi, er pob moddion a arferid i'w darfu; ni phrisiai ar lynoedd o ddagrau heilltion a dywelltid o amgylch ei chryd, a holl ymdrechion y meddyg medrus-ddoeth a driniai gyda dirmyg a gwawd. Mor hagr oedd yr olwg arno yn ei weithrediadau brawychus ar y baban mwyn, nes oedd y fam dorcalonus ei hunan, yn gorfod troi ei chefn ar ei phlentyn sugno, gan fethu edrych arno yn dioddef ei ergydion plymaidd a'i ddyrnodiau didostur: ond wedi i'r wan ddigymorth ymladd am ychydig oriau, hi a ildiodd y dydd i'w gelyn creulawn, a chan gyfodi ei dwylaw egwein, gwelwn hi yn och'neidio allan yr anadliad olaf, ac yn trengu dan ei ewinedd oerion. Yna rhedodd fy myfyrdod fel y canlyn.

### ANGAU.

'Pa wr a fydd byw, ac ni wel farwolaeth.'
Dafydd.

Gwedi i ddyn ollwng pechod i mewn i'w natur, daeth angau i mewn yn ei ganlyn, ac yn gymaint a phechu o bawb fe gymerwyd pawb yn garcharorion ganddo. Pe buasai dyn yn cau pechod allan o'r byd, buasai'n cau angau allan o'r byd; a phe buasai yn sefyll yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd, buasai hefyd yn sefyll yn golofn o anfarwoldeb hyd y dydd heddyw. Ond, Och! wedi i bechod ddyfod i mewn 'mae yn teyrnasu i farwolaeth,' fel, beth bynag sydd yn ansicr, y mae genym y sicrwydd mwyaf y byddwn feirw. Er pob ymdrech a wna natur hunan-ymddiffynol i'w erbyn, cyflawnir y ddedfryd ar bawb a luniwyd o'r telpyn pridd, 'Gan farw y byddi farw, canys pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli.'

Er pob dyfais a wnawd gan ddynion yn y byd er's chwe mil o flynyddau, methwyd cael allan yr un a'u gwaredai o law angau. Methodd doethineb Solomon gadw angau draw, ac ni ailodd cryfder Samson, na chleddyf a gwaywffon Goliah, ei wrthsefyll. O amgylchiad anocheladwy! Er i Alexander fawr oresgyn y byd, etto buan y lloriwyd yntau gan angau. Er i Iacob ymdrechu âg angel, a gorchfygu, etto angau a'i gorchfygodd yntau. Er y dywedir bod Asahel mor fuan ar ei draed ag un o iyrchod y maes, etto goddiweddwyd ef gan angau; ac er y dywedir bod Saul a Ionathan yn gynt na'r eryrod, ac yn gryfach na'r llewod, etto daliwyd y ddau yr un diwrnod yn garcharorion gan angau.

O angau! Pa beth ydwyt ynte? Gelyn dynoliaeth—dinystrydd natur—terfynwr bywyd—a rhagddôr tragywyddoldeb. Nid ydwyt yn adnabyddus yn y nefoedd, ofnir rhagot ar y ddaear, ond dy golyn gwenwynig a frâth byth yn Gehena! Pan nesaech di yn mlaen mae yr Ymerawdwyr cadarnaf a'u deiliaid oll yn crynu ger dy fron, a'th arswyd a deimlir yn mysg holl luoedd anwâr y byd. Nid rhaid ymofyn am danat ar faes y frwydr, ond ti a adweinir yn amddifadu'r bwthyn o'i drigianydd, a'th law yn cyraedd y Teyrn oddiar ei Sedd. Er fod dy ragredegwyr yn amryw a lluosog, etto deui dy hunan, yn fynych, i gyflawni dy orchwyl yn anwrthwynebol ac yn ddisymwth; gan hyny pwy na chwynfanau uwch ben dy ddeiliaid? 'O na baent ddoethion, na ddeallent hyn, nad ystyrient eu diwedd.'

Y Tyngwr, ystyria di, am na wyddost a ddaw angau yn mlaen tra mae'r llŵ etto ar dy wefusau, a'th drusglwyddo i wlad y

rhegfeydd tragywyddol. Y Godinebwr, ystyria di, canys beth a wyddost na ddaw angau yn mlaen i dy ddal ar faes anlladrwydd, ac i wanu ei waywffon trwy dy geu dod, fel y bu ar Zimri a Chosbi. Y Meddwyn, ystyria di, canys beth a wyddost na ddaw angau yn mlaen rhwng y cwpan a'r genau, fel y gwnaeth â Belshasar, gan newidio dy wedd a'th ddanfon i wlad y fflamiau, lle ni chei ddyferyn ar dy enau byth ond hyny. Y Balch, ystyria di, mae angau wedi rhoddi Haman falch ag oedd un diwrnod yn gwledda gyda'r brenin, i adar yr awyr dranoeth i wledda arno yntau. Yr Hunan-ddoeth, na feddwl y dihengi trwy dy gyfrwysdra, yr oedd Ahitophel megis yr awr hon yn rhoddi ei ben ar waith i lunio ei gynghor cyfrwysgall, a'r un pen yr awr nesaf yn ymdagu gan angau yn y cortyn. Freninoedd a Breninesau'r byd, nac ymffrostiwch yn eich mawrhydi, un llythyr oddiwrth angau, 'Brenin y dychryniadau,' a wnaeth i frenhin mawr y Caldeaid ddelwi yn nghanol ei fil tywysogion, a'i gluniau i guro ynghyd fel dail y goedwig o flaen yr awel wynt. Yr oedranus, na feddwl i angeu dy anghofio, er i Methuselah fyned heibio ei naw cant, etto rhifodd angau ei ddyddiau cyn cyraedd ei fil-flwydd. Yr Ieuanc, na feddwl dy fod yn rhy ieuanc i farw, wele yn fy nheulu i angau a phum mis wedi bod yn ysgwyd llaw. Holl ddeiliaid amser, a chydfforddolion i fyd arall, mae pob hawl i ddedwyddwch nef y nefoedd yn ymddibynu ar ein bod yn barod i gyfarfod âg angau; a'r unig beth a'n gwna felly ydyw adnabod yr hwn a ddywedodd, 'Byddaf angau i ti O angau,' ac a'i llyncodd mewn buddugoliaeth; ond cael hyn gallwn ofyn yn ddibryder yngwyneb angau wrth ei gyfarfod, Ha! pa le y mae dy golyn?'

*Tregaron.* D. EDWARDS.

## ADOLYGIAD PREGETHAU

### Y DIWEDDAR BARCH. D. CHARLES.

### NODIADAU ACHLYSUROL.

Yr ydym yn hyderu ein bod erbyn hyn wedi rhwyfo mwy na haner y ffordd i ddiwedd ein mordaith gyda'r adolygiad hwn. Ond cyn myned yn mhellach i sylwi ar neb nac ar ddim arall, yr ydym yn deall fod yn rhaid i ni wneyd ymdrech i ddiogelu ein bywyd ein hunain: oblegid yn ddisymwth y mae tymhestl ddychrynllyd wedi dyfod ar ein gwarthaf, yr hon sydd yn bygwth mai y dyfnder fydd ein cartref. Nid ydym yn proffesu ein bod yn agos mor gymwys at yr hyn a gymerasom mewn llaw a'r lleill o'r gohebwyr sydd yn arfer ysgrifenu i'r Drysorfa: ond pa beth oedd i'w wneuthur pan nad oedd neb o honynt yn ymaflyd yn y gorchwyl? wrth feddwl mor ddefnyddiol oedd Mr. Charles o Gaerfyrddin yn ei fywyd, ac wrth feddwl hefyd nad ymddangosodd erioed mewn un cyhoeddiad, hyd y gwelsom ni, gymaint ag un gair o hanes am dano, oddieithr yn unig rhyw fyr grybwylliad am ei farwolaeth, yr oeddym yn gobeithio yn sicr y buasai o leiaf yr enwad crefyddol i ba un y perthynai Mr. Charles yn esgusodi gwaeledd ein gwaith wrth ystyried daioni ein dyben. Ond ysywaeth! tra y mae rhai o'r gweinidogion blaenaf mewn enwadau eraill wedi arwyddo eu cymeradwyaeth o'r adolygiad; yr ydym wedi cael gormod o brofion ei fod wedi achosi wbwb nid bychan yn mhlith llawer o'r Methodistiaid. A chan nad ydym yn ewyllysio tramgwyddo neb yn ddiachos, goddefer i ni roddi attebiad byr i'r gwrth-ddadleuon a godir i'n herbyn.

Cwyna rhai ein bod yn rhy ysgafn. Byddai yn dda i'r beirniaid hyn ystyried fod gwahaniaeth rhwng ysgafnder a bywiogrwydd. Nid llwythi ysgafn yn gyffredin sydd gan y tân-gerbydau rhwng Liverpool a Manchester, er nad ydynt yn hollol mor farwaidd eu symudiadau a hen drol yn llawn o lestri pridd, yr hon sydd yn teithio oddeutu dwy filltir mewn awr a hanner.

Clywsom fod un brawd parchedig wedi penderfynu ar ol llawer o ystyriaeth ddifrifol, mai rhyw un tra annysgedig a ysgrifenodd yr adolygiad. Yn awr, pell iawn oddiwrthym ni fyddo cymharu ein hunain â'r brawd uchod mewn unrhyw gangen o ddysgeidiaeth; ond er nad ydym yn addurno ein cyfansoddiadau â llawer o Roeg a Hebraeg; etto nis gallwn lai na lleddybied ein bod ninau wedi dysgu digon i wybod fod rhywfaint o wahaniaeth rhwng mul a morfil, mai nid perl yw carreg galch, ac mai nid aur yw pob peth melyn.

Dywed eraill drachefn ein bod yn gwneyd gormod o swn am awdwr y pregethau a adolygir. Nid oes un cyhuddiad wedi gorchfygu ein hamynedd ond hwn. Pe galwem y cyfryw greaduriaid yn rhywbeth gwell na 'ffyliaid a deillion' byddem yn euog o'u cam-enwi; ac y mae cymaint a hyn o sylw yn ormod o barch iddynt.

Ond y mae un wrth-ddadl etto, yr hon sydd o bwys, ac yn galw am ystyriaeth bwysig oddiwrthym ninau. 'Paham, meddir, na fuasech yn canmol Charles o Gaerfyddin heb ddarostwng neb arall?' Nid ydym yn amheu am y rhai sydd yn gofyn felly nad yw eu bwriad yn dda; ond cynghorem hwynt i beidio cymeryd cymaint o drafferth i wneyd pregeth heb ofalu fod ganddynt destyn cyfatebol yn gyntaf. Enwch y benod a'r adnod, anwyl bobl, lle y troseddwyd, ac ni a symudwn y tramgwydd yn ddiymaros. Nid oes genym amser nac awydd i ail-ddarllen ein gwaith ein hunain: ond yr ydym bron yn sicr na roisom yr awgrym lleiaf tuag at daflu diystyrwch ar enw cymaint ag un o weinidogion yr efengyl. Mae yn wir i ni geisio dangos fod 'gwehilion' i'r gwenith — rhywfaint yn Nghymmru, a mwy na hyny yn Lloegr:

ond nid ydym wedi cymwyso yr athrawiaeth at neb personau neillduol. Ac os yw cydwybod rhyw un yn dweyd wrtho, Tydi yw y gwr; onid gwell fyddai iddo gusanu y wialen yn ddystaw, yn lle brifo ei hun trwy fod yn gwingo ac yn *cicio* fel llo heb ei gynefino â'r iau. O'r tu arall, er ein bod yn ei theimlo yn ddyledswydd arnom i ddangos mai nid sylwedd yw pob swn, yr ydym wedi rhoi ar ddeall yn ddigon amlwg fod llawer yn Nghymru y dyddiau hyn yn meddu ar bethau sylweddol. Er cymaint yw ein parch i goffadwriaeth Charles o Gaerfyrddin, nid ydym yn cofio i ni ddweyd mewn un man nad oes yn Nghymmru heddyw haner mil a mwy o begethwyr mor fawr ag yntau. Fe allai mai ein ***barn bersonol*** ni ydyw, nad oes llawn cymaint: ond y pwnc yw, a ydym wedi dweyd hyny?

Gyda golwg ar bregethwyr y Saeson, gwyddom fod genym fwy o barch i amryw o honynt na'r rhan fwyaf o'r rhai sydd yn beio cymaint ar ein sylwadau. Yr ydym wedi dweyd yn benodol am dri o honynt, sef Jay, Parsons, a James, fod eu doniau nid yn unig yn felys, ond hefyd yn adeiladol; ac nid yn unig hyny, ond yn *hynod* o felys ac adeiladol. Os oes rhyw rai yn barnu fod hyn yn rhy fach o anrhydedd iddynt, nid ydym am ddigio wrthynt. Bydded pob un yn sicr yn ei feddwl ei hun. Dywedasom hefyd fod eraill wedi cyrhaedd y ganolradd, ac fe allai y gwelir hwy gydag amser yn yr uchelradd. Buasai ein brodyr mwy dysgedig yn medru rhoi esboniad helaeth ar natur a gwahaniaeth y *degrees of comparison*. Ond yn niffyg hyny, gall y Cymmro uniaith weled, wrth droi i'w Ramadeg Cymmraeg, mai gwastadradd yw *da*, canolradd yw *gwell*, ac uchelradd yw *goreu*. Yn awr, y mae yn amlwg ein bod wedi addef fod amryw yn Lloegr yn *well* pregethwyr na chyffredin. Yn eu plith yr ydym yn cyfrif Melville a Wardlow, Mac All a Mac Neile, Harris a Binney. Addefwn yn rhwydd mai nid ffyliaid yw y rhai hyn. Ond er benthyca Yspienddrychau o'r fath oreu i'r perwyl, nis medrwn weled yn ein byw fod un o honynt hyd yma yn haeddu cael ei restru yn y *superlative degree* gydag Owen a Howe, Edwards o America, Robert Hall, Dr. Chalmers, a Charles o Gaerfyrddin.

Ond ein dyben penaf yn yr ysgrif hono oedd dangos nad yw y *doraeth* o bregethwyr y Saeson yn haeddu eu codi, fel y gwneir yn gyffredin, uwchlaw y Cymmry. Dywedasom am danynt bryd hyny mewn effaith, a dywedwn yr un peth etto, nad ydynt ond *'little men of a little age.'* Braidd na ddywedasom yn ychwaneg, fel rhyw un nad oes achos ei enwi, dyna ein meddwl ni, a dyna yw meddwl llawer o enwogion *eraill* hefyd. Ond pa mor ddibwys bynag yw ein barn ni, gallwn sicrhau i'n darllenwyr mai dyna farn a dyna eiriau Dr. Chalmers. A phwy a ddywed fod y cyfryw ddynion yn haeddu eu cyffelybu i Charles o Gaerfyrddin?

Ond medd rhyw frawd, neu gefnder o leiaf, i Dic Sion Dafydd, 'What's the use i exposo pregethwrs respectable y Saeson fel ena?' What's the use, yn wir! pan y mae tri o bob pedwar yn Nghymmru ag sydd yn deall ychydig o iaith Hengist yn ymgyrhaedd hyd y gallont i ddarllen pob math o gyhoeddiadau Saesneg; ac ar yr un pryd, os dygwydd i chwi ofyn iddynt ynghylch pregethau Charles o Gaerfyrddin, Christmas Evans, John Elias, neu John Hughes, Pont Robert, cewch eu gweled yn agor eu llygaid a'u cegau fel pe buasech yn eu holi mewn perthynas i ysgrifeniadau rhai o drigolion y lleuad. O Gymmry! Gymmry! A oes dim gobaith y deuwch byth mwy i werthfawrogi eich iaith, eich gwlad, eich cenedl, a'ch breintiau?

## ANNERCHIAD

### AR RAN ACHOS DUW YN PEMBROKE DOCK, NEU PATER, SWYDD BENFRO.

Anwyl gyfeillion ac ewyllyswyr da crefydd yn gyffredinol,—Pan fyddwyf yn edrych i gyhoeddiadau misawl Lloegr, aml y byddwyf yn gweled fod llawer yn cael eu wneud gydag achos yr Arglwydd, yn enwedig mewn ffordd o adeiladu a thalu dyled Capelau, yn y ffordd a nodwyf yn yr annerchiad taer a gostyngedig a ganlyn; hyny yw, trwy ddangos ansawdd a sefyllfa gyfyng yr achos yn y lle; amlygu yr arwyddion o lwyddiant sydd arno, ac mewn gostyngeiddrwydd a thaerni meddwl, ddymuno sylw a chymmorth pawb atto. Mae yn ddywediad cyffredin, 'fod yr hwn sydd ganddo galon ewyllysgar i roi at waith yr Arglwydd yn brin o foddion; a bod yr hwn sydd yn gyflawn o foddion, yn gul a chybyddlyd ei galon.' Rhaid cyfaddef mae felly y mae yn wir gyda lluoedd yn ein gwlad; ond etto, trwy drugaredd, mae gan Duw ddynion yn ein mysg, pa rai sydd wedi derbyn yn helaeth o'i law, o bethau bras ei ragluniaeth, ac yn gwybod beth yw derbyn calon yn llosgi o wir gariad tuag atto, fel y cyfranant at ei achos yn y modd helaethaf. Diau nad ydyw, ac na bydd y rhai hyn yn fyr o'u gwobr.

Hwyrach fod yn gof gan lawer, weled yn y Drysorfa, rai misoedd yn ol, ychydig o hanes crefydd gyda Chorph y Methodistiaid yn Penfro a'i chylchoedd; pryd y crybwyllasom ein bod wedi newydd gymmeryd tŷ i bregethu a chynnal moddion crefyddol yn gyffredinol, yn Pembroke Dock, neu Pater, tref hynod a boblogaidd a chyflawn o fasnach, o fewn dwy filltir i Penfro. Wedi hyny, y mae perchen y gwaith wedi gweled yn dda ei arddel a'i lwyddo i raddau mawr uwchlaw ein disgwyliad.

Mae y lle sydd genym, er ein bod yn talu amdano, £6 6s. y flwyddyn, o lawer yn rhy fychan: yr hyn sydd ynofid nid bychan i ni, ac hefyd i'r rhai a garent fod yn ein plith, pe bai genym le i'w derbyn. Mae yma bedwar yn barod wedi eu dwyn i'r eglwys, dan arwyddion amlwg eu bod dan law y Duw sydd yn 'hoff ganddo drugaredd.' Mae yma lawer yn ychwaneg dan glwyfau argyhoeddiad o bechod, yn gofyn y ffordd i Sïon; a thuag yno y mae eu hwynebau hwynt. Mewn gair, mae pob peth ydym yn gyfarfod ac yn weled, yn llefain yn uchel fod yn rhaid i ni i 'adeiladu tŷ gorphwysfa i arch-cyfammod yr Arglwydd.' Hyn ydym yn benderfynu, a hyn a wnawn yn llaw Llywydd pob peth, a thrwy gymmorth eglwysi Duw, ac ewyllyswyr da crefydd trwy holl Gymru, a Lloegr hefyd, lle yr edrychir arnom yn wrthrychau sylw a chynorthwy. Mae Cyfarfod Misol Swydd Benfro wedi rhoddi i ni ganiatad i fyned a'r gwaith ymlaen; mae y tir wedi ei gymmeryd; ac mae y gwaith ar gychwyn. Nid oes genym na sir, na thrysorfa, na chyngrair tu cefn am arian; dim ond y cyngrair sydd rhyngom a'r nefoedd, a grym eich codau, ac ewyllys eich calonau chwi, fy anwylaf gyfeillion.

Nid ydyw o un dyben i ni i edrych am gynnorthwy o Drysorfa y Genhadaeth Artrefol, canys y mae yn rhy wan: na chwaith o Ariangist Cyfarfod Misol y Sir, i ba un yr ydym yn perthyn, oblegid mae yma fwy nag a ellir ei gyflawni yn barod. Ond er methu gyda blwch ein Cenhadaeth Artrefol, ni a daflwn ein hunain ar y deyrnas, a hyderwn mae gwell byth ydyw. Yr ydym yn taer erfyn ac yn gostyngedig hyderu, na wnewch ein gadael yn ddigymmorth gyda gwaith ein Duw, canys gwelwch ein bod yn rhoddi ein pwys ar eich trugaredd. Yr ydym yn penderfynu gwneud hyd eithaf ein gallu ein hunain; ond gan y bydd y draul i adeiladu y tŷ o gylch £300, ac nad ydym ninau ond ychydig o nifer, a thylawd o amgylchiadau, rhaid fy anwyl Gyfeillion, cael llawer iawn o arian oddiwrthych chwi Bydded i bawb i anfon eu rhoddion i Mr. G. Harris, Merchant, Water Street, Carmarthen, trwy law yr hwn yr anfonir hwynt i ni yn eithaf diogel.

Yr oedd Dafydd gynt yn hynod o barod i edrych am gymmorth o'r mynyddoedd; ac felly ninau: mae genym olwg gref iawn tu a'r Gogledd, canys yn wir y mae yno fodd i gael, a chalon i roi. O, y fath wlad anwyl, anwyl, yw Mon! O, mor iach a hyfryd yw awelon bywiawl Carnarfon! O mor fras a chyfoethog yw gwyneb ac ymysgaroedd Fflint a Thinbych! Pan edrychwn dros ororau Meirionydd, cofiwn am y Bala, a'r lle gerllaw a elwir—Tu a gwledydd Trefaldwyn y cadwn ein golwg gyda chalon lawn o obaith. Yno mae Idloes, &c. &c. Am yr oll o gyrau'r Deheu-barth, ein cenedl a'n cydnabod sydd yma, a gwyddom mae eu harfer hwy yw sefyll o blaid y gwan. O mor llôn yr edrychwn tu a hen artrefle Myrddin; Arllwysfa Ystwyth i'r môr; Terfyn Teifi, a hen drigfa anwyl yr ardderchog Rowlands. Cofiwn yn felus melus am drysorau mynyddoedd a brasder broydd gwlad Morgan, a Mynwy; a glewder gwychlawn gwyr Brecheiniog. Mae yn hynod o hoff genym feddwl, fod cannoedd o'n brodyr yn nhrefydd Lloegr hefyd, a wnant ein cofio yn anwyl, trwy wres eu gweddiau, a rhinwedd llawn eu codau. Hyderwn y bydd i'r morwyr hefyd o bob parth i roddi eu mheddwl haelionus arnom, canys yma y cartrefa llawer o'n brodyr anwyl hwythau. Yn ddiweddar y daeth merch i forwr crefyddol a duwiol i'r lle, pa un yr ydym yn awr yn eiriol drosto, yr hon pan ddaeth, ydoedd yn agored i gledd gloyw'r dialydd, ond yn awr, sydd dan 'arwydd y gwaed.'

Gwnawn dderbyn yn ostyngedig a diolchgar, y rhodd leiaf fel y mwyaf. Os bydd rhyw un yn meddwl y bydd yr hyn a eill ei roddi yn rhy fach i'w anfon, ymdreched ein cyfaill i gael eraill i uno ag ef i wneud yr hyn a allant hwythau, ac yna daw yr anrheg yn swm mawr. Os cawn ganiatâd gan ein hewyllyswyr da, bydd i'w henwau a'u rhoddion i gael ymddangos trwy gyfrwng y Drysorfa. Yn awr terfynwyf, gan droi golwg fy narllenwyr at y modd yr adeiladwyd y Tabernacl yn yr anialwch. O pe caem yr Yspryd hwnw ond am ddau ddydd, caem dŷ addas, hardd, a diddyled i addoli y Duw byw!

Ydwyf dros yr eglwysi yn y lleoedd hyn,
Yr eiddoch yn y modd mwyaf gostyngedig,
*Penfro*, *May* 9, 1838. S. DAVIS.

---

CYMDEITHASFA DDEHEUDIROL Y TREFNYDDION CALFINAIDD,

*A gynnaliwyd yn Nghaerdydd, Morganwg, Iau a Gwener, Ebrill* 12, 13, 1838.

Y nos fercher blaenorol am 7 o'r gloch, traddodwyd dwy bregeth barotoawl yn Nghapel Sion, gan Mr. W. Williams, Talgarth, a Mr. J. Richards, Abergwaun.

Dydd Iau.—Am 8 y bore, ymgyfarfu cynnrychiolwyr y Siroedd yn Nghapel Sion.

Am 10, Y Pregethwyr yn yr un lle, a'r Blaenoriaid yn Nghapel y Wesleyaid.

Am 1, Cyfarfu holl Swyddogion yr Eglwysi yn Nghapel Sion.

Am 3, Ar y cefnfaes (Park) a roddwyd at wasanaeth y cyfarfod gan Ardalydd Bute a Iarll Dumfries, pregethodd Mr. R. Lumley, Langharne, (Saesoneg,) a Mr. D. Evans, Capel y Drindod.

Am 7, Traddodwyd pregethau Cymreig, yn Nghapel y Annibyniaid, gan Mr. R. Phillips, Llanymddyfri, a Mr. M. Howells, Casnewydd; ac yn y Tabernacl, gan Mr. E. Lewis, Abergwaen, a Mr. F. Evans,

Machynlleth; ar yr un amser traddodwyd pregethau Saesonig yn Nghapel y Bedyddwyr Saesonig, gan Mr. T. Havard, Pen-y-bont, ac yn Nghapel y Wesleyaid, gan Mr. W. Griffiths, Browyr.

Dydd Gwener y groglith.—Am 6 y bore, yn Nghapel Sion, pregethodd Mr. F. Evans.

Am 8, yn yr un man, ymgynnullodd y Swyddogion ynghyd, a defnyddiwyd y rhan fwyaf o'r amser mewn ymresymu cadarn ar Ddirwest (yn unol â phenderfyniad Cyfarfod Misol y Sir, yr hwn a gynhaliwyd yn y Llwynni, Mawrth y 7fed a'r 8fed). Cadarn oedd y rhesymau, ïe, a rhy gedyrn idd eu gwrthbrofi na'u dadymchwelyd gan holl Jordaniaid y byd. Nid amgen na chyfiawnder i'r sefydliad da hwn ydyw hysbysu i ddarllenwyr y Drysorfa, ddarfod i sylwadau gwresog y brodyr adael archwaeth hyfryd ar eu hol, trwy wneuthur ambell cyndyn mor ufudd a chyfaddef nad oes un moddion mor debyg i sobreiddio y byd a llwyr ymwrthodiad â diod y bendro; ac nid rhyfedd, canys yr oedd goleuni a gwres yn cydfyned a'r dywediadau, a gormod o amlygiadau o nawdd y nefoedd yn llanw y lle, i neb oddieithr y dyn a'i galon wedi ei parhau i warthruddo egwyddor y Gymdeithas mwyach.

Am 10, ar y maes, pregethodd Mr. Lewis, Sir Gaerloyw, (Saesonig,) a Mr. Richards, Sir Bembro; pryd y talodd Mr. R. ddiolchgarwch cyhoeddus ar ran y Gymdeithasfa i'r Ardalydd urddasol, am orchymyn ei oruchwylwyr i agor y fath le anrhydeddus i gynnal y cyfarfodydd cyhoeddus; drachefn i weinidogion, ymddiriedolwyr a diaconiaid y gwahanol gynnulleidfaoedd, am agor eu areithfaoedd i bregethu; ac yn olaf i drigolion y dref am agor eu tai, a hilio eu byrddau, er ymgeleddu'r dieithriaid a ddaeth o bell ac agos i'r cyfarfod.

Am 2, ar y maes, traddodwyd pregethau gan Mr. T. Harris, Wooten-under Edge, (Saesoneg), a Mr. W. Havard, Lanfihangel.

Am Hanner awr wedi 6, yn Nghapel Sion, pregethodd Mr. M. Howells a Mr. T. Harris.

Cafodd y gweision nerth i hysbysu dirgelwch yr Efengyl gydag hyfder mawr, ac yr oedd prydferthwch i ei weled ar y miloedd yn gwrando, yr ydym yn priodoli y sobrwydd a'r gweddeidd-dra a ganfyddwyd ar bobl y wlad cyn, ac ar ol yr odfeuon i'r ychydig sydd wedi ei wneuthur o les trwy offerynoliaeth y Gymdeithas ddirwestol. Diau mai derchafiad i gymmeriad cymdeithasfaoedd y gwahanol enwadau crefyddol yn Nghymru fuasai i sobrwydd a phregethu yr Efengyl gael eu cyssylltu ynghyd a'u gilydd yn amlach flynyddoedd yn gynt.

Egwyddorion sobrwydd a lywodraetho'r holl fyd, llanwer ein teuluoedd a gras, ein Eglwysi a chariad, a'n calonau a'r Ysbryd Glan. E. MORGAN.

*Caerdydd, Mai* 1, 1838.

## LLYTHYR IX.

*Oddiwrth hen Weinidog yr Efengyl at ei fab, ar ddechreua i ei Weinidogaeth.*

Anwyl a hoffus Blentyn,—Mae rhwymyn cariad yn y berthynas naturiol yn peri serchawgrwydd mawr, ac mae bod y cariad hwnw yn cael ei ysgogi oddi ar wreiddyn cristionogol ac efangylaidd yn ei wneuthur yn fwy rheolaidd a chadarn; ac mae fod y ddwy ochor mewn perthynas yn y frawdoliaeth grefyddol, yn dyblu y serch drachefn; a chydgyssylltiad mewn swyddau yn Eglwys Crist, bod yn sefyll ar un chwareufwrdd, yn gyfranog o'r un gwaith, yn brofiadol o'r un helyntion, goddef yr un profedigaethau, cario yr un beichiau; mae hyn debygaf yn peri gwres mwy tanbaid yn y serch cristionogol, ac agosrwydd mwy yn y pleidiau ymlynol. A dywedaf it yn ol fy mhrofiad fy hun, a thystiolaeth yr hen dadau gynt, fod pob llathen tu a phen draw y daith, pob troedfedd o nesu tu a'r dalar, pob munud o dynu tu a'r amser cadw noswyl, ïe, mewn gair, pob awel, pob arogliad o sawyr peraidd awyr Caersalem newydd, yn tanbeidio, bywioccâu, ac ad-ddysgleirio y cariad sanctaidd ac efangylaidd yn enaid ei berchenog. Oh! pan yr anturiaf i geisio syllu ychydig i ororau y wlad tu draw i'r llen, i geisio myfyrio ar hyfrydwch trigolion Paradwys, mae fy 'menydd egwan yn dyrysu, fy synwyrau byrion yn ymgymysgu, a'm natur eiddil bron llewygu! Nid rhyfedd fod yr hen dadau gynt yn dolefaln o dan rym dylanwadau Ysbryd y gras, ar i Dduw arafu yn ei dywalltiadau, fod eu natur yn methu dal.

Meddwl yr wyf y bydd cariad y saint at eu gilydd yn y nef, uwchlaw gallu ac amgyffred y cryfaf o honynt ar y ddaear ei gynal na'i wybod. A phaham na bydd? oblegid fe fydd pob tuedd croes i gariad wedi ei lwyr ddileu; bydd cynfigen Ephraim wedi ymado, a thuedd gormes gyfyng Iuda wedi ei dori ymaith. Ond beth a ddywedaf am eu serch tuag at yr angylion santaidd, ynghyd a'u cariad diamgyffred at y Tri yn un Jehofah! 'Rwy'n dyrysu wrth fyfyrio. Mae yn debyg y bydd y caru a'r serchu oll wedi ei gylymu ryw fodd mewn Cyfryngwr, y Duw ddyn, Brenin y Saint. 'Fel y gallai grynhoi ynghyd, yn Nghrist yr holl bethau yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo ef.' Ond wedi'r cyfan bydded cariad y Saint yn ei fawredd, ei ehangder a'r oll o hono, y faint y byddo, mae cariad Crist tu ag attynt hwy, yn anfeidrol fwy na gorbwyso'r cwbl. A phwngc sydd a diliau mêl ynddo yw hwnw, er ei fod ef yn entrych nef, ar orsedd gogoniant Gwynfa, etto fod ei gariad a'i agosrwydd at ei saint (lle bynag y byddont) yn para'r un. 'A'r Iesu yn caru yr eiddo y rhai oedd yn y byd, a'u carodd hwynt hyd y diwedd.' Hyd ddiwedd pa beth? Gadawaf i ti fyfyrio;

pellach na diwedd y dioddefiadau, (er mor bell oedd hyny,) pellach na diwedd yr adgyfodi, na diwedd y cyfeillachu â'i ddisgyblion y deugain niwrnod. Mor bell, debygaf, a diwedd y gogoneddu; ac os gwyddost pa bryd bydd hyny, fe allai y gelli wybod pa bryd y bydd diwedd y caru. Llawer sant, a sugnodd fêl i'w enaid oddiwrth y caru diddechreu. Mae etto fêl i'w gael yn y cariad diddiwedd. Na ryfedda os caf fyw etto yn hir cyn myn'd i'r wlâd a balmantwyd â chariad, os gweli fy mod yn ysgrifenu rhyw loffion o fyfyrdod ar Sanctaidd gariad.

Ond mae yn rhaid i mi ffrwyno peth ar fy ngweiniaid dymherau, gan ymdrechu cofio diben y llythyr, os gwn beth ydyw. Mi fûm eisoes gyda thi yn dy Eglwys, yn dy fyfyrgell, yn dy bulpit, ar dy deithiau, gartref, ac oddi cartref. Am hyny anhawdd gwybod beth nesaf i fyned atto. Mae yn debyg mai rhyw lythyr crynhoawl fydd hwn, yn cynnwys rhyw bethau o bwys, ac i fod yn agos at dy feddwl ymhob man; oblegid, mae bod yn feddylgar ac ystyriol yn un o'r addurniadau cymhwysaf i le a swydd Gweinidog yr Efengyl. Ond priodol y gellir gofyn i lawer fel y gofynodd Cyfaill Job, 'Pa beth sydd yn dwyn dy feddwl oddi arnat?' Ond un peth a ddymunwn i fod yn bwysig a pharhaus ar dy feddwl yw, *Manwl sylwi arnat dy hun; mynych fesur a phwyso dy hun, yn ol rheol a chlorian y Cyssegr.* Digon gwir, mai anaml y mae neb a mwy o fesur a phwyso arnynt nag ydyw rhai amlwg yngweinidogaeth yr Efengyl; ond er cymaint sydd, etto nid anmhriodol i'r Gweinidog ei hun bassio barn ar ei achos. Er mai bychan yw (mewn cydmariaeth) i ni gael ein barnu gan farn dyn, etto yn aml ped 'iawn farnem ein hunain ni'n bernid.' Mynych hefyd y'n cymhellir gan Grist a'i apostolion i droi sylw i'n mynwesau. 'A wyt ti yn fy ngharu I?' Ebe'r Iesu wrth Pedr. 'Edrychwch, gan hyny, arnoch eich hunain.' oedd siars gyntaf Paul i henuriaid Ephesus. A llawer eraill a ellir eu nodi, y rhai eisoes sydd hysbys it, ac sydd yn rhoi pwys yn y ddyledswydd. A gresyn yw meddwl fod cynifer o rai yn proffesu pethau mawr, etto mor ddieithr i'w mynwesau eu hunain, ag yw Estrys i'w nyth.

Ond peth i'w bwyso yn fynych genyt yw, dy *brofiadau ysbrydol a chrefyddol*: a ydynt mor loyw a'r amser gynt? Dywediad cyffredin yw, mai yn ei bocced y mae'r ffarmwr yn dechreu torri i fynu; felly hefyd, yn ei brofiad a'i ysbryd y mae Gweinidog yn dechreu adfeilio. Dichon i'th bregethau fod am hir amser heb ddangos cymaint o golliadau ynddynt; dy wrandawyr heb ganfod nemawr o'th waeleddau; ie rhai mwyaf craffus yn dy eglwys heb weled y pydredd. Calon y dderwen sy'n braenu gyntaf. Edrych, gan hyny yn ddyfal na byddo it ballu oddiwrth ras Duw. Mae yn wir fod pethau yn tueddu at hyny yn y rhai enwoccaf; fod cnawd gwan lle mae ysbryd parod.

Ac hefyd, mae Duw ymhob oes, ac yn mhawb yn goddef i ryw elynion i ymosod er profi cywirdeb y galon: pren yn Mharadwys, Canaaneaid yn Israel, temtasiynau ynom ninnau. Ac nid yw goruchwyliaeth gras mewn rhai fawr amgen nag ymladd parhaus â llygredigaeth; ac felly yn lle cynyddu, gwelir mai prin y byddis heb dynu yn ol. Ond mae y cwch, pan fo gwynt, llif, a llanw yn ei erbyn, yn gwneud yn dda os medr gadw heb fyned yn ol. Ac yn wir, mae'n rhaid y pryd hyny gael gallu cryf i dynu ymlaen. Ac felly, rhaid barnu gras weithiau wrth y gwrthwynebiadau a gyferfydd. Ond, trwy yr holl bethau hyn, pwngc mawr ydyw fod santeiddrwydd yn ymloewi—fod ymddiried yn Nuw yn cael lle i weithredu; ac felly bydd y profiadau yn felus yn y tywydd garw. Ond fe arferir gan rai fel gwrthddadl, pan yr heneiddiant gyda chrefydd, nad yw fod eu profiadau heb fod mor ddisglaer a thanbaid yn un arwydd o adfaeliad. Ond mae yn bwngc mewn dadl genyf fi, oblegid os yw natur yn llesgau gan henaint, etto nid yw o angenrheidrwydd i brofiad ysbrydol adfeilio trwy hyny. Ac un o'r addewidion sy'n llawn diliau mêl ydyw, 'Ffrwythant etto yn eu henaint, tirfion ac iraidd a fyddant.' Ac os yw hen adnabyddiaeth o Grist, hir fwynhad o Dduw, cynefindra cymdeithas â Duw trwy ffydd, yn peri claearineb, esmwythder, a diofalwch, yn enaid credadyn, beth a wnawn pan yr elom i'r nefoedd? oblegid mae yn debyg y byddwn yno yn hir. O na, clywed hen grefyddwyr hyn, ac na fydded iddynt wneud clustogau o dan eu penelinoedd mewn adfeiliad: ceryddir Eglwys Ephesus am ymadael â'i chariad cyntaf.

Drachefn, *pwysa dy ofal a'th lafur yn achos Eglwys Crist yn y byd.* A ydyw cynnefindra gyda'r eglwys a'i phethau, yn peidio ag achosi iddynt fod yn fwy dibwys ar dy feddwl? Mae yn naturiol i ddisgwyl i ti fod yn fwy deheuol a medrus; ond peryglus i forwr a fu bum waith yn yr India fod yn fwy esgeulus y chweched tro. Mae'r môr yr un fath am lyngcu, y stormydd yr un fath am ymgynddeiriogi, y llwybr mor beryglus i'w golli, y llestr a'r llwyth mor werthfawr i ofalu am danynt, a'r bobl ar y bwrdd mor hawdd eu boddi. Ac onid anghenfil a fyddai y maeslywydd a fyddo trwy gynnefindra â rhyfel, yn myned yn fwy diofal am fanylrwydd ei waith? Pa beth! a yw bwriad y gelyn wedi newid? a yw ei gasineb wedi llarieiddio? a yw anrhydedd ei frenin yn llai? gwerth ei wlad, ei berthynasau, a'i gyd-ddynion yn is nag y bu o'r blaen? Ië, meddaf, a yw pwys y rhyfel, llywyddio y milwŷr, trefnu yr ymgyrch, ac ennill yr ymdrechfa, wedi newid yn awr ragor y bu gynt? O na! Er na wn ond ychydig am dani yn naturiol, yr wyf yn sier ei bod yr

un fath yn ysbrydol. Mae satan yn cyflawni yr un blinderau etto yn y brodyr, y rhai sydd yn y byd. Ac os yw henaint yn chwanegu dichell, y mae yntau yn 'hen sarph.' O! meddaf, mae ystyriaethau difrifol, pa rai sydd yn lle ein rhyddhau i esmwythder a diofalwch, yn gosod angenrheidrwydd arnom i adnewyddu gofal, a dyblu egni, a hyny bob dydd tra y byddom yn llafurio gyda'r gwaith.

Mae lliosogiad aelodau yr eglwys, yr angenrheidrwydd fod sancteiddrwydd yn cynnyddu ynddynt oll, eu disgwyliad wrthym, y pwys o fod yn ffyddlon yn yr holl dŷ, byrdra ein tymhor, ac agosrwydd dydd y cyfrif, yn galw yn uchel am ddyblu ein diwydrwydd yn y gwaith. Ac, Oh na fyddai 'bod yn lân oddiwrth waed pawb oll,' yn egwyddor gynhyrfiol ynom yn barhaus, fel y gallom tu a diwedd y daith dystio mewn cydwybod dawel, 'Mi a ymdrechais ymdrech dêg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd.

Etto, *mynwn it bwyso dy zel a'th awyddfryd dros achos Crist a'i lwyddiant yn y byd.* Yn gyffredin pan gyntaf yn taro allan gyda gwaith yr Efengyl, mae 'r zel yn fawr a thanbaid, parodd i Eliseus redeg ar ol Elias, ac nis gwyddai yn iawn pa fodd i hebgor amser i ganu yn iach i'w berthynasau. A'r disgyblion oeddynt mor eiddigeddus dros eu Meistr, nes oeddynt yn dymuno caniattad i alw am dân o'r nef i'w amddiffyn. Dywedir fod Melancthon yn nechreu ei wenidogaeth yn tybied y gallai droi hil Adda yn gryno. Ond fel y mae cydnabyddiath, gwrthwynebiadau, siomedigaethau, a'r cyffelyb, yn ein gwneuthur yn fwy profiadol o'n gwaeleddau ein hun, ac arafwch olwynion llwyddiant cerbyd yr Efengyl, yna y mae difatterwch yn cymmeryd achlysur, a'n zel yn oeri, a ninau yn sio ein hun i gysgu mewn esgeulusdod, o dan rith disgwyl wrth amser Duw i adnewyddu y gwaith, a rhoi gwawr i Sion. Ond mae lle i ofni os dyna sydd ddysgrifiad cywir o'n hagweddau, mai penwyni adfeiliad sydd yn ymdaenu trosom. Mae yn debyg fod arwyddion aflwyddiant yn peri digalondid i henafgwyr yn yr eglwys, fel y cawn yn achwyniad Elias yn yr ogof, etto mae'n debyg fod ei zel yn fawr, ac medd Duw wrth Dafydd, er na chai efe adeiladu tŷ i'w enw, etto, da oedd fod hyny yn ei galon. Ac mae zel y tŷ yn ysu'r galon, yn peri anesmwythder ac ymdrech yn yr ymddygiad. Yr oedd zel Crist dros y Deml a'i sancteiddrwydd, mor nerthol yn nyddiau diweddaf ei weinidogaeth, nes y trodd y prynwyr a'r gwerthwyr allan o honi: yn gyffelyb hefyd y cawn yn hanesion y Prophwydi a'r Apostolion, fod eu hymlyniad a'u zel dros deyrnas Dduw yn wresog yn niwedd y daith: ac yn enwogion yr oesoedd diweddaf cawn fod eu zel yn cynnyddu tua diwedd eu hoes.

(I'w barhau.)

## GRAMMADEG CYMRAEG.

### TREIGLIAD Y PRIFAIR BOD.

Mae y Prifair hwn o ddefnydd mawr yn yr Iaith Gymraeg, i lenwi diffygion, neu i gynnorthwyo yn amserau a phersonau y lleferydd gweithredol a goddefol.

### MODD MYNEGOL.

#### AMSER PRESENNOL.

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Wyf, ydwyf | 1 Ym, ydym |
| 2 *Person* | Wyd, wyt, ydwyt | 2 Ych, ydych |
| 3 *Person* | Yw, ydyw, mae, oes. | 3 Ynt, ydynt, maent. |

#### AMSER ANORPHENOL.

| Unigol. | Lliosog. |
|---|---|
| 1 Byddwn, oeddwn | 1 Byddem, oeddem |
| 2 Byddit, oeddit | 2 Byddech, oeddech |
| 3 Byddai, oedd | 3 Byddent, oeddent |

#### AMSER GORPHENOL.

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Bum, buais | 1 Buom, buasom |
| 2 *Person* | Buost, buaist | 2 Buoch, buasoch |
| 3 *Person* | Bu, buodd | 3 Buont, buosont |

#### AMSER TRAGORPHENOL.

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Buaswn | 1 Buasem |
| 2 *Person* | Buasit | 2 Buasech |
| 3 *Person* | Buasai | 3 Buasent |

#### AMSER DYFODOL.

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Byddaf | 1 Byddwn |
| 2 *Person* | Byddi | 2 Byddwch |
| 3 *Person* | Bydd | 3 Byddant |

#### AIL AMSER DYFODOL.

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Byddof | 1 Byddom |
| 2 *Person* | Byddot | 2 Byddoch |
| 3 *Person* | Byddo | 3 Byddont |

### MODD GORCHYMYNOL.

| | Unigol. | Lliosog. |
|---|---|---|
| 1 *Person* | Byddwyf | 1 Byddwn |
| 2 *Person* | Bydd | 2 Byddwch |
| 3 *Person* | Bydded | 3 Byddont |

### MODD ANNHERFYNOL.

| Presennol. | Gorphenol. | Dyfodol. |
|---|---|---|
| Bod | Wedi bod | I fod |

### RHANGYMMERIAD.

| Presennol. | Gorphenol. | Dyfodol. |
|---|---|---|
| Yn bod | Bodedig | Bodadwy |

Treigliad y Prifair Bod yn Annhersonol sydd fel y canlyn.

### MODD MYNEGOL.

| | | |
|---|---|---|
| *Amser presennol* | Bydder | Ydys |
| *Amser annorphenol* | Byddid | Oeddid |
| *Amser gorphenol* | Buwyd | Oeddwyd |
| *Amser tragorphenol* | Buasid | |
| *Amser dyfodol* | Bydder | |

### MODD GORCHYMYNOL.

Bydder

Mewn perthynas i'r Prifeiriau cyfansawdd *canfod, darfod, gorfod, &c.*, dealler eu bod oll yn tarddu o'r Prifair *Bod*; gan hyny nid oes anghenrhaid eu treiglo.

SILLEBIAETH CYMRAEG.

*Dymyno.*—Nac ysgrifener ef felly, ond *Dymuno.*

*Gweniaeth.*---Nid felly, ond *Gweniaith*; canys *Gwên-iaith*, yw gwir ystyr y gair; ac nid *iaeth* yw ei ddiweddiad.

*Didrael.*---Nid felly, canys *di-draul* ydyw ei ystyr ef, oddiwrth *di treulio*; felly *u* yw y llythyren wreiddiol, ac nid *e*.

*Perphaith.*---Nid felly, ond *perffaith* yw y gair i fod.

*Anniwiol.*---Nid felly, ond *Annuwiol*, oddiwrth *an* a *Duw*; ac nid oddiwrth *an* a *Dìw*. Nid yw *diw* yn air o iaith yn y byd.

*Anhebig.*---Nid felly, canys tardda y gair o *An* a *nhebyg*, *neu tebyg*, o'r Prifair *tebygu*; canys nid yw *tebigu* yn air yn y byd; nid oes *pig* neu *big* yn perthyn iddo. Hefyd, mae cyfeiliornad cyffredin yr oes hon wedi cyrhaeddyd y gair hwn, sef *tynu un o'r ddwy n pa le bynag y ceir hwynt yn nhyd, heb ystyried a ydyw y ddwy yn angenrheidiol i gadw gwreiddyn y gair ai nad ydyw.* Y maent yn angenrheidiol yma, *an nhebyg*---annhebyg, un *n* yn *an* a'r llall yngbyd a'r *h* i gadw lle y llythyrn *t* yn y gair *tebyg*, *Annhebyg*.

## Hanesiaeth Cenhadol.

*Dodwn yma ger bron ein lliosog ddarllenwyr olygiad byr iawn o holl gyfarfodydd y Cymdeithasau a gynnaliwyd yn Llundain yn misoedd Ebrill a Mai diweddaf; sef yr amser a'r lle y cynnaliwyd hwynt, yn nghyd a'r Cadeirydd yn y Cyfarfodydd, a'r pregethwyr a bregethasant ar yr achlysur.*

Ebrill 24, 6½ yr hwyr—*Cymdeithas Genhadol Gartrefol.*—Pregeth—Capel Albion—y Parch. J. Young, M. A.

Ebrill 26, Hanner dydd—*Cymdeithas Ysgolion Newfoundland.*—Cyfarfod—Llys Exeter—Gwir Anrh. Arg. Bexley.

Ebrill 26, 2 ar gloch—*Cymdeithas Frytanaidd Merched er annog Diwygiad yn mhlith carcharorion benywaidd.*—Cyfarfod—Addoldy y Crynwyr, St. Martin's Lane.

Ebrill 26, 7 ar gloch—*Cymdeithas Genhadol y Wesleyaid.*—Pregeth—Capel City Road—y Parch. G. Steward.

Ebrill 26, 6½ yr hwyr—*Cymdeithas Cymmedroldeb Brytanaidd a Thramor.*—Pregeth—Capel Esgobawl—B. Noel, M. A.

Ebrill 26, 6½ yr hwyr--*Cymdeithas Efengylaidd Newport Pagnell.*—Pregeth—Capel New Broad Street—y Parch. T. Binney.

Ebrill 27, 11 ar gloch—*Cymdeithas Genhadol y Wesleyaid.*—Pregeth—Capel Great Queen Street—y Parch J. Parsons.

Ebrill 27, 1 ar gloch—*Cymdeithas Cymmedroldeb.*—Cyfarfod--Llys Exeter—Esgob Llundain.

Ebrill 27, 7 ar gloch—*Cymdeithas Genhadol y Wesleyaid.*—Pregeth—Southwark—Y Parch. Dr. Beumont.

Ebrill 27, 6½ ar gloch—*Cymdeithas llongwyr Brytanaidd a Thramor.*—Cyfarfod—City of London Tavern—Arg. Mountsanford.

Ebrill 30, 10½ ar gloch—*Cymdeithas Noddfa i blant amddifaid.*—Cyfardod—City of London Tavern.

Ebrill 30, 11 ar gloch—*Cymdeithas Genhadol y Wesleyaid.*—Cyfarfod—Llys Exeter—J. P. Plumptree, Ysw. M. A.

Ebrill 30, 6½ ar gloch—*Cymdeithas dyddanwch hen Bererinion.*—Cyfarfod—City of London Tavern—Syr C. E. Smith, Barwn.

Ebrill 30, 6½ ar gloch—*Cymdeithas Genhadol Gartrefol y Bedyddwyr.*—Cyfarfod—Capel Finsbury.

Ebrill 30, 6½ ar gloch—*Cymdeithas Genhadol Eglwys Loegr.*—Pregeth—Eglwys St. Bride—Y Parch. F. Goode, M. A.

Mai 1, 11 ar gloch—*Cymdeithas Wyddelig y Bedyddwyr.*—Cyfarfod—Capel Finsbury—E. Foster, Ysw.

Mai 1, 6 ar gloch—*Cymdeithas Addysg Gristionogol.*— Cyfarfod —Llys Exeter—Syr C. E. Smith, Barwn.

Mai 1, 11 y boreu—*Cymdeithas Genhadol Eglwys Loegr.*—Cyfarfod—Llys Exeter—Iarll Chichester.

Mai 2, 6 y boreu—*Cymdeithas Wyddelig y Bedyddwyr.*—Cyfarfod—City of London Tavern.

Mai 2, 11 y boreu—*Bibl Gymdeithas Brytanaidd a Thramor.*—Cyfarfod—Llys Exeter---Gwir Anrh. Arg. Bexley.

Mai 2, 6½ yr hwyr---*Cymdeithas Llyfr Gweddi Gyffredin a'r Homiliau.*---Pregeth---Eglwys St. Dunstan---Y Parch. C. R. Pritchett, M. A.

Mai 2, 6½ yr hwyr---*Cymdeithas Genhadol y Bedyddwyr*---Pregeth---Capel Surrey-- Y Parch. J. Birt.

Mai 2, 7 yr hwyr---*Bibl Gymdeithas y Trindodiaid.*---Pregeth---Capel Woburn---Y Parch. G. W. Phillips, M. A.

Mai 3, 11 y boreu---*Cymdeithas Genhadol y bedyddwyr.*---Cyfarfod---Capel Finsbury---C. Lushington, Ysw. M. P.

Mai 3, 12 ar gloch---*Gymdeithas Llyfr Gweddi Gyffredin &c.*---Cyfarfod---Llys Exter---Gwir Anrh. Arg. Bexley.

Mai 3, 11 y boreu---*Cymdeithas Diwygiad Brytanaidd.*---Cyfarfod---Llys Exeter.

Mai 3, 6 yr hwyr---*Undeb Ysgolion Sabbathol.*---Cyfarfod---Llys Exeter---Syr C. E. Smith, Barwn.

Mai 3, 6 yr hwyr---*Undeb y Bedyddwyr*---Cyfarfod--Capel Devon Square--Y Parch. J. M. Cramp.

Mai 3, 6½ yr hwyr---*Cymdeithas Cristionogaeth ymysg yr Iuddewon.*--Pregeth---Capel Camb. Heath---Y Parch. W. Pym, A. M.

Mai 3, 7 yr hwyr—*Cymdeithas Ysgolion y Werddon.*—Pregeth—Capel Bedford—Y Parch. S. Robins, M. A.

Mai 4, 11 ar gloch—*Cymdeithas er annogaeth Cristionogaeth ymysg yr Iuddewon.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

6 ar gloch—*Cymdeithas y Traethodau.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

Mai 5, 11 ar gloch—*Cymdeithas Ysgolion y Werddon.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

6 ar gloch—*Cymdeithas Diwygiad Brytanaidd.*—Pregeth—Capel Percy.

Mai 7, 10 ar gloch—*Cymdeithas Ysgolion Brytanaidd a Thramor.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

12 ar gloch—*Bibl Gymdeithas y Trinitariaid.* Cyfarfod. Llys Exeter.

6 Ar gloch—*Cymdeithas i attal Pütteindra ymlith yr ieuenctyd.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

6½ Ar gloch—*Cymdeithas i gynnorthwyo Gweinidogion yr Eglwys Sefydledig.*—Pregeth—Eglwys St. Bride.

Mai 8, 11 ar gloch—*Cyfarfod yr unrhyw Gymdeithas* yn Llys Exeter.

12 Ar gloch—*Bibl Gymdeithas y Morwyr a'r Milwyr.*—Cyfarfod—Llys y Freemasons.

12 Ar gloch—*Cymdeithas Genhadol Ewropeaidd.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

6 Ar gloch—*Cymdeithas Ysgolion Newfoundland.*—Pregeth—Eglwys St. Andrew.

6 Ar gloch—*Cymdeithas pregethu yr Efengyl yn y Werddon.*—Cyfarfod—Capel Finsbury.

Mai 9, 11 ar gloch—*Cymdeithas Brotestanaidd.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

6½ Ar gloch—*Cenhadaeth Dinas Llundain.*—Pregeth—Capel St. John.

10 Ar gloch—*Cymdeithas Genhadol Llundain.*—Pregeth—Capel Surrey—Y Parch. J. Harries.

6 Ar gloch—*Yr unrhyw Gymdeithas.*—Pregeth—Tabernacle.

Mai 10, 10 ar gloch—*Yr unrhyw Gymdeithas.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

10 Ar gloch—*Cymdeithas Gynnorthwyol y Cenhadau Morafiaidd.*—Pregeth—Eglwys Dunstan.

7 Ar gloch—*Noddfa Plant amddifaid.*—Pregeth—Eglwys y Drindod.

Mai 11, 12 ar gloch—*Cymdeithas yr Ymweliadau.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

11 Ar gloch—*Cymdeithas diddymiad y Dreth Eglwys.*—Cyfarfod—City of London Tavern.

12 Ar gloch—*Cymdeithas Genhadol Trefedigaethol.*—Cyfarfod—Capel Finsbury.

6 Ar gloch—Cyfarfodydd yr Ordinhad o Swper yr Arglwydd—*Cymdeithas Genhadol Llundain.*—Y Capeli—Sion—Orange Street Silver St.—Walworth—Claremont—Hackney—Stockwell—Kingsland—a Tottenham Court

6½ Ar gloch—*Cymdeithas Diwygiad Brytanaidd.*—Pregeth—Eglwys St. Clement.

Mai 12, 11 ar gloch—*Cymdeithas amddiffyniad Rhyddid Crefyddol.*—Cyfarfod—City of London Tavern.

May 14, 11 ar gloch—*Cenhadaeth Dinas Llundain.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

6 ar gloch—*Cymdeithas Pregethu teithiol Llundain.*—Cyfarfod—Capel Finsbury.

6 Ar gloch—*Cymdeithas Dygwyddiadau Clafdaiol*—Cyfarfod—Capel Finsbury.

Mai 15, 6 ar gloch—*Cymdeithas Genhadol Gartrefol.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

Mai 16, 12 ar gloch—*Cymdeithas amddiffyniad Llwythau brodorawl Trefedigaethau tramor.*—Cyfarfod—Llys Exeter.

6 Ar gloch—*Cmdeithas Addysg Gristionogol.*—Pregeth—Capel Claremont.

Mai 17, 6½ ar gloch—*Cymdeithas Llongwyr Brytanaidd a Thramor.*—Pregeth—Orange Street.

Mai 22, 6 ar gloch—*Cgmdeithas er annogaeth Heddwch Sefydlog a Chyffredinol.*—Pregeth—Capel y Crynwyr.

Mai 23, 12 ar gloch—*Cymdeithas i attal Creulondeb i Anifeiliaid.*—Cyfarfod—Llys Exeter

☞ Meddyliasom y gallai fod yn fuddiol a difyrus iawn gan ein Darllenwyr, am unwaith, weled y nifer mawr o Gymdeithasau, a Chyfarfodydd ag sydd yn cael eu cynnal ar y tymhor hwn yn y brif ddinas, fel y canfyddont beth sydd yn myned ymlaen yn ein teyrnas, ac yn ein hoes.

### CAMDEN, Y LLONG GENHADOL.

Peth rhyfedd yw fod ar brif faner y llong hon, sef ar faner ei hwylbren uwchaf hi, yn argraffedig y ddau air hyn CENAD HEDD, yn yr Iaith Gymraeg. Yr oedd ar ei bwrdd hi y personau canlynol:—I fyned i Raiatea, yn môr y de, y Parch. J. Williams, a Mrs. Williams, a'r Parch. George Charter, a'i wraig. I fyned i Tahiti, y Parch. C. G. Stevens, a'i wraig; y Parch. Thos. Joseph, a'i wraig; a Mr. Joseph Johnson, Athraw Ysgol. I Rarotonga, y Parch. William Gill, a'i wraig; a'r Parch. Henry Royle, a'i wraig. I'r Navigators' Islands, y Parch. William Day, a'i wraig; Mr. John B. Stair, Argraffydd Cenhadol, a'i wraig. I'r Marquesas, y Parch. Robert Thomson. Aeth hefyd Mr. John Williams, ieu. a'i wraig, ar ei bwrdd hi. Oll yn ugain o rifedi.

### PORT ELIZABETH---AFFRICA DDEHEUOL.

*Golygiad byr ar y gwaith yn gyffredinol yn y sefydliad cenhadol hwn, mewn ll hyr oddiwrth y Parch. A. Robson.*

'Nis gallaf fod yn ddigon diolchgar i Dduw am y golygiadau cysurus sydd i'w gweled ar y gwaith yn bresennol yn y lle hwn. Mae yr ysgol ddyddiol yn parhau yn llwyddiannus, mae yr Ysgol Sabbathol yn hynod o lewyrchus, a'r gynnulleidfa yn cynnyddu. Mae nifer mawr o'r Fingöaid wedi dyfod yma yn ddiweddar, ac y maent yn sychedu am air y bywyd. Yr wyf fi wedi pennodi

cadw cyfarfod wythnosol yn eu plith, ac yr wyf yn pregethu iddynt bob wythnos drwy ferch o Gyfieithyddes, yr hon a roddodd yr Arglwydd i mi fel sel fy ngweinidogaeth.

Pan feddyliwyf am y nifer mawr o eneidiau anfarwol ag sydd o'm hamgylch, ac mor ychydig o honynt, mewn cydmariaeth, sydd wedi eu dychwelyd i gyflwr cadwedig, mae fy nghalon yn galaru uwch eu penau. Yr ydwyf yn cael fy llyncu i fynu gan feddyliau syml am bwysfawrogrwydd fy swydd, a'r sefyllfa gyfrifol yr wyf ynddi. O am ras i fy ngwneud yn ffyddlawn! Yr wyf wedi sefydlu cyfarfod gweddi neillduol, i'r dyben o gyd erfyn am weithrediadau achubol yr Yspryd Glan i fendithio y moddion a ddefnyddir er dychweliad pechaduriaid, ac er helaethu teyrnas y Messiah. 'Gweddiwch drosom ni, ar fod i air yr Arglwydd redeg, a chael gogonedd.'

*Yr eiddoch* A. Robson.

## Hysbysiadau Crefyddol.

YSGOLION CYMRAEG YN Y FLWYDDYN 1751.

(Parhad tu dalen 154)

Mi a gymmerais fy rhyddid i osod o'ch blaen y gwrthrychau mwyaf tosturus, sef y *bobl dlodion ddeillion*, y rhai sydd yn sefyll mewn angen am eu goleuo yn y pethau a berthynant i'w cyflwr tragywyddol, yr angen mwyaf gresynus yn yr holl fyd; cyflwr galarus y rhai sydd yn galw yn daer am eich trugaredd, er mwyn Duw, i'w hachub hwynt o'u sefyllfa dywyll ac anwybodus; a gwaredigaeth pa rai sydd yn sefyll, gyda bendith Duw, ar elusengarwch y cyfryw ag sydd yn eu gallu i roddi iddynt hyfforddiant am drefn yr iachawdwriaeth. Canys buan y palla y drefn hon o'u haddysgu yn athrawiaeth a dyledswyddau crefydd, oni rynga bodd Duw i dueddu meddyliau y Cristionogion elusengar, i barhau i gynnorthwyo yr amcan daionus â'u hoffrymau gwirfoddol.

Mae y gwir anrhydeddus a pharchedig wyr drwy ddwylaw y rhai y mae y Cyfraniadau yn dyfod i gynnal yr Ysgolion hyn, yn enwedig y rhai sydd yn derbyn ac yn trosglwyddo y rhan fwyaf, neu yn agos y cyfan o'r Cyfraniadau hyny, mae y rhai hyny meddaf yn gwybod yr alwad mawr sydd arn dalu traul gwaith mor helaeth a phwysfawr, wrth ystyried y mawr gost sydd yn myned i brynu llyfrau addas i'r Ysgolion, a rhoddi llawer o honynt am ddim; heblaw talu i'r Ysgol-feistriaid, a thalu i rai Ymwelwyr, a chenhadau, ac ardrethion tai i gadw yr Ysgolion ynddynt. Mae mawr ddyled arnom i ddiolch i'r Arglwydd am y cynnorthwy digonol a gafwyd hyd yma at dalu pob costau yn brydlawn, fel nad oes dim dyled yn sefyll yr awr hon. Ac yr wyf yn hyderu y bydd yn fawr foddlonrwydd i'r holl Elusengarwyr, ddeall fod yr hyn ag y maent yn ei gyfranu tuag at y gwir achos elusengar hwn, yn sicr yn cael ei dreulio gyda'r gofal a'r cynnildeb mwyaf. Y mae yn cael ei ddefnyddio i gyrhaedd cyn belled ag y mae modd gwneud.

Dyma le helaeth i wyr elusengar i roddi allan yn haelionus eu cyfoeth a'u da bydol, at achos mor ddaionus ag y dichon yr 'Hael sydd yn dychymygu haelioni,' chwilio allan a meddwl am dano. Ac wrth y cyfryw dymunaf gael caniattad i sylwi fod yr angen presennol sydd am gynnorthwy at gynnal yr Ysgolion rhad hyn yn fwy na chyffredin, oblegid fod amryw o'r gwyr haelionus a fyddent yn arferol o gyfranu yn helaeth at yr achos hwn wedi myned i ffordd yr holl ddaear; ac fe fydd y golled ar eu hol yn anadferadwy oni fydd i Dduw o'i fawr ddaioni gynnal y rhai sydd etto dan y gwaith, a chyfodi eraill etto i'w cynnorthwyo.

Nid yw yr achos etto yn adnabyddus ond i ychydig mewn cydmariaeth; ac nid yw o fewn fy ngallu hysbysu i lawer iawn am dano. Pe byddai i lawer yn chwaneg o bersonau cyfoethog a haelionus y rhai sy'n caru llwyddiant y Grefydd gristionogol wybod yn fanwl am natur, angen, a llesâd y dull hwn o addysgu a gwaredu eneidiau tlodion, yn wyf yn gostyngedig hyderu, y byddent gyda pharodrwydd meddwl yn barod i'n cynnorthwyo, er mwyn Crist, i ddefnyddio moddion i chwanegu at, neu o leiaf i barhau i gynnal yr ysgolion buddiol hyn.

Fodd bynag, ein dyledswydd ni yw ymddiried i ragluniaeth rasol Duw, drwy yr hon y dygwyd y gwaith hwn ymlaen hyd yn hyn, er nad oes un swm sefydlog a phennodol wedi ei osod i gynnal yr Ysgolion, eithr yn unig Cyfraniadau achlysurol ac ewyllysgar roddion gwyr haelionus y rhai a anfonir i ni o dro i dro, ac o flwyddyn i flwyddyn, a hyny oddiwrth bersonau, y rhan fwyaf o honynt ydynt yn anadnabyddus i mi. Fel hyn, oddiar Ystôr diysbydd daioni Dwyfol, y mae yn llifo yn barhaus gynnorthwyon digonol at yr angenrheidiau gofynedig. A thrwy ddedwydd brofiad, fe'n dysgir i fyw drwy ffydd, mewn gostyngedig ymorphwysiad ar yr un Ragluniaeth haelionus ag a lwyddodd y gwaith canmoladwy hyd yma, fel yr ydym yn bwriadu myned ymlaen yn enw yr Arglwydd, gyda'r gwaith hwn cyhyd ag y rhyngo bodd iddo Ef, ac i elusengarwch gwyr crefyddol ein galluogi.

Mae drws ëang wedi ei agoryd, cyfleusdra addas a buddiol iawn wedi ei roi, i ddyrchafu yr achos cristionogol, i ddiwygio llawer o bobl dlodion lygredig, i attal ac i wellâu llawer o ddrygau, i gynnorthwyo trueiniaid yn eu matter mwyaf ei bwys, i adnewyddu hyfforddiant cateceisiol yn yr Eglwysydd, ac i beri fod pregethu drwy hyny yn fwy buddiol. Ond y cyfryw yw anystyriaeth rhyfeddol llawer, fel nad ydynt yn gofalu am ddim o'r pethau hyn.

Ac yn wir nid ydym yn fyr o gael rh-

i'n gwrthwynebu yn y gwaith clodwiw hwn o addysgu y bobl. Wrth yr hyn y gallwn yn hawdd weled, nad all yr ysbryd maleisus, diorphwys, tywysog y tywyllwch, byth oddef i un amcan daionus, a fyddo yn tueddu at ogoniant Duw ac iachawdwriaeth dynion i fyned ymlaen, heb ddefnyddio eithaf ei egni a'i allu i'w wrthwynebu.

Nid yw efe byth yn fyr o gynnyrfu rhyw un neu gilydd, yn gyffredinol y cymhwysaf i'w amcan, i ymegnio â'i holl sym yn erbyn y cyfryw ymgais am dynu ei deyrnas i lawr; gan dywallt allan ryw gau grybwylliadau, dirmygiadau disail, a rhagfarnau diachos, yn erbyn y rhai a fyddont fwyaf cyhoeddus a llafurus yn y gwaith da.

Ac yma nis gallaf lai na chrybwyll fy rhwymedigaethau cryfaf i ddychwelyd fy niolchgarwch diffuant i'n Cydroddwyr tirion a diflino am eu rhoddion prydlawn; y rhai wedi clywed am yr amcanion maleisus, ac athrodiaeth dyfeisiol rhyw watwarwyr anhysbys y rhai a gynllwynasant fel bradladdwyr i drywanu yn y tywyllwch, a ymroisant i gyfranu yn fwy helaeth, tuag at gynnal y gwaith da yr hwn yr amcanai y gelynion ei ddrygu a'i rwystro.

Y llesâd a wnaed, ac sydd yn barhaus yn cael ei wneud drwy yr Ysgolion rhad hyn, a welir yn amlwg yn y llythyrau a anfonwyd attaf, oddiwrth yr Offeiriaid y rhai y mae yr Ysgolion yn eu plwyfau dan eu golygiaeth, a'r Ymwelwyr, ynghyd a rhai o'r bobl dlodion a ddysgwyd ynddynt, o'r rhai mae yn awr yn fy llaw, ynghylch tri chant yn barod i'w dangos i'r neb a fyno eu darllen; ac o gwbl o'r dechreuad, y mae genyf dros bymtheg cant o'r cyfryw Lythyrau a Thystiolaethau, o'r rhai y gellwch ddarllen fainta fynoch yn ol eich cyfleusdra.

Hyn sydd yn amlwg, fod llwyddiant a llesâd yr Ysgolion hyn yn sefyll i raddau mawr ar ffyddlondeb a diwydrwydd yr Offeiriaid yn eu cateceisio hwynt yn fynych, ar ddyddiau yr wythnos, yn gystal ag yn gyhoeddus, ger bron y cynnulleidfaoedd, ar y Sabbathau, a dyddiau gwylion, gan eglurhau a chymhwyso yr athrawiaeth cynnwysedig yn y Catecism, mewn modd amlwg, cyfeillgar, a sobr, at bawb fyddo yn gwrando; gan wasgu at y bobl yr angenrheidrwydd am wybodaeth grefyddol, a'u hannog yn eu pregethau ac yn eu cyfeillach i lafurio yn yr Ysgrythyrau, a bod yn ffyddlon i ddyfod i'r Ysgolion, ac i anfon eu plant yno hyd y gallant. Mae rhai Gweinidogion yn gwneuthur hyn gyda diwydrwydd a ffyddlondeb canmoladwy iawn.

Fe ddylai Gweinidogion plwyfydd fod yn ofalus iawn wrth ddewis Ysgol-feistr, ac ymweled yn bersonol yn fynych ag ef yn yr Ysgol, a gofalu am ei fod yn Cateceisio yr Ysgolheigion yn dda o leiaf ddwy waith neu dair bob wythnos. Lle y mae hyn yn cael ei wneud yn ffyddlon a chyson, mae y ffrwyth dymunol yn amlwg i'w weled.

(I'w barhau.)

CYFRIF YSGOLION SABBATHOL Y TREFNYDDION CALFINAIDD YN NGWYNEDD AM Y FLWYDDYN YN DIWEDDU RHAGFYR, 1837.

| Siroedd | Rhif. yr Ysgolion | Athrawon ac Athrawesau | Ysgolheigion | Athrawon, Athrawesau a'r Ysgolheigion | Pennodau o'r Bibl a adroddwyd | Pennodau o'r Hyfforddwr | Pennodau o'r Rhodd mam | Erthyglau o'r Cyffes Ffydd | Nifer a adroddodd y deg gorchymyn | Adnodau |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Mon | 94 | 2076 | 10,381 | 12,457 | 138,110 | 2,510 | | | 7421 | |
| Caernarfon | 107 | 2826 | 13,071 | 15,897 | 179,028 | 73,059 | | | | 119,111 |
| Dinbych* | 91 | 1241 | 7,067 | 8,308 | 77,041 | 6,716 | 6,796 | 225 | 2756 | 259,250 |
| Flint† | 37 | 1260 | 8,322 | 9,582 | 89,574 | 6,873 | 14.992 | | 3407 | 107,099 |
| Trefaldwyn | 147 | 1406 | 9,520 | 10,926 | 92,336 | 945 | 2,397 | | 3630 | 175,336 |
| Meirionydd | 99 | 1673 | 10,726 | 12,399 | 68,292 | 3,129 | 1,412 | | | 479,451 |
| Liverpool | 6 | 190 | 1,251 | 1,441 | | 382 | 96 | | 66 | 93,087 |
| Caerlleon | 4 | 37 | 195 | 244 | 322 | | 458 | | 64 | 41,455 |
| Y Cyfan | 585 | 10,709 | 60,533 | 71,254 | 644,703 | 93,614 | 26,151 | 225 | 17,344 | 1,274,789 |

Anwyl Frawd,---Ar ddymuniad y brodyr yn Nghymanfa Llanrwst, yr wyf yn anfon i chwi gyfrif o rif a llafur Ysgolion Sabbathol y Trefnyddion Calfinaidd yn Ngwynedd, i'w argraffu yn y Drysorfa. Mae yn ddrwg genyf eu bod wedi eu cadw cyhyd heb eu hanfon i'ch swyddfa: yr achos o hyn oedd, bod amrai gyfrifon heb ddyfod i law yn Llanrwst, ac yn addaw eu gyru yn ddioed; ond ni chafwyd mo honynt yn gwbl etto, fel y gwelwch yn y daflen.

Buasai yn dda genyf pe gallaswn wneud y cyfrifon i atteb i'r cynllun a benderfynwyd arno gan y Gymanfa, ac a argraffwyd hefyd yn y Drysorfa; ond oherwydd annghydffurfiad y Siroedd yn gwneud eu cyfrifon, nid oedd genyf ond ymdrechu eu cael mor unffurf ag y gallwn.

Gwnaech yn bur dda pe annogech bob Sir i ofalu yn brydlawn i gael cyfrifon pob dosparth i law un person i'w grynhoi yn un cyfrif i ddyfod i'r Gymanfa; ac nid yn gynnifer o daflenau ag y sydd o Ddosparth yn y Sir; nac fel Ll—— yn gynnifer o daflenau ag y sydd o Ysgolion yn y Dosparth. Oddieithr cael y cyfrifon o bob

* Un dosparth heb ddod a'u cyfrif i mewn. † Dosparth Gorllewinol yn unig.

man yn gryno y mae yn anmhosibl gweled pa un ai cynnyddu ai lleihau y mae yr Ysgolion.

Dymunol fyddai i chwi y tro nesaf y byddwch yn argraffu taflenau i gadw cyfrifon, eu bod yr un fath a'r un diwygiedig a anfonwyf, neu ei roddi yn gopi yn y Drysorfa fel y gwelo pawb ef.

*Henllan.* JOHN FOULKES.

## Helyntion yr Amseroedd.

### Y SENEDD YMERODROL.

*Ty y Cyffredin.* Cyfarfu yr aelodau Ebrill 25 wedi y Gohiriad dros wyliau y Pasc. Dyg y Milwriad Talfourd ei ysgrif i mewn am gael estyniad amser hawl awdwyr Llyfrau yn eu cynysgrif. Bu amryw yn traethu eu meddyliau ar y matter hwn; rhai o blaid a rhai yn erbyn. Ac fe ranwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid ail ddarlleniad yr Ysgrif.. | 39 |
| Yn erbyn...................... | 34 |
| Mwy o blaid o ................ | 5 |

Yna gosodwyd yr Ysgrif ger bron Eisteddfod y Tŷ i'w hystyried o ddarn i ddarn.

Ebr. 26. Cafodd Arg. J. Russell ganiattad i ddwyn ysgrif i mewn i wneud gwelliant rheolau yn y Carcharau yn Lloegr a Chymru ac i wneuthur carcharau i ddrwg weithredwyr ieuainc ar eu pen eu hun. Wedi hyny efe a ddyg Ysgrif arosiad Gwyr Llen yn eu cylch gweinyddiad eu hunain, yr hwn a ddarllenwyd yr ail waith, ac a'i dodwyd at sulw Eisteddfod.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Cyfarfu y Tŷ hwn Ebrill 27. Ebrill 30. Hysbysodd Arg. Melbourne fod amser Coroniad y Frenhines i gael ei symud o'r 26, i'r 28, o Mehefin nesaf.

*Tŷ y Cyffredin.* Darllenwyd Ysgrif Cyfraith cynnaliaeth y tlodion yn y Werddon y drydedd waith, ac fe i hanfonwyd hi i Dŷ yr Arglwyddi, i edrych pa beth a wnant hwy o honi hi yno.

Mai 3. Cyfododd Arg. J. Russell i roi cynnyg am osod Eisteddfod arbenig i chwilio i mewn i ddull gosodiad Ysgrif Rwymau am diroedd eglwysig yn Lloegr a Chymru, i'r dyben i edrych a geir oddiyno arian i dalu yn lle y Dreth Eglwys. Geiriodd y Cynnygiad fel hyn :--'Edrych i mewn i drefn rhoddiad ac adnewyddiad Ammod-Rwymau ar diroedd ac eiddo eraill perthynol i'r Esgobion, Deoniaid, a Chabidwliaid (*Chapters*) a chyrph eglwysig ereill yn Lloegr a Chymru; ac hefyd amcan o'r swm o unrhyw chwanegiad gwerth a ellid ei gael drwy welliant ar drefniadau y cyfryw Ammod-Rwymau, gydag ystyriaethau addas o fuddioldeb yr Eglwys Sefydledig, ac o'r Ammod-Rwymau presennol y cyfryw eiddo.' Gwrthwynebwyd ef yn gadarn. Ond fe ranwyd y tŷ. A chafwyd mwy o blaid y cynnygiad nag yn ei erbyn o 36.

Mai 9. Darllenwyd Ysgrif Gwelliant Porthladd y Birkenhead y drydedd waith, a phasiwyd hi.

### HANES TRAMOR.

YR HISPAEN.--Ymddengys bod y gwrthryfel annibynol Muriarragay yn mynyddoedd Guipuscoa wedi terfynu. Dywed llythyrau o Bayonne a ddyddiwyd y 27ain o'r mis diweddaf na bu Muriarragay yn alluog i ennill neb o'i blaid ond ychydig weithwyr yn *foundries* Verastegni, y rhai oll a chwalasant ar ddynesiad byddin fechan o wyr arfog. Ei wraig a phump o'i gydwrthryfelwyr a ddaliwyd gan filwyr gwirfoddol Guipuscoa. Credir i'r rhelyw o honynt ddiangc i dir Ffraingc. Fe ddywedir mewn llythyr yn Bayonne fod Muriarragay yn Paris fel ffoadur o'r hyn lleiaf. Er hyny y mae ei holl hanes yn profi un peth o leiaf, sef fod anfoddlonrwydd mawr yn codi yn erbyn Don Carlos yn nhaleithiau Basque, y cyfryw anfoddlonrwydd ag na edy iddo ef ddwyn ym mlaen y fath ryfel gwaedlyd y naill flwyddyn ar ol y llall yn erbyn y rhan arall o'r Hispaen. Derbyniwyd yr hysbysiadau canlynol oddi yno gan llywodraeth Ffraingc.

*Bayonne, Mai* 3.--Hanesion o St. Sebastian a ddywedant i'r Cadfridawg Espartera ennill buddugoliaeth ar y Count Negri yn nghymmydogaeth Burgos. Dyoddefodd y Carlosiaid yn drwm iawn. Y cwbl o'u magnelwyr a nifer fawr o'u swyddogion a syrthiasant i ddwylaw eu gwrthwynebwyr.

*Bayonne Mai* 4.-- Ar y 27ain daeth Espartero ar holl lu Negri rhwng Burgos a Breviesca ac a'i distrywiodd hwy yn llwyr. Syrthiodd dwy fil o garcharorion, o ba rai yr oedd dau gant yn swyddogion a holl eiddo milwraidd y Carlosiaid i ddwylaw y Prif swyddog.

*Narbonne. Mai* 4.--Cymmerwyd dwy ran o fyddinoedd y Carlosiaid gan wŷr Baron de Meer wedi eu hamgylchynu yn Chateu Oriesta yn agos i Vich, ar y 30ain diweddaf.

*Madrid, Ebrill* 28.--Mae y gair ar led ym Madrid, a chredir ef hefyd, fod gwrthryfel milwraidd arall wedi tori allan yn nhaleithiau y Basque, a hyny yn myddinoedd Navarrese, yn Andoain.

Y mae newyddiaduron Barcelona a ddyddir Ebrill 24 yn llawn o hanesion am greulonderau a gyflawnir gan filwyr Tristany yn Monistral, i ba le y gallodd y Carlosiaid fyned i mewn trwy dwyll y gwarchawdlu gwan a gymerasant eu noddfa yn Eglwys y dref, ac a'u hamddiffynasant yn wrol. Rhoddodd y Carlosiaid orchymyn allan i'w rhoddi ar dân, pryd y daeth Baron de Meer yn ffawdus iawn ac a'u hachubodd

yr oedd y dref yn llawn o adfeiliau, lludw, a chyrph meirw.

Fel hyn y mae y wlad annedwydd hon o gwr bwygilydd yn briodol iawn i gael ei galw yn Aceldama; ac O! na chlywem fod y cleddyfau wedi eu gweinio, a'r arfau angeuol wedi eu rhoi heibio, a heddwch a thangnefedd yn tarddu ac yn blodeuo yn y tir sydd wedi myned yn llawn anrhaith a gwaed.

### HANESION CARTREFOL

*Cledr-ffordd Caerlleon a Birkenhead.* Ar ddydd Iau y 3ydd o Fai y dechreuwyd ar y gwaith rhyfeddol hwn. Wedi i nifer fawr o weithwyr ac ereill ymgyfarfod ar ryw le pennodedig, daeth un Mr, Jackson ym mlaen ac a lanwodd lonaid berfa o bridd ac a'i hwyliodd i bantle cyfagos, yn nghanol bloeddiadau y gwyddfodolion. Disgwylir y bydd y gledr-ffordd hon yn barod i'w hagor ym mhen y ddwy flynedd, ac wedi y cwblheir hi y mae yn debygol iawn y bydd o bwys mawr nid yn unig i Lerpwll ond i fanau ereill hefyd.

*Hynodrwydd mewn natur.* Oddeutu pythefnos yn ol, bwriodd buwch i Mr. Robert Falton, o Highburton lo rhyfedd a hynod iawn. Nid oedd ganddo ond tri throed o gwbl (dau droed ol ac un yn mlaen). Y mae yn dyfod yn ei flaen yn rhagorol,--- a difyrwch nid bychan yw ei weled yn cerdded, yr hyn a wna mor rwydd ag un a phedwar troed ganddo. Y mae cryn ddisgwyliad y gwelir ef yn ffair nesaf Huddersfield.

Y *Bibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor.* Cynnaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas hon yn *Exeter Hall*, Llundain, yn yr wythosau diweddaf. Swm y derbyniadau yn ystod y flwyddyn ddiweddaf oedd fel y canlyn £97,237 1s 11c. Rhif y copïau o'r Ysgrythyrau a gyfranwyd ganddi yn ystod yr un flwyddyn oedd 590,398---ac er y cychwyniad cyntaf 10, 888,043.

*Hynafiaeth.* Dywed y *Lancaster Gazette* ddarfod i dorwr beddau eu plwyf godi o'r ddaear ddarn arian yn dwyn delw ac argraph '*Antonius the Pious*', yr hwn a raid fod yn agos i 1700 o flynyddoedd oedran. Y mae yn edrych yn o dda a newyddaidd.

*Arwydd o barch.* Mae yr '*East India Company*' yn amcanu gwneuthur anrheg i'r Cadben Chads, o gleddyf gwerth 200 gini am ei lafur diflino yn rhwystro morladrad yn moroedd yr India.

*Eryr y môr.* Saethodd Mr. John Laurenson, o Goosnargh, yn ddiweddar, Eryr y môr mawr, yn mesur o flaen y naill aden i'r llall bum troedfedd a deng modfedd.

*Rhybudd etto i Rieni.* Mae y naill fis ar ol y llall yn dwyn gyd âg ef hanesion gofidus am blant bychain yn llosgi i farwolaeth yn benaf o achos esgeulusiad eu rhieni. Dyma un etto yn dwyn yr un argraph dychrynllyd ac yn swnio yr un glul alarus. Rai dyddiau yn ol llosgodd tri o blant bychain i farwolaeth, yn Barlow, yn agos i Chesterfield, yn yr un ystafell, trwy i'w dillad gymmeryd tân. Rieni, deffrowch a chymmerwch rybydd.

*Clafychiad ac esgoriad hynod.* Yn ngorph yr wythnos ddiweddaf, (cyn yr 11 o Fai) cymmerwyd benyw yn glaf o wewyr esgor ar fwrdd y 'Snowden', agerddlestr sydd yn hwylio rhwng Le'rpwll a Beaumaris, a ganwyd yno ddau efell meirwon. Ganwyd un ar gyfer Penmaenmawr, a'r llall yn agos i Beaumaris. Ymddangosai fod eu mam yn dda arni yn y byd, a dywedir mai gwraig yw i un o islywyddion y llongau sydd yn hwylio i'r India Orllewinol. Dywenydd genym allu ychwangu ei bod yn iachau yn dda.

*Damweiniau arswydus.*---Ar ddydd Sadwrn y 5ed o Fai, fel yr aedd trol rhyw ddarllawydd yn dyfod i lawr *Rupert Place*, Everton, Le'rpwll, dychrynodd y ceffyl a rhedodd ar draws un wraig ag oedd wedi bod gyda Arolygydd y tlodion yn chwilio am gynnwrthwy, ac a'i hanafodd yn dost.--Yr un dydd, fel yr oedd cerbydyn o Kirby, yn sefyll with dafarndŷ yn mhen uchaf *Richmond Row*, a'r gyrwr wedi myned i'r dafarn i yfed, dychrynodd y ceffyll, a rhedodd ymaith ar ffrwst erchyll. Yr oedd bachgen bychan yn y cerbydyn, pa un a egniai i rwystro iddo redeg; ond taflwyd y bachgen allan a hono, ac aeth yr olwyn dros ei gorph. Cariwyd ef i'r Yspyty, gyd a gobaith gwan o'i adferiad. Ar ddydd Llun, y 7fed o'r un mis aeth cerbydyn gwr boneddig dros eneth fechan yn ymyl Eglwys *St. James*, ac a'i hanafodd yn drwm.

*Marwolaeth baban yn ei gwsg.*---Ychydig ddyddiau yn ol cynnaliwyd celain-ymchwil ar gorph plentyn un wythnos ar ddeg oed i John a Mary Jones, William's Court, Smithfield-street; Lle'rpwll, yr hwn a fu farw dan yr amgylchiadau canlynol. Aeth y rhieni hyn i'w gwely oddeutu un-ar-ddeg y nos o'r blaen a'u baban gyda hwy mewn perffaith iechyd. Ond ar eu deffroad boreu drannoeth, oddeutu 5 o'r gloch, er eu dirfawr fraw, cawsant y baban yn farw. Y rheithwyr ar ol peth ymgynghori a ddychwelasant y rheithfarn "ddarfod i'r baban fygu oherwydd i'r fam orwedd arno."

*Yspeiliwr yn cael ei ddal.*---Dywedir fod un gwr boneddig yn ddiweddar wedi myned i ariandŷ yn Le'rpwll i dderbyn yno 500 o bunnau, a sylwodd fod rhyw ddyn yn cymmeryd rhyw sylw neillduol o hono. Cyn pen nemor aeth y gwr boneddig ar rai o gerbydau y gledr-ffordd i Manchester, a phwy a eisteddai yn nesaf ato ond y dyn rhag-grybwylledig. Wrth ddisgyn

o honynt cafodd ei fod yn fyr o'r arian oll; ac wedi iddo benderfynu ynddo ei hun mai ei yspeilio a gafodd, daeth o hyd i wybod fod yr hwn a eisteddai nesaf atto wedi cymeryd y cerbyd i Birmingham. Penderfynodd ei ddilyn pa fodd bynag, ac wedi cymeryd swyddog gyd âg ef, a llogi peiriant yn Manchester, daethant o hyd i'r cerbydau cyn iddynt gyrhaedd Birmingham. Dilynasant ef wedi hyny i ben ei siwrnai, a sylwasant ar y teithwyr oll yn disgyn. Cyn pen hir iawn gwelent y dyn a chwilient am dano yn disgyn, ac wedi chwylio ei logellau cafwyd yr arian yn ei feddiant, a thraddodwyd yntau i garchar i aros ei brawf.

*Damwain Angeuol ar y Grand Junction Railway.*—Prydnawn dydd Mercher, yr 2fed o Fai, fel yr oedd rhai o gerbydau y gledrffordd yn agos i *Preston Brook*, a'r gwyliedydd yn sefyll ar ei draed a sypyn bychan yn ei law, llithrodd ei droed a disgynodd yntau i lawr ac aeth olwynion dau o'r cerbydau drosto a thorasant ei goesau yn llwyr i ffwrdd. Cafwyd meddygon ato yn fuan, ond ni buont o un lles, a bu farw ym mhen oddeutu dwy awr mewn poenau dirfawr.

*Cais i Yspeilio.*—Fel yr oedd morwyn i Mr. Chapman, Shaw-street, Lle'rpwll, yn dychwelyd adref Nos Iau y 3ydd o Fai, hanner awr wedi wyth o'r gloch, cyfarfyddodd dau ddyn â hi yn agos i Eglwys St. Augustine, a dechreuasant chwilio ei llogellau. Hi a waeddodd allan, a digwyddodd fod dyn yn dyfod gerllaw, a'r ddau leidr a redasant ymaith. Yr oedd gan y ferch ieuangc newid papur pum punt yn ei llaw, a cuadwodd hwyntyn ddiogel yno tra y bu y fileiniaid yn chwilio ei llogellau, ac felly llwyddodd i'w cadw.

*Cymdeithas Genadol yr Eglwys.*—Cynnaliwyd 29ain cylchwyl blynyddol Cymdeithas Genadol yr Eglwys yn Exeter Hall, dydd Mawrth, Mai 1, y derbyniadau y flwyddyn ddiweddaf oeddynt £83,447, a'r treuliadau yn £86,540. Y chwanegiad sydd oddeutu £11,000, o Lunnau.

Y SENEDD YMERODROL.—*Ty y Cyffredin.* Mai 14, Dyg Arg. John Russell i mewn, mewn araeth faith, gynnygiad etto y leni, am gael passio Ysgrif Diwygiad Cyfraith y Degwm yn y Werddon. Prif ddadl yn y matter hwn sydd ynghylch *Gweddill* o'r arian o godir oddiar berchenogion tiroedd yn lle y Degwm, ar ol rhoddi digonol o gynnaliaeth i'r Esgobion, yr Offeiriaid, a'r Curadiaid. Barn Swyddogion y Llywodraeth yw y dylid rhoi y *gweddill* hwn at ddysgu plant y Gwyddelod yn ddiwahan. Ond barn eu gwrthwynebwyr yw y dylid ei dreulio at wasanaeth yr Eglwys wladol yn unig. Dyma begwm y ddadl gref hon. Ar hyn cynnygiodd Syr T. Ackland ddadl yn yn erbyn Arg. J. Russell, ac amryw ereill a gryfhasant ei freichiau ef. Ond Arglwydd Morpeth a areithiodd yn gadarn ac effeithiol iawn o blaid Ysgrif y Llywodraeth.

Mai 15. Atti hi yr aed drachefn i ddadleu ynghylch Ysgrif Degwm y Werddon. Ac o'r diwedd rhanwyd y Tŷ.

| | |
|---|---|
| A chafwyd o blaid Ysgrif y Llywodraeth | 317 |
| Yn ei herbyn hi | 298 |
| Mwy o blaid y Llywodraeth o | 19 |

Pan ganfuwyd fod y Llywodraeth wedi ennill y ddadl ar y *Tories* fe lanwyd y Tŷ â bloeddiadau o orfoledd am hir amser; canys yr oedd y gwrthwynebwyr wedi casglu eu holl rym yn y ddadl hon, i'r dyben o fwrw y Swyddogion allan o'u lleoedd, pe byddai bossibl, cyn amser coroniad y Frenhines.

*Teithio cyflym.* Cyrhaeddodd Masnachwr ar ei daith ddinas Bristol am ddeg ar gloch nos iau, Mai 17, yr hwn oedd yn Dumfriers yn Scotland y boreu o'r blaen am ddeg ar gloch. Cychwynodd o Dumfriers boreu mercher am ddeg ar gloch ac a gyrhaeddodd i Liverpool mewn Agerddlong yn ddigon buan i gael noswaith gysurus o gysgu yno, ac am hanner awr wedi 6 y boreu efe a aeth gyda'r Agerddgerbyd i Birmingham lle y cyrhaeddodd ymhen pedair awr a hanner; ac oddiyno mewn cerbyd efe a gyrhaeddodd Bristol erbyn deg ar gloch yn yr hwyr. Felly efe deithiodd dros dri chant o filldiroedd mewn 36 o oriau.

## BARDDONIAETH.

### MARWNAD

### Y PARCH. EBENEZER RICHARD, TREGARON.

Syrthiodd i lawr mewn mawredd—Dywysog
Gwir enwog o rinwedd,
Ac arweiniwr gwirionedd,
Ei oes drwy barch,—is dôr bedd.

Cwympodd y dewr, un o'r cewri,—iach *Gûn
Gwych gennad goleuni,
Eofn, cadarn, fu'n codi,
Golud Nef drwy ein gwlad ni.

Duwinydd o lawn dywyniad,—a hoyw
O hyawdl barabliad,
A pher, mwyn, tyner fel tad,
O dda-mewnol ddymuniad.

Ebenezer, têr, tirion,—ab Risiart
I breswyl y meirwon,
Aeth was Ner,—is sêr bydd sôn
Tra geiriau yn Tregaron.

Gan lawer am hoff gain lywydd—ynddi
Fu'n iawnddoeth arweinydd,
Mawr drallod, a syndod sydd,
Er gloesion i'r Eglwysydd.

* Chief, Leader, Dr. W. O. Pughe.

Pwy fydd mewn cyrddau blynyddol,—etto
Heb atal mor wrol?
Pwy'n fraich gref, fel ef o'i ol
Ag urdd moes i gwrdd misol.

Mewn pur serch pwy annercha—yn lwys-
Luosog Gymmanfa? [aidd
I'w gadair pwy a goda,
'N wr o'i ddysg mewn awr dda?

E lifai'n ffrwd fel afon,—ei ddinam
Fawr ddoniau hyfrydlon,
Pan holai, y llywiai'n llon,
Was Celi yr *ysgolion.

Un dethol mewn cymdeithas,—un hoenus
Un hynod o addas
I'r perŵyl, a gŵyl fel gwas,
Un parod oedd y purwas.

Yn oleu iawn a hylŵydd,—tra uniawn
Y triniai bwngc afrŵydd,
Rhoe bob amser ger ein gŵydd
Twyn y budr mewn tanbeidrwydd.

Ei nôd oedd canfod pob cell,—i'r gwaelod
Draw gwelai bob dichell,
Yn ei erbyn o hirbell;
'Y balch adwaenai o bell.'

Ei eiriau wnai 'r cyfarwydd,—ger ei fron
Mewn gwir fraw a sobrwydd,
A pharchai pob rhai e'n rhwydd,
Oreuglod fel eu harglwydd.

Un hynod o gall a gwybodus,—oedd
Un addwyn a threfnus,
O ymadrodd, doeth, medrus,
A rhwydd heb attal na rhûs.

Trwy ei oes, eirioes, un araf,—diwyd,
A duwiol, sancteiddiaf,
Un o enaid unionaf,
Ei nod oedd yn ngwinllan Naf.

A doeth iesin Gymdeithasau,—unai
I ennill cenhadau,
At bob 'stad, a gwlad yn glau
O bobl i feddiant Biblau.

Mawr ei orchest fel dirwestydd,--a'i lwydd
I luddias rhai beunydd,
Rhag niwed y syched sydd
O redeg at wirodydd.

Yn siriol ef fu fel seren---liwus
Oleuwych wiw addien,
Ac araul fel yr haulwen
Disglaerwych yn entrych nen.

E deithiodd o'i fodd e' fu,---yn fuddiol
I hen feddwon Cymru,
I'w dwyn o'r tywyllwch du,
Yn rasol at yr Iesu.

Yn llondeg ddinas Llundain---y llefodd
A Llynlleifiad wiwgain
Caerodor, goror gywrain,
A gadd glyw yn syw o'i sain.

Ys eiriau trwy y siroedd---gweinyddodd
Ac un addas ydoedd,
A mirain dros y moroedd,
Ei enw a gawn yno 'n goedd.

†Un hygar a phumtheg ar hugain--mlwydd
Ymladdodd yn gywrain,
Er mawr-les yn rhes y rhain,
Ar y muriau wr mirain.

Gyda'i gledd yr wythnos ddiweddaf---fu
O'i fywyd y dewraf,
Yn ‡Salem y gwys olaf
A roes o'i nerth wir was Naf.

Er i ingus dir ango,---a'r gwys oer
Roi gwas hoff i guddio,
Nid a'i lun, er ei huno,
Na'i hoff sain wr cain o'n co.

Ar ol bydd ei ||reolau---i filoedd
Yn felus ber byngciau,
Bydd heb feth ei bregethau
Pur a hoff yma 'n parhau.

*Ceredigion.* IOAN MYNYW.

---

AWDL AR YR UN ACHOS.

Ebenezer y bann o weision- -Iesu
Orphwysodd yn ffyddlon,
Mae oer saeth, am yr oes hon,
Trwy gywiriaid Tregaron.

Daliodd dolur ei deulu,---o'i roddi
Mewn priddell i gysgu,
Mae'r eglwys, man dwys mewn du,
Gan y cŵyn, ac e'n canu.

O'i fawr nych i fro y nef,-- ehedodd
A chariadus dangnef,
Y mae heddyw, trwm ddolef,
Yn wall in', ei ennill ef.

Cadd ef gysur,
Minnau ddolur mewn eiddilwch,
Ef sy'n pyngcio,
Minnau 'n wylo, mewn anialwch.

Y dwylaw anwyl, fu'n troi dalenau,
Llyfr Duw unwaith, a llafur y doniau,
Ymmysg angylion, gwynion eu gynau
Sy'n rhoi rhyw dyner sain ar aurdannau,
Ebenezer heb un eisiau,---sy'n bod
Yn gwel'd ei briod, yn ngwlad obrwyau.

Aeth o Dregaron, union enaid
I'r ddifyr gynnes, hardd fro gannaid
Mae yno'n pyngcio heb baid,---mewn [clodydd
Ag iach lawenydd, gwych ei lonaid.

ROBERT PARRY.

---

* Hoff waith Mr. Richard oedd holi yr Ysgolion Sabbathawl.

† 36 o flynyddoedd y bu yn y weinidogaeth.

‡ Salem, enw Capel perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd ger Castellnewydd yn Emlyn, Ceredigion.

|| Rheolau a wnaeth i'r Ysgolion Sabbathawl.

# Y DRYSORFA.

RHIF. XCI. GORPHENAF, 1838. [LLYFR VIII.

## BUCHDRAETH Y PARCH. WILLIAM COOK,

*Un o'r Anghydffurfwyr, yr hwn oedd yn weinidog yr Eglwys St. Michael, Caerlleon, ac a fwriwyd allan Awst 24, 1662.*

GANWYD Mr. W. Cook o deulu crefyddol, a dygwyd ef i fynu dan olygiad yr enwog Mr. John Ball. Yr oedd yn wr o berchen cynneddfau naturiol cryfion iawn, o ddeall cyflym, a chof rhagorol o dda. Yr oedd yn ysgolhaig mawr. Ei fedrusrwydd yn Ieithoedd y Dwyrain a ennillodd iddo fawr fri gan y dysgedig Esgob Walton. Syr John Burgoyne oedd yn gyfaill mawr ac yn Nawddwr caredig iddo, a thrwyddo ef y cafodd efe ei osod yn y Weinidogaeth yn yr Eglwys wladol: a'r man y dechreuodd efe ar wasanaethu y swydd sanctaidd, oedd yn Wroxal, yn Warwickshire; ac oddiyno drwy gynghor y gweinidogion yn Llundain, efe a symmudodd i Ashby de la Zouch, yn Leicestershire. Yn y lle hwnw efe a gafodd ei fwrw allan o'r Eglwys wladol, am wrthod llawarwyddo *yr Ymrwymiad.* Wedi hyny efe a gafodd le yn St. Michael, yn ninas Caerlleon, lle y bu ef yn Weinidog llafurus a defnyddiol hyd oni fwriwyd ef allan drachefn drwy *gyfraith yr Unffurfiaeth* ar y 24ain o Awst, 1662.

Yr oedd Mr. Cook yn hynod o ffyddlon i Lywodraeth y Brenin Charles, ac am ei fod ef felly, efe a farnodd fod yn ddyledswydd arno i ymuno â Syr G. Booth (wedi hyny Arglwydd Delamere,) pan wnaeth efe gynnygiad am adferu y Brenin i'r orsedd, yn y flwyddyn 1659; ac efe a berswadiodd ddinasyddion Caerlleon i roddi i fynu y ddinas i'r Boneddwr uchod. Oherwydd hyny efe a gymmerwyd i fynu yn garcharor yn Llundain, ac felly y bu efe yn gaeth yn ngharchardy Llambeth am hir amser; ac oni buasai i'r amser gyfnewid yn adferiad Charles yr ail i'r Orsedd, diau y buasai efe yn cael ei brofi am ei fywyd. Ond er hyn oll, ni ddarfu i'w ymddygiad ffyddlon i'r Brenin ennill un ffafr iddo i gael aros yn y Weinidogaeth heb Gydymffurfiad. Ond yn fuan wedi iddo gael ei fwrw allan o'r Eglwys, fe ddododd Maer y ddinas ef yn y carchar cyffredin yn Nghaerlleon am iddo bregethu yr Efengyl yn ei dŷ ei hun!

Eithr yr oedd efe yn llwyr lynu wrth ei egwyddorion yn wyneb holl gyfnewidiadau yr amseroedd; gan ddyoddef gydag amynedd ac addfwynder mawr. Ac efe a barhaodd hyd angau yn Weinidog i Gymdeithas o Gristionogion enwog mewn duwioldeb yn ninas Caerlleon.* Ond oddiwrth y rhai hyny hefyd, fe fu orfod arno gilio i Puddington yn Wirrall, Swydd Gaer, oherwydd yr erledigaeth newydd a godasid drwy offerynoliaeth *Cyfraith y pum milldir, (Five mile Act,)* fel y gelwid hi. Yno hefyd, megis ag yn Nghaer, efe a âi yn gysson i addoli i Eglwys y plwyf, ac a bregethai i gynnulleidfa fechan rhwng amserau y gwasanaeth. Efe a ddywedai yn fynych wrth ei gyfeillion yn y fan hono, 'Ei fod ef yn meddwl nad oedd i bobl Dduw fawr o seibiant a llonyddwch yn y byd hwn, ond a gaent mewn cornelau.'

Yr oedd Mr. Cook yn gristion o'r hen

* Bernir mai dyma yr amser y dechreuodd yr Ymneillduwyr gynnal eu Cyfarfodydd yn Nghaerlleon; ac mai Mr. Cook oedd eu Gweinidog cyntaf, ac maent yn parhau i'w cynnal hyd y dydd hwn, ac wedi cynnyddu yn ddirfawr erbyn heddyw. Mae yma 15 o Gapelau Ymneillduwyr, a rhai miloedd o'r trigolion yn ymgrynhoi iddynt bob Sabbath; pryd nad oes yma ond 11 o Eglwysydd plwyfau. Felly yspryd erlidgar yr Eglwys wladol fu yr achlysur o ddechreuad yr Ymneillduaeth, drwy erlid o'u plith un o oreuon yr oes o Weinidogion Crist. Beth amgen a ddysgwylid oddiwrth y fath ymddygiad?

argraff apostolaidd; dyn o rodiad duwiolaf, a mwyaf hunanymwadol, ac o lafur diorphwys; yr hwn a allai wisgo dillad gwaelion, byw ar ychydig luniaeth, teithio ar ei draed, a sathru ar fawredd ac esmwythder bydol fel ar dom yr heolydd. Yr oedd yn hynod o lafurus yngwaith y Weinidogaeth, yn yr hwn ni cheisiodd erioed un cynnorthwy gan ei frodyr, eithr efe a bregethai ac a weddiau agos drwy gydol yr wythnos, fel y byddai yr achlysuron yn galw, 'mewn amser, allan o amser.' Pan oedd yn mwynhau rhyddid, yr oedd yn cadw dydd ympryd bob mis yn gynnulleidfaol, ac yn fynych efe a gadwai ddydd ympryd yn ei deulu; yn fwyaf neillduol yn achos yr amseroedd terfysglyd ac erledigaethus yr oedd yn byw ynddynt. Efe a arferai roi un prydnawn heibio bob wythnos i ymweled â theuluoedd ei gynnulleidfa, i gateceisio eu plant a'u gwasanaeth-ddynion, ac i ymddyddan yn bersonol â hwynt ynghylch eu cyflwr ysprydol. Ei ymweliadau oeddynt fyr, ond yn adeiladol. Efe a iawn ddefnyddiai amser ei ymweliadau, ac anfynych yr ymadawai heb fyned i weddi.

Efe a lywodraethai ei deulu ei hun gyda manylrwydd a doethineb mawr. Bob boreu, yn ei addoliad teuluaidd, wedi byr erfyn am gyfarwyddyd, efe a roddai Psalm allan i ganu. Wedi hyny darllenai bennod o'r hen Destament yn y boreu, a phennod o'r Newydd yn yr hwyr, yr hon hefyd a esboniai efe; gan nodi allan yr amrywiol ranau a gynnwysai; wedi hyny adroddai gynnwysiad y bennod mewn mor ychydig eiriau ag y gallai; yna efe a eglurâi unrhyw ranau dyrys o honi, gan ddybenu gyda hyfforddiadau defnyddiol. Wedi hyny efe a dreuliai chwarter awr mewn gweddi a mawl, ac yn gyffredinol efe a ddefnyddiai y bennod a ddarllenasai megis swm a sylwedd pob un o'r ddau.

Yr oedd efe yn rhagorol ymhob rhan o'i weddiau; yn enwedig yn ei gyfaddefiad o bechodau, yn ei gydnabyddiad o'r dwyfol briodoliaethau, ac mewn canmawl Dduw am ei ddaioni. Ar bob achlysur, yr oedd ei weddiau yn daer dros eglwys Dduw, ac am helaethiad teyrnas Crist. Ei ofal am wneuthur cyfiawnder oedd yn anghyffredinol o fanwl; a'i haelioni, oedd ryfeddol, ac ystyried ei amgylchiadau, y rhai nid oeddynt ond lled isel. Nid oedd ganddo un plentyn; ond efe a gymmerodd i'w deulu dri neu bedwar o blant tlodion, ac a'u dilladodd ac a'u bwydodd yn rhad, megis pe buasent blant iddo ei hun, ac a'u dygodd i fynu mewn ysgolheigtod, ac a ddysgodd iddynt wybodaeth gristionogol, oll ar ei draul ei hun. Byddai yn arferol o gateceisio y rhai hyn a'i wasanaethyddion ddwy waith yn yr wythnos, gan eglurhau pob peth iddynt yn y modd mwyaf agos at eu deall.

Gan nad allai efe mwyach gyflawni ei weinidogaeth yn yr Eglwys St. Michael, efe a gyflawnai y rhan fwyaf o honi yn ei dŷ ei hun, gyda'r un gofal a'r diwydrwydd ag a arferai yn gyhoeddus, er na fyddai neb yn bresennol ond ei deulu. Cadwai y dydd Sabbath yn gydwybodol a manwl iawn. Byddai ei holl deulu gwedi gorphen gwaith yr wythnos bob amser erbyn pedwar neu bump ar gloch brydnawn sadwrn, drwy y flwyddyn. Wedi cadw noswyl mor gynnar felly ddydd sadwrn, efe a dreuliai awr a hanner i esbonio yr Ysgrythyrau ac i weddio yn ei deulu. Wedi hyny ymneillduai pob un ar ei ben ei hun i ddysgu eu catecism. Am wyth hwy a swpperent, ac yna efe a ollyngai ei deulu i fyned i'w gorphwysfaoedd yn ol ei ddull arferol ar ddyddiau ereill.

Efe a godai yn fore iawn ar ddydd yr Arglwydd. Byddai raid i bob un o'r teulu ddarllen pennod o'r Bibl foreu y Sabbath, ac efe a dreuliai awr a hanner i esbonio yr Ysgrythyrau ac yn gweddio.

Wedi hyny âi efe a'i deulu oll i'r addoliad cyhoeddus i Eglwys y Plwyf. Ac wedi dychwelyd, (ar ol ei droi allan o'r Eglwys) efe a âi i weddi, ac wedi hyny efe a adroddai y bregeth a glywsent, ac yna pregethai a gweddiai i'r teulu, megis y gwnai yn gyhoeddus pan ydoedd yn Eglwys y plwyf. Ar ol ciniaw, efe a âi i'r Eglwys, ac wedi dychwelyd cyflawnai y cyffelyb foddion ag a wnaethai yn y boreu. Wedi swppera, adroddai pob un o'r teulu gymmaint a allai gofio o'r bregeth; ac yna diweddai y dydd sanctaidd drwy ganu Psalm a gweddio. Efe a gyflawnai yr holl lafur hwn gydag egnïad, sirioldeb, a gwresogrwydd mawr.*

* Gallai mai hyn oedd ei brofiad a'i

Un nodedig oedd am 'ddilyn heddwch;' ac yr oedd yn wr hynaws, mwyn, a charuaidd, ond yr oedd yn ddyeithr i'r defodau rhodresgar y rhai wedi hyny a ddaethant i ymarferiad. Yr oedd yn arfer rhyddid mawr i argyhoeddi ei berthynasau a'i gydnabyddiaeth, fel y byddai yr achlysur yn gofyn; a phan glywai am lwyddiant bydol rhai o honynt, gofalai am eu rhybuddio yn bwysig, rhag iddynt gael eu temptio i annghofio yr Arglwydd rhoddwr pob daioni. Byddai ei weddiau yn daerion iawn yn achos y rhai cystuddiedig. Yr oedd ei ddirwest a'i hunan-ymwadiad, ei wiliadwriaeth manwl drosto ei hun, a'i gydnabyddiaeth o ragluniaeth Duw ymhob amgylchiad, yn anghyffredinol; ac hefyd ei ostyngeiddrwydd. Efe a ymwrolai i raddau annghyffredin i ymgadw rhag unrhyw beth a fyddai yn tueddu i'w demtio i feddwl yn fawr am dano ei hun. Er nad oedd efe yn rhydd i uno yn yr Unffurfiaeth o drefniad y Llywodraeth dan Charles II., ac er y tystiai yn erbyn llywodraeth Esgobawl a'r seremonïau, etto efe a drinodd ei ymneillduaeth oddiwrth yr Eglwys sefydledig gyda mwyneidd-dra ac arafwch cristionogaidd. Weithiau efe a geryddai yn dirion rai a feient ar yr Offeiriaid a gydffurfiasent, er ei fod ef ei hun yn anghydffurfio. Ac yr oedd ei dduwioldeb amlwg, ei onestrwydd, a'i garedigrwydd yn peri hyd yn nod i'r rhai oedd yn wahanol eu barn iddo ei barchu. Yr oedd yn ysgolhaig mawr, ac yn parhau i astudio ar hyd ei oes. Yr oedd efe cyn belled oddiwrth ymrwystro â gofalon y bywyd hwn, fel na wyddai efe ddim pa faint oedd ganddo, heblaw y bara a fwyttâi: ac nid oedd ynddo nemawr o duedd i ymddyddan am achosion bydol; ond mewn ymddyddanion am bethau Duw nid oedd neb yn fwy parod a chyweithas. Efe a fu byw a marw yn siampl enwog o rodio yn agos at Dduw, ac o ymarweddiad yn y nefoedd. Fe ddywed Mr. Samuel Bold† am dano, yr hwn a ddygwyd i fynu dan ei olygiad o'i febyd, mewn Traethawd cyflwynedig i'w weddw ef, 'Mai Mr. Cook oedd y gwr mwyaf nodedig fel gweinidog llafurus, a ffyddlawn, ac fel credadyn gweithgar, a welodd efe yn ei oes.'

Pan oedd efe ar ei wely angau, gofynodd hen wr o gyfaill iddo, a oedd efe ddim y pryd hyny yn derbyn cysur oddiwrth ei lafur yn ngwasanaeth Duw? Efe a attebodd, 'Nid oes genyf fi ddim y gallaf ymffrostio o hono.' Efe a orphenodd ei yrfa mewn llawenydd, Gorphenaf 4, 1684,* yn 72 mlwydd oed. Er fod poethder yr erledigaeth, am ryw hyd, cyn ei farwolaeth, yn peri na feiddiai efe ddim dangos ei wyneb yn ninas Caerlleon, etto yr oedd amryw o wyr enwog yn bur flaenllaw i ddangos parchedigaeth iddo yn ei gladdedigaeth.—*The Nonconformists Memorial, by Edmund Calamy. D. D. Vol. I.*

deimlad ef ei hun; ond mae yn anhawdd coelio mai felly yr oedd teimladau ei holl deulu ef; y cyfryw lymder o lafur a diwydrwydd anarferol, oedd yn ddigon i beri i bobl ieuainc ddywedyd am wasanaeth y Sabbath, 'pa flinder yw?'

† Mr. S. Bold oedd Offeiriad yn Devonshire, ac un o brif gyfeillion Mr. Locke. Efe a ysgrifenodd ac a gyhoeddodd amryw

* Yn y flwyddyn y bwriwyd Mr. Cook allan o'r Eglwys, sef 1662, y ganwyd yr enwog Mr. Matthew Henry, yr hwn oedd yn 22in oed pan fu farw Mr. Cook. Ac yn mhen y tair blynedd, sef yn y flwyddyn 1687, fe ddaeth Mr. Matthew Henry i Gaerlleon i fyw, ac a fu yno yn Weinidog llafurus ymhlith yr Ymneillduwyr am lawer o

## Rhagoriaethau y Bibl.

### YR EPISTOL AT Y RHUFEINIAID.

Rhufain ydoedd prif-ddinas y byd yr amser yr ysgrifenwyd yr epistol hwn. Gan bwy y dygwyd cristionogaeth i'r ddinas ymerodrawl hono nis gellir sicrâu: ond rhai o'r hen ysgrifenwyr a dybient i'r eglwys yn Rhufain gael ei phlanu gan Pedr neu Paul. Ddarfod i Pedr erioed fod yn Rhufain nid oes genym un prawf o hanesiaeth boddlonawl; ac mae yn amlwg nad ydoedd Paul wedi bod yn Rhufain pan ysgrifenodd yr epistol hwn; etto yr oedd ffydd yr eglwys hono wedi myned yn gyhoeddus trwy yr holl fyd, Rhuf. i. 8. Mae yn ymddangos yn fwyaf tebygol mai rhai o'r "dieithriaid o Rhufeinwyr, Iuddewon a phroselytiaid,' y rhai a dderbyniasant yr efengyl yn Ierusalem, Act. ii. 10. ar eu dychweliad yn ol a sylfaenasant yr eglwys gristionogol flodeuog hono. Yr oedd Paul dros ers hir amser wedi bwriadu ymweled âg eglwys Rhufain, eithr wedi ei luddias, fe'i hyspryd-

oliaethwyd i ysgrifenu yr epistol hwn er eu haddysg, gan egluro iddynt yn gyflawn holl drefn yr efengyl. Yr epistol at y Rhufeiniaid sydd 'ysgrifeniad, yr hwn, o ran uchder a gwirionedd barn, byrder a grym ymadrodd, rheoleiddrwydd ei osodiad, ond uwchlaw y cwbl o ran annhraethol bwysfawredd y datguddiedigaethau mae yn gynnwys, sydd yn sefyll yn ddigydgais gan un cyfansoddiad dynol yn unig, ac yn rhagori cymaint ar ysgrifenadau enwocaf y dysgedigion Groegaidd a Rhufeinaidd, ag yw tywyniad yr haul ar wreichioniad y ser.'

Tuag at ddeall yr epistol hwn yn eglur, bydd yn angenrheidiol i ystyried, 1 Cymmeriad cyffredinol y rhai hyny oeddynt yn gwneuthur i fynu eglwys Rhufain; yr oeddynt yn gynnwysedig mewn rhan o genhedloedd dychweledig, ac mewn rhan o Iuddewon, y rhai, gyda llawer o ragfarn arosol, oeddynt wedi derbyn efengyl Crist; a thra yr oedd y dychweledigion Cenhedlig yn honni cystal rhagorfreintiau â'r rhai Iuddewig, hwy a ommeddent ganiatau yr iawnderau hyn, oddieithr i'r Cenhedloedd ymostwng i'r enwaediad. 2. Tybiau cyfeiliornus yr Iuddewon ynghylch cyfiawnâd. I hyn hwy a osodent dair o seiliau :—

1. Duwioldeb anghyffredinol a haeddiant eu henafiaid, a'r cyfammod a wnaethai Duw gyda'r dynion sanctaidd hyny.

2. Y wybodaeth oedd ganddynt o Dduw trwy gyfraith Moses, a'u hastudiaeth ddyfal o'r gyfraith hono.

3. Gweithrediadau y gyfraith Lefiaidd, yn enwedig yr aberthau a'r enwaediad, y rhai oeddynt i ddyhuddo am bechod.

Yr epistol at y Rhufeiniaid sydd wedi ei ranu i unarbymtheg o bennodau, neu bedair o ranau.

Rhan I. Sydd yn cynnwys yr arweiniad i mewn i'r epistol, pen. i. 1—15.

Rhan II. Sydd yn athrawiaethol, pen. i. 16. ii—xi. Yr athrawiaethau pwysfawr a ddysgir yn helaeth yn yr epistol at y Rhufeiniaid, a ellir eu hadrodd yn fyr yn y drefn ganlynol :—

1. Fod holl blant dynion, pa un bynag ai Cenhedloedd ai Iuddewon, yn euog ger bron Duw.

2. Nas gall dim gweithredoedd dyn, pa un bynag ai seremoniol neu foesol, gyfiawnhau pechadur yn ngolwg Duw.

3. Fod Iesu Grist, Mab Duw, trwy sancteiddrwydd difrycheulyd ei natur ddynol yr hon a gymmerodd, trwy ei berffaith ufudddod mewn calon a buchedd, trwy aberth cymmodol ei farwolaeth, wedi dyfod yn Iachawdwr y rhai oll a ymddiriedant yn ei enw.

4. Fod gwir ffydd yn Iesu Grist wedi ei chysylltu yn angenrheidiol â sancteiddiad yr enaid, ac mae ei gwirionedd yn cael ei arddangos trwy fod y bywyd yn cael ei gyssegru i wasanaeth Duw.

5. Fod anfoniad Mab Duw i'n byd ni i gael ei wneuthur yn ddyn, fel y byddai yn Brynwr ac yn Iachawdwr i bechaduriaid, a rhoddiad holl fendithion yr efengyl i gredinwyr, yn ffrwyth cariad penarglwyddiaethol Duw at ddynolryw.

6. Yn y dyddiau diweddaf, y bydd i'r Iuddewon a'r holl Genhedloedd, gael eu galw yn effeithiol i gofleidio efengyl Crist, a'u dwyn i'w eglwys.

Yr egwyddorion dwyfol hyn ydynt yn cael eu gosod ger bron a'u profi, eu hegluro, eu hamddiffyn, a'u dirgymhell, mewn modd neillduol o adeiladol yn y rhan helaeth hon o'r epistol. Cynllyn yr apostol, yn amrywiol gamrau ei eglurhad o'r efengyl, sydd yn dra nodedig. Braslun o'i drefn sydd gynnwysedig mewn deuddeg dosparthiad.

Dosparthiad 1. Adroddiad yr apostol o efengyl Crist, pen. i. 16, 17.

Dos. 2. Camweddusrwydd arswydus holl ddynolryw, yn cael ei brofi oddiwrth ddrygioni atheistaidd y Cenhedloedd, ac oddiwrth ddrygioni angrhediniol yr Iuddewon, pen. i. 18—32. ii. iii. 1—20.

Dos. 3. Y drefn efengylaidd o ddwyfol ras yn cael ei datgan yn fwy cyflawn, fel yn angenrheidiol er prynedigaethau iachawdwriaeth Iuddewon a Chenhedloedd, pen. iii. 21—28.

Dos. 4. Cyffredinolrwydd yr iachawdwriaeth hon o ras trwy ffydd: Abraham, Dafydd, a'r holl gredinwyr oeddynt gadwedig yn unig o ras, trwy ffydd, a'u meddyliau yn cael eu harwain at addewidion Duw yn Nghrist, pen. iii. 29—31. iv.

Dos. 5. Rhagorfreintiau goruchel a phroffiad gwynfydedig credinwyr, pen. v. 1—11.

Dos. 6. Fel y mae holl ddynolryw wedi eu trybaeddu mewn pechod a marwolaeth trwy effaith perthynas naturiol ag Adda,

felly y mae yr holl gredinwyr yn gyfranogion yn nghyfiawnder y Gwaredwr, a bendithion tragywyddol helaethder o ras, trwy rinwedd eu perthynas ysprydol â Christ, Machnïydd y cyfammod newydd, pen. v. 12—21.

Dos. 7. Fod adferiad pechaduriaid o gyflwr o ddieithrwch calon, i gyflwr o ras, yn angenrheidiol yn cynnyrchu bywyd o sancteiddrwydd, ac yn anwahanol gyssylltedig â bywyd tragywyddol, pen vi.

Dos. 8. Adnewyddiad y meddwl i gyflwr o ffrwythlondeb i Dduw, yr hyn sydd yn ei wneuthur yn fyw i ysprydolrwydd a sancteiddrwydd ei ddeddf, ac yn ddwfn deimladwy o bechodau mwy dirgel y galon; fel hyn, tra yn cael ei ofidio gan ymwybyddiaeth o lygredigaeth gwreiddiol ei natur, ac oddi wrth egwyddorion o ras yn ymhyfrydu yn y ddeddf yn ol y dyn oddi mewn, mae yr enaid crediniol yn blaen-brofi iachawdwriaeth gyflawn trwy Iesu Grist, pen. vii.

Dos. 9. Buddugoliaeth ffydd y cristion, oddi wrth gyflawnad gwaith cyfryngol Crist,—oddi wrth ei feddiant o Yspryd Duw,—oddiwrth ei ragorfraint o ddwyfol fabwysiad,—oddi wrth gyd-weithiad pob peth yn mhlaid y rhai sydd yn caru Duw, yn ol arfaeth dragywyddol trugaredd yn Nghrist Iesu, trwy yr hyn mae galwedigaeth, cyfiawnâd, gogoneddiad, a iachawdwriaeth pobl Dduw wedi eu sicrâu, pen. viii.

Dos. 10. Penarglwyddiaeth gyfiawn Duw yn cael ei amddiffyn yn erbyn cecrus ddadleuon yr Iuddewon y rhai a gedid yn erbyn derbyniad y Cenhedloedd i eglwys Crist.

Dos. 11. Galwad y Cenhedloedd yn destyn hen brophwydoliaethau; felly hefyd gwrthodiad yr Iuddewon oherwydd hunangyfiawnder anghrediniol, pen. ix. 25—33. x.

Dos. 12. Eglurâd pellach yn nghylch gwrthodiad mewn rhan o'r Israeliaid anghrediniol, a chorphoriad mewn rhan y Cenhedloedd i'r eglwys, gyd â golwg i annog yr holl gredinwyr i feithrin yspryd ffydd, gostyngeiddrwydd, a diolchgarwch, pen. xi.

Rhan III. Sydd yn cynnwys cymhwysiad o'r rhan athrawiaethol, mewn amrywiol annogaethau i gredinwyr, pen. xii.—xv. 1—14.

Yn y rhan hon mae pedwar dosparthiad. Dosparthiad 1. Annogaethau i gyflwyno eu hunain i Dduw yn holl ddyledswyddau bywyd sanctaidd, fel aelodau i Grist, oddi wrth yr ystyriaeth o drugareddau arbenig Duw, pen. xii.

Dos. 2. Annogaethau i ufuddâu i lywodraethwyr a swyddogion, fel ordinhadau gosodedig Duw, pen. xiii.

Dos. 3. Annogaethau i feithrin yspryd tyner tu ag y brodyr hyny y rhai sydd yn wanach yn y ffydd, pen. xiv. xv. 7.

Dos. 4. Annogaethau a gweddïau hyd yn nod fel credinwyr Cenhedlig fod iddynt feithrin a datgan llawenydd ymarferol yn Nuw eu Hiachawdwr, pen. xv. 8.—14.

Rhan IV. Sydd yn cynnwys diweddglo yr epistol, yn yr hwn mae yr apostol yn nodi amryw bethau neillduol perthynol i'w lafur a'i oediad yn ymweled â Rhufain, ac yn anfon annerchiadau at amryw bersonau, pen. xv. 15. xvi.—

*Cyfeiriadau yn Rhufeiniaid.*

| | |
|---|---|
| Pen i 17 Hab ii 4 | Pen x 6 7 Deut xzx 12 13 |
| iii 2 Deut iv 7, 8 | 11 Esa xxviii 16 |
| 10 Ps. xiv. liii | 15 ——lii 7 |
| iv 3 Gen xv 6 | 19 Deut xxxi 21 |
| 7 Ps xxxii 1, 2 | 21 Esa lxv 2 |
| 13, 17 Gen xvii 4, 5 | xi 3 1 Bren xix 10—14 |
| v 15 Esa liii 11 | 7 Esa xxix 10 |
| vii 15 Gal v 17 | 9 Ps. lxix. 23 |
| viii 15 Esa lvi 5 | 26 Esa lix. 20 |
| 26 Zech xii 10 | xii 19 Deut. xxxii 35 |
| 36 Ps xliv 22 | xiv 6 1 Cor. x 31 |
| ix 13 Mal i 1, 2 | xv 9 Ps. xviii 49 |
| 15 Exod xxxiii 19 | 12 Esa xi 1—10 |
| 25 Hos ii 23 | xvi 26 2 Petr i 20. |
| 29 Esa i 9 | |
| 33 —-viii 14 | |

## LLYTHYR XI.

*Oddiwrth hen Weinidog yr Efengyl at ei fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

(Parhad tu dal. 184.)

Drachefn, mae yn ddyledswydd neillduol arnat fynych *ystyried, sylwi, a phwyso, dy lafur a'th egni gyda'r weinidogaeth a ymddiriedwyd i ti.* A yw dy eiddigedd yn erbyn pechod, yn dy gymhell i lefaru mor lym ac argyhoeddiadol ag y byddit gynt? A yw cariad Crist mor gynhyrfiol yn dy ysbryd, ag oedd yn y dechreu? A yw dy awydd am achub pechaduriaid mor ddwys ag y byddai flynyddau yn ol? A yw dy ofn rhag cam adrodd pethau mawrion Duw yn peri it fod mor wyliadwrus ar dy ymadrodd, ag yn y dyddiau o'r blaen? Neu ynte, ai yw dy gynefindra gyda'r gwaith yn dy wneud yn fwy diofal pa fodd i'w gyflawni? Mae yn debyg mai gwir priodol i

lawer hen bregethwr ydyw hyn—Seryddwr, pan yn ieuangc, a astudiai Plato; Cyfreithiwr, pan yn ieuangc fyddai ddyfal gyda llyfrau'r gyfraith; Physygwr ieuangc, fyddai yn ofalus yn ei *Ddispensatories*; ac felly Pregethwr ieuangc yn fawr ei helynt mewn duwinyddiaeth, ond wrth heneiddio, o bosibl, y bydd y papur newydd ar y bwrdd yn amlach na'r Bibl, helynt y llywodraeth yn cael lle yn yr ymddiddan teuluaidd yn amlach na threfn iechydwriaeth, gwylio am ryw fantais fydol yn amlach na gweddio. Gwag-rodiana neu negeseuon ofer, yn myn'd ag amser a lle sanctaidd fyfyrdod.

Ac mewn canlyniad i hyn, y mae'r pulpit a'r pregethau yn amddifaid o'r bywiogrwydd a'r awchlymder gynt. Cenhadwri trefn iechydwriaeth yn cael ei thraddodi heb y melysder profiadol a'r cariad fel gynt; a'r dagrau oll wedi eu colli o'r rhybuddion, ac yna dyna'r gweinidog a'i gynnulleidfa yn yr un agwedd ag Eglwys Laodicea. Oh, na fydded i hyn ddigwydd byth i ti, oblegid mae pwysfawrogrwydd y swydd yn para yr un, ac mae y dwfr sydd yn 'ffynonau iachawdwriaeth' mor adlonawl ag erioed, a'r dyfnderoedd sydd yn 'mawr amryw ddoethineb Duw,' mor ddeniadol a diderfyn i fyfyrio arnynt i hen ac ieuangc. Dywedai Luther mai tri pheth sydd yn eisiau i wneuthur Duwinydd, Myfyrdod, gweddi a themtasiwn; ac hefyd fod tri pheth i weinidog ymarfer â hwynt, Darllen y Bibl yn ddiwyd, gweddio yn daer, a bod bob amser yn addysgwr.

Etto, *arfer ddoethineb ac astudrwydd i geisio pwyso dy dderbyniad, dy barch, a'th gymmeriad yn mhlith yr Eglwys a'r gynulleidfa y perthyni iddynt.* Dywedir, 'mai peth tlws yw pob peth newydd,' ac felly yn gyffredin canmolir a rhyfeddir pregethwr pan yn newydd, a cheir gan holl ffidleriaid y wlad godi ar ei ol; ac yn wir nid llawer llai eu stwr fydd yr Eglwys hefyd yn ei gylch: felly yr oedd gyda Paul, yr oedd yn tystio iddo weled amser ar y Galatiaid, ag y tynasent eu llygaid, pe buasai bosibl, ac a'u rhoesent iddo ef. Ond mae amser yn peri i'r rhôd droi, a'r ymddygiad gyfnewid, ond fel y mae goreu'r digwyddiad, nid y bobl sydd a mwyaf o bwysau yddynt yw y rhai sy'n gwirioni mewn zêl boethlyd gnawdol fel y nodwyd; ac am hyny ofer ac ynfyd yw rhoddi llawer o ymddiried yn eu twrw a'u hanwyldeb gwresog; fe adwaenai Crist ddisgyblion y torthau, ac mae'r un eppil heb eu claddu etto.

Yr ochor arall hefyd, ceir rhai yn meddu mwy o arafwch am fynu prawf cywir, os gallant, cyn derbyn y gwrthrych: mae yn debyg mai y rhai hyn yw y goreu i fod a'u llygaid arnynt. Etto dichon fod eu hannibendod a'u hymddangosiad lled oeraidd yn y dechreu yn achosi tristwch i'r gweinidog yn ei ddieithrwch iddynt; ond mae brwdaniaeth y lleill yn cyflawni eu colliadau hwy, ac mae'n debyg fod gan Dduw ei fwriad yn yr Eglwysi yn gosod y naill ar gyfer y llall fel y cynhelid dwylaw ei Foses ef yn yr ymdrech cyntaf. Etto, yn arafwch, amynedd, a doethineb, yr olaf y mae y gwersi buddiolaf i'w cael; ac ar ol hir gydnabyddiaeth, ynddynt hwy hefyd y gallwn ffurfio gywiraf y derbyniad a fydd i ni ymhlith ein cynulleidfaoedd;—os buont araf a doeth yn ein llyngcu yn y dechreu, ceir hwynt felly hefyd yn eu gwaith yn blino arnom; ac nid pob gwael beth a bâr iddynt ein bwrw ymaith yn eu cyfrifiad.

Ond hefyd, digon gwir fod adfeiliad ambell weinidog yn llwyddo nes o'r diwedd y canfyddir ysbryd ffarwelio ag ef yn y rhai duwiolaf, doethaf, a charedicaf. 'Pan oeddit fychan yn dy olwg dy hun, (meddai Samuel wrth Saul), y gwnaed di yn ben ar lwythau Israel, ac yr enneiniodd yr Arglwydd di yn frenin ar Israel.' Ac felly, llawer gweinidog, Oh mor fychain ydynt ar ddiwrnod eu henneiniad! Dioddefant bob triniaeth, ufuddhant i bob deisyfiad, plygant i bob rheol; ond ymhen amser, y maent yn magu'r dyfrglwyf; os cynhygir eu rhoi mewn lle bychan, Oh, y maent gymaint eu swm, hwy frifant yn ofnadwy. Ac os digwydd fod rhyw un lled heinif, yn medru cadw yn agos at eu sodlau mewn defnyddioldeb, y maent hwy wedi trafaelio a gweled cymaint, mae yn beryglus sathru eu troed, onide bydd y cyrn yn anafu. Ac, bob yn ychydig, fe ganfyddir hyn gan y rhai manylgraff yn yr Eglwys; ac yn ol eu dyledswydd, fe ymdrechir i iachau'r gweinidog, ond er galar bydd madroniad a phydredd wedi gorlenwi ei gyfansoddiad.

am hyny, er mwyn cael gwaredigaeth o'r arogl drygsawrus, bydd raid ei adael i bydru mewn amharch 'a dibrisdod! O, fy anwyl blentyn, dymunaf na byddo y darluniad byth yn gymwys i ti; a chadwed Duw bregethwyr Brydain fel ei berarogl ymhob lle. Sicr y dichon i Eglwys fod yn fwy adfeiliedig na'r gweinidog, ac felly yn anghymwys i'w hyfforddi, ond rhesymol yw tybied fod yn haws i un golli tir, nag ydyw i'r holl aelodau.

Ond yn wyneb hyn, peth arall o bwys a ddylai gael lle beunyddiol ar dy ystyriaethau, ydyw, *agwedd ysbrydol yr Eglwys a'r gynulleidfa sydd o dan dy ofal.* Pa un ai llwyddo ai adfeilio y mae? Pa un ai cynyddu a'i lleihau? Mae yn debyg fod cynydd mewn rhifedi; (ac achos o dristwch anghyfartal, os nid cywilydd i'th wyneb ydyw, fod rhif dy gynulleidfa yn llai) nid peth bach ydyw hyny; ond etto dichon fod adfeiliad mewn crefydd yn eu plith. Mae hwn bob amser i fod yn ail ofal genyt, gydag 'edrych arnat dy hun,' hefyd 'edrych ar yr holl braidd, gan edrych yn ddyfal na byddo neb yn pallu oddi wrth rås Duw.' Gan hyny, edrych a ydynt yn peidio pallu *yn eu profiadau ysbrydol, dwys, ac argyhoeddiadol.* Mae yn gof genyt, am lawer pan oeddynt gyntaf yn 'derbyn Crist Iesu yr Arglwydd,' fod pechod yn boen ofnadwy iddynt, fod eu cydwybod yn dyner ryfeddol, fod Crist yn urddas yn eu golwg, fod Eglwys Crist yn gartref difyrus i'w henaid, fod rheol y tŷ yn ddeddf yn eu calon, a'i holl driniaethau yn feddyginiaeth i'w clwyfau. Wele, a oes para yn y profiadau hyn, ai ynte, ydynt yn peidio cynefino a chlaearu yn eu profiadau, ac yn dechreu sengi y tir a reibiwyd? blodau Paradwys yn sychu oddi ar eu gruddiau yn y pregethau, danteithion Sïon yn fwy diwerth, rheolau y tŷ bron yn ormes? os felly dyma benwyni wedi ymdaenu.

Ond gyda hyny, dichon it hefyd farnu fod profiadau y rhai a ymofynant am le yn nhŷ Dduw yn bresenol, yn llawer mwy claear nag ydoedd eiddo rhai yn yr un amgylchiad flynyddau yn ol. Mae y trallod yn llai, yr argyhoeddiadau yn llawer ysgafnach, ac anhawdd yw gwybod eu neges. Meddyliais lawer am attebiad un hen wr pan ofynwyd iddo, a oedd llawer yn dyfod i'r Eglwys yn ei ardal; 'Ddyn, ebe yntau, ni welais i neb yn dyfod i'r Eglwys er ys saith mlynedd.' Diameu fod llawer wedi dyfod at y gynulleidfa yn y cyfamser, ond anhawdd oedd barnu i neb gael eu chwanegu at y wir Eglwys yn ei ardal yr holl amser. Dyma achos galaru, onide? fod drysau y deml yn agor yn fynych, a phyrth Sion yn magu glaswellt, a'r llwybrau i Eglwys Dduw yn myned yn ddisathr.

Etto, *dichon fod pallu mewn sancteiddrwydd buchedd ymarferol.* Pan fyddo crefydd yn fywiog yn y profiad, bydd yn cyhoeddi hyny yn yr ymarweddiad. Yr oedd cynygiad cyffwrdd â mantell Saul yn peri i galon Dafydd ei daro; etto cawn yr un gwr ymhen amser gwed'yn a'i galon yn ddigon cysglyd, hyd yn nod wrth ladd Urias. Mae llawer etto yn dilyn ei lwybrau, y rhai gynt y byddai rhith drygioni yn peri arswyd yn eu mynwes; 'casaent y wisg a halogwyd gan y cnawd,' ofnent fyned yn agos i dir Satan, ymgadwent ymhell oddi wrth ddrws tŷ yr hudoles. Ond, erbyn hyn, mae yr un rhai yn medru chwarae â'r demtasiwn, yn hoffi cwmni 'y rhai sydd gås ganddynt Dduw,' ac odid fawr nad ydynt yn tebygu i'w delw. Ac, O mor anhawdd adnabod crefyddwyr yn y ffeiriau a'r marchnadoedd! yn eu masnachdy, eu gweithdy, eu buarthau, a'u caeau. Mae Sïon yn tynu yn debyg i Babilon; Jerusalem, yn efelychu Tyrus falch. Portreiad allor Damascus yn cael ei ddynwared yn Iuda. Ac nid hyn yn unig; ond mae lle i ofni fod crefyddwyr yr oes hon yn haws ganddynt gydymffurfio â defosiynau ac arferiad y wlad nag ydoedd gan grefyddwyr yr oes o'r blaen. Trugaredd i'th Eglwys ydyw os anghywir y darluniad uchod o'i hagwedd bresenol. Dymunwch lawer ar i'r gogoniant aros gyda chwi er eich gwneuthur yn genedl a fo'n 'preswylio ei hunan,' heb ei chyfrif ymhlith y cenhedloedd.

Hefyd, *dichon fod pallu mewn Egwyddorion athrawiaethol*; sef fod y cyffredin o'r Eglwys yn ddigynydd mewn gwybodaeth, ac heb eu cadarnhau ymhyngciau sylfaenol cristionawgrwydd. Hwyrach eu bod yn medru eu Catechism a'u Holwyddoreg; ond os ymofynir am eu credo, ac iddynt ffurfio rhyw adroddiad neu gyffes o'u ffydd, y

byddant mor ddiamcan a rhai di broffes; ac hefyd mor hawdd eu siglo gan awel o gyfeiliornad ag ydyw hyrddio llong wâg o flaen y storom. Mae yn wir fod manteision gwybodaeth yn amlhau, llyfrau yn lliosogi, ond anhawdd barnu eu bod hwy yn cynnyddu nemawr mewn gwybodaeth. Ond trwy y cwbl, ofnaf, mai ychydig sydd o adeiladu mewn egwyddorion; oblegid, ond rhoi adolygiad ar lyfrgell llawer, ceir hwynt yn amddifaid o'r llyfrau cedyrn a duwinyddol; ac os edrychir ar fyrddau eraill, gwelir mai llyfrau ymarferol o ryw newyddion gwahanol fydd yn cael eu trin amlaf.

Ac os delir sulw manwl ar ymddiddan rhai a dybir eu bod yn golofnau yn yr Eglwys, odid byth y ceir hwynt yn sôn am wirioneddau, a dyfnion bethau duwinyddiaeth. Ac am lawer o'r ieuenctyd, mae eu myfyrdodau a'u hymddiddanion i gyd o'r bron yn cael eu gwneud i fynu o ryw bethau amgylchiadol yr achos, os cyrhaeddant hyd yno. Ac felly, as cyfaddas llunio barn ar egwyddorion yr Eglwysi yn ol y golygiad a geir arnynt yn y dull yna, rhaid eu bod yn fyrion iawn; ac odid y ceir ond ambell hen wraig a sonia nemawr am fêr duwinyddiaeth, a threfn iechydwriaeth, a'r rhai hyny fyddant ddyfynnodiadau o ryw hen bregethau a glywsant er ys deugain mlynedd yn ol. Byddai yn dda genyf allu rhyddhau yr holl weinidogion oddi wrth y cyhuddiad o fagu eu cydoeswyr mewn diffyg egwyddorion; ond, a dweud y gwir am y cyffredin o'n pregethau, ein dull ymarferol yn ein cymdeithasau neillduol, a'n holl ymddiddanion achlysurol, ychydig o adeiladaeth mewn Egwyddorion a ellir gael yn yr oll o honynt. Meddwl am y pethau hyn, a dwys ystyria y rhwymedigaeth sydd arnat i fagu dy gynulleidfa yn mrasder egwyddorion yr Efengyl.

Drachefn, *dichon fod pallu mewn doniau ysbrydol ac adeiladol.* Gellir disgwyl yn y lliosogiad o aelodau yn yr Eglwys, fod eu doniau a'u cymwysderau hefyd yn cynyddu, fod yn haws cael un cymwys i gyflawni y swydd yma a'r gorchwyl arall. Mae yn debyg dy fod yn deall nad meddu ar dafod llithrig yw fy meddwl wrth ddoniau ysbrydol; na, yr oedd Baalam yn eithaf siariadwr, ond dewin oedd ei *gar-acter.* Hynod o felus a chysurus ydyw, pan y byddo Arglwydd y winllan yn torri gwaith, fod gan yr Eglwys ei rhai cymwys i fyned atto; a phan y byddo efe yn gweled yn dda gymeryd rhyw un buddiol i orphwys oddi wrth ei lafur, fod gan yr Eglwys un arall yn ymyl i lenwi y bwlch. Yn y gwrthwyneb y mae yn digwydd yn aml. Pan y daw galw am Aaron, bydd yn anmhosibl cael yr un Eleazar i lenwi ei le; a phan y cipir Elias i'r nefoedd, nis gwyddom pa le i ymofyn am Eliseus. Ac felly gellir dweud dan alaru am Eglwys Dduw yn aml, fel y dywedir am gedyrn Dafydd, fod pob tri sydd yn codi heb gyraedd y tri cyntaf.

Yn olaf, *dichon fod pallu mewn llafur diwyd a chryno gydag achosion crefyddol.* Mae tuedd i ymgynhyrfu mewn bywyd, ysbryd gweithio yn y diwyd; ac mae Eglwys lewyrchus yn meddu ar aelodau i lafurio, yn gystal a llygaid i ganfod maes llafur. Nid deheuol ydyw fod ein llafur yn rhyw hanerog, ein bod yn brysur gyda rhyw bethau, a phethau ereill ar lawr; ond cynydd cryno yw y goreu, er y dichon fod yn araf. Ond hefyd, na fydded i ddiwydrwydd golli o'n plith, oblegid mae hyny yn aml yn cyflawni absenoldeb nerth.

(I'w barhau.)

---

BLODAU PER-AROGLAIDD.

'Myfi a fyddaf i chwi yn Dduw,'—Hynod mor gynnwysfawr ydyw yr addewid werthfawr hon. Y mae'n cynnwys yspryd a bywyd diddanwch, fel pe dywedai'r Duw bendigedig—'Mae fy *ysprydolrwydd* yn addas i natur eich eneidiau—fy *anghyfnewidioldeb* yw craig eich cynnaliaeth—fy *holl-bresenoldeb* yw eich cydymaith a'ch cyfaill—fy *holl-alluawgrwydd* yw eich amddiffyniad—fy *noethineb* yw eich arweinydd—fy *nhaioni a'm trugaredd* yw eich trysor—fy *sancteiddrwydd* yw ffynhonell eich sancteiddhad—fy *nghyfiawnder* yw dialydd eich drwgweithredoedd, a gwobrwywr eich gwasanaeth—fy *ffyddlondeb* yw eich sicrwydd.—Fy *mhen-arglwyddiaeth* yw sylfaen eich iachawdwriaeth—a'm *holl-ddigonolrwydd* yw eich rhan a'ch etifeddiaeth i dragywyddoldeb.'

'Croes Crist'—Gall y ddeddf a'r pechadur gyd-ymogoneddu ac ymffrostio yn nghroes Crist, oherwydd trwyddi hi y mae'r

ddau yn derbyn gogoniant ac anrhydedd tragywyddol.

'Gras a gogoniant,'—Gras yw gogoniant milwriaethus ar y ddaear, a gogoniant yw gras buddugoliaethus yn y nef; gras yw dechreuad gogoniant, a gogoniant yw gras wedi ei berffeithio; gras yw y radd gyntaf o ogoniant, a gogoniant yw y radd uwchaf o ras; gras yw yr had, gogoniant yw'r blodeuyn; gras yw y fodrwy, gogoniant yw y perl disglaer yn y fodrwy; gras yw y mab-an sanctaidd, gogoniant yw y dyn perffaith; gras yw y gwanwyn ysprydol, gogoniant yw y cynhauaf toreithiog; gras yw y ffrwd fywiol, gogoniant yw y môr annherfynol, lle y nofia gwrthddrychau gras mewn taw-elwch a hedd i oesoedd diderfyn tragywydd-oldeb.

'Dirgelwch Crist,'—Yr Ysgrythyrau sanct-aidd yw dirgelwch y Duwdod, Crist yw dirgelwch yr Ysgrythyrau, a gras ydyw dir-gelwch Crist.

'Trugaredd,'—Yr oll a fabwysiadwyd ydynt lestri trugaredd; yr oll a adgenhedl-wyd ydynt siamplau trugaredd; yr oll a achubwyd ydynt feini coffadwriaethol tru-garedd; a gwaith parhaol y nef fydd canu am drugaredd.

'Undeb y saint,'—Credinwyr ydynt blant yr un Tad, aelodau yr un Mab, a themlau yr un Yspryd; maent yn gyd-ddinasyddion, yn gyd-weinidogion, yn gydfilwyr, yn gyd-bererinion, ac yn gyd etifeddion o'r un etifeddiaeth ogoneddus ag sy'n nghadw yn y nefoedd.

'Ofn Duw,'—Ofn Duw ydyw'r trysor mwyaf a gwerthfawrocaf sy'n bod ynghal-on dyn, fe'i cyd-ganlynir a doethineb, cyf-iawnder, tangnefedd, llawenydd, hyfrydwch pur a sanctaidd, llawnder peraidd, a gogon-iant difrycheulyd.

'Cariad Crist,'—Mae gan gariad Crist uwchder heb ben iddo, dyfnder heb waelod, hyd heb ddiwedd, a lled heb derfyn iddo; mae yn anfeidrol ac yn anfesurol, ac yn ogymmaint a'i hanfod ei hun yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth.

'Gwir Gyfaill,'—Mae gwir gyfaill yn egluro ei feddwl yn ddidwyll a rhwydd, yn cynghori'n gywir ac uniawn, yn cynnor-thwyo'n ewyllysgar, yn anturio yn ëon, yn dioddef yn amyneddgar, yn amddiffyn yn wrol, ac yn parhau yn gyfaill ffyddlon a dianwadal hyd y diwedd.

'Er fod yr Arglwydd yn uchel, etto efe a edrych ar yr isel,'—Mae daioni yr Ar-glwydd yn gwneuthur i'w fawrhydi ym-ddangos yn hawddgar ac ardderchog, a'i fawrhydi hefyd yn gwneuthur i'w ddaioni ymddangos yn rhyfedd. Nid yw ei gariad yn lleihau dim trwy ei fawredd, na'i fawr-edd ychwaith trwy ei gariad. A'i sancteidd-rwydd nis gwahardd iddo rhag trigo gyda'r *tlawd ac isel o yspryd*, o herwydd y mae yn anfeidrol mewn trugaredd, ac yn ostyngedig o galon. Cyf. IOAN MECHAIN.

*Caerlleon.*

---

## HANESIAETH EGLWYSIG.

*IV. Sefydliad ac ansawdd yr Eglwysi Cyntefig, ac arferiad Aelodau unigol.*

Er mor aml ac mor arw oedd yr erledig-aethau yr aeth Eglwys Crist drwyddynt yn yr ail a'r drydedd ganrif, etto hi fwynhaodd ychydig lonyddwch a gorphwysdra rhwng yr ystormydd hyny yn awr a phryd arall; ac yn y cyfamser, hi a'i hadeiladai ei hun, ac a reoleiddiai ac a drefnai ei hachosion. Cyfansoddiad yr Eglwysi cristionogol yn nyddiau yr apostolion oeddynt hynod o syml a diaddurn. Ymhob Cymdeithas eg-lwysig lled helaeth yr oeddid yn gosod Henuriaid, y rhai hefyd a elwid yn Esgob-ion, y rhai a appwyntid i addysgu ac i fwrw golwg ar eu praidd perthynol, ac yr oedd ganddynt Ddiaconiaid i'w cynnor-thwyo. Arnynt hwy yr apostolion yn unig a lywodraethent; ac â'r apostolion yr ym-ofynent am benderfyniad ar bob pwnc o athrawiaeth ac ymarferiad cyhyd ag y buont byw. Ymhen amser ar ol hyn, byddid yn arferol o enwi un yn unig o'r Henuriaid hynaf yn yr Eglwys ar yr enw Esgob, ac fe ddodid iddo ef yr awdurdod i benderfynu achosion dadleuol a dyrys mewn eistedd-fodau eglwysig.

Parodd dygasedd llywodraethau pagan-aidd i'r Cristionogion am oesoedd gadw at y rheol apostolaidd yn 1 Cor. vi. lle y gor-chymynir iddynt benderfynu eu dadleuon yn eu plith eu hunain, ac nid ger bron y barnwyr paganaidd. Felly, fe ddygid ach-osion dyrys a dadleugar yn gyffredinol i gael eu penderfynu gan yr Esgobion; y rhai drwy hyny a gynnyddasant mewn bri ac awdurdod ymhlith y Cristionogion bor-euol. Pa un a wnaent gamddefnyddio eu

hawdurdod ai peidio, oedd yn sefyll ar eu duwiolder personol; ond nid oedd nemawr o achos i ofni hyny, yn y cyfryw amserau, ag y byddai mwy o berygion yn perthynu i'r swydd esgobawl nag o anrhydedd. Hyd yn nod mor ddiweddar a'r drydedd ganrif, dywed Cyprian, Esgob Carthage, na byddai efe yn gwneuthur dim heb gydsynied yr holl Eglwys, ar yr hon yr oedd efe yn flaenor. Tra y byddai pethau yn myned ymlaen fel hyn, nid oedd dim perygl.

Y perygl mwyaf a ddechreuodd ymddangos yn y dyddiau hyny drwy yr hyn y drygid llwyddiant yr Eglwys, oedd rhoddi i'r cyfryw Esgobion a breswylient ac a flaenorent yn y prif ddinasoedd, megis, Rhufain, Carthage, Alexandria, ac Antioch, ychwaneg o barch ac awdurdod nag i'r lleill. Mae yn wir nad oedd hyd yma ddim awdurdod yn cael ei roi i un Esgob ar y lleill; etto yr hyn a ddywedwyd uchod a agorodd y ffordd i'r cam cyntaf i'r cyfryw hawl o flaenoriaeth ac arglwyddiaeth a honai Esgobion Rhufain, hyd yn nod mor foreu a hyn yn yr achos gristionogol: ac mewn amser wedi hyny, a ymlygrodd i ormesdeyrn anymddibynol a chreulon. Fodd bynag, yr hawl o flaenoriaeth a honai Esgobion Rhufain, *Victor* I. a *Stephan* I. yn yr ail a'r drydedd ganrif, nid oeddynt mewn un modd yn cael ei gydnabod gan Eglwysi ereill; ac nis gallasant hyd y bedwaredd ganrif, pan gefnogwyd yr Esgobion gan yr Ymerawdwyr, gyrhaeddyd awdurdod ddim pellach na'u Heglwysi eu hunain.

Yn y bedwaredd ganrif, ni a ganfyddwn amrywiol Is-swyddogaethau yn cael eu dwyn i mewn i'r Eglwysi. Ni a ddarllenwn am Is-ddïaconiaid, Darllenwyr, Cynnorthwywyr, Tyngedyddion, (dynion a honent allu i fwrw cythreuliaid allan o ddynion) a Cheidwaid y drysau, &c.

Pan godai unrhyw ddadl mewn pwnc o athrawiaeth ymhlith cristionogion yn y dyddiau hyny, yn gyffredinol gelwid yn nghyd yr Esgobion o amrywiol fanau mewn cymanfa, neu gynghorfa, a'u barn hwy yno fyddai yn benderfyniad ar yr achos. Ac, yn wir, cyhyd ag y byddai y nifer fwyaf o'r Athrawon Eglwysig yn parhau mewn ysbryd ffydd, ac yn y gwirionedd ei hunan, byddai y cyfryw gymanfaoedd yn tueddu yn fawr er lleshad i'r Eglwys; ond os unwaith yr âi y nifer fwyaf o'r rhai fyddent yn llywio y cyfryw Gynghorfeydd, i gael eu llywodraethu gan ysbryd anghrediniaeth, a hunanoldeb, yna troid y cyfryw Eisteddfodau i fod yn offeryn uffern ei hun, fel y bu yn Nghymanfa Constance amrywiol oesoedd ar ol hyn, sef yn y flwyddyn 1415, pryd y gorchymynodd y Gymanfa losgi yn fyw y tyst ffyddlon hwnw dros y gwirionedd, John Huss.

Yn yr ail a'r drydedd ganrif, yr oedd yn parhau yn Eglwys Crist lafurwyr ffyddlawn, y rhai gymerasant boen mawr i wylio dros burdeb yr athrawiaeth, er nad oeddynt yn lân oddiwrth rai cyfeiliornadau eu hunain. Teilwng yw enwi o'r rhai hyn, Justin, Irenëus, Tertullian, Clemens, Origen, a Cyprian. Colofnau oeddynt yn yr Eglwys yn eu dydd, ac yn eu hamryw ysgrifenadau a drosglwyddwyd i ni, hwy a adawsant goffadwriaethau gwerthfawr o'u brwdfrydedd a'u gwybodaeth gristionogol.

Cyfarfodydd y Cristionogion boreuol hyn, i wrando gair Duw, er adeiladaeth eu gilydd, gweddi, mawl, a gweinyddiad Swpper yr Arglwydd, a gedwid yn yr amseroedd erledigaethus hyny, mewn ogofau, mewn coedydd, mewn tai annedd, ac mewn selerydd. Oblegid ni bu i'r Cristionogion adeiladu tai addoliad cyhoeddus hyd oddeutu diwedd y drydedd ganrif. Yr oeddynt yn gyffredinol yn ymgyfarfod ar ddydd yr Arglwydd, sef y dydd cyntaf o'r wythnos, mewn coffadwriaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu. Yr oeddynt ar hyd yr holl amser yn cadw y dydd hwn yn sanctaidd, er dyddiau yr apostolion. Ac hefyd mor fore a hyny yr oeddynt yn cadw rhai dyddiau gwyliau, sef gwyl y Pasc, a'r Sulgwyn bob blwyddyn, ac mewn rhai gwledydd hwy gadwent hefyd ddydd Nadolig, ac Ystwyll.

Mae genym hanesion sicr fod y Cristionogion mor foreu a'r ail ganrif yn bedyddio plant credinwyr proffesedig. Hwy a roddent fawr bwys ar weddi ac ympryd. Rhodio yn y goleuni megis yngwydd Duw oedd yr hyn yr ymgeisid atto gan Gristionogion yr oesoedd hyny gyda mawr ddyfalwch, ac yn hyny buont lwyddiannus iawn. Tystiodd Justin Martyr yn gyhoeddus yngwydd ei elynion, ac nis gwrthwynebasant ef, 'Nyni Gristionogion, y rhai unwaith a fuom yn gwasanaethu amryw chwantau a meluswedd,

ydym yn awr yn ymdrechu am ymarfer purdeb moesau. Nyni, y rhai gynt a hoffem fudr elw o flaen pob peth, yn awr ydym yn cyfranu o'n meddiannau i bob un fyddo mewn eisiau. Nyni, y rhai gynt oeddym yn ddigasog, ac a laddem ein gilydd, ac ni dderbyniem ddyeithriaid i'n tai am eu bod yn wahanol i ni o ran eu dull a'u harferion, yn awr nid ydym yn petruso preswylio gyda hwynt, er yr amser y darfu i Grist egluro ei hun i ni: ïe, yr ydym yn awr yn gweddio dros ein gelynion, ac yn ymgais am berswadio y rhai sydd yn ein casâu ni heb achos, i fyw yn ol athrawiaeth a gorchymynion gogoneddus Crist Iesu, fel y derbyniont y gobaith gogoneddus a hyfryd, ac y byddo iddynt fod yn gyd-gyfranogion â ni o ras Duw.'

Yr oedd caredigrwydd ac agosrwydd y Cristionogion o bob cenedl a gwlad y naill at y llall, yn beth na wyddai y byd paganaidd ddim am dano. Fe fyddai y paganiaid yn rhyfeddu pa fodd y gallai Cristionogion fod mor rydd a chyfeillgar ar unwaith a dynion na welsent o honynt erioed o'r blaen. A mynych y dywedent yn mysg y cenhedloedd y dyddiau hyny, 'Gwelwch fel y mae y Cristionogion hyn yn caru eu gilydd!' Byddai yn hyfryd iawn pe bai Cristionogion ein hoes ni yn gyffelyb; canys fe fyddai rhyw agwedd wahanol i'w weled ragor sydd yn bresennol. 'Wrth hyn,' meddai yr Arglwydd Iesu, 'y gwybydd pawb mai disgyblion i mi ydych, os bydd genych gariad at eich gilydd.' Megis pe dywedasai, 'Mae pawb ag sy wedi clywed am danaf fi, wedi clywed am fy mawr gariad; ac os bydd genych chwithau gariad at eich gilydd, fe fydd pawb a graffo arnoch, yn barod i ddywedyd, 'Dysgyblion i Iesu Grist yw y rhai hyn, canys y maent yn debyg iawn iddo ef.'

(I'w barhau.)

---

## DIRWEST.

***Hanes Y Gymdeithas Ddirwestol a'r un Eglwysig hefyd, yn Llanon, Sir Aberteifi.***

Dechreuwyd yma (fel yn y rhan amlaf o'n gwlad) gyda'r Gymdeithas gymhedrol; a lliosog iawn ydoedd ei haelodau mewn byr amser. Ond gan fod y fath hudoliaeth yn y diodydd meddwol a'r fath flys a llygredigaeth ynglyn â dynolryw, buan y canfyddwyd mai cymdeithas y camgymeriad ydoedd hon; a'i bod yn hollol aneffeithiol, ac annigonol i atteb un dyben da, nac i dynu ymaith y drwg o feddwdod a'i ganlyniadau o'n mysg. Yna tu a mis Ionawr, 1837, dechreuwyd gyda'r Gymdeithas ddirwestol; ac er ein mawr gysur, a'n llawenydd, ymunodd yr oll o'n blaeneriaid eglwysig a'r Gymdeithas hon hefyd, ymron ar ei chychwyniad: a dau parth o'r gwaith yw ei ddechreu, yn enwedig ei ddechreu mor dda, ag y gwnawd yma; sef cadw y tŷ heb ymranu, a'r brodyr yn peidio dywedyd yn erbyn eu gilydd, ond pawb yn gyttun, yn yr un lle. Onid oedd hyn yn beth hyfryd iawn, ac yn siampl ragorol i'w chanlyn gan holl Eglwysi Crist ymhob man?

A bu llwyddiant cyffredinol ar y Gymdeithas odidog hon oddi ar ei dechreuad hyd yn awr, fel yr ymunodd yr holl eglwys â hi, oddieithr rhyw ddau neu dri o rai sydd yn meddwl eu bod yn gwybod y cwbl, a hwythau druain (mae achos i ofni) heb wybod dim fel y dylent wybod hyd yr awr hon. Oblegid wrth eu ffrwythau yr adnabyddir hwynt, 'a ffrwyth yr Ysbryd yw dirwest.' Ac y mae pawb sydd heb ymuno â'r Gymdeithas ddirwestol, heb y ffrwyth hardd ac ardderchog hwn, sef *dirwest.* Ond fe fu y gymdeithas yma o dan fendith a llwyddiant neillduol yn y lle hwn, ac y mae'r daioni a ddeilliodd oddi wrthi yn barod yn gymaint, ag na ellir ei olrhain, na'i *ddesgrifio* yn bresenol.

Yr oedd yma y llynedd bump o Dafarndai, eleni ddim ond dau, a rhai hyny hefyd yn ol pob arwyddion ymron a diffodd. A llawer iawn o'r rhai mwyaf meddw, a gwaethaf mewn pob gweithredoedd annuwiol ac ysgeler, ydynt yn awr yn eistedd yn llonydd, ac yn eu hiawn bwyll, ac y mae teuluoedd y tri thafarn ereill oedd yma y llynedd, eleni yn Ddirwestwyr hyawdl a selog iawn. Fe fu ymweliad y Cenhadon Dirwestol o'r Gogledd, (yn enwedig y rhai o Fachynlleth) yn fendithiol iawn yma.

Ond y mae yma (fel ymhob man arall) elynion creulon, ac yn dangos eu dannedd yn ofnadwy iawn; ac yn ymroi â'u holl egni i ddadymchwelyd Dirwestwyr, a Dirwestaeth allan o'r byd, ac yn esbonio y gair Dirwest, yn union fel pe clywech chwi ddall

geni, yn ceisio esbonio, neu ddarlunio y Lleuad. Ond y maent mor ddieffaith yn gymwys a phe gwelem ni ychydig o wybed yn ceisio symyd yr Wyddfa i fôr mawr y Werydd (*Atlantic*). Peth rhyfedd yw fod yn y wlad grefyddwyr, a phregethwyr (o'r fath ag ydynt) yn proffesu ffydd Abraham, ond yn *gweithredu* yn ol ewyllys y cenhedloedd. Y mae arwyddion, ac achos i ofni mai o'r tad diafol y maent, ac mai gweithredoedd y tad diafol a fynant hwy eu gwneuthur. 'Oblegid pe plant Abraham a fyddent, gweithredoedd Abraham a wnaent,' ac un ufudd iawn ydoedd Abraham i Dduw a dynion.

Y mae'r holl rhai hyny ag oeddynt flaenaf mewn crefydd a duwioldeb, ynghyd a phob achos da, yn flaenaf etto gyda'r Gymdeithas Ddirwestol; gan hyny mae'n rhaid fod pob gwrthddirwestwr, (bydded e o'r sefyllfa a galwad bynnag y bo mewn byd ac eglwys), yn pleidio yr ochr arall, sef meddwdod, a phob aflendid yn un chwant. 'Pa beth a wnewch yn niwedd hyn?' Ier. v. 31. Rhifedi yr aelodau Dirwestol yma yn bresennol ydyw 240.

Yn awr gosodaf ger eich bron ychydig o hanes y Gymdeithas eglwysig. Er pan ddechreuwyd y Gymdeithas Ddirwestol yn y lle hwn, dechreuwyd hefyd i gael medi ambell i dywysen o ffrwyth y llafur trwy dderbyn ambell un yn aml i'r Gymdeithas grefyddol; ac yn eu plith amryw o'r rhai mwyaf meddw ac aflywodraethus yn yr holl wlad. Ond yn mis Mawrth diweddaf, pan ydoedd y rhagredegwr, Dirwest, (fel Ioan y Bedyddiwr) wedi cymmeryd lle, yn y fan yr ymddangosodd yr Iesu. Pan dreiglwyd ymaith y maen o anghymedroldeb, dyma yr adgyfodiad a'r bywyd yn gweiddi, Lazarus, tyred allan. Erbyn hyn, dyma hwy yn dyfod bob yn ddeg, ac ychwaneg; unwaith daeth tri ar hugain yr un noswaith i'r *Society*; a than ryw arwyddion neillduol iawn o wir argyhoeddiad. Pryd hyn yr ydoedd y pregethu yn nerthol iawn, a'r saethau yn glynu bob odfa, ac yn dwysbigo, nes oeddynt yn gorfod cyfaddef, 'fe a'm clwyfwyd i.'

Ac wedi derbyn yma oddeutu 50 neu 60 i'r Gymdeithas hon, dechreuodd yr hen Famog ag edrych, a synu, a gofyn, 'Pwy a genhedlodd y rhai hyn? Ac o ba le y daeth y rhai hyn? &c. Hefyd yr ydoedd y plant erbyn hyn bob yn un yn dechreu gofyn, 'Pwy wyf fi, a pheth yw tŷ fy nhad, pan ddygid fi hyd yma?' Ac yn dywedyd, 'Y llinynau a syrthiodd i ni mewn lleoedd hyfryd;' 'O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni.' A chyda hyn dyma'r floedd fawr yn myned allan gan bawb, (ymron) gyda'u gilydd, 'Bendigedig! Gogoniant yn y goruchafion i Dduw,' &c. Ac felly y maent yn parhau hyd heddyw, mewn llais cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gwyl. Yr holl bobl yn curo eu dwylaw, ac yn myned tua'r deml dan rodio a neidio a moli Duw. Mor hyfryd ydyw gweled a chlywed y rhai hyn yn bresennol yn gweddio, gan ddywedyd, 'Crea galon lân ynof, O Dduw, crefydd dda i finau, ei grym hi i finau,' &c. A'r holl feddwon yn eu plith, dyna sy'n rhyfedd, ynghyd a'r rhai a fu tua gwlad machludiad haul, a dyfnder môr yn cael eu dychwelyd.

Y mae yma hen wyr, a hen wragedd, a'u ffyn yn eu dwylaw; a heolydd y *Capel* yn cael eu llenwi o fechgyn a genethod yn chwarae, ac yn gwaeddi, 'Iddo Ef.' &c. Ac eraill o'r newydd yn feunyddiol yn dywedyd, 'Minau a âf hefyd.' Pa beth a ddywed y gwrth ddirwestwyr am hyn? Y maent wedi dywedyd yn hyf cyn hyn, ond yn grefyddol iawn (debygid) a gwasgfa ar eu lwynau, Na ddylid cadw y fath gyfarfodydd a'r rhai dirwestol mewn addoldai, a'u gwneuthur yn dai marchnadoedd drwy hyny, &c. Pe felly, oni fuasai yn debycach y buasai yr Arglwydd yn ymweled â'u hanwiredd â gwialen, ac a'u camwedd â ffrewyllau, nag â'r fath gafod ryfeddol o dywalltiad yr Yspryd Glan? Ond hyn yw y peth a ddywedwyd trwy y prophwyd Ioel, 'A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, Y tywalltaf o'm Hyspryd ar bob cnawd, eich meibion chwi, a'ch merched a brophwydant, eich gwyr ieuaingc a welant weledigaethau,' &c. A'r Arglwydd (gobeithio) a chwanegodd at yr Eglwys hon, wedi dechreu mis Mawrth diweddaf 115. Yn awr yr wyf yn terfynu gydag un newydd yn chwaneg, sef fod arwyddion amlwg, y gellir eich anrhegu â'r cyfryw hanesion cysurus o'r gymydogaeth hon etto'n fuan iawn.—Yr eiddoch, B. EVANS.

*Lletty John.*

TRAETHAWD AR DDIRWESTAETH.

Barchedig Olygydd,—Wrth ddarllen eich Cyhoeddiad clodwiw o bryd i bryd, gwelais ynddo drysorau gwerthfawr a pherlau addurnwych, pa rai fyddant yn golofnau goddidog (*monuments*) i'r oesoedd dyfodol, yn nghyd a hanesion o'r gweithredoedd mawrion a rhyfeddol, pa rai y mae yr Arglwydd o'i ras a'i drugaredd yn gyflawni yn ein hoes a'n cenhedlaeth, yn ein mysg ni y Cymry, trwy offerynoliaeth y Cymdeithasau a ffurfiwyd i'r dyben o foesoli a diwygio yr ardaloedd a'r gwledydd yn gyffredinol; a thrwy hyny eu hadferu i'r sefyllfa hardd o gymmeriad moesol o'r hwn y syrthiasant, trwy ymarfer â gwirf. Wrth weled y pethau hyn, cefais innau gymhelliad cryf yn fy meddwl i ysgrifenu yr ychydig a ganlyn, ac anturiais ei anfon i chwi, gan obeithio y bydd i chwi o'ch hynawsedd eu cyfleu yn eich Trysorfa. Gellir dweud mewn perthynas i Gymdeithas Dirwest na fynegwyd mo'r hanner; ond ni wnaf ond cyffwrdd yn awr â rhyw ychydig o bethau mewn perthynas iddi.

I. Yr angenrheidrwydd o honi.

1. Mae yn angenrheidiol i gynnorthwyo tuag at adferu y byd i'w gyflwr cyntefig. Wedi i Dduw wneud y ddaear, efe a greodd ddyn arni. Wedi gwneud y palas, ffurfiodd y preswylydd i fyw ynddo. Yn ganlynol, gosododd o'i flaen bob peth a allasai ei galon ddymuno. Gwnaeth bob ffrwyth pren daionus yn fwyd. Gwnaeth afon yn ngardd Eden i'w dyfrhau, o ba le hefyd y gallasai ein Rhieni cyntaf gael diod addas i'w disychedu. Ond wedi i bechod ddyfod i mewn, darllenwn am wr duwiol iawn a hwnw yn newydd gael gwaredigaeth ryfeddol gan Dduw, yn myned i blanu gwinllan, ac i yfed gwin, a meddwi! Dyma y nattur ddynol wedi dirywio yn fawr trwy bechod. Ond mae yr Arglwydd wedi trefnu moddion, ac yn ddiweddar efe a gynhyrfodd ryw rai i annog dynion i gyfodi y mur. Gan hyny na safed neb yn erbyn y Gymdeithas; ond doed pawb allan fel llu banerog o blaid Duw a'i fyddinoedd. Canys os yw Duw drosti, pwy a all fod i'w herbyn? Os o Dduw mae y cynghor hwn, nis gellir ei ddiddymu, rhag ein cael yn ymladd yn erbyn Duw.

2. Gallwn weled yr angenrheidrwydd neillduol am dani wrth ystyried y sefyllfa wael yr oedd ardaloedd cred a gwledydd y byd yn gyffredinol wedi cael eu darostwng iddi. Yr oedd y dinasoedd mwyaf enwog yn Lloegr wedi myned yn llawn o'r diodydd meddwawl; a holl Gymru yn gyffredinol wedi myned yn yspail ac yn ysglyfaeth i'r pla ofnadwy o feddwdod ac anghymedroldeb: ac yr oedd wedi myned i'r fath raddau, fel yr oedd y Meddygon a'r Ynadon mwyaf enwog a deallus, yn barnu ei fod yn achos tair rhan o bedair o'r troseddau, yr afiechyd, a'r tlodi ag oedd yn y deyrnas. Gan hyny, pwy na wel fod achos yn galw am foddion i ddiwygio y byd?

3. Ymddengys hyn wrth ystyried aneffeithioldeb pob moddion arall tuag at ddwyn y cyfnewidiad dymunol ac angenrheidiol oddiamgylch. Nid oedd cyfreithiau daionus ein gwlad yn ddigonol i hyn. Hefyd, nid oedd yr efengyl yn effeithio dim ar y meddwon; yr un peth fuasai dweud wrth ddyn marw a dweud wrth ddyn meddw. Ond y mae Dirwest fel rhaff yn cael ei hestyn i'r pwll lle mae'r dyn meddw ynddo, ac yn ei godi oddiyno. Mae y rhaff hon yn ddigon agos, cyfleus, a chref, ond i ddyn ymaflyd ynddi, i'w gadw rhag syrthio yn ol i'r pwll drachefn. Mae Dirwest hefyd fel llaw forwyn i'r Efengyl. Yr Efengyl yw y Peiriant mawr; ond mae y gwahanol Gymdeithasau hyn fel amrywiol olwynion perthynol iddo, a'r cwbl yn cydweithredu i ddwyn oddiamgylch un diben cyffredinol.

Mae rhai o'r gwrth-ddirwestwyr yn haeru ein bod yn gosod Dirwest yn lle neu o flaen yr Efengyl; ond dymunem i'r cyfryw rai ystyried nad ydym am osod dim ond yn ei le priodol ei hun. Nid ydwyf yn meddwl y cyfeiliornem, pe dywedem mai dysgeidiaeth efengyl yw sobrwydd; ac mai gwaith Duw trwy yr efengyl yn yr oes hon yw dysgu dynion i fyw yn sobr. Er fod Dirwest yn dyfod a phob peth yn drefnus fel yr esgyrn gynt yn y brophwydoliaeth, Ezec. 37. etto mae yn rhaid i Dduw ei hun ddyfod i weithio trwy yr efengyl cyn bywhau un pechadur. Gan hyny, ein gweddi fyddo ar Dduw am i'r anadl ddyfod oddiwrth y pedwar gwynt, i anadlu ar y lladdedigion, fel y byddont byw.

4. Y mawr ddaioni, y budd, a'r llesiant sydd yn deilliaw trwyddi, sydd yn profi yr un matter. O'i blaen mae y wlad fel anialwch anrheithiedig, ond o'i hol fel gardd Baradwys. O'i blaen nid oedd ond melldith, o'i hol nid oes ond bendith. Cyn i'r Gymdeithas oresgyn ein gwlad, nid oedd ond llwon, rhegfeydd, torri Sabbathau Duw; ond yn awr mae'r byd wedi dyfod i well trefn. Gellir dweud am ddynion ag fu gynt yn cablu, wele y maent yn gweddïo; yn lle halogi Sabbathau maent yn eu iawn ddefnyddio: yn lle ymrysonau ac anghydfyddiaethau mewn teuluoedd, maent yn myned i dŷ Dduw ynghyd, mewn sain cân a moliant fel tyrfa yn cadw gwyl; ac yn lle offrymmu i'r duw Bachus maent yn offrymmu eu harian a'u haur yn offrwm ewyllsgar i'r Arglwydd.

II. Yr achosion bod dynion yn aros yn ol heb ymuno â'r Gymdeithas hon.

Er bod moddion wedi eu datguddio, ac yn sicr o atteb y diben ond eu defnyddio; ac yn gyfleus i bawb eu cyrhaedd; etto, wedi'r cwbl, mae llawer yn sefyll draw, ac yn aros ymhell; ni wnant un fasnach â'r Gymdeithas hono. Ië y rhai a dybid y buasent yn golofnau gyd a'r Gymdeithas, gellir dweud eu bod yn olaf yn dwyn y Brenin adref, gyda golwg ar hyn.

Mae hyn yn beth trwm i feddwl am dano. 'Am neillduaeth Reuben y mae mawr ofal calon.' Ond beth a all fod yn rhwystro llawer i ymuno â'r achos daionus hwn? maent am gael ychydig o'r peth sydd yn meddwi; am arbed y goreu o'r praidd. Maent yn esgusodi eu hunain â'r peth a ddywed Solomon, Mai da i ddyn fwytta ei fwyd yn llawen, ac yfed ei win â chalon hyfryd; ond mor wir a hynny, da na fwyttaer dim os bydd yn dramgwydd i'r rhai sydd weiniaid. Os bydd y diferyn bach (fel y galwant hwy) yn attal eraill rhag y peth sydd wir angenrheidiol iddynt, (sef llwyr ymattal) mae y peth yn fwy o felldith iddynt (heblaw ei fod i eraill felly) nag o fendith.

2. Mae mor eglur a hynny fod yr elw mae dynion yn gael trwy y fasnach feddwol yn rhwystr iddynt lwyr ymattal; yn debyg i'r bobl gynt yn gwrthod rhoi clust i wrando, ond yn llefain am ddwy awr dros yr hen dduwies Diana. Wel, beth oedd yr achos? Cenfigen, am eu bod o'r blaen yn cael elw mawr trwyddi. Ond trwy iddi gael ei diddymmu yr oedd gobaith eu helw yn darfod: felly y mae etto, mae dynion uchel mewn dylanwad yn adeiladu eu cestyll o amgylchiadau bydol mor agos i byrth uffern fel os bydd un yn cael ei ddymchwelyd y bydd y llall hefyd yr un modd: peidied neb a bwrw y bai ar y Gymdeithas am hyn, gan nad yw yn ymladd a bychan nac a mawr ond â'r cawr o feddwdod yn unig.

III. Rhoddaf rai annogaethau i'r dyben o geisio ennill meddwl pawb oll i ymuno.

1. Mae yn llawn bryd i bawb ddyfod allan. Mae yn rhyfel yn bresennol rhwng Crist a Belial; rhwng y diodydd cedyrn a byddinoedd y Duw byw. Seiniwyd udgorn y rhyfel hwn yn gyntaf yn yr America draw. Cyrhaeddodd yr adsain dros y môr Werydd i Frydain fawr, a thrwy gyfandir Europia; ac erbyn hyn y rhai oedd yn aflonyddu y byd a ddaethant yma hefyd. Nac arosed neb yn ol a glywodd swn y rhyfel; oblegid yn fuan bydd rhannu yr yspail; rhag ofn ysywaeth y byddant yn gofyn, Paham y gwnaethoch hyn heb alw arnom ni? Deued pawb i'r maes i ryfela yn erbyn pechod. Nid gwiw ymddadleu â chig a gwaed, gan na chaiff neb o'r rhai sydd yn coleddu pechod etifeddu teyrnas Dduw. Nac arbedwn ddim a nododd Duw i'w ddifetha, canys os gwnawn, ein heinioes ni fydd yn lle ei einioes ef: os na ladd dynion bechod, efe a fydd yn sicr o'u lladd hwy.

2. Rhyfeddwn fawr ddaioni Duw yn anfon y Gymdeithas hon i'n gwlad; na buasai yn anfon y meirch barnedigaethol allan i sathru miloedd o'n cydwladwyr i'r byd arall, dan eu carnau dychrynllyd. Yn lle hynny Baner dirwest a ddaeth, a'i harwyddair ydyw, 'Ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da.' Mae yn galw ar bawb yn ddiwahaniaeth, a phawb sydd yn myned heibio yn ddiystyr, hi a ddywed wrthynt, 'Trowch i mewn yma, a chwi gewch yfed dyfroedd pur o ffynon lawer gwell, purach, a phereiddiach gwin o seler y cysegr, yr hwn sydd yn llawenhau calon Duw a dyn.

3. Mae amser braf i wawrio ar y byd, trwy fod pob pant yn cael ei gyfodi, bydd gogoniant yr Arglwydd yn cael ei ddatguddio; yr Yspryd yn cael ei dywallt;

mawl i Dduw a'r Oen yn llanw'r byd; trais a gorthrymder wedi darfod; a phob anwiredd wedi cau ei safn. Prysured yr Arglwydd y dyddiau dedwydd. Amen. Wyf, yr eiddoch, B. EVANS.

*Scybor-fawr, Mai* 19, 1838.

---

CYFFES DIRWESTWR.

Mae yn wirionedd diymwad fod tuedd yn mhawb i gyrhaedd dedwyddwch; ac y mae mor wir a hyny fod llawer yn chwilio am dano trwy ymarfer â moddion hollol wrthwynebol i'w hanfod a'i natur, ac felly ni ddeuant byth i'r mwynhad o hono. Ac os bydd i berson neu Gymdeithas ymgynnyg at ddedwyddu a llesâu dynolryw, y maent i'w canmol a'u cynnorthwyo yn eu hymgeisiddau dyngarol. Ystyriwyf fod y Gymdeithas Ddirwestol â thuedd uniongyrchol yndli i wellâu ein gwlad, trwy ei phuro o'r budreddi sydd wedi bod er ys cynnifer o flynyddau bellach yn warth i ni fel cenedl, ac wedi ein gwneud yn watwargerdd trwy holl deyrnasoedd Ewrop. Dan deimlad o'm mawr rwymau i'r Gymdeithas Ddirwestol, tueddwyd fi i roddi bras-linelliad o'm bywyd, fel y byddo pawb a'i darlleno yn gorfod cyfaddef fod y Gymdeithas hon wedi bod o les, er dwyn yr afradlon yn ol i'w gartref, a'r ffol i'w iawn bwyll.

Ganwyd fi o rieni cyfrifol, y rhai oeddynt yn aelodau eglwysig gyda chorph o Ymneillduwyr yn yr ardal, a pherchid hwy yn fawr fel crefyddwyr ac fel cymmydogion. Dygwyd fi a'm tri brawd i fynu yn y modd mwyaf dychlynaidd, arferem fyned gyda'n rhieni i'r addoliad mor fuan ag yr oeddwn yn allnog i gerdded yno. Gofalwyd hefyd nad oedd y meddwl yn cael ei adael yn ddiwrtaith, ond anfonwyd fi i ysgol ragorol yn y plwyf nesaf, lle y buais nes cyrhaedd cymmaint o ddysg ag oedd yn angenrheidiol i'm sefyllfa yn y byd. Gan mai fi oedd y ieuengaf o'r plant, cefais fwy o'm ffordd fy hun na'r lleill, ac yn neillduol gan fy mam; ac yn awr yr wyf yn cofio yn dda fel yr achubai fy nghefn rhag llawer ffonod pan yn haeddiannol ddigon. Nid oedd dim yn fwy atgas gan fy nhad na gwas meddw, ond etto arferai yfed llymaid bach yn dra mynych ei hunan, pan oedd y plant yn bresennol; a chofiaf yn dda fel y dringwn ar ei arffed er cael diferyn o gwrw, a rhwng fy nhaerni i a chymhelliad fy mam, cawswn gwpanaid bychan yn dra mynych, er mwyn i fy nhad gael tipyn o lonydd i ysmocio.

Pan yn dair-ar-ddeg oed, danfonwyd fi i dref gyfagos, i ddysgu celfyddyd dra chywrain ac enillfawr; a mawr oedd bost fy nhad am danaf wrth fy meistr newydd, yn enwedig am fy sobrwydd; heb feddwl, druan, fod y cwpanaid bach a arferasai ef roddi i mi wedi creu archwaeth ynof am ddiod, a bod hadau meddwdod wedi dwfn wreiddio. Deuai fy mam weithiau i'm gweled, a rhoddai ychydig sylltau imi, fel na byddai i mi ymddwyn yn *shabby* yn un man lle yr elwn. Yr oedd amryw wyr ieuaingc yn ngwasanaeth fy meistr, y rhai oeddynt oll yn dwyn y cymmeriad o fod yn gymhedrol, ond yn anhaeddiannol yn dra mynych; ac yn eu plith yr oedd dyn ieuangc oddeutu tair blwydd yn hŷn na mi, at yr hwn teimlwn fawr serch, ac er ei fod yn hynod *steady*, elai yn aml i dŷ tafarn, ac elwn innau gyd ag ef weithiau, ond nid yfwn ar y cyntaf ond hanner peint; ond yn fuan aeth yn beint, ac er mwyn peidio bod yn *shabby* (fel y dywedasai fy mam wrthyf) gwnawn fel y gwnai eraill, i'r hyn yn fwyaf neillduol y gallaf briodoli fy ninystr!!

Aeth y gwr ieuangc hwn ymaith wedi treulio ei amser, ond nid aeth cyn fy ngweled i yn gystal yfwr ag yntau, ac arferwn lanw ei ystol yn y tŷ tafarn, ac yn fuan iawn daethym yn gryn ffafryn yn y gymdeithas yno: os buasai eisiau cân, cawn ei dechreu, a chyda'r cardiau hoffai pob un fy ngael yn *bartner* iddo; ac yn fuan daethum yn gyfarwydd â throi yr amser y dylwn gysgu yn adeg i feddwi, ac felly anaddaswn fy hun i'm gwaith.

Gwedi treulio fy amser allan, daethum yn adnabyddus â merch ieuanc a llwyddais i ddenu ei serch; ymdrechodd ei rhieni tynergalon ei rwystro i daflu ei hun dros glogwyn dinystr trwy ymbriodi â meddwyn; ond ni thyciai dim, diystyrai eu cynghorion, ac yn fuan priodwyd ni. Ymddygais yn weddol sobr am ychydig amser wedi priodi; ond ar ryw brydnhawn cyfarfyddais ag un o'r hen gyfeillion, a rhaid oedd imi yfed peint gydag ef; minnau rhag bod yn *shabby* a elwais am bawb ei beint wedi hyny, ac felly aeth o beint i beint, nes oeddem yn

feddw iawn. Gyrwyd ni tua thref pan yn methu yfed ychwaneg, rhag difwyno y llawr, a mawr y drafferth a gefais gyrhaedd fy annedd; tybiaswn fod y ddaear yn troi yn sidell o gwmpas, a minnau yn reelo fel ceffyl yn y bendro; ond beth bynag, cyrhaeddais fy nhŷ yn ddigon annyben.

Boreu dranoeth teimlwn fy mhen yn mron hollti, ac aethum i'r tŷ tafarn lle y buaswn yn yfed y nos o'r blaen i wella'r pen (fel ei gelwir); ac yno cwrddais â dau hen gyfaill eilwaith, ac aethum tua thref y noson hono yn fwy meddw na'r un o'r blaen; ac yn y dull hwn y treuliais wythnos gyfan. Gwyddwn yn eithaf da fod fy eisiau i orphen rhyw bethau yn y gweithdy, ac aethum yno yr wythnos ganlynol; ond mawr oedd fy syndod i weled un yn fy lle; aethum at fy Meistr, yr hwn a ddywedodd nad oedd gwiw iddo gadw gweithiwr os na ofalai am ei waith, ac nad oedd fy eisiau mwyach.

Cefais waith am ychydig mewn lle arall yn y dref, ond yr oedd y blys am ddiod wedi cymmeryd meddiant mor gryf o honof, fel yr esgeuluswn bob peth ond y cwpan. Unwaith cefais benadur gan fy Meistr, a gwariais ef bob dimai mewn diwrnod a noswaith, a gorfu arnaf fegian llymaid o gawl gan wraig y tŷ, yr hon a'i rhoddes i mi, ond yr oedd fy ngartref wedi ei anghofio. Collais fy ngwaith drachefn, ond yr oedd yn rhaid caol diod, ac aethum a'r dodrefn o'r tŷ bob yn ronyn i dalu am dano!!

Treuliwn fy niwrnodau i wibio ar hyd yr heolydd, er edrych a gawn i gwrdd â rhyw hen gyd feddwyn, i gael llymaid o gwrw ganddo, ond yr oeddynt oll fynychaf, fel fy hun a'r llogell yn wag, a'r *score* yn y dafarn yn o lawn. Ond ar un diwrnod, pan yn gwibio fel yma, cyfarfyddais â pherthynas i'm gwraig, a buais mor wael â begian hanner coron ganddo, ac efe a'i rhoddes imi; ond yn lle myned artref i ddiwallu y mawr angenion yno, rhedais i'r dafarn, a gwariais y cwbl mewn ychydig oriau.

Pan yn yfed y peint olaf, ac heb arian i gael chwaneg, pwy a ddeuai i mewn ond sawdiwr, yn ymofyn *recruits*, a chynnygiodd ddiod imi; minnau a'i hyfais; a chyn ymadael o'r tŷ, gwerthais fy rhyddid am folaid o ddiod. Yr oeddwn yn sawdiwr!!! Gosododd *cockade* yn fy het, ac aethum allan, ac, yn mron heb wybod imi cyrhaeddais ddrws fy ngartref; ac er bod rhai blynyddau wedi treulio i ffwrdd, a minau yn feddw iawn y pryd hyny, nid â golygfeydd y dydd hwnw o'm cof tra byddwyf byw. Pan aethum i mewn i'r tŷ, gwelodd fy ngwraig anwyl yr ysnodenau yn chwifio yn fy het, a syrthiodd i'r llawr fel pe tarawsid hi a tharanfollt; meddylid yn hir na byddai ei natur alluog i oddef y fath ergyd; ond yn mhen tro dadfywiodd ychydig, a syllodd arnaf, ond methodd lefaru gair; daeth ffrwd o ddagrau i'w chymorth, yr hyn a esmwythaodd beth arni. Gofynodd amryw gwestiynau i mi, ond yr oeddwn yn rhy feddw i'w hatteb. Yr oedd fy nhafod yn rhy floesg i wneud ei wasanaeth.

Pan ddihunais boreu dranoeth, afraid, braidd, yw dywedyd, fy mod yn teimlo syched angeuol, a throais i gyrhaedd cwpanaid o ddwfr a osodes fy ngwraig wrth ymyl fy ngwely, a'r peth cyntaf a welais oedd fy het a'r ysnodenau yn nglyn wrthi, dygodd hyn fi i adfyfyrio ar weithredoedd y dydd o'r blaen, a chyfodais yn hanner gwallgof; ac yn wir, y mae yn syn genyf hyd y dydd heddyw na ddarfu i mi osod terfyn ar fy mywyd y boreu hwnw. Aeth fy ngwraig allan, ond ni ddywedodd wrthyf i ba le oedd yn myned, a dychwelodd yn mhen ychydig, ac a dynodd yr ysnodenau oddiam fy het, ac a'u taflodd i'r tân, gan ddywedyd fod ei pherthynasau gwedi fy mhrynu yn rhydd! Penderfynais na aroswn chwaneg yn nhref, ond aethum i ffwrdd i ymofyn gwaith, gan adael fy ngwraig i ofal ei thylwyth. Bum yn trafaelu am gryn amser, ac yn dioddef caledi mawr, ond cefais waith o'r diwedd mewn tref ar gyffiniau gwlad y Sais; a danfonais am fy ngwraig, yr hon oedd erbyn hyn yn fam i fachgen tlws, a buom yn dra chysurus am rai misoedd.

Tybiais nad gwiw oedd llwyr ymwrthod a'r elynes a barasai fy holl ofid, ond y buasai yn burion i yfed yn gymhedrol; ond trwy hyn arweiniwyd fi yn ol i'm hen lwybrau, a suddais mor ddwfn ag erioed i erchyll bydew meddwdod. Ymbiliai fy ngwraig arnaf, a'i llygaid yn llawn dagrau, i adael heibio fy arferiadau llygredig; ond nid oedd dim yn tycio; tra y gallaswn enill ychydig sylltau yr wythnos, yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn cael eu gwario am ddiod; a'r tafarnwr oedd yn cael y cwbl ar gost fy nheulu annedwydd. Dywedais o'r blaen fy mod wedi cael fy addysgu yn egwyddorion crefydd, a'm dwyn i fynu mor ddychlynaidd â nemawr, ond cymmaint oedd effaith siamplau drwg wedi gael ar fy meddwl, fel yr oeddwn y pryd hwn yn debycach i bagan na dim arall. Os byddai genyf arian, treuliwn y Sabbath yn y dafarn; ac os na byddai, elwn yn llawn carpiau i dori y Sabbath mewn rhyw ddull neu gilydd.

Unwaith, aethum i dafarn ar foreu Sabbath, ac arosais yno yn yfed nes oedd agos pryd ciniaw; yr oedd yno bob danteithion toreithiog; gŵydd fawr a fygai yn brysur o flaen y tân, ac aroglai yn hyfryd yn fy ffroenau; ond afraid hysbysu na chynygiwyd rhan imi; a'r ferch yn cwyno ac yn ymgeintach am ei bod wedi sarnu y *brandy sauce* ar ei gŵn sidan; a'r fam yn eistedd yn y cornel yn gorchymyn i'r forwyn i godi y boten o'r crochan.

Cefais *hint* gan wr y tŷ, ei bod yn bryd ciniaw, a ffwrdd â mi, heb wybod a oedd fy nheulu gartref a dim ganddynt neu peidio.

Wedi cyrhaedd fy annedd, gofynais am giniaw, ac estynodd fy ngwraig ysgadenyn imi, a sylwais ar ddeigrau gloyw yn treiglo arno o'i llygaid, yr hon a oddefasai gymmaint o ofid o'm plegid. Effeithiodd hyn yn dra dwys ar fy meddwl; ystyriais fy mod wedi gwario y boreu hwnw gymmaint ag a brynasai giniaw cysurus, a dim ond ysgadenyn genyf, a hwnw wedi ei halltu â dagrau gwraig dirion.

Meddyliais ganwaith mai yr unig gysur a feddai fy ngwraig oedd gwenau ein bachgen bychan; a'r oriau a dreuliwn i yn y dafarn a fyddent feithach fyth iddi hi, oni buasai ei phlentyn difyrgar. Ond gwelodd Rhagluniaeth ddoeth yn dda i gymmeryd hwn ymaith oddiwrthym, a'i symud i fyd arall, wedi byr gystudd. Galarai ei fam yn dra dwys ar ei ol, ac wylai yn ddidor. Syllai ar ei wynepryd angylaidd, pan yn gorwedd yn ei arch bychan, a throai o'r neilldu ei wallt modrwyawg oddiar ei arleisiau, i gusanu ei dalcen oer, â'i wlychu â dagrau mam.

Nid oedd cyfansoddiad naturiol fy ngwraig ond gwanaidd iawn, a'r ergyd hwn a effeithiodd mor drwm arni, fel y suddodd yn raddol dan law y darfodedigaeth, gan wanychu yn feunyddiol, ac mewn ychydig fisoedd cynnwysai yr un bedd y fam anwylaf a'r plentyn hawddgaraf. Yn awr yr oeddwn yn unig, mewn lle dyeithr—heb gâr na chyfaill i'm cynnorthwyo na'm cysuro—yn adyn gofidus! Ond yn lle troi at Ffynnonell gwir gysur yn nyddiau trallod, aethum i foddi gofid (fel y dywed y meddwon) mewn diod; ond trwy brofiad chwerw cefais mai ffordd gywir i'w gynyddu ydoedd. Er fod cynghorion gwraig gariadus, a perthynasau tyner galon yn awr fel gwrthgloddiau o'm blaen, er hyny aethum yn mlaen ar hyd llwybr a'm harweiniodd yn fuan i dorri cerrig yn min y ffordd!

Anfonais at fy merthynasau i ddywedyd fy helynt, ond yr oeddent hwy yn fy marnu, a hyny yn eithaf cyfiawn, yn annheilwng o'u tosturi. Bûm yn y cyflwr gresynus yma am gryn amser yn hanner noeth, a mynychaf a hanner digon o fwyd; ond wedi y cyfan ymdrechwn gael ychydig o ddiod, er yn ddrwg fy sefyllfa. Ond o'r diwedd penderfynais droi fy wyneb tuag adref, gan feddwl, na fuasai i'm rhieni lai na thosturio wrthyf, pe gwelent fy nghyflwr gordlawd. Deuais yn agos i'r Pentref, gerllaw pa un y safai tyddyn fy Nhad, yn gynuar y prydnhawn, ond ymguddiais o'r tu cefn i ddâs o wair, gan gywilyddio cael fy ngweled gan neb o drigolion y pentref. Arosais i'r haul fyned i lawr, a'r tywyllwch i amledu ar wyneb y ddaear. Pan ddechreuodd nosi, daethum allan o'm lloches, gan gyfeirio fy llwybr at dŷ fy nhad! Ond O! pwy a all ddychymygu y teimladau a rwygent fy mynwes pan droediwn yr hen lwybrau?

Pan welais hwynt o'r blaen, yr oedd fy mron yn dawel a diofid, ond yn awr yr oeddwn yn y gwarth, y dirmyg, a'r caledi mwyaf, ac mewn angen am fwyd hefyd. Pan ddynesais at y tŷ, sylwais fod canwyll yn agos iawn at y ffenestr, a chlywais lais un yn gweddio oddifewn; aethum yn ddystaw yn mlaen a gwelwn arch yn gorwedd yno. Fy nheimladau y pryd hwn nid gwiw cynnyg eu darlunio,—nis gwyddwn pa le y safwn! Pwy allsai fod wedi marw? Ai fy nhad! y meddwl a'm llethai. Ai fy mam! fy ngalon a doddai o'm mewn. Ond clustfeiniais ychydig, ac adnabum lais hen gyfaill i mi gynt, yr hwn yn awr sy yn swyddwr yn * * yn gweddio dros blant y marw, ac yn daer neillduol ar ran yr un afradlon oedd yn mhell o dref. Aethum i mewn wedi iddo orphen ei weddi, a chefais fy nhad yn gorwedd yn yr arch, ac wedi holi am fy mam,—ei bod yn y fynwent yn gorwedd er ys misoedd! A pheth oedd waeth na'r cyfan, mai gofid o'm herwydd, fu mewn rhan, yn achos o farwolaeth y ddau!

Nid oedd ond un brawd i mi, yn weddw, yr hwn oedd yn byw ar dyddyn fy nhad, a bu ef mor frawdol â thosturio wrthyf, a'm cymmeryd atto i'w gynnorthwyo gyda'i fferm. Yn mhen oddeutu mis wedi claddu fy nhad, clywais fod y Teetotals yn myned i areithio yn y pentref a nodais, a phenderfynais fyned i'w gwrando; llefarai un o honynt mor berthynasol i mi, ac mor argyhoeddiadol, fel yr aethum yn mlaen wedi gorphen y cyfarfod ac ardystiais, gyda llawer o'm hen gyfeillion: a llwydd i'r Cymdeithasau i atteb dyben eu sefydliad trwy bob parth o Gymru. EDIFEIRIOL.

---

## Y MEDDYG DIRWESTAWL.

### LLYTHYR III.

*Am effeithiau Gwirf ar yr Iau.*

Haeddbarch Syr,—Y mae cryn amser wedi myned heibio er pan yr addewais eich anrhegu â'r llythyr hwn, ac yr wyf yn cwbl hyderu na bydd i'ch digter luddias i hwn etto gael yr un croesawiaeth â'r Llythyrau blaenorol: ond pa fodd bynag cyflwynwyf ef i'w dynged.

Fe sonir yn fynych, ac yn gywrain, am y Gwirf sydd yn llechu yn y diodydd meddwawl, ac fel y sarff a'i swyn yn cyfrwys dwyllo, ac yn marwolaethu, llawer mil o ddynolryw. a fynant ymbleseru o dan effeithiau syfrdanawl ei gwenwyn ofnadwy. Er cymaint y mae aelodau corph y dyn yn ei waeddi arno am beidio yfed y diodydd meddwawl, y mae ei ddallineb yn gyfryw fel y meiddia waeddi eu bod yn LLESAU yn ngwyneb y cyfan i gyd. Y gliniau gweiniaid —y dwylaw crynedig—y llygaid cochion —y pen poethlyd—ydynt oll yn gwaeddi ar y dyn, 'Na wna i ni ddim niwed,' ond merchyg ei chwant ef yn ei ynfydrwydd, a dyweda, os yw y gliniau yn weiniaid, y

mae y galen yn gref—os yw y dwylaw yn crynu mae yr iau yn iach—os yw y llygaid yn gochion mae yr ysprydoedd yn uchel—os yw y pen yn boeth y mae yr ymenydd fel y cwyr yn derbyn pob argraff a delw, a galluoedd fy meddwl yn flaenllym, i dreiddio i gywreinrwydd cyfansoddiad a dysg.

Ond, yn awr, os cywir rai o'r haeriadau uchod ni byddant gwaeth er eu chwilio, ac os nad cywir, gellir penderfynu fod pob rhan yn y cyfansoddiad dynol yn un yn eu cri 'Na wna i ni ddim niwed.'

'Os yw y dwylaw yn crynu y mae yr Iau yn iach,' yw yr haeriad a sylwir arno yn y Llythyr hwn, a rhag i neb feddwl fy mod yn ymyraeth â phethau ym mhell uwchlaw fy ngwybodaeth fy hun, ni chwanegaf ddim at y Sylwadau hyn o'r *Temperance Intelligencer* ar y pwngc yn unig.

'Ymhlith yr holl anhwylderau y mae y cyfansoddiad dynol yn ddarostyngedig iddynt trwy arferiad o'r diodydd meddwawl nid oes yr un mor beryglus a phoenus ag afiechyd yr Iau, ac nid oes yr un mor gyffredin. Gall hyn fod mewn rhan o herwydd fod yr Iau yn un o'r offerynau gweithgar yn y gwaith o dreulio yr ymborth, trwy ei bod yn cadw y geri (*bile*) i'r dyben hyny, ac mewn rhan hefyd, o herwydd natur a chynwysiad y symbylydd alcoholaidd.

'Cyn myned ym mlaen, efallai mai priodol fyddai sylwi, mai sylwedd mawr yw yr iau, yn gorwedd dan asenau byrion yr ochr dde, yn union islaw y llieingig, ac yn nglyn wrth rwymynau cryfion, y rhai a gynaliant ei phwysau, ac a'i cadwant yn ei lle.

'Y mae yr Iau yn wasanaethgar i grynhoi llifnodd anhebgorol gymmwys tu ag at geulad ymborth, a gweithrediad addas y coluddion fel offerynau ymgarthiad, ac hefyd i wahanu oddiwrth y gwaed bob sylwedd annefnyddiol a niweidiol, yr hwn a fydd yn angenrhaid ei daflu allan o'r corph.

'Y mae effeithiau y Gwirf ar yr iau yn hynod ac yn beryglus, a phe gellid cael ond darluniad cywir o iau, nid y *meddwyn* ond dyn *cymmedrol*, llenwid ni â dychryn ac â braw. Ceir fod rhai rhanau o honi yn cael ei wynu, a'i galedu ganddo, fel ag i'w gwneuthur yn hollol annefnyddiol; effeithiola hefyd i sychu y geri (*bile*) ynddi, a chasgla fân ronynau poenus ac afiachus trosti oll. Mewn gair nid oes man iach i'w weled arni.

'Os, bydd i'r iau gan hyny gael ei niweidio, yr hon sy mor ddefnyddiol tu ag fwynderau bywyd ac iechyd, yr holl gorph a deimla y dordyniad, a holl aelodau ereill y corph a niweidir; a lluoedd o anhwylderau dychrynllyd a ddilynant, megys y Cornwyd, Clwyf melyn, Dyfrglwyf, Tewdwr annaturiol, a llawer o rai dinystriol ereill, y rhai yn fynych a ymgymysgant â'r Droedwst, Dych-lamiad gorbrysur y galon, Parlys, Prudd-glwyf, Llewygon, Gwallgofrwydd, a Henaint anamserol, &c. &c.

'Nid oes un rhan o'r corph dynol nad ydyw yn dwyn rhyw gyssylltiad â'r Iau, ac âm hyny un o'r pethau mwyaf pwysig yw ei chadw yn iach os bydd modd.

'Hwyrach eich bod yn barod i ofyn bellach beth yw arwyddion Iau afiach fel yna? Yr atteb yw hyn, Poen yn yr ochr ddeau dan yr asenau byrion, gwendid calon, a chur yn y pen, coluddion annhymherus, a nychdod cyffredinol. Nid yw y rhai hyn ond ychydig o'r arwyddion cyffredinol. Ac yn awr, yr yfwr cymmedrol. A oes rhai o'r arwyddion hyn yn dy boeni di? os oes, y mae yn hen bryd i ti roi heibio yr arferiad â'r diodydd gwirfawl, o dan ba enw bynag y bont, ac ymarweddu yn hollol gydfynedol âg egwyddorion y Gymdeithas Ddirwestol. Cofia 'Cymedroldeb a feddyginiaetha fwy na'r Meddyg ei hun.'

'Os na flinir di gan un o honynt nid ydyw hyny yn ddigon o ernes na chei di dy flino ryw dro. Dywedai y *Dr. Gordon*, yn ei Dystiolaeth o flaen y Ddirprwyaeth Seneddol ar Feddwdod, fel y canlyn:

'Pan oeddwn yn fyfyriwr, yn Edinburgh, cefais gyfle i agor llawer o gyrph dynion a fuont feirw o amryfal glefydau, a hyny yn nghanol cenedl lawer mwy enwog am ei sobrwydd a'i chymedroldeb nag ydyw Llundain; a'r gwirionedd ydyw hyn, *ym mhob un o'r cyrph hyny yr oedd* (*i raddau mwy neu lai*) *ryw anhwylder ar yr iau*; ac yr wyf yn cyfrif hyny i'r arferiad ag oedd gan y bobl grefyddol a moesol hyn o *yfed ryw ychydig o wirod bob dydd.* Nid oeddynt mewn un modd yn anghymedrol, a buasent yn brawychu wrth feddwl am hyny.' Yn awr gan y dichon i ddyn ddyfod yn ddarostyngedig i'r graddau hyn o afiechyd yn yr arferiad cymedrol, onid y ffordd ddiogelaf a doethaf yw ymwrthod a hwy yn hollol.'

Wrth derfynu, dywedwn nad oes yr un gelyn mor nerthol yn ninystr yr Iau ag alcohol—yr un mor sicr yn ei orchwyl—ac mor angeuol ei ganlyniadau—a theilwng yw i bawb gan hyny ymroddi yn wastadol i gyflawni yr arwiredd hyny, 'Na wna i ti ddim niwed.'

Yn iach, Mr. Trysorydd, am ryw yspaid pa bynag, a mawr lwydd i chwi ac i Ddirwest, medd eich annheilwng ohebydd,

*Bala*, 1838. J. PHILLIPS.

---

CYMDEITHAS DDIRWESTOL GYMREIG LLUNDAIN.

Anwyl Syr,—Caniatewch i ni ddywedyd gair trwy gyfrwng eich Cyhoeddiad tra buddiol wrth ein Cydwladwyr yn y Dywysogaeth am yr achos Dirwestol yn mhlith y Cymry yma.

Sefydlwyd y Gymdeithas hon ar y 1af o Fai, 1837, mewn cyfarfod a gynhaliwyd yn Nghapel Jewin Crescent, pan yr arwyddwyd yr Ardystiad gan chwech o bersonau. Erbyn heddyw mae nifer yr aelodau yn

286, am yr hyn yr ydym yn dymuno cydnabod daioni Duw.

Cynhaliwyd cyfarfod blyneddol cyntaf y Gymdeithas yn y Capel uchod ar y 24in o Fai diweddaf. Trefn y cyfarfod ydoedd fel hyn:—Am 4 o'r gloch, cyfranogodd y'nghylch 150 o'n cyfeillion o Dê a ddarparwyd iddynt yn *Vestry* y Capel. Am hanner wedi chwech cymmerwyd y gadair gan William Bulkely Hughes, Ysw. Aelod o'r Senedd, Llywydd y Gymdeithas, yr hwn a annerchodd y cyfarfod yn selog mewn modd tra chymhwys i'r achlysur; ac ar ei ol ef areithiodd John Hull, Ysw.; y Parch. John Davies, Caerfyrddin; Mr. Rickman, Reading; y Parch. John Jones, Llanllyfni; y Parch. James Sherman, Surry Chapel; H. V. Garman, Ysw. Meddyg Bow, a Dr. Oxley.

Yr oedd y Cyfarfod yn lluosog, a'r areithiau yn hyawdl; ac yn y diwedd arwyddodd 17 yr ardystiad. Yn mhlith yr aelodau y mae yn llawenydd mawr genym allu rhifo dau Weinidog, y Parch. D. Davies, Annibynwr, a'r Parch. W. Williams, Trefn. Calvinaidd.—Ydym yr eiddoch, &c.

JOHN PUGH,<br>HUGH OWEN, } *Ysgrifenwyr.*

---

## TRYDEDD GYMANFA DDIRWESTAWL GWYNEDD,

*A gynnaliwyd yn y Bala, Mai* 22, 23, 1838.

Ar ddydd Mawrth a dydd Mercher yr 22ain ar 23ain o Fai diweddaf, cynaliwyd Trydedd Cymanfa Ddirwestawl Gwynedd yn y dref uchod. Lle yr ymgasglodd llawer o Weinidogion, o amrywiol enwadau crefyddol, yn nghyd â lluaws o Ddirprwywyr o wahanol barthau o Wynedd, i drefnu materion a gorchwylion y Gymdeithas ddaionus yma.

Am 10 a 2 o'r gloch ddydd Mawrth cynnaliwyd y Cyfarfodydd Dirprwyawl, pryd y dewiswyd y Parch. J. Hughes, Wrexham, i fod yn Gadeirydd.

Dygwyd holl weithrediadau y Cyfarfodydd hyn ymlaen yn yr yspryd tangnefeddus hwnw o gariad a chydgordiad ag sydd yn toi cyfarfodydd y Gymdeithas hon er dyddiau ei sylfaeniad. Yr oedd y sirioldeb a'r ymroddiad a ymddangosai yn y Dirwestwyr aiddgar ag oedd yn bresennol yn rhyw flaenbrawf bychan na byddai Gwynedd yn wag o Gymanfa Ddirwestawl hyd oni lyngcid hi i fynu gan Gymmanfaoedd perffeithiach y Mil Blynyddoedd. Ac yr oedd y newyddion cysurus a dderbynid yn ddigon o brofion nad yw "ein llafur ni yn ofer yn yr Arglwydd."

Darllenwyd rhai Llythyrau annerchiadol hefyd yn y Cyfarfodydd hyn—un o'r Dinas, yn Swydd Benfro, yn rhoddi hysbysiaeth o ledaeniad a chynnydd yr achos da yn y cwr hyny o'r wlad.

Ar Nos Fawrth, pregethwyd Dwy Bregeth ar yr achlysur yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd. Wedi i'r Parch. D. Griffiths, Bethesda, ddarllen a gweddïo, pregethodd y Parch. H. Pugh, Mostyn, oddiar Galat. 6. 9, 10, a'r Parch. J. Hughes, Wrexham, oddiar Heb. 12. 4. Yr oedd arwyddion amlwg fod y dorf yn cael hyfrydwch wrth wrando, a gobeithiwn hefyd iddynt gael budd a bendith nid yn unig i'w cadarnhau yn yr achos Dirwestawl, ond hefyd i ymroddi yn fwy llwyr i fod yn filwyr da i Iesu Grist i ymladd yn erbyn pob pechod a bai.

Boreu ddydd Mercher, am 6 o'r gloch, ymgynnullodd amryw o'r brodyr Dirwestawl ynghyd i gapel yr Annibynwyr i weddïo am i'r Arglwydd fendithio llafur y dydd hwnw, a phob ymdrechiad gyda'r achos daionus hwn, ac i ddiolch iddo hefyd am yr arwyddion a roddes eisoes o'i foddlonrwydd iddynt.

Am 10 o'r gloch cynnaliwyd Cyfarfod i Areithio ar y *Green*. Ac wedi dewis y Parch. R. Jones, Bala, i fod yn Gadeirydd, galwyd ar y Parch. D. Morgans, Samah i ddechreu y Cyfarfod, ac yna ar y Parchedigion canlynol i areithio: J. Williams, Dinas Mawddwy; J. Williams, Llanfachreth; R. P. Griffith, Llanberis; J. Owen, Conwy, a H. Pugh, Mostyn.

Am un o'r gloch ymgasglodd holl aelodau ar y *Green*, fel y ffurfient un Orymdaith drefnus i gerdded trwy y dref. Wedi gosod y Gweinidogion a'r Dirprwywyr yn mlaenaf, gwelid baner y Bala yn cael ei dyrchafu i'r awyr, ac o'i hol y trefnid Cantorion a Dirwestwyr y dref yn rheolaidd. Ac ar ol hyny yr oedd banerau gwahanol ganghenau y Dosparth a'u Cantorion a'u Dirwestwyr yn rheolaidd a threfnus.

Wedi cerdded fel hyn trwy brif heol y dref a chanu Pennillion cymmwys i'r perwyl, dychwelasant yn ol i'r *Green*, lle y cynaliwyd Cyfarfod Cyhoeddus drachefn. Yn y Cyfarfod hwn dewiswyd G. Evans, Ysw. Maes y Pandy, i'w lywyddu; ac wedi i'r Parch. — Davies, Ffestiniog, ddarllen a gweddio anerchwyd y dyrfa gan y Parch. E. Hughes, Treffynon; Mr. J. Matthews, Ien. Aberystwyth, a'r Parch. R. Humphreys, Dyffryn.

Am 6 o'r gloch, cynnaliwyd y cyfarfod cyhoeddus nesaf yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd. Dewiswyd Mr. Matthews, Hyn. Aberystwyth, i'r Gadair, a galwyd ar y Parch. F. Wynne, Llansanan i ddechreu y cyfarfod. Areithiodd y Parch. D. Griffith, Bethesda. Mr. J. Jones, Llangollen, y Parch. J. Hughes, Wrexham, a'r Parch. D. Price, Penybont fawr.

Cyfiawnder yw dywedyd hyn wrth ddiweddu, fod yr holl areithau yn ganmoladwy —yr anogaethau yn daerion—y rhesymau yn gedyrn—yr yspryd yn llariaidd ac yn addfwyn, fel y cadwyd yn llythyrenol at

yr unfed Penderfyniad ar ddeg, sef "gochelyd cyfeiriadau personol, a bod heb gablu neb."—a gellir dywedyd hefyd fod eu heffeithiau yn amlwg i ryw raddau, pa bynag, o herwydd fod y Bala a'i hardaloedd yn mwynhau o ffrwyth eu llafur yn barhaus.

Nifer aelodau y Gymdeithas Ddirwestol, fel eu hanfonwyd o wahanol barthau Gwynedd i Gymmanfa y Bala,—52,563.

J. PHILLIPS,
*Ysgrifenydd y Gymmanfa.*

## CYNNYGIAD RHAGOROL

### AM DREFN NEWYDD I WNEUTHUR LLESAD I'R CYMRY.

Mae y gwr duwiol, Mr. Nasmith, ganedigol o Scotland, wedi gweled yn America drefniadau rhagorol i wneuthur daioni yn myned ymlaen yn llwyddiannus iawn. Wedi ei ddyfod i Scotland, ei wlad ei hun, efe a feddyliodd y gallai yr hyn a fu yn llesol yn America fod yn fuddiol yn Scotland. Efe a ymdrechodd i osod y drefn ar droed, ac efe a lwyddodd yn Edinburgh, Glasgow, a llawer iawn o'r trefydd drwy y wlad.

Wedi hyny, efe a fu yn offerynol i wneud yr un peth yn Llundain, Manchester, ac amryw fanau ereill. Ac yn awr y mae efe yn llafurio yn y cyffelyb fodd yn Nghaerlleon. Ei ddull yn gweithredu ydyw, ffurfio Cymdeithasau o'r holl bobl dduwiol a mwyaf ysbrydol a gweithgar a gaffo efe o hyd iddynt ymhob man, yn amrywiol ddosparthiadau, i gydymegnïo i wneuthur daioni ymhob modd y gallont ddyfeisio a gweithredu. Un Gymdeithas a elwir 'Cymdeithas Genhadol ddinasol.' Un arall, 'Cymdeithas pobl ieuainc.' Arall, 'Cymdeithas y Benywaid;' ac o hon y tardd amrywiol Ganghenau, megis 'Cymdeithas Mamau plant,' 'Cymdeithas Merchaid ieuainc,' a 'Chymdeithas Morwynion,' neu 'Gymdeithas Gwragedd o bennau teuluoedd i addysgu Morwynion, ac i ofalu am leoedd iddynt, ac i edrych ar ol y rhai fyddont allan o le, rhag cael eu harwain i ffyrdd diffaith a llygredig, &c. &c. &c.

Un arall yw 'Cymdeithas Traethodau Crefyddol Misol' A chan fod 'Cymdeithas Traethodau Crefyddol' mewn gweithrediad helaeth a llwyddiannus ers blynyddau yn Nghaerlleon, y mae efe wedi llunio cymdeithas am agoryd ffordd i gael Traethodau crefyddol Cymraeg yn y ddinas hon i'w taenu ar led drwy yr holl Dywysogaeth. A bod i chwech o Weinidogion yr Efengyl farnu y Traethodau cyn eu hanfon allan, eu bod yn rhai efengylaidd, yn cynnwys athrawiaeth iachus, ac yn rhai mwyaf tebyg o fod yn fuddiol yn Nghymru.

Yma y canlyn cyfarchiad caredig y Gymdeithas hon at drigolion Cymru, er dangos ei dyben, a galw sulw pob cristion ar ei hamcan daionus, gan daer ddeisyfu eu cydweithrediad yn y gwaith.

### Cymdeithas Traethodau Crefyddol Misol i Gymru.

*Beirniaid y Traethodau*

Y Parch. C. B. Tayler, Caerlleon,
——— Evan Evans, Christleton,
——— J. Elias, Sir Fon,
——— J. Parry Caerlleon.
——— J. Williams, Caerlleon,
——— S. Luke, Caerlleon.

*Trysorydd.*

G. B. Granville, Ysw.

*Ysgrifenwyr.*

Mr. T. Davies, a Mr. J. Parry, Ieu.

*Cyfeisteddwyr.*

| | |
|---|---|
| G. Roberts, Ysw. | Mr. E. Gerrard, |
| Mr. W. Roberts, | Mr. Peters, |
| Mr. Wilcock, | Mr. Jos. Williams. |

### AT GRISTIONOGION YN GYFFREDINOL.

Mae yn rhaid fod y rhan grefyddol o'r wladwriaeth yn ystyried mai un o'r golygiadau mwyaf hyfryd yr oes bresennol ydyw, fod llawer yn cynniwair ar draws ac ar hyd ein gwlad aml ei breintiau, i daenu gwybodaeth grefyddol i'r trigolion.

Nid yw Cristionogion ein hoes ni yn ymfoddloni ar eu llafur personol ac unigol yn achos eu Dwyfol Athraw, ond maent yn ymuno ynghyd mewn un dyben daionus i ymarfer â moddion gyda mwy o gydymegnïad cyffredinol.

Oddiar hyn y tardda yr amrywiol Gymdeithasau, y rhai ydynt yn tueddu at ogoniant Duw, a daioni parhaol a gwirioneddol dyn, y rhai a gymmerant wahanol ffyrdd, ac a arferant amrywiol ddull, i wrthwynebu cyfeiliornad, i sefydlu y gwirionedd, ac felly i wneud rhuthr ar alluoedd y tywyllwch, y rhai ydynt mor hynod o dyccianol yn y dyddiau hyn.

Wrth edrych ar y sefydliadau sydd yn awr ar waith, Cymdeithas y Biblau sydd yn cadw y blaenoriaeth, gan ei bod yn taenu ar led pur air Duw, datguddiad o drefn ein hiechydwriaeth; er hyny nis gallwn beidio sylwi ar y sefydliadau perthynasol hyny, y rhai gan gymmeryd yr Ysgrythyrau sanctaidd yn rheol, a geisiant grynhoi eu hegwyddorion i gylch bychan a deniadol, a thrwy hyny eu cymhwyso er ëangach a helaethach cyfraniad o honynt.

Yn y modd hwn mae y Traethawd yn fynych yn dyfod i agoryd y ffordd i'r *Bibl*: mae bychandra ei bris, a'r dull o'i drosglwyddo a'i daenu ar led, yn annogaethol i bawb ei gymmeradwyo. Mae gan lawer iawn achos i fendithio Duw am iddynt erioed gael y fraint o ddarllen y genadwri cynnwysedig yn y cyhoeddwr bychan hwn o drefn yr iachawdwriaeth.

Mae y Gymdeithas sydd yn awr yn galw am wrandawiad genych, yn ymgais am les ad trigolion Cymru, trwy daenu Traethodau crefyddol yn rheolaidd drwy yr holl Dywys-

-ogaeth, i bawb a ewyllysiont eu derbyn. Wrth wneuthur hyny, nid ydynt mewn un gradd am sengi ar y tir sydd eisoes yn meddiant Cymdeithas y Traethodau Crefyddol Llundain; ond yn hytrach helaethu ei gweithrediadau drwy godi archwaeth darllen, drwy drosglwyddo i ddrws preswylyddion y bythod, yn gystal a'u cymmydogion cyfoethocach, y newyddion da o lawenydd mawr am drefn yr iachawdwriaeth. Mae yn amlwg nas gall Cymdeithas y Traethodau-Crefyddol Llundain ddim gwneuthur hyn gan eu bod hwy yn ymddibynu ar gynnorthwy ereill i gyfranu eu Traethodau rhagorol.

Ychydig o sulw a bair hysbysrwydd i bob meddwl diragfarn, y dylid arfer rhyw foddion i gael gwybod am angenion ysprydol pob teulu drwy y wlad; ac wrth ddywedyd hyn, nid ydym yn meddwl nad oes dim moddion felly yn cael eu harferyd mewn un man. Ond yr ydym yn barnu mai drwy sefydlu Cymdeithas Traethodau, a gosod ar waith y cyfryw gristionogion, y rhai sydd yn ewyllysgar i lafurio, i ymweled â phob teulu o fewn eu dosparth, unwaith o leiaf bob mis, i gyfranu Traethawd crefyddol, y gellir dysgwyl i'r canlyniad fod o fawr lesâd. Yn y lle cyntaf drwy ddarllen y Traethodau eu hunain, wedi hyny drwy roddi cyfleusdra i ymddyddan am eu cynnwysiad, a chael hysbysrwydd o angenion ysbrydol a thymhorol trigolion Cymru, a defnyddio pob moddion a aller er gwneud eu hangenion i fynu.

Trwy y cyfryw drefn, yr ydym yn ymgais am ddwyn ynghyd i un rhwymyn undeb cyffredinol o ymdrech cristionogol, holl ganlynwyr Iesu Grist; ac ymgais am adgyflenwi eu rhengciau, drwy ymosod ar deyrnas satan, ac adferu pechaduriaid colledig i gorlan Crist.

Ymddengys agwedd briodol y Gymdeithas hon yn fwy amlwg yn y Rheolau y rhai sydd i'w gweled yn gydiol â'r Annerchiad hwn, a thrwy hysbysiadau personol Mr. Nasmith, yr hwn sydd dyst o ddefnyddioldeb y cyffelyb Gymdeithasau yn Unol Daleithiau America, yn Scotland, ac yn Lloegr.

Nis gallwn lai na deisyf ar ein cyfeillion y rhai a ymunont i gydymegnio i ddwyn ymlaen weithrediadau y Gymdeithas hon, a phawb ereill o ewyllyswyr da i lwyddiant Seion, ar iddynt edrych i fynu at Dduw am ei fendith ar ein hymdrechiadau gweiniaid er gogoniant ei enw mawr. Mae pob eisteddfod o gydymgynghoriad y Fam Gymdeithas yn cael ei ddechreu a'i ddiweddu drwy weddi; ac yr ydym yn hyderu y bydd i weddi gydfyned â phob Traethawd a anfonir allan gan y Gymdeithas hon. Ac os felly y bydd, pwy a ddichon ddweud pa faint o fendithion a fydd i Ben mawr yr Eglwys dywallt ar drigolion Cymru? O na byddai yr effeithiau hyn yn dilyn llafur egwan y Gymdeithas, ac na byddai ei hymdrech i ryw fesur duedd at gyflawniad yr addewid ogoneddus hono, y "Bydd i wybodaeth gogoniant yr Arglwydd lenwi y ddaear, fel y toa'r dyfroedd y môr."

### Y SEFYDLIAD.

Erthygl I. Enw y sefydliad fydd, "Cymdeithas Traethodau Crefyddol Misol i Gymru."

II. Dyben y Gymdeithas fydd, rhoddi Traethawd crefyddol newydd yn rhad bob mis i bob teulu yn Nghymru, a fyddo yn ewyllysgar i'w dderbyn.

III. Dygir dyben y Gymdeithas ymlaen drwy ffurfio Cangen Gymdeithas ymhob Sir—trefnu Cymdeithasiadau yn amrywiol ddosparthiadau trefydd a gwledydd ymhob Sir—a thrwy i'r Cymdeithasiadau roi Dosparthwyr gwirfoddawl ar waith ymhob Dosparth, yn cynnwys deg a deugain o deuluoedd, drwy yr holl Dywysogaeth.

IV. Gorchwylion y Gymdeithas a drinir gan eisteddfod o ddim llai na chwech o Gyfarwyddwyr—Trysorydd—ac un neu chwaneg o Ysgrifenwyr, y rhai y bydd ganddynt awdurdod i chwanegu at eu nifer, ac i gyflenwi swyddau gweigion. Bydd iddynt ymgyfarfod ar ddiwrnod cyfleus yn yr wythnos gyntaf ymhob mis, ac yn fynychach os bydd achos—Bydd tri o'r aelodau yn ddigonol i weithredu.

V. Nid yw y Traethodau i fod o natur ddadleugar, nac yn cynnwys un ymadrodd croes i wirionedd yr Efengyl—ac mae yn rhaid iddynt gael eu cymmeradwyo, cyn eu dosparthu, gan Eisteddfod o chwech o Weinidogion yr Efengyl, dewisedig gan y Llywiawdwyr, a bydd raid i ddau o'r cyfryw fod yn aelodau o'r Eglwys Wladol, a'r pedwar ereill o wahanol Enwadau o Gristionogion.

VI. Nid yw y Gymdeithas i fod yn perthyn i un blaid, ond yn un gyffredinol o ran ei natur. Bydd i bob cyfarfod gael ei ddechreu a'i ddiweddu drwy weddi.

VII. Bydd i Adroddiad blynyddol o weithrediadau y Gymdeithas gael ei gyhoeddi bob blwyddyn, er boddlonrwydd i'r Cydroddwyr.

### RHEOLAU I GYMDEITHASAU CANGHENOL Y SIROEDD.

I.—Yr enw fydd "Cangen-Gymdeithas y Traethodau Crefyddol Misol Sir ———."

II.—Dyben y Gymdeithas fydd rhoddi Traethawd Crefyddol newydd yn rhad bob mis, i bob teulu yn y Sir, a fyddo yn ewyllysgar i'w dderbyn.

III.—Bydd i'r Gymdeithas ffurfio Cymdeithasiadau Dosparthiadol mewn Tref a gwlad i gynnwys yr holl Sir, i'r dyben o ddwyn yr amcan i ben.

IV.—Bydd i'r Gymdeithas anfon at y Fam-Gymdeithas, yn Nghaerlleon, am gynnifer o Draethodau bob mis, ag fyddo yn angenrheidiol, am y rhai yr anfonant dâl bob chwarter blwyddyn, sef cyn diwedd mis Mawrth, mis Mehefin, mis Medi, a Rhagfyr.

V.—Llywyddion y Gymdeithas fyddant y Trysorydd; an Ysgrifenydd neu chwaneg, a Chyfeisteddwyr o ddim llai na thri o aelodau, y rhai y bydd ganddynt awdurdod i chwanegu at eu nifer, ac i lenwi swyddau gweigion. Bydd iddynt ymgyfarfod yn yr wythnos olaf ymhob mis a enwyd uchod, ac ar amserau ereill os bydd achos. Bydd gan dri o'r aelodau awdurdod i weithredu.

VI.—Bydd i bob cyfarfod gael ei ddechreu a'i ddiweddu drwy weddi.

VII.—Bydd i Adroddiad o weithrediadau y Gymdeithas gael ei osod ger bron y Dosparthwyr bob blwyddyn.

RHEOLAU I GYMDEITHASIADAU DOSPARTHIADAU O DREF NEU WLAD.

1. Yr enw fydd "Cymdeithas Traethodau Crefyddol Misol ———, Cynnorthwyol i Gangen-Gymdeithas Sir ———.

II. Dyben y Gymdeithas fydd rhoddi Traethawd Crefyddol newydd yn rhad i bob teulu yn ——— a fyddo yn ewyllysgar i'w dderbyn.

III. Tref (neu ddosparth, gan nodi ei derfynau) a ddosparthir yn rhanau, gan ddodi 50 o deuluoedd ymhob rhan, a gosodir Dosparthwr rhad ar bob rhan.

IV. Bydd i'r Gymdeithas ddosparthu y cyfryw Draethodau yn unig a gyhoeddir gan Gymdeithas Traethodau Crefyddol Misol i Gymru, ac anfon am gynnifer o honynt ag a fyddo yn eisiau, at Gangen-Gymdeithas Sir ———, ac anfon tâl i'r Trysorydd am y cyfryw, bob chwarter blwyddyn, cyn diwedd y Misoedd Mawrth, Mehefin, Medi, a Rhagfyr.

V. Llywyddion y Gymdeithas fyddant y Trysorydd, un Ysgrifenydd neu chwaneg, a Chyfeisteddwyr o dri neu chwaneg a Aelodau, y rhai a osodant Ddosparthwyr, ac a lanwant swyddau gweigion pan ddygwyddont.

VI. Bydd i'r Llywyddion ymgyfarfod ar ddiwrnod cyfaddas yn yr wythnos ar ol y dydd llun olaf ymhob mis, neu fynychach, os bydd achos. Bydd gan dri o'r aelodau awdurdod i weithredu.

VII. Bydd i'r Casglyddion, y Trysorydd, a'r Yysgrifenwyr gyfarfod yn yr wythnos olaf ymhob mis, i gyd weddio am fendith yr Arglwydd ar eu gwaith. Yn y cyfarfodydd hyn bydd i'r Dosparthwyr ddyfod a hanes ysgrifenedig o'u gweithrediadau am y mis a aeth heibio,—dyfod a'r arian a gasglwyd i law y Trysorydd, a derbyn Traethodau am y mis canlynol.

HYFFORDDIADAU I'R DOSPARTHWYR.

1. Dechreuwch a dygwch ymlaen eich gwaith drwy weddio llawer ar Dduw am iddo ef eich deffroi i ystyried gwerth eneidiau anfarwol, ac am iddo fendithio eich ymdrechiadau i fod yn lles iddynt; drwy hyn fe fydd eich gwaith yn hyfryd, a'ch ymddygiad yn dirion a serchiadol, a chwi a gewch dderbyniad mwy croesawgar gan bawb; pan yn y ffordd hon yn unig y gellwch ddysgwyl i'ch llafur gael ei fendithio â llwyddiant.

2. O fewn yr un diwrnod ar hugain cyntaf o bob mis, rhoddwch Draethawd i bob teulu o fewn eich Dosparth, a fyddo yn ewyllysgar i'w dderbyn. Darllenwch y Traethawd i'r rhai nad allant ddarllen.

3. Darllenwch y Traethawd yn ofalus cyn ei ddosparthu, fel y gwybyddoch ei werth, ac y galloch ymddyddan yn ddealltwrus am ei gynnwysiad.

4. Nac esgeuluswch un cyfleusdra i gyflwyno yr efengyl i'r teuluoedd yn eich Dosparth, yn enwedigol i'r cleifion,—neu eu perswadio hwynt i ddarllen yr Ysgrythyrau a dyfal wrando pregethu yr efengyl. Ymdrechwch hefyd am gael y plant i'r Ysgol Sabbathol,—ac ymofynwch a oes Bibl yn mhob teulu, a dygwch hysbysiad am y rhai sydd hebddo i'r Bibl Gymdeithas.—Dyfal barhewch yn eich ymdrechiadau.

5. Ymattaliwch rhag son am ddaliadau neillduol unrhyw blaid o Gristionogion.

6. Ymdrechwch am gasglu ymhlith eich cyfeillion neu y cyfryw deuluoedd o fewn eich Dosparth a fyddont yn gweled gwerth y gorchwyl sy genych mewn llaw, UN SWLLT bob mis, tuag at dalu traul y Gymdeithas, a dygwch y cyfryw i law y Trysorydd yn Nghyfarfod Misol y Dosparthwyr.

7. Byddwch gysson yn eich dyfodiad i Gyfarfod Misol y Dosparthwyr, a llenwch a dygwch gyda chwi y Daflen argraffedig yr hon a rydd yr Arolygwr i chwi.

*Oherwydd fod y Gymdeithas yn ymddibynu yn benaf am gynnaliaeth ariannol ar gasgliadau y Dosparthwyr, yr ydys yn gobeithio na fydd i neb esgeuluso y dreth angenrheidiol o gael yn gysson y swm bychan a ddysgwylir gan bob un ei gasglu.*

---

## Gofyniad.

Mr. Cyhoeddwr,—Da fyddai genyf pe bae chwi neu ryw un yn fy ngoleuo yn yr hyn a ganlyn, trwy Gyfrwng eich Trysorfa: sef Pa un ai cyn gwneuthur y cyfamod gweithredoedd, ai ynte ar ol ei wneuthur y crewyd Efa?

Mae yn ymddangos oddiwrth y geiriau hyny yn Gen. i. 27. 'Yn wrryw ac yn fenyw y creodd efe hwynt,' mai cyn ei wneuthur y crewyd hi. Ond ymddengys oddiwrth y geiriau sydd yn Pen. ii. 21, 22. mai ar ol ei wneuthuriad y crewyd hi.

Ac os cyn ei wneuthuriad y crewyd hi, beth a feddylir wrth y geiriau hyny yn yr ail Bennod? Ac os ar ol ei wneuthuriad y crewyd hi, beth a feddylir wrth y geiriau sydd yn y Bennod gyntaf? Neu, Pa fodd y cysonir hwynt â'u gilydd? Canys mae yn rhaid iddo fod y naill neu y llall; ac nis gall fod y naill a'r llall. ARYOPHAGUS.

FFYDDLONDEB GWR EGLWYSIG, MEWN SEFYLLFA UCHEL.

Ryw amser yn ol, yr oedd gwr mawr yn ewyllysio cyfranogi o swpper yr Arglwydd, yn ei balas ei hun; ac efe a anfonodd genad at Esgob W——— i ddyfod yno i'w weinyddu. Y genad wedi gohirio yn ei neges, a fu yn achos na ddaeth yr Esgob ddim yn yr amser y dysgwylid am dano. Pan ddaeth yr Esgob i wydd y Boneddwr, dangosai ei fod yn anfoddog am na ddaethai yn gynt yn ol y dysgwyliad. Ac wedi i'r Esgob eglurhau mai gohiriad y genad a fu yr achos o hyn, y Boneddwr a alwodd ei was atto i'r ystafell, ac a'i ceryddodd yn llym-dost, ac a'i bwriodd allan o'i swydd yn y fan, mewn nwyd wyllt, yngwydd yr Esgob.

Ac wedi myned o'r gwas allan o'r Ystafell, dywedai y Boneddwr wrth yr Esgob, 'Yn awr fy Arglwydd, os gwelwch chwi fod yn dda, nyni a awn at y gwasanaeth.' Yr Esgob, gydag addfwynder, er hyny yn wrol, a naccäodd a gweinyddu y Sacrament tra y byddai un gradd o nwyd wyllt a digofaint yn aros tuag at gydgreadur yn meddyliau y Boneddwr. Y gwr boneddig, yn y fan, gan ymbwyllo, a ddywedodd, 'Fy Arglwydd, chwi sydd yn eich lle.' Yna efe a anfonodd am y gwas a geryddwyd, a chyda gwir ostyngeiddrwydd, mewn yspryd tirion, efe a faddeuodd iddo, ac a oddefodd iddo aros yn ei le a'i swydd fel cynt. Yna yr Esgob a weinyddodd yr Ordinhad sanctaidd i'r gwr boneddig gyda mawr foddlonrwydd a sirioldeb.

HANESYN NODEDIG.

Crybwylla Dr. Cotton Mather, yn ei Hanes am New England, yn America, am un o'r Indiaid a'i wraig, y rhai oeddynt o sefyllfa uchel yn eu llwyth yn America, i'r rhai y ganwyd pump o blant, ac fe fu farw pob un o'r plant yn lled fuan ar ol eu geni, er iddynt ddefnyddio pob math o swyn arferol yn mysg yr Indiaid i geisio attal rhwysg angau. Wedi hyny ganwyd iddynt y chweched plentyn, a hwnw oedd fachgen. Ofnai y fam yn ddirfawr rhag colli hwn hefyd. Yn llawn digalondid, cyn gynted ag y daeth yn alluog, hi a aeth allan, ac a gymmerth ei phlentyn bach gyda hi i'r maes, i wylo uwch ei ben ef yno. Ac wrth fyfyrio yno ar annigonolrwydd pob moddion y gwyddai am danynt, er attal angau i fyned a'i phlant oddiarni, fe drowyd ei meddyliau yn gryf i feddwl fod rhyw fod mawr, o Greawdwr pob peth yn trigo yn rhywle, ac mai y Duw hwnw a roddes fywyd iddi hi, ac i'w phlentyn bach, a allai yn hawdd gadw ac amddiffyn bywyd ei maban. Ac oddiar yr ystyriaethau hyn hi a erfyniodd am gael ffafr yn ei olwg.

Cafodd y plentyn hwn fyw. Ac fe'i cadarnhawyd hi yn ei ffydd yn y Duw yr hwn nid adwaenai, yr hwn a wrandawsai ar ei gweddi; a hi a ewyllysiai gyssegru ei mab iddo ef, ac i'w wasanaeth, er na wyddai pa fodd i wneud hyny.

Ymhen y tair neu bedair blynedd ar ol hyn, daeth y Saeson ymlaen i ymsefydlu yn y rhan hono o'r wlad. Ac oddiar yr olwg ar eu dull yn eu haddoliadau crefyddol, fe farnodd y wraig mai y Duw hwnw ag y bu hi yn gweddio arno yn achos ei mab oedd gwrthrych eu haddoliad. Ac am hyny hi a ddechreuodd ymgyfeillachu â hwynt. Hi a ddychwelwyd i'r ffydd gristionogol o dan weinidogaeth Mr. Mayheed, a hi a fu yn addurn i'w chrefydd newydd.

Ond yr hyn sydd yn peri fod yr amgylchiad yn fwy rhyfedd fyth oedd, ddarfod i'r plentyn crybwylledig, nid yn unig gael ei ddychwelyd i'r un ffydd a'i fam, ond efe a alwyd wedi hyny yn weinidog yr efengyl, ac a fu yn bregethwr enwog i Grist ymhlith yr Indiaid: ac ar y pryd y cyhoeddwyd gyntaf yr hanesyn hwn, yr oedd dan ei ofal Eglwys gynnwysedig o'r Indiaid dychweledig, o amryw ugeiniau o eneidiau. Ei enw oedd Japheth. Rhyfeddol yw troion dyfnion Duw.

Tynwyd yr hanesyn hwn allan o bregeth a bregethwyd gan y diweddar Barch. W. Roby o Manchester, yn Nghyfarfod blynyddol Cymdeithas Genhadol Llundain, yn y flwyddyn 1801.

## Hanesiaeth Cenhadol.

CYFARFOD BLYNYDDOL Y GYMDEITHAS.

Ddydd Iau, Mai 10, 1838, cynnaliwyd y pedwerydd Cylchwyl a deugain i'r Gymdeithas Genhadol Llundain yn Llys Exeter, yn Llundain. Yr oedd yr hin yn hyfryd, a llanwyd y Llys ëang hwnw o bobl ymhell cyn yr amser appwyntiedig. Yn absenoldeb W. T. Blair, Ysw. o Bath, fe alwyd Edward Baines, Ysw. Leeds, M. P. i'r Gadair.

Ac wedi canu Emyn a gweddio, agorodd y Cadeirydd y Cyfarfod gydag Araeth gynhwysfawr. Yna darllenodd y Parch. W. Ellis, yr Ysgrifenydd, yr Adroddiad. Wedi hyny areithiodd y Parch. Arthur Tidman, yn faith; ac ar ei ol ef, y Parch. James Scott, o Demerara, a'r Parch. J. A. James, o Birmingham—wedi hyny, y Parch. Henry Nott, Cenhadwr o Tahiti.

Areithiodd y Cenhadwr H. Nott, fel hyn: —Yn fuan wedi fy nychweliad o Tahiti, a'm dyfodiad i Lundain, mi a gefais gyfleusdra i osod o flaen cyfarfod cyhoeddus hanes cysurus am agwedd a chynnydd yr Eglwysi cristionogol yn Tahiti, ac ynysoedd eraill yn Mor y De. Yr oeddwn, cyn i mi ymadael a'r Ynys hono yn Chwefror, 1836, wedi gorphen cyfieithu yr Ysgrythyrau i'r iaith gynhenid, ac mi a ddygum gyfysgrif o'r cyfieithiad gyda mi i Frydain i'w ar-

graffu. Wedi i mi hysbysu dyben fy mordaith faith i'r Gymdeithas ardderchog, y Bibl Gymdeithas, hwy yn ddioed a ganiattasant fod i dair mil o Fiblau a Thestamentau i gael eu hargraffu yn iaith Tahiti ar eu traul eu hunain, ac mae yn hyfryd genyf hysbysu i chwi fod hyny wedi cael ei gyflawni.

Felly yn Chwefror diweddaf, ymhen y ddwy flynedd ar ol fy ymadawiad o Tahiti, yr oedd yr holl Ysgrythyr Lân mewn argraff yn yr iaith hono; ac felly fe gaiff y genedl weled a chlywed yn eu hiaith eu hun yn yr hon y ganed hwynt, fawrion weithredoedd Duw. Drwy haeledd yr unrhyw Gymdeithas a nodais o'r blaen, fe gafodd un Bibl cyfan ei argraffu yn iaith Tahiti, a'i rwymo yn hardd, a'i drosglwyddo yn rhodd i'r Gymdeithas Genhadol mewn Cyfarfod o'i Chyfarwyddwyr yn mis Mawrth diweddaf. Dyma fo, Syr, eb y llafurus Genhadwr, gan ddal y Bibl Tahitaeg yn ei law, gopi o'r Llyfr, yr wyf yn cael yr anrhydedd o'i drosglwyddo yn awr i chwi.

A chan fod yn hysbys i lawer o honoch, fy mod i ar fyrder yn bwriadu dychwelyd yn fy ol i Tahiti, yr wyf yn awr yn taer ddymuno am gael rhan yn eich gweddiau, ac yn ngweddiau fy mrodyr yn gyffredinol, am i Dduw pob gras amddiffyn a diogelu fy anwyl gyd-lafurwyr sydd yn awr ar eu mordaith, ar y cefnfor mawr, fe allai dair mil o filldiroedd oddiwrthym ni; ac am i'r hwn a sangodd ar fôr Galilea, ac a 'geryddodd y gwynt a'r môr, fel y bu tawelwch mawr,' fy amddiffyn a'm cadw innau ar frig y tonau gleision, a'm prysuro drostynt i dirio i'r porthladd dymunedig. Gan wybod na chawn ni etto ymgyfarfod mewn cylchwyl flynyddol fel hyn mwyach yn y byd hwn, yr wyf yn dymuno canu yn iach i chwi oll, gan hyderu y cawn etto gyfarfod mewn gwlad well, a hono yn un nefol.

Ar ei ol ef areithiodd y Parch. W. H. Medhurst, Cenhadwr o China. Wedi hyny y Parch. T. Haynes, o Bristol yr hwn a areithiodd fel hyn:—Wedi crybwyll am yr achylsur o ymadawiad y Cenhadon o Ynys Madagascar, 'Nis gallaf fi,' medd efe, 'feddwl am y weithred olaf a wnaeth y Cenhadon yn yr Ynys hono, heb effeithiau dwfn ar fy meddyliau. Hwy a gasglasant y Biblau, ynghyd a'r llyfrau crefyddol ereill a gyfieithasant ac a gyhoeddasant yn iaith y trigolion,—a pha beth a wnaethant â hwynt? Hwy a'u dodasant oll mewn cistan gref, ac a'u cauasant i fynu yn ddiogel, ac a'u claddasant yn y ddaear, ac yno y maent, yn aros am ddychweliad y Cenhadon; yno meddaf y maent, yn aros cael adgyfodiad i agoryd eu genau etto yn hyf i draethu dirgelwch yr efengyl i'r trigolion. Gweithred o ffydd oedd hon yn wir, gwnaed hi yn ddiau mewn gobaith y bydd i'r had anllygredig, gair Duw, gyfodi drachefn, a dwyn ffrwyth er gogoniant i enw y Gwaredwr. Yr wyf fi gan hyny yn llawn o obaith etto am waredigaeth i Madagascar; ac nid yw ymddygiad creulon y Frenhines baganaidd ac erlidgar hono, ddim yn dirymu fy ngobaith. Canys beth yw hi? Nid yw ond bod dynol, ac nid yw ei hawdurdod i attal daioni ond goddefol.

Areithiodd amryw wyr urddasol ar ei ol ef, a therfynwyd y Cyfarfod drwy ganu Emyn o fawl.

☞ Oherwydd fod galwad mor uchel am chwaneg o lafurwyr yn y winllan mewn amryw o'r gwledydd tramor, ac hefyd fod cynnifer yn chwaneg nag arferol o wyr ieuainc cymhwys wedi cynnyg eu hunain i'r gwaith, mae y Gymdeithas wedi anturio anfon ynghorph y flwyddyn a aeth heibio, un a thriugain o Genhadau allan, heblaw eu plant a anfonwyd gyda hwynt. Drwy hyny aeth y costau yn drymion. Treuliwyd £76,818. 16s. 11c., sef chwaneg nag a dderbyniwyd o £6,563. 16s. 11c. Ac am hyny yr ydys yn gorfod gwneud ymdrechion chwanegol am gael modd i gyflawni y diffyg.

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

CYMDEITHASFA Y TREFNYDDION CALFINAIDD YN Y BALA,

*A gynnaliwyd Meh.* 12, 13, 14, *a* 15, 1838.

Ar ddyddiau Mawrth a Mercher cynnaliwyd Cyfarfodydd neillduol y Gymdeithasfa hon, yn un o ba rai y neillduwyd y brodyr canlynol i gyflawn waith y weinidogaeth,—Mr. Lewis Jones, Bala, a Mr. Robert Williams, Llanuwchllyn, o Sir Feirionydd; Mr. John Ffoulks, a Mr. John Wynne, o Sir Ddinbych; Mr. Edward Hughes, Llanidloes, a Mr. Thomas Davies, o Sir Drefaldwyn.

Moddion cyhoeddus y Gymdeithasfa a gynnaliwyd fel y canlyn:—

Nos Fawrth am 7 o'r gloch, gweddïodd Mr. John Griffiths, Llandeusant; a phregethodd Mr. John Jones, Tremadog, oddiar 1 Cor. 6. 20. a Mr. Henry Rees, Lle'rpwll, oddiar Luc 9. 61, 62.

Nos Fercher, am 5 o'r gloch, gweddiodd Mr. Evan Jones, Llangeitho; a phregethodd Mr. David Roberts, Abertawy, oddiar Luc 24. 50, 51. a Mr. William Roberts, Amlwch, oddiar Act. 4, 11.

Boreu ddydd Iau, am 6 o'r gloch, gweddïodd Mr. Abraham Jones, Llanfyllin; a phregethodd Mr. David Hughes, Nantcaredig, oddiar Heb. 3. 7. a Mr. Evan Evans, Aber-y-ffrwd, oddiar 1 Ioan 5. 19.

Am 10, gweddïodd Mr. William Morris, Llanelli; a phregethodd Mr. David Howells, Abertawy, oddïar Phil. 3. 7, 8. a Mr. John Elias, Môn, oddiar Ioan 16. 14.

Am 2, gweddiodd Mr. John Davies, Nantglyn; a phregethodd Mr. Thomas Elias, Llangamarch, oddiar Dat. 22. 1. a Mr. Henry Rees, Lle'rpwll, oddiar Rhuf. 8. 18—23.

Am 6, gweddïodd Mr. Robert Roberts, Rhos; a phregethodd Mr. John Hughes, Adwy'r Clawdd, oddiar Esa. 25. 8. a Mr. Daniel Jones, Llanllechid, oddiar Ps. 50. 22.

Am 6 o'r gloch boreu ddydd Gwener, gweddiodd Mr. Thomas Griffiths, Llanwyddelan; a phregethodd Mr. Griffith Solomon, Llanbedrog, oddiar Iago 1. 22. a Mr. John Hughes, Pont Robert, oddiar 1 Cor. 6. 11.

Barna amryw fod y dorf yn lluosocach nag y gwelid erys blynyddoedd, a gwelwyd arwyddion amlwg fod dynion, rai miloedd o honynt, yn cael llawer o hyfrydwch wrth wrando, a gobeithir eu bod yn cael llesâd hefyd: yr oedd y pregethau yn fywiog ac yn flasus, ac wrth farnu y cyfan ynghyd nid ellid dywedyd fod yr Arglwydd yn nebpell oddiwrthym: a dilyned air ei ras â bendithion tragywyddol fel y gweler ôl Cymdeithasfa y Bala nid yn unig ar yr eglwysi ond ar bob ardal a thref y cyrchai dynion o honynt i wrandaw.

Ydwyf, GWRANDAWR.

---

*Ysgolion Cymraeg yn y fl.* 1751.

(Parhad tu dalen 188.)

Mae y Parch. G. Jones yn myned ymlaen yn ei gyfarchiad gwresog at y Tansgrifwyr, ac yn dywedyd, 'Mae rhai Ysgolheigion wedi eu dysgu i ddarllen, ac i fedru y Catecism ar dafod leferydd, mewn chwech wythnos, y rhai ni wyddent y llythyrenau, ac ni fedrent eu Pader o'r blaen. Dysgodd rhai pobl ieuainc y Catecism oll mewn pymtheng niwrnod. Mae llawer o bobl mewn oed, dim llai na deg arhugain, mewn un Ysgol, yn ddiweddar wedi dysgu darllen, drwy fyned at yr Ysgolfeistriaid yn yr hwyr, wedi eu llafur y dydd fyned drosodd. Mi glywais ddweud gan wr geirwir, fod y dull yma o ddysgu plant wedi llwyddo yn neillduol yn Lloegr, sef bod yr Athraw yn darllen ymadrodd o'r llyfr, a'r ysgolhaig yn darllen ar ei ol ef; a hyny drosodd a throsodd drachefn a thrachefn, a thrwy hyny fod yr ysgolhaig yn dyfod i allu darllen yn llithrig, ar fyr amser. Derbyniais lythyr o Loegr, oddiwrth gyfaill, yn hysbysu am *Ysgolfeistres a ddysgodd i chwech ar hugain o blant i ddarllen mewn tri mis, drwy wneud iddynt sillebu a darllen yn bur araf.* Ac mae yn chwanegu, *darllen yn rhy gyflym sy fai cyffredin.* Yr wyf yn barod i gyfaddef nad oes yr un galluoedd i ddysgu gan bawb; er hyny. mae y peth yn sefyll i raddau mawr ar ffyddlondeb a diwydrwydd yr Athraw.'

Rhy faith fyddai i ni ddilyn y gwr duwiol hwn yn ei gyfarchiad deffrous a gwresog, drwyddo oll; ond mae yn ei ddiweddu drwy osod i lawr amryw lythyrau a dderbyniasai efe oddiwrth yr amrywiol Offeiriaid, lle yr oedd yr Ysgolion Cymraeg dan eu gofal. Fe allai y byddai yn fuddiol a difyrus gan amryw o'n darllenwyr weled rhai o honynt yma, i'r dyben o gael golwg ar y gwaith da hwn ar doriad y wawr allan o'r oesoedd tywyll gynt. Mae efe yn diweddu ei Annerchiad fel hyn:

'Bydded i bawb sydd yn cymmeradwyo y drefn hon o addysgu y tlodion i ddarllen a deall gair Duw, anfon eu gweddiau mynych a thaer at yr Arglwydd am iddo ef fendithio y moddion i achub eu heneidiau ac i'w tywys i'r iawn.

'Bydded i'r tlodion, ynghyd a'u holl Athrawon, ddyfod yn fwy fwy ymwybyddus o werth yr Ysgolion hyn; a chyda chalonau llawn o lawenydd a diolchgarwch, y byddont yn derbyn ac yn iawn ddefnyddio y rhoddion caredig a gyfrenir tuag at eu llesâd ysbrydol a thragywyddol.

'Y nefoedd fawr a fendithio yr ymdrechiadau duwiolaidd hyn o eiddo y Cydroddwyr er helaethu gwybodaeth o Dduw ac o'r hwn a anfonodd efe Iesu Grist, ymhlith ein Cenedl. Wyf, yr eiddoch,

GRIFFITH JONES.

*Llanddowror, Hydref* 25, 1851.'

---

TALFYRIAD O LYTHYRAU.

*Llanarmon Dyfryn Ceiriog, yn Sir Ddinbych, Tach.* 30, 1750. *At y Parch. G. Jones.*

Barchedig Syr,—Mae yn hysbys i mi fod plant fy mhlwyf wedi derbyn mawr lesad oddiwrth yr Ysgol rad sydd yn awr wedi ei sefydlu yma. Eu rhieni ydynt dlodion, ac am hyny maent yn analluog i'w cadw mewn ysgolion lle y caent addysg gristionogol iddynt. Yr ydym yn gostyngedig erfyn arnoch adael i'r Ysgol barhau yma am ryw hyd etto, i'r dyben o chwanegu gwybodaeth Ysgrythyrol yn mysg fy mhlwyfolion, yr hyn sydd ei fawr eisiau yn y parthau hyn. Am i Dduw fendithio yr ymgais daionus hwn, yr erfynia, Yr eiddoch,

HENRY PARRY, Gweinidog, Llanarmon.

---

*Llangefelach, Sir Forganwg, Ion.* 8, 1750.

Barchedig Syr,—Hyn sydd i sicrhau i chwi am W. D. yr Ysgolfeistr Cymraeg, yr hwn sydd wedi gorphen ei chwarter olaf yn Melinllan, yn y plwyf hwn, ers y 24in o'r mis diweddaf; ei fod wedi ymddwyn yn hollol yn ol y rheolau, ynghyflawniad o'i ddyledswydd yn yr amcan daionus gyda'r Ysgol rad. Y mae efe wedi bod yn hynod o ffyddlawn a llafurus, yn addysgu ei Ysgolheigion mewn gwybodaeth o'r Grefydd Gristionogol. Erfyniaf yn daer arnoch ei adael yma am amser ymhellach.

Ydwyf, John Price, Ficcer Llangefelach.

Mae yn canlyn lythyrau cyffelyb o Llandilo, Sir Frecheiniog—a Llanthew o'r un Sir—Mydrim, Sir Gaerfyrddin—Llanfair Talhaiarn, Sir Ddinbych—Llanhaiarn, Sir Gaernarfon—Caergybi, yn Mon, &c.

*Yna y canlyn nifer yr ysgolheigion, &c.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Trefdraeth .... | 30 | Llanbabo....... | 47 |
| Aberffraw .... | 41 | Llanddyfnan .. | 41 |
| Trewalchmai .. | 50 | Olgra ........ | 60 |
| Caergybi ...... | 68 | Llanfihangel Tre'r Bardd .. | 34 |
| Bodedern...... | 90 | Llandrygarn .. | 42 |
| Llechcynfarwy.. | 43 | Llanfair-pwll-y gwyngill .... | 42 |
| Llangrystiolus.. | 53 | Hen Eglwys .. | 39 |
| Llanfair Mathafarn-eitha .... | 60 | | |
| Llandegfan .... | 42 | | |
| | | Y cyfan yn Sir Fon ...... | 782 |

Cyffelyb i hyn yw y Siroedd ereill; ond rhag blino amynedd y darllenyddion, gadawn ar hyn.

## Helyntion yr Amseroedd.

AMERICA. — *Canada.* Dywed y *New York Courier*, Ebrill 28, fod yr holl garcharorion ag oedd tan ddedfryd marwolaeth yn Toronto a Hamilton wedi cael eu harbed oddigerth un. Dywed y *Montreal Herald*, Ebrill 24, bod cryn derfysg wedi bod yn Brockville, a bod un dyn wedi cael ei ladd. Achos y cynnwrf oedd i ryw ddyn ddangos yn ffenestr ei faelfa rai darluniau gwawdus o'r swyddogion a'r milwyr ag oedd wedi eu rhyddhau. Yr ydym yn deall mai rhyw swn cynhyrfus sydd ynddi ond heb dori allan etto yn dân mawr.

*Charleston.*—Derbyniwyd y newydd canlynol gyd â'r *Great Western Steam Ship* yr agerdd-long gyflym hòno ag sydd wedi Cyrhaedd Bristol, ar yr 22ain Fai, ar ol cychwyn o *New York* ar y 7fed o'r un mis.

Y *National Intelligencer* a ddywed: —

*Charleston, S. C. Eb.* 28.—9 *a.m.*

Y mae un rhan o dair o ddinas Charleston yn gorwedd yn garnedd, ar ol y tân mwyaf dychrynllyd a welais erioed. Dechreuodd y tân mewn tŷ pobydd, yr hwn a gyfhaodd wedi hyny mewn maelfa *painter* ag oedd yn nesaf ato, ac a ymdaenodd dros y ddinas gyda chyflymdra echryslon. Yr oedd y gwynt yn gryf o'r deau, ac yn gyru y tân i ddifa pob peth yn ei ffordd. Ac i goroni y colledion oll dywedir fod dros hanner cant o fywydau wedi eu colli. Y gair mwyaf cyffredin yw fod dros werth naw miliwn o *ddollars* wedi eu difrodi ganddo. Y mae y dinaswyr wedi eu llenwi â dychryn a braw, ac yn sefyll i edrych ar ddinystr eu heiddo gyda rhyw syndod galarus. Mae dros 1000 o dai wedi eu llosgi yn barod.

Yn y *New York Morning Herald* y ceir y cyfrif canlynol, o barth dinystr y tân hwn. Mae gwerth oddeutu 3,000,000 o *ddollars* o eiddo wedi ei ddinystrio; o ba swm y mae oddeutu 100,000 o *ddollars* wedi ei sicrhau (insured) yn New York; 75,000 yn Boston; 75,000 yn Augusta, Georgia; 1,000,000 yn Charleston, a 250,000 mewn manau ereill yn gwneuthur i fynu y swm o 1,500,000 o *ddollars*, oddeutu hanner gwerth y swm a gollwyd.

*New Orleans.*—Ychydig wedi 10 o'r gloch o'r nos, yr 8fed o Ebrill, torodd tân allan mewn gweithfa gotwm yn y ddinas, ac a ddifäodd werth 500,000 o *ddollars* o hono. Nid oes dim amheuaeth yn meddyliau neb nad gwaith rhyw adyn mileinig a chynfigenus ydoedd.

*Ymdoriad Berwadyron agerdd-lestr Americanaidd.*—Mae yr hanes hwn yn ofidus ac yn faith, ac nis gellir ei gynnwys oll yn y tu dalenau hyn; etto ceisiwn roddi o flaen ein darllenwyr rhyw fyr olwg arno o leiaf. Oddeutu 6 o'r gloch brydnawn un diwrnod yn ddiweddar, cychwynai yr agerddlong newydd Moselle, Cadben Perrin, yn llawn o deithwyr o *Cincinnati*, i *Louisville*, a *St. Louis*. Wedi iddi fyned ychydig i fynu yr afon i'r dyben o gymmeryd teulu cyfan yn ychwaneg ar y bwrdd, ac yn yr yspaid hwn yr oedd y cadben yn balch ymffrostio grym yr agerdd a allai greu, ac yn dangos ei fwriad am wneyd i'r agerddlong synu yr holl edrychwyr ar y lan pan welent gyda pha fath gyflymdra y cymmerai ei hynt i lawr yr afon ar hyd y dref.

Cyn gynted ag y cymmerwyd y teulu hwn ar ei bwrdd ymdorai ei berwadyron gyda sŵn dychrynllyd, yn debyg i dwrf taran gref. Yr oedd yr olygfa yn ddychrynllyd i'r eithafion—yr oedd lluaws o aelodau, penau, a chyrph i'w gweled yn chwyrnellu yn yr awyr; a swn griddfan ac ocheneidiau y rhai oedd yn marw, ac ereill ag oedd wedi eu clwyfo, yn ddigon i beri i'r galon galetaf arswydo. Yr oedd y llong mewn munud yn ddrylliau mân, gan adael i'r rhai a ddiangasant rhag y tân foddi yn y dwfr. Yr oedd dynion yn cael eu taflu i bellder bron yn anghredadwy. Taflwyd y cadben i ganol y dref, a chodwyd ef i fynu yn farwol, ac wedi ei glwyfo yn dost: ac un dyn arall a daflwyd trwy y tô i dŷ ag oedd yn y dref gyda grym rhyfeddol: a hubiwyd glenydd yr afon â darnau cyrph briwedig yn bentyrau lluosog.

Sylwasom ar yr hyn a ganlyn yn yr hanes hwn:—yr oedd un bachgen bychan ar y lan yn plethu ei ddwylaw mewn alaeth gan ddeisyfu ar ryw rai oedd yn bresennol, achub ei dad a'i fam, a'i dair chwaer, y rhai oeddynt oll yn y dwfr yn ymgeisio am y lan, ond y rhai oll a foddasant yn ngolwg y bachgenyn druan, y naill ar ol y llall, bron yn ei gyrhaedd. Cymmerwyd un baban bychan i fynu yn fyw yn nofio ar ryw ddarn bychan o'r llestr drylliedig.

Bernir fod ar fwrdd y llestr hon oddeutu 200 o eneidiau, o ba rai ni achubwyd ond oddeutu 50 neu 75; a'r gweddill a laddwyd sydd oddeutu 125.

Gofidus iawn genym adrodd i'r holl fywydau hyn gael eu haberthu i hunan a

rhyfyg un dyn yn unig. Ei amcan a'i ddyben oedd synu y dinasyddion â chyflymdra ei mordwyad, ond yn lle hyny llanwodd hwynt oll â galar a gwaë.

*Ymdoriad dychrynllyd arall.*—Ar ddydd Sadwrn, yr 21ain o Ebrill, oddeutu 5 o'r gloch, ymdorodd berwadyr yr agerdd-lestr *Oronoko*, newydd iddi adael *Princeton*, Mississippi, gan daflu oddeutu 15 neu 20 o bersonau dros y bwrdd a llosgi ereill yn ddychrynllyd. Dywed y *Vicksburg Register* fod rhif yr eneidiau a gollwyd oddeutu 100! Dywedai y peiriannydd, pan oedd ar anadlu ei anadl olaf, fod y berwadyron yn llawn dwfr pan yr ymdorasant; ac nad oedd dim bai o esgeulusdod ar eu rhan hwy; ond mai hen ferwadyron wedi gwisgo allan, ac heb fod yn addas i'r fath lestr oeddynt. Fel hyn yr aberthyd cant o fywydau etto i ddiofalwch neu gybydd-dra y rhai a ddylasent ddarparu y peiriannau. Pa hyd? pa hyd? y chwareuir fel hyn â bywydau dynion.

Yr Hispaen. — Dywed Llythyrau o ogleddbarth Hispaen, fod y Carlosiaid wedi eu gordoi â dyryswch, personol ac arianol. Y mae Don Carlos wedi ei orfodi i newid ei swyddogion a'i brifle milwraidd, ac i ollwng Villareal yn rhydd. Derbyniwyd yr hanes hwn yn Paris, yn Ffrainc, un diwrnod yn ddiweddar, yn hysbysu fod 180 o'r Carlosiaid wedi eu lladd, a 100 wedi eu cymmeryd yn garcharorion, o ba rai yr oedd wyth yn swyddogion milwraidd. Y mae y wlad fel hyn yn gorwedd mewn gwaed, a dynion wrth y cannoedd yn cael eu haberthu yn wythnosol bron i echryslondeb Rhyfel cartrefol.

Yr India Orllewinol.—Mae y newyddion diweddaraf o'r India Orllewinol yn bwysig a rhyfeddol. Yn ynys Nevis penderfynwyd gan y llywodraethwyr, "Fod y brentisiaeth Negroaidd yr ynys hono derfynu yn hollol ar y dydd cyntaf o Awst nesaf." Yr ydis yn cael lle teg i gasglu y bydd i ynys Tortola ddilyn yr un esampl ddaionus. Yn Dominica hefyd y mae y cwbl yn debyg o derfynu yn ffafriol i'r caethion. Yn Grenada mae y ddau Newyddiadur a argrephir yno wedi cymeryd plaid rhyddhad y caethion. Yn *St. Christopher* mae y cynygiad wedi colli; ond gan fod y Llywydd a'r Is-lywydd o'i blaid, disgwylir y ceir ef i weithrediad cyn bo hir.

Mae amryw fanau ereill yn cymmeryd arnynt dyneru ychydig os na ollyngant yn rhydd.

Mr. David Baillie sydd wedi rhoi gorchymyn i ollwng ei holl brentisiaid yn rhyddion ar y laf o Awst nesaf, trwy holl derfynau ei etifeddiaethau eang yn Demarara; ac mae Arglwydd Holland hefyd wedi rhoddi gorchymyn i'r rhai goreu o honynt gael eu gollwng yn rhydd bob mis; a Syr Alexander C. Grant a ddilyn eu hesiampl glodwiw yn Jamaica hefyd.

CYFRAITH NEWYDD PRIODAS.

Mae Mr. Mann, prif Ysgrifenydd Swyddfa Cofrestraeth Priodasau Llundain, wedi dwyn o flaen Tŷ y Cyffredin, allan o'r Cofrestraeth Cyffredinol, yn ol trefn y Gyfraith newydd, gyfrif o'r nifer, ac enwau y lleoedd, a gofrestrwyd i weinyddu gwasanaeth Priodas, yn ol y gyfraith yn Lloegr a Chymru, am hanner blwyddyn, sef o Mehefin 30, hyd Rhagfyr 30, yn y flwyddyn 1837.

Yn y Cyfrif hwn, dangosir i ni, fod y nifer mawr o un mil a chant ac un a deugain (1141) o Gapeli wedi eu cofrestru i weinyddu priodas ynddynt o fewn yr amser a nodwyd uchod. Ac hefyd fod o fewn cylch yr un amser, un mil saith gant a phump a deugain (1745) o briodasau wedi cael eu gweinyddu yn ol y gyfraith newydd (heblaw y rhai a weinyddwyd yn yr Eglwysi gwladol); ac o'r nifer hwnw, fod 453 o briodasau wedi cael eu gweinyddu yn Swyddfâau y Prif Gofrestrydd-ion mewn gwlad a thref; a'r lleill, sef 1292 o briodasau wedi cael eu gweinyddu mewn Capeli, ynghyd a'r Iuddewon a'r Crynwyr.

Breninesau.—Y canlynolion a fuont freninesau Brydain yn eu hawl eu hunain er y Goresgyniad:—1. Mair, a deyrnasodd o Orphenaf 6, 1553, hyd Dachwedd 7, 1558;—2 Elizabeth, a deyrnasodd o Dach. 7, 1558, hyd Fawrth 24, 1603;—3. Mair, a deyrnasodd o Chwefror 13, 1689, hyd Mawrth 8, 1702.—4. Ann, a deyrnasodd o Fawrth 8, 1702, hyd Awst 1, 1714.—5. Victoria, a ddechreuodd deyrnasu, Meh. 20. 1837; a hir y byddo yn teyrnasu ar bobl rydd, ffyddlawn, a dedwydd, yw gweddi galonog ei deiliaid serchog. Nid oes lai na *thair* o freninesau mewn enw yn Lloegr yn bresennol, sef Victoria, y frenines lywyddol, Louisa, y frenines fammaethol, ac Adelaide, y frenines waddolog.

Adlais yn Milan.—Cynnyrchir adlais o balas bendefig o fewn tua dwy filldir i Milan, sydd agos yn annghydmarol yn y byd. Un o'r enw Mr. Addison a ddywaid iddo ef danio llawddryll yno, ac iddo glywed swn yr ergyd yn cael ei dychwelyd unwaith ar bymtheg a deugain; er ei bod hi yn ddiwrnod tarthiog, ac o ganlyniad heb fod mor ddymunol i wneud prawon. Dylynai yr adleisiau eu gilydd yn gyflym ar y dechreu; ond fel yr oedd y swn yn gwanychu, yr oedd y dylyniad yn arafach. Mae yn debyg nad oedd yr adeiladydd yn rhagfwriadu y fath adlais rhyfeddol a hyn pan yn adeiladu y palas; ond y mae yn cael ei achlysuro gan ddau fur cyfred hir, rhwng y rhai yr ymgura y swn o'r naill i'r llall, hyd oni lwyr drenlir cyffro tonnawl yr awyr. —*Pinnock's Guide*, *Vol.* 3. p. 8.

Priodas a Hir-hoedliad.—Mae naturiaethwyr dysgedig wedi cael allan, drwy

sylw ac ymchwylion manylaidd, fod y cyflwr priodasol yn dra gwasanaethgar i hir-hoedliad. Y rhai hynotaf a roisent eu llafur i gael hyn allan oedd Odier, Deparcieux, Hufeland, Voltaire, a Dr. Casper. Cyfarfyddwn a'r cyfrifon canlynol yn eu llyfrau, wedi eu seilio ar lechres marwoldeb Amsterdam. O'r meibion, rhwng deg ar hugain a phump a deugain oed, y mae o'r rhai anmhriod, 27 y cant yn meirw, tra nad oes o'r rhai priod ddim mwy na 18 y cant. Am 41 o'r rai anmhriod sydd yn cyrhaedd 40 mlwydd oed, y mae 78 o rai priod yn cyrhaedd yr oedran hwnw. Fel yr heneiddir, y mae y gwahaniaeth yn hynotach fyth. Yn 60 mlwydd oed, nid oes ond 22 o rai anmhriod yn fyw am bob 48 o rai priod; yn 70 dim ond 11 o rai anmhriod am 27 o rai priod; ac yn 80 am dri o rai anmhriod a ddichon fod yn fyw, bydd naw o rai priod i'w cael. Mae yr un cyfartal o'r bron rhwng y merched: er esampl, mae 72 o wragedd yn cyrhaedd pum mlwydd a deugain oed, am 52 o rai anmhriod sydd yn cyrhaedd yr oedran hwnw.—'*Christian's Penny Magazine*,' p. 52.

### LLIF-DDYFROEDD DYCHRYNLLYD.

Dydd llun, Mehefin 18, disgynodd cenllif o wlaw anarferol, ynghyd a tharanau a mellt arswydus iawn, mewn amrywiol fanau o'r deyrnas. Yr oedd y rhan fwyaf o'r Dyffryn Clwyd yn orchuddiedig â dyfroedd, fel yr ymddangosai megis môr ëang. Yn Abergele dygwyddodd fod ffair ar y diwrnod hwnw. Gorlifwyd y ffyrdd, a'r heolydd yn ddirfawr, fel y bu amryw yn cael eu cludo allan o'r dyfroedd mewn troliau; ac ereill yn cael eu cario ar draws yr heolydd ar gefnau gwyr grymus, rhag cael eu cludo ymaith gan y genllif. Yr oedd y dwfr mewn rhai o'r tai yn llathen o ddyfn, ac yn y lleill yn llathen a hanner, a'r dodrefn yn nofio ar ei wyneb! Dysgwylid bob munud y cludid y bont gyda'r weilgi; ond dal a wnaeth.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Mehefin 12. Dyg yr Arglwydd Ganghellwr i mewn Ysgrif am attal carchariad am ddyled, i'w ddarllen y drydedd waith. Buwyd yn areithio yn faith yn ei chylch; ac wedi gwneuthur amryw welliadau ynddi, darllenwyd hi y drydedd waith, ac felly fe bassiodd drwy Dŷ yr Arglwyddi.

*Tŷ y Cyffredin.* Dyg Arglwydd J. Russel Ysgrif y Corphoriaethau Bwrdeisiol yn y Werddon, i'w ystyried drachefn. Un pwnc yn yr Ysgrif hon y bu dadl faith a gwresog iawn yn ei gylch, oedd hyn; yn Ysgrif y Llywodraeth yr oedd pob preswylydd tŷ yn y trefydd Bwrdeisiol, os byddai ei ardreth yn *bum punt*, a'i drethi yn cael eu talu yn rheolaidd, i gael rhoi pleidlais yn newisiad aelodau y Gynghorfa yn y Bwrdeisdrefi. Ond Syr Robert Peel a'i bleidwyr a wrthwynebent hyn i'r eithaf; yr oedd arnynt hwy eisiau newid y geiriau, a rhoi *deg punt* yn lle *pum punt*, er mwyn gwneud nifer y pleidleiswyr yn llai, a'u bod oll mewn sefyllfaoedd mwy parchus, a chadw y dewisiad o afael pobl anwybodus a rhy isel eu sefyllfa. Cynnygiodd Syr Robert Peel am wneud hyny o gyfnewidiad yn yr Ysgrif; ond gwrthwynebodd Arg. John Russell ef â'i holl rym, ac areithiwyd yn egnïol o bob tu y ddadl; ac felly rhanwyd y Tŷ, a chafwyd

| | |
|---|---|
| O blaid Ysgrif Arg. J. Russell .... | 286 |
| O blaid cynnygiad Syr R. Peel .... | 266 |
| Mwy o blaid pum punt o Ardreth o | 20 |

Wedi hyny, ar gynnygiad Arg. J. Russell, Dygwyd i mewn Adroddiad am y penderfyniadau a wnaethpwyd y dydd o'r blaen mewn Eisteddfod ynghylch y Degwm yn y Werddon, ac fe orchymynwyd ar fod i'r Ysgrif sylfaenedig ar y penderfyniadau hyny gael ei dwyn i mewn i'r Tŷ gan Arg. J. Russell, ac Arg. Morpeth.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Meh. 15. Dygwyd i'r Tŷ Archiad oddiwrth un Roberts, yn dymuno cael caniattad i egluro dyfais o'i waith ei hun, drwy yr hon y gellir cadw cyrph meirw heb lygru am hir amser. Bydd hyn yn fuddiol i'r Meddygon sydd yn difynu cyrph i ddyben meddygol.

Dywedodd Arg. Brougham, er iddo ef, a miloedd o'i gyfeillion, gael eu siomi, drwy fethu cael eu hamcan i ben o gael cyfraith i ollwng y prentisiaid negröaidd yn rhyddion Awst nesaf, etto fod yn hyfryd ganddo allu hysbysu y bydd rhyw filoedd o honynt yn rhyddion y pryd hwnw, drwy ddyngarawl dueddfryd eu meistriaid: mae yr hyn a ymdrinwyd âg ef yn y Senedd o dro i dro ar yr achlysur wedi cael effaith dda iawn ar lawer o honynt.

Ar Awst 1, 1838, rhyddheir fel y canlyn:

| | | |
|---|---|---|
| Yn Antigua | ................ | 30,000 |
| Montserat | o 5 i.......... | 6,000 |
| Nevis | o 5 i.......... | 6,000 |
| Bermuda | o 4 i.......... | 5,000 |
| Barbadoes | ............... | 83,000 |

Hyny yw, fe ryddheir yr holl brentisiaid yn y lleoedd hyny. Ac oherwydd fod Barbadoes yn un o'r Sefydliadau ëangaf yn yr India Orllewinol, dywedai, ei fod yn dysgwyl y bydd i Jamaica hefyd ddilyn ei siampl rhagorol yn hyn. Fe ryddheir hefyd, ïe yn Jamaica, ar y dydd cyntaf o Awst nesaf fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| O'r rhai a elwir Non Prædials.. | 42,000 |
| ———————— Plant ........ | 36,000 |
| ———————— Manumissions.. | 22,000 |

Felly, heb un gyfraith o ryddhad, nac un awdurdod oddiwrth y llywodraeth, fe ryddheir y pryd hyny, ddau gant a deg ar hugain o filoedd o'r bobl dduon, sef chwaneg na'r drydedd ran o holl gaeth boblogaeth

Trefedigaethau Brydain fawr, a hyny o ewyllys da y meistriaid yn unig.

Heblaw hyny mae nifer y Caethion yn y Trefedigaethau perthynol i'r Goron, fel hyn:---

| | |
|---|---|
| Yn Guiana ................ | 79,000 |
| Mauritius .............. | 62,000 |
| Trinidad o 30 i ........ | 40,000 |

Tystiai ei Arglwyddiaeth y bydd iddo ef wneud ei oreu i gael y rhai hyny yn rhydd-ion hefyd.

*Tŷ y Cyffredin.* Meh. 14. Dygwyd Ysgrif y Rhyddfreiniaid mewn dinasoedd Bwrdeisiol drwy yr Eisteddfod. Dygwyd Ysgrif Carchariad am ddyled o Dŷ yr Arglwyddi, ac fe'i darllenwyd hi y tro cyntaf, ar ol cyfnewidiadau eu Harglwyddi yn y Tŷ arall.

Meh. 16. Dyg Arg. J. Russell Ysgrif Troseddwyr ieuainc i gael ei hystyried o flaen Eisteddfod y Tŷ. Cytunwyd âg amryw barth-ranau o honi, a phenderfynwyd ei hystyried ymhellach.

*Ffrwyth anaddfed.* Dylid bod yn ofalus iawn rhag bwyta ffrwythydd anaddfed yn y tymhor hwn ar y flwyddyn, yn enwedig Cloron (*Potatoes*) cynar, ac anaddfed. Mae bwyta ffrwythydd anaddfed yn y deyrnas hon yn dwyn afiechyd y cylla a'r colyddion, y Cholera Brytanaidd, &c. ar y trigolion i ryw raddau bob blwyddyn.

*Ffair Amwythig.* Mehefin 13. Gwerthid defaid tewion da cneifiedig am 6¼c. y pwys. Wyn am 20s. neu 24s. y pen, neu 7c. y pwys. Moch am o 3s. i 5s. y pen yn uwch na'r Ffair yn y mis o'r blaen. Gwartheg tewion, da, am o 6c. i 6½c. y pwys. Gwartheg a lloi am o 14 punt i 20 y pen. Cig moch (*Bacon*) am o 6¼c. i 6¾c. y pwys; a *Ham* am 7c. Caws o 40s. i 45s. y Cant, canolig o untu 50s. a'r goreu am 60s. y cant.

---

### CORONIAD Y FRENHINES.

Dydd coroniad y Frenhines Victoria yw dydd Iau, yr 28in o Mehefin. Mae parottoadau mawrion a chyffredinol yn cael eu gwneud drwy yr holl deyrnas erbyn y dydd nodedig hwn. Bydd yn ddiwrnod gwyl cyffredin ymhob man. Mae yn debygol na bu i un pen brenhinol erioed yn myned dan Goron Brydain, gyda mwy o serchawgrwydd a pharch, ac ewyllys da gan bawb, na phen ieuanc ein Hardderchog Frenhines.

Bydd y Frenhines ar ei heistedd yn y gadair Frenhinol wrth dderbyn y Goron. Bydd Swyddogion y Llywodraeth, ynghyd a'r Arglwyddi Tymhorol ac Ysprydol, fel y'i gelwir hwynt, yn sefyll yn eu lleoedd priodol yn nghyflawniad y gwasanaeth a'r seremoniau y coroniad, yn ol yr arferiad yn y deyrnas hon. Y Boneddigesau canlynol fyddant yn cyflawni dygiad llaesodreu y Frenhines, ac yn osgordd iddi:--- Y° Foneddes Adelaide Paget, Frances Elizabeth Cowper, Ann Wentworth Fitzwilliam, Mary Augusta Fredrica Grimston, Carolina Amelia Gordon Lennox, Mary Alethea Beatrix Talbot, Catherine Lucy Wilhelmina Stanhope, a Louisa Harriet Jenkinson.

Yma y canlyn ddarluniad o'r drefn y gwneir arwyddion o ymostyngiad i'w Mawrhydi, wedi dodi y goron ar ei phen. 'Wedi i'r Cynghor gael ei roi, y Frenhines a ddyd y Deyrnwialen a'r Groes yn llaw Arglwydd Maenol Worksop, i'w dal hwynt ar ei deheulaw hi, a'r Deyrnwialen a'r Golomen yn llaw Duc Richmond, i'w dal ar ei llaw aswy hi, dros amser cyflawniad yr arferiad Ymostyngawl. Yna yr â yr Archesgob ar ei liniau o flaen y Fenhines, a throsto ei hun a thros yr Arglwyddi Ysprydol ereill a adrodda eiriau yr Ymostyngiad, a hwythau ar eu gliniau o'i amgylch ef, ac yn adrodd y geiriau ar ei ol ef. Yna yr Archesgob a gusana law ei Mawrhydi, a'r Arglwyddi Ysbrydol ereill a wnant yr un modd, ac wedi hyny hwy a ymadawant.

Wedi hyny â Duc Sussex a Duc Cambridge i fynu grisiau yr orsedd, a diosgant eu taleithiau coronawg, ac a benliniant o flaen y Frenhines; Duc Sussex a adrodda eiriau yr Ymostyngiad, a Duc Cambridge a'u hadrodd ar ei ol ef; yna y naill Dduc ar ol y llall a gyffwrdd a'r Goron ar ben y Frenhines, ac a gusanant y foch chwith iddi, ac wedi hyny hwy a ymadawant.

Ar ol hyn, daw y Duciaid ereill ymlaen, Ieirll, ac Arglwyddi, a'r hynaf o bob gradd a adrodda eiriau yr Ymostyngiad, a'r lleill o'r un gradd a'u hadrodd ar ei ol ef, a phob Pendefig o'r un gradd, y naill ar ol y llall, gan gyffwrdd a'r goron ar ben y Frenhines, a chusanu ei llaw hi, ac yna ânt ymaith, y naill radd ar ol eu gilydd fel y darfyddont a'r seremoni.

Yn niwedd hyn, fe gymmer y Frenhines y ddwy Deyrnwialen o law Duc Norfolk a Duc Richmond. Ar hyd parhad yr arferiad hon o Ymostyngiad, bydd y Côr yn canu yr Anthem 'Dyma'r dydd a wnaeth yr Arglwydd,' &c. ac fe fydd Trysorydd Tŷ y Frenines yn lluchio oddiamgylch y Batheiniau y Coroniad, (*Medals of Coronation*).

---

*Milwyr yr India.* Dydd gwener Mehefin 15, ymdeithiodd y 78in Gadrawd o filwyr, newydd ddychwelyd o'r India, drwy ddinas Glasgow yn Scotland, gydag Elephant mawr dof o'u blaen hwynt, yr hwn a ddygasent gyda hwynt o'r India. Yr Elephant wedi ei wisgo mewn byddinwisg a ymdeithiai yn bwyllog a mawreddog o flaen y Perorion, tra y chwareuai y Cod-bibyddion Highland ar ei ol ef. Cododd aneirif o bobl allan i weled y Cadrawd milwraidd a'u blaenor pwyllys yn eu harwain drwy y dref.

*Dyn Lloerig.* Cododd rhyw ddyn i fynu o'r enw Syr William Courtenay yn nghymmydogaeth Canterbury, gan ddywedyd ei

fod ef yn dyfod yn Waredwr i'r tlodion, i'w gwaredu hwynt o afael Cyfraith newydd y tlodion, ac o afael pob tlodi; a'i fod ef wedi ei anfon gan Dduw i'r perwyl hyny. Dilynwyd ef gan liaws o bobl dlodion anwybodus, gan gymmeryd bob un ei bastwn anferth yn ei law i amddiffyn eu hunain, ac i ddial ar bwy bynag a'u gwrthwynebo, neu a gynnygio eu gwasgaru hwynt.

Cychwynodd Syr William a'i fintai arfog, o'r naill bentref i'r llall, galwent yn gyffredin yn nhai Ffermwyr, a galwai Cadpen y fyddin am fwyd iddo ef a'i wyr: ac yn mhob man rhoddid bwyd iddynt, faint a fynid, rhag eu hofn. Cysgent y nos, yn gyffredinol mewn Ysgubor. Ciniawent weithiau mewn tafarn, a thalai Syr William am eu bwyd, Ond o'r diwedd daethant hyd dŷ Fferm Mr. Curling, Bossenden: aeth rhai o weithwyr Mr. Curling oddiwrth eu gwaith i ddilyn y fyddin. Anfonodd Mr. Curling at Ynad Heddwch, a chafodd *warrant* i gymmeryd ei weision i fynu, a'u dwyn yn ol at eu gorchwyl. Aeth Swyddog, (*Constable*) ar eu hol hwynt, ac a ddaeth o hyd iddynt, ac a ddywedodd ei neges; saethodd Mr. Courtenay ef yn farw yn y fan. Wedi hyn, anfonodd yr Ynadon am filwyr o Canterbury i amddiffyn bywydau dynion rhag dinystr y fintai fileinig.

Daeth y milwyr, a nesasant attynt, yna Syr William a saethodd Mr. Bennett, llywydd y milwyr, yn gelain yn y fan. Yn ddioed saethodd un o'r milwyr yntau yn farw gelain. Diangodd y fileiniaid i'r Coed ger llaw, ac yno bu brwydr gyffredinol: lladdwyd deg, a briwyd llawer o honynt, a chymmerwyd y lleill yn garcharorion.

## BU FARW, YN 13 OED,

Mai 19, Jane merch Isaac a Mary Jones, Nantglyn, ac wyres i'r diweddar Barch. Peter Roberts, Llansanan; a chladdwyd hi y dydd Iau canlynol mewn bedd newydd yn y fonwent wrth y Capel. Yr oedd y dorf yn lliosog. Darllenodd Mr. Robert Davies, Dinbych, y 12 o'r Pregethwr, ac a weddiodd cyn cychwyn y corph. Dechreuwyd yr odfa yn y Capel gan Mr. John Foulkes, Abergele. Pregethodd Mr. J. Davies, Groes, oddiar 1 Thess. 4 A thraddododd Mr. M. Parry, Dinbych, araeth fuddiol iawn wrth y bedd. Ni welwyd, mae'n debyg, gladdedigaeth rhyfeddach, (ac ystyried oedran y ferch ieuanc,) mewn wylo dwys-doddedig: y pregethwyr felly, a'r bobl oll felly bron.

Yr oedd effeithiau gras yn rhyfeddol o amlwg arni; ei gwybodaeth o egwyddorion crefydd oedd helaeth, ei chydnabyddiaeth a'r Bibl oedd mor hynod, a phe buasai wedi byw driugain mlynedd yn ei ddarllen yn ddiwyd. Yr oedd gwaith achubol yr Yspryd mor amlwg arni ag ar Paul yr Apostol. Ei phrofiadau ysprydol oeddynt ëang a nefolaidd iawn, a llawn sicrwydd yn ei berarogl hyfrydaf ganddi. Synai pawb a'i clywai, a methodd y Pregethwyr dewraf ag atal dagrau yn ei chymdeithas, gan gynhesed ydoedd at Grist, ac mor ragorol y dywedai am dano, ynghyd a nefoleidd-dra ei hyspryd.

Un diwrnod gofynodd i'w mam, 'Fy mam, a oes rhyw arwydd y byddaf farw yn fuan?' Ar hyn daeth Mr. Davies, Groes, i'r llofft, a gofynodd yr un peth iddo yntau. Yntau gan ymaflyd yn ei braich wael, a ddywedodd, 'Gwaeledd mawr sydd yma, Jane bach.' 'Gogoniant,' ebe hithau, 'Y mae gwlad well yn nesâu.' Pan elwais inau yno ryw forau ddydd llun, gofynodd ei mam iddi am ba beth y dymunai imi weddio drosti. Hithau, â gwen siriol, a atebodd, 'Am faddeuant pechodau.' Wel, Jane bach, ebe finau, 'Nid oes genyt lawer o honynt.' 'Mewn anwiredd y'm lluniwyd,' ebe hithau, 'ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf.' Gofynais iddi wedi hyny, Pa bechodau a'i blinent fwyaf?' Pechodau fy meddwl,' meddai hithai. Ac yr wyt yn dawel, Jane bach, y gall Duw faddeu y cwbl i ti. 'Gall,' meddai hithau, 'faddeu y cwbl yn gyfiawn, ac am byth, oblegid 'Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf gan ei wneuthur yn felldith drosom.' Ychwanegodd gydag yspryd nefolaidd iawn nes methais a dal ychwaneg,

Esgyn a wnaeth i entrych Nê
I eiriol dros y gwan;
Fy enaid inau a dyn efe
I'w fynwes yn y man.

Y dydd Iau cyn ei marw, galwodd y Parch. Moses Parry i edrych am dani. Ac yn mysg pethau craill, gofynodd iddi: 'A ydyw yn dda genyt am Iesu Grist y dyddiau hyn, fy merch bach.' 'Melus odiaeth yw ei enau,' ebe hithau, 'Ië, y mae efe oll yn hawddgar.' Gofynodd iddi wedy'n, Pa un oedd oreu ganddi a'i marw a'i byw? Ei atteb tawel oedd, 'Yn y byd gorthrymder a gewch! ond yr ochor arall,

Aiff pob gwahanglwyf ymaith,
Glan fuddugoliaeth mwy;
Rwy'n canu wrth gofio'r boreu
Na welir arna'i glwy'.

Gan adael iddo ef gasglu pa un oedd oreu ganddi.

Yr hyn olaf a ddywedodd oedd, y dydd cyn ei marw, pan yn cwyno gan ei gwendid, 'ond, Mam bach, mae Iesu yma—mae Iesu yma, yn gryf i'm nerthu, er mor wan ydwyf.' Felly hunodd yn dawel ynddo y boreu dranoeth. A *chysgu* y mae'r eneth mewn gwely newydd wrth dalcen capel Nantglyn, a chyn wired a'i bod yn cysgu hi a fydd iach dragywyddol ar ei boreu y codi oddi yno.

Bwriedir cyhoeddi ei hanes gwerthfawr yn llyfryn bychan mor gynted ac y gellir, oblegid gwn y caiff lluoedd wledd wrth ei ddarllen.

*Abergele*, JOHN FOULKES.

# BARDDONIAETH.

## "POB PETH YN DDA."

*Ton,—"Ar hyd y nos."*

Mewn hyfrydwch 'rwy'n preswylio,
Pob peth yn dda.
Byrddau helaeth wedi 'u hulio,
Pob peth yn dda.
Trugareddau yn cylchynu!
A phob boreu yn chwanegu;
Mae fy Nuw i'w fawr ryfeddu,
Pob peth yn dda.

Os yn Nuw yr ymddiriedaf,
Pob peth yn dda.
Gwneyd fy Noddfa 'n y Goruchaf,
Pob peth yn dda.
Ar y llew a'r asp y cerddaf,
Cenaw llew, a'r ddraig a fathraf,
Bydd fy Nuw yn agos ataf,
Pob peth yn dda.

Yn y nos 'ddaw dim i'm dychryn,
Pob peth yn dda.
Saeth y dydd â heibio wed'yn,
Pob peth yn dda.
Rhag yr haint sy'n distaw rodio,
Gan ddinystrio 'r ffordd y cerddo;
Engyl nef sydd yn fy ngwylio,
Pob peth yn dda.

Cael cydwybod onest dawel,
Pob peth yn dda.
Darfod trystio arfau rhyfel,
Pob peth yn dda.
Yna ni bydd achos ofni
Afon angeu, wrth ei chroesi,
Ni bydd yno ond daioni,
Pob peth yn dda.

Os daw'r ddeddf a'i phur ofynion,
Pob peth yn dda.
Y mae Crist a'i Iawn yn ddigon,
Pob peth yn dda.
Er gorthrymder cas elynion,
Ac aflendid trwm fy nghalon,
Os ca'i 'ngolchi yn y ffynnon,
Pob peth yn dda.

Er bod dyfroedd Mara 'n chwerwon,
Pob peth yn dda.
A'r anial dir yn ddyrys ddigon,
Pob peth yn dda.
Os y golofn a'm harweinia,
Ar y rhiwiau serth mi gana',
Dof cyn hir i ben fy ngyrfa,
Pob peth yn dda.

Dŵr o'r Graig a'm disycheda,
Pob peth yn dda.
Sarph o Bres a'm hollol wella,
Pob peth yn dda.
Caf y manna yn arosol,
A grawn sypiau dyffryn Escol,
Ernes deg o'r Ganaan nefol,
Pob peth yn dda.

Duw â'i nerth a bartha'r moroedd,
Pob peth yn dda.
Dryllia ddreigiau y dyfnderoedd,
Pob peth yn dda.
Dihysbydda 'r ffrydiau cryfion,*
Hyllt yr afon ddofn a'r ffynnon,
Sycha waelod mawr yr eigion,
Pob peth yn dda.

* Psalm 76. 14, 15.

Nid oes perygl imi 'n ddiau,
Pob peth yn dda.
Gyda Llewod, Eirth, a Bleiddiau,
Pob peth yn dda.
Ac er byw mewn blin ofidiau,
Mil a mwy o gyfyngderau,
Gwelaf fryniau teg fy nghartrau,
Pob peth yn dda.

Caffael Iesu 'n rhan drag'wyddol,
Pob peth yn dda.
Pwyso f' enaid arno 'n hollol,
Pob peth yn dda.
Dyna gyfoeth mawr na dderfydd,
Dyna gysgod yn y 'stormydd;
Diogel ydyw Twr ein Dafydd,
Pob peth yn dda.

Ac yn nhrefn yr iachawdwriaeth,
Pob peth yn dda.
Cadw sydd o safn marwolaeth,
Pob peth yn dda.
Yma seiniaf fwyn Hosana,
Ac y canaf Haleluia,
Heb arafu 'i ben yr yrfa,
Pob peth yn dda.

Arfaeth fawr y Duw anfeidrol,
Pob peth yn dda.
A'r Cyfamod rhad trag'wyddol,
Pob peth yn dda.
Ethol Crist yn ben i'w eglwys,
I'w dyrchafu hi yn gymwys,
I bur rodfa y Baradwys,
Pob peth yn dda.

Agor ffordd i gadw'r euog,
Pob peth yn dda.
Rhoddi cyfoeth i'r angenog,
Pob peth yn dda.
Deddf y nef yn hollol foddlon,
A chyfiawnder gadd ei ddigon;
Iesu byth yn gwisgo 'r goron,
Pob peth yn dda.

RHISIART AP RHISIART.

---

### OCHENAID YR AFRADLON.

Galwaf, adyn gwrthgiliol,—a gwaeddaf
Mewn gweddi'n feunyddiol,
*O y man anymunol*
*O! fy Nuw tyn fi yn ol.*

Dïau fe wrandewir---weddi y gwael,
Iddo, gwn, egorir.
Cyn bedd fe allai cleddir,
Mewn iawn, fy meiau, yn wir.

Yr *eiriol sydd yr awrhon,---Iawn Iesu,*
*Mynwesol Dad tirion*
Yw dadl y mab afradlon---
Diliau hedd yw y ddadl hon.

*Bethesda.* OWEN.

Ni welodd llygad dyn er—ioed, Ni chlywodd clust o dan y rhod, Am neb cy——ffel—yb iddo Ef;

O Rosyn Saron hardd ei liw, Pwy ddatgan byth rinweddau'm Duw, Ef——e yw bywyd nef y nef.

Ddarllenwyr y Drysorfa a all hysbysu pwy gyfansoddodd yr *Aer* hwn, a pha bryd



# Y DRYSORFA.

RHIF. XCII.] AWST, 1838. [LLYFR VIII.

## BUCHDRAETH Y PARCH. STEPHEN HUGHES,

Un o'r Anghydffurfwyr, yr hwn oedd yn Weinidog yn Mydrim, Swydd Gaerfyrddin, Deheubarth Cymru.

Ganwyd Mr. S. Hughes yn Nghaerfyrddin, oddeutu y flwyddyn 1622. Ryw bryd wedi iddo gael ei fwrw allan o'r Eglwys wladol am naccau cydymffurfio yn y flwyddyn 1662, efe a ymbriododd â merch grefyddol o Swansea; a bu cynnysgaeth y wraig, ynghyd a'i chynnilwch, a'i diwydrwydd, o fawr gysur a chynnaliaeth iddo, er bod yn ddefnyddiol weddill ei oes, yngwinllan ei Arglwydd.

Pregethwr syml, trefnus, a serchiadol oedd efe, ac arferai wasgu pethau mawrion a phwysig crefydd yn ddwys at feddyliau ei wrandawyr. Anfynych y pregethai heb dywallt dagrau, ac aml y tynai ddwfr o lygaid ei wrandawyr. Efe a ymroddai i fyned i bregethu i gonglau tywyll ei wlad, ac i'r plwyfau lle nad oedd gan y bobl neb ond anwybodus *ddarllenwyr pregethau*, yn lle, a than rith, pregethwyr.

Yr oedd ei ddull pwyllog a bywiog yn ennill iddo fawr barch gan y rhai sobr o fawrion y wlad, drwy ffafr pa rai y cafodd efe yn fynych gyfleusdra i bregethu yn yr Eglwysydd plwyfawl, y rhai a lenwid o wrandawyr o bell ac agos pryd bynag y cyhoeddid ef i bregethu. Efe a bregethai yn gyffredinol ddwy waith ar y Sabbath, a mynych y marchogai wyth neu ddeng milltir rhwng pob odfa. Mynych yr arferai, mewn modd amlwg iawn, ddangos natur bechadurus a pheryglus anwybodaeth, ynghyd a buddioldeb, hawddgarwch, ac angenrheidrwydd gwybodaeth.

Efe a daer gymhellai benau teuluoedd i hyfforddi eu plant a'u gwasanaethyddion, a'r naill gymmydog i hyfforddi y llall; ac efe a fu yn achlysur i amryw ddysgu darllen Cymraeg pan oeddynt yn ddeugain neu ddeg a deugain oed, ac ychwaneg. Yr oedd yn wladgarwr nodedig; ac er nad oedd gan iddo nemawr yn dyfod i mewn, yr oedd yn hynod o haelionus ac elusengar. Efe a gyhoeddodd amryw lyfrau Cymraeg ar ei draul ei hun, ac ymysg ereill, 'Gwaith prydyddawl Mr. Rees Pritchard, Ficcar Llanymddyfri,' yr hwn sydd yn cynnwys swm y dyledswyddau cristionogol mewn cynghanedd Gymraeg. Fe fu y llyfr hwn o'r hwn yr argraffodd amryw argraffiadau, yn achlysur i lawer o gannoedd o Gymry anllythyrenog, ag oeddynt yn hoff o ganiadau, ddysgu darllen yr iaith Gymraeg.

Fe fu Mr. Hughes hefyd yn cynnorthwyo i ddiwygio argraffiad o'r Bibl Cymraeg, yr hwn a gyhoeddodd Mr. Gouge; ac fe fu yn gynnorthwyol i gael llawer o danysgrifiadau at gael yr argraffiad hwnw o'r wasg, yr hwn oedd yr argraffiad mwyaf cywir yn yr iaith, pryd yr ysgrifenwyd hyn o hanes gan Mr. Palmer.

Cyhoeddodd Mr. Hughes hefyd gyfieithiad Cymraeg o 'Ymarfer Duwioldeb'—'Galwad i'r Annychweledig, gan Baxter'—'Yn awr neu byth, gan Baxter'—'Alleine ar Gywir Ddychweliad'—'Llwybr Hyffordd i'r Nefoedd.' Ac yn niwedd y rhan fwyaf o honynt, efe a chwanegodd yr Egwyddor Gymraeg, i fod yn gyfarwyddyd i'r Cymry i ddysgu darllen.

Yr oedd efe yn annogaethol iawn i Bregethwyr a Christionogion ieuainc. Yr oedd yn wr didramgwydd a gostyngedig yn ei ymarweddiad, ac fe'i hoffid yn gyffredinol. Ond ei weinidogaeth, yr hon yn gyffredinol oedd yn deithiol, a'i wrandawyr yn lliosog, a barai iddo gael ei gasâu gan yr Offeiriaid, y rhai oedd yn ystyried eu hunain yn 'geidwaid agoriadau gwybodaeth.' Hwy a'i condemniasant ef mewn llysoedd Eglwysig, ac a'i traddodasant i ddwylaw y llys gwladol, yr hwn a'i dododd ef yngharchar yn Nghaerfyrddin, ac yn y caethiwed hwn efe a goll-

odd ei iechyd i raddau mawr, ac a fu mewn perygl o golli ei fywyd hefyd. Ond, fe ryngodd bodd i'r Arglwydd drwy drefn nodedig rhagluniaeth ddoeth, roddi iddo ryddhad.

Efe a arferai, ar bob achlysur, ymddyddan yn rhydd â'r bobl am achos eu heneidiau; ïe, y rhai y dygwyddai gyfarfod â hwynt. Pan fyddai amryw bobl ynghyd, efe a gymhwysai ei ymddyddan at ryw un o honynt, a phan welai efe y cyfryw un drachefn, efe a ofynai beth a fyddai efe yn ei gofio o'r hyn a ddywedasai efe wrtho y tro diweddaf y gwelsai efe ef. Efe a fu yn offerynol i ddychwelyd llawer i'r ffydd, ac i'w dwyn i'r iawn allan o fagl y diafol. Meddyliodd llawer fod ei fawr lafur wedi effeithio ar ei iechyd, ac fe allai, wedi bod yn offerynol i fyrhau ei einioes hefyd.

Mynych y dangosodd efe yn ei fywyd fod yn beth o fawr bwys ar ei feddwl, ac aml a thaer fyddai ei weddiau ar Dduw, am iddo gael y fraint o feddiannu ei synwyrau yn awr angau, rhag iddo mewn un modd ddywedyd dim yn ddrwg am grefydd yn ei gyfyngder. Llawer gwaith y clybuwyd ef yn gweddio ar yr achlysur hwn, gan ddywedyd, 'O Arglwydd, cofia ni pan fyddom yn nghyfyngderau angau, ac na âd ni i ni ein hunain, i'th ddianrhydeddu di yn ein munudau olaf.'

Fe ryngodd bodd i'r Arglwydd wrando ei weddiau; canys efe a orphenodd ei yrfa, gyda mawr dawelwch meddwl, ynghylch y flwyddyn 1687. Wedi iddo drefnu ei dy, rhoddi cyfarwyddiadau ynghylch yr Eglwys i'r hon yr oedd efe yn Weinidog, canys yr oedd ganddo gynnulleidfa lled liosog o Eglwys; yna efe a droes ei wyneb at y pared, ac a roddodd i fynu yr yspryd, ac efe a fu farw ynghylch 65 oed.—*Nonconformists Memorial.*

### ANGHYDFFURFIWR ARALL YN SWYDD GAERFYRDDIN

Mr. William Jones, o Cilmaenllyd. Efe a fwriwyd allan o'r Eglwys wladol, drwy Gyfraith yr Unffurfiaeth, yn y flwyddyn 1662. Wedi hyny, oherwydd fod yr amseroedd mor flinion, a phenaethiaid yr Eglwys a'r wladwriaeth mor erlidgar, fe'i dodwyd yn ngharchar yn Nghaerfyrddin am bedair blynedd. Pan ydoedd yn y caethiwed hwn efe a newidiodd ei farn am fedydd, ac efe a drodd yn *Baptist* zelog, ac a fu felly hyd ddiwedd ei oes. Ac wedi iddo gael ei ryddhau, efe a ddaeth yn bregethwr enwog yn mhlith y Bedyddwyr, ac a fu yn offerynol i sylfaenu yr Eglwys yn Rhydwillim, yr hon a ddaeth yn Fam-Eglwys y Bedyddwyr, yn y Gymmanfa Dde Orllewinol. Fe ffurfiwyd yr Eglwys hono gan dri ar ddeg ar hugain o aelodau, yn y flwyddyn 1668. Ac yn amser y Chwyldroad, cynnwysai 113 o aelodau, ymhlith y rhai yr oedd naw neu ddeg o Weinidogion; un o honynt oedd Mr. Jenkins, tad Mr. Jenkins o Walworth, gynt.

### ANGHYDFFURFIWR ARALL YN YR UN SIR.

Mr. David Jones. Efe a gymmerodd lawer iawn o drafferth i argraffu a thaenu ar led y Bibl Cymraeg. Pan oedd Argraffiad Mr. Gouge allan o Argraff efe a gyhoeddodd argraffiad arall, ac a daenodd ar led ddeng mil o honynt. Efe hefyd a argraffodd Gatecism y Gymmanfa yn Gymraeg ddwy waith, hefyd y Cywir Ddychwelwr, a Gwaith Rees Pritchard, yr hen Buritan, y rhai a fuont o les mawr yn Neheudir Cymru. Efe a gafodd gynnorthwy haelionus yn y gorchwylion daionus hyn gan Arglwydd Wharton, ac amryw wyr mawr ereill, ac hefyd gan Weinidogion a Dinasyddion Llundain. Ond er ei fod yn llafurio i wneuthur daioni i eneidiau ei gyd-genedl, efe a gyfarfu â llawer o rwystrau a gwrthwynebiadau. Gorchymynwyd ei ysgymuno ef o fynwent ac Eglwys.

### UN ARALL O'R ANGHYDFFURFWYR YN Y SIR HONO.

Mr. James Davies, Gweinidog yr Efengyl yn Merthyr Tydfil. Un o'r Sîr Faesyfed ydoedd efe o ran ei enedigaeth. Efe oedd wr gostyngedig a llariaidd; yr oedd yn ysgolhaig da, ac efe a gafodd ei ordeinio yn rheolaidd yn yr Eglwys wladol. Wrth anghydffurfio, efe a fwriwyd allan o fywioliaeth dda, ac heb ddim ganddo i ymddibynu arno am ei gynnaliaeth ond gofal rhagluniaeth y Goruchaf.

Am ryw hyd, efe a gynnaliodd ei hun a'i deulu drwy gadw Ysgol, a mynych y pregethai yn rhad yma ac acw ar hyd y wlad. Wedi hyny, efe a aeth yn Weinidog i gynnulleidfa o Ymneillduwyr yn y rhan isaf o Sîr Aberteifi, ac ymhen uchaf i Sîr Benfro, a hyny ar ganol amser poethder erledigaeth, yn gystal ag ar amser t[illegible]lach. Yr oedd yn astudiwr llafurus,

ac felly yn cynnyddu mewn gwybodaeth a dysgeidiaeth ar hyd ei oes. Yr oedd yn hynod o garuaidd yn ei ymddygiad tuag at bawb o ddilynwyr yr Arglwydd Iesu. Fe fu ei lafur gweinidogaethol yn fendith i lawer, canys ei bregethau oeddynt sobr, eglur, a serchiadol. Efe a aeth drwy lawer o orthrymderau yn hynod o amyneddgar; ac yn y diwedd efe a fu farw yn gysurus, a bu galar mawr ar ei ol gan bawb a'i hadwaenai.

ANGHYDFFURFIWR ARALL O'R UN SIR.

Mr. Rice Prytherch. Ganwyd y gwr hwn ar ddydd gwyl St. Paul, efe a ordeiniwyd ar y dydd hwnw, ac efe a fu farw ar yr un dydd gwyl, peth go hynod oedd hyn. Gwr o dalentau helaeth oedd efe, ac yr oedd ei ledneisrwydd yn gydraddol. Efe oedd Athraw yr Ysgol fwyaf enwog yn y parthau hyny, ac efe a ddyg i fynu ysgolheigion mawrion, y rhai a fuont wyr defnyddiol mewn gwlad ac Eglwys.

Gwnaeth Dr. Thomas, Esgob Ty Ddewi, gynnygiadau haelionus iddo os gwnai efe gyd-ffurfio; ond naccâu a wnaeth efe. Yr oedd efe yn bregethwr effeithiol, a deffrous. Ac fe fendithiodd Duw ei weinidogaeth i fod yn lles i eneidiau lawer. Efe a fu farw yn y flwyddyn 1698. Ychydig cyn ei farwolaeth, efe a ddywedodd wrth ei gyfeillion, fod ei einioes ef wedi bod yn einioes o ryfeddodau. Y dydd y cymmerwyd ef yn glaf yr oedd ganddo gyfarfod yn ei dy ei hun; ac wedi iddo ddarfod ei wasanaeth, efe a ganodd yn iach i'r bobl mewn dull cyfeillgar. Efe a ddywedodd wrth un o honynt ei fod yn teimlo ei hun yn sâl, gan ddymuno arno ei gynnorthwyo i fynu y grisiau i'w lyfrgell, lle yr oedd ei wely; ar yr hwn y gorweddodd i lawr, ac ni ddywedodd air mwyach.

## Rhagoriaethau y Bibl.

YR EPISTOL CYNTAF AT Y CORINTHIAID

Corinth ydoedd brif-ddinas Achaia, talaith o hen dir Groeg, a'r enwocaf o'i holl ddinasoedd; yn rhagori ar bob un arall yn mawr-wychedd ei hadeiladau cyhoeddus, helaethder ei masnach, a chyfoeth ei thrigolion. Eu dysgeidiaeth a'u cywreinrwydd oeddynt gyfartal odidog, a'r ddinas ydoedd yn cael ei galw, 'Goleuni holl dir Groeg,' ac 'Addurn Groeg.' Y Corinthiaid nid oeddynt yn llai hynod am lygredigaeth eu moesau, a'u drygfucheddiad penrhydd ydoedd yn ddiareb; etto casglwyd eglwys efengylaidd yn eu plith trwy weinidogaeth Paul, yr hwn a lafuriodd yn eu plith gyda gradd helaeth o lwyddiant dros yn agos i ddwy flynedd, Actau xviii. Mae yn ymddangos fod yr eglwys hon yn lliosog, ac yn rhagori yn nodedig am ddoniau ysprydol: etto, trwy halogrwydd erchyll moesau yn eu dinas, ac uchelgais rhyw athraw cyfeiliornus, proffeswyr Corinth oeddynt wedi eu harwain i lawer o annhrefn. Yr epistol hwn a ysgrifenwyd O. C. 57, o ddeutu dwy flynedd ar ol i'r apostol eu gadael; y dyben o hono ydoedd ddeublyg. Yn gyntaf, i ddiwygio eu hanmhriodolderau, trwy iachau eu hymraniadau, trwy eu hynnill i sancteiddrwydd efengylaidd, a thrwy sefydlu athrawiaeth yr adgyfodiad. Yn ail, boddloni eu hymofyniadau ar amrywiol byngciau yn nghylch pa rai yr ysgrifenasent at yr apostol; yn enwedigol mewn perthynas i briodas, bwydydd wedi eu hoffrymu i eilunod, a doniau ysprydol.

Mae yr epistol yn rhanedig i un-arbymtheg o bennodau, ac yn cynnwys chwech o brif ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn cynnwys arweiniad i mewn i'r epistol, gyd â golygiad cyffredinol ar athrawiaethau a rhagorfreintiau yr efengyl, fel yr ydoedd wedi ei derbyn gan y Corinthiaid, yn cael ei osod i lawr gyd a golwg ar eu hadeiladaeth, pen. i.—iv. Yn y dosparthiad hwn dylem nodi, 1. Y cymmeriad mae yr apostol yn tystiolaethu mae efengyl yr iachawdwriaeth trwy aberth Crist, yn gael gan wahanol nodweddiadau—gan anghredinwyr golygid hi yn ffolineb, gan gredinwyr yr ydoedd yn cael ei chyfrif yn allu a doethineb Duw, pen. i.

2. Yr angenrheidrwydd datganedig o'r Yspryd Glan yn ei ddylanwadau goleuol a sancteiddiol, i barotoi calon dyn i dderbyn gyd a serchiadau priodol bethau Duw, pen. ii.

Dos. II. Sydd yn cynnwys ceryddon a chyfarwyddiadau er symmud ymaith yr amrywiol dramgwyddiadau a'r llygredigaethau, gyd â pha rai yr oedd rhai o aelodau yr eglwys hon yn ei gwarthruddo, pen. iii.—vi. Y matterion mwyaf hynod yn y dosparthiad hwn ydynt, y rhybuddion, mewn perthynas i losgach, putteindra, ac ymgyfreithgarwch, pen. v. vi.

Dos. III. A gynhwysa yr ystyriaeth o'r gofyniadau a osodwyd ger bron yr apostol gan y Corinthiaid, pen. vii.—x. Y pethau mwyaf neillduol o nodedig ydynt,

1. Y cyfarwyddiadau ynghylch priodas, a dylanwad cristionogaeth ar gyflwr gwladol credinwyr, pen. vii.

2. Yn nghylch cig anifeiliaid yr hwn a aberthid i eilunod, pen. viii.

3. Hawl gweinidogion yr efengyl i gynhaliaeth haelionus am eu llafur, pen, ix.

4. Yr adolygiad mae yr apostol yn gymmeryd o wrthryfel Israel, gyd â'u cospedigaeth fel rhybudd i gristionogion yn gyffredinol, pen. x.

Dos. IV. Sydd yn cynnwys addysgiadau ynghylch dull gwragedd yn addoli yn gyhoeddus, derbyniad gweddaidd a moesol o swper yr Arglwydd, a dyben ac ymarferiad doniau ysprydol, pen. xi.—xiv. Yn y dosparthiad hwn y pethau mwyaf nodedig ydynt,

1. Y cyfarwyddiadau er coffâd priodol a deallus o aberth ein bendigedig Iachawdwr, yn yr ordinâd o swper yr Arglwydd, pen. xi.

2. Addysgiadau ynghylch deisyfu ac ymarferyd y doniau ysprydol anghyffredinol, er sefydlu yr eglwysi cristionogol cyntefig, pen. xii. xiv.

3. Ardderchogrwydd rhagorol y grasau cristionogol, ffydd, gobaith, ac yn enwedig cariad, uwchlaw yr holl ddoniau gwyrthiol, pen. xiii.

Dos. V. Sydd yn ymdrin yn helaeth ar yr athrawiaeth o adgyfodiad y credinwyr yn Nghrist, pen. xv. yn y dosparthiad hwn y pethau mwyaf hynod ydynt,

1. Y profion amrywiol a lliosog o adgyfodiad Crist, fel blaen ffrwyth a sicrwydd o adgyfodiad y credinwyr, adn. 1—34.

2. Dull adgyfodiad y credinwyr, adn. 35—49.

3. Dull-newidiad i ogoniant y rhai hyny a fyddant byw yn nyfodiad Crist, adn. 50—55.

4. Defnydd ysprydoliadol athrawiaeth yr adgyfodiad i gristionogion, adn. 56—58.

Dos. VI. Sydd yn terfynu yr epistol; gyd â chyfarwyddiadau ynghylch casgliad i'r saint yn Ierusalem; addewid o ymweled a hwy; canmoliaeth amryw o weinidogion; a chyfarchiadau at amryw o aelodau yr eglwys, pen. xvi.

*Cyfeiriadau yn 1 Corinthiaid.*

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Pen. i | 19 | Esa xxix 14 | Pen. x | 5 | Num. xiv 29—32 |
| | 20 | xliv 25 | | 6 | xi 4—34 |
| | 30 | Ier. xxiii 5, 6 | | 7 | Exod. xxxii 6 |
| | 31 | ix 23, 24 | | 8 | Num. xxv 1—9 |
| iii | 11 | Esa. xxviii 16 | | 9 | xxi 6 |
| | 19 | Iob v 13 | | 10 | xiv 37. xvi |
| vi | 2 | Dan. vii 22 | | | 49 |
| ix | 7 | Deut, xx 6 | | 18 | Lef. iii 3. vii 15 |
| | 10 | xxv 4 | | 20 | Deut. xxxii 38 |
| x | 1 | Exod. xiii 21 | xv | 3 | Esa. liii |
| | | xiv 24 Ps. cv 39 | | 4 | Ps. xvi 10 |
| | 3 | Exod xvi 15 | | 54 | Esa. xxv 8 |
| | | —35. Neh. ix 20 | | 55 | Hos. xiii 14 |
| x | 4 | Exod. xvii 6 | | | |

## RHAGOROLDEB LLYFR Y PSALMAU.

Syr,—Yr wyf yn dymuno cyflwyno i'ch sylw, gyfieithiad o Ragymadrodd a roddir i lyfr y Psalmau, mewn Bibl Saesoneg o argraffiad hen iawn, (er y flwyddyn 1602) yr hwn sy'n rhoddi disgrifiad godidog o'i gynnwysiad.

*Caerlleon.* IOAN MECHAIN.

Mae Llyfr y Psalmau i'w brisio a'i gyfrif fel y trysor gwerthfawroccaf, yn mha an y cynnwys yr oll sy'n perthynu ac yn arwain i wir ddedwyddwch, yn y bywyd presennol a'r hwn a ddaw. Oblegid yn hwn y mae cyfoeth a golud gwybodaeth achubol a doethineb nefol yn cydgyfarfod, ac mae yn cynnwys rhyw helaethrwydd rhyfeddol o honynt.

Os mynwn wybod am hanfod, anfeidroldeb, a mawrhydi y Duwdod, yma cawn ei weled yn ymdisglaerio ac yn pelydru gyd â'r prydferthwch mwyaf, ac yn yr amlygiadau mwyaf gogoneddus. Os ewyllysiwn chwilio i mewn i ddirgelwch ei ddoethineb ef, yr hon sydd uwchlaw gwybodaeth, ac yn annirnadadwy; dyma yr athrofa a'r ysgol er ein cyfarwyddo yn hyny. Os dymunwn wybod am ei radlonrwydd ef, a dynesu atto, a chael ein llenwi â'r trysorau sydd ynddo, yma ni a gawn archwaeth fywiol a hyfryd o'r hyn sy'n deilliaw o hono. Os chwenychwn wybod yn mha, ac ar ba beth y sylfaenir ein hiachawdwriaeth, y modd a'r drefn i gyrhaedd meddiant o fywyd tragywyddol, yma ni gawn ddatguddiad o'r Messiah, fel ein hunig Iachawdwr a'n Gwaredwr. Yma gall y cyfoethog wybod beth yw gwir gyfoeth, ac yma gall y tlawd gael modd i lenwi ei ddymuniad. Yr hwn sy'n ymestyn am lawenydd a gollir wybod

am y gwir lawenydd, a'r modd i barhau ynddo.

Gall y cystuddiedig, y profedig, a'r gorthrymedig weled yn eglur y man lle tardd dyddanwch a chysur iddynt, ac fel y dylent glodfori a bendithio yr Arglwydd am ei ddaioni tuag attynt, yn anfon gwaredigaeth iddynt rhag pob rhyw berygl. Caiff yr annuwiolion a holl erlidwyr plant Duw weled fod llaw yr Arglwydd yn eu herbyn yn wastadol; ac er iddo oddef iddynt ffynu am dro, er hyny, nis gallant gyffwrdd hyd yn oed â gwallt pen ei blant, heb ei ganiattad ef; a'n diwedd fydd yn eithaf truenus, ac yn ommadwy i drag'wyddoldeb. Yn fyr. Mae y llyfr hwn fel twr cadarn ac ardderchog, ynddo mae diddosrwydd rhag hudoliaethau peryglus y byd, lloches rhag blinderau a gofidiau sy'n aflonyddu y meddwl, a noddfa rhag poenau annhraethol y gydwybod, ac ynddo ceir physygwriaeth a meddyginiaeth rhag pob rhyw anhwyldeb ac afiechyd. Gan hyny, trwy adnabyddiaeth ac ymarferiad parhaol â'r pethau sydd ynddo, gallwn benderfynu y nerthir ni i wrthwynebu yr holl anhawsderau a'r profedigaethau a ddichon ein cyfarfod yn y bywyd presennol, a chael yr hyfrydwch o fyw mewn mawr dawelwch yn ofn a chariad Duw, fel yn y diwedd, gwedi i gnawd a chalon ballu, y cawn dderbyn cyflawn feddiant o anniflanedig goron y gogoniant, sydd ynghadw i bawb a garant ymddangosiad ein Harglwydd Iesu Grist.

---

## LLYTHYR XI.

*Oddiwrth hen Weinidog yr Efengyl at ei fab, ar ddechreuad ei Weinidogaeth.*

Peth o bwys etto sydd deilwng o'th ystyriaeth, ac a ddylai enill dy feddyliau yn aml yn eu cylch, yw, *rhoi adolygiad mynych, manwl, a chywir ar ansawdd crefydd ac achos Crist yn y wlad, y genedl, y deyrnas, a'r byd yn gyffredinol.* A oes arwyddion fod y Brenin ymhlith ei eiddo, fel y gogoniant yn y deml; a ydyw 'Mab y dyn yn rhodio ynghanol y saith ganwyllbren aur, ac yn dal y saith seren yn ei law ddeheu?' Nis gwn yn iawn pa fodd y gallwn farnu hyn, na pha reol i'w chynyg at y gwaith, am fod ein gwybodaeth mor fach, a'n golwg mor fyr; ni welwn fawr o bellder oddi wrthym. Ond mi gynygiaf ychydig o nodau anmherffaith wrth ba rai y gelli gael ychydig o fantais i farnu. Wrth sylwi ar hanesyddiaeth eglwysig, ni a ganfyddwn nad ydyw achos Duw yn darfod o'r byd, ond yn hytrach ar gynydd, er yr oesoedd boreuaf hyd yn awr; er hyny cawn fod y Durtur nefol yn cymeryd ei hedfan yn hollol allan o lawer gwlad lle y bu yn peraidd ganu gynt; a bod y canwyllbren wedi ei symud o lawer ardal; a bod amryw Eglwysi a phleidiau a fuont yn enwog gynt, erbyn heddyw ddim amgen na mam putteiniaid. A buddiol iawn ydyw i'r rhai sydd yn tybied eu bod yn sefyll edrych na syrthiont. Yn awr wrth it olygu hyn, *Pa beth a feddyli? A yw y crefyddwyr yn yr oes hon, yn gyffredin drwy y wlad, a chymaint o ol llaw Ysbryd Duw arnynt, ac mor sanctaidd ag ydoedd crefyddwyr yr oes o'r blaen?* Adwaenem rai gynt ag yr oedd crefydd yn blodeuo yn eu traed a'u dwylo: pe cawsent eu hamddifadu o'u tafod, buasai eu sancteiddrwydd yn llefaru yn eu hymarweddiad.

Mae yn wir fod y gwynt yn lled ystormus yn chwythu ar eu gardd, a thrwy hyny fod y peraroglau yn cael eu gwasgaru; ond etto mae saint yr oes hon wedi eu geni o'r un Ysbryd, ac yn meddu ar yr un tueddiadau ysbrydol; y maent o archwaeth ysbrydol, gan wrthod pob halogedigaeth, ac yn llawen dderbyn yr hyn sydd er cryfhad i fywyd ysbrydol, gan 'chwenychu didwyll laeth y gair, fel y cynyddont trwyddo ef.' Y maent a llygaid ysbrydol. 'Gan edrych nid ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir.' Y maent yn arogli arogl peraidd ymhethau Duw, 'enaint tywalltedig yw ei enw' iddynt, ac am hyny y maent yn ei garu. Y mae ganddynt glust ysbrydol, 'y mae fy nefaid i yn gwrando ar fy llais.' Y mae eu traed hefyd felly, 'A hwy a'm canlynant i.' Yr oedd yr Israeliaid yn dilyn y golofn er cymaint ydoedd tröadau y ffordd: 'efe a'u harweiniodd hwynt ar hyd ffordd union i'r ddinas gyfaneddol.' Cyflawn ddilyn ydoedd nodweddiad Caleb.

Mewn claddedigaethau ar hyd y wlad, yn gyffredin ceir gweled estroniaid yn tori tros y caeau os bydd y llwybr yn nes, ond bydd cyfnesaf y corph yn canlyn yr elor. Felly mewn crefyddwyr estronol i Grist,

hwy dorant ryw lwybr unionach os bydd y ffordd gyfreithlon yn cwmpasu llawer; ac ofnaf fod hyny yn cynyddu yn yr eglwysi.

*Un* ffordd a drefnodd Crist i grefydda; ond 'hwy a chwiliasant allan *lawer* o ddychymygion.' Ac os digwydd i'r priodfab aros yn hir heb ddyfod yn ei ymweliadau, buan yr hepiwn oll, ac yr hunwn. Ac mae breuddwydio yn beth cyffredin iawn i gwsg. Odid hefyd y bydd i neb ddechreu pendwmpian gyda chrefydd na bydd yn syrthio i ryw freuddwyd euraidd. Ac ystryw satan ydyw sïo dynion i gyflwr cysglyd, ac yna eu twyllo trwy freuddwyd. A phan y delo dyledswyddau crefydd yn faich, yna, fe'n anrhegir â theganau er ein twyllo; ond pe buasem yn effro a bywiog buasem yn canfod yr ystryw. Onid dyma yw desgrifiad llawer yn ein hoes o grefyddwyr.

Etto, ***beth wyt yn ei farnu, a yw y pregethwyr a'r gweinidogion sydd yn codi yn bresenol yn meddu ar ddigon o addurn er dy orchfygu i farnu a chredu, eu bod o anfoniad pen yr Eglwys?*** A ydwyt yn medru eu llyngcu, neu ynte a oes gormod o geingciau arnynt? Nid ydwyf hoff o'r bobl a draflyngcant bob peth y funud y gwelont hwynt ychwaith, canys rhai difarn a disynwyr ydynt. Dylai fod genym ryw geli yn ein meddyliau er profi gwrthrychau, oblegid mae llawer o greaduriaid gwynion heblaw defaid; a llawer peth melyn heblaw aur. Mae yn anghyfiawn hefyd gwrthod neb yn ein barn ar yr olwg gyntaf arno, oblegid yna caem golled am lawer Moses, am na fedrai lefaru yn groew. Mae yn digwydd bod weithiau i oes o bregethwyr gael ymddangos bron i gyd o'r un stamp, felly gwelir ymhlith rhai enwadau, a gwaith anhawdd yw canfod ond ychydig yn eu plith nad oes rhyw aelod diffygiol neu yn ormod yn perthyn iddynt. Yr oedd manylrwydd nid bychan i'w arfer yn nerbyniad rhai i swydd offeiriadol; a thebyg genyf fod y cysgodau hyny yn rhyw gyfarwyddyd i adnabod gweinidogion cywir dan oruchwyliaeth y Testament Newydd. Wrth ddarllain dammeg y gwr a blanodd winllan, Math. 21, 33. cawn fod ei pherchen yn anfon gweision mwy ac anrhydeddusach y naill ar ol y llall; ac meddwl yr wyf fod lle i bleidiau crefyddol a gwledydd ddychrynu os yw eu prophwydi a'u pregethwyr yn myned yn ychwaneg o wehilion nag y buont gynt. Ond llawenhaed Sion mewn gobaith, oblegid cyn pen hir, 'bydd y llescaf o honynt fel Dafydd, a thŷ Dafydd fydd fel Duw.'

Drachefn, ***Pa beth a feddyli, a oes argraff, delw, ac ol yr Efengyl ar y wlad yn gyffredinol?*** Gwir fod gwrando cyffredinol ar yr Efengyl, a llawer o gynniwair, ond, a yw gwybodaeth fuddiol a sylweddol yn amlhau? Yr un haul a galeda y clai ac a dawdd y cwyr. Mae yr un Efengyl yn arogl bywyd i un, ac yn arogl marwolaeth i'r llall. Ac fe ddichon hefyd fod ei swn a'i goruchwyliaeth yn pereiddio ac yn moesoli un wlad ac oes, pan y byddo gwlad ac oes arall yn caledu oddi tani. Pan fyddo gwlad yn caledu dan yr Efengyl, y mae yn argoel amlwg ei bod yn addfedu i farn. Beth? bod cyfreithiau yn cael eu llunio yngholeu Efengyl ag sydd warth iddi? bod gweithredwyr anwiredd yn cael eu hadeiladu, a'r rhai sydd gas ganddynt Dduw eu dyrchafu? fod pechodau rhyfygus, gwarthus, a ffiaidd yn cael eu mynych gyflawni a bron a myned yn arferiad? fod gwrandawyr mynych yr Efengyl yn medru mor fynych ymddifyru mewn ysgelerder? cyrchu i'r addoldai a chyrchu i dŷ'r buttain bob yn ail? Cyfeiliornadau erchyll a pheryglus yn cael eu meithrin o dan rith cydwybod rydd, a bod Eglwys Dduw heb yr un tafod i lefaru yn eu herbyn? Ei gwilиedyddion yn ddeillion, a'i gweinidogion yn gwn mudion heb fedru cyfarth? Nis gall y pethau uchod fyw nac anadlu pan y byddo Duw yn amlwg, a'i weision yn effro a gwyliadwrus; ond megir hwynt, a thyfant megis mewn gwrtaith ynghlaearineb, cwsg, a difaterwch gweision y Brenin. Ac os unwaith y canfyddir hyn mewn Eglwys a gwlad, priodol fydd ysgrifenu 'Ichabod' ar y lle, 'y gogoniant a ymadawodd o Israel.'

Anwyl Blentyn, mae y pethau yn syml; mae fy enaid yn llewygu, mae dagrau bron rhwystro fy ysgrifell; rhag i Brydain fawr ei breintiau fyned yn nod cywir i'r desgrifiad. Os ymddiddenir â'r hen seintiau, o'r braidd na ddywedant yn groew mai felly y mae. Bod yr Eglwys yn bresennol wedi colli ei phurdeb a'i santeiddrwydd, a'r proffeswyr wedi myned yn ffurfiol ac nid profiadol. A'r pregethwyr a'r gweinidogion ddim amgen

nag eiddilod, wrth y rhai gynt. Ac y mae yr hen seintiau hyn yn debyg i'r hen bobl gynt wrth adeiliadu'r ail deml; yn wyneb pob diwygiad ac adgyweiriad sydd yn peri i'r ieuengctyd lawenhau, wylo y maent hwy. Ac mae hyn bron yn ddigon i ddigaloni rhai ieuaingc ystyriol i ddisgwyl gweled gwawr ar achos Crist yn eu hoes. Wel, mae meddwl am enwogrwydd, disgleirdeb, a rhagoroldeb dawn efengylaidd y cedyrn sydd wedi cadw noswyl bron yn ddigon i beri i ni fyned at y gwaith anhycianol o'u crafu o'u beddau: ac nis gwn, pe hiraeth am Samuel enwog a fuasai yn annog Saul i fyned at y ddewines, na buasai ei bechod yn llai, ac yn haws cyd-ddwyn âg ef.

Ond etto, fel sylfaen dadleuaeth â'r hen bobl, byddaf yn arfer a thaeru mai nid eu henwogrwydd yn unig yw gwreiddyn eu hiraeth. Ond fod un peth arall yn peri hyny, sef mai y rhai gynt ydoedd y gweinidogion trwy ba rai y credasant hwy; Mai hwynt hwy fu yn offerynol o'u hadgenhedlu; ac mai yr hen brophwydi hyn oedd y gweision a'u dyweddiodd hwynt 'fel morwyn bur i Grist;' ac am hyny nid rhyfedd fod eu serch attynt a'u parch iddynt mor fawr. Ac hefyd, fod yr enwogion gynt yn debyg i ganwyllau yn llewyrchu ar noswaith dywyll, i'w canfod o bellder ffordd, pan y bydd tân mwy pan y delo ychydig oleuach ddim i'w ganfod mor eglur. Mae cynnifer o ser yn goleuo yn bresennol, a'r wawr mae yn debyg mor agos, nid hawdd iawn gweled rhyw ragoriaeth rhyfeddol ynddynt fel yr amser pan ydoedd yn nes i hanner nos.

Etto, fachgen, dyro di a'th gydweision glust i'w hymresymiad, oblegid mae yn debyg fod llawer o bethau wedi myned i lawr gyda'r hen dadau, y buasai mor dda eu cael, ag ydoedd i Eliseus gael mantell Elias. Dywed haneswyr fod llawer o bethau ar ol yn yr ail Deml, ragor y gyntaf, nid amgen na'i haddurniadau penaf. Yn eu plith mae'n debyg fod yr Arch a'r drugareddfa yn cael edrych arnynt o gymeriad mawr; etto ar goll yn yr ail Deml; ac yr oedd côfarwyddion nodedig eraill wedi eu gosod yn ymyl yr Arch, Heb. 9. 4. sef y crochan aur a'r manna ynddo; Gwialen Aaron; a llechau y cyfamod yn gyfan ynddi. Yr arch a'r drugareddfa oedd canolbwynt, sylfaen, a chalon holl addoliadau seremoniol yr Iuddewon; a phe buasai dim ond hyn yn unig yn eisiau yn yr ail Deml, buasai yn ddigonol o reswm i'r hen bobl wylo. Oh! nis gwn pa fodd i fyned ymlaen; gobeithiaf na welwn byth y golled yma yn yr eglwysi. Yr oedd yr Arch o appwyntiad Duw; a phan collwyd hi, i ba le y troent eu hwyneb am drugaredd? Gadawaf i ti fyfyrio. Yr ail beth oedd ar goll ac yn destyn wylo i'r hen bobl, ydoedd y *Shecinah*, neu yr arwydd o'r presenoldeb dwyfol, hwn oedd gwmmwl gwreichionllyd, goleu, ac amlwg, yn gorphwys ar y drugareddfa. Gofynaf etto, a yw presenoldeb Duw yn ei dŷ mor amlwg ac anwadadwy ag y gwelwyd ef amser yn ol? Hefyd, yr oedd yn eisiau (er testyn galar) yn yr Ail Deml, yr *Urim* a'r *Thummim*; trwy y rhai hyn yr ymofynid ac y ceid cyngor Duw ar fatter o bwys. Rhoddid atteb eglur a pherffaith drwy y rhai hyn, a byddai eu gwirionedd bob amser yn ddiamheuol. A oes rhai yn ein dyddiau ni yn gwisgo yr *Urim* a'r *Thummim*? yn derbyn atteb gan Dduw yn achos ei eiddo?

Peth arall oedd yn eisiau yn yr ail Deml ragor y gyntaf ydoedd y Tân Sanctaidd, yr hwn a ddaeth o'r nefoedd. Yr amser cyntaf o'i ddyfodiad oedd ar allor y Tabernacl pan yn cysegru Aaron a'i feibion i'r offeiriadaeth, Lef. ix. 24. Ac mae yn debyg iddo gael ei adnewyddu ar gysegriad Teml Solomon, 2 Cron. vii. 1. Nid cyfreithlon ydoedd arfer un tân arall i losgi yr Aberthau, ac fe ddug Duw dystiolaeth i hyny pan yr yswyd Nadab ac Abihu am arfer tân dieithr, Lef. x. 1, 2. Ac yn y symmudiad i Babilon, cawn fod hwn hefyd wedi colli. A phwy byth allasai gael tân o'r un natur yn ei le? Gofynaf etto, pa le y mae y tân a'r gwres nefol oedd yn yr Eglwys ddyddiau yn ol? Dywedir hefyd fod ysbryd y brophwydoliaeth wedi colli yn yr ail Deml; er nad yn hollol ar ei chysegriad, oblegid yr oedd Haggai, Zechariah a Malachi yn fyw ar ol iddi gael ei hadeiladu, a hwy a brophwydasant yn ei hamser hi; eithr ar eu marwolaeth, yr hyn medd y Rabbiniaid a ddigwyddodd yn yr un flwyddyn, collwyd ysbryd y brophwydoliaeth yn hollol o'u plith. A chyda hyny, ac mae yn debyg mai nid y lleiaf o'r holl bethau ag oedd yn fyr yn yr ail Deml ydoedd olew yr enneiniad, â'r hwn y cysegrid y Brenin, yr Arch-

offeiriad, a holl lestri sanctaidd tŷ Dduw. A bod hwn yn eisiau yn yr ail Deml, yr oedd felly, mewn eisiau o'r unig beth ag ydoedd yn sancteiddio pob peth arall perthynol iddi.

Wele, fy Mab, pa le yr ydym ni? Mae yma ryw fanteision i ymholi; fe haera yr benafgwyr fod y pethau hyn ar goll—swyddwyr, a phethau, heb yr enneiniad—ychydig yn deall cyfrinach Duw—y tân ar goll o'r ordinhadau. Os adwaenost ardal, plaid, neu Eglwys, a'r darluniad yn gymwys iddi, ofer iddynt geisio dynwared; y maent yn gogwyddo i anghyfanedd-dra. Ond etto rhag digaloni seintiau ieuaingc, mae genym brophwydoliaeth o'n tu, 'Bydd mwy gogoniant y tŷ diweddaf hwn na'r cyntaf, medd Arglwydd y lluoedd.' Am hyny, parotown ffordd yr Arglwydd, a gwnawn yn uniawn ei lwybrau ef, a phrysured Angel y cyfamod i w Deml. Anwyl fab, ffarwel, dyma fi ar dewi wedi hir lefaru: gobeithiaf nad ydyw dy amynedd wedi pallu, 'Edrych arnat dy hunan, ac ar yr holl braidd, ar y rhai y gosododd yr Ysbryd Glan di yn olygwr.' Mae effeithioldeb dy waith yn ymddibynu llawer ar ragoroldeb dy nodweddiad. Yr oedd Herod yn adnabod ac yn ofni Ioan, ac wedi iddo ei glywed ef, 'efe a wnai lawer o bethau, ac a'i gwrandawai yn ewyllysgar.' Ond y dyn o nodweddiad drwg, ni fyn argyhoeddi eraill; y mae fel y Doctor a esgeulusa drin clwyf un arall am fod yr un anaf arno ef ei hun. Ac nid pell etto, *fy anwyl fab*, yw nodweddiad dy deulu gartref; dylai hwn fod yn ddarlun o'r hyn y mynit i deuluoedd eraill fod; ni bydd dy waith yn anog crefydd deuluaidd i eraill, ddim amgen nag achosi chwerthiniad os na bydd dy deulu dy hun yn gynllun ac yn engraifft. Heb hyn bydd dy wrandawyr anghariadus yn ddigon ysgrythyrol i gofio, 'Os na fedr un lywodraethu ei dŷ ei hun, pa fodd y cymer efe ofal Eglwys Dduw?'

Hefyd, *blentyn anwyl*, cofia fod yr oll o'th waith i gael ei gwblhau mewn zel a chariad. Y mae zel ei hun yn niweidiol a pheryglus; ac mae cariad ei hunan yn esmwyth. Gwir yw nad yw cariad yn rhoi tramgwydd; ond etto, nid yw yn gwneud llawer o ddaioni; 'Cariad a guddia liaws o bechodau,' er hyny dylid edrych na byddo hyn yn lluddias zel i argyhoeddi am y pechodau hyny. Ym hellach, cofia trwy y cwbl am arfer trefn a rheoleidd-dra. Mae hyn yn gwasanaethu i heddwch a thymer dda. Y mae hefyd yn arddangos arafwch ac ysbryd digyffro. Mae y dyn heb drefn bob amser mewn ffwdan. Y mae trefn yn enill amser: fe fedr y dyn rheolaidd a threfnus gyflea mwy o'r hanner o bethau mewn llestr, a chyda mwy o ddeheuder hefyd, na dyn annhrefnus. Gwneud dim ond un peth ar unwaith; gofala na byddo gormod o heiyrn yn y tân. Rhaid i mi bellach dynu at ddibenu. Wrth edrych dros fy llythyrau, gwelaf fod ynddynt lawer o destynau galar a digalondid gan mor fyr ydym o atteb i'r rheol, ac mor annhebyg i'r portreiad. Ond gyda dy siars fawr a'th alwedigaeth ehang a manwl, na fydded i ti ddigaloni er dim. O bosibl dy fod yn barnu fod dy Feistr yn attal oddiwrthyt bethau ynghyflawniad dy swydd, ag y bernit ti yn fuddiol eu cael; cofia ei fod ef yn Hollwybodol yn gystal ag yn Hollalluog; ac mae Hollwybodaeth yn gweled yn rhesymol attal yr hyn a allai Hollalluawgrwydd ei gyfrann.

Hefyd, nid ydwyt bob amser i sugno dy gysur oddiwrth bethau a ymddangosant yn gysurus. Digon siriol yw cael cynnulleidfaoedd lliosog i'n gwrando. Ond yr oedd Simon yn swynwr a'i wrandawyr yn lliosog, ac a'u coel arno gan ddywedyd, 'mawr allu Duw yw hwn.' Ond disgwyl di bresenoldeb Duw; rhydd hyn enwogrwydd ar gynnulleidfa fechan, ac a symud arswyd y gynnulleidfa fawr. Na sugna gysur oddiwrth dy ddoniau; er nad yw hyn yn erbyn deisyf y doniau goreu, ac ymdrechu am roi cynnydd ar bob dawn; etto cofia fod Baalam yn meddu ar ddawn ymadrodd anarferol.

Etto, nid llwyddiant a ddylai fod sylfaen dy gysur; nac ychwaith dy aflwyddiant yn ddigonol achos it ddigaloni. Dywed Crist y bydd llawer yn dyfod yn y dydd hwnw, ac yn haeru iddynt fwrw allan gythreuliaid, a gwneuthur gwyrthiau lawer yn ei enw, a bydd iddo yntau addef wrthynt nad adnabu hwynt erioed. Ofer dybiodd y disgyblion mai eu gwaith yn peri i ysbrydion drwg ufuddhau iddynt oedd i fod yn sylfaen eu llawenydd; ond Crist a ddywed am iddynt lawenhau yn hytrach 'am fod eu henwau

yn ysgrifenedig yn y nefoedd.' Ond un o brif byngciau ein cysur yw, ein cywirdeb a'n ffyddlondeb yn traddodi ein cenadwri. Pan anfonodd y Brenin ei was i alw y rhai a wahoddasid, ni cheryddir ef am na fynent hwy ddyfod.

Ac felly, bydded hyn wrth dy feddwl dithau bob odfa, am 'iawn gyfranu gair y gwirionedd;' traddodi y weinidogaeth a gefaist; cyflawni y swydd a ymddiriedwyd i ti; ac yna gelli orphwys mewn tawelwch, a gadael y canlyniad yn llaw Duw. Rhyw bregeth tebyg i rai eraill oedd pregeth Pedr ar ddydd y Pentecost, a'r llall yn nhŷ Cornelius hefyd; nid oedd yr effeithioldeb yn neheurwydd Pedr, eithr yn nerthol allu Duw yn cydfyned â'i air. 'Nid yw yr hwn sydd yn planu ddim, na'r hwn sy'n dyfrhau, eithr Duw yr hwn sy'n rhoi'r cynydd.'

Fy mab, bydd wych, bydded it fod yn offeryn yn ei law ef, ac yn gorn hwrdd wrth ei enau ef. Ydwyf, dy anwyl Dad, dy gydymaith mewn llafur, a'th ostyngedig gydwas yn yr Efengyl,

PASTOR SENIOR.

*Diwedd Llythyrau Hen Weinidog at ei fab.*

---

RHAGWYBOD DRYGFYD EI HILIOGAETH YN FELLDITH I CAM.

"A Noah—a ddywedodd, Melldigedig fyddo Canaan, gwas gweision i'w frodyr fydd."—Gen. ix. 25.

Fe wagddadleu anffyddwyr ynghylch y "felldith hon," oherwydd ei bod yn syrthio ar hiliogaeth y troseddwr, *Cam*, mab Noah. Ac amddiffynwyr crist'nogaeth yn gyffredin fuont foddlon i atteb, y gall Rhagluniaeth, a'i bod hefyd, yn ymweled â phechodau y tadau ar y plant. Ond, onid ydyw yn hawdd dirnad, wrth edrych yn ofalus ar yr ymadrodd, fod y wagddadl a'r atteb yn gyffelyb o'r nailldu neu y llall i'r nod? O herwydd fe syrthiodd y felldith ar y troseddwr yn ei berson priodol ei hun. Pa beth bynag fuasai cymeriad Cam, ni allasai drygioni y Canaaneaid *beidio* bod yn ddygn-flinder iddynt. Ni *weinyddwyd* y truenus gaethwasanaeth ar y bobl hyn o herwydd camwedd eu tad; ond eu caethwasanaeth a *ragddywedwyd* fel cospedigaeth ar eu hynafiad. Pe buasai Cam yn ddyn da a chyfiawn, fe allasai gael arbed y rhagolwg o gyn gymaint trueni. Mae yn dda i heddwch tad nad ydyw yn gwybod pa beth a ddioddef ei feibion am eu hannuwioldeb mewn amser i ddyfod. Milton wnai Adda yn gwaeddi allan,—(*Cyfieithiad Dr. W. O. Pughe o hono*)—

O ragweledig dremiau syn!
Yn y blaen na chwilied neb
Am hyn â ddelo iddo ef neu'r blant;
Yw ceugant iddo drwg, na rwystra ei
Ragwybod chwaith; ac efe nid llai y drwg
A fydd á deimla o amgyffred nog
O sylwedd yn ofidus lwyth.—*Coll Gwynfa, Can.* xi. 770.

Yr oedd yn wobrwy i Sem a Iapheth am eu dyledus anrhydedd i eu tad, i wybod y byddai eu duwioldeb hwy gael mewn modd eu fytholi i eu hiliogaeth; a melldith Cam a Chanaan oedd eu rhag-hysbysu y byddai eu hiliogaeth yn gaethion annedwydd. Fel hyny y sythiodd y fendith a'r felldith ar benau y rhai a'u haeddent hwy.—*Scripture Difficulties Examined, by W. Carpenter.*

---

NERTH A THRUGAREDD YN EIDDO'R ARGLWYDD.

"Unwaith y dywedodd Duw, clywais hyny ddwywaith; mai eiddo Duw *yw* cadernid. Trugaredd hefyd *sydd* eiddot ti, O Arglwydd: canys ti a deli i bob dyn yn ol ei weithred."—Psalm lxii. 11, 12.

Methodd yn mron bob argraffiad, cyfieithiad, a sylwad, medd Dr. A. Clarke, synwyr ac arwyddoccâd yr adnod hon, oddieithr rhai o'r hên argraffiadau. Cynnygia y Doctor y cyfieithiad canlynol o'r adnod flaenaf: 'Unwaith y dywedodd Duw; y ddau beth yma gefais I glywed.' Ond pa beth ydyw y ddau beth a glywodd y Psalmydd? 1. *Ki az le alehim*, 'Mai eiddo'r Arglwydd ydyw nerth;' hyny yw efe ydyw *y dechreuad o nerth.* 2. *Velach adoni chesed*, 'ac i ti, Arglwydd, y mae trugaredd;' hyny yw, efe ydyw *y ffynonell o drugaredd.* Yna y rhai hyn ydyw y *ddau* wirionedd ardderchog y rhai a ddatgana y *gyfraith*, ie, yr holl *ddadguddiad* o Dduw, drwy bob dalen. Efe yw yr *Hollalluog*, efe yw y *mwyaf trugarog;* ac yna y *casgliad*, y Duw galluog, cyfiawn, a santaidd, yr Arglwydd mwyaf trugarog a thosturiol, *a farna y byd* yn y man, ac *a dâl i ddyn yn ol ei weithredoedd.*

Pa fodd y bu yr ystyr ardderchog hwn, ('chwanega'r Doctor) yn anweledig gan yn mron bob cyfieithydd, sydd anhawdd i'w ddweud; ond cynwysa yr adnodau hyn un

o'r gwirioneddau mwyaf addysgiadol yn y Bibl.—*Scripture Difficulties Examined by W. Carpenter.* Cyf. CEPHAS, *Abermaw.*

---

TALFYRIAD O BREGETH

*Mr. Owen Williams, Towyn Meirionydd, yn Ruthin, Meh.* 26, 1838.

"Sancteiddrwydd a weddai i'th dŷ, O Arglwydd, byth."—Psal. 93. 5.

Sulw I. Fod yn nhŷ yr Arglwydd bob beth sydd yn eisiau i'w wneud yn dŷ diogel a chysurus.

II. Pa beth sydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd? Sancteiddrwydd.

III. Pa ham mae sancteiddrwydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd bob amser, a byth?

IV. Y perygl a'r canlyniadau o oddef llygredigaeth, a cholli sancteiddrwydd, yn nhŷ yr Arglwydd.

V. Ymha bethau mae sancteiddrwydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd.

1. Mae yn angenrheidiol tu ag at wneud tŷ diogel, ei fod wedi ei sylfaenu yn dda. Mae tŷ Dduw wedi ei adeiladu ar Berson Crist, ei Iawn a'i aberth ef.

2. Peth angenrheidiol i wneud tŷ yn ddiogel ydyw iawn gyssylltiad y meini â'u gilydd ac â'r sylfaen. Mae llawer adeilad wedi dyfod i lawr o achos angywreindeb yr adeiladwr; ond mae hyn yn berffaith yn Nghrist, mae y saint oll mewn undeb â'u gilydd, ac â'u pen mawr Crist: am hyny mae yn anmhosibl i'r tŷ yma syrthio.

3. Peth angenrheidiol tu ag at wneud tŷ yn ddiogel ydyw, bod tô ddigon diogel uwch ei ben i gadw ystormydd draw. Mae tô digon diogel uwch ben tŷ yr Arglwydd na ddaw byth un diferyn o ystorm oddiuchod yno byth, sef 'Gwaed Iesu ei Fab ef.'

4. Peth angenrhediol i wneud tŷ cysurus ydyw bod cyflawnder digonol o ffenestri arno i ollwng goleuni yr haul i fewn. Nid oes un tŷ yn y byd a chymaint o ffenestri arno ag sydd ar dŷ yr Arglwydd: mae cynnifer o ffenestri arno ag sydd o adnodau yn y Bibl.

5. Peth angenrheidiol i wneud tŷ yn gysurus ydyw bod cyflawnder digonol o fwyd ynddo i'r teulu. Nid oes dim prinder bwydydd yn nhŷ yr Arglwydd; mae yno wledd o basgedigion, pasgedigion breision a gloywwin puredig: mae yma win a llaeth. Yma mae y bara a ddaeth i waered o'r nef, a dwfr o'r graig (sef Crist.)

6. Peth angenrheidiol i wneud tŷ cysurus a diogel ydyw, bod ynddo bob math o feddyginiaethau i bob clefyd, a bod yno feddyg i ddeall pob clefyd, ac i'w feddyginiaethu. Mae hyn i'w gael yn nhŷ yr Arglwydd. Mae Crist yn deall pob clefyd, mae yn abl i'w feddyginiaethu hefyd.

7. Hefyd, bod digonedd o wisgoedd gwychion a glanwaith: peth anghysurus iawn ydyw rhy fychan o wisgoedd. Os ydych am wisgoedd glanwaith, yn nhŷ yr Arglwydd mae ymofyn am danynt.

8. Drachefn, bod tân ynddo: peth anghysurus iawn ydyw bod mewn tŷ heb dân. Mae hi yn anghysurus iawn yn nhŷ Dduw pan fyddo y tân bron diffodd. Os ydych am i dŷ yr Arglwydd fod yn gysurus, gweddiwch am i'r tân o'r nef barhau i gynneu ynddo.

II. Pa beth yw y sancteiddrwydd sydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd. Edrychwn yn gyntaf, pa beth yw llygredigaeth sydd yn nhŷ yr Arglwydd; a pheth hollol groes i hyny ydyw sancteiddrwydd. Llygredigaeth y galon, gelyniaeth dyn yn erbyn Duw. Llygredigaeth y fuchedd, ydyw anufudd-dod i'w air. Sancteiddrwydd yn y galon, egwyddor o gariad at Dduw. Sancteiddrwydd yn y fuchedd, ydyw ufudddod parod ac ewyllysgar i'w holl eiriau ef.

III. Paham mae sancteiddrwydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd bob amser, a byth?

1. Anfeidrol sancteiddrwydd natur Duw a osododd y tŷ.

2. Anfeidroldeb a mawrhydi ac ardderchawgrwydd a goruchelder Duw yn galw am sancteiddrwydd yn y tŷ.

3. Nid oes gan Dduw ddim ond un tŷ i fyw ynddo byth. Nid oes ganddo un tŷ ar werth; ond mae ganddo un tŷ wedi ei brynu â gwerth mawr, nad oes modd ei adbrynu yn ol; am hyny mae sancteiddrwydd yn gweddu i dŷ'r Arglwydd.

IV. Y perygl a'r canlyniadau o oddef llygredigaeth, a cholli sancteiddrwydd, yn nhŷ yr Arglwydd.

1. Mae yn peri i'r Arglwydd gilio oddiwrtho a thynu ei bresennoldeb oddiwrtho: y golled fwyaf i dŷ Dduw ydyw colli presenoldeb Duw.

2. Tra bo llygredigaeth yn y tŷ, mae ei elynion yn colli eu parch atto.

3. Mae perygl o oddef llygredigaeth a cholli sancteiddrwydd yn peryglu bywyd

tragwyddol y rhai sydd etto heb eu hachub.

V. Ymha bethau mae sancteiddrwydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd.

1. Mewn athrawiaeth: pregethu'r athrawiaeth yn ei phurdeb.

2. Mewn calon ac mewn buchedd: mewn calon, cariad at Dduw; mewn buchedd, ufudd-dod i'w air.

3. Mewn disgyblaeth.

Gan mai sancteiddrwydd sydd yn gweddu i dŷ yr Arglwydd yna pa faint mwy yn y nefoedd?

*Llanbedr.* GWRANDAWR.

---

CYMDEITHASFAAU.

Mr. Cyhoeddwr,—Yr wyf yn anfon i chwi fras gofnodau o'r ymdriniaeth a'r ymddiddan a fu yn y Wyddgrug a Llanrwst, ar Gybydd-dod. Gan adael ar ol yr ychydig gofnodau o'r ymddiddan a fu yn Nghyfarfod y Llefarwyr yn y Wyddgrug. Fe allai y cyfleir ychydig o hanes *Association* y Dref Newydd gan ryw un oedd yn bresennol.
Wyf yr eiddoch, J. FOULKES.

*Abergele, Gorph.* 2, 1838.

---

COFNODAU CYMMANFA Y WYDDGRUG,
Hydref, 1837.

Cyfarfod y Llefarwyr, am 10 y dydd cyntaf. Sylwyd fod gwaith y weinidogaeth mor fawr, a goruchel, ac ysprydol, a bod angen cynnorthwyon atto, uwchlaw pob gwaith arall yn y byd. Ni wna y gwybodaethau enwocaf yn y byd mo'r tro at y gwaith hwn. Y mae angen *eglurhad* yr Yspryd a nerth atto.

Cyfarfod am 8 ar gloch, yr ail dydd. Gofynwyd, beth a wneir i rhai sydd ar ol yn pleidio Dirwest? oblegid fod hyny yn achlysur i lawer ymddyrysu gyda'r achos hwn. Attebwyd, pe coeliai dyn duwiol fod ei fod ef yn achlysur o feddwdod ac anghymmedroldeb, ni byddai un diwrnod heb fod yn aelod o'r Gymdeithas Ddirwestaidd.

Y mae gan y rhai sydd ar ol yn hyn, lawer o esgusodion, megis gwaeleddau yr areithiau, &c. &c. Ond beth sydd genym y gallwn honi perffeithrwydd ynddo? diameu mai ein gwaith ni yn esgeuluso a agorodd y drws i ryw rai ddyfod i flaenoriaeth gyda yr achos hwn yn gyhoeddus, y buasai well genym eu bod yn llai felly. Dylai y rhai sydd yn petruso, ei gymeryd yn fatter gweddi, oblegid y mae y peth i'w weled yn amlwg o Dduw; ac os oes rhai am gael yr egwyddor o'r byd, ei chymeryd yn fatter gweddi fyddai oreu iddynt hwythau, sef am gael Duw i'r maes yn ei herbyn. Rhaid, debygid, mai un o ddau beth yw yr achos na ymunai pawb â'r Gymdeithas, naill ai *blys* dirgelaidd am y diodydd meddwawl, neu ynteu yspryd chwyddiedig, na fynant blygu wedi dechreu ymgyndynu.

Ond nid yn erbyn meddwdod yn unig y mae ein milwriaeth i fod, y mae llawer o bechodau eraill yn drygu yr Eglwys, ac yn digio Duw; ac un o honynt yw cybydd-dod, yr hwn sydd bechod nad oes ond ychydig iawn o ddywedyd yn ei erbyn. Cybydd-dod sydd fai anhawdd iawn ei adnabod, ymrithiai fel y diafol ei hun yn bob peth bron ond efe ei hun. Eilunaddoliaeth ydyw, ac eilunaddoliaeth mor ofnadwy ag addoli Juggernaut ei hun. Fe allai y gwrthddadleuai rhai nad yw y Cybydd cynddrwg eilunaddoliaeth, oblegid mae yn y galon y mae y Cybydd felly,—eilunaddoliaeth yn y galon yw y gwaethaf gan Dduw. Sylwyd, sef, 1 Ei fod yn gynnwysedig mewn, caru arian, caru y byd. Caru arian fel dyben ac nid fel moddion, a'u caru fel moddion i gyraedd dybenion drwg. Dylem garu arian fel moddion i ogoneddu Duw, a lleshau dynion. Ond y bai ydyw, caru arian fel dyben; h. y. er mwyn arian, a'r parch a ddeillia oddiwrth hyny.

Cam olwg, a gau farn am arian sydd yn peri eu caru felly, oblegid nid yw arian ynddynt eu hunain na da na drwg. Dyma ddechreuad cybydd-dod, a hon yw ergyd bellaf cybydd-dod, sef caru arian er mwyn arian. Y mae arian fel dwfr i'r cybydd nofio bron i bob drwg, ac y mae dynion sychedig am gyflawni pechodau eraill, oll yn ddynion cybyddlyd, oblegid eu bod yn caru arian fel moddion at gyraedd hyny. Ac os ydym yn mhell oddiwrth Dduw a Christ, yr ydym i raddau yn ddynion cybyddlyd.

2. Awyddu yn orwyllt, ac ymgyraedd yn ormodol am y byd, fel yr arwydda yr enw, *ymgdu.* Syched am fwy o'r byd nag a welodd yr Arglwydd yn dda roi o hono, nes arfer moddion drwg i'w gael, megis twyll, celwydd, a gorthrymder; ymgyraedd am dano nes drygu eraill wrth hyny, megis *cydio maes at faes.* Dyn a chanddo fodd i fyw yn gysurus yn ei ddyddyn, a chanddo

ychydig wrth gefn, a hwnw yn cymmeryd tyddyn arall at y llall, ac yn gwybod ar y pryd fod rhyw un agos atto yn methu cael tyddyn, ac y gallai ei drin er mwyn bywioliaeth. Neu fasnachwr galluog yn ymledu yn ei fasnach, dan esgus gwneuthur daioni i'r wlad, na wnaethai mo hono, ond fod hyny yn ffordd iddo fe gael mwy o'r byd, ac amryw yn y wlad yn cael eu nychu ganddo trwy hyny. Y *spring* gywir i gasglu arian ddylai fod 'fel y byddo ganddo beth i'w gyfranu i'r hwn y mae angen arno;' er mai ychydig sydd yn gwneuthur felly. Os na bydd dyn yn ystyried mai un yn derbyn ydyw, ac yn gyfrifol am yr hyn a fwynha, sef i Dduw, bydd yn gybydd gwnaed a fyno.

'*Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch.*' Y mae mor ddrwg, fel nad oes bron ddim drwg na ddaw allan o hono, hyd yn nod '*cyfeiliorni o ran y ffydd.*' Y mae llawer o arwyddion cybydd-dod yngwaith dynion nid yn unig o gasglu i fewn, ond o roi allan hefyd, er nad yw disgyblaeth eglwysig yn ymaflyd yn union gyrchol. Y mae cysylltiad rhwng ariangarwch a hunangarwch, a'r ddau yn groes i'r ddeddf.

Y mae y drygau a achlysura cybydd-dod yn rhai dychrynadwy. Sef yn

1. Peri i Dduw ddigio ac ymguddio, 'Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais,' &c. Esay 57. 17. Par i Dduw ddigio wrth berson, a chynulleidfa o ddynion yn enwedig os erbyd y gynulleidfa y pechod ofnadwy hwn. A rhyfedd fod Duw heb ymguddio yn llwyrach oddiwrth ei gynulleidfaoedd y dyddiau hyn, oblegid fod llawer o arwyddion lleol o gybydd-dod lleol i raddau mawr iawn. Gwelir hyny yn nyled y Capeli mewn llawer man. Dyled, lle na buasai raid ei bod, oni buasai cybydd-dod. Rhoddion dyddim eraill at waith yr Arglwydd, a'u profant yn gybyddion, oblegid y gallent roddi yn helaethach atto; ond nid yw eu rhoddion yn gyfartal i roddion rhai tlotach na hwy. Y mae hyn o'i oddef yn temtio Duw i ddigio ac ymguddio oddi wrthym.

2. Tynu melldithion ar had y cybydd. Hen felldith yn rhedeg ar yr eppil. Y mae ambell un yn gwneuthyr Duw yn *Drustee* i'w blant, ac yn ei gael felly, a bendith yn disgyn arnynt; pryd y mae melldith hen gybydd-dod yn diferu i gwpannau had y cybyddion.

3. Achlysuro gofidiau ac ymrysonau mewn eglwysi. Llawer gwaith y cyfododd ymryson rhwng perthynasau naturiol, a brodyr crefyddol, oblegid cariad at y byd, yr hyn a ddibenodd mewn ymrafaelion a rhwygiadau; yr hyn ni fuasai, oni buasai tra serch at y byd hwn a'i olud.

Dybenwyd gan ohirio y Sylwadau hyd Gymdeithasfa Llanrwst, yn Ionawr, 1838.

---

COFNODAU CYMDEITHASFA LLANRWST,
*Ionawr*, 1838.

Yn y cyfarfod 10 ar gloch, y Pregethwyr a'r Blaenoriaid ynghyd. Rhoddwyd gair o annogaeth i gadw tŷ glân i'r Arglwydd, oblegid mai sanctaidd ydyw Ef, a glân yw Yspryd Duw. 1 Pedr i. 16. Eph. i. 13. a iv. 30. Wedi golchi budreddi, a charthu y gwaed ymaith y ceir cwmmwl a mwg yn dô ar y Babell. Esay iv. 4. Y mae graddau mawr o hyn yn y wlad trwy lafur y Gymdeithas Ddirwestaidd, ac mewn mannau, y mae gwén y Goruchaf ar ei achos mawr yn y canlyniad i hyn; ac ymhlith y dirwestwyr y mae yr achub y dyddiau hyn gan mwyaf yn y wlad. Diameu fod llawer o ddrygau eraill i ymosod yn eu herbyn, ac un calonogiad mawr yw fod arwyddion o foddlonrwydd yr Arglwydd ar yr ymosodiad hwn yn erbyn meddwdod.

Annogwyd i wilio a gweddio rhag unrhyw yspryd dieithr gyda hyn. Rhag dyfod o satan i mewn yn rhith angol y goleuni, a gwneuthur mwy o niweid nag a wnaethai meddwdod. Y mae yn angenrheidiol gofalu ar fod y rhai a annoger i lefaru o blaid dirwest yn rhai crefyddol, ac ar fod yr holl gyfarfodydd areithio, a chanu, a'r cwbl yn cael eu dwyn yn mlaen dan olygiad henafgwyr crefyddol, o leiaf na byddo y rhai hyny ddim yn esgeulus o fod yn ofalus am yr achos drwyddo. Penderfynwyd annog yr holl ddirwestwyr i arfer pob tiriondeb tuag at y rhai nad ydynt yn ddirwestwyr, ac annog y rhai nad ydynt ddirwestwyr i fod yn ddystaw ar bob cyfrif, rhag cablu yr achos, ac os na byddant ddystaw, fod yn rhaid ymwrthod â hwy fel swyddogion eglwysig, ac fel athrawon yn yr Ysgol Sabbathol.

Yna trefnwyd y cyfarfodydd dyfodol, &c. yr hyn nid yw yn angenrheidiol ei goffau yma.

2 ar gloch, Cyfarfod i Athrawon, &c. yr Ysgol Sabbathawl. Sylwyd fod cynydd rhifedi deiliaid yr Ysgolion Sabbathawl yn hyfrydol iawn, ac yn llawenydd mawr i rhai sydd yn cofio pryd nad oedd Ysgolion Sabbathawl. Sef gweled y dechreuad bychan wedi cynyddu mor ddirfawr. Wele y dorf hon o athrawon wedi dyfod i'r Ysgol Sabbathawl, yn wrandawyr yr Efengyl, ac yn ddirwestyr, gobeithiwn; ond a ddaethoch yn ddigon pell, o gyrhaedd y llid a fydd, a'r digofaint sydd ar ddyfod, i'r arch, i'r noddfa, sef i Grist Iesu, yr unig fan rhag damnedigaeth? Etto wrth gydmaru rhifedi yr Ysgolion Sabbathawl, a phoblogaeth y Gwledydd, gwelir fod llawer iawn heb fod yn ddeiliaid yr Ysgolion Sabbathawl etto, yr hyn a ddengys fod genym ni lawer iawn o waith etto i'w wneuthur, mewn llafurio i gael rhagor iddynt, a mwy o lafur ynddynt hefyd am wybodaeth.

Y mae lluosogrwydd y nifer sydd gan yr athrawon dan eu gofal yn dangos fod pwys pa fodd yr ymddygir atynt, ac y trinir hwy yn iawn. Ymhen ychydig bydd llu o'r rhai hyn yn athrawon, pan elo y rhai sydd wrthi yn awr i'r bedd. Dywedir fod Timotheus 'wedi ei *fagu* yngeiriau y ffydd, a *dilyn* yr athrawiaeth dda hono hefyd; nid mewn Ysgol Sabbathawl y bu ef, ond Ysgol deuluaidd a gafodd; ac ni ddaw pethau i'w lle hyd oni ddeuant felly etto. Sylwyd ymhellach,

I. Ar fawredd a gogoniant y Bibl fel Llyfr Duw. Y mae hyn o'r golwg gan lawer, ac ni pherchir y Bibl fel y cyfryw lyfr ond gan ychydig, mewn cydmariaeth. Llyfr Brenin y gogoniant ydyw, Llyfr Barnwr y byd! Llyfr, yn yr hwn y cawn galon Duw! Dylem oblegid hyn, anwylo ei orchymynion, hyderu ar ei addewidion, pwyso ar ei dystioliaethau, crynu wrth ei fygythion, ystyried ei fawredd, nes bod argraff hyny ar ein holl agweddau yn ein hymdriniaeth ag ef: ac ymgais hefyd i argraffu hyn ar feddyliau y rhai oll sydd genym dan ein gofal. 'Llyfr yr Arglwydd,' y gelwir ef, Llyfr y gyfraith, Llyfr Duw, Llyfr wedi ei gyhoeddi ganddo ef, mewn rhan yn ddigyfrwng, ac mewn dulliau eraill, ac wele helaethrwydd o hono genym fel cenedl, pan y mae cenedlaethau eraill lawer yn trengu o eisiau y wybodaeth sydd ynddo. Y mae y ddelw sydd arno, y melusder sydd ynddo—ei awdurdod ar gydwybodau dynion, a'r effeithiau rhyfeddol sydd ynddo i ddiddanu meddyliau trallodedig mewn cyfyngderau mawrion, yn ddigon i brofi ei ddwyfoldeb, ac y mae ei ddwyfoldeb, yn brawf digonol o ei fawredd a'i ogoniant.

II. Sylwyd ar y ddyledswydd fawr o ostyngeiddrwydd ac ymostyngiad. Y mae pob uwchradd yn teilyngu parch, a dyledswydd pob isradd yw ymostyng. Y mae cwynion fod gwaeleddau yn y wlad: y rhai a ddylent fod yn ostyngedig ac ufudd, yn hytrach i'r gwrthwyneb, &c. &c.

*** Ni ysgrifenais yn helaeth yn y cyfarfod hwn, am nad oeddwn yn tybied fod rhwymau penodol iawn arnaf, ac o'r herwydd nid allaf anfon ond yn fyr fel hyn: fe allai yr enfyn J. F. Henllan, yn helaethach.

## ADOLYGIAD Y WASG.

DYDDANION, neu hanesion difyrus a buddiol, yn ddau Ddosparth, Crefyddol a Moesol. Casgledig, detholedig, a rhai cyfieithiedig. Er hyfrydwch a lloniant adeiladol i'r rhan ieuengaf o'r genedl Gymreig. Gan Iorwerth Glan Aled. Wyddgrug, Argraffwyd gan H. & O. Jones.

DYDDANWCH yw yr arwyddnod dyrchafedig, a'r uchel nod arbenig, at yr hwn yr ymestyna plant dynion yn eu hamryfal sefyllfëydd, a thrwy bob rhyw lafur a gymeront dan yr haul. Y naill a ymflina mewn llafurwaith caled yn ddi rwgnach ar hyd yr wythnos, er mwyn yr ychydig wasanaeth, cysur, a dyddanwch, a weinydda y cyflog ar ddiwedd yr wythnos. Y lleill a dreuliant flynyddoedd mewn diwydrwydd, gofal, a chynnildeb, ac a ymdrechant yn ddiflin trwy bob hunan ymwadiad a chaledi, i gasglu arian, ac i bentyru golud, gan obeithio y'u gwobrwyir yn niwedd eu dyddiau â dyddanwch o'u llafur a lafuriasant dan haul. Cwynion taerion y cardottyn, crechwen ofer wag y meddwyn, chwys a lludded y llafurwr, llusern hwyrol yr efrydydd, ac ymddilyfiadau dioglyd y segur ddyn, ydynt oll yn nodau ffordd amryfal ddynion at ddedwyddwch, a chledrau eu llwybrau tua lletty dyddanwch.

Mae moddion dyddanwch coethedig, a chysur sylweddol yn llawer helaethach yn ein hamser ni nac ydoedd yn nyddiau ein hynafiaid a fuant o'n blaen ni. Hwynt hwy a ymddifyrent mewn pethau a gyfrifa ein plant ni yn ffoleddau; ac a ymdrafferthent yn cloddio am ddyddanwch mewn pydewau na chyfrifa yr oes yma yn deilwng i'w cadw yn agored, gan ddiflased eu dyfroedd. Baeddu teirw, ymladd ceiliogod, dyfeisiaw ac adrodd chwedlau Rhys y Crythor, cicio y bel droed, &c. &c. oedd yr arferion ffolion yn mha rai yr ymhyfrydent hwy, ond y mae eu nos hwy wedi myned heibio, o drugaredd, a gwawr oes oleuach wedi ymddangos, yn yr hon y bydd gwybodaeth a chrefydd yn cyd deyrnasu, ac un o arwyddion y cyfryw welliant yn mysg ein cenedl ydyw, bod moddion gwybodaeth yn amlhau, a'r moddion hyny o ansawdd grefyddol. Mae ychwanegiadau mawrion wedi eu gwneyd at lyfr-gell y Cymmro uniaith, yn ysbaid y dengmlynedd ar hugain ddiweddaf, a pharheir i wneyd yr ychwanegiadau hyn o flwyddyn i flwyddyn, yr hyn sydd hynod hefyd pan ystyriom fod cyhoeddi unrhyw lyfr o'r bron yn yr iaith Gymmreig, yn antur enbyd, a bod mwy yn golledwyr, ef allai, oddiwrth y cyfryw anturiaethau nac sydd yn ennillwyr: ac ni all hyny lai nac effeithiaw yn fuan, fel na bydd nemmawr o lyfrau newyddion yn cael eu cyhoeddi yn ein hiaith, oddieithr i ryw foddion effeithiol gael ei ddefnyddio i feithrin ysbryd darllen.

Yn awr gofynaf yn ostyngedig, oni ddylai hyn gael mwy o le yn ystyriaeth gweinidogion yr efengyl? Pa beth a fyddai yn fwy gwasanaethgar i grefydd yn y wlad, nac ysbryd darllen cyfansoddiadau crefyddol? Ni ddylai neb sydd wedi ei gymhwysaw gan Ben mawr yr eglwys i'r weinidogaeth, ofni gweled eu cynnulleidfäoedd yn blaenu arnynt hwy mewn amgyffred am bethau crefyddol; ond y cyfryw a fyddant fel Moses yn barod i waeddi, 'O na byddai holl bobl yr Arglwydd yn brophwydi!' ac yn debyg i Paul y dywaid gwir weinidog Crist wrth y rhai oll a fyddont dan ei ofal, 'O frodyr, na fyddwch fechgyn mewn deall.' Pe byddai holl weinidogion yr efengyl, yn gwneyd a allont tuag at feithrin archwaeth darllen llyfrau da, a chwilio am wybodaeth fuddiol, yn enwedig un grefyddol yn mysg aelodau eu cymdeithasau eglwysig, a swyddogion yr Ysgolion Sabbathawl, nid oes neb a wyr pa faint o ddaioni a ganlynai eu hymdrechion. Meddyliwn fod yr adeg hon yn gyfleusdra anghyffredin i hyny, pan y mae miloedd o ieuenctyd y Dywysogaeth wedi eu gwaredu o faglau y tafarndai trwy offerynoldeb y Gymdeithas Ddirwestol, heb fod mwyach yn gwario eu harian gwerthfawr, a'u hamser gwerthfawrocach am y diodydd meddwawl, a gwag gyfeillach oferwyr. Mae gan y rhai hyny fodd i dderbyn llyfrau, ac amser i'w darllen yn bresenol, pe megid chwaeth at hyny yn eu meddyliau; a phe gwneid hyny, pa faint mwy defnyddiol a fyddent fel aelodau yn y Gymdeithas ddynol! pa faint gymhwysach i fod yn bennau teuluoedd! pa faint cymhwysach i fod yn athrawon yn yr Ysgolion Sabbathawl, ac yn swyddogion yn eglwys Crist, nac a fyddant wrth dreulio eu hoes fel anifeiliaid, heb goethi dim ar y galluoedd meddwl a roddes eu Creawdwr iddynt!

Moddion arall a allai fod yn dra gwasanaethgar i hyn a fyddai Adolygydd misol rhad, yn cael ei gyhoeddi gan Gymdeithas o ddynion awyddus am ledaeniad gwybodaeth fuddiol yn mysg ein cenedl; yr hwn a gynnwysai Adolygiad di duedd o'r amryfal lyfrau a gyhoeddid o bryd i bryd, er cyfarwyddyd i'r Cymmry uniaith pa ryw lyfrau a fyddant yn teilyngu eu prynu a'u darllen ganddynt. Gallai y cyfryw Fisolyn gynnwys darnau lled helaeth o'r llyfrau a adolygid ynddo, yn nghyd a sylwadau arnynt, yr hyn a fyddai yn dra thebyg o feithrin ysbryd chwilio, ystyried, ac ymofyn yn mysg ein cenedl. A byddai yn debyg o warchawd y Wasg Gymmreig rhag i ryw lyfrynod gwaelion, a niweidiol, gael eu cyhoeddi drwyddi. A oes neb a glyw ar ei galon wneyd cynnygiad tuag at sefydlu Cymdeithas o'r fath?

Y peth olaf a nodaf fi yn bresenol, fel moddion tebyg i atteb dyben daionus i'r perwyl crybwylledig, a fyddai cael llyfrau buddiol, wedi eu hysgrifenu ar ddull poblogaidd, ac am bris isel, fel na byddo uchder eu pris yn wrthglawdd rhag llwyddo o'n hannogaethau i gael gan y diofal eu prynu, ac fel y byddo y dyddanwch a ge-

wrth eu darllen, yn foddion i feithrin yn y darllenydd flas ar ddarllen, bron yn ddiarwybod iddo ei hun.

Un o'r cyfryw lyfrau rhad, blasus, a buddiol, ydyw y llyfryn a nodir uchod dan yr enw 'Dyddanion.' *Dyddanion* ydyw, a dyddanion *da iawn* hefyd; wrth ddifyru y meddwl â difrifwch yr hen deulu, nid yw yn ei halogi â syniadau anfoesol.

Cynnwysa 83 o erthyglau yn y Dosparth Crefyddol; a 45 yn y Dosparth Moesol; heblaw pedwar dernyn barddonol hynod o flasus. Rhoddwn yma un dyfyniad o bob un o'r ddau Ddosparth, er esampl i'n darllenwyr o'r dysgleidiau blasus sydd wedi eu coginiaw yn fedrus gan yr awdwr ieuanc hwn ar fwrdd y DYDDANION.

DOSPARTH CREFYDDOL.

50. HELAETHRWYDD CYFOETH Y SAINT. t. d. 27. Boneddwr un diwrnod a gymerodd un o'i gydnabod i ben rhyw le uchel, er dangos iddo helaethrwydd ei feddiannau, pryd yr ysgydwai ei law o amgylch gan ddywedyd,—'Dyna eiddo i mi;' a chan droi ffordd arall wedi'n, dywedai, 'Dacw fy eiddo I hefyd, &c. A myfi biau y lle acw hefyd.' Cyfeiriodd wedi hyny at ochr arall, gan ofyn i'r ymwelydd, 'A welwch chwi y tŷ pell acw hefyd?' 'Yna,' medd y cyfaill, a welwch chwithau y dref-lan acw?' 'Gwelaf,' meddai yntau;—'Y mae yn trigo yn hon acw hen wreigan dylawd y sydd yn perchen mwy na chwi o lawer.' 'Beth yw hyny?'—'Wel, gall hono ddywedyd, fod CRIST *yn eiddo iddi!*' Ymddangosai y boneddwr yn bruddaidd, ac nid ynganai air yn nghylch helaethrwydd ei feddiannau wedi hyny.

DOSPARTH MOESOL.

31. Y BARNWR TUEDDOL AC ANGHYFIAWN, t. d. 54.—Daeth tyddynwr at gymmydog iddo, yr hwn oedd gyfreithiwr, ac a ddywedodd wrtho, âg ymddangosiad o ofid mawr, am ddygwyddiad oedd newydd gymeryd lle;—'Eidion o'r eiddoch chwi,' eb efe, 'a gorniwyd gan darw o'r eiddof fi, fel y bu farw; a dymunol fyddai genyf glywed pa fodd y mae i mi wneyd cyfiawnder â chwi.' 'Yr wyt yn ddyn gonest,' medd y cyfreithiwr, 'ac ni feddyli ei fod yn anghyfiawn i mi ddysgwyl cael eidion o'r eiddot ti yn ei le.' 'Gwir,' medd y tyddynwr, nid yw hyny ond cyfiawnder; ond, pa beth a ddywedais? Mi a gam syniais; tarw o'r eiddoch chwi a laddodd eidion i mi.' 'Aie yn wir!' medd y cyfreithiwr, 'mae y peth yn wahanol; mi a fynaf edrych i'r achos; ac os'—'Ac os,' eb y tyddynwr, 'yr wyf yn deall y buasai yr achos wedi ei derfynu heb yr un *os*, pe buasech chwi mor barod i wneyd cyfiawnder ag eraill, ag yr ydych i'w fynu oddiwrthynt hwy.'

Y dyfyniadau uchod nid 'ydynt ar un cyfrif yn rhagori ar eraill yn y llyfr; ond yn hytrach fe'u dewiswyd o herwydd eu byrdra. Mae yn ddiau fod amryw ddarnau rhagorach o lawer na'r rhai uchod yn y llyfr; ond gobeithiwn fod digon o ragoriaeth yn y rhai hyn, i godi awydd ar laweroedd i brynu y llyfr a'i ddarllen yn aml, nes y byddo yr holl ddyddanion o'r diwedd wedi eu trysori yn eu cof, yn barod at eu gwasanaeth mewn cyd ymddiddan a'u cyfeillion.

UN A'I DARLLENODD

---

## PREGETHAU Y PARCH. D. CHARLES.

*Dyfyriad o Lythyr o eiddo y Parch.* CHRISTMAS EVANS.

'Mae Pregethau D, Charles yn profi fod cynneddfau ei feddwl o'r gradd uchaf wrth natur; a bod gras wedi eu caboli, a'u heneinio â'r eneiniad nefol, fel y'i dysgwyd yn rhyfedd, ac yr enillodd radd yn mysg yr uchelraddolion anysbrydoledig. Gwr hynod oedd yn mysg Duwinyddion.

Mae yn haeddu sulw neillduol, paham yr oedd llawer yn fwy poblogaidd nag ef, y rhai yr oedd ef yn uwch na hwy ddeg o ffyn yn ei sefyllfa ar 'ysgol Iacob,' yn nes i'r nef, ac yn gweled dros benau y rhan fwyaf.

Nid oedd amryw ranau ffurf ei athrawiaeth yn anmhoblogaidd. Trwy drugaredd, athrawiaeth gras sydd yn fwyaf poblogaidd etto, efe ddichon, yn Nghymru—ond yn sicr yn nyddiau ei flodau ef. Mae yn rhaid mai rhyw beth oedd yn perthyn i'w ddull ef oedd yr achos. Dichon nad oedd ei dymer ef wrth draddodi, a'i lais yn tanio gyda ei faterion. Yr wyf fi wrth ail ddarllen ei Bregethau yn teimlo gwreichion sanctaidd yn deilliaw o hono fel seren fawr yn toddi rhewogydd fy meddwl. Ond mae y medrusrwydd a'r manylrwydd sydd yn nghyfansoddiad ei frawddegau, a'rdull byr a chryno oedd ganddo yn galw am feddyliau yn sefyll ar eu traed i ddal ar ei bynge-

iau. Mae ei ddull yn trin pethau dyfnion Duw mor gywraint ac anefelychaidd, fel y gellir cymmeryd llawer o frawddegau yn destynau i bregethu arnynt; a thynu blwch ar ol blwch o'i flwch mawr ef. Tra y bydd-ai y meddwl yn edrych ar un gistan fawr, fe fyddai dwy neu dair wedi disgyn fel nad allasai y meddwl ond mewn rhai cryfion i allael ei ddilyn. Canys yr oedd yn myned fel Moses rhwng Pihahiroth Neonominiaeth a Baalsephon Gwrthnominiaeth yn ol goleuni y golofn dân athrawiaeth gras, trwy y môr o haeddiant Iesu i dir yr addewid, a gwialen Duw yn ei law.

CHRISTMAS EVANS.

## CENADAETH LLYDAW.

Hay, Gorph 6ed, 1838.

Anwyl Frawd,—Yn fy llythyr diweddaf ar y testyn teilwng uchod, dywedais mai un o'r pethau cyntaf tu ag at weithredu gyda golwg ar leshad ein cyd genedl yn Ffraingc oedd, ymdrechu cael gwybodaeth helaeth a chywir mewn perthynas iddynt. Mae yn bleser genyf anfon attoch lythyr a dderbyniwyd yn ddiweddar oddiwrth y Parch. John Jenkins, yr *unig* genhadwr sydd yn llafurio yn mysg y Llydawiaid.

Nid yw yn angenrheidiol i mi ychwanegu, ond yn unig hysbysu i'ch darllenwyr, fod ein brodyr y Bedyddwyr wedi cael y fraint o flaenori yn yr achos hwn;—fod ganddynt gymdeithas reolaidd er cynnal cenhadwr yn Llydaw,—eisteddle y gymdeithas yw *Caerdydd*, a gwneir casgliadau blynyddol o fewn terfynau Cymmanfaoedd Mynwy a Morganwg yn bennaf. Ei hysgrifenydd ydyw y Parch W. Jones o'r dref uchod, trwy garedigrwydd yr hwn yr wyf yn anfon attoch lythyr Mr. Jenkins. Pwy bynnag a ewyllysio weled hanes o weithrediadau y genadaeth Lydawaeg, darllened 'Ystorfa'r Bedyddwyr,' lle yr ymddengys llythyrau oddiwrth y cenhadwr, yn achlysurol.

Ydwyf, yr eiddoch,
THOMAS PHILLIPS,
Goruchwiliwr y Bibl Gymdeithas.

*Llythyr at Gofiadur y Gymdeithas.*

Morlaix, Mai 14, 1838.

Fy anwyl Frawd,—Yn eich llythyr diweddaf ataf, gofynech genyf roddi i chwi *grifrif o argraffiad a dosparthiad y llyfrynau, rhagolwg (prospect) bresennol y Genadaeth, ynghyd a'r manteision a ymddangosant fod yn debyg o ddeilliaw o adeiladu lle o addoliad yma;* ac mewn cydsyniad â'r dymuniad hwnw yr wyf yn ysgrifenu atoch y llythyr hwn.

Dyma y cyfrif sydd genyf i'w roddi o'r llyfrynau crefyddol. Y mae deuddeg o lyfrynau gwahanol wedi ei hargraffu. Cyfanswm nifer y llyfrynau hyn yw 30,882. Heblaw hyn argraffasom 1000 o lyfryn i ddysgu darllen Brythonaeg. Y mae o gylch 30 punt wedi eu treulio yn argraffiad y llyfrynau hyn. Mae genyf yn awr yn barod i'r wasg gopiau tri llyfryn ychwanegol, y rhai y mae Cymdeithas Llyfrynau Crefyddol Paris wedi caniatau i ni eu gosod yn ddioed yn y wasg ar ei thraul; ac heblaw hyn, y mae genyf gyfieithadau o chwech o lyfrynau eraill, y rhai a fyddant yn barod i'r wasg dim ond eu diwygio a'u hail-ysgrifenu. O'r llyfrynau Brythonaeg yr wyf wedi dosparthu yn y cwbl o leiaf 2000, ac wedi dosparthu hefyd o gylch 500 o lyfrynau Ffrengaeg. O'r Testament Brythonaeg yr wyf wedi gwerthu 151, a 26 o Destamentau Ffrengaeg. Dyma olygfa fer ar fy llafur mewn cysylltiad â'r llyfrynau crefyddol a dosparthiad yr Ysgrythyrau. Hyderwn nad ydym yn hau yr had da yn ofer, oblegid y mae yr Arglwydd wedi dywedyd, *Ni ddychwel fy ngair ataf yn wag, eithr efe a wna yr hyn a fynwyf, ac a lwydda yn y peth yr anfonais ef o'i blegid.*

Yn awr wedi bod o honof yn y wlad hon dros yn agos i bedair blynedd, a myned trwy y llafur uchod, mewn cysylltiad â'r hyn y darfu i mi gael ymddiddanion ar bethau crefyddol amryw weithiau, y mae yn naturiol gofyn *pa fath yw rhagolwg bresennol y Genadaeth?* Efallai fod yn anhawdd i mi ddweyd nemawr o newydd ar y pen hwn; ac nis gellir rhoddi rhagolwg helaeth, am fod cylch ein llafur wedi bod hyd yma yn gyfyng—nid yw wedi bod amgen na llafur darpariadol, a hyny dan un anfantais neillduol, sef anghymwysder cyfieithiad y Testament Brythonaeg. Er hyny, trwy fawr ddaioni yr Arglwydd, yr wyf yn barnu nad yw y rhagolwg ar y cyfan o natur ddigalon. Rhy anhawdd i mi beidio sylwi yma fod maes llafur y Genadaeth yn un pwysig, ac fel yn aeddfedu i, ac yn galw am ei lafurio a'i wrteithio. Cyfrifir fod y boblogaeth a arfera y Frythonaeg yn bresennol o gylch *un filiwn*. Dyma boblogaeth helaethach nag eiddo Cymru, a chyfrif swydd Fynwy yn ran o'r dywysogaeth, oblegid nid oedd ei phoblogaeth yn 1821 ond 789,271. Mae yn wir fod y Brythoniaid wedi byw mewn anwybodaeth a choelgrefyddoldeb dirfawr a gresynol, ond y mae dysgeidiaeth ar gynnydd cyflym yn eu plith hwy, yr hyn sydd i'w briodoli i effaith gweithrediad trefniant ysgolaidd o eiddo y llywodraeth, ac y mae ymdrechion trwsgl y Ffrangcod i ennill eu rhyddid wedi gadael effeithiau da a manteisiol ar Brydain Fechan hefyd, er ei bod yn cael ei hystyried yn un o'r taleithiau mwyaf darostyngedig i awdurdod yr offeiriaid yn Ffraingc. Am hyny y mae eu hawdurdod hwy ar feddyliau y bobl wedi, ac yn lleihau yn fawr. Gallaf ddweyd yr ymddengys fod agos hanner y gwyr yn y trefydd nad ydynt yn myned i gyffesu na chymuno, nac yn myned i'r offeren. Priodolwyf hyn i fesur i effaith syniadau

deistiaidd, a dymuniad i fyw mewn hollol benryddid annuwiol, eithr yn benaf i anghymwysder eglwys lygredig Rhufain i dywys pechaduriaid at Grist, anfuddioldeb ei Lladinaidd wasanaeth crefyddol, ffolineb amryw o'r seremoniau, gwaeledd ei dysgeidiaeth, a thrais ei hoffeiriaid. Er hyn i gyd y mae yma gryn grefyddoldeb allanol, yn ol eglwys Rhufain, yn enwedig ymhlith y boblogaeth wledig—ymddengys nad yw penrhyddid, anffyddiaeth, anghrefyddoldeb, a llygredigaeth yr oes wedi gadael cymaint o effaith ddinystriol i syniadau crefyddol ar y Brythoniaid ag ar drigolion parthau eraill o Ffraingc. Yn y sefyllfa hon gallaf ddweyd fod pechod a -llygredigaeth moesol yn ffynu i raddau galarus, yn enwedig yn y trefydd. Er hyny, wrth ystyried pob peth, barnwyf fod Llydaw yn cael ei darparu gan ddwyfol Ragluniaeth i wrandaw pregethiad iachus o'r efengyl. Dyma y golygiad ag wyf yn ei ffurfio wrth ystyried y cyfnewidiadau pwysig sydd wedi cymeryd lle yn y wlad hon er ys o gylch triugain mlynedd yn ol; a hyny oblegid yr effeithiau llesol y mae y cyfnewidiadau hyny wedi eu gadael ar gynnydd dysgeidiaeth a gwybodaeth gyffredinol, helaethiad rhyddid gwladol a chrefyddol, dilead ofergoeliaeth, a dinystriad yr awdurdod dreisiol ac anefengylaidd a feddai yr offeiriaid dros y bobl mewn pethau crefyddol a gwladol. Rhywbeth tebyg i hyn yw cyflwr naturiol maes ein llafur.

Yn awr, ystyriwn yr hyn y mae Gorchwylwyr Cymdeithas Efengylaidd Ffraingc wedi ei wneuthur eisoes yn y wlad hon. Y maent wedi dosparthu yr Ysgrythyrau a llyfrynau Ffrengaeg yn helaeth yn Morlaix, Launion, Brest, Quimper, St. Paul, a rhai lleoedd eraill, y rhai ydynt drefydd Brythonaidd; ac y mae yn deilwng o sylw na chawsant unrhyw rwystr o bwys oddiwrth yr awdurdod gorfforaethol, nac unrhyw ddrwg-driniaeth oddiwrth y bobl, er y gallaf sicrhau nad oedd yr offeiriaid yn fud. Mewn cysylltiad â hyn ystyrir y dosparthiadau ag wyf finnau wedi eu gwneud yn yr ardal hon, yr ymddiddanion crefyddol wyf wedi eu cael a'r bobl, y tueddiad a amlyga ambell un o'r Brythoniaid i wybod y gwirionedd yn ol Gair Duw, a sefyllfa ddigynhwrf y teimlad cyffredin yn ngwyneb ein gweithrediadau, er gwaethaf gwrthwynebiad anhael a chynhyrfiol yr offeiriaid. Os ystyrir y pethau hyn yr wyf yn meddwl y deuir i'r penderfyniad fod cryn waith darpariadol i ddwyn i mewn bregethiad yr efengyl yma wedi ei gyflawni eisoes, a hyny dan amgylchiadau ag a barant i ni obeithio fod yr Arglwydd yn darparu y llwybr i bregethiad cyhoedd ei Air grasol gyda graddau o lwyddiant. Ac eto, nid peth bychan yn rhagolwg y Genadaeth yw y cynnorthwy gwerthfawr ac annogaethol a rydd Cymdeithasau y Llyfrynau Crefyddol i argraffu cyfieithadau o'u llyfrynau anmhrisiadwy yn y Frythonaeg, a'r hyder a feddwn y gwnai y Fibl Gymdeithas ein galluogi i argraffu digonedd o'r Ysgrythyrau Santaidd i'w dosparthu yn mhlith y trigolion. Ond er fod y pethau hyn yn dra gwerthfawr a chefnogawl, gwn eich bod chwi yn teimlo yn gystal a mi fy hun nas dylem ymddiried a chyfrif yn ormodol arnynt am lwyddiant; oblegid y mae Gair Duw yn ein dysgu i osod ein holl ymddiried trwy ffydd yn yr Arglwydd yn unig am lwyddiant yn y gwaith mawr o droi pechaduriaid at Iesu Grist, ac nis gallai Paul ond planu, nac Apolos ond dyfrhau, Duw yn unig a roddai ac a rydd y cynnydd; ond y mae Arglwydd y cynhauaf yn dywedyd wrthym am beidio bod yn ddiog mewn gwneuthur daioni, gan addaw y medwn yn ei iawn bryd oni ddiffygiwn; ac am hyny pe buasai rhagolwg y Genadaeth o agwedd llawer mwy digalon nag ydyw, eglur yw y buasai rhwymau ansymudadwy arnom i wneud ein goreu i oleuo y Brythoniaid. Awn yn mlaen ynte yn wrol, gan ymddiried yn yr Arglwydd am gyfarwyddyd, cymhorth, a bendith, ac yna ceir gweled mewn amser priodol na fydd ein llafur yn ofer.

Yn awr yr wyf yn dyfod at y drydedd ran o'r ymofyniad, sef y *manteision tebygol o ddeilliaw o adeiladu lle o addoliad yma.* Mi a ddylwn ddweyd gair yma am yr angenrheidrwydd o sefydlu addoliad cyhoeddus, fel y gallem bregethu yr Efengyl i'r Brythoniaid. Ymddengys fod hyn yn rheidiol, am mai dyma wrthrych penaf y Genadaeth, a'r moddion penaf a ordeiniwyd gan Ben mawr yr eglwys i ddychwelyd pechaduriaid ato ef; am fod ein llafur presennol yn gyfyng, ac nad yw yn debygol yr attaliai pregethu yr efengyl ni rhag dosparthu cymaint o lyfrynau crefyddol ag yn bresennol;—am nas gellir helaethu cylch gweithrediad y Genadaeth hyd oni byddo addoliad cyhoeddus wedi ei sefydlu; oblegid hyd oni byddo hyn wedi cymeryd lle, tebygol yw na anfonir allan genadwyr o'r fath sydd yn eisiau, ac nas gellir sefydlu Ysgol Sabbothol; mewn gair, fe erys ein llafur o fewn y cylch cyfyng presennol, am ein bod wedi dilyn y gwaith o ddosparthu y Testamentau a'r llyfrynau crefyddol cyhyd ag yr ymddangosai hyny yn rheidiol fel llafur darpariadol; ei fod yn obeithiol y caem wrandawyr, a bod dysgwyliad lled gyffredinol wedi bod y buasai i ni sefydlu addoliad cyhoeddus; am y rhoddai sefydliad addoliad cyhoeddus yma radd o sefydlogrwydd i'r genadaeth, a mesur helaethach o galondid a gwroldeb i'w chyfeillion a'i chynnalwyr; a gallaf chwanegu ein bod yn mawr chwennychu

medru pregethu yr efengyl i'r Brythoniaid. Dyma ein neges fawr yn y wlad hon, ac yr ydym wedi ymbil am fedru dwyn hyn i weithrediad, fel y moddion penaf i ddwyn pechaduriaid at Iesu Grist, yr hyn a fyddai ein hyfrydwch penaf. Gwyddom hefyd mai hyn ydyw eich dymuniad difrifol chwithau, a'ch bod wedi gweddio llawer am i air Duw gael llwybr agored, a llwyddo yn y wlad hon. Mae y cynnygiad a wnaethom agos ddwy flynedd yn ol i osod i fynu addoliad cyhoeddus yma, ynghyd a'r gwrthwynebiad a gawsom, yn hysbys i chwi. Hysbys hefyd yw ein bod wedi methu cael lle arall cyfleus i'r dyben hwnw hyd yn hyn. Felly y mae adeiladu lle o addoliad yma wedi dyfod yn fater o angenrheidrwydd, ac nid o ddewisiad, er ei fod yn eglur y byddai lle o'r fath lawer yn fwy manteisiol a dewisol ar amryw olygiadau nag unrhyw ystafell a allem ei chael yma. Fel yr wyf wedi dweyd mewn llythyrau blaenorol, hollol farnwyf nas gellir gwneud dim gwell nag adeiladu, ac y mae yn debygol, wrth ystyried gogwyddiad y llywodraeth bresennol o barth rhyddid crefyddol, na ddylid oedi gyda y gorchwyl hwn. Pe byddai i'ch cyfeisteddfod benderfynu i wneuthur hyn, barnwyf y byddai yn dda ymgynghori â'r brodyr yn Paris yn yr achos; a dilyn eu cynghor hwy. Am hyny gobeithiwyf yn ddifrifol iawn y gwna eich cyfeisteddfod benderfynu adeiladu yma yn ddioed, os gwna y brodyr yn Paris gymeradwyo y fath fesur, ac yr wyf yn gobeithio hefyd y gwna yr eglwysi a'r gweinidogion roddi y cyfryw gefnogaeth i'r Gyfeisteddfod ac a'i galluogo i wneuthur yr hyn a farno yn ddoeth ac angenrheidiol yn yr amgylchiad pwysig hwn. Y mae y Cymanfaoedd yn awr yn agos, ac yr wyf yn taer erfyn na byddo iddynt gael myned heibio heb ddyfod i ryw benderfyniad ar y mater hwn. O frodyr anwyl, cofiwch yn eich Cymanfaoedd lluosog y fath luoedd o weinidogion a phregethwyr galluog, y fath nifer mawr o addoldai helaeth, a'r fath fyddinoedd sydd yn canlyn yr Oen yn Nghymru, tra nad oes yn mlith eich brodyr, Cymry Ffraingc, ond un cenadwr, a hwnw yn methu pregethu Efengyl Crist iddynt o ddiffyg lle bychan a diaddurn i gynnal addoliad cyhoeddus, er fod y preswylwyr yn marw o eisiau gwybodaeth am ffordd iachawdwriaeth! O maddeuwch i mi am alw am sylw o'r mwyaf difrifol a theimladwy at gyflwr gresynol ac amddifad Llydaw, ail Gymru, ac at gyfyngder cylch gweithrediad eich Cenhadaeth fechan yma; ac na fydded i ddim amser gael ei golli cyn defnyddio y mesurau anghenrheidiol eu mabwysiadu i'm galluogi i bregethu Gair y bywyd. Ac, O gweddiwch trosom, a thros lwyddiant teyrnas Emmanuel yma; a'r Arglwydd a'ch cyfarwyddo ac a'ch bendithio chwi a ninnau yn y cwbl oll ag a berthyn i'w achos, a gogoniant ei enw mawr!

Goddefwch i mi wneud un sylw yma cyn terfynu. Dichon y barna rhai o gyfeillion y Genadaeth y gallwn bregethu ychydig yn achlysurol yn nhai y cyfryw ag a ganiatâent hyny. Ymddengys i mi na fyddai yn ddoeth gwneuthur y fath beth yn ein sefyllfa bresennol; oblegid gosodwn fy hun trwy hyny mewn pergyl o gosp, a pherwn efallai fwy o ofid i'r cyfryw deulu nag a fyddent yn foddlon ei gael; heblaw fod yn debygol y tueddai hyny i afrwyddhau caffaeliad caniatâd i bregethu yn y dref, am y dichon y parai i'r swyddogion gwladol, anwybodus mewn crefydd, sydd yma, feddwl y gallwn beri terfysg trwy fy null afreolus o fyned yn mlaen gyda gwaith ag a olygant hwy yn fath o broselytiaeth bleidgar. Rhaid bod yn ddoeth a phwyllog wrth ddechreu. Dechreuwn bregethu yn gyntaf yn y dref, mewn modd rheolaidd, onide yr wyf yn ofni na bydd y canlyniad yn ddymunol a manteisiol.

Chwi a welwch fod y llen agos wedi ei llanw, fel nad oes genyf le i osod i mewn hanes rhai ymddiddanion o natur gysurus a gefais yn ddiweddar. Rhaid gadael y pethau hyn hyd y llythyr nesaf. Byddwch cystal a'n cofio yn wresog at holl aelodau y Gyfeisteddfod.

Ydwyf, anwyl Frawd,
Yr eiddoch yn yr Efengyl,
J. JENKINS.

Mae y llythyr blaenorol yn rhoddi golwg led gyflawn ar amgylchiadau y Genhadaeth yn Llydaw. Amlwg yw, nad oes gobaith cael lle yno i bregethu, oddieithr adeiladu Tŷ Cyfarfod.

Mae yn ymddangos nad yw y swyddogion gwladol yn Llydaw yn rhwym i gofrestru ystafell, ond nis gallant wrthod gwneuthur hyny pe byddai tŷ addoliad priodol yn cael ei adeiladu. Mae yr offeiriaid hefyd yn defnyddio eu holl ddylanwadau i ddarbwyllo y bobl i beidio a rhentu un tŷ at y fath achos, ac y maent hyd yma wedi llwyddo. Mae traul adeiladu yno yn agos fel yma, fel nad yw yn debyg y gellid dwyn yr adeilad i ben dan dri chant o bunnau; Dymunol fyddai cael lle i bregethu, cadw ysgol Sabbothol, &c.; a phwy a ŵyr pe ceid hyny, na welai Duw yn dda i roddi edifeirwch i'r Llydawiaid i gydnabod y gwirionedd.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dal. 203.)

### YR AIL GYFRAN O AMSER,

*Sef o amser Cwstenyn fawr (Constantine the great) hyd amser y Pab Gregory y VII. Hyny yw, o'r flwyddyn Oed Crist* 325, *hyd y flwyddyn* 1073.

Yn nhŷ Ymerodrol ei dad Constantius y derbyniodd Cwstenyn yr argraffiadau cyn-

taf o Gristionogaeth ar ei feddyliau, ond nid oedd y rhai hyny ond ysgafn iawn y pryd hyny. Eithr wedi ei ddyfod i'r awdurdod Ymerodrol cyfododd un Maxentius i'w wrthwynebu ef, gan haeru mai ganddo ef yr oedd yr hawl gyfreithlawn i'r goron. Bu rhyfel tost iawn rhwng y ddau. A phan oedd gyfyng iawn ar Cwstenyn yn y rhyfel hono, efe a weddiodd ar yr Arglwydd Iesu Grist am ei amddiffyn ef yn yr ymgyrch peryglus, ac efe a wrandawodd ar ei lef yn ei gyfyngder, ac a'i gwaredodd ef, ac a ddarostyngodd ei elyn o'i flaen ef; gwnaeth yntau adduned, y byddai iddo ddyrchafu Cristionogaeth o fewn ei Ymerodraeth â'i holl rym, ac felly y gwnaeth. Hyn a fu yn y flwyddyn O. C. 312.

O hyny allan ymegniodd Cwstenyn yn ddirfawr i amddiffyn Eglwysi Crist; ac yn y flwyddyn ganlynol efe a gyhoeddodd ddeddf ar fod i Gristionogion gael rhyddid, a'u hamddiffyn. Ac erbyn y flwyddyn 325 yr oedd efe wedi llwyr ddarostwng ei holl elynion, a dyfod yn unig benaeth ar yr Ymerodraeth Rhufeinaidd. Erbyn hyn daeth Cristionogaeth i fod yn brif grefydd yr Ymerodraeth. Adferodd Cwstenyn i'r Cristionogion yr holl eiddo a ddygasid oddiarnynt, ac a fu yn annogaethol i adeiladu amryw Eglwysydd, a roddes orchymyn allan ar fod i'r Sabbath gael ei gadw drwy yr holl Ymerodraeth, ac â'i holl nerth efe amddiffynodd ganlynwyr yr Arglwydd Iesu. Efe a ddarllenai y Bibl yn ddiwyd, ac a gododd addoliad teuluaidd yn mhalas Constantinople, ac a gynghorodd ei holl filwyr i arfer gweddi. Ni fedyddiwyd ef hyd o fewn ychydig i'w farwolaeth, sef yn y flwyddyn 337. Ar ol cael ei fedyddio, ni wisgai efe byth mo'r wisg borphoraidd, ond parhaodd i wisgo dillad gwynion cyffelyb i'r rhai a wisgai y rhai a fyddent mewn sefyllfa barotoawl at fedydd. Nid anghofir byth mo Cwstenyn, ac ni ddileir ei enw ef allan o'r Eglwys Gristionogol, canys efe oedd y llywydd cyntaf a weinyddodd iddi orphwysdra ac amddiffyniad. Bernir mai yn ei ddyddiau ef y cyflawnwyd y geiriau hyny yn Llyfr y Datguddiad, Pen. viii. 1.

O dan lywodraeth ei fab Cwstenyn II. fe gauwyd i fynu holl demlau yr eilynod, ac fe waharddwyd aberthu i'r Eilunod dan boen marwolaeth. Ond yr Ymerawdwr Julian, yr hwn a'i dilynodd yntau, oedd o wahanol feddwl; ac efe a wnaeth gynnygiad ar fod paganiaeth gael eu hadferu. Efe a gyhoeddodd ddeddf ar fod i'r eilunaddolwyr gael yn eu hol y breintiau a'r temlau a gollasent, ac a roddodd yn eu llaw hwynt yr holl awdurdod drwy y gwledydd, ac a fwriodd bob dirmyg a allai ar y Cristionogion. Mae yn wir na ddarfu iddo ei herlid yn bersonol, canys yr oedd yn rhy foneddigaidd i wneud hyny, ond pan fyddai yr awdurdodau gwladol yn eu herlid hwynt, ni roddai efe un amddiffyniad iddynt. Yr oedd ei elyniaeth yn erbyn Crist gymmaint, fel yr amcanodd ail adeiladu y deml yn Ierusalem, i'r unig ddyben o ddad-ymchwelyd prophwydoliaeth ein Harglwydd yn Luc xxii. 24. Ond yr oedd yr hwn a amcanai efe ei orchfygu yn rhy drech iddo ef i wyrdroi ei fwriadau. Canys pan ddechreuodd y gweithwyr derri lle y sylfaen i adeiladu y deml, cododd fflamiau tân o'r ddaear ac a ddyfethodd eu gwaith hwynt; ac er gwneud o honynt amryw gynnygion, dyryswyd yn llwyr eu hamcanion, nes bu gorfod rhoi i fynu y cynnygiad. Yn fuan ar ol hyn, lladdwyd yr Ymerawdwr Julian mewn rhyfel yn erbyn y Persiaid, wedi teyrnasu o hono ychydig lai na dwy flynedd. Dywedir, pan gafodd efe yr ergyd angeuol, iddo estyn ei law, a'i chyhwfanu tua'r nefoedd, a gwaeddi allan â'i holl egni, mewn cynddaredd ac anobaith, a'i waed yn llifo, 'O, tydi y Galilead,' (gan feddwl yr Iesu,) 'tydi a'm gorchfygaist!'

Ei olynwyr ef ar yr orsedd hyd y bedwaredd ganrif, nid yn unig a amddiffynasant y Cristionogion; ond hefyd a erlidiasant yr eilunaddolwyr: mor ryfeddol y cyfnewidiodd pethau mewn ychydig amser! Ymehangodd terfynau Cristionogaeth erbyn hyn ar hyd ac ar led y gwledydd, a hi a sefydlwyd yn Abyssinia, Persia, Armenia, a Georgia, ac a ymestynodd hyd derfynau y Gothiaid. Y ganghen hon o lwythau Germanaidd, y rhai yn raddol a ddaethent ymlaen o Baltic i lanau y Mor du, a wnaethant fynych ymgyrch yn erbyn rhyw ranau o Ymerodraeth ëang Rhufain, drwy finteioedd rhuthrawl o'r Danube: yn wir braidd y diangodd un o Ymerawdwyr Rhufain o fewn y trydydd canrif, hyd amser Cwstenyn na bu brwydrau celyd rhyngddo â'r bobl hyn. Fe gymmerodd Cwstenyn ddeugain mil o'r Gothiaid yn filwyr ar dâl, ac felly efe a'i sicrhaodd ei hun yn erbyn eu hymgyrchau.

Y bobl ogleddol hyn, y Gothiaid, trwy aml frwydr â'r Rhufeiniaid a ddygasant adref gyda hwynt, yn awr a phryd arall, 'drysorau cuddiedig,' y rhai a droisant allan i fod o lesiant dirfawr i'r genedl yn yr oesoedd dyfodol. Y trysorau hyn oeddynt 'garcharorion rhyfel o wir Gristionogion,' y rhai a gyhoeddasant y newyddion da o efengyl Crist i'w gorchfygwyr barbaraidd. Un nodedig o honynt, yr hwn a elwid yn Apostol Germani, oedd Ulfilas, yr hwn a ddyfeisiodd yr Egwyddor Germanaeg gyntaf erioed, ac a gyfieithiodd y Bibl i'r iaith hono. Ar yr un pryd, llwythau Gogleddol ereill, yr Alani, Vandaliaid, Heruli, &c. a gerddasant tua'r deheu, ac a ymsefydlasant ar Gyffiniau y Gothiaid. Fel hyn y cyfododd y gwahaniaeth rhwng yr Ostrogothiaid a'r Visigothiaid, neu y Gothiaid dwyreiniol, a gorllewinol. Ac nid yn hir wedi hyn, yn nghylch y flwyddyn 370, y cyfododd erledigaeth gyntaf y Cristionogion ymysg yr

Ostrogothiaid. Eu brenin, Hermanaric, a barodd i eilun Gothaidd gael ei dwyn ar drol o flaen pebyll y rhai a feddylid eu bod yn Gristionogion, a'r cyfryw na addolent hi, ac na aberthent iddi, a losgid i farwolaeth, a'u pebyll a wneid yn goelcerth uwch eu penau. Efe a alltudiodd y Cristionogion gweddilledig i ororau Rhufain, lle y cawsant nodded gan yr Ymerawdwr Valens.

Nid yn hir cyn hyny, sef yn y flwyddyn O. C. 343, cododd erledigaeth greulon yn Persia, lle y llwyddasai Cristionogaeth i raddau mawr. Parhaodd yr erledigaeth hono ddeugain mlynedd, ac fe ddywedir i 16,000 o Esgobion a swyddwyr Eglwysig gael eu dyfetha yn y cyfamser, heblaw lliaws aneirif o gristionogion cyffredin. Adnewyddwyd yr erledigaeth amryw weithiau, yn y ddau ganrif canlynol. Ac mae fod cynnifer o filoedd wedi cael eu dinystrio yn yr erledigaeth, ac wedi y cwbl fod yno rai cristionogion yn parhau hyd oni ddaeth Mahometaniaeth a'u llwyr orphen hwynt, yn dangos mor ddirfawr y llwyddodd yr Efengyl yn y wlad hono. Yr erledigaeth yn mhlith y Visigothiaid ni bu mor danllyd ag yn mysg yr Ostrogothiaid; ac fe fu byw Ulfilas ei hun i fedyddio eu brenin Fritiger, ac i weled cristionogrwydd wedi ymledaenu ymhlith y bobl.

Eithr cyn hir fe gododd ystorm mwy ofnadwy, fodd bynag, yn y gorllewin, yr hon a fygythiodd lwyr ddinystr cristionogaeth; ond ni wnaeth ond bygwth; canys fe droes allan yn y diwedd er llwyddiant i'r efengyl. Yr ydym yn cyfeirio at y terfysg a gododd ymysg y cenhedloedd gogleddol, y rhai er y flwyddyn 175 am yn agos i ddau ganrif, a roddasant i holl boblogaeth Ewrop, ac i dueddau gogleddol Affrica, lwyr gyfnewidiad moesau ac arferion. Y terfysg hwn, yr hwn yn raddol a gynnyddodd dros yr holl Ymerodraeth orllewinol, yr hwn wedi dechreu y tu hwnt i'r rhes fawr o fynyddoedd sydd yn cyrhaeddyd o fôr Euxine hyd fôr Caspia, a gyrhaeddodd hyd ganol Asia. Yr ymgyrch cyntaf a wnaed gan y Gothiaid, ac fel mae y môr, pan y mae yn ymosod ar y lan, yn gyru y naill don ymhellach na'r llall, felly y darfu i genedl ar ol cenedl ymwthio ymlaen ar ol y Gothiaid, i'r parthau prydferthaf o Ymerodraeth Rhufain, hyd oni ddarfu i'r diluw nerthol lenwi holl Ewrop hyd ei hymyl eithaf i'r gorllewin, a chan ymchwyddo ar draws culfor Gibralter, a orchuddiodd holl dueddau gogleddol Affrica.

(I'w barhau.)

---

*Copi o lythyr a anfonodd y diweddar Barch. T. Charles o'r Bala, at ei gyfaill Mr. D. Jones, Liverpool.*

Fy Anwyl Gyfaill,—Yr wyf yn ddiolchgar iawn i chwi am y ddau lythyr caredig a anfonasoch attaf; yr wyf fi yn ddiffuant yn llawenychu gyda chwi eich dau yn nghynnydd a llwyddiant eich teulu. Chwi a gawsoch brawf arall o ddaioni Duw, a'i barodrwydd i gynnorthwyo mewn cyfyngder, 'cymhorth hawdd i'w gael mewn cyfyngder,' ie, cymmorth digonol hefyd mewn cyfyngder o bob natur. Yr wyf fi yn sicr yn fy meddwl *yn awr*, mai y rhai sydd yn cyfarfod a mwyaf o gyfyngderau sydd yn adnabod Duw oreu. Mae ganddynt yn eu profiadau eu hunain brofion ymarferol o wirionedd tystiolaeth Duw mewn perthynas iddo ei hun yn ei air. Rhaid i ni gael dysgyblaeth yr anialwch i ddyfod a ni i adnabod Duw ac i gredu ynddo ef: ni ddylem ni rwgnach at hyn, canys y mae yr olwg leiaf ar ei ogoniant ef am un munudyn yn fwy na gorbwyso ein holl ofidiau i gyd. Ymheulo yn wastadol yn mhelyderau haul ei bresenoldeb ef, y tu hwnt i ofidiau ac ystormydd y bywyd hwn, a fydd yn nefoedd yn wir! Os yw ychydig yma mor felus ac iachusol beth a fydd helaethrwydd y gorlifoedd yno?

Mi fum I mor agos i'r byd arall o ran fy meddyliau, fel nad allaf ond prin edrych arnaf fy hun fel dinesydd yn y byd hwn; ac mae yn rhaid i mi ddywedyd, am y byd arall, mai po fwyaf agos iddo y deuwn, mwyaf gogoneddus a dymunol fyddai yn ymddangos. Nid oes genym yma ond cysgodau, mae y cwbl yno yn sylweddau tragywyddol: y cyfan yma ydynt ddaearol a chnawdol, ond yno mae pob peth yn ysbrydol a nefol.

Mewn perthynas i'm hiechyd yn bresennol, mae fy llaw yn hollol iach, ac nid oes dim poen ynddi; ond yr wyf yn parhau yn wan a thyner, ac yr wyf yn ddarostyngedig i ail glafychiad o'r bendro yn fy mhen oherwydd fy ngwendid, a'm hir gaethiwed. Mae fy iechyd cystal a fy mywyd yn llaw yr Arglwydd, ac i hyny yr wyf yn foddlawn. Diau y rhydd efe i mi gymmaint o hono a fydd yn oreu er fy lleshad. Digon yw i mi os yw fy nghorph gwael wedi ei brynu, a phob aelod i mi wedi ei bwrcasu er gwerth, fel nad all fyned ar goll. Drwy gael hawl yn iachawdwriaeth Crist, rhaid i'r corph gwael hwn wisgo anfarwoldeb. Bydded i'r Prynwr gael ei ogoneddu ynof, pa un bynag ai mewn clefyd ai iechyd, pa un bynag ai mewn bywyd ai mewn angau. Gweddus yw i ni na ofalom am ddim ond am yr hyn a berthyn i'w ogoniant ef. Efe a roddes i ni ddigon o brawf o'i ofal am danom, a'i gariad attom. Nis gallaf adrodd i chwi pa mor fychan a diddym y mae pob peth yn ymddangos ar finion y byd tragywyddol, ond Iesu a'i Iawn mawr; ond trwy ei gael ef yr oeddwn yn gweled fy hunan wedi fy ngwneud i fynu am byth. Mae efe yn bob peth i ni bechaduriaid, ac mae efe ynddo ei hun yn ddigonolrwydd tragywyddol i ni. Gwnaed yr Yspryd Glan ni yn ddoeth, a phared i ni gynnyddu mewn adnabyddiaeth o hono; yna nis gallwn lai na bod yn fwy sanctaidd,

ac yn fwy dedwydd. Dyma grefydd pechadur, a'r cyfryw yn unig a ddichon wneuthur daioni iddo, a rhoddi iddo ddiddanwch.

Mae yn hyfryd genyf hysbysu i chwi fod yr Ysgolion Sabbathol yn cynnyddu yn fawr yn Nghymru. Mae miloedd yn cyrchu iddynt yn yr amrywiol Siroedd. Yr wyf yn hyderu fod yr had yn awr yn cael ei hau, yr hwn mewn amser a ddwg ffrwyth toreithiog, Nid yw cyfnewidiadau yn nheyrnasoedd a llywodraethau y byd hwn ond pethau bychain iawn eu canlyniadau i ni os bydd teyrnas Iesu yn llwyddo. Bydded i holl fendithion cyfoethog y cyfammod tragywyddol aros arnoch ac ar yr eiddoch. Yr ydym ni oll yn ymuno mewn cariad attoch chwi a John Jones.

Yr eiddoch, THOMAS CHARLES.

ORIAWR HYNOD, (*Watch*).

Yn Athrofa y Celfyddydau yn Petersburgh, prif ddinas Rwssia, y mae oriawr dra nodedig, oddeutu maint wy. O'i mewn y darlunir beddrod ein Iachawdwr, a'r maen wrth ei ddrws, a'r milwyr ar eu gwyliadwriaeth. A thra fyddo y syllydd yn craffu yn synedig ar y cywreinwaith hynod, dacw y maen yn cael ei symmud yn ddisymwth, y gwylwyr yn syrthio i lawr, yr angylion yn ymddangos, y gwragedd yn myned i'r bedd, a'r un beroriaeth yn cael ei datganu ag a gyflawnir yn eglwys Groeg ar noswyl y Pasg. —*Pinnock* vol. 3. 100.

DIEMWNT, (*Diamond*).

Glo pur wedi ei dry-loywi, neu *carbon*, ydyw y diemwnt: ac er nad oes dim sylwedd helaethach na'r defnydd, nid oes dim prinach na'r cynnyrch. Gellir cael llon'd ystafell o *carbon* pur, am chwe cheiniog: ond byddai lwmp o *carbon* pur tryloywedig, o faint gwniadur, yn werth llawer o filoedd o bunnau. Yr ydych yn yfed perlau pan yn yfed *Soda water*; ond yr ydych yn eu hyfed dan y ffurf o gas.

GWLAW, &c.

Mr. Dalton a gyfrifai swm y dwfr sydd yn disgyn o'r awyr yn wlaw a gwlith ar Gymmru a Lloegr yn unig, yn 150,000 o *fil filoedd o dunnelli* yn y flwyddyn; ac o'r swm mawr yma, y mae tuag un ran o dair yn cael ei gludo ymaith gan yr afonydd, a cheuffosydd tan-ddaearol. Yr un athronydd a gasglai fod 75,000 o *fil-filoedd* o dunnelli yn cael ei sugno yn darth i'r awyr, oddiar wyneb Lloegr a Chymru yn unig, bob blwyddyn.—*Yr un.*

CYLCHWYL CYMDEITHAS DIRWESTOL WOODSTOCK, SWYDD BENFRO.

Nos lun, a dydd mawrth, y 18eg a'r 19eg o Mehefin diweddaf, cynnaliwyd yr uchel wyl gyntaf y Gymdeithas hon yn Woodstock. Am 7 o'r gloch yn yr hwyr y dydd cyntaf, pregethodd Mr. Daniel Davies, Aberporth, Sir Aberteifi, (T. C.) oddiwrth Esa. lix. 19. canlynodd y Parch. John Evans, Hebron, Sir Gaerfyrddin, (A.) oddiwrth Lev. x. 9.

Am 8 o'r gloch dranoeth, ymgynnullodd Cyfeisteddwyr y gwahanol Gymdeithasau, gwedi canu mawl, darllenodd Mr. David Bateman, Rhosycaerau, (A.) bennod, a gweddiodd am i Dduw arddel y moddion. Yna cyfododd Mr. Harries, Castell Henry, i fynu, a chynnygiodd ar fod y Parch. T. Richards, Abergwaen, i lywio y cyfarfodydd am y dydd hwnw; a chefnogwyd y cynnygiad gan yr holl Gyfeisteddwyr. Ar ol i'r Cadeirydd ddangos natur y cyfarfod, penderfynwyd yn un llais, lwyr ddifodi y ddiod fain (*Table Beer*) allan o'r wlad am byth; canys hyd yn hyn, yr oedd y ddiod fain (fel y gelwir hi) yn cael ei hamddiffyn, ei hymgeleddu, a'i pharchu yn fawr fel rhan o gynnaliaeth gyda bwyd, gan y rhan amlaf o'r Gymdeithasau Dirwestol trwy y Sir; ond o'r diwedd hi a gafodd ddyrnod marwol. Oddeutu hanner awr wedi 9 o'r gloch, daeth tair byddin o ddirwestwyr dan eu Bannerau i'r lle, mewn modd trefnus a rheolaidd iawn, dan ganu pennillion cyfaddas i'r perwyl.

Am 10 o'r gloch, dechreuwyd y cyfarfod cyhoeddus, gwedi canu mawl i'r Arglwydd, darllenodd y Parch. W. Llewellin, Begelly, (T. C.) bennod, a gweddiodd ar i Dduw roi o lewyrch ei wyneb yn helaeth ar y cyfarfod, ac ar yr holl foddion trwy gydol y dydd, a felly y bu. Yna ein hybarch Gadeirydd a agorodd y cyfarfod, ac a Areithiodd mewn modd grymus ac effeithiol iawn, nes oedd agos yr holl dyrfa (pa un oedd yn lluosog iawn) mewn boddfa o ddagrau; ni welwyd ac ni phrofwyd y fath effeithiau daionus yn Woodstock, er ys blynyddau lawer; yr oedd yr holl foddion trwy gydol y dydd, yn hynod o lewyrchus a gwlithog. Galwodd y Cadeirydd ar yr enwogion canlynol i Areithio, sef, Mr. John Davies, Bemro, (T. C.) Mr. Stephen Lewis, Hwlffordd, (T. C.) a'r Parch. J. Evans, Hebron, (A.) pa un a ddiweddodd y cyfarfod hwn trwy weddi daer. Yna trefnwyd y dieithriaid i gael lluniaeth iachus.

Am 1 o'r gloch cadwyd ail Eisteddfod, i'r diben o gael cyfrif cywir am nifer y Dirwestwyr yn mhob Cymdeithas, (ar yr un amser, yr oedd y byddinoedd Dirwestol yn gosod eu hunain mewn trefn at y Gorymdaith.) A'r cyfrif a dderbyniwyd oedd fel y canlyn:—Woodstock 292, Trefdraeth 235, Dinas 230, Castell-mael 177, Abergwaen 289, Trevine 150, Tŷ-ddewi 170, Solva 160, Hall 57, Hwlffordd 196, Milford 146, Pemro 60, Narberth a'i Changenau 350, Castell-gwis 57. Y cyfanswm ydyw 2569 o Ddirwestwyr! nid yw hyn yn cynnwys nifer ond un hanner o'r Sir.

Am hanner awr gwedi 1. cymmerodd y gorymdaith le yn y drefn ganlynol:—Cymdeithas Trefdraeth yn flaenaf, a Banner

fawr o'u blaen, a chân o foliant i Dduw yn eu geneuau. Yn mesaf Cymdeithas Woodstock a'r Hall, yn dra gweddaidd a hardd, dan ganu 'Mae'r wawr yn tori draw,' &c. Yna Cymdeithas Castell-mael a'u canlynai a Banner hardd o'u blaen, dan ganu 'Mae'r Brenin yn y blaen,' &c. Ac yn olaf, Cymdeithas Castell-gwis a'u Banner a'u canlynai, dan ganu Mawl i Dduw. Fel hyn y cerddasom mewn gwedd drefnus, rheolaidd, a sobr; dan ganu yn ol ac ymlaen am hanner milldir o ffordd, sef hyd pentref y Wallis ac yn ol. Bernir fod o 800 i 1000 o Ddirwestwyr yn y gorymdaith; a thyrfa fawr o edrychwyr yn ein canlyn, rhai mewn syndod, dychryn, a braw, wrth ein gweled, ac eraill yn wylo yn hidl.

Am ychydig wedi 2, dechreuwyd y moddion cyhoeddus drachefn, wedi canu mawl i Dduw, darllenodd Mr. Enoch Lewis, Abergwaen, (T. C.) bennod, a gweddiodd yn ddwys iawn am i Dduw fod yn agos yn y cyfarfod hwn hefyd. Yna ein Hybarch Gadeirydd a alwodd ar y gwyr enwog canlynol i areithio, Mr. Jason Mylor, Narberth, (B.) Mr. David Bateman, Rhos-y-caerau, Mr. David Phillips, Camrose, (B.) Mr. Daniel Davies, Aberporth, (T. C.) a Mr. David Thomas, Brynberian, (A.) Cyn gorphen, fe alwodd y Cadeirydd am ddiolchgarwch y cyfarfod (trwy'r arwydd o godi eu llaw ddeheu i fynu) gael ei roddi i'r brodyr dieithrol, am eu ffyddlondeb o ddyfod attom gyda'r achos da hwn, ac am eu llafur gwresog yn ein plith trwy gydol y dydd. Yna cododd Mr. Stephen Lewis i fynu, ac a alwodd am ddiolchgarwch gwresog y cyfarfod gael ei roddi yn yr un modd i ein parchus Gadeirydd, am ei ffyddlondeb, ei fedrusrwydd, a'i ymddygiad hardd a gwrol yn y Gadair. Yna dibenwyd y moddion cyhoeddus hyn trwy fawl a gweddi, gan y Parch. T. Richards ein Cadeirydd.

Ar ddiwedd y cyfarfod, arwyddodd 46 yr Ardystiad, ac amryw dranoeth, ac 11 yn rhagor nos lun: yr oedd y nifer fwyaf o'r rhai hyn yn aelodau o'r Gymdeithas Cymmedroldeb. Yr oedd y dydd hwn a'i weithrediadau, yn ddydd o syndod, ac yn destyn clodforedd yn yr ardal hon. A chredwn hefyd, y bydd y dydd hwn a'i weithrediadau, yn fendithiol iawn yn llaw Duw i amlhau Dirwestwyr, ac i ychwanegu crefyddwyr, a lliosogi duwiolion trwy yr holl wlad.

Ydwyf Barch. Syr,

Eich annheilyngaf Ohobydd,

NHOI SIWEL RELTUB.

*Woodstock*, *Meh.* 29, 1838.

---

GWIN.—Mae amryw o'r hen Ysgrifenwyr o'r farn, nad oedd Gwin mewn arferiad cyn y diluw, ac mai Noa oedd y cyntaf a'i defnyddiodd ef fel diod. Ac i gadarnhau eu pwnc, hwy a ddywedant y rhesymau canlynol.

1. Pe buasai gwin yn adnabyddus cyn y diluw, fe fuasai Abel yn dwyn offrwm o hono i'r Arglwydd, ond ni wnaeth efe felly.

2. Pe buasai gwin yn adnabyddus o'r blaen fe fuasai Noa ar ei wyliadwriaeth rhag yfed i ormodedd o hono.

Ond, o'r tu arall, haera rhai fod gwin yn arferedig cyn y Diluw, canys meddynt mae yn anhawdd meddwl nad oedd Adda yn adnabyddus o ffrwyth gwlybyrawl y Winwydden, ac felly ei hiliogaeth ef mewn canlyniad. Ac mewn perthynas i Noa, dywedant, er y gwyddai am natur meddwawl y gwin, etto gallasai gael ei dwyllo yn ei nerth ef, drwy feddwl na fyddai yr hyn a yfodd efe o hono ddim yn achlysur iddo feddwi, fel y gwelodd efe drwy brofiad galarus iddo wneud.

ALEXANDER CRUDEN. A. M.

---

RHYBUDD A CYNGHOR CAREDIG.

Anwyl Syr,—Da iawn fyddai pe cymerai dynion gynghor a rhybudd yn erbyn difenwi eu gilydd. Gan na welais yr un cynghor yn erbyn y pechod hwn sydd yn uchel ei ben yn ein gwlad, meddyliais, er fy anfedrusrwydd, am wneud yr ychydig sylwadau hyn mewn perthynas iddo.

Dechreuaf gydag adrodd esiampl am un o'r cenhedloedd Paganaidd; yr hwn yngwyneb ymosodiad rhyw gablwr ac ymsenwr arno, ni chyffrodd, ond dyoddefodd y cwbl yn amyneddgar. Pericles, pan ddifenwodd rhyw gablwr ac ymsenwr ef nid attebodd un gair iddo; ond myned a wnaeth i ryw rodfa ddirgel; a thu a'r nos wrth ddyfod adref, yr ymsenwr hwnnw a'i canlynodd ac a'i difenwodd drachefn, fwy, wrth weled ei fod mor ddiystyr o hono. Ac wedi iddo ddyfod hyd at ei borth ef, a hi yn nos dywyll, Pericles a archodd i un o'i weision oleu canwyll, a hebrwng yr ymsenwr adref i'w dŷ ei hun. Nid yn unig efe a oddefodd yr ymdaerwr yma yn ddiddig, ond hefyd talodd dda am ddrwg iddo.

Onid yw yn gywilydd i ni sydd yn proffesu Cristionogaeth fod yn waeth na'r cenhedloedd digred? Pericles, pan anogwyd ef i ddigofaint â llawer o eiriau chwerwon ac atgas, nid attebodd un gair. Ond os cyffroir ni â'r gair lleiaf, pa mor fawr y'n terfysgir! O fel y ffromwn, ac y gwylltiwn! ac felly y gwnawn dân mawr o wreichionen fechan. Fy mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fod.

Onid tebycach i athrawiaeth ac esiampl Crist fyddai ceisio diffodd y tân uffernol drwy roi yr esboniad goreu ar bob gair annhirion a glywom. Megis pan ddywedo un ryw ddrwg am danom, meddyliwn, os celwydd yw, ei fod ef wedi ei glywed gan ryw un, a'i fod yn ei ddywedyd ef am na wyr yn amgen, &c.

Eithr mewn perthynas i'r neb sydd yn

arfer absennu, neu ddifenwi, neu ddywedyd yn ddrwg am ereill, mi a'u cynghorwn hwynt i ystyried yn ddifrifol, y dylai y neb a ddywedo yn ddrwg am ereill fod yn lân oddiwrth y bai ei hun. Ac os nad yw efe yn byw yn y bai hwnw, edryched na byddo yn byw mewn bai mwy. Ystyried hefyd, mai y neb a arfero ddywedyd drwg, y dywedir fynychaf ddrwg am dano. Yr hwn a ddywedo yr hyn a fyno er ei foddloni, a gaiff glywed yr hyn ni fyno er ei anfoddloni.

Cofied hefyd, mai os 'am bob gair segur a ddywedo dynion y rhoddant gyfrif yn y farn,' pa faint mwy am bob gair chwerw a chynnenus, y rhai a barant dorgariad, ac a gyffroant ein brawd i ddigllonedd a chwerwedd.

Ymhellach, Pan ddyweder geiriau chwerwon ac atgas wrthym, ni byddwn ninnau fawr well os attebwn hwynt yn graslyd a digofus. Na fydded i'w hafrywiogrwydd hwy gynnyrfu ysbryd chwerw a mileinig ynom ni. Ond ystyriwn mai gwallgofrwydd yw digllonedd mileinig ynom ni. Ond ystyriwn mai gwallgofrwydd yw digllonedd; a bod yr hwn sy'n ddig, dros hyny o amser, allan o'i bwyll. Os difenwir ni, ac os rhoddir enwau drwg arnom, ystyriwn a ydym yn eu haeddu, neu a roisom ni un achlysur i ddywedyd felly am danom, a diwygiwn os ar fai, ac os buom esgeulus, ymogelwn rhagllaw. Canys drwy wneuthur fel hyn, dichon i draheusder ac enllibiau gelyn fod yn llymach ysbardyn i'n cymhell i wellâu na rhybuddion tyner ein caredigion.

*Gwern-neidr.* EDWARD ADDA.

---

## COEL-GREFYDD MOR Y DE.

Cyfieithiad allan o waith y Parch, J. Williams.

Mynych iawn y cynhyrfwyd ein teimladau yn nerthol wrth holi plant ein hysgolion; a phrin y gellir dychymygu golygfeydd mor effeithiol a'r rhai a welir ar yr achosion hyn. Desgrifiaf yn fyr un o honynt, a ddigwyddodd yn Raiatea, fy sefydliad fy hunan. Yr oedd dros chwe chant o blant yn bresennol. Yr ydoedd gwledd wedi ei darparu iddynt; a cherddent drwy y sefydliad yn gydgor, a'r rhan fwyaf o honynt wedi ymwisgo mewn dillad Ewropeaidd, â hetiau bychain, a *bonnets*, am eu penau, a wnaethpwyd gan y rhieni a fuasent wedi eu distrywio, oni buasai i Gristionogaeth ddyfod yno i'w hachub. Yr oedd y plant bychain yn ychwanegu llawer at bwysigrwydd yr amgylchiad trwy gario baneran bychain yn eu dwylaw, a'r geiriau canlynol wedi eu hargraphu arnynt:—"Y fath fendith yw yr Efengyl!" "Cristionogion Prydain a ddanfonasant i ni yr Efengyl." 'Oni buasai yr Efengyl dinystrasid ni cyn gynted ag y'n ganesid." Ar rai yr oedd testynau o'r Ysgrythyr wedi eu hargraphu, 'Wele Oen Duw yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi," a'r cyffelyb. A rhaid mai anystyriol iawn fuasai y dyn na chyffroesid ei deimladau i lawenydd anghydmarol wrth weled y fath olygfa a hon. Wedi cerdded fel hyn yn rheolaidd drwy y sefydliad, arweiniwyd hwy i'r addoldŷ eang, lle y dechreuwyd yr addoliad trwy i'r plant ganu Emyn y Iubili yn eu tafodiaith eu hunain. Yna cymerwyd y gadair gan yr hen Frenin hybarchus. Addolwyd ef gynt fel duw; a bu yn arwain hen wroniaid glewion i boethder maes y gwaed: ond ymdeimlai yn ddiameuol. na lanwodd sefyllfa mor hyfryd ac anrhydeddus â bod yn Gadeirydd Cyfarfod i holi plant ei bobl erioed o'r blaen. Yr oedd y plant wedi eu cyfleu yn nghanol yr addoldŷ, a'r rhïeni yn eistedd yn yr eisteddleoedd nesaf allan. Galwyd pob dosparth ar ei ben ei hun, a holid ef; ac wedi hyny gelwid ar ryw un allan o bob dosparth, a holid ef gan y Cenhadwr. Tra yr oedd hyn yn cymeryd lle yr oedd ymddangosiad y rhïeni yn effeithiol iawn. Yr oedd llygaid rhai yn serenu gan hyfrydwch, pan y dywedai y tad wrth y fam, neu y fam wrth y tad, "O! y fath drugaredd oedd i ni achub ein geneth fechan!" Yr oedd ereill â gwynebau pruddaidd, a llais crynedig, yn llefain yn chwerw na buasent hwythau wedi achub eu plant; a'r deigryn gloyw a ymlithrai yn lladradaidd dros ruddiau llawer, a gyhoeddai y newydd galaethus, fod eu *holl* blant hwy wedi eu dinystrio. Yn nghanol ein gweithrediadau, cododd hen ryfelwr parchus i fynu, a'i wallt yn wyn fel y gwlan, ac a ddolefodd allan mewn anesmwythdra mawr, "Gadewch i mi lefaru! rhaid i mi gael siarad!" Wedi iddo gael cenad, efe a aeth y'mlaen. "O! na buaswn yn gwybod fod yr efengyl yn dyfod! O! na buaswn yn gwybod fod y bendithion hyn wedi eu tryseri i ni! O na buaswn wedi arbed fy mhlant, a gwelsid hwy heddyw yn nghanol y dorf ddedwydd yma, yn adrodd y gwirioneddau gwerthfawr hyn; ond, Ow! Ow! yr wyf wedi eu distrywio hwynt i gyd, nid oes genyf un wedi ei adael." Yna trodd at y Cadeirydd, yr hwn oedd hefyd yn berthynas iddo, a chan amneidio â'i law, dywedai, "Gwelsoch chwi fi, fy mrawd, yn llofruddio plentyn ar ol plentyn, ond ni luddiasoch erioed mor fraich lofruddiawg hon, ac ni ddywedasoch, 'Aros, frawd, y mae Duw yn myned i'n bendithio; y mae efengyl iechydwriaeth ar ddyfod i'n gwlad.'" Yna fe regai y duwiau a addolent unwaith, a dywedai—"Chwychwi a ddyhidlech y nwydau barbaraidd hyn i ni, ac yn awr rhaid i mi farw yn ddiblant, er fy mod wedi bod yn dad i *bedwar-ar-bymtheg* o honynt." Eisteddodd i lawr, ac mewn boddfa o ddagrau rhoddodd y ffrwd i'w deimladau galarus.

Digwyddodd hyn oll o fewn i'm addoldŷ fy hunan. Gwelais y dyn, a chlywais ef yn adrodd y geiriau hyn yn chwerwder ei

enaid; a gadawaf y chwedl i lefaru drosti ei hun. Llawer esiampl arall, yr un mor effeithiol, a allesid eu hychwanegu yn hawdd, ond ni adroddaf onid un yn unig. Perthyna hyn i wraig o urddau arbenig, yr hon a unasid mewn priodas â gwr o radd iselach; a'r arferiad cyffredin oedd distrywio plant a enid i rai o'r sefyllfa hon. Y maban cyntaf a anwyd ac a roddwyd i farwolaeth. Y tad a ddymunai i'r ail gael ei arbed; ond y fam a'i pherthynasau, a fynent ei osod i farwolaeth. Y tryddyd plentyn oedd eneth fechan dlws. Y tad a ddeisyfai yn daer dros ben ar i hon gael ei harbed, o herwydd ei ymysgaroedd a rüai am dani hi, ond y fam a'i pherthynasau etto a ennillasant eu pwnc, a'r maban druan a ddedfrydwyd i farw. Un o'r amrywiol ffyrdd i lofruddio y babanod hyn oedd, rhoi y baban mewn twll yn y ddaear, wedi ei orchuddio âg ystyllen, i gadw y pridd rhag gwasgu arno, a'i adael yno i farw. Hon oedd y ffordd a gymerwyd at y maban hwn. Digwyddodd fod y tad yn y mynyddoedd ar yr amser y ganwyd ac y claddwyd ei enethig fechan; ond ar ei ddychweliad, efe a brysurodd ei gamrau tua'r bedd, agorodd ef, a chafodd nad ydoedd y plentyn wedi marw. Cymerodd hi oddi yno, ac aeth a hi at ei frawd a'i chwaer, y rhai a'i cymerasant hi i ynys Aimeo, oddeutu deng milltir a thriugain o ffordd, lle y dygasant hi i fynu. Bu y tad farw heb hysbysu gair i'w wraig fod eu merch hwy yn fyw. Wedi i Gristionogaeth gael ei derbyn, yr oedd y fam, ar un achlysur, yn wylo yn chwerw-dost o herwydd dinystriad ei phlant, pan y digwyddodd i wraig ag oedd yn bresennol, ac yn gydnabyddus â dadgladdiad y plentyn, beri iddi synu a rhyfeddu wrth ddywedyd wrthi, bod ei merch wedi ei harbed, ac yn fyw yn ynys Aimeo. Cyn pen hir wedi derbyn y newydd rhyfedd hwn, hwyliodd tu ag Aimeo, ac wedi cyrhaedd y làn, prysurodd ei chamrau dan deimladau cynhyrfus i dŷ ei pherthynasau, ac wrth ddynesu at y fan, canfyddai ferch ieuangc brydferth yn sefyll yn y porth. Adnabu ar unwaith ei gwir ddelw ei hunan yn ngwynebpryd y llances. Ei merch ydoedd. Neidiodd ati, a gwasgodd hi at ei mynwes—ond gadawaf y rhelyw o'r olygfa i ddychymyg yn unig, o herwydd y mae iaith yn pallu, pan y dolefai, "Llawenhewch gyda mi; o herwydd fy merch hon oedd farw sydd yn fyw drachefn." Mae y fam wedi myned i'w gorphwysfa, ond mae y ferch yn awr yn athrawes weithgar yn ein hysgolion, ac yn aelod cysson o'r Eglwys Gristionogol!

Y mae y rhesymau a roddir dros yr ymarferiad annynol hwn yn rhoddi eglurhad cyflawn ar yr ymadrodd hwnw. "Tywyll leoedd y ddaear yn llawn o drigfanau trawsder.' Yr achos cyntaf, meddynt, oedd y rhyfeloedd; yr oedd y rhai hyn mor aml, mor sydyn, ac mor anrheithiawl, fel y dywedodd llawer mam wrthyf eu bod wedi lladd eu plant i luddias y dychrynfeydd a'r caledi yr anhuddid hwy â'u teuluoedd ynddynt.

Ail achos, meddynt, fel y sylwyd eisoes, oedd anghyfartalwch urddasolrwydd personau mewn priodas. Os byddai dynes o urdd wedi uno â dyn o radd iselach, yr oedd yn rhaid dinystrio dau, pedwar, neu chwech, o fabanod, i'r dyben i'w godi ef i'r un urddasolrwydd a hi; ac wedi i hyn gymeryd lle y babanod ereill a arbedid.

Y trydydd achos, meddynt, fel rheswm am y weithred, oedd, fod magu babanod yn llychwino harddwch personol y maman, ac yn cwtogi yr amser y parhäai eu prydferthwch i flodeuo.

Mae rhai yn yr Ynysoedd hyn yn cymeryd lladd babanod yn grefft, neu yn alwedigaeth gyhoeddus. Bu morwyn i ni, yr hon a fu yn ein gwasanaeth am bymtheng mlynedd, yn arfer â'r gwaith ysgeler hwn; a llawer gwaith y gwrandawsom arni, gyda theimladau galarus, yn desgrifio y dulliau dychrynllyd y dygai y gwaith gwaedlyd hwn y'mlaen.

Y fath ddarlun cywir effeithiol a rydd yr hanesion gwirioneddus uchod o'r natur ddynol, yn y manau na thywynodd goleuni gwirionedd Dwyfol ar y tywyllwch erioed, a'r lle nad ymledaenodd dylanwadau effeithiol crefydd yr efengyl ychwaith! Mae hyn yn dangos y gall yr haul dywynu yn ddisglaerwych yn entrych y ffurfafen, ac etto fod yn aneffeithiol i ennyn yspryd o dynerwch a charedigrwydd yn y rhai a fo yn chwareu yn ei belydr—y gall y ddaear ymdywallt ei ffrwythau toreithiog yn aneirif, ac heb ddysgu byth hynawsedd i ddyn—y gall y creaduriaid direswm, y rhai a gynhyrfir yn unig gan nwydau naturiol, ddangos anwyldeb rhïenusawl at eu rhai bach, a dyn ffaelio dysgu y wers hon er y cyfan. Ni allasem byth, trwy un ddyfais na dim, ddysgu anifeiliaid y maes fel hyn i ddistrywio eu heppil; hyd yn nod y dywalgi ysglyfaethus, a'r arthes waedlyd, sydd yn cyniwair yr anialwch am eu cynnaliaeth, a wynebant farwolaeth ei hunan i arbed eu rhai bach. Ond y mae y gwirioneddau hyn, yn gyssylltiedig â rhai ereill, yn profi yn amlwg fod ar ddyn, ym mhob man, a than bob amgylchiad, angen mawr am efengyl yr Ion. Pa un bynag a fyddant ai ar uchaf pinacl gwareidd-dra, neu yn ngwaelodion llyngclyn barbariaeth; yn preswylio yn ninasoedd poblogaidd y dwyrain, neu yn gwibio ar hyd anialwch diffaethleoedd Affrica; pa un bynag ai ar y cyfandir eang, neu ar ynysoedd toreithiog y môr; yn amgylchynedig gan gedyrn fàrau rhewogydd y pegynau, neu yn ymheulo ym mhoethfanau y ddaear; mae arnynt oll eisieu yr efengyl; ac nid oes dim ond y hi hefyd a'u cyfyd hwy o'r iselderau y suddasant iddynt trwy dwyll ofergoeledd a phechod. Hawdd y gellwch yru i'w myag y gwyddorion a'r celfyddydau, a thrwy y rhai hyn goethi ychydig ar eu tybiau a'u barnau, ac eanga

cylch eu golygiadau allanol; gallech daflu diogelach rhagfur o amgylch eu personau a'u meddiannau, a'u dyrchafu o'u sefyllfa farbaraidd i ddedwyddwch ac anrhydedd pobl rydd a gwareiddiedig; ond os attaliwch yr efengyl oddi wrthynt chwi a'u gadewch hwy o dan awdurdod ofergoeledd gwaedlyd a dychrynllyd, yn estroniaid oddiwrth Dduw, ac yn eithaf anwybodus o drefn yr iechydwriaeth fawr trwy ei Fab.

Gadewch, ynte, i'r gwyddorion, fyned â'u dargynfyddiadau i'w canlyn—a philosophyddiaeth a'i doethineb, a chyfraith a deddf a'u buddioldeb cyffredinol, a bydded iddynt oll ymuno eu dylanwadau i fendithio a llesau y byd; ond bydded uchelfryd ac anrhydedd y Cristion am ledaenu efengyl ogoneddus y bendigedig Dduw, trwy yr hon yn unig y dangosir adenedigaeth a dedwyddwch yr hil ddynol i gyd.

TEGIDON.

## Hanesiaeth Cenhadol.

### *Deheudir Affrica.*

#### PHILIPPOLIS.

*Yn Mai* 1837, *Mr. Atkinson, cenhadwr yn y lle hwn a dreuliodd lawer o ddyddiau mewn taith trwy y tiriogaethau o amgylch. Mwynhaodd dderbyniad llawen, bron yn mhlith holl anneddau y Bechuaniaid, (Bechuana Kraals) yr ymwelodd a hwy: ac ymddangosai effeithiad gwirionedd yr Efengyl ar feddyliau llawer o'r trigolion, yn llawer mwy nag eiddo dylanwad cyffredin.*

*Cynnwysa dydd-lyfr (journal) Mr. Atkinson y cyfrif canlynol o'i lafur drwy y gylchdaith hon.*

*Mai 9fed.* Gadewais fy nghartref gan gymmeryd gyd a mi gyfieithydd Bechuanaidd, ynghyd a pherson arall, yr hwn hefyd sydd ymchwilydd, i'm harwain er gwneuthyr gwib-daith (*Excursion*) yn mhlith y Griquäaid trwy y tiriogaeth hwn, gyd a'r bwriad o adfywio eu sylw ar bwngc eu helw ysprydol a thragywyddol. Yr oeddwn yn analluog i gyrhaedd i un amaethdy y noswaith hon, ac o ganlyniad gadawyd fi i aros ar y gwastadedd agored. Yr oedd yr hin yn oer a gwlawog.

*Mai 10fed.* Wedi marchogaeth am amryw oriau dros wlad lefn ac ysgafn, aethym i amaethdy un o'r Griquäaid, lle y cyfarfyddais a chryn rifedi o bobl. Dymunais arnynt aros am ychydig, fel y cynhaliem gyfarfod, pryd y cyferchais hwy yn fyr oddiwrth Heb. ix. 27. Yr oeddynt oll yn hynod o awyddus am y Traethodau, a'r Silliaduron, (*Spelling-books*)—rhoddais iddynt gymmaint a ellais hebgor, ynghyd a rhai llen-wersi i'r ysgol yn Toom Fountain, i'r hon y perthynai y nifer fwyaf o honynt. Wedi hyny marchogais yn mlaen at bentref helaeth o anneddau y Bechuaniaid: ac eisteddai oddeutu triugain o honynt o amgylch y tân wrth fy mhen, pryd y cyferchais hwy oddiwrth Ioan 3. 16. Treuliais ychydig amser wedi y cyfarfod i ymddiddan â rhai a arosasant,—cefais brydnawn tra gwerthfawr gyd a hwy.

*Mai 11eg.* Ymgynnullai y bobl etto, a chyn ymadaw cyferchais hwy oddiwrth Ioan 3. 3. Gwrandawsant yn astud. Y maent yn rhy bell oddiwrth Philippolis i fwynhau y gwasanaeth Dwyfol yno, o ganlyniad ni chlywsai llawer o honynt mo'r efengyl erioed. Aethym yn mlaen i Round Fountain, lle y treuliais ychydig amser i ymddiddan â dau ymgeiswyr yn nghylch cyfeillach Eglwysig. Yn y prydnawn, ymwelais a'r Ysgol, yr hon a arolygid gan un o'r Bechuaniaid, yr hwn a fedyddiwyd yn Cape Town. Yr oedd 27 o blant yn wyddfodol; a theimlais foddhâd mawr i'r drefn a ddefnyddid yn arolygiad yr Ysgol.

Wedi amser yr ysgol, ymgynullai y bobl ynghyd drachefn er mwynhau y gwasanaeth Dwyfol, lle yr oedd oddeutu 40 yn ymgynnulledig. Cyferchais hwy oddiwrth Ezec. xviii. 31. Yn fuan wedi fy nychweliad gartref, gosodwyd y lle hwn i Amaethwr o'r fro; mewn canlyniad i ba amgylchiad y gorfodwyd y trigiannwyr i ymadael, a'r ysgol hefyd i ddibennu. Yr Athraw, yn nghyd a llawer o'r trigiannwyr ydynt heb ymsefydlu etto; ond hyderaf y gallaf wneuthyr rhyw drefniant er cael ei ailsefydlu mewn gwasanaeth.

*Mai 12.* Cawsom gyfarfod yn yr ysgol cyn ymadael; darllenais ac esponiais ran o'r 15fed bennod o Luc. Rhanwyd Traethodau i'r rhai oeddynt yn medru darllen, a gadawwyd rhai gwersi i'r ysgol. Sylwais fod y locustiaid wedi gwneuthyr difrod mawr trwy'r wlad y teithiais ynddi. Cyn machludiad haul cyraeddais i fan lle yr oedd amrywiol o anneddau y Griquasiaid.

Yn y prydnawn cynhaliwyd cyfarfod yn un o'r tai, pryd yr oedd y gynnulleidfa yn ac o amgylch y tŷ, oddeutu deugain. Lleferais oddiwrth Math. 16. 26. gan ymdrechu egluro iddynt werth amhraethawl yr enaid, ynghyd a'r pwys sydd gynnwysedig mewn cyrhaeddyd Iachawdwriaeth trwy Grist. Y prydnawn hwn ydoedd amser cynhaliad cyfarfod perthynol i'r gymdeithas genhadawl yn Llundain; lle y trosglwyddwyd llawer o weddiau ar ran y Cenhadon a'r cenhedloedd. O! na fyddai i'r bobl dylodion ac anwybodus hyn dderbyn cyfran o'r bendithion a ddeisyfwyd ar eu rhan.

*Mai 13.* Wrth ganfod fod y lle hwn wedi ei amgylchu gan anneddau, y gallwn gasglu cynnulleidfa helaeth yn nghyd ar y Sabbath, penderfynais aros yno hyd ddydd Llun, a chynghorais y bobl i ddyfod a'u plant i afael dysg; yn mhen ychydig deuais a hyd i ddyn ieuangc parod i gymmeryd y gorchwyl o'u dysgu arno. Rhoddais iddo len-wersi, a silliaduron i'w rhanu i'r rhai hyny oeddynt awyddus i ddysgu.

Cerddais at anneddle arall, oedd oddeutu 3 milldir pellach.

Wedi ychydig ymddiddan gyd a'r bobl, dymunais arnynt ofalu am y gwasanaeth y dydd canlynol, yr hyn a addawasant wneuthyr. Yn y prydnawn cefais addoliad teuluaidd yn un o'r tai,—darllenais ac esponiais y iv o Ioan.

*Mai* 14, SABBATH. Ni'm siomwyd yn fy nysgwyliad, canys ymgasglodd llawer ynghyd; yr ydoedd uwchlaw 200 yn y gwasanaeth boreuol a phrydnawnol; ac ymddangosent oll fel yn gwrandaw yn astud a dyfal, tra y cyferchais hwy y boreu oddiwrth Luc xii. 3, ac yn y prydnawn oddiwrth 1 Tim. iv. 8: yn niwedd y gwasanaeth prydnawnol, rhennais draethodau i'r rhai a fedrent ddarllen.

Cynhaliasom gyfarfod arall yn yr hwyr, pryd y pregethais iddynt oddiar Math. 21. 29. Gwneuthym ymdrech yn yr holl gyfarfodydd i lefaru mor eglur a difrifol a fedrwn; ac yr wyf yn hyderu fod y gyfran fwyaf o'r bobl yn fy neall, beth bynnag am y gweddill.

Oh! bydded i'r ymegniadau hyn fod o ryw fuddioldeb. Y mwyniant a deimlais yn nghaffael y cyfleustra hwn i hyspysu ffordd iachawdwriaeth i rai na chlywsant yr Efengyl ond yn anaml, (neu brin erioed) a chwerwid yn ddirfawr wrth feddwl am fy mhraidd a'm teulu fy hun, pa rai a adawwyd yn amddifaid o foddion cyhoeddus o ras, ar diriogaeth arall—ac yn gorfod treulio y Sabbath fel un dystaw, a diwasanaeth. Ond gobeithiaf eu bod wedi fy nghofio wrth orsedd gras; ac y cânt hwy a minnau reswm dros fod yn ddiolchgar i Dduw am y dydd hwn.

*Mai* 15*fed*. Cychwynnais ymaith yn foreu tua Uitkomst, y lle pellaf y penderfynais ymweled ag ef, a chyrhaeddais y fan erbyn y prydnawn. Canfyddais nad oedd yno ond ychydig o bobl, drwy fod rhai wedi symmud i leoedd eraill, a rhai wedi absenoli dros amser.

Cynhaliwyd cyfarfod y prydnawn, a lleferais oddiwrth Actau xvi. 30, 31. Yr oedd nifer y gynnulleidfa oddeutu deugain, neu ddeg a deugain. Anrhegais yr athrawes, ag ychydig wersi i'r plant. Gwelais awydd mawr am silliaduron yn eu plith, a rhenais gymmaint a allwn hebgor, ynghyd ag amryw draethodau.

Bwriedais gael cyfarfod arall yn y prydnawn, ond cyrhaeddodd adroddiad i fysg y bobl, fod rhifedi aruthrawl o farchogwyr wedi eu harfogi ag arfau tân, &c. heb fod yn mhell o'r lle; a pharodd hyny y fath ddychryn iddynt, fel y penderfynasant symmud oll i anneddle y Coraniaid cymmydogawl dros y nos; ac erbyn hyny nid oedd ond dau ddyn gartref. Er na roddais i un cred i'r adroddiad, etto gan fod yr holl bobl yn ymadael, meddyliais mai ofer fyddai i mi aros—ac oherwydd hyny canlynais y ffoaduriaid (*fugitives*), a chyrhaeddasom i'r ddiogel-fan yn hwyr y prydnawn. Yr oeddynt wedi terfysgu gormod, fel na chaniattâi eu teimladau i ni ymgasglu at ein gilydd; felly estynasom y cyfarfod nes y gwnai noswaith o orphwysiad reoleiddio eu meddyliau.

*Mai* 16. Ar ol gweled fod y terfysg wedi ymlonyddu, a bod yr Uitkomstiaid yn ymbarottoi i ddychwelyd i'w cartrefi, mi a ymdrechais i'w cael ynghyd, a bûm lwyddiannus i'w casglu at amryw o'r Coraniaid,—yr oedd rhifedi y gynnulleidfa oll oddeutu triugain. Yn gyntaf, mi a adgofiais y dosparth b'aenaf o'r llawenydd mawr oedd yn eu plith wedi iddynt ganfod man i ymddiogelu, pryd nad oedd ond adroddiad o berygl yn llenwi y lle—a pha faint mwy anghenrheidiol oedd iddynt chwilio am ddiogelwch i'w heneidiau, lle yr oedd y perygl yn un sylweddol, a dychrynawl ofnadwy, gan eu cyfeirio at Grist fel eu hunig ddiogelwch.

Wedi hyn, pregethais iddynt oddiwrth Ioan 3. 7. Yn union wedi yr addoliad ymadawodd y gwageni eraill, a throais innau fy wyneb tua chartref. Marchogais at un o'r anneddleoedd â'r hwn yr ymwelais ddydd Sadwrn. Daeth y bobl yn nghyd yn ol fy nymuniad, a chyferchais hwy oddiwrth 1 Ioan 3. 20. Yr oedd nifer y gynnulleidfa oddeutu deg ar ugain. Gadewais y fan hono oddeutu pedwar ar gloch, gan farchogaeth yn mlaen nes ydoedd hwyr ar y nos,—yr hin ydoedd glir a rhewlyd; ond dysglaerdeb tyner y Lleuad, a'i gwnai yn hynod o hyfryd. Y borfa sech, a melyn-goch, a ymddangosai fel maes o eira dan adlewyrchiad llwydaidd y Lleuad.

Mai 17, Marchogais i Schiet Fountain, lle y canfyddais y bobl yn prysur-ddwyn eu hyd gyd a'u ceffylau. Gan nad allent adael eu gwaith y pryd hyny, arhosais yno dros nôs, a chawsom gyfarfod yn y prydnawn. Rhennais amryw draethodau i'r rhai a fedrent ddarllen.

*Mai* 18. Gelwais mewn anneddle arall ar fy ffordd gartref, ond ni chanfyddais yno neb oddieithr ychydig o'r Bechuaniaid, a adawwyd i ofalu am y lle. Wedi ychydig ymddiddan â hwy drwy y cyfieithydd oedd gyd a mi, ymadawais, gan gyrchu yn mlaen tua Philippolis, lle y cyraeddais yn ddiogel tua a machludiad haul; cyfarfyddais yn llawen a'm hanwyl deulu, gan eu cael hwy yn iach; a mwynhais groesaw nid bychan oddiwrth y trigolion. Bydded i'r daith fechan hon gael ei chanlyn gan effeithiau bendithiol a pharaol, a bod yn llesol er iachawdwriaeth i lawer o eneidiau, yw dymuniad diffuant yr eiddoch, Atkinson.

Cyf. IORWERTH GLAN ALED.




**CORONIAD EI GRASUSAF FAWRHYDI Y FRENHINES VICTORIA,**
***dydd Iau, Mehefin* 28, 1838.**

Ymgasglodd torfeydd dirif o bob sefyllfa ac oedran yn foreu, ac a gyfleasant eu hunain yn rhestrau llydain ar hyd y ffordd sydd yn arwain i fynu o'r Llŷs newydd, (*New Palace*). Trefnwyd y Gorymdaith erbyn deg ar gloch. Ac ymhen y deng munud wedi hyny, daeth y Frenhines allan, ac arweiniwyd hi i'r Cerbyd brenhinol gan yr Anrh. Filwriad Cavendish. Rhy faith o lawer fyddai i ni roddi yma gyfrif manwl o'r Gorymdaith gorwychaidd hwn. Ond ni a ddeuwn ymlaen i roddi hanes lled fanylaidd o seremonïau y coroniad, yn Westminster Abbey.

Yr oedd yr olwg ryfedd oedd ar y Cenhadwyr tramor, yn dyfod i mewn, ac yn enwedig o bawb o honynt, Cenhadwr Ymerawdwr Twrci, yn peri mawr syndod i'r dorf fawr o bobl oedd yn yr Abbey. Ond pan ddaeth Duces Kent, mam y Frenhines i mewn, rhoddodd y bobl floedd fawr o orfoledd. Wedi hyny, daeth Duc Sussex i mewn, yna Duc a Duces Cambridge, ar ddyfodiad y rhai y bu arwyddion o lawenydd mawr. Hefyd, pan ddaeth Duc Wellington i'r Abbey, bloeddiwyd drachefn. Yn fuan wedi hyn, dyma floeddiadau y bobl oddiallan, ynghyd ag ergydion y Magnelau mawrion, a pheroriaeth offerynau cerdd milwraidd, yn hysbysu dyfodiad y Frenhines i'r Eglwys. Erbyn hyn yr oedd cynnwrf mawr drwy yr holl Abbey, a phob meddwl yn effro, a phob llygad yn rhythu, gan ymbarottoi i gael golwg arni. Ond hi a drodd i mewn i ystafell barottoawl i newid rhai o'i gwisgoedd, cyn dyfod ymlaen i gafell yr Eglwys. Ymhen llai na hanner awr hi a ddaeth ymlaen, yn ei gŵn Brenhinesol o borphor.

DYFODIAD Y FRENHINES I'R EGLWYS.

Derbyniwyd y Frenhines i mewn i'r Eglwys drwy y drws gorllewinol, drwy i'r Côr ganu yr

ANTHEM.

"Llawenychais, pan ddywedent wrthyf, awn i dŷ yr Arglwydd," &c.

Wedi dyfod o'r Frenhines i fynu i'r Olygfa, hi a aeth o'r tu deheu i'r Orsedd, ac wedi penlinio o honi ar ei hesmwyth-stol, hi a eisteddodd yn ei Chadair freiniol; o du deheu i'r Olygfa. Yna yr Archesgob Canterbury a aeth ymlaen, ynghyd â'r Arglwydd Ganghellwr, a'r Arg. Prif Ystafellydd, a'r Arg. Prif Hedd Geidwad a'r Iarll Marshall, ac a nesasant tu a thu y dwyrain i'r Olygfa; a'r Archesgob a ddywedodd, "Syrs, dyma fi yn dwyn i'ch gwydd y Frenhines Victoria yr hon yn ddiamheuol yw Brenhines y Deyrnas hon: am hyny, chwychwi oll ag sydd wedi dyfod yma heddyw i ddangos eich ymostyngiad, a ydych chwi yn foddlawn i wneud y cyfryw ymostyngiad?" Adroddodd, yr Archesgob y geiriau hyn dair gwaith, gan droi ei wyneb wrth eu hadrodd hwynt bob tro tua'r deheu, gorllewin, a'r gogledd; a'r Frenhines yn sefyll ar ei thraed wrth ei chadair, ac yn troi ei hwyneb at y bobl yn ol troad wyneb yr Archesgob; a'r bobl yn atteb i bob gofyniad gyda bloedd fawr, "Duw gadwo y Frenhines Victoria." Yna canwyd yr udcyrn, a churwyd y tabyrddau mawrion, a chanwyd Anthem y Genedl. Wedi hyny eisteddodd y Frenhines yn ei chadair fel o'r blaen.

YR OFFRWM CYNTAF.

Yna dyg yr Esgobion y Bibl, Dysgl bara y Cymmun, a'r Gwpan, ac a'u dodasant ar yr allor. A Swyddwyr y Dilladgell a daenasant lawrlen drudfawr auraidd a chlustogau i'w Mawrhydi i benlinio arnynt ar risiau yr allor. Wedi hyny, aeth y Frenhines, ac o bobtu iddi Esgob Durham, ac Esgob Bath and Wells, ac yn eu dilyn yr oedd Dëon Westminster, a hi benliniodd o flaen yr allor. Rhoddodd Arglwydd Prif Ystafellydd i'r Frenhines allor-frethyn euraidd, a hi a'i hestynodd ef i'r Archesgob, ac yntau yn sefyll yn ei hymyl. Rhoddodd yr un gwr iddi gyn o aur o un pwys, a hithau a'i rhoddes i'r Archesgob. A dododd yr Archesgob hwynt oll ar yr allor. Ar ol hyn adroddodd yr Archesgob y weddi hon, a'r Frenhines ar ei gliniau o hyd:—

"O Dduw, yr hwn wyt yn preswylio yn yr uchelder a'r cyssegr, a chyda 'r gostyngedig o ysbryd, edrych i lawr yn drugarog ar dy wasanaethyddes hon, Victoria ein Brenhines, yr hon sydd yn ymostwng ar ei gliniau o'th flaen di, ac wrth dy stol draed di, ac yn raslawn derbyn yr offrwm hwn

mewn cydnabyddiaeth gostyngedig o'th oruwch lywodraeth di ar bob peth, ac o'th fawr drugaredd atti hi yn neillduol, y rhai y mae hi yn awr yn eu hoffrymu i ti drwy Iesu Grist, ein Cyfryngwr a'n Dadleuwr. Amen."

Wedi hyny aeth y Frenhines yn ol i'w Chadair fel o'r baen.

Y LITANI.

Yna darllenwyd y Litani allan o Lyfr Gweddi Gyffredin, gan Esgob Worcester, ac Esgob Tŷ Ddewi.

Y CYMMUN.

Wedi hyny darllenodd yn Archesgob wasanaeth y Cymmun. Darllenodd Esgob Rochester yr Epistol, sef 1 Pedr ii. 13. A'r Efengyl, Matth. xii. 15. gan Esgob Carlisle.

Y BREGETH.

Darllenwyd Pregeth gan Esgob Llundain allan o'r Pulpud, a'r Frenhines yn aros ar ei Chadair Freiniol yn gwrando: y testyn oedd 2 Cron. xxxiv. 31.

Y LLW BRENHINOL.

Wedi darfod y bregeth, a chan-ddarfod i'r Frenhines ar Tach. 20, 1837, yngwydd dau Dŷ y Senedd wneuthur a llawarwyddo yr Ardystiad, yr Archesgob a nesaodd at y Frenhines, ac a safodd o'i blaen hi, ac a ddywedodd wrth ei Mawrhydi, yngwydd yr holl bobl fel hyn:—

A ydyw eich Mawrhydi yn ewyllysgar i gymmeryd y llw?

*Y Frenhines a attebodd,* Ydwyf.

*Arch.* A fydd i chwi gan hyny addaw a thyngu y bydd i chwi lywodraethu pobl Unol Deyrnas Brydain fawr, a'r Werddon, a'r Arglwyddiaethau perthynol iddi, yn ol y Cyfreithiau y cyttunir arnynt yn y Senedd, a'r deddfau a'r arferion perthynol i'r cyfryw?

*Y Fren.* Yr wyf yn ddifrifol yn addaw hyny.

*Arch.* A wnewch chwi hyd eich gallu beri i gyfraith a chyfiawnder, mewn trugaredd, gael eu gweinyddu yn eich dedfrydau?

*Y Fren.* Gwnaf.

*Arch.* A wnewch chwi hyd eithaf eich gallu amddiffyn cyfraith Dduw, gwir broffes yr Efengyl, a'r grefydd Brotestanaidd ddiwygiedig sefydledig drwy gyfraith? A wnewch chwi amddiffyn a chadw yn ddihalog Sefydliad Unol Eglwys Loegr a'r Werddon, a'r Tiriogaethau perthynol iddi? A wnewch chwi amddiffyn i'r Esgobion ac Offeiriaid Lloegr a'r Werddon, ac i'r Eglwysydd yno a roddwyd dan eu gofal, yr holl gyfryw iawnderau a rhagorfreintiau, y rhai drwy gyfraith a berthynant, neu a fyddo yn perthynu iddynt, neu i bob un o honynt?

*Y Fren.* Yr wyf yn addaw gwneuthur hyn oll.

Yna y Frenhines a gododd o'i Chadair, ac a ddaeth at yr allor, ac a blygodd ar ei gliniau ar y glustog yr hon a ddodasid ar y gris, a chan ddodi ei llaw ddeheu ar yr Efengyl Sanctaidd, yr hon a ddodes yr Archesgob yn ei llaw, hi a ddywedodd y geiriau hyn, "Y pethau a ddarfu i mi o'r blaen addaw, myfi a'u cyflawnaf ac a'u cadwaf. Felly cynnorthwyed Duw fi" Yna y cusanodd hi y llyfr, ac a ddododd ei henw wrth Gopi o'r llw, ac Arg. Ystafellydd yn dal y corn du iddi i'r perwyl.

YR ENEINIAD.

Wedi i'r Frenhines fel hyn gymmeryd y llw, hi a aeth yn ei hol i'w Chadair o du deheu i'r allor, lle yr eisteddasai hi i wrando y bregeth. A thra yr oedd ei Mawrhydi ar ei gliniau ar ei ystol droed, canodd y Côr yr Emyn, *Veni Creator Spiritus,* ac Archesgob Canterbury yn rhoi y llinell gyntaf allan iddynt Ar ddiwedd yr Emyn, darllenodd yr Archesgob y weddi berthynol i'r eneiniad, "O Arglwydd, Sanctaidd Dad, yr hwn drwy eneinio âg olew a wnaethost ac a gyssegraist gynt frenhinoedd, offeiriaid, a phrophwydi, i addysgu a llywodraethu dy bobl Israel, Bendithia, a sancteiddia dy ddewisedig wasanaethyddes Victoria; yr hon drwy ein swydd a'n gweinidogaeth sydd yn awr i gael ei heneinio â'r Olew hwn, a'i chyssegru i fod yn Frenhines y Deyrnas hon: Nertha hi, O Arglwydd, â'r Ysbryd Glan, y Dyddanydd; sicrha a chadarnha hi â'th hael a'th dywysogaidd ysbryd, ysbryd doethineb a llywodraeth, ysbryd cynghor a chadernid meddwl, ysbryd gwybodaeth a duwioldeb. A llanw hi, O Arglwydd, âg ysbryd dy ofn sanctaidd, yn awr a byth. Amen." Wedi darfod y weddi hon canodd y Côr Anthem Zadoc yr Offeiriad, &c. 1 Bren. iv. 39, 40.

Yna y Frenhines a aeth at, ac a eisteddodd yn nghadair St. Edward, yr hon a orchuddiasid â brethyn auraidd, a stol droed o'i blaen hi, yr hon a ddodasid yn wyneb yr allor. Yna Dëon Westminster a gymmerodd yr olew-lestr oddiar yr allor, ac a dywalltodd o hono beth o'r olew i lwy yr eneiniad. A'r Archoffeiriad a dywalltodd beth o hono ar ben, ac ar ddwylaw y Frenhines, gan ddywedyd y geiriau hyn:—"Eneinier di âg Olew Sanctaidd, fel yr eneiniwyd brenhinoedd, offeiriaid, a phrophwydi. Ac megis y darfu i Zadoc yr Offeiriad eneinio Solomon yn frenin, a Nathan y prophwyd, felly eneinier chwithau, a bendithier, a chyssegrer chwi i fod yn Frenhines ar y bobl hyn, y rhai a roddodd yr Arglwydd eich Duw i chwi i'w rheoli a'u llywodraethu. Yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan. Amen."

Ar ol hyn, cyfododd y Frenhines a dododd Deon Westminster y Fantell Ymerodrol am dani, a chymmerodd y Globyn auraidd a'r groes, ac a'u dododd hwynt yn llaw y Frenhines.

Y CORONIAD.

Yna yr Archesgob, gan sefyll o flaen yr allor, a gymmerodd y Goron yn ei ddwylaw, ac a'i cyfleodd drachefn o'i flaen ar yr allor, ac a ddywedodd,

"O Dduw, yr hwn wyt yn coroni dy ffyddlawn weision â thrugaredd ac â thosturi, edrych i lawr ar dy wasanaethyddes Victoria, ein Brenhines, yr hon yr awr hon sydd yn crymu ei phen i'th Ddwyfol Fawredd, (yna crymodd y Frenhines ei phen,) ac megis yr ydwyt ti y dydd hwn yn gosod coron o aur pur ar ei phen hi, felly cyfoethoga ei chalon frenhinol â'th nefol ras, a chorona hi â phob rhinweddau brenhinol, y rhai a addurnant y sefyllfa oruchel yn yr hon y gosodaist hi, drwy Iesu Grist ein Harglwydd, i'r hwn y byddo anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen."

Y Frenhines o hyd yn eistedd yn Nghadair y Brenin Edward, Dyg Deon Westminster y Goron, a'r Archesgob, gan ei chymmeryd o'i law ef, a'i gosododd yn barchus ar ben y Frenhines.

Y funud y dodwyd y Goron ar ei phen hi, saethwyd y Magnelau mawrion, a bloeddiodd yr holl bobl, nes oedd yr holl Eglwys fawr yn dadsain. Wedi darfod y floedd, dywedodd yr Archesgob wrth y Frenhines:—

"Ymwrola, a chymmer gysur; cadw orchymynion Duw, a rhodia yn ei ffyrdd sanctaidd ef; ymdrecha hardd-deg ymdrech y ffydd, a chymmer afael ar y bywyd tragywyddol; fel yn y byd hwn y coroner chwi â llwyddiant ac anrhydedd, a phan orphenoch eich gyrfa y derbynioch goron cyfiawnder, yr hon a rydd Duw, y barnwr cyfiawn, i chwi yn y dydd hwnw. Amen."

Wedi hyny, canwyd yr Anthem—"Yn dy nerth di, O Arglwydd, y llawenycha y Frenhines; ac yn dy iachawdwriaeth di, mor ddirfawr yr ymhyfryda! canys achubaist ei blaen hi â bendithion daioni: gosodaist ar ei phen hi goron o aur coeth. Haleluiah. Amen.'

RHODDIAD Y BIBL SANCTAIDD.

Wedi hyny cymmerodd Dëon Westminster y Bibl oddiar yr allor, ac a'i rhoddes i'r Archesgob, yr hwn a'i rhoddodd yn llaw y Frenhines, a'r Dëon a'r Esgobion yn sefyll yn ei ymyl, gan ddywedyd, "Ein grasusaf Frenhines, yr ydym yn rhoddi i chwi y llyfr hwn, y peth mwyaf gwerthfawr yn y byd hwn. Yma mae doethineb; dyma y gyfraith frenhinol; dyma fywiol eiriau Duw. Dedwydd yw yr hwn sydd yn darllen, a'r rhai sydd yn gwrando geiriau y llyfr hwn; y rhai a gadwant, ac a wnant y pethau sydd yn gynnwysedig ynddo. Canys dyma eiriau y bywyd tragywyddol, yn abl i'ch gwneuthur chwi yn ddoeth ac yn ddedwydd yn y byd hwn, ïe yn ddoeth i iachawdwriaeth, ac felly yn ddedwydd yn dragywydd, drwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu, i'r hwn y byddo y gogoniant yn oes oesoedd. Amen."

Yn awr, wedi i'r Frenhines fel hyn, gael ei heneinio, a'i choroni, ac wedi iddi dderbyn holl Arwydd-nodau Brenhinoliaeth, yr Archesgob yn ddifrifol a fendithiodd ei Mawrhydi; a'r holl Esgobion, gyda'r lleill o'r Arglwyddi, yn dilyn yr Archesgob gyda phob rhan o'r Fendith, â'u Hamen uchel a grymus.

Yna fe'i Gorseddwyd hi, ac fe wnaed y gyffes o ymostyngiad iddi, fel y crybwyllasom yn ein Rhifyn diweddaf. Gan y byddai yn rhy faith o lawer roddi hanes yr holl drefniadau, diweddwn ar hyn.

Yr oedd y Frenhines yn hynod o wrol a siriol a boneddigaidd a gweddus iawn yn ei holl ymddygiad ar hyd yr amser; ond yr oedd hi yn ymddangos yn lluddiedig iawn yn ei mynediad tuag adref; ac nid rhyfedd hyn, pan ystyriom ei hieuenctyd, ac i'r seremoniau barhau ynghylch pedair awr.

---

## Hysbysiadau Crefyddol.

CYMDEITHASFA Y BALA, MEH. 1838.

I. Penderfynwyd y Cyfarfodydd canlynol:—

1. Cymdeithasfa Machynlleth, Awst 2, 3.
2. Cymdeithasfa Chwarterol nesaf, Bangor, Medi 10, 11, 12.
3. Cymdeithasfa Flynyddol Dolgellau, Medi 26, 27.
4. Cymdeithasfa Chwarterol y Deheudir, Aberteifi, Awst 8, 9.

II. Sylwyd am adnewyddiad rheolaidd ar Bregethu teithiol. Ystyrir hyn ymhellach yn y Cyfarfod Chwarterol nesaf.

III. Trefnwyd hen Frawd i ymweled a'r achos yn Llundain. Rhoddwyd gair o annogaeth i ofal a ffyddlondeb gyda yr Ysgol Sabbathol.

Annogwyd y Crefyddwyr ynglanau y Moroedd i edrych am sefyllfaoedd, na byddont dan rwymau i dori y Sabbath yn wastadol. Ac na ellir goddef mewn undeb eglwysig y rhai a daflant eu hunain ar fyrddau Agerdd-longau, y byddont yn gwybod eu bod yn arfer tramwyo ar y Sabbath, megis o'r Iwerddon i Liverpool.

IV. Penderfynwyd hefyd fod Cyfarfod gweddio ymhob Capel yn ein cyfundeb (hyd y byddo'n bosibl) ddydd, ac awr coroniad ein Grasusaf Frenhines, oblegid barnwyd mai yr arwydd flaenaf o barch, a'r agwedd deilyngaf arnom fyddai bod ar ein gliniau yn gweddio pan fyddo y Goron yn cael ei rhoddi ar ei phen hithau.

J. FOULKES.

---

CYMDEITHASFA AMLWCH.

Cynhaliwyd y Gymanfa hon ar yr 20ed a'r 21 o Mehefin, 1838. Yr oedd yr hin yn hynod o anghysurus, trwy ei bod yn wlyb, a gwyntog; ond er hyny, yr oedd udgorn floedd Brenin gyd a'i luoedd: yr holl bregethau yn hynod o gadarn, a gwlithog, nid buan yr anghofir hwynt gan y rhai oedd yn bresenol. Ymdriniwyd yn fanwl, yn y cyfarfodydd neillduol, am waith yr Yspryd, yr hwn a gymylir, neu a wedir gan lawer yn yr oes hon.

Cynaliwyd y moddion cyhoeddus fel y canlyn:—

Am 5 y prydnawn cyntaf, gweddiodd Mr. G. Jones, Myfyriwr yn y Bala, pregethodd Mr. D. Jones, Llanllechid, ar 1 Thes. i. 10; ar ei ol, Mr. Henry Rees, Liverpool, ar Salm xc. 12.

Am 6 y bore dranoeth, gweddiodd Mr. W. Williams, Llanllechid, pregethodd Mr. D. Rees, Penmachno, ar Mal. iv. 2.

Am 10, Gweddiodd Mr. John Griffiths, Sir Gaerfyrddin, pregethodd Mr. David Hughes, Nantcaredig, ar Phil. iii. 11. a Mr. Rees, ar Esaia xiv. 32.

Am 2, Gweddiodd Mr. W. Williams, Manchester, pregethodd Mr. David Rowlands, Llidiardau, ar Mat. xxvi. 39. a Mr. David Howells, Abertawe, ar Heb. iv. 14.

Am 6, Ynghapel y Bedyddwyr, pregethodd Mr. W. Williams, ar Act. xxiv. 25. a Mr. John Elias, ar Esec. xxxiv. 26.

Yr un awr, Ynghapel y Trefnyddion Calvinaidd, pregethodd Mr. Cadwaladr Owens, ar Luc xv. 2. a Mr. W. Jones, Rhuddlan, ar Luc xii. 32.

Dywenydd genym hysbysu bod hedd a chydgordiad yn ffynnu yn ein plith. Ymddiddanwyd â, a derbyniwyd, dau Bregethwr ieuangc, sef Mr. W. Charles, a Mr. Richard Roberts, Caergybi, cafwyd pob boddlonrwydd yn eu barn. Holwyd hwy yn fanwl, a goleu, gan Mr. Rees, am athrawiaeth y ddau gyfammod, a gwaith yr Yspryd. Yr oedd trigolion y dref a'i hamgylchoedd yn dra charedig, ewyllys da Preswylydd y berth a arhoso yn eu mysg. OMEGA.

## Helyntion yr Amseroedd.

*Bedydd-Ardderchog.* — Dydd mercher, Gorph. 11. Yn Stafford House, Llys Duc Sutherland, am dri ar gloch, daeth y Frenhines, ac yn ei chanlyn Arg. Ystafellydd, y Dywysoges FeodorVon Hohenlohe, Barones Von Spalt, Barones Lehsen, Barones Feldt, a'r Arglwyddes Flora Hastings, i mewn i'r Llys. Dyben y Frenhines yn dyfod oedd, i sefyll yn Fam-fedydd i eneth fach y Duces Sutherland, yr hon oedd i gael ei bedyddio. Am hanner awr wedi tri, nesaodd y Frenhines, a'r personau a enwyd uchod at y Fedyddfan. Yr oedd y Fedyddfan wedi ei gwneuthur i gyd o arian, ac wedi ei gosod mewn ystafell ardderchog yn y Llys. Bedyddiwyd yr eneth gan Archesgob York; a'r Frenhines a alwodd ei henw hi "Victoria." Ar ol y bedydd, arhosodd ei Mawrhydi yno hyd hanner awr wedi pump, pryd y dychwelodd i Lys Buckingham.

*Llwyr ryddhad y Caethion.*—Mae yn beth rhyfeddol i feddwl, fod Perchenogion y Caethion, neu Feistriaid y Prentisiaid yn Nhrefedigaethau Brydain, o honynt eu hunain, yn debyg o ollwng yn rhydd eu holl Brentisiaid ar y dydd cyntaf o Awst nesaf. Mae amryw Drefedigaethau wedi eu gollwng hwynt yn rhydd ar ddydd coroniad y Frenhines, sef Mehefin 28. Mae yn beth llawer mwy anrhydeddus fod y Meistriaid o'u hewyllys da eu hunain yn eu gollwng yn rhydd, na phe buasai y llywodraeth, drwy weithred y Senedd yn eu gorfodi i wneud hyny o'u hanfodd. Bydd ymddygiad y Planiadyddion yn hyn yn peri mawr foddhad i drigolion Brydain fawr, yn gymmaint ag iddynt ddangos graddau rhyfeddol o frwdfrydedd a chydymdeimlad yn achos y Prentisiaid gorthrymedig druain. Mae y newyddion diweddaf a n cyrhaeddodd o Barbadoes, Jamaica, &c. yn peri i ni feddwl y gallai, erbyn hyn, fod y Caethion oll yn rhydd! Gobeithiwn yn ddiffuant mai felly y mae.

*Yr Aipht a'r Twrciaid.* Mae Mehemet Ali, Pacha (*Llywydd*) yr Aipht, wedi anfon Cyhoeddiad allan, na bydd iddo ef o hyn allan dalu dim teyrnged i Ymerawdwr Twrci fel y gwnaethai hyd yn hyn; ond y bydd iddo fod yn Llywydd annymddibynol ar wlad yr Aipht, a gwneud Ymerodraeth o honi. Mae yn gof gan amryw ei fod ef cyn hyn wedi cynnyg y peth, ac oni buasai i alluoedd Ewrop gyfryngu rhyngddynt, felly y buasai ers talm. Mae ei fab Ibraham Pacha yn rhyfelwr dewr a medrus iawn, ac y mae ganddo liaws dirfawr o filwyr dano. Yr unig beth a ddymunai Mehemet Ali ar alluoedd Ewrop ydyw bod yn amhleidgar, (*neutral*), sef peidio gwneud dim o ochr yn y byd; ond gadael rhyngddo ef a'i hen Feistr, Ymerawdwr Twrci. Pan fynegwyd hyn i'r Ymerawdwr, efe a ffrommodd yn aruthr, ac a fynai fyned i ryfel yn erbyn Mehemet Ali yn ddioed; ond fel y darfu i Genhadon Brydain a Ffrainc, y rhai oeddynt yn Constantinople, ei berswadio ef i beidio hyd oni dderbynient hwy air o'u gwahanol wledydd, beth fyddai eu meddwl hwy ar y matter: ac felly y mae y peth yn sefyll.

*Y mân Dafarnau.* Mae yn debyg iawn y gosodir pen ar y rhai hyn yn Ebrill nesaf. Maent wedi gwneud aneirif ddrwg yn y wlad, a hyny a wnant etto cyn hyny mae yn debygol. Maent yn demtasiynau llîosog a chryfion iawn i annog i yfed diod feddwol, yn yr hyn y mae gormodedd.

*Cadwraeth y dydd Sabbath.*—Mae Ysgrif Mr. Plumtree am welliant ar gadwraeth y Sabbath wedi cael ei fwrw allan o'r Senedd etto y leni. Barnai amryw o'r aelodau fod digonolrwydd o gyfreithiau eisoes mewn bod am gadwraeth y dydd sanctaidd yn y deyrnas hon, ond bod eisiau eu dodi mewn gweithrediad. Hefyd, barnai amryw fod yr Ysgrif gynnygiedig hon yn gwasgu ar derfynau y bobl dlodion, gweithwyr, &c. ac nad oedd yn cyrhaedd y gwyr mawr, i'w rheoli hwy ar y dydd sanctaidd. Mae yn debyg nad ydyw ein Senedd yn ddigon crefyddol i lunio cyfraith er cadw yn sanctaidd y dydd Sabbath. Er hyny, os bydd i unrhyw un etto wneud cynnygiad at hyn,

ein dyledswydd ni fel Cristionogion yw cefnogi y cyfryw gynnygiad â'n holl egni drwy anfon Eirchion, &c.

*Eilunaddoliaeth yn yr India.*—Dydd gwener Gorphenaf 13, hanner dydd, cynnaliwyd Cyfarfod mawr yn Llŷs dinas Caerlleon, i ystyried yr angenrheidrwydd, o anfon Archiad i ddau Dŷ y Senedd, i erfyn am ymwared i Swyddogion milwraidd Brydain, rhag eu gorthrymu drwy osod gorfodaeth arnynt i gyd-gyfranogi â'r Indiaid yn y Dwyrain i gyd addoli eilunod â'r trigolion: ac â hyny cydunwyd i wneuthur yn ddioed. Y gorthrwm hwn a gyflawnir gan swyddwyr Llywodraeth yr India.

*Agerdd Long fawr*—Y Llong a elwir Royal William, eiddo cydfasnachwyr Dublin a gychwynodd ei mordaith o Le'rpwll brydnawn mawrth, Gorphenaf 3ydd, tua New York, yn America. Dyma yr Agerddlong gyntaf a gychwynodd o'r dref hon i'r America. Yr oedd yno filoedd o bobl yn edrych arni yn cychwyn, a hwy a roisant floedd fawr ar droiad cyntaf ei holwynion asgellog hi, gan ddymuno rhwydd hynt iddi. Mae y Royal William yn llestr hardd iawn, ac yn cario 619 o dunnelli. Dysgwylir iddi gyrhaeddyd America mewn yn agos i bythefnos o amser.

*Esgob newydd Sodor a Mann*—Gosododd y Llywodraeth y Dr. Bowstead yn Esgob Sodor a Mann; a boddhaol iawn fu y peth gan Brif Athrofa Cambridge. Mae efe yn gyfaill diysgog i ryddid crefyddol a gwladol.

*Yr Agerdd Long fawr Western*—Mae yr Agerdd Long fawr hon wedi dychwelyd yn ol o America i Fristol, o'r lle y cychwynasai. Un o'r pethau rhyfeddaf a glybuwyd erioed mewn perthynas i forwriaeth, ydyw, iddi fyned o Bristol i New York mewn pedwar diwrnod arddeg; ac iddi ddychwelyd oddiyno i Bristol yn ol mewn deuddeng niwrnod ac ugain awr!

Hi a ddyg 92 o deithwyr ar ei bwrdd i Bristol. Ac ymysg y newyddion a ddygodd hi oddiyno, dyma un dychrynllyd iawn.

*Dygwyddiad ofnadwy.*—Llosgiad Agerdd long Washington, deg a deugain o fywydau wedi colli. Gofidus iawn yw hysbysu ddarfod i'r Agerdd long newydd Washington gymmeryd tân o'r alch wrth y ffwrnas, ddydd sadwrn, Mehefin 16, am ddau ar gloch y boreu, pan oedd dair milldir uwchlaw y Silver Creek, ac ynghylch 36 o filldiroedd o ddinas Buffalo. Hi a losgodd hyd at fin y dwfr, ynghyd a'r holl eiddo oedd ynddi. Gwelodd Cadpen Edmund hi addiar fwrdd ei long yn fflam fawr ymhell oddiwrthi, ac â'i holl egni efe a dynodd tuag atti, ac a fu yn foddion o achub llawer o fywydau. Ymysg ereill efe a achubodd wraig, yr hon oedd a'i dau blentyn bach yn ei chol, ac erbyn edrych yr oedd y ddau wedi marw, er fod y fam yn fyw. Ar y llyn mawr hwnw a elwir Lake Erie y bu hyn. Yr oedd yr Agerddlong yn werth hanner can mil o ddolars.

*Storm a llifogydd dychrynllyd.* Dydd mercher Gorphenaf 4, bu storm o fellt, taranau, cenllysg, a darnau mawrion o iâ, amryw fodfeddi o gylchfesur, ac yn eu dilyn gwlawogydd a llifogydd anarferol iawn yn Lancashire, ychydig o filltiroedd i'r gogledd o Manchester. Mewn un lle neu ddau tarawyd dynion â'r mellt, a lladdwyd un. Lladdwyd gwartheg ac adar yn amryw fanau. Y cenllysg, a'r tameidiau mawrion o iâ, a wnaethant ddifrod dychrynllyd mewn gerddi, a thorasant amryw ffenestri nenau tai yn chwilfriw mân.

Ond y llifogydd a laddodd fwyaf o ddynion, ac a wnaeth fwyaf o golledion mewn eiddo o ddim arall.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

Mae tebygolrwydd mawr y bydd i'r tair Ysgrif perthynol i'r Diwygiadau yn y Werddon basio dau Dŷ y Senedd cyn diwedd yr eisteddfod presennol, a'u sefydlu yn rhanau o gyfraith y tir. Yn 1. Cyfraith y Degwm. 2. Cyfraith Diwygiad y Corphoraethau Bwrdeisiol. 3. Cyfraith cynnaliaeth y tlodion. Nid oes nemawr o ddim arall yn cael ymdrin âg ef yn y Senedd ond yr Ysgrifau hyn yn bresennol. Hefyd, Ysgrif peidio carcharu am ddyled.

---

MARW-RESTR.—Ar yr 28in o Mehefin, yn y 73 fl. o'i oed, bu farw y Parch. Iob Wilson, o Northwich; wedi bod am bedair blynedd a deugain yn weinidog ffyddlon a hoffus i gynnulleidfa o Annibynwyr yn y dref hono.

Claddwyd ef mewn beddrod o dan y Pulpud yn ei Gapel ei hun, y dydd mercher canlynol, gyda difrifwch a pharch mawr. Yr oedd Mr. Wilson wedi teilyngu y fath anrhydedd gan bawb a'i hadwaenai, oherwydd ei dduwiolfrydedd, ei lafur gweinidogaethol, a'i ffyddlondeb gyda phob gwaith da, fel y daeth rhai gwyr Eglwysig i'w hebrwng i dŷ ei hir gartref. Heblaw rhestr fawr o Weinidogion ei gorph ei hun, daeth y Parch. Mr. Vaudrey, a'r Parch. Mr. Cardale, Offeiriaid yr Eglwys Wladol, y Parch. R. Clows, Viccer Knutsford, a'r Parch. Mr. Lee, Pregethwr y Wesleaid; heblaw torf fawr iawn o bobl o dref a'r wlad.

Bu farw, ar yr 20fed o Mehefin, Jane Roberts, unig ferch Mr. Aaron Roberts, Druggist, Dinbych.

Gorph. 23, 1838, bu farw ein hanwyl frawd, Mr. ISAAC KIRKHAM, Heol yr Eglwys, Gwrexham, wedi proffesu proffes dda am 42 o flynyddoedd; ac a fu yn flaenor yn yr Eglwys am 36 o flynyddoedd. Bu yn ffyddlon a defnyddiol yn llaw yr Arglwydd yn ystod ei holl daith. Cadwyd ef yn ddigwymp nes yr aeth i lawenydd ei Arglwydd. Gadawodd ei weddw i alaru ar ei ol; a chladdwyd ef yn mynwent yr Ymneillduwyr, yn y Rhosddu, gerllaw y dref. Dwys deimlir y golled ar ei ol gan ei frodyr a'r holl gynnulleidfa. J. J.

# BARDDONIAETH.

## PENILLION

*Hiraeth y Cyfeillion yn Henllan am Miss Mary Jones, unig ferch Mr. Robert Jones, Grocer, yr hon oedd Ferch Ieuangc gall a chrefyddol, bu farw o'r Darfodedigaeth Mawrth 26, 1837, yn 16 mlwydd oed.*

Pan yr oeddem gan ragluniaeth,
Yn fwyn odiaeth ar ryw awr;
Yn cydsugno pleser bywiol
Llawnder nefol ar y llawr,
Angau brenin pob rhyw ddychryn,
Yn dra sydyn gyd a'i saeth,
Ymddangosai yn arswydawl,
A'rho'i ini ingawl aeth.

Ac anadlai awel farwol,
Annymunol arnom ni,
Nes dai tristwch tros ein henaid,
Ac o'n llygaid ddagrau'n lli;
Yna gwenai yn rhagrithiol,
Etto marwol oedd ei wedd,
A'i law oeraidd ddidosturi,
Ai a Mary bach i'r bedd.

Hyn gymmysgai ein teimladau,
Nes mae gwên ac aethau lu,
Yn ymferwi'n donau gwylltion,
Drwy holl giliau'r galon gu,
Cwmwl dudew yn ymgodi,
Gwawr er hyny 'n tori sŷ,
Ninau'n canu ac yn wylo,
Wrth fyfyrio am a fu.

Wylo'n ddwys o herwydd colli,
Un oedd ini 'n anwyl iawn,
Canu'n llawen wrth adgofio
Iddi rodio i oror lawn;
Teimlo hiraeth mawr a thristyd,
Am ei gwên, anwylyd gwiw,
Etto tewi, a moliannu
Am ei golchi'n hardd ei lliw.

Gan addurniant ymddisgleiriai,
Tra'r ymdeithiai ar y llawr,
Hardd ei phryd a boneddigaidd,
Oedd a llariaidd bob rhyw awr;
Hoffder, mwynder, gwiw rinweddau,
Megys blodau frithai 'i bron,
A phelydron serchawg, dengar,
Lanwai 'i llygaid lliwgar llon.

Yn yr Eglwys peraroglai,
A dangosai yn ei dydd,
Fod gofalon mwya 'i chalon,
Am wir ffyddlon air y ffydd;
Teimlo 'i throsedd a'i thrueni,
Ydoedd iddi'r penaf poen,
A ffynonell ei gorfoledd,
Oedd gwir rinwedd gwaed yr Oen.

Fel hardd rosyn yn ymagor,
Fel gwiw drysor ar y traeth;
Fel cain wlith ar amrant natur,
Yma'n bybyr iawn y daeth:
Ond rhyw droed y rhosyn sathrai,
Moryn ddygai'r trysor gwiw,
Haulwen boeth ddiflanai'r gwlithyn,
Felly'n ddibrin troes ei lliw.

Tros hir ddyddiau bu mewn nychdod,
Ingawl hynod cyn rhoi bun,
Pan yn teimlo, gwywo, gwaelu,
Ac yn trengu'n wael ei llun,
Etto tan y clefyd trymaidd,
Mwynaidd hynaws oedd o hyd,
Yn mynegi 'i melys brofiad,
'Trefn ei gariad yw i gyd.'

Nesu wnaeth yn araf dawel,
Y'ngoruchel law ei Thâd,
Trwy gul ddyffryn cysgod angau
At ororau'r nefol wlad;
Ac wrth groesi'r donawg afon,
'Roedd angelion ddisglaer lu,
Yn ymffurfio 'n gerbyd tanllyd
I'w ei dwyn i'r gwynfyd fry.

Braidd na welwn mewn dychymyg,
'Nawr y geinfyg osgordd gu,
Yn nesau at borth paradwys,
(O mor gymmwys ydyw 'r llu,)
Yna'r disglaer berlawg ddrysau,
Ar golynau aur sy'n troi,
Ymagorent oll o gariad
Er derbyniad iddi roi.

O mor ddedwydd ydyw 'r enaid
Yn y ganaid ddinas gu,
Pob rhyw drallod wedi darfod,
Cymmod llwyr y'mhlith y llu;
Llen nol llen o ryfeddodau
Geidw danau'r nef yn dyn,
A myfyrio yn drag'wyddol
Farwol boen ar ael y bryn.

Hunai'r corph yn dawel ddigon,
O dan dynion gloriau'r glyn,
Hyd nes geilw trwmp Ion gwiwlon
Y marwolion---seiniad syn!
Yna, una â'r gwiw enaid
Draw ar amnaid Ior y nen,
A thrwy rinwedd yr Oen dilyth
Ant i fywyd byth.---Amen.

J. H. HUGHES, *alias*, IEUAN O LEIN.

*Nantglyn.*

---

### YR ANNEDDLE LONYDD.

Mae 'm tynfa tu a thŷ fy Nhad,
O'r anial wlad rwy'n byw;
Pob ton, pob croes, pob awel sy,
I'm nesu i dŷ fy Nuw.

Mae'r wlad lle mae fy nhrysor i
Yn tra rhagori ar hon;
Gwlad lle nad oes na phoen na chur,
Na gofid prudd i'm bron.

Can's yno mi gaf nofio byth,
Mewn môr dilyth o hedd;
Ac ni ddaw ton o ofid mwy,
Na chlwy' tu draw i'r bedd.

*Pwllheli.* W. GRIFFITH.

# Y DRYSORFA.

RHIF. XCIII.] MEDI, 1838. [LLYFR VIII.

## BUCHDRAETH Y PARCH. JAMES OWEN.

Ganwyd y gwr duwiol hwn yn y Bryn, gerllaw Caerfyrddin, Tachwedd 1, 1654. Yr oedd ei rieni yn barchus. Ond fe ddioddefodd ei dad lawer yn amser y rhyfel gartrefol oedd yn y wlad y pryd hyny, oherwydd ei fod ef yn tueddu yn gryf o blaid y brenin.

Dodwyd Mr. James Owen mewn Ysgol gyda Mr. Picton yn Nghastell Caerfyrddin, ac wedi hyny gyda Mr. Phillips o'r un dref. Yr oedd ei awydd am ddysgeidiaeth yn fawr iawn Efe a lynai wrth ei lyfr. Pan oedd yn yr ysgol goleuwyd ei feddyliau yngylch mawr bwys gwirioneddau y Bibl. O hyny allan addurnwyd ef â grasau yr Efengyl fel y bu yn addurn i grefydd Crist ddyddiau ei oes. Tueddwyd ei feddyliau yn gryf at waith mawr y weinidogaeth. Ei dad, pan ganfu ynddo dueddfryd duwiol, ynghyd âg awydd a medrusrwydd nodedig at ddysgeidiaeth, a ymdrechodd, er fod ganddo liaws o blant, ac nad oedd yn perchen llawer o'r byd, i roddi iddo ddysg addas at y swydd sanctaidd.

Ymhen ysbaid o amser anfonwyd ef i gael ei ddysg parottoawl i Brynllywarch, Sir Forganwg, preswylfod y Parchedig a'r dysgedig Samuel Jones, o dan nawdd yr hwn y dysgodd efe Philosophyddiaeth a Duwinyddiaeth. Wedi iddo ymadael o Bryn llywarch, efe a aeth at ei dad bedydd, y Parch. James Howell, gwr Eglwysig. Pan oedd efe yno, efe a ymroddodd i chwilio i mewn i'r ddadl boethlyd ag ydoedd ar droed y dyddiau hyny ynghylch Cydffurfiad ac Anghydffurfiad, ac oherwydd rhyw gaethiwed cydwybod a deimlai, efe a dueddwyd i ogwyddo at yr Ymneillduwyr. Llawer a ymresymodd ei Rieni âg ef ar yr achlysur hwn, canys Eglwyswyr cryfion iawn oeddynt hwy. Mr. Howell hefyd, ynghyd âg amryw o'i gyfeillion a ymdrechent i'w ogwyddo at yr Eglwys wladol. Da y gwyddai efe fod yr Ymneillduwyr dan raddau mawr o ddirmyg, a'u bod yn cael eu hamgylchynu gan wrthwynebwyr galluog, ac mai os ymlynai efe wrthynt nad oedd iddo ddysgwyl dim llai na dirmyg a thlodi.

Ond yr oedd ei wrthwynebrwydd ef i gydymffurfio â'r Eglwys wladol yn gyfryw, nad ellid ei symmud ymaith â gobaith elw a dyrchafiad. Ac wedi hir a dwys ystyriaeth o'r achos hwn, efe a anturiodd ymuno â'r blaid erlidiedig a dirmygedig. Efe a ddechreuodd ar waith y weinidogaeth yn Swansea, fel cynnorthwywr i'r Parch. S. Hughes.* Ond buan yr erlidiwyd ef oherwydd ei anghydffurfiaeth, fel y bu gorfod arno ffoi am noddfa, yr hon a gafwyd iddo am ryw hyd yn Bodwal, Swydd Gaernarfon. Pan fyddai efe yn rhydd oddiwrth lafurio yn y weinidogaeth efe a astudiai dros unawrarbymtheg yn y dydd, gan faint ei awydd am wybodaeth.

Yn y flwyddyn 1676 efe a wahoddwyd i Sweeney, gerllaw Croesoswallt, ac wedi iddo fod yno yn pregethu yn llwyddiannus dros ryw hyd, efe a ymroddodd i daenu gwybodaeth o'r Efengyl gyda mawr zel, ac o'r herwydd efe a erlidid yn ddirfawr. Efe a gymmerwyd i fynu am bregethu, ac fe 'i dodwyd ef ac amryw o'i wrandawyr yngharchar yn Nghaerwys, Swydd Flint. Ond drwy ryw gamgymeriad, fe ganfuwyd nad oeddis wedi ei garcharu yn ol rheol y gyfraith, ac o herwydd hyny, fe'i cynghorwyd ef i ddefnyddio y gyfraith i gospi ei wrthwynebwyr. A phan glywodd yr Ynadon heddwch hyny, hwy a ofnasant yn ddirfawr, a gollyngasant ef a'i gyfeillion yn rhydd. Ond ni ddefnydd-

* Gwel Hanes bywyd y Parch. Stephen Hughes yn y Rhifyn diweddaf, tu dalen 225.

iodd Mr. Owen y camgymeriad i wneud iddynt un niwed. A phan welodd yr Ynadon mai gwr heddychol oedd Mr. Owen, hwy a dalasant iddo ddrwg am dda, drwy ei ddirwyo ef a'i gyd-garcharorion; a phan nad oedd ganddynt arian i dalu y ddirwy, hwy a yspeiliasant eu tai o'u dodrefn, ac a'u gwerthasant hwynt i dalu. Eithr Mr. Owen a'i gyfeillion a roddasant eu hachos i'r hwn sydd yn barnu yn gyfiawn.

Yn y flwyddyn 1679 efe a symudodd o Sweeney i Groesoswallt. Yno y bu efe yn gweinidogaethu lawer o flynyddoedd, ac yno y dyoddefodd efe lawer o erledigaethau. Pregethodd yn gysson, i gynnulleidfa fechan, dan lawer o anfanteision. Efe a fu yn ffyddlon iawn i lafurio i daenu gwybodaeth ymhlith y Cymry yn amrywiol barthau tywyll y Dywysogaeth; ond po fwyaf y llafuriai yn y gwaith da hwn, mwyaf o wrthwynebiadau a gai: a mynych y cyflawnai ei ddyledswydd mewn perygl am ei fywyd.

Pwy a ddichon beidio galaru wrth feddwl am bleidgarwch erledigaethus, yn rhedeg mor bell ag i orthrymu gwr mor dduwiol a llafurus ag oedd Mr. Owen, yn unig am ei fod yn gwahaniaethu oddiwrth ei erlidwyr mewn pethau allanol crefydd. Mae sulw Iarll Mansfield ar y matter hwn yn deilwng iawn o'i gadw mewn cof. Eb efe, 'Diammeu nad oes dim yn fwy afresymol, yn fwy anghyson âg iawnderau y natur ddynol, yn fwy gwrthwyneb i yspryd a gorchymynion y Grefydd Gristionogol, yn fwy dryg-ionus ac anghyfiawn, nag yw erledigaeth. Mae yn wrthwyneb i grefydd naturiol, yn wrthwyneb i grefydd ddatguddiedig, ac yn wrthwyneb i wir lywodraeth wladwriaethol.'

Fel Brythoniaid, yr ydym yn llawenychu am fod ein dedwyddol wlad wedi ei gwaredu oddiwrth y drygioni gwrthun hwn. Mae tiriondeb, cyfiawnder, a rhyddid cydwybod, wedi esgyn i orsedd Brydain. Yno y byddont yn llywio byth, medd yr Ysgrifenydd.

Tra bu Mr. Owen yn preswylio yn Nghroesoswallt efe a ddaeth yn adnabyddus â'r gwr duwiol hwnw Mr. Philip Henry, yr hwn a wnaeth sulw neillduol arno, a ymgyfeillachodd yn fynych âg ef, ac a fu yn offerynol i'w gadarnhau ef mewn egwyddorion o arafwch a mwyneidd-dra, yn y rhai yr oedd Henry a'i deulu yn rhagori ar y cyffredinolrwydd yn eu hoes.

Dysgeidiaeth, duwioldeb, a llafur Mr. Owen a barai iddo gael ei barchu yn fawr gan y gwir dduwiol, ac a'i gwnaeth yn bregethwr poblogaidd yn y Dywysogaeth, ymhob man lle yr oedd yn adnabyddus.

Y flwyddyn 1681 oedd un hynod yn oes Mr. Owen, canys Dr. W. Lloyd, Esgob dysgedig ac anrhydeddus Llanelwi, wedi hyny, Esgob Worcester, yr hwn oedd yn elyn i erledigaeth, a ymdrechodd drwy diriondeb i symmud ymaith y rhwystr oedd yn meddwl yr Ymneillduwyr yn erbyn cydymffurfio â'r Eglwys wladol. I'r dyben hwn, efe a ymwelodd â'r holl drefydd mwyaf yn ei Esgobaeth; ac ymysg ereill, Croesoswallt. Wedi ymddyddan law-law â Mr. Owen amryw weithiau, efe a bennododd y 27in o Medi i ddadleu yn gyhoeddus ar yr achlysur hwn yn Llys y Dref, lle yr oedd Mr. Owen i roddi cyfrif yngwydd y dorf gynnulledig, pa sail oedd ganddo i ymaflyd yn ngwaith y weinidogaeth heb gael urddau Esgobawl. Felly y bu.

Daeth yr enwog Mr. Henry Dodwell gyda'r Esgob; a Mr. Philip Henry, a Mr. Jonathan Roberts, o Lanfair, Swydd Ddinbych, gyda Mr. Owen. Daeth hefyd amryw o'r Offeiriaid a boneddigion o'r wlad, ac Ynadon y dref, a lliaws mawr o bobl, i'r cyfarfod i wrando ar y ddadl gyhoeddus. Dechreuodd y ddadl am ddau ar gloch brydnawn, ac a barhaodd hyd o saith i wyth ar gloch y nos. Yr oedd yr Esgob yn ymdrin â'r ddadl gyda phwyll ac arafwch mawr; ac er na lwyddodd y ddadleuaeth i ennill Mr. Owen i'r un feddwl ag ef, etto, fe fu y cyfarfod yn llesol i symmud ymaith gryn radd o'r rhagfarn oedd rhwng y ddwy blaid, ac i gynnyddu cariad brawdol ymysg y gwrandawyr.

Yn y flwyddyn 1699 gwahoddwyd Mr. Owen i fyned i Manchester, ac hefyd i'r Amwythig ar yr un pryd; ond fe'i tueddwyd ef i ufuddhau i'r alwad o'r Amwythig, ac yno yr aeth efe, i gynnorthwyo y Parch. Francis Tallents, un o'r Anghydffurfwyr yn y dref hono. Tra fu efe yno, bu yn ddefnyddiol yn y sefyllfa o arlwyo dygiad gwyr ieuainc i fynu i waith y weinidogaeth. Dyma y dosparth olaf o'r winllan y bu efe yn llafurio ynddi.

Yr oedd yn ysgolhaig rhagorol yn ei iaith gynhenid, y Gymraeg, yr hon

yr ysgrifenodd efe amryw lyfrau. Yr oedd yn hyddysg iawn yn Saesoneg. Er yn ieuanc efe a ddysgodd Lladin, Groeg, a Hebraeg. Heblaw hyny yr oedd yn lled fedrus yn yr Ieithoedd Arabaeg, Syriaeg, Saxonaeg, aFfrancaeg. Ond er ei fod yn ymhyfrydu yn fawr yn darllen llyfrau mewn Hanesyddiaeth Eglwysig, ac mewn amrywiol ganghenau o wybodaeth a dysgeidiaeth, y Bibl oedd ei brif astudiaeth. Yr oedd yn ymhoffi cymmaint yn yr Ysgrythyr Lân, fel y dysgodd efe allan y rhan fwyaf o honynt.

Yr oedd Mr. Owen yn wr llariaidd iawn, gweithgar, a defnyddiol, yn ei oes. Yr oedd yn argyhoeddwr llym a ffyddlon o bechod, ac er hyny arferai diriondeb, yn enwedig at y rhai edifeiriol. Yr oedd yn ofalus yn newisiad o'i gyfeillion, ac yn adeiladol yn ei gyfeillach. Yr oedd yn gyfoethog mewn gweithredoedd da, gan gyfranu at anghenrheidiau y tlodion, ac at achosion da ereill y ddegfed ran o'i gyflog, bob blwyddyn yn rheolaidd.

Yr oedd yn hynod yn ei grefydd deuluaidd. Ni oddefai i neb o'i deulu son am bethau y byd ar y Sabbath. Ac os dygwyddai neb un o honynt wneud hyny, efe a ddywedai, 'Gadewch y pethau yna hyd y fory.' A mynych y sylwai 'Mai un o'r arwyddion cyntaf o waith gras yn y galon ydyw gwneud cydwybod o gadw y Sabbath.'

Er fod Mr. Owen yn Ymneillduwr, etto yr oedd yn parchu gwyr urddasol a duwiol yn yr Eglwys wladol, ac efe a ymddygai tuag attynt fel brodyr. Tra yr oedd efe o gydwybod yn anghymeradwyo ordeiniad Esgobawl, er hyny ni ddirmygai ac ni chondemniai y cyfryw a fyddent o wahanol farn, gan roddi yr un rhyddid iddynt hwy i farnu drostynt eu hunain ag oedd efe yn ddymuno iddo ei hun.

Fel gweinidog, yr oedd Mr. Owen yn bregethwr buddiol ac effeithiol. Ei bregethau oeddynt eglur, synhwyrol, serchiadol, a chynhwysfawr. Ei ddull yn pregethu oedd rydd, naturiol, a sobr; a'i fatter yn gyfaddas, a chyrhaeddgar.

Fel Athraw i'r gwyr ieuainc oedd dan ei ofal, efe a fu yn ddiwyd, ffyddlawn, a llafurus iawn. Ie, yn ei holl fywyd yr oedd Mr. Owen yn dduwiol, yn ffyddlon a gweithgar yn ngwinllan ei Arglwydd, gan ddefnyddio ei holl dalentau er gogoniant ei Feistr, a llesâd i ddynion.

Ond oherwydd ei fod yn eistedd cymmaint i ddarllen, ac ar brydiau ereill yn teithio drwy bob hin i lafurio yn galed i bregethu, fe'i blinwyd ef gan glefyd y garreg am lawer o flynyddoedd, yr hyn yn y diwedd a roes derfyn ar ei fywyd. Wedi dyoddef llawer felly am ddeng mlynedd ar hugain, nes difa grym ansawdd ei gorph, er pob dyfais a doethineb meddygon efe a fu farw drwy ddirfawr boen. Efe a wynebodd frenin y dychryniadau gyda gwroldeb, arafwch, a phwyll. Wedi galw ei deulu ynghyd at ei glaf wely, efe a ddywedodd, 'Ni fynaswn i er deng mil o fydoedd dreulio fy mywyd yn amgen nag y treuliais ef; yn awr yr wyf yn mwynhau dyddanwch na ddichon i neb ei brisio.' Gan archwaethu blaen brawf o lawenydd yr hyfryd wlad, efe a hunodd mewn tangnefedd, Ebrill 8fed, 1706, yn 52 mlwydd oed.

Pregethodd y Parch. Matth. Henry yn ei gladdedigaeth y dydd.iau canlynol, ar Act. 20. 38.

• *(A dynwyd allan o hanes ei fywyd a ysgrifenwyd gan ei frawd Dr. Charles Owen, gan Dr. J. B. Williams, o'r Amwythig.)*

## Rhagoriaethau y Bibl.

### II. CORINTHIAID.

Yr ail epistol at y Corinthiaid, fel y tybir, a ysgrifenwyd oddeutu blwyddyn ar ol y cyntaf. Wedi i'r cyntaf fod yn fuddiol i ddwyn diwygiad yn mlaen yn yr eglwys, yn enwedig mewn llawer o'r rhai yr oedd eu hymddygiad wedi bod yn waradwyddus, rhai gau athrawon a anfoddlonasant wrth yr apostol, gan ei feio am ymyryd gyd â'u hachosion hwy. Yr epistol hwn a fwriadwyd i gysuro y rhai edifeiriol, ac i gyfiawnhâu nodweddiad yr apostol. Mae yn rhanedig i dair-ar-ddeg o bennodau, ac yn cynnwys pump o brif ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Sydd yn cynnwys cyfarchiad yr apostol i'r Corinthiaid, a'i arweiniad serchiadol i mewn i brif destyn yr epistol, pen. i.

Dos. II. Sydd yn cynnwys cyfarwyddiadau i'r eglwys i ddangos ei charedigrwydd tyner tu ag at y rhai edifeiriol; diffyniad o'i gymmeriad apostolaidd, oddiwrth ragoriaeth arddderchog ei weinidogaeth ef uwchlaw eiddo y ddeddf, ac oddi wrth ei gyflawniad ffyddlawn o'i ddyledswyddau, yn cael ei gynnal a diddanwch a gol-

iadau yr efengyl, pen. ii.—vii. Yn y dosparthiad hwn dylem sylwi,

1. Canmoliaeth yr apostol o'r efengyl fel gweinidogaeth yr Yspryd a chyfiawnder, tra mae y ddeddf yn weinidogaeth marwolaeth a damnedigaeth, pen. iii.

2. Dylanwad ysprydoliadol yr efengyl yn eneidiau y rhai sydd yn ei derbyn trwy ddylanwadau grasol yr Ysbryd, pen. iv. v.

3. Neillduolrwydd dynodol trefn yr efengyl, yn nghyfrifiad euogrwydd dynion i Grist fel Machnïydd y cyfammod, a chyfrifiad ei gyfiawnder yntau, i'r rhai oll a wir gredant ynddo, pen. v. 18—21

4. Cymhwysiad o athrawiaethau yr efengyl mewn annogaethau i sancteiddrwydd cyffredinol, pen. vi. vii. 1.

Dos. III. Sydd yn rhoddi annogaethau a chyfarwyddiadau i wneuthur cyfraniad helaeth, er cynnorthwy y brodyr tlodion ac erlidiedig yn Iudea, pen. viii. ix.

Y peth mwyaf hynod yn y dosparthiad hwn yw, rheswm yr apostol a gymmerir oddi wrth ras digyffelyb ein Harglwydd Iesu Grist, yn dyfod yn dlawd yn ein natur ni, fel y cyfoethogid ni â thragywyddol ogoniant, pen. viii. 9.

Dos. IV. Sydd yn cynnwys diffyniad yr apostol o'i gymmeriad apostolaidd a'i awdwrdod, pen. x.—xii.

Yn y dosparthiad hwn dylem nodi

1. Hyder yr apostol yn naioni ei achos, ac o allu Duw i'w gynnal a'i amddiffyn yn erbyn y blaid alluog a chyfrwys, parch ac awdwrdod yr hon ydoedd yn ymddibynu yn fawr yn nymchweliad ei honiadau ef i awdurdodiad apostolaidd. pen. xi.

2. Nifer mawr dyoddefiadau yr apostol yn nghyflawniad ei swydd apostolaidd, pen. xi.

3. Y weledigaeth o Baradwys, â'r hon yr anrhydeddwyd yr apostol, pen. xii.

Dos. V. Sydd yn diweddu yr epistol, gyd â chynghorion i hunan-ymholiad a gwyliadwriaeth, â gweddïau am lwyddiant ysprydol y Corinthiaid; mae yr apostol yn dybenu gyd â bendith gofiadwy, pen. xiii.

*Cyfeiriadau yn 2 Corinthiaid.*

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Pen. iii | 8 | Ier xxxi 33 | Pen vi | 16 | Exod xxix 45 |
| | | Exec xi 19 | | | Lef xxvi 12 |
| | | xxxvi 26 | | | Ezec xxxvii |
| | 7 | Exod xxxiv 1 | | | 26. 27 |
| | | 28. 29, 35. | | 18 | Ier xxxi 1—9 |
| | 15 | Esa xxv 7 | viii | 15 | Exod xvi 18 |
| vi | 2 | — xlix 8 | xii | 7 | Ezec xxviii 24 |

## YR EPISTOL AT Y GALATIAID.

Y Galatiaid oeddynt bobl yn preswylio tiriogaeth eang o Asia Leiaf, yn mhlith pe rai y planwyd cristionogaeth trwy weinidogaeth Paul, Gal. i. 6. Act. xvi 6. xviii. 23. Yr eglwysi hyn oeddynt gynnwysedig o Iuddewon a Chenhedloedd dychweledig, llawer o ba rai, mewn byr amser, a dynwyd ymaith oddiwrth symlrwydd yr athrawiaeth gristionogol, pyngciau mawrion a hanfodol yr efengyl, gan ryw gau athrawon, y rhai a ddywedent nad ydoedd Paul yn brïodol apostol Iesu Grist, ond cenhadwr yn unig wedi ei anfon oddi wrth yr eglwys yn Ierusalem. I wrthbrofi eu cyfeiliornadau, ac i sefydlu y Galatiaid yn y brif erthygl hono o'r athrawiaeth gristionogol, cyfiawnâd rhad pechaduriaid ger bron Duw, yn unig trwy ffydd yn nghyfiawnder ac Iawn Iesu Grist, cyfarwyddwyd yr apostol i ysgrifenu yr epistol hwn. Mae yn rhanedig i chwech o bennodau, yn cynnwys tair rhan.

Rhan. I, Sydd yn cynnwys diffyniad Paul o hono ei hun a'r athrawiaethau a bregethai, pen. i. ii. Yn y rhan hon mae pedwar dosparthiad.

Dos. 1. Yr arweiniad i mewn, pen. i. 1—5.

Dos. 2. Sydd yn profi nad cenhadwr ydoedd wedi ei anfon gan yr apostolion eraill; ond ei fod wedi derbyn ei awdurdodiad yn ddigyfrwng oddi wrth Grist: nid ydoedd, gan hyny, islaw iddynt hwy, pen. i. 6.—24.

Dos. 3. Sydd yn dangos ei fod yn pregethu yr un efengyl â'r apostolion eraill, pen. ii. 1.—10.

Dos. 4. Fod ei ymarferiad yn gyfattebol i'w athrawiaeth, pen, ii. 11—21.

Rhan. II. Sydd yn cynnwys amddiffyniad yr athrawiaeth o gyfiawnâd rhad trwy ffydd, mewn cyfres o brofion wedi eu cymmeryd o'r Hen Destament, pen. iii.—v. 1.—12. Yn y rhan hon mae pump dosparthiad.

Dosparthiad 1. Cyfiawnâd trwy ffydd yn cael ei brofi oddi wrth y cyfammod a wnaethpwyd âg Abraham, pen. iii. 1—18.

Dos 2. Yr un athrawiaeth yn cael ei phrofi oddiwrth y gyfraith Foesenaidd, yr hon nid ydoedd i ddyddymu yr addewid, ond i barotoi dynion i dderbyn yr efengyl, pen. iii. 19—29, iv. 1—7.

Dos. 3. Sydd yn ceryddu y Galatiaid yn serchog am eu hymadawiad oddi wrth yr efengyl, pen. iv. 8—20.

Dos. 4. Cyflwr ysgolheigawl yr eg-

lwys Iuddewig yn cael ei eglurâu trwy aralleg wedi ei chymmeryd oddi wrth deulu Abraham, pen. iv. 21—31.

Dos. 5. Sydd yn dangos yr ynfydrwydd o ymwrthod a'r efengyl, trwy ymostwng i'r enwaediad, ac felly bod yn ddyledus i gadw yr holl ddeddf seremonïol, pen. v. 1—12.

Rhan. III. Sydd yn cynnwys cymhwysiad ymarferol o athrawiaethau gras, mewn amrywiol annogaethau cymhwys i fywyd o ymroddiad i Dduw, yn nerth yr Yspryd Glan, a than ei arweiniad addawedig, pen. v. 13—26. vi. Yn y rhan hon dylem nodi yn enwedigol,

1. Yr adroddiad addysgiadol mewn perthynas i weithredoedd ffiaidd y cnawd yn yr annuwiol: ac, yn gyferbyniol,

2. Ffrwythau bendigaid yr Yspryd yn nhymher a bywydau cywir gristionogion, pen. v. 13—24.

*Cyfeiriadau yn Galatiaid.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen iii | 6 Gen xv 6 | Pen iii | 16 Gen xvii 7 |
| | 8 —— xii 3 | vi | 4 Dan ix 24 |
| | xviii 18 | | 14 Zech xii 8 |
| | 10 Deut xxviii 26 | | 24 Deut xxxiii 2 |
| | 13 —— xxi 23 | | 30 Gen xxi 10—12 |
| | 16 Gen xii 3—7 | | |

Y PREGETHWR A'R GWRANDAWR.

*Gwrandawr.* Pa beth yw eich barn chwi, Mr. P. am y byd crefyddol yn y dyddiau hyn? Diameu'ch bod chwi yn darllain llawer. A fu, atolwg, y fath amser erioed ar Eglwys Crist a'r dyddiau presenol? Gwyddys fod Protestaniaid a Phapistiaid yn dadleu a'u gilydd o hyd er dyddiau Luther;—Calfiniaid ac Arminiaid yr un modd, er dyddiau Arminius;—Eglwyswyr ac Ymneillduwyr mewn dadl a'u gilydd byth er amser yr hen Buritaniaid;—ac y mae dadleuon aneirif yn bod rhwng y pedair sect, fel eu gelwir yn Nghymru er's blynyddau lawer cyn ein geni ni.

Ond yn awr, y mae y gwahanol bleidiau crefyddol yn methu a chytuno yn eu plith eu hunain; a hyny, os nad wyf yn camgymeryd, am brif byngciau y grefydd Gristionogol. Wrth wrandaw pregethau yr Annibynwyr, cawn glywaid yr athrawiaeth, y bu Rees, Tibbot, a Gray, ynghyd ag eraill o hen bregethwyr y cyfenwad hwnw, yn ei phregethu, ac yn ei phleidio yn wrol trwy ganol erlid a gwawd; yn awr yn cael ei thaflu o'r neilldu fel cyfundraith o gyfeiliornadau. Ac y mae rhai yn dywedyd nad yw y Methodistiaid Calfinaidd yn lân oddiwrth yr un cyhuddiad. Nid yw yn beth i ryfeddu llawer atto, nac i dramgwyddo cymaint wrtho fod dynion duwiol a da yn methu a chydweled am bethau o is-bwys mewn crefydd; ond pan mae dynion o wybodaeth helaeth, a dawn hefyd, yn dywedyd yn groes i'w gilydd am y pethau mwyaf eu pwys, megis natur a dybenion Iawn Crist, trefn cyfiawnhad pechadur, a gwaith yr Yspryd Glan; onid yw y peth yn tueddu yn fawr i ddyrysu 'r ymofynydd mwyaf gonest, ac i gadarnhau yr Anffyddiwr yn ei haeriad mai ffiloreg yw'r cwbl.

*Pregethwr.* Y mae yn ddigon gwir fod pethau yn bod fel yr ydych chwi yn darlunio, a bod niweidiau mawrion yn cael eu gwneyd trwy hyny, sef y gwan yn y ffydd yn cael ei wneyd yn wanach, a'r cryf mewn anghrediniaeth yn cael ei wneyd yn gryfach. Ond dylem edrych hefyd i'r ochr arall; y mae llawer o ddaioni yn cael ei wneyd i achos crefydd weithiau, trwy fod dadleuon yn codi; y mae dynion yn cael eu deffro i chwilio, a rhai trwy hyny yn cael eu hargyhoeddi o'u cyfeiliornadau, ac eraill yn cael eu cadarnhau yn y gwirionedd: ac yr wyf fi yn meddwl, er cymaint o ddrwg sydd yn cael ei wneyd i achos crefydd trwy y dadleuon hyn, y bydd, yn y diwedd, y daioni yn llawer mwy, ond fe allai mai yn ein beddau y byddwn ni cyn y bydd hyny i'w weled yn eglur.

Dylem, bob amser, wrth chwilio am y gwirionedd, ymddiosg oddiwrth bob rhagfarn. Y mae hen bobl yn hynod dueddol i ragfarn o blaid hen bobl. Y mae y rhai a enwasoch chwi ynghyd ag eraill o'u cyfoedion, wedi eu seintio yn meddyliau llawer o hen bobl, fel yr ystyriant ddywedyd yn groes i'r hyn a ddywedodd y rhei'ny, bron yr un peth a dyweyd yn groes i'r Bibl: ond a ydyw hyny yn deg, tra nad oeddynt hwy, er maint eu dawn, a'u defnyddioldeb, ond dynion ffaeledig fel ninau. Y mae pobl ifaingc drachefn yn dueddol iawn i ragfarn o blaid pobl ifaingc; braidd na phenderfynai llawer un, mai rhyw ffyliaid oedd yr hen bobl heb wybod dim, a bod rhyw oleuni wedi dyfod i'r byd gyda'r oes bresenol, na bu ei fath, o leiaf, er dyddiau'r Apostolion. Bydded i ni dalu pob parch dyledus i'n henafiaid, ac yn enwedig i'n tadau a fuont yn llafurus a defnyddiol gydag achos crefydd, mewn amserau blinion iawn: ac ar yr un pryd, beidio a diystyru llaf-

ur na gwybodaeth neb o'n cydoeswyr; a chofio mai 'pa beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw.' Etto awn a'u hathrawiaethau 'at y gyfraith ac at y dystiolaeth, oni ddywedant yn ol y gair hwn,' b'ont hwy hen, b'ont ifaingc, dysgedig neu annysgedig, 'hyn sydd am nad oes oleuni ynddynt.'

*Gwran*. Peidiwch fy nghamgymeryd i. Nid wyf fi yn condemnio yr hen na'r ifangc. Bu yn dda gan fy ngalon i wrando ar ugeiniau yn pregethu, ac sydd yn awr yn y priddellau. Ond os dywedaf y gwir, braidd na feddyliwn i fod y bobl bresenol yn gweled ryw beth yn mhellach na'u tadau. Y mae gan y bobl ifaingc yma ***Natural and Moral Philosophi, Metaphysics, Logic, Rhetoric***, ac ni wn i pa faint o bethau, na wyddai llawer o'r hen bobl ddim am danynt. A phe clywech chwi y fath Philosophi sydd gan y bechgyn dewr yma, wrth bleidio y pyngciau newydd, yr wyf fi yn meddwl y byddai yn anhawdd i chwi gael rhesymau i'w gwrthbrofi.

*Preg*. Y mae y grefydd Gristionogol a'i sail ar y Datguddiad Dwyfol, ac nid ar yr hyn a elwir Philosophi, o ganlyniad, wrth y Datguddiad hwnw y mae yn rhaid i'w holl byngciau gael eu profi, ac nid wrth yr hyn a elwir Philosophi.

*Gwran*. Ond '*y mae dyn yn greadur rhesymawl*,' ac fe ddylai gael gwybod y rheswm paham a pha fodd y mae pob peth cyn y gallo, yn rhesymol ei gredu: ac ni allwn lai na chyfrif y dyn hwnw yn goelgar, ***(credulous)*** a gredai beth heb ddeall pa ham na pha fodd y mae y peth hwnw yn bod. Yn wir pan fyddaf yn eich gwrando chwi ac arall yn dywedyd mai tros yr etholedigion yn unig y bu Crist farw, ac mai ar eu medr hwy yn unig y darparwyd holl fendithion iachawdwriaeth; ac etto fod yr efengyl i gael ei phregethu i bawb yn ddiwahaniaeth, a bendithion trefn achub i gael eu cymhell ar bawb, ac mai ar y dyn y mae y bai am eu gwrthod; ni fedrwn i yn fy myw weled y cysondeb. Pa gysondeb sydd mewn gwahodd pawb i wledd na fwriadwyd ac na ddarparwyd ond i rai? A pha reswm yw beio dyn am wrthod yr hyn na pherthyn iddo? Onid gonestrwydd yw iddo ei wrthod? ac onid trais a fyddai iddo ei dderbyn?

*Preg*. Os na chredwch chwi fod dim yn bod, oddieithr i chwi allu ei amgyffred a rhoddi rheswm teg am dano, yr ydych yn rhwym o fod yn Amheuwr, ***(Sceptic)*** yn mhob peth; oblegid y mae y pethau a welir yn fwyaf cyffredin ac na amheuir gan neb, yn cynwys ynddynt ddirgeledigaethau rhy ddyfnion i amgyffred y dyn mwyaf deallus. Paham yr ydwyf fi yn gallu ymsymud mwy na'r Desc yma o'm blaen.

*Gwran*. P'am hefyd? Onid am fod bywyd ynoch chwi, yr hyn nid yw yn y Desc.

*Preg*. Bywyd! Pa beth yw hwnw?

*Gwran*. Y peth sydd yn gwneyd y gwahaniaeth rhyngoch chwi a'r Desc.

*Preg*. Ië, dyna chwi yn awr yn ymresymu mewn cylch, a phe baech yn troi ynddo hyd flwyddyn i heddyw, ni fyddech chwi na neb arall ddim doethach. Ond pa beth yw y bywyd sydd yn gwneyd gwahaniaeth rhyngof fi a'r Desc?

*Gwran*. Wel yr hwnw. Rhywbeth yn y gwaed. Rhywbeth———

*Preg*. Digon gwir mai rhyw beth ydyw, ond ni ellwch chwi na minau ddywedyd nac amgyffred pa beth yw y rhywbeth hwnw. Ond ai rhesymol fyddai i mi beidio a chredu y gallaf ymsymud mwy na'r Desc, o achos na allaf amgyffred y peth sydd yn gwneyd y gwahaniaeth rhyngom?

*Gwran*. Ni feddyliais i erioed am beth fel yna. Ond pa beth yw hyny i'r mater o dan sylw?

*Preg*. Dim rhagor na phrofi fod yn rhaid i ni gredu llawer o bethau, cyn deall pa fodd y maent yn bod; neu fod yn amheuwyr am bob peth.

Os ydych am ddringo i esgynlawr gwybodaeth, y peth cyntaf i'w wneyd ydyw, mynu tir cadarn gwirionedd i osod traed eich ysgol arno. Y mae llawer oblegid gosod eu hysgol i fynu ar dir llithrig amheuaeth, wedi syrthio a chlwyfo eu penau yn anesgorol. Fy meddwl wrth hynyna yw, y rhaid i ddyn a fyddo yn chwilio am wybodaeth, gael rhyw bethau sicr a diamheuol i adeiladu ei resymau arnynt, ac onide y mae yn rhwym i fyned i ddyryswch o gyfeiliornadau. Yr wyf yn meddwl mai trwy beidio a dilyn y llwybr yma, y mae llawer o ddynion dysgedig a gwybodus wedi myned i gyfeiliornadau cethin iawn; sef trwy gymeryd y gwirionedd mwyaf eglur yn rhag-dybiaethau (***hypotheses***), i'w credu neu eu hanghredu, yn ol fel y byddent hwy yn amgyffred neu yn methu amgyffred eu cysondeb.

*Gwran.* Prin yr ydwyf yn deall eich ymresymiad.

*Preg.* Wel yntê, mi a enwaf ddwy engraifft, un o bethau naturiol, a'r llall o bethau duwinyddol, er mwyn dangos i chwi fy meddwl yn eglurach. 1. Y mae yn wirionedd sicr ac eglur, fod dyn yn gyfansoddedig o gorff ac enaid, a bod yr enaid yn gweithredu ar y corff er ei ysgogi fel y bo yn ewyllysio: meddyliaf am godi fy llaw at fy mhen, dyna hi i fynu yn y fan: meddyliaf am fyned allan i'r ardd, dyna y ddau droed yn ysgogi bob yn ail yn union tu a'r lle. Ond ni allwn amgyffred pa fodd y mae yr enaid yn dylanwadu ar y corph i roddi ysgogiad yn ei holl aelodau. Yn awr wrth adael y pethau eglur a nodais heb benderfynu eu bod, nes gallu amgyffred pa ham y maent yn bod, a pha fodd y maent yn gweithredu, 'aeth rhai i wadu fod gan ddyn enaid ac i haeru mai corff yw ei gwbl. 2. Y mae bod y Gwaredwr yn Dduw ac yn ddyn, yn wirionedd mor eglur ag un athrawiaeth o fewn y Bibl. Ond y mae llawer o dduwinyddion, na fynant gredu dim, mewn duwinyddiaeth, fel gwirionedd diamheuol, nes iddynt hwy allu amgyffred pa fodd y mae yn bod: y canlyniad o hyn yw, i rai fyned i wadu dyndod—ac i ereill fyned i wadu Duwdod Crist.

*Gwran.* Ho, yr ydych chwi, ynte, yn golygu fod llawer o bethau yn wirioneddau, pan nad oes dim cysondeb rhyngddynt, ac mai ein dyledswydd yw credu agos bob peth, a pheidio ymyraeth i chwilio dim am gysondeb pethau, ac felly mai fy lle inau yw credu heb betruso, mai tros yr etholedigion yn unig y bu Crist farw, mai iddynt hwy yn unig y darparwyd iachawdwriaeth, ac etto fod gwahoddiad didwyll yn cael ei wneyd yn ngweinidogaeth yr efengyl, i bawb ddyfod i dderbyn y pethau. A ydych yn disgwyl, mewn difrif i mi, a minau '*yn greadur rhesymawl,*' gredu pethau ag sydd yn an nghyson a'u gilydd?

*Preg.* Y mae pob gwirioneddau yn berffaith gyson a'u gilydd, fel nas gall dau wirionedd fod yn wrthwyneb i'w gilydd. Pan glywoch chwi ddau ddyn yn haeru pethau croes i'w gilydd, dichon fod y ddau yn dywedyd celwydd, ond ni all ond un o honynt fod yn dyweyd y gwir; oblegid y mae celwyddau yn aml yn hollol groes i'w gilydd, ond ni all dim gwirioneddau beidio a chytuno a'u gilydd.

Nid wyf yn dywedyd chwaith, na ddylem lafurio hyd eithaf ein gallu, er canfod cysondeb pethau, yn enwedig pethau y Bibl. Ond pe methem ag amgyffred pethau, ni ddylem am hyny, benderfynu nad ydynt yn wir. Pan ganfyddom bethau, ac y byddai yn drais ar synwyr cyffredin i ni eu hameu, ein dyledswydd, debygwn i, yw eu credu; ac os na fedrwn weled cysondeb rhwng y naill a'r llall o'r pethau, priodoli hyny i anmherffeithrwydd ein deall. A pha beth yw y gorawydd sydd mewn dynion, i amgyffred, cyn credu pethau y Bibl, ond yr hen flys bod fel duwiau yn gwybod da a drwg? Oblegid beiddiaf ddywedyd, fod yn y Bibl, yn gystal ac mewn natur, bethau na all neb eu dirnad yn berffaith, tu yma i hollwybodaeth, ac os byddwn ninau heb eu credu nes gallael eu dirnad, byddwn byth yn anghredinwyr i eiriau Gwirionedd ei hun.

*Gwran.* Pa beth sydd wirionedd? A raid i ni gredu pob peth? Neu pa fodd yr ydym i benderfynu'r peth a raid ei gredu?

*Preg.* Pan unwaith yr addefir dwyfoldeb yr Ysgrythyrau, yr un peth yw Bibl i'r Duwinydd, ag yw *facts* i'r Philosophydd. Rhaid i'r Philosophydd gael *facts* i adeiladu ei gyfundraith arnynt; ac weithiau wedi iddo fod flynyddau yn llafurio ac yn astudio i gael y *system* yn gyson a hi ei hun, y mae un fact yn dinystrio y cwbl; ac er ymdrechu i gynnal yr adeilad i fynu, trwy wadu'r *fact*, neu ei symud o'r ffordd, i lawr y mae yn dyfod, ac yntau yn diangc gan waeddi, '*Facts are stubborn things.*' Yr un peth yn gymwys yw'r Ysgrythyrau i'r Duwinydd. Pa beth bynag y mae y Bibl yn ddywedyd, y mae yn *fact*, ac y mae yn haws symyd y Wyddfa i fôr Werydd na newid un iot o hono. Llawer Duwinydd a lafuriodd yn ddiwyd ac a astudiodd yn galed, i wneyd i fynu system o Dduwinyddiaeth; ac erbyn ei dwyn i'w phrofi wrth y Bibl, byddai rhyw adnod fechan yn rhywle neu gilydd, er debygid nad oedd hi fawr o beth o flaen y fath system fawr, etto yr oedd y gyfundraith o'i blaen yn cael ei malu, fel delw Nebucodonosor o flaen y gareg, mor faned a llwch lloriau dyrnu haf. Y mae ambell un yn ceisio esponio a chyfieithu y Bibl yn y modd mwyaf ffafriol i'w system, ie, ceisio dileu ambell adnod o'r Bibl. Ond y mae yr adnodau yn ystyfnig, fel ffeithiau; ni waeth ceisio

symyd nef a daear o'u man, na cheisio gwyro adnod un trwch blewyn o'u lle, oblegid y mae yn haws i'r nef a'r ddaear fyned heibio, nag i un tipyn o'r gyfraith ballu.

*Gwran*. Ond bwriwch fod dwy adnod yn groes i'w gilydd: un yn dywedyd fod Crist wedi marw tros bawb, a'r llall yn dyweyd mai yr eglwys yw yr hon a bwrcasodd efe a'i briod waed. Pa un o'r ddwy a gredwn ni? Neu pa fodd y gallwn gredu y ddwy?

*Preg*. Dwy adnod yn groes i'w gilydd? ni all hyny byth fod. Y mae holl adnodau y Bibl yn wirionedd, ac felly o angenrheidrwydd yn berffaith gyson a'u gilydd. Ond pan gyfarfyddom ag adnodau a font, ar yr olwg gyntaf, yn ymddangos felly, megis y ddwy y cyfeiriech attynt: rhaid i ni yn gyntaf oll benderfynu eu bod yn wir, a bod y naill mor wir a'r llall. Etto dylem roddi ein rheswm ar waith i chwilio am eu cysondeb a'u gilydd; megis trwy ystyried a ydyw yn amlwg fod y gair '*Eglwys*' yn cael ei arfer weithiau yn y Bibl am holl ddynolryw? Ac a oes rhyw debyg, wrth sylwi ar y cyd-destyn mai dyna feddwl y gair '*Eglwys*' yn y lle o tan sylw? Neu a ydyw yn amlwg fod y gair '*Pawb*' yn cael ei arfer weithiau yn y Bibl am ryw nifer llai na holl ddynolryw? Ac a ydyw yn ymddangos wrth sylwi ar y cyd-destyn, mai rhyw nifer llai na holl ddynolryw a feddylir wrth y gair '*Pawb*' yn y lle arall o tan sylw? A da iawn fyddai, pe baem yn medru ymofyn a'r ieithoedd yr ysgrifenwyd y Bibl ynddynt; ond yn niffyg hyny, gallwn ymgynghori a gwaith awdwyr sydd wedi bod yn llafurus iawn ar hyd eu hoes, i chwilio i mewn i'r ieithoedd hyny. Ond etto, pe baem yn methu amgyffred cysondeb y pethau, er chwilio ddyddiau ein bywyd, ein dyledswydd yw credu yr adnod sydd yn dyweyd i Grist farw tros bawb; a chredu hefyd yr adnod sydd yn dyweyd mai yr Eglwys yw yr hon a bwrcasodd efe a'i briod waed; a chredu fod y ddwy adnod yn gyson a'u gilydd, er ein bod ni yn methu a chanfod y cysondeb; a gweddio am arweiniad Ysbryd y gwirionedd, fel y tywyser ni i bob gwirionedd.

*Gwran*. Wel, pe cawn i hamdden gan yr hen fyd yma, y mae arnaf eisiau ymddiddan llawer iawn a chwi am y pethau hyn. ... dynyddau yn gwrando ar yr hen bobl, gyda blas mawr, yn pregethu. Ie, bum yn methu a dal heb dori allan i foliannu, os nad i neidio, wrth eu gwrando yn son am fendithion y cyfammod a rhyfeddodau y groes. A phan glywn i son am ryw un yn pregethu system newydd, yr oeddwn yn barod i benderfynu fod y cyfryw wedi hanner gwirioni, neu o leiaf yn hynod o anwybodus, a dibrofiad. Ond yr wyf wedi newid fy marn; nid yn hollol am yr athrawiaeth, ond am y dynion sydd yn ei phregethu. Yr wyf yn meddwl eu bod yn ddynion o wybodaeth a dawn helaeth; ac wrth wrando amryw yn ymresymu, rhaid i mi gyfaddef fy mod wedi'm hanner ynill i farnu mai hwy sydd yn eu lle, a bod yr hen bobl wedi colli cryn dipyn ar y ffordd: ac y mae yn ddiameu genyf pe buasai llawer o honynt yn fyw, y buasent wedi eu hynill i'r un farn a'r bobl ifangc.

*Preg*. Yr wyf finau wedi gwrando llawer, a darllain peth, ar bob ochr i'r ddadl. Ac er y dymunwn dalu bob parch dyledus i ddysg, doniau a duwioldeb llawer o'r rhai sydd yn pregethu yr hyn a elwir yn system newydd, etto efo Bibl a chydwybod, ni fedraf lai na gwahaniaethu oddiwrthynt. Ac os byddwch yn ewyllysio ymddiddan yn mhellach am y pethau hyn, ni bydd yn flin genyf ddangos fy meddwl y tro nesaf y cyfarfyddom a'n gilydd.

---

## Ymddyddan

RHWNG YMOFYNYDD A SYLWEDYDD YN NGHYLCH DYSGYBLAETH EGLWYSIG.

Ymofynydd. Dydd da i chwi fy Nghyfaill. Mae yn dda genyf eich gweled. Gobeithiwyf eich bod yn gysurus yn eich corph, ac yn llwyddo yn eich yspryd.

Sylwedydd. Dydd da i chwithau fy Nghyfaill. Dymunwyf i chwi yr un bendithion. Am danaf fy hun rhaid i mi ddywedyd mai tywydd lled frith-hinog wyf yn gael yn gyffredinol—afiechyd corphorol sydd yn fy nilyn yn fynych. Byddaf hefyd yn aml yn cael fy mlino gan weithrediadau anghrediniol fy nghalon siomedig yn dumewnol yn fy ngweithio i ymadael a'r Duw byw. Bydd ystyried y modd y dibrisir ac y camddefnyddir rhai o ordinhadau yr Arglwydd a moddion gras gan laweroedd yn ein dyddiau, yn ofid blin i mi yn aml. Ac felly yr holl bethau hyn a'u cyffelyb yn

achlysuro i mi weithiau chwenychu gwlad well. Ond etto, trwy drugaredd yr Arglwydd, gallaf dystio nad yw yr holl ofidiau a'm cylchynant er eu rhif a'u maint yn haeddu eu cystadlu, nac agos yn gydbwys â'r cysur cryf a fwynäwyf yn fynych wrth edrych a myfyrio ar ogoniant yr Arglwydd yn nhrefn iachawdwriaeth pechadariaid trwy Iesu Grist.

Ym. Lled debyg yw yn aml arnaf finnau, yr wyf yn gydnabyddus mewn graddau â'r un tywydd ac â'r un profiad. Ond attolwg gan i mi gael yr hyfrydwch o'ch cyfarfod unwaith etto, a ellwch hebgor ychydig o amser i eistedd fel y gallwyf gael ymddyddan ychydig a chwi, a thrwy hyny dderbyn hyfforddiant ac adeiladaeth oddi wrthych yn nghylch rhyw bethau pwysig sydd ar fy meddyliau?

Syl. Mae fy amser yn brin, a rhaid i mi ofalu am fy ngalwedigaeth—mae genyf wraig a phlant i ddarparu ar eu cyfer. Yr wyf hefyd yn ystyried yn aml er fy ngofid na bum I mor ofalus ag y dylaswn i wneuthur y defnydd goreu o'm hamser er fy adeiladaeth fy hun ac ereill. Felly y mae ynof, fel y mae fy amser yn tynu at ei ddiwedd, ryw ddymuniad am ei ddefnyddio yn well. Ond os gallwn fod o ryw ddefnydd adeiladol y naill i'r llall yr wyf yn barod i hyny. Gan hyny traethwch rai o'r pethau pwysig y soniasoch am danynt.

Ym. Bum yn ddiweddar yn ymyraeth llawer yn fy meddyliau yn nghylch dysgyblaeth eglwysig, sef yn benaf yn nghylch y rhan hono o honi a berthyn i geryddu a thori allan. Mae cymaint o wahanol olygiadau gan ddynion yn nghylch hyn, yn ein dyddiau ni, a chymaint o wrthweithredu yn hyn fel y mae rhai eglwysi yn tori o'u cymundeb am gamweddau a beiau gwarthus, ac eglwysi ereill yn derbyn i'w cymundeb bersonau a dorer felly heb gymaint a rhith o edifeirwch ynddynt oddiwrth, nac am y cyfryw bechodau, na chyfaddefiad o honynt. Mae yn ddigon amlwg i bob meddwl ystyriol bod y naill neu y llall o'r eglwysi hyn yn gwneuthur cam a'r ddysgyblaeth. Ac os yw y rhan hon o'r ddysgyblaeth (fel yn ddiau y mae) o ordeiniad Crist, rhaid bod y naill neu y llall o'r eglwysi hyn yn pechu yn ddirfawr yn ei erbyn ef fel Pen, Brenin ac Arglwydd ei eglwys. Gan hyny y mae yn hollol eglur bod y modd yr ymddyger ac y gweithreder yn hyn o ganlyniadau a phwysfawrogwydd dirfawr. O herwydd hyn, fel yr wyf yn aelod eglwysig, y mae genyf hawlfraint i (a dysgwylir i'm) roddi fy mhleidlais pan y digwydd anghenrheidrwydd i weinyddu y rhan hon o'r ddysgyblaeth, deisyfwyf yn ostyngedig arnoch wneuthur a alloch er fy nghyfarwyddo yn llwybr fy nyledswydd yn y cyfryw amgylchiadau, ac er fy nghadarnâu mewn golygiadau uniawn a chywir o berthynas i y rhan hon o'r ddysgyblaeth o ran y sylfaen, yr anghenrheidrwydd, a'r rhesymoldeb o honi, yn nghyd â y rheolau perthynol i'w gweinyddiad.

Syl. 'Nid oes dim newydd dan yr haul,' medd y Gwr doeth. Tebygol na chafodd unrhyw rai o ordinadau yr Arglwydd eu gwyro i gauddybenion, eu gwrthweithredu, na'u camarfer yn fwy, nag mewn modd mwy gelynol a dinystriol i eglwys Crist, na'r rhan hon o'r ddysgyblaeth eglwysig. Yn rhith y gweinyddiad o hyn yr arteithiwyd, yr yspeiliwyd, yr alltudiwyd, y llosgwyd ac y lladdwyd miloedd o Ferthyron enwog yr Arglwydd Iesu gan y butain echryslawn eglwys Rhufain. Ond er hyn oll a llawer yn ychwaneg a allesid nodi o gamddefnyddiadau a wnaethpwyd o bryd i bryd o'r ddysgyblaeth; ac er y'i camarferir ac y ceisir gwrthweithredu y gweinyddiad cywir o honi yn ein dyddiau ninnau, etto cofiwn nad yw yr ordinhad yn fwy anmharchus nac yn llai ei defnyddioldeb, eithr ei bod yn sicr o ateb dyben ei sefydliad gan Grist yn ac i'w eglwys. Tu ag at olygu yn gywir, a chyrhaedd syniadau addas a disigl am y rhan hon o ddysgyblaeth eglwys Dduw, rhaid i ni fod yn oleu a chadarn yn ein meddyliau mewn perthynas i'r eglwys fel y mae yn dŷ, yn deulu, neu yn deyrnas i Grist, yn nghyd a'i awdurdod a'i hawl ef fel Pen a Brenin ei eglwys i osod rheolau a chyfreithiau iddi. Rhaid i ni hefyd fod yn gydnabyddus a'r cyfreithiau hyn yn nghyd a'r ymddiried a wnaeth efe o'r defnyddiad o honynt i'w bobl neu ei awdurdodiad ef i'w eglwys i eu gweinyddu. Bod yn oleu yn y pethau hyn a rydd i ni gymhorth mawr i weithredu yn uniawn yn llwybr ein dyledswydd fel aelodau eglwysig. Ac os byddwn yn fywiog ein deall yn hyn, ni bydd

anhawdd i ni ffurfio golygiadau cywir am yr eglwysi hyny y meddyliom eu bod yn camweithredu tu ag at y ddysgyblaeth, neu yn gwrthweithredu.

Ym. Yr wyf yn rhwymedig i chwi fy anwyl Gyfaill am y sylwadau hyn. Ond ewch rhagoch i draethu ar, ac egluro hyn bob yn rhan.

Syl. Dywedais i chwi eisoes bod fy amser yn brin. Ond gan fod y pethau a nodwyd mor bwysig, a bod yn oleu a chadarn ynddynt o gymaint canlyniad i chwi a minau, ymfoddlonaf i aros gyda chwi i geisio sefyll ac egluro ychydig arnynt.

Os mynwch fod yn ddysgedig yn y pethau hyn rhaid i chwi sugno eich holl ddysgeidiaeth yn hollol a digymysg o'r Ysgrythyr Lan. 1. Gosodir yr eglwys allan yn fynych yn yr Ysgrythyrau fel Teyrnas, Tŷ, neu Deulu Crist. Ephes. v. 5. Hebr. iii. 6. Ei ddinas, ei dŷ, ei deulu, a'i deyrnas ef mewn modd neillduol ydyw. A chan ei bod yn gyfryw, ganddo ef y mae (ac nid oes gan neb arall) hawl i dderbyn i mewn iddi, i sefydlu ynddi, a bwrw allan o honi. 'Myfi,' medd efe, 'yw drws y defaid.' A thrachefn, 'Myfi yw y drws, os â neb i mewn trwof fi efe a fydd cadwedig.' Ac medd efe wrth Angel yr eglwys yn Philadelphia, 'Y pethau hyn y mae y Sanctaidd, y Cywir, yn eu dywedyd, yr hwn sydd ganddo agoriad Dafydd, yr hwn sydd yn agoryd, ac nid yw neb yn cau, ac yn cau ac nid yw neb yn agoryd.—Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf yn golofn yn nheml fy Nuw i, ac allan nid â efe mwyach.' A thrachefn, 'Rhoddaf iddynt yn fy nhŷ ac o fewn fy magwyrydd le, ac enw gwell na meibion ac na merched, rhoddaf iddynt enw tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith.' Ioan 10. 7. 9. Dat 3. 7.—13. Esa. 56. 6.

Yn yr ysgrythyrau hyn gwelwn yn eglur, mai i'r Arglwydd Iesu yn unig, fel y mae efe yn Ben, a Brenin ei eglwys, y perthyn rhoddi lle ac aelodaeth i ei bobl ynddi fel y mae yn gorph neu yn eglwys ddirgeledig iddo ef, ac mai ganddo ef yn unig y mae hawl ac awdurdod i roddi lle a goddef rhai i fod yn aelodau yn ei eglwys fel y mae yn dŷ neu deyrnas weledig iddo ef yn y byd. Am y cyntaf, efe ei hun sydd yn ei ddwyn oddiamgylch trwy nerthol weithrediad ei Yspryd yn ei bobl, yn eu dwyn i gredu ynddo ac i wir undeb ysprydol ag ef, yr hyn yw sylfaen, rhwymyn, a hanfod undeb holl wir aelodau yr eglwys a'u gilydd. Nid ymddiriedodd ef hyn erioed, ac nid ymddiried mo hono byth i neb arall. Am yr olaf, sef rhoddi lle ac aelodaeth yn ei eglwys fel y mae yn weledig, ymddiriedodd y weinyddiad allanol o hono i'w eglwys, a hyny i'w ddwyn yn mlaen yn ol ei reolau, ei orchymynion, a'i gyfarwyddyd ef. Meddai ef wrth Pedr, 'Rhoddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd, a pha beth bynnag a rwymech ar y ddaear, a fydd rwymedig yn y nefoedd; a pha beth bynnag a ryddhaech ar y ddaear a fydd wedi ei ryddhau yn y nefoedd.' Math. xvi. 15—19.

Wrth deyrnas nefoedd yn y geiriau hyn y mae i ni ddeall nid yr eglwys yn ei stad orfoleddus yn y nefoedd, ond teyrnas neu eglwys Crist yn ei chyflwr milwriaethus dan oruchwyliaeth yr efengyl yn y byd hwn. Nid oes i ni ddeall ychwaith mai i Pedr fel person neillduol neu unigol, y rhoddodd yr Arglwydd yr uchelfraint o fod ganddo agoriadau teyrnas nefoedd. Byddai hyny yn gyfeiliornad cyffelyb i'r haeriad—mai Pedr yw y graig ar ba un yr adeiledir yr eglwys. Ond y mae y geiriau yn ddiau er eu llefaru wrth Pedr yn bersonol, yn cynwys ynddynt awdurdodiad yr Arglwydd Iesu i'r holl Apostolion, ei weinidogion a'i eglwys yn gyffredinol, hyd ddiwedd amser. Dylem eu golygu hefyd yn dra helaeth o ran yr ystyr o honynt, yn cynnwys ynddynt, nid yn unig rhoddiad yr Arglwydd o agoriadau y deyrnas yn athrawiaethol i'w weision, ond yn ddysgyblaethol hefyd, sef ei awdurdodiad ef iddynt fel goruchwylwyr i ollwng i mewn i'r deyrnas, i lywodraethu ynddi ac i fwrw yr aflywodraethus a'r halogedig allan o honi, yn ol ei reolau a'i gyfarwyddyd ef. Bod hyn yn gynnwysedig yn y geiriau a welir yn eglur trwy eu cydmharu â Math. xviii. 15—18. Ond yn bresennol nid ymhelaethaf arnynt, gan y caf achlysur i'w coffau etto. Nid wyf heb wybod bod rhai Duwinyddion enwog yn heuru nad yw hyn yn gynnwysedig yn y naill na'r llall o'r ymadroddion hyn; ond er hyny, ei fod sydd eglur, meddyliwyf, i bob meddwl diduedd a diragfarn.

Ym. Yr wyf yn canfod yn eglur oddi wrth yr hyn a ddywedasoch, bod yr ym-

adroddion ysgrythyrol hyn a nodasoch yn cadarnau i ni mai i'r Arglwydd Iesu yn unig y perthyn rhoddi lle aelodaeth a swyddogaethau i'w bobl yn ei eglwys. A darfod iddo ef awdurdodi ei Apostolion, ei Weinidogion, a'i eglwys yn gyffredinol yn un â hwynt, ond nid ar wahan oddi wrthynt, megis i gadw drws ei eglwys, i ollwng a derbyn i mewn iddi, ac i fwrw yr afreolus a'r halogedig allan o honi, yn ol ei reolau a'i gyfarwyddyd ef. Ac nad yw y geiriau fel y golyga rhai yn dal allan awdurdod neu anffaeledigrwydd yr eglwys o ran ei barn a'i golygiadau ynddi neu o honi ei hun. Nid yw felly ond yn unig pan yn gweithredu yn ol gorchymynion a rheolau yr Arglwydd, a than ei gyfarwyddyd a'i arweiniad ef.

Gan hyny tu ag at weithredu yn fuddiol ac adeiladol yn fy lle fel aelod eglwysig, gwelaf fod yn hollol anghenrheidiol i mi fod yn gydnabyddus a'i reolau a'i osodiadau ef. O herwydd pa ham ottolygaf arnoch fy hyfforddi yn mhellach ynddynt.

Syl. Yr ydych yn golygu yn hollol gywir. Yr oeddwn yn bwriadu sylwi cyn ymadael nad yw yr ymadroddion yn dysgu i ni anffaeledigrwydd yr eglwys na'i hawdurdod i weithredu yn hyn ond yn unig trwy awdurdod, ac yn ol gorchymynion a chyfarwyddyd Crist. Ond ef allai y caf sylwi ar hyn etto. Tu ag at gyrhaedd yr hyn yr ymestynwch ato, mae o leiaf ddwy ddyledswydd yn orphwysedig arnom, sef gweddio yn ddyfal a thaer am Ysbryd Crist i'n cyfarwyddo, ac ymarfer a phob moddion er ein cynhorthwyo i gael deall da yn ei reolau a'i orchymynion ef, perthynol i hyn.

Os mynwn fod yn hyddysg yn rheolau dysgyblaethol eglwys Crist, rhaid i ni dynu ein dysgeidiaeth yn hollol o'r Ysgrythyrau Sanctaidd; oblegyd yr Ysgrythyr Lan yn unig yw Deddflyfr ei dŷ a'i deyrnas ef. Tu ag at ein cynhorthwyo yn hyn, gallwn ddefnyddio crynoadau o'r rheolau hyn a gasglwyd gan ddynion da, ac a benderfynwyd arnynt gan Gyrph o grefyddwyr neu eglwysi. Ond etto gochelwn eu canlyn ond yn y graddau y dilynasant hwy Grist, ac y cydunasant â'i reolau ef. Dylid hefyd bob amser yr ymdriner â'r gweinyddiad o honynt, eu harddangos, a'u dal allan fel rhai o'i osodiad ef, ac nid o osodiad, trefniad, neu sefydliad, neu rai perthynol i unrhyw Gorph neu Eglwys o grefyddwyr, oddieithr yn unig fel y mae neu y byddo y cyfryw yn eglwys i Grist. Yn y dull hwn yn unig yr ymddangosant yn eu gogoniant a'u cadernid priodol. A bydd y gweinyddiad o honynt yn llawer mwy effeithiol, ac yn tueddu i ateb y dyben yn well i'r eglwys yn gyffredinol, ac iddynt hwy yn neillduol tu ag at ba rai y gweithredir mewn gweinyddiad o honynt.

Er mwyn cael o honom fantais i fwrw golwg cywir ar reolau dysgyblaethol eglwys Crist, gallwn olygu yr eglwys fel y mae yn gymdeithas ysprydol o ddynion wedi eu galw a'u neillduo oddi wrth y byd yn gyffredinol. Tu ag at gael o un aelodaeth mewn cymdeithas mae dau beth yn hollol anghenrheidiol, sef yn 1. Bod yr hwn a dderbynier i mewn ac y rhodder lle a braint iddo ynddi, yn cymeradwyo y cyfryw gymdeithas ynddi ei hun, ei dybenion, ei rheolau a'i llywodraeth. Ac hefyd bod y cyfryw yn rhydd yn meddiannu hawl ac awdurdod arno ei hun i ymroddi felly mewn modd cyfreithlon i fod yn aelod o'r cyfryw gymdeithas. Yn 2. Rhaid i'r hwn a ymgeisio yn llwyddiannus am le ac aelodaeth mewn cymdeithas, fod yn gymeradwy a derbyniol yn ngwyneb rheolau a threfniadau y cyfryw gymdeithas. Yn y modd hwn y sylfaenir, yr adeiledir, ac y cynhelir pob cymdeithas gyfreithlon a daionus yn mhlith dynion. Ar golofnau o'r fath hyn y dygir Cymdeithas ddaionus Dirwest yn mlaen yn ein dyddiau ni. A thra y parëo i bwyso ar golofnau mor gedyrn a rhagorol, gallaf ofyn, pwy ond yr eithaf afresymol a faidd ei gwrthwynebu na'i gogannu.

Yn gyffelyb i hyn yr adeiledir cymdeithas eglwys Crist, ac y dygir ei chynnydd yn mlaen yn y byd. Yn yr hyn y mae pob aelod a dderbynier i mewn iddi, yn myned mewn modd neillduol a phersonol i rwymau cyfammod eglwysig â'r gangen neillduol o'r eglwys i ba un y derbynier ef, a thwy hyny â holl eglwys Crist yn gyffredinol, yr hwn gyfammod, y mae yr afreolus, yr anystywallt, a'r holl wrthgilwyr yn ei dori! fel y cawn achlysur i sylwi cyn ymadael. Ond deliwch sylw, y mae hyn o wahaniaeth—pob cymdeithas ddynol a ffurfia ei rheolau a'i chyfreithiau o'i mewn

ei hunan, ond derbyn eglwys Crist ei holl reolau a'i chyfreithiau oddi wrth ei Phen a'i Brenin, sef yr Arglwydd Iesu. Pwy bynnag a dyn oddi wrth ei gyfreithiau ef neu a ychwango atynt yn llywodraethiad ei eglwys a becha yn ddirfawr yn erbyn yr Eglwys, ac yn ei erbyn ef a'i awdurdod fel y cyfryw. A byddai y fath weithred mor fwystfilaidd ac annghristaidd yn ei natur, ac mor niweidiol yn ei ffrwyth a'i heffeithiau ag unrhyw o weithredoedd annghrist ei hun.

Ym. Yr wyf yn ddiolchgar i chwi fy Nghyfaill anwyl, am eich sylwadau buddiol. Meddyliwyf, y byddai ystyriaethau teilwng o'r pethau hyn, a chydffurfiad a hwynt, yn dra adeiladol yn y gweinyddiad cyffredinol o ddysgyblaeth tŷ Dduw. Ond ewch rhagoch i'm haddysgu yn mhellach mewn perthynas i y rheolau a'r cyfreithiau hyn.

Syl. Ar ol palmantu ychydig fel hyn ar y ffordd, ceisiaf yn ol eich dymuniad sylwi ychydig ar rai o reolau Crist o berthynas i lywodraethiad ei eglwys. Ac er mwyn byrdra ac eglurdeb, fel y galloch ddeall a chofio yn well, nodaf hwynt fel yn dri dosparth. Y 1. Yn perthyn i dderbyniad aelodau i mewn i'r eglwys. Yr 2. Yn perthyn i lywodraethiad yr eglwys yn dumewnol. Ar 3. yn perthyn i fwrw yr afreolus, yr afiywodraethus, a'r halogedig allan o honi. Ond gwelaf fod yr amser a allaf ei hebgor yn bresennol wedi dyfod i fynu. Gan hyny rhaid gadael hyn hyd pan y cydgyfarfyddwn etto. Ond, cydunwch a mi wrth ymadael i ganu y pennill hwn o Ps. 122. 5. 6.

Can's yno cadair y farn fydd;
Eisteddfod Dafydd yno:
Erchwch i'r ddinas hedd a mawl,
A llwydd i'r sawl a'th garo.

---

YMDDIDDAN RHWNG PRÆCEPTOR A COLONUS, YNGHYLCH CREFYDD DEULUAIDD, A GOROR CLAWDD OFFA.

*Praeceptor.* Dydd da i chwi.

*Colonus.* Dydd da i chwithau.

*Prae.* A ydych chwi yn byw yn yr ardal hon?

*Col.* Ydwyf: Yn y tŷ fferm sydd o'n blaen yr ydwyf yn byw. Meddyliwyf mai gwr dieithr ydych chwi yn y fro hon.

*Prae.* Ië, lled ddieithr ydwyf, er fy mod wedi fy ngeni a'm magu yn—— eithr y mae rhyngof a'm presennol gartrefle ynghylch can milltir.

*Col.* Yr ydwyf yn awyddus am gael ymddiddan â chwi. A welwch chwi fod yn dda droi i mewn i orphwys dros ychydig?

*Praeceptor.* Da iawn gennyf gael cymdeithasau â chwi, gan obeithio y bydd bendith hirfaith ar ein cymdeithas yn eich hannedd y boreu hwn.

*Col.* Caniattaed yr Arglwydd hyny ini yn helaeth iawn. Deuwch i mewn. Eisteddwch ar y gydair accw.

*Prae.* Pa lyfr ydyw hwnaccw sydd wrth ochor y Bibl ar y bwrdd?

*Col.* Yr Hyfforddwr, a Chyffes y ffydd, wedi eu rhwymo ynghyd ydyw.

*Prae.* Yn mha drefn yr ydych chwi yn darllen y Bibl yn eich teulu?

*Col.* Yn gyffredinol, ei ddarllen ef o'i gwrr yr ydym.

*Prae.* A fyddwch chwi yn ymarfer a'r Hyfforddwr a Chyffes y Ffydd yn eich teulu?

*Col.* Yr ydwyf y dyddiau hyn yn yr hwyr yn gofyn rhyw gyfran o'r Hyfforddwr a'r teulu yn atteb. Ond weithiau, bydd y wraig neu un o'r plant yn gofyn y gofyniadau, a byddaf finnau yn atteb gyda'r lleill. Ac yn wir yr ydwyf fi a'm teulu yn cael mawr les yn aml. Yna, cyn darllen rhan o'r Bibl yn y boreu, yr ydys yn darllen un o faterion y Gyffes, ac yn gofyn rhai gofyniadau i'r teulu ar y cyfryw fatter: ar ol hyny bydd pawb yn adrodd adnod berthynol i'r matter. Yr un pwngc a fydd gennym yn aml am bythefnos. Ac yn wir y mae Holwyddoreg ragorol Mr. John Jones, o Ben y parc, ar y Gyffes yn gymhorth dirfawr ini. O na bai holl deulnoedd Cymru yn ei ddefnyddio. Gobeithio y cyfieithir ef yn fuan i amryw ieithoedd eraill, oblegid y mae yn fuddiol iawn.

*Prae.* A fyddwch chwi yn arfer canu gyda'r addoliad teuluaidd?

*Col.* Gadewch imi alw'r wraig yma. Villica; Deuwch yma am dippyn. Yna, ar ol iddi ddyfod, dywedodd Colonus, Mae y gwr dieithr a minnau yn ymddyddan am grefydd deuluaidd.

*Villica.* Yr ydwyf wedi cael pleser mawr wrth glywed Sarah ein merch, a Mary y forwyn, yn ymddiddau, wrth olchi, am y farn,

sef matter y bennod a ofynwyd neithiwyr o'r Hyfforddwr; ac am arfaeth Duw, sef y pwngc o'r Gyffes yr ymdriniwyd âg ef heddyw cyn darllen. Ac y maent yn penderfynu dysgu y 23 o Matthew, sef y bennod a ddarllenwyd heddyw. Maent yn ofni yn fawr rhag iddynt fod gyda chrefydd a gwaeau y bennod hon yn perthyn iddynt.

*Col.* Mae y gwr dieithr wedi gofyn i mi a ydym yn arfer canu pan yn cadw dyledswydd. Byddai fy nhad yn canu: ond yn wir ar ol yr ydym ni yn hyn; gofidus ydwyf am nas meddaf lais i ddechreu canu, ond y mae y rhan hyny o'r gwaith wedi bod ar fy meddwl yn aml.

*Villica.* Bu hynny ar fy meddwl innau lawer gwaith. Y mae John, ein mab hynaf, a graddau o addasrwydd ynddo i flaenori yn hyn. Ac fe allai, pe clywai efe y gwr hwn yn sylwi ar y peth y byddai yn gefnogaeth iddo i ymarfer a'r gwaith. Attolwg pa le y mae efe?

*Col.* Y mae efe yn y Cae pant gyda'r gweision yn chwynnu'r gwenith.

*Villica.* Gelwch efe i mewn. Pan ddaeth John i'r tŷ, gofynodd ei dad iddo, pa beth oedd yr achos fod mor anhawdd ganddynt ei glywed ef yn galw John? Ymddiddan yr oeddem (eb yntau) am arfaeth Duw. Mae Jabesh yn dywedyd ei fod ef yn methu a deall y rhan hyny o'r Gyffes ag sydd yn dywedyd, 'nad ydyw yr arfaeth ddim yn ymddibynu ar ragwybodaeth Duw ei hun.'

*Prae.* Yn wir, anwyl frawd, mi welaf arwyddion amlwg iawn i mewn ac allan ar eich meibion ac ar eich merched fod eich hymarferiadau â moddion gras yn atteb dyben buddiol iawn i'ch teulu. Hawdd imi ddeall fod yr Arglwydd yn agos attoch. O, byddwch helaeth yn ngwaith ein Harglwydd yn wastadol, oblegid y mae yn eglur nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd. Diolch iddo am yr hyn a welir yma heddyw.

*Col.* (Ebai Colonus dan wylo yn hidl) Gobeithio y gogonedda yr Arglwydd ei enw yn ein iachawdwriaeth oll fel teulu.

*Prae.* Mae lle hyderus i feddwl y gwna, ac yn iachawdwriaeth plant eich plant hefyd, oblegid, 'ffyddlon yw yr hwn a addawodd yr hwn hefyd a'i gwna.' Erbyn hyn, Wele Villica, a John, a'r gwr dieithr mewn undeb â Cholonus yn foddfa o ddagrau, fel ag y buwyd am beth amser heb wneyd na dweyd dim, ond diferu a sychu y dagrau. Ar ol iddynt feddiannu ychydig arnynt eu hunain, ymddiddanwyd mewn perthynas i ganu, ac addawyd y cyfodid hyny yn arferiad yn y teulu.

*Prae.* Gwelaf fod gennych lawer o lyfrau yn eich meddiant. Ai rhai duwinyddol ydynt oll?

*Col.* Ië, y rhan fwyaf. Ac y mae amryw yn fy nhyb i yn rhai da iawn. Eithr yr ydwyf yn mawr ofidio fod llyfrau mor ddychymygol yn cael eu cyhoeddi yn ein hoes, ag y sydd gan rai. Ac Och! y mae rhyw bregethu dieithr a diflas hefyd yn britho y bröydd. Gwyr pob dyn ysprydol nad oes yn y cyfryw lyfrau a phregethau ond 'Philosophi a gwag dwyll' trwyadl. O, y mae yn destyn galar dwys fod cymmaint o grefydd ysgafn a gwagsawr fel y gwelir yn aml y dyddiau hyn. Yn wir, anwyl frawd, yr ydwyf yn mawr ofni mai rhagflaenor i erchyll anffyddiaeth ydyw Neonominiaeth wenwynig yr oes hon. Cefais lyfr bychan yr wythnos ddiweddaf o waith y Parch. John Hughes, Pont Robert, sef dwy bregeth: y Testynau ydynt, Barn 2. 10. a Dat. 2, 3, 4. Meddyliwyf mai gair yn ei amser ydyw. Da chwi soniwch lawer am y llyfr hwn yn mhob man lle y byddoch.

*Prae.* Mae eich tystiolaeth yn gywir, a'ch anogaeth yn deilwng, gobeithio yr ydwyf y bydd y llyfr hwn yn eli llygaid i ddwyn Cymru i weled y mawr berygl, ac i achub y Dywysogaeth rhag y trymaf o farnau Duw.

*Col.* Cawsoch chwi eich geni a'ch magu mewn lle crefyddol iawn; ac fe allai fod yr ardal yr ydych ynddi yn awr yn llawn mor grefyddol os nad mwy.

*Prae.* O na byddai felly! Ond hollol wahanol ydyw hyd yn hyn. Y lle ag yr ydwyf yn byw ynddo er ys amryw flynyddau bellach, ydyw Goror Clawdd Offa.

*Col.* Hynod iawn! Goror Clawdd Offa! Myfi a glywais rai Pregethwyr yn son yn y Capel am Oror Clawdd Offa. Mae yn dda genyf gael ymddyddan âg un sydd yn byw yno er ys amryw flynyddau. Attolwg beth ydyw y Clawdd hwnw?

*Prae.* Clawdd mawr o bridd a gyfodwyd er ys amryw gannoedd o flynyddoedd yn derfyn rhwng Cymru a Lloegr ydyw, ac y mae yn cyrraedd o fôr i fôr.

*Col.* A ydyw efe i'w ganfod y dyddiau hyn?

*Prae.* Mae y bobl mewn rhai mannau wedi ei chwalu wrth lafurio y ddaear; ond mewn mannau eraill y mae i'w ganfod, ond yn lled adfeiledig, braidd yn mhob man.

*Col.* A ydyw efe yn derfyn manwl o hyd rhwng y Cymry a'r Saeson?

*Prae.* O nac ydyw, canys y mae llawer yr ochor draw iddo yn siarad Cymraeg mewn ambell fan; ac y mae miloedd lawer mewn lle arall yn siarad Saesoneg yr ochor yma iddo.

*Col.* Pa un ai cyfoethog ai tlawd o ran pethau y ddaear ydyw Ardaloedd y Goror?

*Prae.* Mae ambell ran uchel, fynyddig a thlawd, a llawer o fannau eraill yn ddyffryn diroedd ëang, a'r trigolion yn gyffredin yn byw ynddynt yn gyfoethog, ac yn freision iawn.

*Col.* O, y mae arnaf awydd mawr am wybod yn fanwl iawn am helynt grefyddol y Goror o'r naill Ochor i'r llall i'r Ynys.

*Prae.* Gresyn yn wir na baech chwi a phawb o'ch bath yn fanwl hyspys o hyny; oblegid yr wyf yn tybied er ys meityn fod tân cariad at ein Iesu anwyl, ac at eneidiau dynion, yn lled helaeth ar aelwyd eich hyspryd. Disgwyl yr wyf y gwneir y Goror anial yn fwy hyspys i'r Dywysogaeth nag y mae wedi bod hyd yn hyn.

*Col.* A oes llawer o fanau o fewn eich adnabyddiaeth chwi yn amddifad o foddion gras?

*Prae.* Oes llawer iawn. Ac, O, y fath ymddygiadau a barnau dinystriol sydd gan y bobl yn y cyfryw fanau.

*Col.* Y mae rhai pobl yn yr ardal hon yn golygu y dylid bod yn ymdrechgar iawn i anfon yr Efengyl i'r Paganiaid, ond am ardaloedd y Goror tybiant nad oes achos fod mor gynorthwyol ag y mae rhai yn annog.

*Prae.* Beth sydd gan y cyfryw fel rheswm dros fod yn ddisylw ar achos crefydd yn y Goror?

*Col.* Dywedyd y maent, yn un peth, fod yr Efengyl a'i breintiau yn lled agos eisoes at bobl y Goror: ond am y Paganiaid, eu bod yn hollol amddifaid. Dywedant hefyd, fel yr addefasoch chwithau, fod llawer o bobl y Goror yn gyfoethog iawn o ran meddiannau bydol, a pha reswm meddant casglu pres oddiar gynnulleidfaoedd tlodion Cymru i arbed pobl oludog y Goror?

*Prae.* Mae yn wir fod llawer o honynt yn gyfoethog. Beth er hynny, y maent mor amddifaid a'r Paganiaid o awydd am y breintiau; ac felly y maent yn sicr o fod yn golledig. Ond os bydd i'r Gwaredwr feddiannu y bröydd hyn, gydag y gwnant gynnal ei achos teilwng ef yn eu hardaloedd eu hunain, byddant yn ddiammeu yn gynnorthwyol iawn tuag at yr achos tramor hefyd. Gan hynny, Awn a meddiannwn anialwch y Goror yn llwyr i'n Iesu anwyl. Ac am y peth blaenaf a soniasoch, sef fod breintiau yr Efengyl yn lled agos at bobl y Goror. Tybiwch eich bod chwi ac eraill yn sefyll ar lan y môr ar ddiwrnod tymhestlog iawn; a'ch bod yn gweled dwy long yn cael eu dryllio gan y dymhestl, a'r bobl yn y cyffelyb enbydrwydd am eu bywydau, a bod un o'r ddwy o fewn tair milltir i dir, a'r llall o fewn milltir, a rhyw rai yn cael ar eu meddwl i fyned allan mewn cychod i geisio achub bywydau y bobl. Pe dywedai rhyw un, nyni a awn heibio i'r llong nesaf yma yn lled ddisylw, i achub pobl y llong draw, oblegid er fod pobl y llong yma yn boddi, y maent yn boddi o fewn milltir i'r lan. O pwy deimladau a gydunai â chynygiad o'r fath? O na, na meddai pawb ystyriol, nyni a wnawn ein goreu, trwy gymorth yr Arglwydd, i achub pobl y ddwy long, oblegid nid ydyw boddi yn agos i'r lan yn un gronyn esmwythach na boddi ar ganol y môr. O gwnaed y Cymry eu goreu er achub Paganiaid y byd, a dyblant yr ymdrechiadau mewn perthynas i bobl anwyl Goror Clawdd Offa; oblegid yn wir, y mae yn annyoddefol i deimladau ysprydol feddwl fod miloedd lawer o'n cyd ddeiliaid, ie filoedd o'n cyd genedl, 'yn methu o eisiau gwybodaeth.'

Ond gan fod yr amser yn galw arnaf i ymadael yn awr, y mae ar fy meddwl alw etto gyda chwi yn mhen y mis i heddyw, i gael ymddiddan yn helaethach ac yn fanylach am y pethau hyn, sef crefydd deuluaidd, a Goror Clawdd Offa. Yr Arglwydd a'ch bendithio, Anwyl Frawd.

*Col.* Yr Arglwydd a fyddo gyda chwithau yn mhob man y byddoch.

## EGLURIAD YSGRYTHYROL.

Rhuf. xvi. 20. 'A Duw y tangnefedd a sathr satan dan eich traed chwi ar frys.'

Y geiriau hyn ydynt yn annogaethol i fyned ymlaen yn yr yrfa ysbrydol yn wyneb pob gwrthwynebiadau, ac na ddiffygiom yn gwneuthur daioni. Ynddynt y mae rhagorfraint anrhaethol yn addawedig, i'r rhai sydd yn dal i ymladd â phrif elyn dyn, ac i wrthwynebu ei hudoliaethau ef. 'A Duw y tangnefedd a sathr satan dan eich traed chwi ar frys.' Diau fod yma gyfeiriad at waith y Messiah yn ysigo pen y sarph ar Galfaria. Canys mor sicr ag i Gapten mawr ein hiachawdwriaeth ni ysigo ei ben ef ar y groes, y bydd iddo gael ei sathru dan draed ei filwyr drwy rinwedd ei goncwest ef: trwy ffydd fe'u gwneir yn fwy na choncwerwyr drwy yr hwn â'u carodd hwynt.

Rhyfel barhaus yw bywyd y cristion; oblegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yr erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd. Ac megis pe dywedasai yr apostol, am hyny gwisgwch am danoch eich holl arfogaeth, ymnerthwch yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef. Ymdrechwch ymdrech deg y ffydd, pa boethed bynag fyddo y frwydr mae'r fuddugoliaeth yn sicr, 'canys Duw y tangnefedd a sathr satan dan eich traed chwi ar frys.' Pe buasai y canlyniad yn cael ei adael i'r cristion i sicrhau y fuddugoliaeth ar y gelyn cryf, hen, a chyfrwys hwn, buasai ei achos yn anobeithiol, ond 'Duw y tangnefedd a sathr dan eich traed chwi,' a hyny 'ar frys.' Er fod y rhyfel yn boenus yn bresennol, hi dderfydd yn fuan: ac yna, O mor hyfryd fydd cân gorchfygwr!

Rhyfel ysbrydol yw hon; ni wyr y diadgenedledig ddim am dani. 'Nid ydym yn rhyfela yn ol y cnawd, canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol drwy Dduw, i fwrw cestyll i'r llawr.' Holwn ein hunain, a ydym ni yn rhyfela yn erbyn ein tueddiadau llygredig. A ydym ni yn cadw ein calon yn dra diesgeulus, gan wrthwynebu cynnyrfiad cyntaf tueddfryd drygionus sydd yn cyfodi yn ein mynwesau? A ydym ni yn ewyllysgar i ymladd hyd at waed gan ymdrech yn erbyn pechod? Ai ynte, a ydym yn dirgel lochesu rhyw drachwant hoff, ac yn dywedyd, 'Onid bychan yw? Ni chaiff neb wybod fy mod yn ei lochesu ef: ni byddaf byw mewn un pechod cyhoeddus: fe guddir hwn mewn rhyw gongl o'm serchiadau dirgel, lle na chaiff neb wybod am dano.' Os fel hyn y mae, nid yw y testyn o un cysur i ni. Canys, pa gysur a ddichon addewid o goncwest roddi i ddyn na fu erioed yn ymladd â'i elyn? Ond i'r rhai sydd yn ymdrech yn erbyn satan a phechod, y rhai sydd yn llefain gyda'r Salmydd, 'Arglwydd, chwilia fi, prawf fi, a gwel a oes ffordd annuwiol genyf—glanha fi oddiwrth fy meiau cuddiedig. Fy ngelynion a'm llyncent beunydd, canys llawer yw y rhai a gyfodant i'm herbyn, O Arglwydd. Fy ngelynion ydynt gryfion; O Arglwydd gwared fi oddiwrth fy ngelynion canys y maent yn rhy drech i mi.'

I'r cristion ag sydd yn y brwydrau poethion hyn, O mor gysurus yw yr addewid werthfawr ac anmhrisiadwy hon, 'Duw y tangnefedd a sathr satan dan eich traed chwi ar frys.' Cofiwn gan hyny 'nad oes yr un arfogaeth am y tu cefn,' na fyddwn 'o'r rhai sydd yn tynu yn ol;' ond daliwn ein ffordd, a glynwn wrth ein lluman (*banner*), yn agos at Gapten ein Iachawdwriaeth. Edrychwn i fynu atto ef am nerth yn wastadol, yr hwn a ddywedodd, 'megis dy ddyddiau y bydd dy nerth.' 'Ffyddlon yw yr hwn a addawodd, yr hwn hefyd a'i gwna.'

Rhwbiwn ein harfogaeth yn wastadol â gweddi. Gweddi a geidw arfogaeth y cristion yn loyw; ac mae satan yn crynu pan welo y credadyn gwanaf ar ei liniau. Duw sydd noddfa i ti, 'efe a wthia dy elyn o'th flaen, ac a ddywed, dyfetha ef.'

Crist yw ngobaith a fy hyder,
  Angau'r groes fy ymffrost yw:
Trwy elynion mawr eu cryfder
  Diogel deuaf trwy fy Nuw.
Er holl nerth a llu y fyddin
  Yn y man gor'chafiaeth gaf;
Fel gorchfygwr mi gaf dderbyn
  Goron hardd-deg gan fy Naf.

---

### BETH YW FFYDD?

Cydsynied diysgog a, neu berswadiad

hyderus o wirionedd pob peth a lefarodd Duw, a dystiolaethodd, a addawodd, a orchymynodd, neu a fygythiodd efe yn ei air. Mae y cydsynied hwn yn hollol ac annherfynol; mae yn cyrhaeddyd at yr holl wirionedd, addewidion, bygythion, a gorchymynion. Nid yw ffydd yn pigo, ac yn dewis, gan gymmeryd a gadael heibio yn ol mympwy; ond pan ganfyddo mai yr Arglwydd a ddywedodd y cyfryw beth, hi a dderbyn ei dystiolaeth, yn unig am mai gair Duw ydyw; ie, er y dichon fod, mewn rhai pethau, y tu hwnt i ddeall dynol, neu y tu hwnt i debygolrwydd. 'Felly yr wyf fi yn addoli Duw fy nhadau; gan gredu yr holl bethau sydd ysgrifenedig yn y ddeddf a'r prophwydi.' Act. xxiv. 14. Mae'anghredu pa beth bynag y mae Duw wedi ei hysbysu yn ei air yn bechod, ac yn ddamniol, canys, mewn effaith, y mae yn gwneuthur Duw yn gelwyddog, 1 Ioan v. 10.

Mae ffydd yn cael ei rhagflaenu â gwybodaeth, ac mae yn rhoi cydsynied i air Duw, gan bwyso ar awdurdod y Jehofah, ei fod ef yn eirwir yn yr hyn oll a ddywedo, yn ddiffuant, yn ffyddlawn, ac yn ddiysgog yn ei holl addewidion, fel na ddichon iddo dwyllo na chael ei dwyllo. 'Credodd Abraham i Dduw.' Gen. xv. 6. Mae yr ymadrodd yn dangos, ei fod ef yn ystyried fod gair Duw yn sicr, cadarn, a diysgog. Dywed Moses, 'Wele, Israel ni chredant i mi.' Yr ystyr yw, ni roddant goel neu gydsynied i'w eiriau ef. A phan ddywedir, 'Israel a gredasant i'r Arglwydd ac i Moses ei was ef,' fe feddylir iddynt gredu geiriau yr Arglwydd y rhai a lefarwyd gan Moses ei was ef. Mae hyn yn eglur oddiwrth gynghor Jehosaphat i'r bobl, gan ddywedyd, 'Credwch yn yr Arglwydd eich Duw, felly y sicrheir chwi; credwch ei brophwydi ef, a chwi a ffynwch.' Ac ymadroddion Dafydd, 'Credais, am hyny y lleferais.' Psal. cxvi. 10.

Mae crediniaeth yn wastad yn sylfaenedig ar awdurdod a geirwiredd yr hwn yr ydym yn credu ei air ef, ac mae yn rhaid ei fod yn cyfeirio at ryw beth sydd wedi ei lefaru neu ei ddatguddio fel gwrthrych; ond gellir cryfhau a chyfnerthu y gredinaeth hono gan gymhelliadau, annogaethau, profiadau, neu debygoliaethau ereill. Mae llawer o wrthrychau ffydd hefyd yn arddangosiadol, ac mae yr hyn a gredir i'w weled. 'Thomas, ai am i ti fy ngweled y credaist? Ioan xx. 29. Er fod ffydd a gwybodaeth yn gwahaniaethu, er hyny gallant gydsefyll. Mae ffydd yn sylfaenu ar awdurdod datguddiedig; mae gwybodaeth a'i sail ar arddangosiadau sicr.

BALL.

---

**MR. HONE, YR ANFFYDDIWR,** (*Infidel.*)

Yr hanesyn canlynol am argyhoeddiad Mr. Hone, yr Anghredyn, a fynegwyd yn Nghyfarfod blynyddol diweddaf Bibl Gymdeithas Cambridge, gan y Parch. Broffeswr Scholefield. Yn nyddiau ei anffyddiaeth, fel yr oedd Mr. Hone yn teithio drwy Gymru ar ei draed, ac efe yn lluddedig ac yn sychedig, efe a droes at dŷ annedd, lle yr oedd geneth fechan yn eistedd wrth y drws yn darllen ei llyfr. Gofynodd Mr. Hone i'r eneth, a roddai hi iddo ychydig ddwfr i'w yfed? O cewch Syr, (eb hi), os deuwch i mewn i'r tŷ fe rydd fy mam i chwi ddwfr a llaeth. Ar hyn efe a aeth i mewn, ac a gafodd y cyfryw ddiod i'w hyfed.

Eisteddodd yr eneth drachefn i ddarllen ei llyfr. Wedi aros ychydig yn y tŷ, daeth Mr. Hone allan, ac wrth basio drwy y drws, efe a ddywedodd wrth yr eneth, 'Wel, fy ngeneth fach I, dysgu dy *dasg* yr wyt ti?' 'O, nage Syr, (eb hithau), darllen y Bibl yr wyf fi.' 'Ond, (meddai Mr. Hone,) dysgu dy *dasg* allan o'r Bibl yr wyt ti.' 'O, nage Syr, (eb yr eneth) nid *tasg* i mi yw darllen y Bibl, ond pleser ydyw.'

Cafodd geiriau yr eneth y fath effaith ar Mr Hone, fel y penderfynodd efe ddarllen y Bibl o hyny allan. Ac mae Mr. Hone yn awr, (meddai Mr. Scholefield, yn un o'r rhai blaenaf yn proffesu ac yn amddiffyn y gwirioneddau mawrion cynnwysedig yn y Llyfr sanctaidd hwnw.

---

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dalen 244.)

Mor foreuol a'r flwyddyn O. C. 400, wedi marwolaeth Theodosius, yr hwn a adawodd Ymerodraeth fawr Rhufain, wedi ei rhanu yn ddwy ran, sef y ddwyreiniol a'r orllewinol i'w ddau fab, Arcadius a Honorius, fe gyfododd Alaric, brenin y Visigothiaid, i gymmeryd meddiant o Itali brydferth a ffrwythlawn; ond fe fethodd yn ei ymgyrch, canys fe'i gyrwyd yn ei ol â lladdfa fawr. Yn y fan torodd allan o'r gogledd luoedd mileinig o'r Suevi, dan lywyddiaeth eu Penaeth barbaraidd Radagais, rhuthrodd y rhai hyn, ynghyd a'r Ostrogothiaid, yr Alani, y Vandaliaid a'r Burgundiaid; yn ddiarbed am ben tiriogaethau Rhufain. Ni allai holl luoedd Rhufain roi attalfa i'w hymgyrch, hyd nes darfu i ddychryn Duw eu gyru hwynt i blith yr Appeniniaid, lle yr amgaewyd hwynt gan finteioedd arfogion Rhufain: yno bu feirw miloedd o'r newyn tost, ac y cymmerwyd y gweddill yn garcharorion. Yr oedd nifer y carcharorion mor liosog, fel y gwerthwyd miloedd o honynt yn gaethweision am ryw ychydig iawn o arian.

Ond, er hyny ni attaliwyd barn Duw ar Rhufain ond dros ychydig amser. Darfu i Alaric, rhwng y flwyddyn 408, a'r fl. 410, wneuthur tri ymgyrch y naill ar ol y llall, yn erbyn Itali, ac yn y trydydd ymgyrch efe a ennillodd ddinas Rhufain, ac a'i dinystriodd hi drwy dân, leddyf, ac yspail. Ac yn y dinystr ofnadwy hwn, fe arbedwyd

y Cristionogion, ynghyd a'u haddoldai a'u hadeiladau ereill. Hefyd, yn y cyfamser, y Sueviaid, y Vandoliaid, yr Alaniaid, y Burgundiaid, a chenhedloedd ereill o Germani, a orchuddiasant Ffrainc fel locustiaid, gan ddifa pob peth o'u blaen. Y dinasoedd poblogaidd ar lanau afon Rhine a wnaed yn ulw, a lladdwyd llawer o filoedd o gristionogion â'r cleddyf. Cyflawnasant y cyffelyb alanastra yn Spaen: lladdasant yr Esgobion a'r Offeiriaid, gwasgarasant y cynnulleidfaoedd cristionogol, ac a fwriasant goelbren am y gwledydd a ennillasant.

Y Sueviaid a'r Vandaliaid a gymmerasant feddiant o Ffrainc, yr Alaniaid a feddiannasant Portugal, a'r cenhedloedd ereill cyuenid o Germani, a ymsefydlasant yn Spaen. Yn fuan wedi hyny, y Visigothiaid a sefydlasant deyrnas gadarn yn Ffrainc, ac ac a yrasant y Vandaliaid a'r Alaniaid o Spaen. Y rhai hyn yn awr a aethant yn eu hol dan eu Pen cadpen Generic i dueddau cyferbyniol Affrica, gan anrheithio mewn ffyrnigrwydd creulon holl lanau gogledd orllewinol y môr ar eu hyd, cyn belled a Carthage, ac a sefydlasant lywodraeth helaeth, yr hon yn fuan a ymledodd dros Sicily, Sardinia, a Corsica. Darfu i ymddangosiad arswydus Theodoric, brenin y Visigothiaid, attal ei oruchafiaethau rhag myned ddim pellach, hyd onid alwasant am gynnorthwy Attila, brenin yr Hunsiaid, yn nghanol y pummed canrif.

Yr Huusiaid hyn a ddaethant o fynydd Caucasus, dros y môr Azof, ac a wnaethant i fynu ran o'r genllif fawr o'r llwythau, y rhai a ymdywalltasant i lawr o'r mynyddoedd hyny i deyrnasoedd Ewrop. Eu brenin Attila, er nad oedd ond bychan a gwael o gorpholaeth, oedd yn wr rhyfelgar a chreulon, ac a fu yn ddychryn i'r holl wledydd lle y gwynebodd arnynt. Efe a'i galwodd ei hun yn *Godegeisel*, neu 'Fflangell Duw;' a than yr enw hwn yr ofnid ef yn fawr, hyd yn nod gan y rhai nad oeddynt yn ofni Duw ei hun; dim ond ofni ei fflangell ef.

Gan osod ei hun yn ben ar lu dirfawr, dim llai na phedwar can mil o ryfelwyr, aeth Attila i fynu ar hyd glanau yr afon Danube, gan gof-nodi o hyd ei holl ffordd â thân a gwaed.

Efe a groesodd yr afon Rhine ychydig uwchlaw y llyn Constance, a llosgodd y dinasoedd ar lanau yr afon hono, y rhai yn ddiweddar a ail-adeiladesid, ag oeddynt ond prin wedi eu gorphen, efe a frysiodd i gyfarfod â'r lluoedd cyfunol y Rhufeiniaid a'r Visigothiaid. Y Cadfrig Rhufeinaidd Otius, a'r brenin Theodoric oeddynt yn gwerysyllu ar wastadedd Catelaunia, yn gyfagos i Chalons. Yr oedd yno genhedloedd o holl Ewrop, o geinciau yr afon Danube, hyd gêg yr afon Tagus, yn gynnulledig ynghyd i sefydlu tynged holl wledydd y gorllewin, mewn un frwydr fawr, yn y flwyddyn O. C. 451. Ni chawn hanes am lawer o'r cyffelyb frwydr rhwng cenhedloedd cyfain yn Hanesiaeth yr amseroedd; ac fe allai na fu ei chyffelyb yn yr holl oesoedd, oddigerth rhyfeloedd Poictiers, Leipsic, a Waterloo. Fe laddwyd yn y frwydr hon uwchlaw cant a thriugain o filoedd (160,000) ymhlith y rhai yr oedd Theodoric y brenin ei hun.

Er i Attila orfod encilio y tu ol i'w attalglawdd, etto efe a'i filwyr lliosog a aethant yn mlaen tua Rhufain, gan ddifrodi yr holl wlad ar hyd y ffordd a deithiasant â thân ac â'r cleddyf. Yr oedd Rhufain yn crynu rhag ei ofn ef. Yn unig, yr Esgob Leo. I. a anturiodd i fyned allan atto i'r gwersyll, ac a ymbiliodd ag ef mewn modd tirion a sobr. Drwy gymhorth Duw efe a lwyddodd i feddalu calon haiarnaidd y Rhyfelwr creulon hwn.

Ar hyn, troes Attila a'i fyddin liosog, fileinig, ac arfog, tuag adref, gyda chryn gyflymdra, ac efe a fu farw ar y ffordd. Claddodd yr Hunsiaid ef mewn arch o aur, ac ni chafwyd byth o hyd i'r fan. Ar ol ei farwolaeth ef, ni chlywyd nemawr byth o son am yr Hunsiaid; er iddynt unwaith fod yn arswyd i'r holl wledydd cristionogol yn y gorllewin.

Pe buasai trigolion hen ddinas Rhufain, pryd yr achubwyd hwynt o grafangau Attila greulon, yn rhoi y gogoniant i Dduw, ac yn edifarhau am eu pechodau, mae yn debygol na buasent yn cael eu dyfetha mor fuan ag y cawsant. Ond nid felly a fu, canys yn y flwyddyn 476, y daeth Generic, brenin y Vandaliaid, gyda llu mawr yn erbyn y ddinas, a chan na chyfarfu â nemawr o wrthwynebiad, efe a'i hysbeiliodd hi am bedwar diwrnod arddeg yn ddibaid. Ac yn awr, yr holl weithredoedd celfyddydawl cywreinwych a adawsid yn hen Rufain Ymerodrol, ei cholofn ardderchog, oedd a'i phen o aur, y llestri sanctaidd a ddygasai Titus gynt o'r deml yn Jerusalem—ynghyd â holl wych addurniadau celfyddgar y Groegiaid, a ddrylliwyd yn chwilfriw, neu a gaethgludwyd gan y Vandaliaid i Carthage.

Dyma fu diwedd hen Rufain, yr hon dros 1200 o flynyddoedd a fu yn rheoli y byd â'u harfau; ac ychydig a feddyliasid y pryd hyny, mai o'i hadfail hi y buasai yn codi awdurood eglwysig, yr hwn a barhai, cyhyd a'r llall, ac a arferai helaethach a chadarnach llywodraeth; ond felly fu.

Wedi i Ynysoedd Brydain, yn y flwyddyn 441, ymwahanu oddiwrth Ymerodraeth Rhufain, a'u meddiannu yn gyntaf gan y Pictiaid, a'r Scotiaid, ac wedi hyny gan yr Anglo Saxoniaid, gosodwyd sail i lywodraeth newydd yn y Gorllewin, ac felly llawer o had Cristionogaeth, y rhai oeddynt megis yn huno dan y pridd yn Ewrop, yn awr a ddechreuasant dyfu i fynu, ac yn fuan a ymddangosasant yn cynnyrchu er parottoi at gynhauaf toreithiog. Cyn diwedd y pummed canrif darfu i'r Visigothiaid,

frwydrau y Sueviaid, a'r Burgundiaid yn Spaen a Ffrainc; y Frankiaid yn Ngogleddbarth Ffrainc, y Vandaliaid yn nhueddau gogleddol Affrica; a'r Ostrogothiaid yn Itali gofleidio y grefydd Gristionogol. Ac yn hynyma, fe'u dilynwyd hwynt yn y canrif canlynol gan y Longobardiaid, y rhai a ymsefydlasant ar ddinystr teyrnas yn Ostrogothiaid, ac oddiwrth y rhai y gelwir dosparth uchaf Itali yn Lombardy hyd y dydd hwn.

Yn y canrifoedd canlynol drachefn, daeth y Gwyddelod, y Saeson, y Scotiaid, y Bavariaid, y Swissiaid, a'r Frieslandiaid i broffesu y Grefydd Gristionogol. Darfu i'r Ymerawdwr Charlemagne, yn y flwyddyn 814 wasgu ar y Saxoniaid i dderbyn y Grefydd Gristionogol: hefyd hi a aeth o fessur ychydig i Thuringia, a Bohemia, Denmark, a Sweden, Hungary, a Norway; a thua diwedd y tymhor hwn yr ydym yn son am dano, sef yn lled agos i'r flwyddyn 1073, nid oedd ond ychydig o lwythau paganaidd yn aros o fewn holl wledydd Gorllewinol Ewrop, canys yr oedd y Grefydd Gristionogol, erbyn hyn, wedi eu goresgyn hwynt yn gyffredinol.

*(I'w barhau.)*

## Gofynion.

A fyddwch chwi, neu ryw un o'ch Gohebwyr deallus, mor hynaws a rhoddi Attebiad i'r Gofyniad canlynol? Gan y dywedir yn Job. vii. 1. 'Fod amser terfynedig i ddyn ar y ddaear,' A ydyw pob un yn cyrhaedd hyd at y terfyn hwnw, ai nid yw?

*Buckley.* R. J.

Syr,—Clywais amryw yn ymddyddan a'u gilydd ynghylch yr angenrheidrwydd o gadw Cofrestraeth o Fedyddiadau plant yn y dyddiau hyn. Dymunaf gael gwybod drwy gyfrwng y Drysorfa, a ydyw yn angenrheidiol i bleidiau crefyddol gadw Cofrestraeth o fedyddiadau plant, ar ol sefydliad y gyfraith newydd am Gofrestraeth Genedigaethau, Priodasau, a Marwolaethau, gan y Llywodraeth?

HEN FETHODIST.

## Attebion.

Atteb i Ofyniad John Hughes, Llanllyfni, yn Rhifyn 90. tu dalen 177. ynghylch y geiriau *Gwahanol, Gwahaniaethol*, a *Gwahanredol.*

I. Beth yw y gwahaniaeth sy rhyngddynt?

Att. Enw gwan, (Adjective) ydyw pob un o'r tri, y naill fel y llall. Ac o ran eu hystyr nid oes dim llawer o wahaniaeth. Fe allai y gwelir y gwahaniaeth wrth eu cyfieithu i'r iaeth Saesoneg; fel hyn, Gwahanol—*Separating*; oddiwrth y prifair, (*verb*) Gwahanu, *to separate.*

Gwahaniaethol — *Disjunctive*; oddiwrth y prifair Gwahaniaethu, *to discriminate.*

Gwahanredol—*Discriminating* — *Distinguishing*, oddiwrth y prifair Gwahanredu, *to Discriminate, to Distinguish.*

II. Pa un o'r tri yw y mwyaf priodol i'w arferyd am y Personau Dwyfol? Att. Gwell fyddai genyf fi arfer y gair Gwahaniaethol, na'r gair Gwahanol; ond y goreu o'r tri yw y gair Gwahanredol: a dyna oedd barn Mr. Robert Jones Tŷ bwlcyn.

CYHOEDDWR.

*Atteb i Ofyniad Glancadwyn yn Rhifyn 90. tu dalen 177.*

*Ei Ofyniad yw "A oes i ni feddwl fod y gweledigaethau a gafodd Ioan, ag sydd ar lawr yn y pennodau olaf o Lyfr y Datguddiad, eu bod yn traethu am bethau gogoneddus y drydedd nef, neu ynte am bethau perthynol i'r Eglwys filwriaethus yma ar y ddaear yn ei sefyllfa berffeithiaf yn y mil blynyddoedd."*

Att. Nid yw ein Gohebwr yn nodi pa sawl un o'r pennodau olaf o lyfr y Datguddiad y mae efe yn cyfeirio attynt, ond yn unig 'yn y pennodau olaf;' gan hyny nyni a adroddwn ein meddyliau ar hyn, drwy ddechreu yn y ddeunawfed bennod.

Fe esbonir y 'ddeunawfed bennod,' gan yr holl Brotestaniaid yn gyffredinol, yn cynnwys prophwydoliaeth am lwyr ddinystr dinas a llywodraeth Rhufain, oherwydd ei holl ffieidddra y rhai a wnaeth hi; ynghyd a dychryn, cyfyngder, a dinystr y rhai oll a lynant wrthi hi, a mawr orfoledd yr Eglwys o'r herwydd.

Yn y 'bedwaredd bennod arbymtheg,' wedi rhoi chwaneg o ddysgrifiad o lawenydd o mawl holl weision Duw, o achos y dinystr alaethus hwn, ynghyd â'r effeithiau gogoneddus a bendigedig a ganlynodd hyny, ni a gawn brophwydoliaeth am ymegniad a wneid wedi hyny yn erbyn gwir gristionogrwydd, gan y gweddill o'r blaid anghristaidd dan arweiniad 'y Bwystfil a'r Gau brophwyd,' neu 'y bwystfil yr hwn oedd a dau gorn iddo;' a'r oruchafiaeth olaf a geir ar y gelynion hyn, yn diweddu gyda eu llwyr ddinystr, a bwriad 'y bwystfil a'r gau brophwyd i'r llyn sydd yn llosgi o dân a brwmstan.'

Fodd bynag, er hyny i gyd, yr oedd prif dwyllwr y cenhedloedd, y diafol, yn aros yn rhydd, ac yn barod i wneud chwaneg o ymegniadau yn erbyn achos Crist. Ond mae yr 'ugeinfed bennod' yn dechreu gyda rhagddywediad y bydd iddo yntau gael ei rwymo, a'i fwrw i'r pydew diwaelod am fil o flynyddoedd; yna y canlyn y mil blynyddoedd, neu yr amser dedwydd pan y bydd i Grist deyrnasu ar yr holl ddaear. Dyma y pryd y bydd yr Eglwys filwriaethus yn ei sefyllfa berffeithiaf ar y ddaear.

Ac yn niwedd y mil blynyddoedd hyn, gollyngir satan yn rhydd, ac yn y fan efe a adnewydda ei ymegniadau, ae a lwydda i gynnull ynghyd y cyfryw a gymmerant eu twyllo a'u hudo ganddo i wrthgiliad oddiwrth Dduw, i ymosod mewn rhyfel gyda nerth a rhuthr ofnadwy yn erbyn y gweddill a fydd i'w cael o gredinwyr. Ond yn y cyfyngder hwn ar Eglwys Dduw, tân a ddisgyn o'r nefoedd ac a ysa y gelynion aruthrol hyn, a bwrir y Diafol am byth i'r lle poenus a barottowyd iddo--Yna y canlyn y farn gyffredinol yn ddioed—Bwrir yr holl rai drygionus i'r llyn o dân.

Ac mewn canlyniad i hyn, y mae yr 'unfed bennod ar hugain,' a'r 'ail bennod ar hugain' yn darlunio dedwyddwch anrhaethol y saint yn y drydedd nef, gydag amryw o hyfforddiadau a chynghorion cydfynedawl a'r ystyriaethau o hyny.

Felly gan hyny, yn yr xxfed bennod y cawn brophwydoliaeth 'am bethau perthynol i'r Eglwys filwriaethus yma ar y ddaear yn ei sefyllfa berffeithiaf yn y mil blynyddoedd.' Ac yn y ddwy bennod olaf, 'y traethir am bethau gogoneddus y drydedd nef.'

CYHOEDDWR.

---

Rhestr o Eiriau anghynefin a gasglwyd gan ein Gohebydd John Powell allan o Lyfr y Barnwyr, a Llyfr Ruth; wedi eu hegluro yn ol ei ddymuniad.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Barn. | xii. | 6. | Shibboleth—Baich—tywysen. |
| | | | Sibboleth—Rhediad dwfr. |
| | xiv. | 8. | Ysgerbwd—Corph marw. |
| | | 12. | Dychymmyg—Dammeg. |
| | | | Llenllieiniau—Crysau. |
| | xv. | 6. | Daw—Mab ynghyfraith. |
| | | 8. | Coppa—Pen uchaf |
| | | 17. | Ramath-Lehi — Cyfodiad yr ên. |
| | | 19. | En-haccore — Ffynnon y geilwad. |
| | xvi. | 5. | Gerthrechu—Gorchfygu. |
| | | 9. | Gwdyn---Rhwymynau. |
| | | 13. | Saith gudyn fy mhen---Saith dylofyn o wallt ei ben ef. |
| | | 14. | Hoel y garfan, a'r we--Pin y paladr, a'r we o'r gwŷdd. |
| | | 15. | Cu---Anwyl, hoff. |
| | | 21. | Gelfynau---Llyffetheiriau. |
| | xvii. | 5. | Teraphim---Delwau, Gwel Gen. xxi. 19. |
| | xix. | 4. | Tario--Aros, trigo. |
| | | 19. | Ebran---Porthiant anifeiliaid. |
| | | 22. | Belial---Enw a roddir as satan, yn arwyddo *un heb iau*; *un difudd*. |
| | | 23. | Ysgelerder ---- Erchylldra, echryslonrwydd. |
| | | 27. | Trothwy---Rhiniog. |
| Barn. | xx. | 4. | Gordderch ---- Cywelyes, gwraig anghyfreithlawn. |
| | | 34. | Câd----Rhyfel, ymladdfa, brwydr. |
| | xxi. | 12. | Gwŷryfon---Merched heb adnabod gwr. |
| | | 23. | Adgyweirio---Trwsio, taclu |
| Ruth | i. | 14. | Chwegr--Mam ynghyfraith. |
| | | 20. | Mara-- Chwerw |
| | ii. | 7. | Attolwg---Dymuno, Erfyn, |
| | | 12. | Gwobrwy---Tâl, gwobr. |
| | iii. | 15. | Mantell---Dilledyn uchaf. |
| | iv. | 15. | Adferwr---Adgyweiriwr. |

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Gwaith y diweddar Barch. Richard Jones o'r Wern, ar Bum Llyfr Moses*

Y mae yn dda genym weled y Rhifyn cyntaf o waith y gwr parchus uchod wedi ymddangos o'r Wasg, a'i fod o ran papur a llythyren yn waith gwych, ac y gall y rhai y mae eu llygaid yn gwanhau gan henaint ei ddefnyddio.

Mewn perthynas i waith yr Awdwr y mae yn deilwng iawn o dderbyniad. Mae yn cynnwys golygiadau sobr a chynhwysfawr, a hyny mewn iaith eglur a dirodres. Mae yn wir ei fod yn fyr, ond y mae ei holl duedd i ddangos perthynas y gwirionedd â ni, yn hytrach na myned ar ol cwestiynau anorphen.

CADWALADR WILLIAMS,
*Mon.* THOMAS OWENS.

---

### GWAITH I DDIRWESTWYR.

Hybarch Olygydd.—Chwi a wyddoch am effeithiau daionus Cymdeithas dirwest, ei bod wedi llwyddo i ennill y Cymry o'r bron oddiwrth y diodydd meddwol, a'i heffeithiau niweidiol, i fod yn bobl sobr. Gellir dysgwyl gan hyny yn rhesymol fod yr arian oedd yn cael eu treulio ganddynt i niweidio eu synwyrau, a dyrysu eu hamgylchiadau, ganddynt i brynu unrhyw lyfrau a fyddai yw debyg i fod o lês iddynt. Bellach, meddyliwn fod llawer o honynt yn barod i ddywedyd, Beth a gawn i'w wneuthur yn yr oriau fyddem yn eu treulio yn y tafarndai? Oherwydd rhaid i ni gael rhyw beth i'w wneuthur: nis gallwn fod yn llonydd. Bellach Syr, deffrowch i dori gwaith newydd i'r genedl; onidê, fe ddeffry satan o'ch blaen.

Mae yn dda genyf feddwl am yr hyn a wneuthoch, canys rhoisoch waith da a buddiol i filoedd o blant yn y Rhodd Mam i'w phlentyn, a'r Rhodd Tad i'w blant. Cyhoeddasoch bellach ers llawer dydd Rammadeg Cymraeg byr, rhwydd, ac eglur. Ac yr ydwyf yn deall fod cannoedd o honynt yn cael eu dysgu gan y Dirwestwyr yn y dyddiau hyn. Hefyd rhoisoch allan, drwy fawr lafur, Rammadeg Hebraeg yn Gymraeg, yr hwn a fu yn ddifyrus a budd-

iol iawn i laweroedd, yn enwedig i bregethwyr ieuainc ac athrylithgar Cymru.

Ac mae yr hyn a wnaethoch yn y dyddiau presennol yn peri i mi feddwl eich bod am achub y blaen ar satan gyda'r genedl ieuanc, Chwi a gyhoeddasoch y llyfr difyr a elwir 'Holwyddoreg ar Gerddoriaeth.' Yr wyf fi yn tybied nas gallasai unrhyw lyfr fod yn agosach i archwaeth y genedl ieuanc na hwn yn y dyddiau hyn.

Yn awr dymunaf yn fawr na chaffoch lonydd yn eich ysbryd nes gwneuthur un gwasanaeth otto i'ch cenedl, yn enwedig i'ch brodyr crefyddol, yr Ysgolion Sabbathol, a'r Dirwestwyr, a llawer o bregethwyr. Hyny yw cyhoeddi 'Grammadeg Groeg yn Gymraeg.' Nid oes modd gan lawer o'r rhai a nodwyd i ddysgu yn Iaith Groeg onid egyr drws fel hyn iddynt. Meddyliwn fod llawer cant yn Nghymru yn dymuno gweled y cyfryw lyfr yn ymddangos o'r wasg:* yr wyf fi yn un awyddus iawn am ei gael, ac mi wn am lawer iawn sydd yr un fath a mi.

*Rhôs.* THOMAS PHILLIPS.

---

## COFFADWRIAETH

*Am Mr. Thomas Jones, Joiner, Dale Street, Manchester, yr hwn a fu farw yn driugain mlwydd oed, Gorphenaf* 13, 1838.

Bu Mr. T. Jones yn proffesu crefydd Crist gyda'r Methodistiaid Calfinaidd am ddeugain mlynedd. Yr oedd yn gadarn yn y ffydd, yn nodedig am ddal i fynu yr athrawiaeth iachus yn ei phurdeb, hyd ei anadliad olaf. Bu ei fuchedd yn addurn i'w broffes. Yr oedd yn addfwyn iawn yn ei gystudd trwm. Dywedai drachefn a thrachefn, 'Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni:' ie, meddai, Ni ddaethem ni byth i'w garu ef, oni buasai iddo ef 'yn gyntaf' ein caru ni.

Gorphwysodd ei enaid ar y geiriau hyny yn ei gyfyngder mawr, 'Cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi.' Y cyfammod hwn oedd ei obaith wrth fyw, a'i gysur wrth farw. Un diwrnod pan oedd yn bur sal, gofynodd ei wraig iddo, Pa fodd y mae rhyngoch a'r Arglwydd? Attebodd yntau, 'dim damnio,' fy mhriod anwyl; mae y ddamnedigaeth wedi ei symmud ers ugain mlynedd yn ol. Yr wyf yn ymddiried fy hunan i Grist yn bechadur mawr fel yr wyf.

Fel yr oedd yn dyfod i lawr o'r llofft un boreu, canai y pennill hwnw yn hyfryd iawn, gan guro ei ddwylaw ynghyd,

Fe gollwyd gwaed y groes
Er gwir iachad i mi:
Ni chollir dim o'r trysor da
A gaed ar Galfari.

Ebe efe wrth gyfaill, un diwrnod, 'Nid oes un ffordd i bechadur i gael ei achub ond drwy Grist yn unig.' Wedi hyny llefai, O am graig yr oesoedd yn sylfaen i bwyso arni: wedi hyny, wylai a dywedai, O Iesu anwyl, O Iesu anwyl.

Yr oedd achos ei blant hefyd yn agos iawn at ei feddwl. Dywedai lawer wrthynt am werth gwir grefydd. Galwai hwynt atto, a dywedai am y perygl o fyned i'r amgylchiad yr oedd efe ynddo hebddi. Beth a wnaethwn i heddyw, fy mhlant anwyl, hebddi, eb efe? Bu yn wylo yn achos ei blant lawer noswaith, nes gwneuthur ei wely yn foddfa. Gweddiai hefyd lawer ar yr Arglwydd am lwyddo ei waith a'i achos mawr yn ein plith. Bu y brawd Thomas Jones fyw yn grefyddol, ac efe a fu farw mewn heddwch.

---

## COFFADWRIAETH

*Byr am Edward Jones, Rhosllannerchrugog.*

Mab oedd Edward Jones i Edward a Margaret Jones o'r lle uchod. Yr oedd ei dad yn Henuriad Eglwysig parchus gyda'r Annibynwyr, a'i fam hefyd oedd yn grefyddol. Bu farw tad a mam y bachgen hwn cyn ei fod yn ddwy flwydd oed. Ond gofalodd yr Arglwydd am dano, canys fe'i mabwysiadwyd ef gan William a Sarah Jones, y rhai sydd yn aelodau proffesedig gyda'r Trefnyddion Calfinaidd yn y Rhôs. A thrwy fod William a Sarah Jones wedi ei fabwysiadu ef fel plentyn iddynt hwy, efe a ennillodd hawl i aelodaeth eglwysig: ac felly efe a fu yn aelod tra y parhaodd ei oes.

Yr oedd Edward Jones, o ran ei dymher naturiol yn fachgen llariaidd, ac o ran ei grefydd yn enwog. Yr amser cyntaf y canfuwyd arwyddion amlwg o grefydd ynddo, oedd pan o ddeutu pump oed. Y pryd hwnw daeth trafferth arno ynghylch ei gyflwr: gwelodd fod arno eisiau gras, ac mai Duw oedd yn rhoi gras. Yna efe a weddiodd ar Dduw am ras. Gofynodd i'w fam (Sarah Jones) am iddi weddio am ras iddo; a gofynodd i un o'r Henuriaid yr eglwys wneud yr un peth. Glöwr oedd ei dad, wrth ei alwedigaeth, a Glöwr oedd yntau. Efe a arferai ofyn bendith ar y bwyd yn mhlith o untu dau ar hugain o'i gyd-weithwyr, ar lawr yn y pwll glo, er syndod i'r rhai a'i clywai. Arferai gadw dyledswydd deuluaidd, ac yr oedd ei hynodrwydd ar weddi yn peri syndod i'r teulu. Ei brif gais ar ei liniau fyddai am gael crefydd wirioneddol yn moreu ei fywyd.

Yr oedd arno gymmaint o ofn Duw fel nad arferai chwarae gyda phlant annuwiol y gymmydogaeth; eithr argyhoeddai hwynt yn llariaidd. Gallai ddywedyd gyda Dafydd, 'Cyfaill ydwyf fi i'r rhai oll a'th ofnant.' Byddai yn gysson iawn yn moddion gras. Gwrandawai bregethau yn astud, ac adroddai amryw ranau o honynt wedi

---

* Os felly y mae, dymunol fyddai cael hysbysrwydd o hyny.

dyfod adref. Byddai yn gysson a difrifol uwch ben y Bibl. Byddai yn llawen a hyfryd ganddo glywed am drefn rasol Duw i achub pechaduriaid drwy yr Arglwydd Iesu Grist. Bu yn fawr ofid iddo yn niwedd ei oes, na buasai efe wedi nesáu at fwrdd yr Arglwydd i wneuthur coffa parchus o'i angau ef ar y groes.

Am wythnosau cyn ei farwolaeth, er nad oedd llawer o arwyddion marw arno, byddai yn meddwl llawer am yr amgylchiad cyfyng hwnw, fel yr ymddangosai yn amlwg yn ei weddiau ac yn ei ymddyddanion. Darllenai lawer ar ranau o'r Ysgrythau perthynol i'w amgylchiad; ac yn ol pob argoelion yr oedd megis tywysen addfed, fel y gellir barnu yn gadarn fod angau wedi troi yn elw iddo. Yr oedd hefyd yn ddirwestwr zelog.

Pregethodd Mr. Roberts Tan y Clawdd yn ei gladdedigaeth oddiar Psalm. 39. 5.

## AWGRYM I RIENI, &c.

Drysorydd Edmyg,—Un o wirioneddau diymwad yr Ysgrythyr lân ydyw yr adran hwnw o honi, 'Da yw i wr ddwyn yr iau yn ei ieuenctyd.' Dyledswydd rhieni crefyddol, tu ag at eu plant, yw dangos iddynt, a chymell arnynt 'iau esmwyth' bywyd crefyddol, a 'baich ysgafn' ymarweddiad nefol.

Blodeu prydferthaf y byd, a rhosynau tecaf y gread, yw dynion ieuainc duwiol. Mae yn wir y canmolir duwioldeb yn fawr mewn henafgwyr, ac mor wir y canmolir duwioldeb yn fwy mewn ieuenctyd. 'Yr amser a ballai i mi fynegi yr hanesiaeth ysgrythyrol am Joseph, Samuel, Obadiah, Iosiah, Ioan, a Thimotheus; y rhai oll a ddercha fwyd ar drostan y gyfrol ysprydoledig, oblegid eu duwioldeb boreawl; er engraifft i rieni crefyddol Cymru, ymysg ereill, gyfeirio traed eu plant i ffordd tangnefedd.'

A dymunir i chwithau, Mr. Cyhoeddwr, dderchafu yr hanes a ganlyn, ar drostan eich 'Trysorfa tra seirian,' fel y rhodder amnaid at, ac awgrym i rieni 'hyfforddi eu plant yn mhen eu ffordd, fel pan heneiddiont nad ymadawont a hi,' nes y trosglwyddwr hwy gan Angau Brenin braw 'i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist:' yr hyn a gyflawnwyd yn marwolaeth Ioan, mab Mr. Samuel Judd, Amlwch, yr hwn a orphenodd ei yrfa ddaearol Rhagfyr 24, 1837, yn 19 oed.

Dygwyd ef i fynu yn egwyddorion gwybodaeth gyffredinol Gramadeg, a'r Celfau rhif a mesur: a meddai wybodaeth led gryno o honynt. Ond ni orphwysodd ar hyn, ond ymchwiliai 'wynion ddail y gair,' am 'ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd:' a chafodd afael arni yn ol pob tebygolrwydd. Cadd y fraint o ddod i'r eglwys yn fore ac ynddi yr arosodd 'hyd oni luddiwyd ef gan farwolaeth barhau.'

Yn y fl. 1836, ymafaelwyd ynddo gan lycheden (*fever*) drom, ac o hyny hyd ei farwolaeth, ni fwynhaodd nemawr iechyd. Yn ystod y tymor uchod, gwelwyd ei natur yn dadfeilio; ei ruddiau siriol-goch yn gwywo; a'i olygon treiddlym yn duo: ac ar y 24ain o Rhagfyr diweddaf, wele! (och! taw fy enaid, rhag agor loesau tad tirion, ac archolli teimladau mam dyner galon) angau yn ei ddwyn at 'byrth marwolaeth.'

Ac yntau yn myned trwodd
Trwy boenau angau, a'i ingo'dd;
I fro y mawl, ddi-dawl wyl,
I wynfa dêr ei Ner anwyl.

Ac yno y mae ger bron yr orsedd uchel fri, yn mhlith tyrfa afrifol o engyl a saint Caersalem dinas hedd, yn cyd blethu Anthemau o fawl i'r 'Oen a laddwyd,' am ei gariad prynedigol, a rhinweddau glanhaol ei waed sancteiddiol.

Ah! fy nghyfaill Ioan, can mil-myrdd mwy dedwydd ydwyt, na phe buasit yma yn cael dy lethu gan anghrediniaeth, dy flino gan galon ddrwg, dy siomi mewn cyfeillion, a'th dwyllo gan ystranciau ystrywgar 'brodyr gau.'

Gyfaill! yr wyt heddyw mewn gwlad, na bydd eisiau arfau y rhyfel ysprydol byth, oblegid gorchfygaist dy elynion, enillaist y dydd, a chefaist y fuddugoliaeth 'trwy yr hwn a'th garodd, 'a'th orchwyl bellach i oesau annherfynol tragywyddoldeb fydd

Eilio cân i'r Duw Celi
Am ingawl loes, Calfari.

Ah, Ioan! ehedaist, uwch twrf dacarolion,
I dremiaw mewn syndod ar Dduwdod mewn cnawd,
Prif wrthrych per ganau pur göethawl nefolion,
Iehovah! Iehovah! Iehovah yn Frawd!

*Ger Marian Cefni.* RHISIEIDYN.

## FFURFIAD Y DARAN.

Hanfodai tybiaeth gyffredinol, cyn, ac hyd ddechreuad y ddeunawfed ganrif, o barth i daran ddeilliaw o ddefnyddiau brwmstanaidd, a sylweddau eraill canfyddedig yn yr awyr. Meddylid fod y tebygolrwydd perffeithiaf rhwng effeithiau arfau tân, ag eiddo y daran a'r fellten. Ond nid oedd yr holl egluriadau a ddefnyddiwyd gan ddynion mewn ymdrech i sefydlu y gyfundraeth hon, ond annigonol er symmud ymaith yr anhawsderau a'u gwrthwynebent; neu yn ddigonol er rhoddi cyfrif gonest am y ffaith. Etto, er pan y talwyd sylw priodol i'r arddangosiad cynnyrchedig gan yr hylif at-dyniadawl (*electric fluid*) yr ydym wedi cyrhaedd awdurdodaeth a'n hamddiffyna yn mhriodoliaethiad yr un achos i'r ddau. Y tebygolrwydd perffaith sydd rhyngddi a gwefr-dyniad (*electricity*) a

ddarbwyllodd naturiaethwyr i gredu eu bod yn gymmwys yr un fath; a bod gwefr-dyniadaeth yn ein dwylaw ni, yn efelychiad rhagorol o daran yn nwylaw natur: taran a gyflawna yn gynhenid, yr hyn a gyflawnwn ni mewn efelychiad.

Nid yw yn anhawdd egluraw hyn, hyd y nod i'r rhai hyny ydynt annghydnabyddus a Philosophyddiaeth naturiol, pe cymmerent ond y drafferth i gydmaru yr effeithiau a gynnyrchir gan daran, a'r rhai hyny a gynnyrchir gan dân gwefrawl. Effeithiau taran a ddarganfyddir trwy chwŷf-sain clywedig o bell, ynghyd a chwim-ffagl canlynedig. Adeiladau a derir ganddi, ydynt yn syrthio yn ysglyfaeth i'r fflam, a hyny yn fynych. Dynion a derir, a liwir yn ddulas—ac ymddangosant yn ddeifiedig, er ar amserau ni chanfyddir ol tân; ond ffyrnigrwydd yr effaith ei hun, yn eu lladd: eu dillad wedi eu rhwygo yn fanion—a'u cyrff wedi eu lluchio yn dra phell gan rymusder y tarawiad; a thra mynych y ceir y rhanau hyny a darawyd gan y fellten, yn dyllau rhwygiedig. Weithiau fe dorir meini mawrion ganddi, a'i dinystriadau a eglurwelir ar y tiroedd y disgynodd arnynt. Yr hylif Gwefr-dyniadawl a gynnyrcha yr un effeithiau, ond mewn graddau llai. Pan y byddo ei allu yn ychwanegedig trwy foddion dyfrawl, canlynir y goddeithiad gwefrawl gan gynnwrf (*commotion*) tra theimladwy: y bodau mwyaf cryno a drywenir (*perforated*) adar, a mân-filod a leddir, a phob tywyniad a ganlynir gan drwst.

Y ffrwd o dân a ddeillia o gyfeiriaid bodau gwefr-dyniadawl gyd a thwrf süawl, ydyw un o'r argoelion canfyddadwy mewn mellten.

Gyda golwg ar gyflymdra (*velocity*) ceir mwy o debygolrwydd fyth rhwng mellten, a hylif gwefrawl. Pe yn amser taran dymhestl y crogid cleddyf yn yr awyr, wrth linynau sidanaidd, at-dynid ef yn ebrwydd gan yr hylif: pe rhoddir y bys yn agos atto, deilliai gwreichion dysglaer oddiwrtho, nerth pa rai a gyfartelid i eiddo y dymestl, ynghyd a'r pellder oddiwrth y cwmmwl atdyniadawl. Mewn gair, ymddengys pob effeith berthynol i wefr-dyniad, yn amser tymhestl. Wedi cymmaint o brawfion (*experiments*), nis gallwn amheu, nad yw yr awyr wedi ei nawseiddio yn helaeth gan hylif-wefr yn amser taran-dymestl: ac nad yw y daran a'r fellten ond effeithiau neillduol tân at-dynawl.

Yr hyn a ymddengys yn rhyfedd a dinystriawl yn yr Argoel Naturiaethawl hon, a ddiflana yn gyfartal mewn cyflymdra, i eiddo ein cydnabyddiaeth ni a chyfreithiau natur: o ganlyniad, dylai pawb feddiannu gwybodaeth gyffredinol o egwyddorion Hanesiaeth naturiaethawl (*Natural History*). Yr ofn a'r ofergoeledd, a fynych ymgymmysgant a'n sylwadau ni ar natur, a brysur ddiflenid, pe ystyriem natur gyda mwy o neillduolrwydd, ynghyd a nyni ein hunain; neu pe ymddiddanem fwy a'r rhai hyny ydynt feddiannol ar fwy o gydnabydiaeth a'r pwngc. Gallawer ini ddefnyddio y goleu sydd gennym, er alltudiad yr ofn a'r caledi hwnw a nych-letha ein meddyliau yn nynesiad taran-dymestl; ac yn ganlynol edrychwn i fynu yn ddiarswyd at y Duw hwnw sydd yn cyflawni y fath weithredoedd nerthol; oherwydd pa mor alluog bynnag y byddom yn y wybodaeth am achosion taran, yn gydffurfiol ag egwyddorion cyfiawn a diamrywiol defnyddiedig o philosophyddiaeth natnriawl, parhâ yr argoelaeth heb fod ddim yn llai rhyfeddol (*marvellous*); ynghyd a'r amgylchiadau sicr presennol mewn ystad mor anegluredig, hyd y nod i'r athrylith enwocaf.

Y mae yn ddigon i ni wybod, fod natur yr awyr, ynnghyd a'r holl awyrbelen gylchawl, yn ei gyfleu yn argoelaeth angenrheidiol; fod y tymestloedd hyn yn foddion yn llaw Duw i ffrwythloni (*fertilize*) y ddaear, ac o ganlyniad y dylent roddi mwy o ymegniad ynom i drosglwyddo ein mawl a'n dyiolchgarwch yn helaethach i'n Creawdwr,—gan gofio fel y darluniodd Iorwerth Glan Aled, fod

'Arglwydd ein Duw yn frenin mawr,
  P'le ceir ei orsedd ef?
Crych-dyrddiad ffrydiau mân y llawr
  A'r gwyntoedd yw ei lef.

Nad mantell nosawl drosom wnai
  Guddio ei wyneb cu,
Ei wedd sydd yn y cwmmwl clau,
  A'r wybren ddysglaer fry.

Mae'n byw—mae'n frenin trwy y byd
  O oerion barthau 'r llawr—
Hyd eigion pwynt y gwres ar gryd
  Twyniadau 'r Heulwen fawr'!

*Abergele*, *Awst* 8, 1838. CYF. I. HUGHES.

## Y DYSGAWDWR CYFFREDINOL.

### IX. AM Y GELFYDDYD O RYFEL.

156. Wedi i bobl gyrhaeddyd y celfyddydau o lafurio y tir, mwyngloddio, adeiladu tai ac adeiladau eraill, gwneuthur defnyddiau gwisgiad a dodrefn, a sefydlu llywodraeth, yr hyn sydd yn ychwanegu at eu dedwyddwch a'u llwyddiant, maent yn dyfod yn wrthrychau cynfigen i'w cymmydogion, llai darbodus; a chaent ruthro arnynt, eu hyspeilio a'u hanrheithio, pe yr esgeulusent addysgu y gelfyddyd o amddiffyn eu hunain.

Syl. Rhyfel sydd yn gyfiawnadwy yn unig pan yn *amddiffynol* ac anocheladwy; ac mae yn drosedd anferthaf pan fyddo yn ormesol a diangenrheidiol. Nid oes dim gogoniant yn dilyn buddugoliaeth mewn rhyfel anghyfiawn; ac, heb gyfiawnder ac angenrheidrwydd o'u tu, nid ydyw y pencidwdodau mwyaf ond arweinyddion mintei-

oedd o yspeilwyr, yn cyflawni llofruddiaeth a lladrad.*

157. Er diogelu eu hanymddibyniad, holl boblogaeth wrrywaidd cenedl a ddylent fod wedi eu hyfforddi i driniaeth arfau; ystordai o ddarpariaeth ddylent fod wedi eu diogelu; a'r cyfryw drefniadau wedi eu gwneuthur, ag a ragflaenent y wlad rhag cael ei gorchfygu trwy y golled o un frwydr unigol.

158. Mae yn arferol, pa fodd bynag, mewn llywodraethau diweddar, i gyflogi a thalu i'r gwasanaeth hwn, i gyfran neillduol o'r boblogaeth wrrywaidd, a elwir milwyr. Yn Lloegr a'i threfedigaethau mae genym, mewn amser rhyfel, o ddeutu 300,000 o ryfelwyr; amser a bywydau pa rai ydynt yn ymroddedig i'w gwlad, gelwir hwy y *Fyddin Sefydlog*.

159. Yr oedd genym yn y rhyfeloedd diweddar 30,000 o *farchogion* rhyfel, neu feirch-filwyr; 150,000 o *filwyr traed*; a 5,000 o *ergygwyr* a *magnelyddion*, dyledswydd pa rai ydoedd gosod amddiffynfeydd, a rheoli y magnelau yn y maes.

Yr oedd genym hefyd, 80,000 o *filwyr cartrefol* a *diffynwyr*, y rhai a wasanaethent am amser terfynol, ac nid aent oddi cartref; 20,000 o *forwyr*, milwyr a wasanaethent ar fyrddau llongau; a 10,000 o filwyr gwirfodd llëawl, ar feirch a thraed.

160. Gogoniant a gwir amddiffyn Brydain, sydd yn gorwedd, pa fodd bynag, yn benaf yn ei llyngces; yr hon yw gwrthglawdd y wlad rhag rhuthrwyr, ac sydd yn hir wedi bod yn llywydd buddugoliaethus a diddadleuedig yr holl foroedd yn y byd.

161. Byddin sydd yn rhanedig yn Gatrawdiau, yn cynnwys 700 o farchogion, neu 1000 o wyr traed; a phob catrawd drachefn a adrenir yn ddeg cydres.

Tair catrawd sydd yn gwneuthur *mintai*; amryw finteoedd, yn ol maintiolaeth y fyddin, a wnant gydraniad; a thair cydraniad, y cydraniad canol, a'r adenydd dê ac aswy, yn gyffredinol a wnant fyddin mewn gwasanaeth gweithredol.

162. Byddin yn gyffredinol a reolir gan bennaeth a elwir y Penciwdod; y cydraniadau neu'r adenydd, gan uch-gadbeniaid, neu uch-raglawiaid; (*lieutenants-general, or majors general*); y minteioedd, gan finteiwyr; (*brigadiers-general*); a chyn belled maent yn ben-gadpeniaid.

Catrawdiau a reolir gan filwriaid neu isfilwriaid, y rhai gyda'r ail uch-raglawiaid, (*Majors*) ydynt swyddogion y maes.

Cydresau catrawd a reolir gan gadpeniaid a rhaglawiaid; pob cydres wedi ei dar bod â lluman, i ddwyn ei lliwiau gwahaniaethol; ac hefyd gyd â phedwar rhingyll (*Serjeants*) a phedwar *corporal*.

163. Y llynges Frytanaidd sydd yn cynnwys 700 neu 800 o lestri; o'r rhai mae 200 yn dwyn o 64 i 120 o ynau, ac o 500 i 1000 o ddynion, ac ydynt yn cael eu galw Llongau y Llinell, (*Ships of the Line*), o herwydd eu bod yn alluog i weithredu mewn llyng-fintai drefnedig; (*drawn up*); 200 ychwaneg ydynt yn dwyn o 28 i 50 o ynau, a elwir *Frigates*; a 350, yn dwyn islaw 28 o ynau, ac a elwir *Sloops, Brigs, Cutters, Fire-ships, Bomb-vessels, &c.*

164. Llynges (*Fleet*) o longau rhyfel yn gyffredinol a renir yn dair rhan; ac a reolir gan Lyngeswyr, Is-lyngeswyr, ac Ol-lyngeswyr, gydâ Llumanau gwynion, gleision, a chochion. Llong a lywir gan Gadben, yn gynnorthwyedig gan ddau, neu mewn rhai enghraifftiau, chwech o Is-raglawiaid; dan ba rai mae o bedwar i ddeuddeg o Is-swyddwyr, (*Midshipmen*).

Mae hefyd y llywydd a'i is-swyddog, (*mate*) penfadwr a'i is-swyddog, amnerydd (*purser*,) meddyg, ac athraw, gyd â chadben pob gwn.

165. Nid oes cyfundeb mwy aruthrol a rhyfeddol o ddiwydrwydd dynol yn bod, nag a welir ar fwrdd prif-long rhyfel. Mae yn ymddangos yn anghredadwy, fod i lestr, mor fawr ag eglwys y plwyf fwyaf, gael ei symmud a'i chyfeirio yn y dwfr gyda'r fath chwyrnder a manylrwydd agos â bâd bychan: ac mae yn rhyfeddol fod dwylaw dynol wedi gallu adeiladu a rhoddi ynghyd y fath ddefnyddiau dirfawr.

166. Rhaffau anferth yr hwylbrenau a'r angorau ydynt gynnwysedig o gywarch wedi ei nyddu ynghyd: yr holl swm o goed oeddynt yn ddiweddar yn tyfu yn wahanedig yn y coedwigoedd; y gwaith haiarn a doddwyd ac a ddarparwyd o'r mwyn; y y magnelau a gawsant eu bwrw yn y tawdddai (*foundries*); yn fyr, yr holl adeiladaeth a gasglwyd ynghyd gan ddyn o gynnyrchiadau anmharotoedig y ddaear!

Syl. O'r holl gelfyddydau a'r galwedigaethau sydd yn tynu sylw, nid oes yr un yn ymddangos yn peri mwy o syndod aruthrol, na'r un o fordwyaeth ac adeiladaeth llongau. Nis gellir gwneud hyn yn fwy amlwg na thrwy gymmeryd adolygiad o'r mân-longau, i'r rhai mae dechreuad morwriaeth yn ddyledus; a'u cymharu â phrif-long ardderchog, yn cynnwys 1000 o ddynion, gyd â'u lluniaeth, diod, dodrefn, gwisgoedd, ac angenrheidiau eraill am lawer o fisoedd, heblaw 100 o gyflegr-ddrylliau, a dwyn yr offer dirfawr hyn yn ddiogel i'r glanau mwyaf pellenig. Mae dyn mewn iechyd yn difa, yn yr yspaid o bedair awr ar hugain, oddeutu wyth pwys o fwyd a diod: yn ganlynol, mae 8000ps. yn ofynedig yn feunyddiol yn y cyfryw long. Gadewch i ni gan hyny dybied iddi gael ei darparu allan am dri mis, ac yr ydym yn cael, fod yn rhaid iddi gael ei llwytho â 72,000ps. o luniaeth. Cyflegr mawr dau bwys a deugain ei belen sydd yn pwyso oddeutu 6,100ps. os wedi ei wneuthur o bres, ac oddeutu 5,500ps. o haiarn; ac, yn gyffredinol, mae wyth neu ddeg ar hugain o'r rhai hyn, ar fwrdd llong o 100 o ynau; pwysau pa rai, heblaw yr

hyn maent yn gario, sydd yn cyrhaedd 183,000ps.

Ar yr ail fwrdd mae deg-ar-hugain o gyflegrau, pedwar-ar-hugain; pob un o ba rai sydd yn pwyso oddeutu 5,100ps. ac ydynt gan hyny ynghyd, 153,000ps. A phwysau y chwech neu yr wyth-ar-hugain o gyflegrau deuddeg ar y bwrdd isaf, sydd yn cyrhaedd oddeutu 75,400ps.; pwysau y pedwar-ar-ddeg o gyflegrau chwechau ar y bwrdd uchaf, i oddeutu 26,000ps.; ac heblaw hyny, ar y penau cylch-grynion, mae hyd yn nod cyflegrau trioedd a thröellrwyau (*swivels*).

Os at hyn y chwanegwn, fod cyflawn lwyth cyflegr dau-a-deugain yn pwyso oddeutu 64ps., ac o leiaf fod uwchlaw 100 o lwythau yn ofynedig i bob gwn, ni a gawn fod hyn yn cyrhaedd yr un pwysau agos â'r gynau eu hunain. Yn ychwanegol, hefyd, at hyn, mae yn rhaid i ni gofio fod yn rhaid i bob llong gael, o leiaf, gydrif arall o hwyliau, rhaffau angorau a hwyliau, a'r holl drec, y rhai ynghyd ydynt yn cyrhaeddyd i bwysau mawr: yr ystôriau, hefyd, yn gynnwysedig o blangciau, pýg, a charth; y coffrau yn perthynu i'r swyddwyr a'r llongwyr; ystôriau y meddyg, ac amrywiol bethau eraill angenrheidiol i hir fordaith; gyda'r arfau mân, bidogau, cleddyfau, a llaw-ynau; at yr hyn mae yn rhaid i ni yn ddiweddaf ychwanegu pwysau y dynion; felly mae un o'r llongau mawrion hyn yn dwyn o leiaf, 2,162 tunelli o lwyth, neu 4,324,000ps.; ac, yr un amser, mae yn cael ei llywio a'i chyfeirio gyda'r un rhwyddineb a'r bâd lleiaf.

2. Ac nid yw rhyfeddodau y gelfyddyd hon yn diweddu yma, canys y cymhwysiad diweddar o alluoedd agerdd yn gwthio llongau yn mlaen yn erbyn y gwynt a'r tonau, sydd yn gwneuthur cyfrifiad amseryddol hollol newydd yn y celfyddydau hyn. Morwriaeth, ag ydoedd unwaith mor ansicr sydd yn awr yn cael ei chyflawni mewn amser pennodol, fel teithiau ar dir, a'r gelfyddyd o ddyfeisdroi llyngfinteioedd, ar yr hyn yr arferai buddugoliaethau llyngesawl ymddibynu, ni bydd bellach ond o ail bwys. Os at hyn yr ychwanegir gallu agerdd cyngwasgedig, i ergydio pelenau a bwledi, trwy yr hyn bydd y defnydd o bylor yn cael ei adael heibio, ni a allwn dybio llwyr gyfnewidiad yn nghelfyddau a threfnyddiaeth rhyfel.

167. Caerau a chastellau ydynt yn gyfansoddedig o briddfeini, cerig, neu ddaear; nid ydynt wedi eu hadeiladu yn llinellau uniawn, ond yn ysgwyddo a danheddu, fel y gallai un rhan amddiffyn a gorchuddio un arall, ac felly y muriau ynt wyrog i dân y tarawydd, a thrwy hyny wrth-daflu y pelau. Caerau ydynt ddarparodig â ffosydd gwlybion neu sychion, ac â mwyngloddiau dan y ddaear gerllaw, i chwythu i fynu y gelyn dynesâol.

168. Y gongl ysgwyddog, neu y gwaith amddiffynol, a elwir y *rhagfur*.

Y mur union sydd yn cyssylltu y rhagfuriau, ac sydd i gael ei amddiffyn ganddynt, a elwir y *gaeadlen*; y conglau ysgwyddog a elwir y *conglau ysbongciol*; a'r conglau ydynt yn pwyntio i fewn a elwir y conglau *ad-ddyfodol*.

Y gwaith tu draw i'r ffos a elwir y *rhagddiffynwaith*.

Y bryn llechweddol o ddaear oll o amgylch a elwir y *llethr-glawdd*.

Y rhan uchaf o'r mur a elwir y mur-ganllaw; a'r rhodfa oddifewn y mur a elwir amgaer (*rampart*).

169. Nis gellir ymosod yn ddoeth yn erbyn un amddiffynfa trwy warchae o fewn cyrhaeddiad ei gynau, oddieithr trwy gloddio nesâd mewn cyfeiriad tröellog neu arwyrol, rhywbeth yn debyg i'r brif lythyren Z; wedi nesâu yn y dull hwn, mae magnelfa yn cael ei godi yn y nos, a'r rhuthr yn dechreu.

Wedi hyny, mae nesiadau tröellog eraill yn cael eu gwneuthur, a elwir *cyfochriadau*; a magnelfäau eraill ydynt yn cael eu gosod yn agosach agosach, hyd oni wneir-rhwygiad a'r lle ei gymmeryd trwy ymgyrch neu ymroddiad ar ammodau.

170. Gwneuthuriad pylor gwn a gafwyd allan gyntaf gan Roger Bacon, Mynach Seisnig, yn 1280; ond Swartz, Mynach Allmanaidd, a'i cymhwysodd i daflu allan gyrph pwysfawr, oddeutu 1320.

Y cyflegrau (*cannon*) cyntaf a arferwyd, fel y dywedir, gan Edward III. yn 1346, yn mrwydr Cressey, ac yn ngwarchae Calais yn 1347.

Cyflegrau dygadwy, a elwir gynau llaw, (*muskets*), a arferwyd gyntaf gan yr Yspaenwyr oddeutu 1500; ond yr oeddynt yn hynod o drwsgl, yn cael eu hattegu gan orphwysiad oddiar y llawr, a'u tanio â phric a thân.

Clöau o gallestr a dur, a elwir clöau tân, ni ddygwyd i mewn hyd ryfeloedd William III. a'r Frenines Anne.

171. Pelen, yn ei hergydiad o wn, sydd yn symmud gyd â'r cyflymdra o ugain milldir mewn munud, neu un filldir mewn tri eiliad.

Y pellder sydd yn ymddibynu ar bwysau y belen, a swm ac ansawdd y pylor; ond mae yn myned yn mhellach pan mae y dryll yn cael ei godi i ongl o 45 o raddau; ac mae taflenau wedi eu cyfansoddi i bob gradd o ddyrchafiad.

Mewn brwydr, ceir allan nad oes y chwaneg nâg un belen mewn 60 yn cyflawni gweithrediad, yn achosedig trwy eu codiad pan maent gyntaf yn gadael y gynau.

172. Cyflegrau gynt oeddynt yn cael eu gwneuthur mor fawrion ag i daflu cerig o 100ps. o drymder, i bellder o bump neu chwech o filldiroedd, ond ceir allan yn awr

mai y maintiolaeth mwyaf buddiol yw cyflegr wyth-a-deugain; y rhai a daflant 24ps a ddewisir oreu.

Gynau llongau ydynt o gyflegrau wyth-a-deugain i rai trioedd; gynau mewn amddiffynfeydd a chestyll ydynt o gyflegrau tri-arbymtheg i rai dau-a-deugain: maesddrylliau, neu beirianau hedegog ydynt gyflegrau chwech, naw, a deuddeg.

Syl. Y pylor gwn goreu a wneir o 25 rhan o nitr, pump o olosg, a thri o frwmstan.

1. Cyn y ddyfais o bylor gwn, cerig mawrion cymmaint a meini melinau, oeddynt yn cael eu taflu gan beirianau a elwid *ballista*; a *hyrddod rhyfel* a arferid i wneud rhwygiadau yn muriau dinasoedd.

2. Y gelfyddyd ddiweddar o ryfel, yn rhoddi beiddiad o'r moddion dinystr, (*setting at defiance the means of destruction,*) yn gynnwysedig mewn arfau tân a chyflegrau sydd yn cyrhaeddyd ei dyben yn benaf trwy symmudiadau buain, torri llinell y frwydr, a myned trwodd i ol y gelyn, cymmeryd meddiant o'i drysorgelloedd, a dinystro ei dramwyadau, (*communications*). Buddugoliaethau mawrion Napoleon ar benciwdodau a phennaethiaid Ewrop a ennillwyd trwy y moddion hyn.

3. Ar y testyn arswydus o ryfel, yr hyn ni ddylid byth gydio ynddo, oddiethr pan yn anocheladwy ac mewn hunan ddiffyniad, Porteus, Esgob Llundain, a ysgrifenodd y llinellau argraffiadol canlynol.

'Dyn ei hun a ddygodd Angau i'r byd; a dyn ei hun a roddodd awch i'w bicellau, a gyflymodd ei gamrau, ac a liosogodd ddinystr ar ddynolryw. Gyd â llawenydd gwelodd Uchel-gais, ac yn fuan a gynnyddodd y weithred echryslawn. Nid digon ydoedd trwy dwyll ystrywgar i dori ymaith fywyd unigol: Anfadrwydd gorwael! teyrnasoedd cyfain a syrthiasant i ddiwallu chwant awdurdod: mwy erchyll etto, ystaen o warth-nod bryntaf ein natur, a ddaeth yn ymffrost iddi. Gwnaeth un llofruddiaeth ddyhirddyn—gwnaeth miliynau wron! Tywysogion a freiniwyd i ladd, a nifeiri a sancteiddiasant y trosedd! Och! pam yr anghofia brenhinoedd mai dynion ydynt? A dynion mai brodyr ydynt? Pam yr ymhyfrydant mewn aberth dynol? Pam y torant gylymau natur, a ddylent uno eu heneidiau ynghŷd mewn un rhwymyn esmwyth o gyfeillach a chariad? Er hyny etto maent yn hilio dinystr, etto yn myned yn mlaen yn greulon gywraint i gael allan boenau newyddion i fywyd, dychryndodau newyddion i'r bedd.—Celfyddydwŷr Angau! Etto mae pennaethiaid yn benddwydio am ymerodraethau cyffredinol yn codi i fynu o ddystryw cyffredinol. Diddyma yr amcan, O Dduw mawr y lluoedd, ac na âd i'th greaduriaid syrthio yn ysglyfaethau didosturi wrth greirfa Uchelgais.

---

## YMOSODIAD TERFYSGLYD.

Mr. Cyhoeddwr,—Mae yn hysbys i chwi, ac i lawer yn Ngogledd Cymru, fod ymosodiad terfysglyd wedi ei wneud gan dri o wyr bonheddig ar ran o dyrfa yn ymadael o Wyl dirwestol Meifod, yn Sir Drefaldwyn, ar y 30 o fis Mawrth diweddaf. Rhynged bodd i chwi gyhoeddi hyn o fyr hanes am yr amgylchiad.

Tra bu y dirwestwyr, a ruthrwyd yn fwyaf arnynt, yn disgwyl wrth eu gilydd am ddwyn y camymddygiad dan sylw y swyddogion gwladol, a thra yr oedd eraill o honynt a mwy o barodrwydd ar ol cael megis ergyd ar un rudd i droi y llall, yn hytrach nag ymgyfreithio, dygodd Mr. Thomas Henry Humffreys (un o'r Terfysgwyr), Mr. Robert Price (Dirwestwr) o flaen Eisteddfod o Hedd Ynadon (*Petty Session*) gan achwyn fod Mr. R. P. wedi ei daraw yn yr ymgyrch. Gan nad oedd ei achwyniad yn dangos yr achos i foddlonrwydd y llys, gohiriwyd yr eisteddfod am wythnos, hyd y 30 o Ebrill, ac yn y cyfamser gwysiwyd Mr. Humffreys, John Bill Pryse, Ysw. a Mr. Robert Perrott i ymddangos yno hefyd, pryd y rhwymwyd hwynt ill tri, i ymddangos yn Mrawd-lys Chwarterol y sir, am afreolaeth a rhuthr (*riot and assault*); a rhwymwyd Mr. Robert Price yr un modd am ruthr.

Dydd Iau, Gorph. 5ed, yn Mrawdlys Chwarterol y sir, yn Nghrefaldwyn, cafwyd cwyn gwirioneddol o flaen yr Uchel Reithwyr, yn erbyn y Boneddigion, ac yn erbyn Mr. Robert Price. Yr oedd yno unarbymtheg o Uchel Reithwyr, a safodd pedwar o honynt allan nad oedd y cwyn yn un gwirioneddol yn erbyn Mr. Price; un yn rhagor o honynt yn sefyll felly fuasai wedi ei ollwng yn rhydd. Ond ar ol chwilio yn fanwl i'w ymddygiad, am oddeutu chwech o oriau, ddydd Gwener, Gorph. 6th, o flaen yr Heddynadon a'r Is-Reithwyr, cyhoeddwyd ef yn wr rhydd ger bron yr holl Lŷs. Mr. Humffreys oedd yr Erlynwr ddydd Gwener, a Mr. Price yr Ymddiffyn-blaid. Dydd sadwrn y boreu, yr oedd Mri. Robert Price a David Edwards, yn Erlynwyr, ar Tri Boneddigion yn Ymddiffyn-blaid. Nid oedd ond pedwar ar ddeg o Is-Reithwyr yn y Llys boreu ddydd sadwrn, a chan i'r ymddiffynblaid wrthod yr Is-Reithwyr a fu ar yr achos y dydd o'r blaen, ac i'r Erlynwyr wrthod cymeryd Rheithwyr o Breswylwyr y Dref, cadwyd y Boneddigion dan eu rhwymau at y Brawdlys Chwarterol nesaf, i atteb am eu hafreolaeth.

Anfonodd Mr. Humffreys hefyd ysgrifen (*writ*), at Mr. Price i'w rwymo i ymddangos yn y llys ynaid (*assizes*) yn y Trallwm, yr 16 o Gorphenaf, i atteb am y golled (*damages*) a gafodd oddiwrth y clwyf a gawsai ar ei law yn y terfysg yn Meifod, meddai efe. Dangosodd hefyd y mynai ei brofi ger bron rheithwyr dewisol (*special jury*). On der bwriadu hyn, a'i hysbysu

hir amser o'r blaen, etto ni weithredodd i'r Is-sirydd (*under sheriff*) gael gorchymyn i'w gwysio hyd at nos Sabbath, Gorphenaf 15, a hwythau i fod yn eistedd ar yr achos dranoeth. A chan nad allodd ond bron deuddeg o honynt ymddangos, o herwydd rhybydd mor fyr, *ni fynai y Barnwr* drin yr achos ger bron, rhag i'r ymddiffynydd fod dan ryw anfantais o'r herwydd. Ac er i'r ymddiffynblaid gynyg trin yr achos ger bron y rheithwyr perthynol i'r llys, dewisodd yr erlynwr roi y prawf heibio; yr hyn oedd yn ei rwymo at holl gostau y ddwy blaid yn y llys hwn. Talodd Mr. Owen, cyfreithiwr Mr. Price, gostau ei dystion ar yr achos hwn cyn ymadael o'r Trallwm, er nad allai dalu eu costau yn Nhrefaldwyn, a gorchymynodd yn gaeth am iddynt wisgo Ysnodenau (ribands or colours) yn arwydd o fuddugoliaeth, â'r hyn gan nad oedd neb dan ddedryd, y cytunasant. Ac ymadawodd llawer calon oddi yno, gan ddiolch i 'Dduw,' yr hwn, 'sydd yn sefyll yn ngynnulleidfa'r galluog; yn mhlith y duwiau y barn Efe:' gan ddywedyd. 'Canys nid i ddyn y mae y llys, ond i'r Arglwydd Dduw,'

Rhydd hyn, ar frys, olwg byr, ac mor gywir ac y gellir, ar yr hanes hyd ymdriniad y Terfysg (Riot) yn y Llys Chwarterol nesaf, pryd y gofelir am gasglu hanes cyflawn o'r llafur blin hwn! Amcenir argraffu crynhodeb o'r cwbl o'i ddechre i'w ddiwedd, mewn rhyw fodd, er hysbysrwydd a boddlonrwydd i'n Brodyr dirwestol, trwy'r Dywysogaeth a'r Deyrnas. Ac fel y dywedodd un brawd wrth Mr. Owen yn Nhrefaldwyn, haner awr cyn yr amser yr oedd i sefyll i ymddiffyn Mr. Price yn y llys, fod uncant ar-bymtheg a hanner yn Llanbrynmair, yn anfon eu hocheneidiau drosto am ei lwydd yn yr ymdrech hwn, (yr hyn a fu yn gyfnerthiad mawr i feddwl y Gwr parchus yn ei lafur caled). Felly hyderwn am iddi ddiweddu, fel mae pob cam a roddwyd eto, yn peri i'r rhai sydd yn gorfod bod yn fwyaf yn y llafur gyda hyn, i ddywedyd, 'O'r Arglwydd y daeth hyn; hyn oedd ryfedd yn ein golwg ni.' Ymhelaethed miloedd o ddirwestwyr Cymru, drwy aml roddi diolch i Dduw am ddwyn yr Egwyddor hon i'n plith, er yr ymdrech, yr erledigaeth, a'r llafur mawr y'n darostyngir iddo o'i herwydd. Ydwyf, yr eiddoch, &c.

RICHARD NEWELL.

*Plasbach, Gorph.* 19, 1838.

NEWYDD DA AM DDIRWEST O'R IWERDDON.

'Y mae un mil, un cant, a phymddeg o aelodau gwedi ymuno â'r Gangen Ddeheuol Cymdeithas dirwest Cork, mewn ychydig wythnosau! Y mae tri o dafarnwyr gwedi ymrestru, ac a maent yn awr yn gwerthu bara a nwyfau bwytadwy ereill yn lle diod feddwol. Fe ddarfu i gant a phedwar ar ddeg ymuno mewn un cyfarfod yr wythnos ddiweddaf.'

*C——n.* Cyf. ALLTUD.

## ADOLYGIAD Y WASG.

AN ENGLISH-WELSH TEACHER—Y DYSGEDYDD SAESONEG A CHYMRAEG, *at wasanaeth Ysgolion a Theuluoedd.* Gan Richard Davies, Llanystumdwy.

Mae y llyfryn bychan hwn wedi ei lunio yn gyfaddas i'w amcan, a'i argraffu â llythyren eglur ar bapur da, a'i wneud i fynu yn hardd iawn, Da genym weled parhaus ymdrech gwyr o athrylith a thalentau i addysgu Cenedl y Cymry ymhob cangen o ddysgeidiaeth fuddiol: a diau fod yn fuddiol iawn i'r Cymry ddeall y ddwy Iaith hyn, sef Cymraeg a Saesoneg. Drwy y cyfryw foddion a hyn a'r cyffelyb, hawdd y dichon yn ieuenctyd, gydag ychydig o lafur, ddyfod yn hyddysg a medrus yn yr Ieithoedd cartrefol a buddiol hyn.

## Hanesiaeth Cenhadol.

DEHEUDIR AFFRICA.

Hanes llwyddiant yr Efengyl ymhlith y Bechuanas yn Nehendir Affrica.

Ma dau o'r brodyr yn llafurio ymhlith y bobl hyn, yn Nhref Griqua. Un ydyw y Parch. Peter Wright, a'r llall Mr. Isaac Hughes, Crefftwr Cenhadol. Derbyniwyd yr hanes cysurus canlynol oddiwrth Mr. Isaac Hughes, Methodist Calfinaidd o Manchester, yr hwn a aeth allan yn Grefftwr Cenhadol i Affrica, amryw flynyddoedd yn ol. Bydd dda gan laweroedd weled drwy hyn yma fod ein hanwyl frawd yn fyw ac yn iach ac yn parhau yn fywiog yn ei yspryd, ac yn llafurus yn ngwaith yr Arglwydd. Dealler ei fod ef yn pregethu yn fynych. Anfonwyd yr hanes isod ganddo ef i Frydain, Tach. 9. 1837.

Dylid sylwi am y llwyth o bobl a elwir yma y Batlapi, eu bod yn gangen o genedl y Bechuanas; ac y maent yn benaf os nid yn hollol yn rhan o faes llafur y ddau frawd uchod, y rhai fuont am faith amser yn ffyddlawn a llafurus yn y maes hwnw.

Fel hyn y dywed Mr. Isaac Hughes am y llwyth Batlapi.

"Ar y 12fed o Gorphenaf, 1837, gadewais I a'm teulu ein cartrefle yn Griqua Town, aethom i ymweled â threfydd y Batlapi gyda'r afon Vaal, ac wedi teithio dau ddiwrnod cyrhaeddasom dref Mornani, ynghylch 20 milltir i'r dwyrain o dref Campbell. Dyma y dref ag y mae Siminni yn Benaeth, a Makaine yn Athraw brodorol. Ar fy nyfodiad yno gwelais fod y bobl wedi ymgynnull ynghyd i addoli Duw. Yn awyddus i ymuno â hwy, ac os byddai eisiau, i'w cynnorthwyo, myfi a brysurais i fyned i mewn i fath o adeilad a godasid ar bolion, gan gymmeryd fy arwain gan swn y canu oddifewn. Pan nesenis at y Tabernacl salw hwn, a gwrando oddiallan, clywn un o'r Brodorion yn darllen Psalm 73. Aethum i mewn, ac eisteddais dan y Pulpud, gwneuthuredig o glai. Drwg fu genyf i mi wneuthur

hyny, canys bu fy nyfodiad disymmwth i mewn yn beth rhwystr i'r Brodor i fyned ymlaen fel yr arferai, yn ei ddull diaddurn a ffyddlawn o arwain yr addoliad.

Yr oedd yn hyfryd genyf sylwi ar y gynnulleidfa, cynawysedig o ddeutu 200 o nifer, en bod yn cyd addoli, ac yn gwrando mor astud, fel na wnaethant sulw yn y byd o'm dyfodiad I i mewn; ond yr oedd pob llygad yn craffu ar y darllenwr; a phob calon, gobeithiwyf, yn craffu ar yr hyn a ddarllenid. Wedi gorphen y Psalm, a darllen amryw ranau ereill o'r Bibl, a gwneud amryw sylwadau ar yr hyn a ddarllenodd, diweddwyd y cyfarfod drwy weddi a mawl. Yr oedd yn y cyfarfod hwn bobl o bob gradd a sefyllfa, fel y maent i'w cael mewn tref y Bechuanas, wedi ymgynnull ynghyd i wrando gair Duw yn cael ei ddarllen a'i eglurhau a'i gymhwyso. Parodd hyn i mi feddwl am ddyddiau yr Arglwydd Iesu, pan ydoedd y cynnulleidfaoedd yn ymgrynhoi i wrando arno. Yr oedd y weddi yn sobr, gostyngedig, edifeiriol, a thaer, yr hon a barasai syndod i lawer yn Mrydain, lle y mae eu manteision yn llawer iawn mwy.

Pan ddywedwyd yr Amen, cyfododd yr holl gynulleidfa i ymadael; ni chymmerwyd un sulw o honof fi tra y buom yn y Cyssegr; ond cyn gynted ag y daethum allan, dyma liaws o ddwylaw, o bob maintioli yn ymestyn attaf, i ba le bynag y trown fy wyneb. Nis gallwn lai na dilyn siampl Paul, mewn diolch i Dduw, a chymmeryd cysur. Wrth ymofyn, cefais wybod, eu bod yn cyfarfod bob dydd mewn cyffelyb fodd a hyn; unwaith yn y bore yn fuan wedi codiad haul, ac yn yr hwyr ychydig cyn machludiad haul.

Ar y Sabbath, Gorph. 16. Cadwodd y bobl eu cyfarfod ar godiad haul, a'r Athraw brodorol a'u cyfarchodd hwynt oddi wrth ddammeg y talentau.

Am 10 o'r gloch. myfi a bregethais i o untu tri chant o bobl mewn oed, a chant a hanner o blant, gan gymmeryd fy nhestyn o'r bennod gyntaf o'r Epistol cyntaf at y Thessaloniaid. Oherwydd iselder y to, a'r nifer mawr o bobl mewn lle mor glos yr oeddwn yn teimlo y gwasanaeth yn drwm iawn. Yn y prydnawn, mi gefais y plant ynghyd, o gylch 150 o nifer. Mi ddarllenais iddynt ryw lân hanesynau, ac a'u cyferchais hwynt. Yn yr hwyr drachefn, daeth cynnulleidfa fawr ynghyd yn gyffelyb i'r boreu. Pregethais ar Luc xv. 2. Clywais wedi hyny fod y testyn wedi cael effaith ddymunol ar amryw o'r gwrandawyr.

*Effeithiau yr Efengyl ar y Benywod brodorol.*

Mi a gefais gyfarfod hyfryd ryfeddol gydag oddeutu 30 o rai ag oeddynt dan addysg neillduol a pharottoawl at gael eu bedyddio; y rhan fwyaf o honynt oeddynt fenywod. Mae yn rhyfedd weled y fath effeithiau daionus mae yr Efengyl yn gael ar ferched brodorol yn y wlad hon. Hwynthwy yw y rhai olaf yn dyfod i wrando ac i sylwi, ond pan unwaith y rhoddant wrandawiad i'r gwirionedd, maent y nodedig o ymroddgar at grefydd.

Mae paganiaeth yn wastad ymhob gwlad yn darostwng y merched i'r cyfryw sefyllfa nemawr uwchlaw yr anifeiliaid direswm. Ymysg y bobl dlodion, yn gyffredin, mae y ci yn cael gwell cadwraeth a gwell triniaeth na merch! Mae eu bod yn cael eu cauad allan oddiwrth bob cymdeithas rhesymol, agos wedi diwreiddio eu galluoedd a'u hyfdra i fedru cymdeithasu. Ond mae yr Efengyl yn dyfod ac yn llefaru wrth bawb yn ddiwahan, ar y matterion mwyaf eu pwys, ac mae hefyd yn dangos fod merched ymysg y rhai sydd yn ei chroesawu, ac yn ei phroffesu. Pan glywo merched y Paganiaid hyn, maent yn synu, maent yn gobeithio, maent yn dymuno, ac maent yn credu; maent yn dyfod ymlaen, ac yn cymmeryd gafael ar y gobaith a osodir o'u blaen, ac yn llenwi eu lle yn yr Eglwys, ac mewn cymdeithas.

*Effeithiau yr Efengyl ar hen Bobl.*

Peth arall nis gallwn lai na sylwi arno ymysg yr ymgeiswyr hyn oedd, presennoldeb rhai pobl hen iawn. Mae y Cenhadwr yn doeth edrych ar yr ieuenctyd yn maes ei lafur am gynhauaf cyffredinol, ac am gynnorthwywyr tuag at helaethu ei lafur, a dwyn ei gynlluniau ymlaen, er mwyn treiddio i mewn i bob cymdeithas er eu llesiant. Er hyny nid mynych y caiff efe ddyfodiad i mewn at y plant, heb yn gyntaf wneud rhyw argraffiadau ar y rhieni ac ar benaethiaid y genhedl. Oddiar hyn y tardd fy llawenydd allu o honof nodi y rhai hyn ymysg y rhai a ennillwyd drwy yr Efengyl o fewn ein Dosparth.

Ymhlith yr hen bobl ag oeddynt yn ymofyn y ffordd tua Sion yr oedd un gwr oedranus a elwir Motlangke, yr hwn a adwaenid gynt wrth ei fod yn elyn ofnadwy i'r Efengyl ymysg y Bechuanas. Mae yn agos i ddeng mlwydd a thringain oed; ac agos hyd hyny o oed efe a fu fyw yn bagan. Pan ddyg Makame yr Efengyl i'r gymmydogaeth yr oedd yr hen wr hwn yn wrthwynebwr haerllug i'r gwirionedd. Nid oedd terfyn ar ei wawd a'i erlid, yn enwedig gan fod ei fab ei hun ymysg y dychweledigion. Ond yn awr y mae efe yn eistedd wrth draed yr Iesu fel plentyn. Tra y bum I yno, efe a ymwelai â mi ddwywaith neu dair bob dydd i ymddyddan yn hollol am bethau crefyddol. Pan ddygwyddai i'r ymddyddan weithiau lithro at bethau tymhorol, efe fyddai y blaenaf i'w droi yn ol at bethau yr ysgrythyrau.

## Hysbysiadau Crefyddol.

CYFARFOD PREGETHU YN NEW MARKET.

Syr,---Cefais yr anrhydedd a'r fraint o dreulio dydd yr Arglwydd y 29ain o Orphenaf, mewn cyfarfod pregethu yn Newmarket, treuliwyd y moddion cyhoeddus fel y canlyn:—

Am 10, gweddiodd Mr. William Lewis, Trelogan, a phregethodd y Parchedigion. William Morris, Carmel, oddiar Es. 32, 2. a John Phillips, Treffynon, oddiar Heb. 3. 16. Am 2, gweddiodd Mr. John Jones, Rhyl, a phregethodd Mr. John Jones, Llanrwst, oddiar Rhuf. 1. 16. a'r Parch. John Phillips, oddiar Mal. 3. 16. Am 6. gweddiodd Mr. John Jones, Newmarket, a phregethodd Mr. John Jones, Rhyl, oddiar Diar. 8. 4. a'r Parch. William Morris, oddiar Heb. 9. 12.

Yr oedd y gynnulleidfa yn fawr iawn, y fwyaf ar a welais I erioed yn Newmarket: y Capel, a'r Court, y ffordd, a phob lle mewn cyrhaedd clywed yn llawn. Yr oedd y pregethau yn danllyd, gafaelgar, ac argyhoeddiadol. Yr oedd y llewyrch yn amlwg iawn, a'r gwlith yn ddibrin: dagrau oeddynt bethau cyffredin iawn, ac ocheneidiau dwysion i'w clywed ymhob parth o'r dorf: golwg syml angyffredin ar ieuengctid, er bod yno gannoedd lawer, pob un a'i lygaid ar y llefarwr, ac yn gwrando megis am ei fywyd; a dirwest fwyn yn ei ddillad goreu i'w gweled, gwedi cael y dydd ar hen arferiad y dyddiau gynt, sef yfed diodydd i anghymhwyso i addoli Duw. Yr oedd yr arogl yn hyfryd ar y gynnulleidfa heb ddim gwylltineb alcoholaidd i'w ganfod ar y llygad: ïe meddaf, nid oeddwn yn gallu canfod un Calfin yno nad ydoedd gwedi ei restru ei hun o dan y faner hon. Ymddygodd y gwahanol enwadau crefyddol yn y dref yn garedig iawn: gadawsant eu haddoldai eu hunain, a heidiasant yn finteoedd i'r cyfarfod hwn—parch iddynt fel y mae yn ddyledus; a gobeithio yr ad-tal y Calfinistiaid iddynt y cyfleustra cyntaf o gant. Yr oedd y Parch. Griffith Hughes i roddi *ffarwel Seimon* ar ganol y dref y nos; ond pan y deallodd fod gan y Calfiniaid gyfarfod, galwodd ef yn ol, a chiliodd i ryw le arall i wneuthur daioni. Y mae yr hen Gristion da hwn, a dirwestwr aiddgar yn gadael ein gwlad a hiraeth ar ei ol, a diau y bydd ei enw, am amser, yn foddion i dynu dagrau lawer o lygaid ei holl gyfeillion, yn enwedig y rhai sydd 'ddirwestwyr egwyddorol.

IOAN AB THOMAS.

*Gerllaw Dolur Goch.*

CYMDEITHASFA KENDAL.

Cynhelir Cymdeithasfa Chwarterol nesaf y Trefnyddion Calfinaidd, yn y Deheubarth, ar ddyddiau Mercher a Iau 10, 11, o fis Hydref, yn Kendal, lle ar gyffiniau Swydd Frycheiniog, perthynol i Gyfarfod Misol Swydd Fonwy. Dymunir yn daer ar y brodyr ymdrechu i ddyfod yno; gan fod y lle yn lle na bu Cymdeithasfa ynddo erioed o'r blaen, ac o bossibl, yn anadnabyddus i lawer; a rhai, oblegid hyny, yn ofni ei fod yn anghyfleus. Goddefer hysbysu ei fod yn cynnwys amryw gannoedd o aneddau, a bod Waenhelygen, Nant-y-glo, Pen y cae, Syrhowg a Thredegar, oll o fewn i lai na 2 filldir iddo. A bod yno hefyd 3 o Gapeli *eang*, y rhai tebygir, fyddant lawer yn ychwaneg na digon i gynnwys y gynnulleidfa, os digwydd i'r tywydd fod yn anghysurus. Felly y gorphwysa yr eiddoch dros y brodyr,

EVAN EVANS.

*Nant-y-glo, Awst* 19, 1838.

*Cyfarfod Blynyddol yr Ysgolion Sabothol a gynnaliwyd yn y Berthen gron, Swydd Flint, Gorph.* 2 *ar* 3, 1838.

Nos Llun am 6, Dechreuwyd gan Mr. Hugh Parry, a phregethodd y Parch. J. Davies, Groes, ar 1 Pedr i. 6. Dydd Mawrth am 6 cyfarfod y cenhadon, lle yr ymdriniwyd am bethau amgylchiadol yr Ysgolion. Am 10 Cyfarfod yr Athrawon. Yn mlith pethau eraill, rhoddwyd annogaeth i drysori yn y cof y Bibl, a'r hyfforddwr, a'r Gyffes ffydd: dygwyd amryw Siamplau o ganlyniadau dymunol o ddysgu allan: tystiai amryw yno iddynt gael pleser anuhraethol wrth drysori yr Hyfforddwr yn eu cof.

Yna, ammodasom oll, trwy godiad dwylaw, i ymdrechu i'w ddysgu i gyd allan; ac i gael y wlad yn gyffredinol at hyn, a'i adrodd naill ai yn y tŷ gartref, neu ynte yn y Capel, a bod i un teulu neu ddau adrodd pennod o hono yn gyhoeddus bob wythnos. Y mae yn ddiamau pe rhoddid hyn mewn gweithrediad yn mhob Sir, y gwelid yn fuan adfywiad cyffredinol ar yr Ysgol Sabbathol, ac ar grefydd yn ein gwlad. Y mae amryw ardaloedd wedi dechreu, ac yn cael pleser mawr gyda'r gwaith hwn. Yr oedd rhyw arwyddion neillduol iawn o bresenoldeb yr Arglwydd ar y cyfarfod hwn.

Am 2, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Mr. Owen Jones; yna galwyd y Parch. John Edwards, i lywyddu'r cyfarfod; yr hwn a agorodd y cyfarfod mewn araeth fer o hanes yr Ysgol, a dechreuad y cyfarfod chwechwythnosol cyntaf yn Sir Flint, sef yn y Berthen gron yn y flwyddyn 1818. Yna galwyd y Parch. J. Davies i holi Ysgol y Babell yn yr Hyfforddwr. Wedi hyny, darllenwyd cyfrif o ddeiliaid a llafur yr Ysgol.

Yna galwyd ar y Brodyr canlynol i gyfarch y cyfarfod, Mr. Hugh Parry, a Mr. Thomas Jones, ar ddyledswydd yr athrawon a'r ysgolheigion i ystyried mai gair Duw

yw y Bibl. Mr. Owen Jones a Mr. Robert Jones, annog pawb i gefnogi yr ysgol Sabbothol fel moddion priodol i ddyfod yn adnabyddus â'r Bibl. Y Parch, I. Davies, ar yr angenrheidrwydd anhepgorol am waith yr Ysbryd Glan i gymmwyso y gwirionedd a'i wneud yn effeithiol er cadwedigaeth pechaduriaid: yna diweddwyd trwy weddi gan Mr. W. Thomas.

Am 6 Pregethodd Mr. O. Jones, ar Ezra 7. 25 a Mr. H. Parry, Psalm 90, 12. Ymadawsom wedi cael gradd helaeth o foddlonrwydd yr Arglwydd i'n hymdriniaeth â'r rhan hon o'i waith y tro hwn eto; gan obeithio am ganlyniadau dymunol i'r Cyfarfod. Un oedd yno.

---

## Y SENEDD YMERODROL.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Awst 3. Crybwyllodd Arg. Melbourne, ddarfod i'w Mawrhydi roddi ei chydsyniad i Ysgrif Diwygiad y Degwm yn y Werddon. Gwrthwynebodd Arglwydd Brougham yr Ysgrif â'i holl rym, gan ei galw yn anwiredd gwrthyn.

*Tŷ y Cyffredin.* Awst 2. Dyg Arg. I. Russell i mewn y cyfnewidiadau a wnaeth Tŷ yr Arglwyddi ar Ysgrif Diwygiad Corphoraethau Bwrdeisiol y Werddon. Ac efe a ddywedodd nad allai efe gyttuno â hwynt oll. Bu dadl faith ar hyn. Rhanwyd y Tŷ, a chafwyd mwy o blaid y Llywodraeth o 15, canys yr oedd o'u plaid, yn erbyn cyfnewidiad yr Arglwyddi 169, a'r ochr arall 154.

Awst 9. Anfonwyd cenhadau o Dŷ yr Arglwyddi i ofyn am gael cynnadledd rhwng y ddau Dŷ ynghylch y cyfnewidiadau a wnaeth eu Harglwyddi yn Ysgrif Diwygiad Corphoraethau Bwrdeisiol y Werddon. Cynnadledd a gynnaliwyd; ond methwyd a chyttuno. Y prif bwnc o ddadl oedd ynghylch swm ardreth y cyfryw a allont roddi pleidair yn newisiad aelodau y Corphoraethau. Mynai Tŷ y Cyffredin yn unol â llais y Llywodraeth roi yr ardreth yn swm isel er mwyn i fwy o nifer o bobl y Bwrdeisdrefi gael rhoi eu pleidair. Ond ni fynai Tŷ yr Arglwyddi fod y swm mor isel, fel na byddo nifer y pleidleiswyr mor liosog. Wedi i hyn ddyfod i'r Tŷ, dywedodd Arg. J. Russell nad allai efe gyttuno a'r Arglwyddi i leihau nifer y pleidleiswyr; ac oherwydd hyny, cynnygiodd ar fod i'r Ysgrif gael ei hystyried etto ymhen y tri mis: ac â hyn y cyttunwyd. Felly, wedi yr holl drafferth taflwyd yr Ysgrif hon allan.

*Y Werddon.* Dealler fod dwy Ysgrif o bwys wedi passio, a'u gwneud yn rhan o gyfraith y tir mewn perthynas i'r Werddon; sef Cyfraith cynnaliaeth y tlodion, a Chyfraith Diwygiad y Degwm. Ond am yr Ysgrif Diwygiad y Bwrdeisdrefi, ni wnaed dim; ond fe fu yr holl siarad a'r dadleuon oll yn ofer.

*Tŷ yr Arglwyddi.* Awst 14. Galwodd Arglwydd Brougham yn ol ei gynnygiad am drefniad i addysgu yr holl genedl, hyd yr eisteddfod nesaf.

*Tŷ y Cyffredin.* Awst 14. Dyg y Cyfreithiwr Cyffredinol ger bron y Tŷ Ysgrif Carchariad am ddyled, wedi gwneud cyfnewidiadau ynddi gan yr Arglwyddi. Hysbysodd ei fod ef yn cyttuno â'r cyfnewidiadau hyny. Ac â hyny cyttunodd pawb.

Awst 15. Darllenwyd Ysgrif Digollediad Canada, y drydedd waith, a phasiwyd hi.

### GOHIRIAD Y SENEDD.

Oll ar unwaith, yn bur ddirybudd, Gohiriwyd y Senedd Ymerodrol ddydd Iau, Awst 16. diweddaf, gan y Frenhines yn bersonol.

Ac oherwydd i hyn ddygwydd mor ddisymwth, nid oedd lle i ddysgwyl y byddai y fath liaws o edrychwyr ag a fyddai arferol o fod ar y cyfryw achlysuron. Parodd byrbwylldra gohiriad y Senedd gryn syndod yn ninas Llundain, a thrwy holl gylchoedd argraffwyr a darllenwyr Newyddiaduron y deyrnas.

*Tŷ yr Arglwyddi—Dydd Iau.*

Agorwyd drysau a rhodfeydd y Tŷ am hanner dydd, fel y byddai rhyddid i'r neb a fynai i ddyfod i mewn. Yn y fan daeth yr Arglwydd Ganghellwr i mewn yn ei wisgoedd Llywodraethol, ac a eisteddodd yn ei le. Yr unig Arglwyddi ereill oedd yn bresennol ydoedd Arg. Lyndhurst, a Iarll Shaftesbury. Yna darllenwyd y Gweddiau gan Esgob Heresford.

Erbyn un ar gloch yr oedd yr Uch-rodfeydd, yn nwy ystlys, ac yn nhalen y Tŷ wedi eu llenwi.

Dyg yr Arg. Ganghellwr ymlaen y pedwerydd Adroddiad o eiddo Dirprwywyr Cyfraith y tlodion yn Lloegr a Chymru—dodwyd ef ar y bwrdd.

Dyg. Mr. Stewart ac ereill o Dŷ y Cyffredin Gof-nodau o'r tystiolaethau a ddygwyd ymlaen ger bron Eisteddfod y Llythyrdoll.

Am hanner awr wedi un ar gloch dechreuodd y Cenhadau tramor ddylifo i mewn i'r Tŷ, ac a eisteddasant yn eu lleoedd appwyntiedig y tu ol i fainc yr Esgobion. Yn eu plith, gwelwyd y Tywysog Esterhazy, gwisgiad drudfawr a gwychaidd yr hwn a alwai sulw pawb; Cenhadau Awstraidd, Hanoveraidd, Rwssiaidd, Twrciaidd, ac Allmanaidd, gyda eu gweis; Duc Norfolk, Iarll Marshall, Duc Sussex, Duc Cambridge, Arg. Melbourne, Ardalydd Landsdowne, Arg. Glenelg, a Swyddogion ereill ei Mawrhydi yn eu hamwisgoedd gwladwriaethol, a ddaethant i mewn yn fuan wedi hyny, ac erbyn hyn yr oedd yr olwg ar y Tŷ yn orwychaidd iawn.

Am hanner awr wedi dau clywid swn y magnelau, a sain yr udgyrn yn arwyddo fod y Frenhines ger llaw, yr hon yn fuan

wedyn a ddaeth i mewn i'r Tŷ; o'i blaen hi yr oedd yr Herodriaid, (*Heralds*) a Phrif Swyddwyr y Llywodraeth; a chyda hi yr oedd Duces Sutherland, Golygyddes y Gwisgoedd; Ardalyddes Lansdowne, a Boneddesau ereill o'i theuluwriaeth.

Yr oedd y Frenhines yn gwisgo ei Choron, amwisg hirllaes o sidan llyfnwych gwyn, a'i hymylwaith o ysnoden aur, mantell frenhinol melfed borphor, gydag ysnoden lydan o aur o'i hamgylch. Yr oedd ei Mawrhydi yn edrych yn dda iawn; a hi fu yn ymddyddan am dippyn o amser gyda Duc Sussex, ei Hewythr, yr hwn a safai ar ei llaw aswy hi, ac Arg. Melbourne, yr hwn a safai ar law ddehau ei Mawrhydi.

Wedi i'r Frenhines ddeisyf ar yr Arglwyddi i eistedd i lawr, (y rhai o'r blaen a safent i fynu bob un) hi a barodd i Syr Augustus Clifford, Rhingyl y Wialen Ddu, wysio Tŷ y Cyffredin ger bron, ac yn fuan wedi'n dyma y Cadeirydd yn ei Wisgoedd Swyddawl, ac yn ei ddilyn ef, Rhingyll y Frenhines, a lliaws o Aelodau Ty yCyffredin, yn ymddangos o flaen y Bar.

Yna yn ddioed cyfarchodd y cadeirydd ei Mawrhydi mewn araeth, yn yr hon, yn ol yr arferiad, yr ailadroddodd efe oruchwyliaeth Eisteddfod y Tŷ am y tymhor; ac a ddybenodd drwy ddywedyd, 'Yn awr, mi a ddarfum, ar ran Tŷ y Cyffredin, ddwyn ger bron ein Hysgrif Gynnorthwyol, i'r hon, yr ydym yn erfyn am i'ch Mawrhydi roi eich Cydsynied brenhinol.

Rhoddwyd y Cydsynied Brenhinol i'r Ysgrifau canlynol:—Ysgrif olaf Gynnorthwyol, Ysgrif toll alcam, Ysgrif digollediad Canada, Ysgrif Gweithydd Cyhoeddus, ac amrywiol Ysgrifau ereill perthynol i'r Werddon a Scotland.

Yna yr Arglwydd Ganghellwr, ar ei lin, a ddododd yr Araeth yn llaw y Frenhines, a hi a'i darllenodd hi â llais clir a lleferydd eglur, yn ol ei harferiad.

## ARAETH Y FRENHINES.

'Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,

Mae sefyllfa ac agwedd Gorchwylion y Llywodraeth yn fy ngalluogi i derfynu yr Eisteddfod hirfaith a llafurus hon.

'Mae yn alarus genyf fod y rhyfel cartrefol yn Spaen yn peri fod eithriad i'r heddwch cyffredinol. Yr wyf yn parhau i dderbyn oddiwrth yr holl Alluoedd Tramor y sicrwydd mwyaf am eu dymuniad i gynnal i fynu â mi gymmundeb mwyaf cyfeillgar.

'Mae y terfysgoedd a'r gwrthyfel, y rhai yn anffodiog a dorasant allan yn Canada Uchaf a'r Isaf, wedi eu derostwng yn ddioed, ac yr wyf yn hyderus iawn, y bydd i fesurau doethion a diysgog eich galluogi i adferu trefn o ansawdd Llywodraeth, yr hyn trwy ddygwyddiadau annedwydd y'ch cymhellwyd chwi dros amser i'w hoedi.

Mae yn llawen genyf feddwl am y diwygiad a'r cynnydd a wnaed yn fy meddiannau Trefedigaethol tuag at ddiddymiad Prentisiaeth y Negroaid.

'Mi sylwais gyda mawr foddhad ar yr ymgais a wnaethoch tuag at wellhau Sefydliadau Cartrefol y Wladwriaeth. Yr wyf yn credu y bydd i'r esmwythâd a wnaethoch ar gyfraith Carchariad am Ddyled yn tueddu ar unwaith, at ryddid fy Neiliaid, ac i sicrhau ymddiried masnachol: ac y bydd i'r Eglwys Sefydledig dderbyn cynnydd mewn cyfnerthiad ac effeithiolrwydd oddiwrth gyfyngiad rhoddiant Amlêdd o Fywioliaethau Eglwysig.

'Cefais fawr hyfrydwch i'm meddwl wrth roddi fy nghydsynied i'r Ysgrif am gynnaliaeth y tlodion druain yn y Werddon. Yr wyf yn chwannog i ddysgwyl y bydd i ddarpariadau y gyfraith hon y rhai a luniaethwyd gyda'r fath ofal, ac a osodir mewn gweithrediad gyda'r fath ddoethineb, fel pan y byddant yn cynnorthwyo at gynnal y tlodion, tueddant ar yr un pryd i gadw trefn, ac i annog at arferiad o ddiwydrwydd a llafur.

'Yr wyf yn hyderu hefyd y bydd i'r Gyfraith yr hon a luniasoch mewn perthynas i'r cytundeb am y Degwm yn y Werddon, gryfhau sicrhad yr Eiddo hwnw, a chynnyddu heddwch cartrefol yn y wlad.

'Foneddigion o Dŷ y Cyffredin:

"Nis gallaf fod yn ddigon diolchgar i chwi am eich cyflymdra a'ch haelioni yn rhagddarbod at draul fy Nheuluwriaeth, ac at gynnal i fynu anrhydedd a bri y Goron. Yr wyf yn cynnyg i chwi fy nghydnabyddiaeth wresocaf am y chwanegiad a wnaethoch at gynnaliaeth fy anwyl Fam.

'Yr wyf yn diolch i chwi am y cynnorthwyadau a ganiattasoch at y Gwasanaeth Cyffredin, yn gystal ag am y parodrwydd a ddangosasoch yn trefnu moddion i gyfarfod y draul anghyffredinol ag oedd yn angenrheidiol at sefyllfa fy meddiannau Canadaidd.

'Fy Arglwyddi a'm Boneddigion,

'Mae yr amrywiol fesurau buddiol, y rhai y buoch alluog o'u llunio, pan oedd sefydliad Treth y Brenin, ac agwedd Canada yn galw am gymmaint o'ch meddylfryd a'ch gofal, yn brawf boddlonawl o'ch awyddfryd am lesâd Cyfredinol y llywodraeth. Yr ydych mor hysbys o'r dyledswyddau sy'n orphwysedig arnoch yn eich amrywiol ardaloedd, fel nad oes angenrheidrwydd eich ail-goffa am danynt. Yn y cyflawniad o'r cyfryw ddyledswyddau chwi ellwch fod yn sicr o fy chynnorthwyon diysgog I, fel nad oes dim i'w chwanegu ond mynegi ein gobaith gostyngedig y bydd i Ragluniaeth Ddwyfol wylio drosom oll, a llwyddo ein cyd-ymdrechiadau er lles ein gwlad yn gyffredinol.'

Yna yr Arg Ganghellwr a gyhoeddodd fod y Senedd yn cael ei gohirio hyd ddydd Iau, yr unfed arddeg o Hydref nesaf.

Yn uniongyrchol wedi hyny aeth ei Mawrhydi a'i holl gwasanaeth allan o'r Tŷ, a'r holl Arglwyddi a'r Arglwyddesau yn sefyll ar eu traed, a hwy a ddychwelasant i'r Llys yn yr un drefn ag o'r blaen.

*Tŷ y Cyffredin.* Dydd Iau, Awst 16. Cymmerodd y Cadeirydd y Gadair am ugain munud wedi un ar gloch. Cenhadwr o Dŷ yr Arglwyddi a ddyg i mewn Ysgrif Cydgasgliad yr Ariangyff, â'r hwn yr oedd yr Arglwyddi wedi cyttuno.

Am ugain munud wedi dau daeth Rhingyll y wialen ddu ymlaen at y bwrdd, ac a wysiodd y Tŷ i ddyfod i Dŷ yr Arglwyddi i wrando ar Araeth ei Grasusaf Fawrhydi.

Ar eu dychweliad, darllenodd y Cadeirydd Araeth y Frenhines: ac ar hyn y Tŷ a ymadawodd, ac aeth pawb i'w fan. Felly y terfynodd yr Eisteddfod hirfaith hon.

### FFON LLED RYFEDD

Yr oedd gwr ieuanc o Asiedydd, (*Joiner*) yn byw yn Liverpool, yn y flwyddyn 1804. Efe a wnaeth Ffon o dderwen. Yr oedd y gwr hwn yn meddu gradd fechan o awenyddiaeth. A chan nad oedd efe yn briod, efe a fwriadodd adael ei ffon i'w frawd yr hwn oedd yn byw yn yr un dref, os byddai efe farw o flaen y brawd hwnw.

Ychydig cyn ei farwolaeth efe a gyflwynodd y ffon addawdig i'w frawd, ynghyd âg ychydig o bennillion digrif gyda hi, y rhai nid ydynt ar gael yn bresennol. Ond yr wyf yn cofio y ddwy linell hyn o honynt:—

'Anrhegaf chwi â'm hunig ffon,
A ddaeth o galon derwen gron.'

A bu y ffon hon yn meddiant y brawd hwn am 6 mlynedd. Ac ychydig cyn ei farw yntau, cyflwynodd hi i frawd arall iddo, yr hwn oedd yn Gadpen llong, ac yn arfer mordwyo i wahanol barthau y byd. Bu y ffon yn ei feddiant ef o gylch 2 flynedd. Ac oddiar ryw hoffder mawr at ryw gyfaill iddo yn mharthau pellenig y byd cyflwynodd hi iddo yn anrheg: hwn hefyd oedd yn Gadpen llong, ac yn arfer mordwyo i wahanol barthau Asia. America, Affrica, ac Ewrop.

Bu y ffon fel hyn yn meddiant y Cadpen llong hwn o Asia am o gylch 5 mlynedd. Wedi hyny, pan oedd y Cadpen hwn yn New York yn America, cyfarfu y Cadpen arall o Liverpool ag ef yno, ar ei fordaith yn annisgwyliadwy; ac efe a gyflwynodd y ffon yn ei hol i'r Cadpen o Liverpool, gyda ffarwel, nas gwelent wynebau eu gilydd byth mwy ar dir y byw, ac fel arwydd iddo i gofio am y Cadpen o Asia pan fyddent filoedd o filltiroedd oddiwrth eu gilydd.

Daeth y Cadpen adref i Liverpool wedi mordaith faith, beryglas, ac aflwyddiannus. Ac ymhen ychydig amser wedi hyn, adfeiliodd ei iechyd yn raddol, ac yn ei saldra cyflwynodd y ffon grybwylledig i frawd arall oedd ganddo yn Liverpool, a bu yn meddiant hwnw am rai blynyddoedd. A chyn myned y brawd hwnw i ffordd yr holl ddaear, anfonodd y ffon ryfedd hon i'w frawd yr hwn oedd yn byw yn Nghymru, a bu yn meddiant hwnw hyd y flwyddyn 1834, pan y terfynodd angau einioes hwn drachefn; yr hwn cyn ei farwolaeth, a'i dododd hi i'w fab, sef ysgrifenydd yr hanes hwn, gan ba un y mae'r ffon nodedig yma ynghadw, ac yn cael ei harferyd pan y bo yn myned i daith bell neu agos.

Mae y ffon yma wedi bod ymhob teyrnas drwy Ewrop, a bron ymhob lle adnabyddus yn Asia, Affrica, ac America, ar dir a môr.

*Un hoff o'r ffon.*

### CANOLBRIS YR YD.

Canolbris cyffredinol yr ŷd yn yr wythnos yn diweddu Awst 10, 1838, yn Lloegr a Chymru oedd fel hyn, yn ol y Grynog Ymerodrol (*Imperial Quarter*) Gwenith, 71s. 8c.--Haidd, 33s. 5c.--Ceirch, 23s. 3c.-- Rhyg 37s. 3c.---Ffa, 38s. 8c.---Pys, 37s. 6c.

Toll ar Yd tramor :--Gwenith, 13s. 8c.--- Haidd, 13s. 10c.--Ceirch, 13s. 9c.--Rhyg, 15s 6c.---Ffa, 14s. 0c.---Pys, 16s. 9c.

### MARW-RESTR.

Awst 3. Bu farw Mrs. Mary Nanney, Caerlleon, yn 78 mlwydd oed. Hi fu yn aelod o Eglwys y Methodistiaid Calfinaidd am 56 o flynyddoedd. Yn y flwyddyn 1798 y symmudodd hi o Gymru i Gaerlleon i fyw. Y pryd hyny nid oedd nifer y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig yn y ddinas hono ond 16; ond yn awr y maent ymhell dros gant.

Awst 9. Bu farw Mr. John Williams, Caerlleon yn 67 mlwydd oed, yr hwn a fu yn aelod cysson o Eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghaerlleon er yn fuan iawn ar ol dechreuad y blaid grefyddol hono yn y ddinas. Ac efe a fu yn Henuriad Eglwysig ffyddlon a diwyd yn yr Eglwys yno am 40 mlynedd. Dysgwyliwn y gallwn roi hanes helaethach am dano yn ein Rhifyn nesaf.

## BARDDONIAETH.

### MARWNAD,

Er coffadwriaeth am y Parch. T. JONES, yn ddiweddar o Ddinbych; Pregethwr a Gweinidog enwog a defnyddiol, ynghylch deugain o flynyddau, yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd: yr hwn a fu farw Mehefin 16, 1820, yn y flwyddyn o'i oed 64.—Gan Daniel Jones.

(*Argraffwyd yn y fl. 1820.*)

Clywais heddyw newydd chwerw,
Fod gwr enwocaf wedi marw;
O bob newydd dyma 'r chwerwa'
Er pan gladdwyd CHARLES o'r Bala!

Nid yw colli cyfoeth *India*
*Ddim* wrth bwys y golled yma!
Cymry gu, oll yn llu,
Heb allu ymarbed,
Sy 'n och'neidio wrth ystyried
Nas gall *ddirnad* maint y golled!

Coll'som gyfaill pur ffyddlonaf,
Coll'som frawd a thad anwylaf;
Coll'som athraw tra rhagorol,
Coll'som wir weinidog duwiol!
Colli 'r enwog JONES o *Ddinbych*,
Ni bu 'r fath golled ond *anfynych!*
Galar du, (Gymry cu)
Sy'n *gweddu* 'n awr ini;
Nis gall, yn wir, un galon ddifri'
Lai nag wylo am ei golli!

Nis gall dynion mwya 'u doniau
Nodi 'n llawn ei ragoriaethau;—
Deall cryf a thymher rasol,
'Nghyd â dysg*--a'i gwnae'n ddefnyddiol;
Ni bu neb o fewn y Dalaeth
'N fwy ei barch yn ei gym'dogaeth:
Y'mhob lle, cafodd e'
Nawdd y Ne' yn odiaeth;
Cafodd ras a doniau helaeth
I iawn-ddefnyddio ei ddysgeidiaeth.

Yn ei ieu'nctyd Crist a'i galwodd,
Yn ei winllan fe 'i gosododd;
Gras a doniau 'r Nef a'i dysgodd,
Yn ngwaith ei Arglwydd fe ragorodd;
Cyflawn ydoedd fel Hanesydd,
Cywir enwog Athrawiaethydd:
Goreu dawn, eglur iawn,
Wir hyddawn, ro'ed iddo,
A ffyddlondeb i'w defnyddio
Dros ei fywyd heb ddiffygio.

Dyfal chwiliai 'r Ysgrythyrau,†
Ffynnon dwyfol athrawiaethau;
Rhai 'n a'i dysgai i adnabod
DUW yn UN, a'r UN yn DRINDOD;
Treiddiai 'n ddwfn i'r wir wybodaeth
O Berson CRIST a'i Iachawdwriaeth;
Gwelai 'n wir, 'n oleu glir,
(Addefir yn gyson)
*Yn mhethau Duw*,-- nad yw y doethion,
Heb yr YSBRYD,--ond ynfydion.

Pan esgynai i'r Areithfa,
O, mor esgud fyddai'r dyrfa!
Duw a ddyrchai---ar ei ysbryd,
Lewyrch grasol ei wynebpryd:---
Sylwedd mawr yr holl Gysgodau
A bregethai 'n eglur olau:
O! mor gu, uwch ben llu,
Yn fynych bu 'n traethu
Anchwiliadwy *olud* IESU,
Ei anfeidrol *ras*, a'i *allu!*

Profai, yn yr iaith eglura',
Farw o bawb trwy gamwedd Adda,--
Nas gall neb trwy rinwedd dynol
Ennill hawl i fywyd nefol;
Traethai hefyd yn ardderchog,
Am Gyfiawnder pur i'r euog!
Daliai 'n glir, ddwyfol wir,
(Addefir yn hyrwydd)
Na chaiff neb heb wir sancteiddrwydd
Fyn'd i'r Nef i wydd yr Arglwydd.

Fe lafuriodd trwy 'sgrifenu,
Fwy nâ nemawr un y' Ngymru;
Trwy ei lafur, yn ei lyfrau,
Ceir athrawiaeth well nâ gèmau;
Bydd ei 'Sgrifeniadau lawer
O fawr werth hyd ddiwedd amser:
Yma cawn enwog ddawn,
A phur-lawn athrawiaeth,
Ysgrythyrol, gywir odiaeth,
A gwir fuddiol Hanesyddiaeth.

Enwog ydoedd mewn Barddoniaeth,
O ddawn a medr hynod helaeth;
Canodd fil o odlau nefol
O fawl i Dduw 'n dra rhagorol;
Canodd lawer cywydd doniol,
Ar destynau mwyaf buddiol:
Yn ei Waith, lafur maith,
Nefol-iaith ddeheuol,
Fe geir Hymnau ysgrythyrol,
Cywir, iachus a phrofiadol.

Gorphen wnaeth ei waith a'i yrfa,
Aeth i orphwys ac i wledda:
Gormod gorchwyl i'r angylion
Fyddai adrodd, mewn modd cyson,
Maint ei wynfyd a'i lawenydd
Gydâ 'r IESU yn dragywydd?
Moli 'r Nêr, mewn iaith bêr,
Heb flinder, waith hyfryd,
Mae ei enaid, mewn pur wynfyd,
Gydâ 'r saint yn y nefol-fyd!

'Mhell uwchlaw yr haulwen olau,
Uwch cyrhaeddiad pob gofidiau,
Dechreu mae ar gyflawn fwyniant
O drag'wyddol bwys gogoniant!
Gorphwys mae ei gorph yn dawel,
Hyd udganiad yr Archangel:
Deffry ef, gydâ 'r llef,
Iôr y Nef a'i cyfyd,
I fwynhâu mewn corph ac ysbryd
Annherfynol berffaith wynfyd!

* Yr oedd y Parch. T. JONES yn wr o ddeall ac amgyffrediadau chang iawn. Prin y coeliaf fod un-gwr yn y Dywysogaeth yn fwy hyddysg a chywir yn yr Ieithoedd *Cymraeg*, *Saesonaeg*, *Groeg*, a *Lladin*, nag oedd efe. Gwyddai yr *Hebraeg* hefyd: dysgodd Ramadeg yr Iaith hono mewn pythefnos o amser, pan oedd ef uwchlaw 40 mlwydd oed.

† *Llawer* gwaith y bu, ar o'i gweddiau taerion, yn dyfal-chwilio ac yn dwys-fyfyrio y Gyfraith a'r Efengyl, yn Llyfrau Moses, y Salmau a'r Prophwydi, ac oddi-yno i'r Efengylwyr a'r Epistolau, ac yn enwedig yr *Epistol at yr Hebreaid*, ac Ysbryd yr Arglwydd yn ei arwain ac yn llewyrchu ar ei feddwl, nes y byddai ei ysbryd yntau, yn fynych, i raddau helaeth yn gyffelyb i'r agwedd oedd ar ysbryd Moses pan yn dychwelyd o'r mynydd sanctaidd! Ie, (ddarllenydd anwyl) nid anhawdd oedd i'r rhai a'i hadwaenent oreu, *ganfod* hyn! Er gwaeled wyf, yr wyf yn dyst o'r hyn a ddywedais, ers tros ddeugain mlynedd.—D. J.

# Y DRYSORFA.

RHIF. XCIV.] HYDREF, 1838. [LLYFR VIII.

## COFFADWRIAETH AM MR. JOHN WILLIAMS,

Un o Henuriaid Eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn Nghaerlleon, yr hwn a fu farw Awst 9, 1838.

Ganwyd Mr. John Williams yn mhlwyf Llanllyfni, Swydd Gaernarfon, yn y flwyddyn 1771. Mab ydoedd i Mr. William Dafydd, pregethwr ffyddlawn a diwyd yn Llanllyfni, adnabyddus i lawer o'r hen bobl sydd yn awr yn fyw.

Ni fyddai yn anweddus, nac yn annerbyniol, dywedyd gair ymhellach am ei dad ef yn y lle hwn, gan nad oes dim o'i hanes ef yn argraffedig, ar a wyddom ni am dano.

Yr oedd Mr. William Dafydd yn wr duwiol a dichlynaidd iawn; ac yn nodedig o barchus yn ei gymmydogaeth a'i wlad, fel y cyfryw; ac hefyd yn dderbyniol a pharchus iawn fel pregethwr. Dull ei bregethau oeddynt fyr a melus iawn; eu cynnwysiad oeddynt efengylaidd, profiadol, ennillgar, ac ymarferol. Yr oedd yn wr tirion, a hynaws yn ei gyfeillach, a nodedig o hoff o blant. Yr oedd yr Ysgrifenydd yn gydnabyddus iawn ag ef, ac yn hoffus iawn o hono. Ac mae yn credu iddo gael bendithion ysbrydol wrth ei wrando lawer tro. Ni chlywodd efe neb erioed yn dyweyd dim drwg am dano: yr oedd ei galon a'i gwbl wedi ymroddi at grefydd Crist, ac i wneuthur lles i ddynion.

Am rai blynyddoedd cyn gorphen ei daith, yr oedd yn afiach a llesg. Mae aml un yn cofio, y byddai mor lesgach o ran ei gorph, fel y byddai raid cael cadair wrth ei geffyl i'w gynnorthwyo i fyned ar ei gefn. Ac ymhell cyn ei ddiwedd, byddid yn ei gario o'r naill fan i'r llall, a'i gynnorthwyo i fyned i fynu i'r Pulpud.

O'r diwedd, aeth ei lesgedd a'i wendid gymmaint, fel nad allai fyned allan o'i dy, eithr efe a bregethai i'r bobl ymgynnulledig yn ei dy ei hun, gan eistedd ar y bwrdd i lefaru, am nad allai, oherwydd ei wendid, sefyll dim ar ei draed.

Er holl lesgedd a gwaeledd corphorol Mr. William Dafydd, braidd y gwelid un dyn mwy siriol ei ysbryd a thirion ei dymher nag oedd ef. Dywedai yn flasus iawn am y Duw trugarog a graslawn, ac am ei fawr a'i aml drugarowgrwydd ef tuag at ddynion; ac yn enwedigol am ei raslonrwydd yn nhrefn iechydwriaeth pechaduriaid drwy Grist Iesu.

Felly wedi gwasanaethu ei genedl ei hun* nes pallu o'i nerth, efe a fu farw mewn heddwch, a bydd ei goffadwriaeth yn fendigedig.

* Mae un amgylchiad go nodedig yn dyfod i feddwl yr Ysgrifenydd wrth wneuthur coffa am Mr. William Dafydd, yr hyn hefyd sydd yn wirionedd diffeth. Efe a ragddywedodd am bedwar o bobl ieuainc yn ei wlad ei hun, Sir Gaernarfon, y byddai iddynt gael eu galw i waith y weinidogaeth; ac felly y bu. Y pedwar hyn oeddynt, Mr. John Elias, Mr. Richard Jones y Wern, Mr. Evan Evans, mab Mr. Thomas Evans, Pregethwr yn y Waen fawr, gerllaw Caernarfon, a John Parry, Ysgrifenydd hyn o hanes. Efe a ragddywedodd hyn cyn i'r un o honynt ddechreu, ac am rai blynyddoedd cyn i'r rhai olaf o honynt ddechreu pregethu.

Y cyntaf o'r rhai hyn a ddechreuodd ar y gwaith oedd Mr. John Elias, yr ail, Mr. Richard Jones, y trydydd, Mr. Evan Evans, yr hwn a fu farw yn ieuanc, ac y bu galar mawr iawn ar ei ol. A'r olaf oedd yr Ysgrifenydd: gwyddai efe flynyddoedd cyn iddo ddechreu, fod Mr. William Dafydd wedi rhagddywedyd hyn am danynt ill pedwar.

Nid wyf o'r farn mai drwy ryw ysbryd prophwydoliaeth nodedig y rhagddywedodd efe y peth hyn; ond yn hytrach, gan ei fod yn wr mor nodedig o dduwiol, ac agos at yr Arglwydd, ac mor lafurus yn ei winllan ef, ei fod yn canfod drwy brofiad, ei fod ef ei hun i roi ei swydd i fynu yn fuan, ac yn barnu drwy arwyddion, ac yn gobeithio yn gadarn y gallai fod y gwyr ieuainc hyn yn cael eu parottoi i fod yn ddefnyddiol yn llaw yr Arglwydd i wasanaethu eu cenhedlaeth, drwy eu haddysgu, a phre-

Pan ddaeth ei fab Mr. J. Williams, gwrthrych y Cofiant hwn, i oedran cyfaddas, dodwyd ef yn Brentis gyda Mr. Powell, Shopwr, Pwllheli, i ddysgu masnachyddiaeth. Wedi ei ddyfod allan o'i brentisiaeth, fe'i hanfonwyd ef at un o gyfeillion Mr. Powell i Fasnachdy yn Birmingham: ac yno y bu am ryw hyd.

Oddiyno fe symmudodd i Gaerlleon, at Mr. Robert Williams, *Grocer*, Bridge Street. Ac yno y bu efe, a Mr. Evan Jones, ei gyd-henuriad, yn ei fasnachdy ef, yn gwasanaethu yn ffyddlawn iawn am unar bymtheg o flynyddoedd.

Oddiyno efe a symmudodd at Mri. Hodson a Witter, lle y bu ef yn y sefyllfa o Ysgrifenydd, am saith mlynedd ar hugain. Ac wedi i'r Masnachwyr hyn roi i fynu eu gorchwyliaeth; yn mhen ychydig o amser, efe a ymgyflogodd i fod yn Ysgrifenydd i Mr. Roberts, Trysorydd Corphoraeth Bwrdeisiol dinas Caerlleon, ac yno y bu efe yn gwasanaethu yn ffyddlawn hyd ddydd ei farwolaeth: a cholled fawr i'r gwr bonheddig hwnw oedd iddo gael ei luddias gan farwolaeth barhau.

Pan oedd efe yn 39 mlwydd oed, efe a briododd yn yr Arglwydd, âg un Ann Jones, merch ieuanc grefyddol, aelod o'r un eglwys ag ef ei hun; a bu yn y sefyllfa briodasol dros wyth mlynedd ar hugain.

Ychydig amser wedi dyfodiad Mr. Williams i Gaer, sef yn y flwyddyn 1793, cymhellai Mr. Edward Griffiths, brawd anwyl a brwdfrydig, ef i ddyfod gydag ef i wrando ar y Parchedig Mr. Oliver, yn Boughton, ynghwr dinas Caerlleon. Ond efe, mewn dull ysgafn a chellweirus, a ddywedodd, 'Na ddeuaf fi, mae fy nhad yn gweddio digon drosof fi, mi gaf fi grefydd ar ol iddo ef farw!' Ond ni chymmerai Mr. Griffiths y fath atteb a hyny. Galwodd arno yn barhaus, nes y daeth gydag ef o'r diwedd; ac fe gafodd gair yr Arglwydd, drwy y gweinidog ffyddlawn hwn, effeithiau dwys ar ei feddwl; ac nid hir wedi hyny, dechreuodd pregethu Cymraeg yn Nghaer. A phan ddechreuodd y Methodistiaid Calfinaidd a chynnal moddion Cymraeg, efe a ymunodd â hwynt oddeutu y flwyddyn 1794.

Felly, efe a barhaodd yn aelod ffyddlon gyda'r Cymry, hyd y flwyddyn 1798, pryd y dechreuodd efe ymaflyd ychydig yn raddol yn y gwaith yn gyhoeddus fel Henuriad Eglwysig. Y pryd hyny nid oedd yn y Gymdeithas ond oddeutu deunaw o aelodau; a'r Henuriaid oeddynt Mr. Edward Griffiths, Mr. Evan Jones; y Cadpen Williams a Mr. John Humphreys yn bregethwyr.

Felly, fe fu Mr. Williams yn aelod Eglwysig cysson am 44 o flynyddoedd, ac yn flaenor Eglwysig ffyddlon am 40 o flynyddoedd.

*Fel cyfaill*, yr oedd yn wr rhydd, ffraeth, dyddan, a charedig. *Fel gwr*, yr oedd efe yn hynaws, addfwyn, a charuaidd.

*Fel cristion*, yr oedd efe yn hynod o ddiwyd ymhob moddion o ras. Byddai yn bresennol ymhob odfa os byddai bossibl yn y byd. Yr oedd hefyd yn nodedig o siamplaidd am ddyfod i bob moddion mewn pryd: yn iach yn y ffydd. Ac o ran ei ymarweddiad yr oedd yn ddichlynaidd, a chrefyddol ymhob man.

Yn ei orchwyl ymhob man lle y bu, ennillodd iddo ei hun barch ac ymddiried mawr, oherwydd ei ddiniweidrwydd, a'i onestrwydd, a'i ofal.

Fel Henuriad Eglwysig, yr oedd yn hynod o annogaethol at brofiad mewn crefydd—ac at yr ymarferiad â gweddi ddirgel yn barhaus.

Yr oedd efe hefyd yn adnabod yr holl braidd, ar y rhai yr oedd efe yn un o'r golygwyr.

Gofalai yn fawr am y praidd, rhag y byddai neb o honynt 'yn pallu oddi wrth ras Duw.' A chynghorai lawer i ochelyd 'esgeuluso eu cyd-gynnulliad eu hunain,' fel y mae arfer rhai.

Yr oedd yn ofalus iawn am nol y pregethwyr o'u lletty i ddyfod yn brydlawn at amser dechreu yr addoliad. Ac yr oedd yn gyfaill dyddan a difyrus iawn i bregethwyr, yn ei gyfeillach â hwynt rhwng amserau yr odfeuon.

Yr oedd yn ddarostyngedig i afiechyd dwys ar amserau, fel y bu amryw weithiau 'yn agos i angau.' Yn y flwyddyn 1823, efe a fu yn glaf iawn, fel nad oedd neb yn dysgwyl braidd y gwelid ef yn fyw. 'Ond gweddi ddyfal

---

ethu yr Efengyl iddynt. Pa fodd bynag, efe a'i rhagfynegodd, a daeth hyny i ben. Gallwn gael addysg oddiwrth hyn, mai peth mawr yngolwg yr Arglwydd ydyw bod ei waith a'i achos yn ein gwlad yn gorphwys yn bwysig ar ein meddwl. 'Cyfrinach yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant ef, a'i gyfiawnder i blant eu plant.'

Y CYHOEDDWR.

a wnaed gan yr eglwys drosto ef;' ac efe a iachawyd, ac a fu byw wedi hyny, megis Hezeciah gynt, 15 mlynedd. A chredid yn ddiamheuol, mai mewn attebiad i weddiau yr eglwys yr estynwyd ei oes ef. Ond am ei glefyd olaf, go fyr, a hynod o boenus,y bu. Cymmerwyd ef yn glaf ar y Sabbath, yn yr Ysgol 2 ar gloch, Awst y 5ed; a bu farw foreu ddydd iau, Awst y 9fed. a chladdwyd ef yn barchus y dydd llun canlynol, yn monwent St. John's yn Nghaerlleon. A diau y canfyddir bwlch mawr ar ei ol ef.

Yn ei glefyd diweddaf, Gofynodd un iddo, 'A ydyw Iesu Grist yn werthfawr heddyw?' 'Ydyw yn werthfawr iawn i'r rhai sydd ynddo.' Ryw amser wedi hyny, Gofynwyd, 'Beth yw eich meddwl am y cyfammod heddyw?' Attebodd, 'Cyfammod fy hedd ni syfl,' 'Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd:' nid oes dim newid yno.

Drachefn, Gofynwyd, 'A ydyw y breichiau tragywyddol yn dal?' Attebodd, 'Ydynt; maent yn dal, ac ni thorrant byth.' Yna clybuwyd ef yn sibrwd yn isel wrtho ei hun, 'Y tlawd hwn a lefodd, a'r Arglwydd a'i clybu.'

Y geiriau olaf a ddywedodd ynghlyw ei wraig oedd, 'O, y mae ef yn galed iawn!' Gofynodd hithau, beth oedd yn galed. Dywedodd yntau, 'Angau,' ac ychwanegodd, 'y mae efe wedi ei orchfygu!'

## COFIANT
### WILLIAM OWEN YSGYBOR'ONWY.

William Owen ydoedd fab i Owen a Jane Hughes, Ysgybor'onwy,--(Tyddyn) Plwyf Llanrhwydrys, Mon. Ganwyd ef yn Alban hefin, y flwyddyn 1773. Ymddifadid ef o'i dad, pan yn ieuanc; yntau a ymsefydlai gyd a'i fam yn Ysgybor'onwy, ac a fu yn ymgeleddgar o honi, ac yn gysur iddi yn ei henaint. Treuliai foreuddydd ei oes 'yn ol helynt y byd hwn,'—dan reolaeth 'Tywysog llywodraeth yr awyr.' Gallasai ddywedyd, fel eraill o'i flaen, 'yn mysg y rhai y bu ein hymarweddiad ni oll gynt, yn chwantau ein cnawd, gan wneuthur ewyllysiau y cnawd â'r meddyliau;—wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill—yn ddyeithr oddi wrth wladwriaeth Israel,—yn estron i amodau yr addewid,—heb obaith, ac heb Dduw.' Eto yr oedd ef yn ddyn difrifolach a *sobrach*, pan yn ieuanc, na'r cyffredin o'i gyfoedion; a chai ei gadw rhag cyflawni pechodau cyhoeddus ac anfoesgar. Yr oedd ei ymddygiad yn foneddigaidd, a'i fuchedd yn foesol. Arferai wrando pregethau, a diammheu y byddai y gair a wrandawai yn effeithio i raddau helaeth ar ei feddyliau. Y peth cyntaf a weithiai ar ei feddwl er dyfod ag ef i ystyried ei ddiwedd, oedd i'r Arglwydd ymweled yn ei ras a rhai o'i hen gyfeillion. Parâi hyn saeth idd ei feddwl, ac arafai yn ei gerddediad ar y ffordd lydan. Bu am gryn amser yn amryson âg argyhoeddiadau, 'yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonid ato.' Ond, o radd i radd, trymhâi ei argyhoeddiad, nes oedd o'r braidd mewn cyflwr o wallgofrwydd, heb wybod pa beth a wnai, nac i ba le yr elai. Yn y cyfamser, cynghorid ef gan hen gyfaill i adael ei ffyrdd drygionus, ac i lynu wrth yr Arglwydd.

Yn y flwyddyn 1801, ymunai â chymdeithas Eglwysig y Trefnyddion Calfinaidd, yn Llanrhyddlad, a dangosai yn fuan ei fod ef yno o blaniad y Tad; ac nad lleidr ac yspeiliwr ydoedd; ond ei fod wedi dyfod i mewn i'r gorlan drwy y drws.

Yr oedd William Owen yn ddyn o gyfansoddiad corphorol bardd, heinif, a gwrol; ac yn meddu galluoedd meddyliawl cryfion, bywiog, a threiddgar. Yr oedd yn dra sychedig am wybodaeth; ac i'r dyben o gyrhaedd ei amcan, efe ynghyd a dau o'i gyfeillion, a ymunent yn gymdeithas i ddarllen y llyfrau mwyaf buddiol ac adeiladol a allent gael; a neillduent ranau o'r Sabbath, (pryd na byddai cyfarfod arall), i ymgyfarfod mewn congl maes i ddarllen; a byddai un yn darllen, a'r lleill yn gwrandaw: a sylwent, ac ymddiddanent ar y peth a ddarllenid, gyda manylrwydd: ac os byddent yn methu cydweled a'u gilydd ar ryw bwnc, ymofynent a'r Parch. John Elias, Llanfechell, er cael boddlonrwydd; ac os na byddai ef gartref, gofynent genad i fyned idd ei Lyfrgell, er gweled meddyliau Awduron ereill ar y matter. Yn fuan penderfynent godi ysgol nosweithiol yn eu hardal, a chaent le mewn ystafell perthynol i Neuadd Gemlyn: cefnogid hwy gan Mr. John Hughes, Neuadd, ynghyd a'r gwiwgof henuriad, Mr. Shadrach Williams, Fronddu. Bu yr ysgol hon yn flodeuog a siriol am dymmor maith; a thysdir gan rai hyd heddyw ei bod o fendith i'r ardal yn gyffredinol.

Yr oedd ef yn Gyfaill neullduol i'r Ysgol Sabbathol, a diwyd y llafuriai ynddi hyd ddiwedd ei oes. Pwy bynag fyddai yn absennol o'r ysgol, ni byddai ef felly, os byddai gartref ac yn iach. Yr oedd fel bugail ffyddlawn yn gofalu am ei braidd bob amser; cynghorai a rhybuddiai y rhai a fyddent tan ei ofal, yn ffyddlawn a gonest; ac nid yn unig hwy, ond, byddai fel gwyliwr effro, yn rhybuddio yr ysgol yn gyffredinol i ymgadw oddiwrth lygredigaethau yr oes, ac i ymofyn am rym duwioldeb. Mynych y cynghorai yr ysgol i beidio ymorffwys ar y cyflawniadau allanol yn unig, heb gael gafael ar fywyd crefydd, ynghyd ag adnabyddiaeth o Grist yn waredwr.

Ystyrid ef fel darllenydd, yn un cywrain a medrus yn y gelfyddyd, 'Gan roddi y synwyr allan wrth ddarllen.' Dewiswyd ef yn ymwelwr i'r Ysgolion Sabbathol, amrai weithiau yn nghwmwd gogleddol Ynys Mon, yr hon swydd a gyflawnai mewn ffyddlondeb a gonestrwydd.

Yn y flwyddyn 1814, priododd gyda Catherine Jones, merch John ac Ann Roberts, Elysendy, perthynol i Landrygarn. Nid oeddynt rieni pob un o'r ddau ond isel o ran eu hamgylchiadau bydol; ond yr Arglwydd a'i bendithiodd ef a helaethrwydd o gysuron y bywyd hwn; ac er fod haul llwyddiant yn tywynu ar ei babell, eto ni wywodd yn ei grefydd, ond parhaodd yn siriol a'i ysgwydd dan yr Arch, er holl *demtasiynau* y byd hwn. Fel gwr, yr ydoedd yn ofalus, ffyddlawn, a diwid gyda'i alwedigaeth. Ymddygai fel y gweddai i sancteiddrwydd; yn caru ei wraig, ac ni cheblid Gair Duw un amser o'i blegid. Yn y flwyddyn 1815, galwyd ef gan yr Eglwys yn Llanrhyddlad i fod yn un o'i henuriaid; ufuddhai i'w frodyr yn hyn gyda gradd o wylder, dan deimlad o'i anaddasrwydd i'r gwaith; er hyny ymroddai yn ffyddlawn, llafurus, a gofalus i holl ranau y gwaith, nes gorwedd fel swyddog yn mynwes yr Eglwys, ac o'i mynwes hi, aeth i fynwes Abraham. Rhy faith fyddai crybwyll am holl rinweddau y dyn hwn, ei zel, a'i lafur gyda chrefydd ar hyd ei oes; ond yr oedd yn 'Irf ac yn iraidd yn ei henaint.' Dangosai yn amlwg yn ei ddyddiau diweddaf, trwy ei brofiadau melusion, ynghyd a'i weddiau taerion, fod amser ei ymddattodiad yn nesau.

Teithiodd lawer i gyfarfodydd misol i ymofyn cyhoeddiadau, a ohariodd lawer cenadwri fuddiol adref i'w frodyr, o honynt, y rhai a adroddai yn eu gwres cyntefig; a phorthai braidd Crist o galon. Un gostyngedig, fel ei feistr, oedd, ni waeddai, ni ddyrchafai, ac ni pharai glywed twrf yn yr heol; er hyny medrai ddefnyddio ffiangell i lanhau'r deml. Byddai yn ymdrechgar, bob amser, i gynnal y gweiniaid: pwy bynag a adroddai ei brofiadau, yn nghyd a helyntoedd ei feddwl yn y gymdeithas Eglwysig, efe a'i cysurai fel pe buasai yn gwybod am ei amgylchiadau, gan ddywedyd, 'y gair a'r gair a'm daliodd i ganwaith rhag suddo yn y brofedigaeth yna,' dywedai wrth fodd calon yr ofnus,---cryfhai y lesg gyda phriodoldeb mawr. Un eiddigus ydoedd am ogoniant ei Arglwydd: safai ar yr adwy i attal drygau hyd y gallai, a byddai yn dra llafurus i lanhau a charthu hydreddi allan, pryd y byddai achos, a chadw'r ty'n lân.

Fel cymmydog, yr oedd yn un gwladgar a chymdeithasgar; a thelid parch a chymeradwyaeth iddo gan yr ardal yn gyffredinol, oblegid y ddoethineb a feddai er cadw heddwch a threfn ynddi. Yr oedd fel Iob, pan elai drwy y dref, llanciau a'i gwelent ac a ymguddient rhagddo; a phlant a ffoent o'i wydd: yr oedd ei arswyd a'i ofn ar yr holl rai mwyaf anystyriol; er hyny mor addfwyn a gostyngedig, fel yr hoffai pob rhyw sefyllfa fod yn ei gymdeithas.

Yr oedd ef yn gyfaill neullduol i beroriaeth ar hyd ei oes: annogai yr ieuengctyd i ymarfer llawer yn y gelfyddyd gerddorawl; a rhoddai lawer i'r rhan hono o'r gwaith. Yn mis Ionawr, 1837, wrth ddychwelyd adref o gyfarfod misol a gynnelid yn Modedeyrn, (y lle hefyd y derbyniwyd ef yn henuriad Eglwysig y tro cyntaf,) cymmerid ef yn glaf gan anwyd tost, sef yr *Influenza*. Bu am amser maith yn dyoddef arteithiau andwyol y clefyd hwn, ynghyd a chnofeudd tumewnol, yn ei ymysgaroedd, y rhai ydoedd yn achosi loesau a gofidiau annarlunadwy iddo; ond ca'dd y fraint o ymdawelu yn ei holl gystudd, gan gydnabod llaw yr Arglwydd, a bwrw ar yr hwn sydd yn barnu yn gyfiawn. Yn mis Mawrth, analluogid ef i ddyfod i'r Ysgol Sabbathol, a thrymhai ei afiechyd, fel y gorfodid ef i orwedd. Yr oedd ef yn ddyoddefgar yn ei holl gystudd, gan ddyfal barâu mewn gweddi. Er nad oedd yn dra llewyrchus arno yn ei oriau

diweddaf, eto yr oedd ef, o ran ei feddwl, yn gadarn yn y ffydd, fel yn ei fywyd, gan ymorphwys yn ffyddiog ar addewidion Duw, a phwyso ar sicr bethau y cyfammod tragywyddol. Gofynai un o'i gyfeillion iddo, 'A oedd ef yn dawel, o ran ei feddwl, i ymadael a'r byd hwn os byddai raid?' Yntau a attebai, 'Os yw yr Arglwydd bendigedig yn gweled hyny yn oreu, yr wyf fi yn foddlawn.' Yr oedd pob gobaith am adferiad iechyd iddo, wedi ei golli, ac angau yn prysur dynu ei babell briddlyd i'r llawr. Boreu dydd Gwener, Mai 18ed, tua 7 o'r gloch, ehedai ei ran anfarwol o'r byd trancedig, i ddechreu ar Sabbath na fachlyda ei haul yn oes oesoedd, yn y 64 flwyddyn o'i oedran, gwedi bod yn proffesu crefydd Crist 36 o flynyddoedd; gan adael ei wraig i alaru ar ei ol, yn hollol amddifad ac yn wir weddw, i ofal Tad yr amddifaid a barnwr y gweddwon.

Nos Sabbath, Mai 20ed, pregethai Mr. Robert Hughes, Gaerwen, yn ei arwylnos, oddiar Ioan 16. 9. . Dydd Llun, hebryngid ei ran farwol, gan dyrfa luosog, i fynwent Llanrhwydrys, i'r 'gaeadgell gloedig, i anmharu yn mro llygredigaeth, hyd nes cân yr udgorn i'w alw o breswylfa marwoldeb, pryd y cyfyd mewn nerth a gogoniant, i fyw gyda Duw a'r Oen.

Dyma un yn rhagor o weision Crist, a'n hanwyl frawd ninau, wedi dianc o wlad y cystudd mawr, am yr hwn, fel cristion, y gellir dywedyd, 'Wele Israeliad yn wir yn yr hwn nid oedd dwyll.' Fel priod, yr oedd yn un serchog a gofalus:---fel cymmydog, yr oedd iddo air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Fel swyddog yn yr Eglwys, nid oedd neb a hoffid yn fwy gan ei frodyr. Ei golli ef oedd colli dyn, colli cymmydog, colli blaenor, colli cristion gloew ac effro; ond trodd ein colled ni o hono, yn ynnill tragywyddol iddo ef, 'Gogoniant i Dduw.' GWILYM TEGOG.

*Ger Cemlyn.*

---

*Rhagoriaethau y Bibl.*

YR EPISTOL AT YR EPHESIAID.

Ephesus ydoedd ddinas o enwogrwydd mawr yn Asia Leiaf. Yr ydoedd yn glodfawr ar gyfrif y deml orwych a gyssegrasid i'r gau dduwies Diana, yr hon a ystyrid yn un o ryfeddodau y byd. Yr Ephesiaid oeddynt wedi soddi yn resynol mewn coelgrefydd ac eilun-addoliaeth llygredig, ac yn ymroddgar i'r halogedigaethau gwrthunaf. Yn mhlith y bobl hyn, pa fodd bynag, cafodd gweinidogaeth Paul ei bendithio yn hynod er dychweliad llawer, rhai pethau neillduol o'r hyn sydd genym wedi eu coffâu yn Act. xviii. 19—21. xix. Eglwys Ephesus a ffurfiwyd o ddeutu O. C. 54, a'r epistol hwn a ysgrifenwyd pan ydoedd yr apostol yn garcharor yn Rhufain, o ddeutu O. C. 62, wedi clywed am eu dianwadalwch yn y ffydd, a'u llwyddiant yn y rhinweddau cristionogol.

Yr epistol at yr Ephesiaid sydd yn rhanedig i chwech o bennodau, yn cynnwys dau o brif ranau.

Rhan I. Sydd yn athrawiaethol; yn cynnwys y tair pennod gyntaf. Yn y rhan hon mae chwech o ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Y cyflwyniad, pen. 1. 1, 2.

Dos. 2. Diolchgarwch dyrchafedig i Dduw, am fwriadau grasol ei drugaredd oruchaf, yn sicrâu y bendithion o fabwysiad, prynedigaeth, a thragywyddol iachawdwriaeth i bechaduriaid trwy Iesu Grist, pen. i. 3—14.

Dos. 3. Mawl a gweddi yn mhlaid y credinwyr yn Ephesus fel rhan o gorph eglwys Crist, pen. i. 15—23.

Dos. 4. Rhybudd yr apostol i'r Ephesiaid, yn nghylch eu cyflwr dirywiedig blaenorol, a'u sefyllfa wynfydedig, fel wedi eu creu o newydd yn Nghrist Iesu, fel trwy ei waed cymmodol ef wedi eu dwyn yn agos at Dduw, ac fel yn gyd-ddinasyddion a'r saint ac yn deulu Duw, pen. ii.

Dos. 5. Hyspysiad o ddirgelwch dwyfol drugaredd, i ddwyn y Cenhedloedd i eglwys Dduw yn ol ei arfaeth dragywyddol, pen. iii. 1—12.

Dos. 6. Gweddi yr apostol am i gredinwyr gael eu sefydlu yn ngwybodaeth a chariad Crist, pen. iii. 13—21.

Rhan II Sydd yn ymarferol, yn cynnwys y tair pennod olaf, yn y rhai mae saith dosparthiad.

Dosparthiad 1. Annogaeth gyffredinol i'r Ephesiaid i rodio mewn modd teilwng i'w galwad uchel, pen. iv. 1—3.

Dos. 2. Yr annogaeth yn cael ei chymhell oddi wrth ystyriaeth o undeb yr Yspryd ac amrywiaeth ei ddoniau er lles yr eglwys, pen. iv. 4—16.

Dos. 3. Yr annogaeth yn cael ei chymhell oddi wrth ystyriaeth ar adnewyddiad eu meddyliau gan ei ras effeithiol, pen. iv. 17—24.

Dos. 4. Annogaeth i ochelyd amrywiol feiau enwedigol, gyd â chan-

moliaeth o'r gwrthwyneb rinweddau, pen. iv. 25. v. 1—21.

Dos. 5. Y dyledswyddau perthynasol yn cael eu gorchymyn, oddi wrth yr ystyriaeth o fod credinwyr wedi eu prynu yn gyffelyb gan Grist, ac yn etifeddion y nefoedd, pen. v. 22. vi. 1—9.

Dos. 6. Yr annogaeth ddiweddaf i ymladd yn y filwriaeth ysprydol, wedi ymwisgo âg arfogaeth Duw, pen. vi 10---20.

Dos. 7. Diweddglo yr epistol, pen. vi. 21---24.

Yn yr epistol hwn at yr Ephesiaid, dylem nodi,

1. Ffynhonell iachawdwriaeth pechaduriaid trwy Grist, fel y'i darlunir gan yr apostol, pen. i.

2. Dirgelwch gras i gynnwys y Cenhedloedd yn yr eglwys, pen iii.

3. Dull ymladdfa y cristion gyd a'i elynion ysprydol, pen vi.

*Cyfeiriadau yn Ephesiaid.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Pen i 11 | Esa xlv 10, 1[illegible] | Pen iv 14 | Esa xxviii 9 |
| ii 12 | Ezec xiii 9 | v 14 | ix 1 |
| 17 | Zech ix 10 | vi 2 | Deut v 16 |
| 20 | Esa xxviii 16 | | Ier xxxv 18. |

## ANFFYDDIAETH Y GALON.

Wrth gymmeryd golwg ar gymmeriad moesol yr hil ddynol oddiar y Cwymp hyd yn bresennol, ymddengys fod pob trueni ynglyn a'u natur. Yn mhlith aneirif bethau eraill, y maent nid yn unig yn dueddol i anghofio eu Creawdwr, ond hefyd yn gwadu hyd yn nod ei hanfodiad 'Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, nid oes un Duw.' Ps. xiv. 1. Mi dybygwn iddo fethu bod o'r wyneb i draethu y fath ymadrodd, a haeru y fath athrawiaeth yn un lle ond yn ei galon lygredig ei hun. Ië, y galon yw y diffeithle hyny, lle y mae bwystfilod afluniaidd a rheibus yn byw ac yn rhodio yn rhydd, a waharddwyd o'r tywyllwch eithaf. Pa beth, a ydych yn meddwl bod dyn yn waeth na'r llu uffernol, a chalon dyn yn waeth ac yn ffieiddiach na'r lletty tywyll anobeithiol? Yr ydwyf yn dywedyd bod dyn wedi myned cyn iseled drwy bechod, nes yw yn gwadu y peth na wadodd Diafol erioed, ac na wadir byth ganddo, sef y bodoliaeth o Dduw. Er mor dywyll ydyw yn uffern, y mae yn rhy oleu yno i ddywedyd felly. Eithr syned nefoedd a daear uwch ben trueni dyn, yr hwn sydd wedi suddo mor ddwfn a gwadu bodoliaeth ei Grewr.

Yr ydwyf yn teimlo fy hun yn awyddusi brofi, egluro, a datguddio'r bodoliaeth o Dduw i dy feddwl, Bechadur, eithr ofni yr ydwyf, y byddaf yn hollol aflwyddiannus, oddi-eithr i mi lwyddo i gael y ddadl allan o'r galon i'w thrin. A ddeui di gyda mi, Bechadur, i'r Ardd, i blith y blodau peraroglaidd, i'w thrin? Nid rhaid i mi ryfela dim o blaid y pwngc yma, mae rhyfelwyr gwell a chadarnach ger ein bronau. Wele y blodau yn arfogion, ac fel byddinoedd glewion yn ufudd i brofi bodoliaeth, a datgan daioni eu Crewr. Y fath wisgoedd gogoneddus a hardd sydd ganddynt; y mae addurn y Creawdwr arnynt oll—celfyddydau sydd wedi gwneuthur gwaith cywraint, a gwisgoedd harddwych; eithr pa liwiedydd a ddarfu liwio mor brydferth ag y lliwiodd Duw y rhai hyn; a pha Ddilledydd a ddarfu wisgo neb fel y gwisgodd Duw y rhai'n? Ië, 'ni wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn.' Mat. vi. 29. Mae pob gwaith o eiddo y Gweithydd mawr hwn yn ddatguddiad gogoneddus o hono ei hun. A oes y fath beth ag i greadur sydd wedi ei gynysgaeddu â chynheddfau rhesymol i rodio yn y Blodeufa ym mhlith y bodau llysieuog hyn a haeru, nid oes un Duw? Wele yr aneirif lysiau fel cynifer o dafodau yn uchel waeddi, Mae Duw. Ond er fy ngofid, dacw fy nghyfaill yn ffoi, ac ni saif ger bron y tystion anwrthwynebol hyn, a chwedi iddo gyrhaedd hen uffern-lys y galon, ac yno yn nhywyllwch dudew codwm Eden y mae mor haerllug ag erioed yn dywedyd, 'nid oes un Duw.'

A oes y fath beth i mi lwyddo gyda thi fy 'nghyfaill i'th gael allan o'r hên galon aflan yna, fel yr elom ein dau ynghyd, gyd ag Isaac, i fyfyrio yn y maes, i edrych a ellir gwadu'r bodoliaeth o Dduw yn ngwyneb y tystion sydd yno? 'Tarddu y mae porfeydd yr anialwch,' fel effaith o ryw achos gogoneddus. Ië, y gwlaw a'r gwrês yw'r achos o hono pa rai sydd yn gwneud i'r ddaear darddu a thyfu.' Gwir iawn, cyfaddefwn bob peth ysgrythurol a rhesymol; eithr pa beth sydd yn achos o'r gwlaw? Pan y mae'r creaduriaid bron a threngu gan syched, a'r ddaear yn crâs boethi, a phob peth yn ei iaith yn gweiddi am wlaw nid yw fymryn nês o ddyfod heb i ryw un mawr ei orchymyn. Gan hyny, pwy a ranodd ddyfrlle i'r llif-ddyfroedd, a ffordd i fellt y taranau; i wlawio ar y ddaear lle ni byddo dyn, ar yr anial-

wch sydd heb ddyn ynddo? I ddigoni'r tir diffaith a gwyllt, ac i beri i gnwd o laswellt dyfu? A oes dad i'r gwlaw? neu pwy a genhedlodd ddefnynau y gwlith? Iob xxxviii. 25---28. Gofyniadau tra hawdd i'w hatteb yw y rhai hyn; oblegyd pwy allasai ranu dyfr-lle i'r llif ddyfroedd ond Duw? A pha Dad sydd ym mhlith oferedd y Cenhedloedd a wna iddi wlawio? Neu a rydd y nefoedd gafodau? Onid ti yw efe, O Arglwydd, ein Duw ni? Am hyny arnat ti y disgwyliwn ni, canys ti a wnaethost y pethau hyn oll. Jer. xiv. 22. Tywyll iawn yw'r dyn sydd yn methu gweled Duw yn ei waith, oblegyd nid oes neb yn gweithio yn debyg iddo---gwael iawn ydyw'r dyn nad yw yn datgan ei ddoniau, ac yntau yn derbyn cynnifer o honynt.

Mae pob creadur yn gwneud rhyw gydnabyddiaeth i Dduw am ei ddaioni, ond dyn. 'Y ddaear sydd yn yfed y gwlaw sydd yn mynych ddyfod arni, sydd yn derbyn bendith gan Dduw.' Ond pa gydnabyddiaeth, attolwg, a wneir ganddi i'r Cyfrannwr? "Dwyn llysiau cymmwys i'r rhai y llafurir hi ganddynt.' Y fath floeddio clodydd sydd yn y maesydd yn awr mewn canlyniad i'r gawod ers meityn; holl lysiau y maes sydd yn adfywio dan ei heffeithiau. Daccw y glaswellt yn dyrchafu eu penau tyner, ac yn tywallt allan o eigion eu mynwesau iraidd haeddiannol fawl y Iehofah. A chyda hwy y cyduna bodau mwy galluog yn y molawd gogoneddus. 'Holl goed y maes a gurant eu dwylaw.' Ymhlith y bodau lluosawg hyn, nid oedd un Anffyddiwr yn byw: eithr wedi'r cwbl clywais rhyw sisial *yn y galon*, 'nid oes un Duw.'

Yn awr, fy nghyfaill, gâd i mi arwain dy ystyriaeth unwaith etto o'r galon, at waith mawr y greadigaeth, lle mae 'ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, i'w weled yn amlwg, sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod.' Er na allwn weled Duw yn ddigyfrwng, etto wrth edrych ar yr hyn a wnawd, nis gallwn lai na chanfod mawredd a chywreinrwydd yr hwn a'u gwnaeth. Pan canfyddom rhyw ddarlun rhyfeddol, rhyw beiriant cywraint, neu ryw adail gwych, ein ymofyniad cyntaf fydd, Pwy a'i gwnaeth? Ac yr ydym yn barnu am, ac yn mawr ryfeddu, cywreinrwydd y Gweithydd. Pa fodd y gallwn weithredu yn wahanol wrth edrych ar gyfansoddiad daionus a mawreddig y bydysawd? Y fath fyd o eiddo Duw yw hwn! Y fath ddarlun bardd a dymunol; y fath beiriant cywraint ac ardderchog; y fath adail dirfawr a rhyfeddol sydd uwch law, ac o'n hamgylch!

Y Ser, y fath fodau ardderchog; y fath addurn ddwyfol sydd arnynt; rhaid bod yr hwn a wnaeth y fath bethau gogoneddus yn berffaith ogoneddus ei hun. Pob seren yn fyd, a'r leiaf o honynt yn fwy na'r holl fyd isod o ddaear a dyfroedd. Cysondeb gweithrediadau y bodau nefol sydd yn brawf ychwanegol o'r bodoliaeth o Dduw. Yn yr un dull ag y gwelodd Adda yn dechreu eu teithiau dyddiol a blynyddol, yr ydym ni ei hiliogaeth ar yr un diwrnod, ac yn yr un hinsawdd yn eu cael o hyd.

Eithr uwch law y lleill, pwy all beidio rhyfeddu y cymmwynaswr cyson yna i natur, yr Haul, ffynon ddiyspydd goleuni a gwres. Heb wasanaeth yr hwn byddai y byd yn garchardy tywyll, ac anghysurus. O y fath olygfa adfywiol a gogoneddus sydd pan y mae'r boreu yn agor caead-lenni'r nefoedd, ac yn dangos codiad mawreddig llywodraethwr mawr y Dydd!

Daccw dyst arall yn y nef, y Lleuad, yr hon sydd yn ddangosiad eglur i bawb o'i chanfyddwyr o holl alluogrwydd Duw. Beunydd yn unffurf yn ei chyfnewidiadau parhaus---bob amser yn gyson yn lluosogrwydd ei symmudiadau. Gwel y fath res y mae brenhines fawr y nef yn tynu ar ei hol, dim llai na'r dirfawr elfen hyn o ddyfroedd, sydd gynifer o filoedd o bellder oddiwrth ei chylchdro. Y mae yn ymsymud yn y nef, ac wele'r môr yn ei dilyn, ac yn mesur ei gamrau wrth yr eiddo hi. Pa le yr ydwyf yn awr? Onid ar lan y môr? Wele, a oes y fath beth a dywedyd nad oes Duw yn dy wydd di o fôr? Yr wyt yn berwi dy ddyfroedd arianaidd i fynu fel cynnifer o anadliadau o ddiolchgarwch iddo. Gellir meddwl dy fod yn y fath gynddeiriogrwydd hyd nes ydwyt yn ymddangos yn barod i'n llyngcu i fynu i'th fola. Ond yr ydwyf yn canfod dy fod yn wâs ufudd i dy Arglwydd. Nid aethost erioed dros dy derfyn. 'Yr hwn a osodais y tywod yn derfyn i'r môr trwy ddeddf dragywyddol, fel nad elo dros hwnw, er i'r tonnau ymgyrchu, etto ni thycia iddynt, er iddynt derfysgu, etto ni ddeuant dros hwnw.' Ier. v. 22. Mor amlwg ydyw 'ffyrdd' Duw yn y môr, a'i lwybrau yn y dyfr-

oedd cryfion. Efe sydd wedi ei gaead â dorau, gosod y cwmwl yn wisg iddo, y niwl tew yn rhwymyn iddo, a gosod ei orchymyn arno, gan ddywedyd, 'Hyd yma y deui, ac nid ymhellach, ac yma yr attelir ymchwydd dy donnau di.' Iob. xxxviii. 8.---O Arglwydd Dduw y lluoedd, pwy sydd fel tydi, yn gadarn Iôr, a'th wirionedd o'th amgylch. Ti wyt yn llywodraethu ymchwydd y môr; pan gyfodo ei donnau, ti a'i gostegi. Ps. lxxxix. 8, 9. Ow! Ow! daccw fy nghyfaill wedi ffoi arnaf etto o wydd y tystion ffyddlon hyn, fel llwynog i'w ffau uffernol, ac yn haeru gwedi y cwbl, 'nid oes un Duw.'

Pa beth a wnaf? Pe bawn yn gallu ei ddilyn i hen ddiffeithle y galon, 'does genyf neb yno a gymmer fy mhlaid, eithr i'r gwrthwyneb, pawb yn fy erbyn. Byddai holl ddiafliaid y pwll diwaelod am gadw y neuadd yn dywyll, pob tueddiad llygredig yn chwythu eu bygythiadau yn fy erbyn, a minnau heb gyfaill i fy nghynnorthwyo. Ond pe cawswn ef allan i'r blodeufa, 'roedd yno ryw luoedd yn barod i eilio fy nghynnygiad; 'roedd y maesydd hefyd wedi ymarfogi yn holl arfogaeth natur i sefyll o blaid fy mhwngc, eithr methais ei gael er dim i'r maes. Tyred ag ef ger ein bronnau ni, ebe bodau yr ehang fydoedd mawrion, 'wele ni oll, o eigion ein mynwesau yn barod i'th gynnorthwyo.' Mi safaf, ebe Llywodraethwr mawr y dydd, yn llonydd yn y fan, cyn y cai golli'r frwydr---Minnau, ebe'r lleuad, a safaf gyda thi---Yr un gwasanaeth caredig a gynnygiwyd i mi gan y Sêr. Y bydoedd goleuedig hyny sydd yn dywedyd 'ni a ymladdwn oll yn ein graddau o dy blaid.' Cefais bob annogaeth oddiwrth y môr mawr llydan. Ei ymlusgiaid heb rifedi, bwystfilod bychain a mawrion oedd yn disgwyl yr anrhydedd o fy nghynnorthwyo, pe gallaswn ei gael i'w gwydd. Ond er fy ngalar, methais ei gael i un llys i drin y pwngc mewn dadl, ond y galon. yr hon 'sydd yn fwy ei thwyll na dim, drwg diobaith ydyw, pwy a'i hedwyn?'

*Penllyn.* E. MATHEWS.

## ARWIREDDAU—(*Maxims*).

GWIRIONEDD.—Solomon, a'n hannoga ni i 'brynu y gwir,' *Diar.* xxiii. 23. ond nid yw yn dweyd i ni beth yw ei bris, am y dylem ei geisio pa mor ddrud bynnag y bo. Rhaid i ni ei garu yn ei dryloywder a'i grasboethiad: y mae pob mymryn o hono mor werthfawr â llwch aur; y mae yn rhaid i ni naill a'i byw gyd ág, ef neu farw *am dano* ef. Fel ag y dywedodd Ruth wrth Naomi, 'Pa le bynnag yr elych di yr âf finnau; ac ym mha le bynnag y llettyech di y llettyaf finnau; nid oes ond angau a wna ysgariaeth rhyngof fi â thithau.' Os GWIRIONEDD a fyddai yn achos ymryson, ni allai ond angau ein gwahanu, ac yn wir ni allai hwnw ychwaith---JEROME.

Felly y rhaid i ysbryd grasol ddywedyd, Lle yr elo gwirionedd yr âf finnau, a lle y llettya gwirionedd y llettyaf finnau, a dim ond angau a ysgar rhyngof â gwirionedd. Gall dyn werthu ei dy, ei dyddyn, a'i emau, yn gyfreithlon, ond gem yw gwirionedd sydd tu hwnt i bob pris, ac nid yw i'w werthu, efe yw ein hetifeddiaeth. 'Cymmerais dy orchymynion yn etifeddiaeth dros byth.' *Psalm* cxix. 111. Y mae yn gymmynrodd a brynodd ein cyn-dadau â'u gwaed, yr hyn a ddylai ein gwneuthur yn barod i werthu cymmaint oll ag a feddom, fel y'n gallnoger gyd a'r marchnattawr doeth yn yr efengyl, *Mat.* xiii. 46. i brynu y perl gwerthfawr hwn, yr hwn sydd fwy o werth na nef a daear, a'r hwn a wna i ddyn fyw yn happus, marw yn dawel, a theyrnasu byth.---*Brooks's Remedies.*

DEFNYDDIOLDEB.----Ni all pob dyn fod o ryw ardderchawgrwydd penigamp, etto gall fod yn ddefnyddiol. Gall allwedd haiarn agor dôr trysorfa o aur, ie gall haiarn wneuthur yr hyn na ddichon aur ei wneuthur. IBID.

MYFYRIO.---Nid darllen ar frys ond myfyrio yn ddifrif ar wirionedd sanctaidd a nefolaidd sydd yn gwneuthur iddynt fod yn felus ac yn ddefnyddiol i'r enaid. Nid cyffyrddiad y wenynen â'r blodeuyn sydd yn casglu mêl, ond ei harosiad arno am amser, a'i sugniad allan y melusder. Nid yr hwn sydd yn darllen fwyaf, ond yr hwn sydd yn myfyrio mwyaf, yw y Cristion dewisaf, melusaf, doethaf, a chryfaf.---*Ibid.*

CYFLAWNI DYLEDSWYDDAU.—Nid yr hwn sydd yn *gwybod*, neu yn *darllen*, ond yr hwn sydd yn *gwneuthur*, a geir allan yn y diwedd yw y dyn dedwyddaf. 'Os ydych yn gwybod y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch hwynt. Nid pob un ag sydd yn dywedyd wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd, ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd.'

Dywediad da oedd hwnw o eiddo *Iustin Martyr*, Nid yw ein crefydd yn gynnwysedig mewn ymddiddan am y pethau, ond yn eu gwneuthur hwynt. Iudas a alwodd Grist yn Arglwydd, Arglwydd, ac etto a'i bradychodd ef, ac a aeth i'w le ei hun. Ah! pa sawl Iudas sydd yn y dyddiau hyn, ag a gusanant Grist, ac etto a fradychant Grist, y rhai â'u gweithredoedd ei wadu y maent; y rhai a blygant y glîn iddo, ac etto yn eu calonau yn ei ddirmygu ef: y rhai a alwant ar Iesu, ac etto nid ufuddant iddo fel eu Harglwydd.---*Ibid.*

GWYBODAETH.—Os na throir dy oleuni a'th wybodaeth i ymarferiad; pa mwyaf gwybodus a fyddi, mwyaf truenus fyddi yn nydd taledigaeth y gwobrwy: dy oleuni a'th wybodaeth a'th boenydiant yn fwy na'r holl gythreuliaid yn uffern. Dy wybodaeth fydd y wïalen a'th drag'wyddol fflangella di, a'r ysgorpion a'th frath am byth, a'r pryf a'th gnöa yn oes oesoedd; am hyny darllen a llafuria i ddeall, fel y byddo i ti *weithredu*, neu ti a gyfrgollir byth. Pan ofynwyd i *Demosthenes*, beth oedd y rhan gyntaf mewn Areithydd, a'r ail a'r drydedd? efe a atebodd, 'Gweithrediad.' Yr un a allaf finnau ei ddywedyd, pe gofynai rhyw un i mi, beth yw rhan gyntaf, ail, a thrydedd y Cristion? Rhaid fyddai i minnau ateb mai Gweithrediad. Y dyn hwnw a dderllyn fel y delo i wybod, ac a lafuria i wybod fel y gwnelo, a gaiff ddwy nefoedd, nefoedd o lawenydd, heddwch, a dyddanwch ar y ddaear, a nefoedd o ogoniant a dedwyddwch ar ol marw---*Ibid.*

AMSER. Myn amser mewn amser tra amser yn para. Can's amser nid AMSER pan amser ddarfydda.

GALAR AM BECHOD.---Gofidied dyn am ei bechod, ac efe a gaiff lawenydd am ei ofid.---IEROME.

---

BYR DDYWEDIADAU AR WAHANOL DESTYNAU.

Y mae llawer yn druenus trwy garu pethau niweidiol; ond y mae rhai mwy truenus trwy feddu arnynt. Gweddiwn, gyda Bernard, 'Caniata, O Arglwydd fod i ni gyfranogi o ddedwyddwch amserol fel na chollwn yr un tragywyddol.' —*Brook's Remedies.*

Llawer a fwyttânt ar y ddaear, yr hyn a dreulia yn eu cylla yn uffern. Tameidiau angeuol pechod a dwyllant y rhai hyny a ymborthant arnynt. Ar ol bwytta, daw y talu; ni ddylai dynion feddwl am ddawnsio a chiniawa gyda'r cythraul, ac yna swppera gydag Abraham, Isaac, a Iacob, yn nheyrnas nefoedd.—*Brook's.*

Ymddiddanion drwg a lygrant foesau da, a thrwy esiamplau drwg, yn enwedig mewn uwchafiaid, llawer o ddrwg a wneir. Ni all uwchafiaid fod ormod ar eu gwyliadwriaeth ynghylch eu bywydau a'u hymddygiad. D.—*Ibid.*

Attebiad gwirddwys a roddodd Cadben Seisnig, ar golliant tref Calais, pan y gofynodd Ffrancgwr balch yn fursenaidd iddo, 'Pa bryd yr adenillwch Calais etto?' Attebodd, 'Pan y bydd i eich pechodau chwi bwyso ein rhai ni i lawr.'—*Ibid.*

Pan y dywedodd y meddygon wrth Theomitus, oni ymwrthodai efe â'i feddwdod, a'i aflendid, &c. y byddai iddo golli ei lygaid; yr oedd ei galon wedi cael ei llithio gymmaint gan bechod, fel yr attebodd, '*Yna yn iach oleuni hyfryd.*' Gwell oedd colli ei lygaid nag ymadael â'i bechod. Felly dyn a dwyllwyd gan bechod, gwell ganddo golli Duw, Crist, nefoedd, a'i enaid ei hun nac ymadael â'i bechod.—*Ibid.*

Un o'r Rabbiniaid, pan y darllenodd yr arteithiau chwerwon a ddyoddefai y Messiah, pan y deuai i'r byd, a lefodd allan, 'Deued y Messiah, ond na fydded i mi ei weled ef.' Yr oedd Dionysius yn yr Aipht ar amser dyoddefiadau Crist, a phan y gwelodd ddiffyg ar yr haul, a gwybod ei fod yn groes i un naturiol, efe a lefodd:—'Naill ai y mae Duw natur yn dyoddef, neu y mae ansoddiad y byd yn diweddu.—*Ibid.*

Cæsar a wanwyd â mynawydydd—Y Pab Adrian a dagwyd gan wybedyn.—Nid yw yscorpion ond bechan, etto yn alluog i golynu llew i farwolaeth.—Nid yw llygoden ond bechan, hi a ladd elephant, os â i mewn i'w dduryn.—Y pechodau lleiaf yn aml a droant allan y rhai mwyaf peryglus.—*Ibid.*

Un aflwydd bychan, yn llygaid y byd, a gysgoda holl rasau y Cristion, fel ag y bydd un cwmwl weithiau yn cysgodi holl gorph yr haul.—*Ibid.*

Marwolaeth yw llog y pechod lleiaf; y cyflog goreu a rydd y pechod lleiaf i'w holl filwyr, yw marwolaeth o bob math. Mewn ystyr fanylaidd nid oes bechod bach, am nad oes Dduw bach i bechu yn ei erbyn.—*Ibid.*

## SYLWADAU AR Y DREFN GYFRYNGOL.

Wrth edrych ar drefn fawr Duw yn achub pechadur, ni a welwn ei bod yn drefn deilwng o Dduw, ac addas i ddyn.

Ymddengys fod y drefn gyfryngol yn deilwng o Dduw, os ystyriwn,

1. Ei bod yn drefn ag sydd yn rhoi yr amlygiadau helaethaf o'i ogoniant fel Bod dwyfol. Mae yn wir fod holl weithredoedd Duw yn gosod allan ac yn mynegu ei ogoniant: creadigaeth a rhagluniaeth a draethant ei ogoniant, Ps. xix. 1, 2. Ond pan edrychom ar drefn achub, ni a'i gwelwn megys yn dilenu ei hun, ac yn gweiddi 'Myfi yw IEHOFAH—IEHOFAH, y Duw trugarog a graslawn—yn maddeu anwiredd, a chamwedd a phechod, ac heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn.' Yn y drefn rasol hon y gwelwn ei ogoniant yn ymddysgleirio mewn modd mwy ardderchog nag yn un man arall; ie, wrth edrych ar hon y bloeddia y nefol gôr 'Gogoniant yn y goruchaf i Dduw,' Luc. ii. 13, 14; trwy hon y mae wedi hysbysu i'r tywysogaethau a'r awdurdodau yn y nefolion leoedd, ei fawr a'i amryw ddoethineb. Eph, iii. 10.

2. Mae y drefn gyfryngol yn rhoi yr amlygiadau helaethaf o ogoniant priodoliaethau Duw. Yn hon y mae yr holl briodoliaethau yn ymgyfarfod mewn hedd. Ps. lxxxv. 10. Oni buasai y drefn fawr hon nis gallasai (gyda pharch y dymunwn ddyweyd) trugaredd, grâs, a daioni, byth gael dangos eu pelydrau dysglaer yn mhlith plant y codwm. Er fod trugaredd yn edrych ar fyd colledig, a'i hymysgaroedd yn berwi o dosturi atynt; eto yr oedd cyfiawnder a'i gleddyf dysglaer yn ei law, ac yn gofyn perffaith Iawn cyn y cai trugaredd gofleidio pechadur. Felly hefyd sancteiddrwydd, gwirionedd, a'r ddeddf a safent ar ffordd trugaredd i ddod i lawr i'n byd ni. Yn awr meddyliwyf fod trugaredd, wrth edrych ar ei chyfeillesau yn sefyll ar y ffordd, fel nas gallasai mewn un modd fyned heibio iddynt, yn barod i wylo wrth edrych ar golledigion Eden yn ymdrybaeddu yn eu gwaed, heb lygad yn tosturio. Ond trown ein golwg at y drefn fawr gyfryngol—yma y gwelwn holl berffeithderau y Duwdod yn myned law yn llaw i gofleidio plant y codwm mawr, oll yn ymddangos yn y modd mwyaf dysglaer a gogoneddus; ac wrth edrych arnynt yn cydweithredu mewn hedd yn aberth gwaedlyd y groes, nis gallwn lai na dywedyd, fel Paul, 'O! ddyfnder golud a doethineb Duw!'

3. Mae y drefn fawr gyfryngol yn y modd mwyaf dysglaer a gogoneddus, yn arddangos uniondeb y llywodraeth ddwyfol. Iawn mawr y groes sydd wedi diogelu uniondeb y llywodraeth yn ngweithrediadau grâs penarglwyddiaethol yn codi tyrfa na ddichon neb eu rhifo o'r hil ddynol, o ddyfnder tlodi codwm Eden i wisgo coron byth yn y nef. Nid oedd modd byth achub un o hil Adda heb gymylu y llywodraeth, neu gael allan drefn a ddiogelai ei huniondeb, a'i gogoniant. Ond wele y drefn ryfedd hon yn codi miloedd yn ei chol o blant y codwm, ac yn eu cludo i ogoniant, a'r llywodraeth ddwyfol a'i choron ar ei phen.

4. Mae yn drefn ag sydd yn rhoi yr amlygiadau egluraf o natur ei gyfraith. Mae Paul yn gofyn cwestiwn ar y mater yma; 'A ydym ni wrth hyny yn gwneuthur y ddeddf yn ddirym?' Mae yn ei ateb ei hunan, ac yn dywedyd, 'Nâ ato Duw: eithr yr ydym yn cadarnâu y ddeddf.' Mae yn wir fod y ddeddf yn ogoneddus yn namnedigaeth pechadur, a bydd byth felly. Ond dengys yr Ysgrythyr Lân fod y ddeddf yn fwy gogoneddus yn achubiaeth dyn nag yn ei ddamnedigaeth. Gwel Rhuf. v.

Hefyd, y mae yn drefn addas i ddyn.

Hyn a ymddengys os ystyriwn,

1. Ei bod yn drefn sydd a chyflawnder ynddi o bob peth sydd ar bechadur ei eisiau yn ei gyflwr syrthiedig. Mae yn hon faddeuant i droseddwyr, gwisg i'r noethion, meddyginiaeth i'r rhai cleifion. Swm cenadwri gweision Brenin Seion yw, 'pob peth sydd barod.' Ac y mae Paul yn dywedyd, yn Heb. ii. 3. fod yr iachawdwriaeth yn iachawdwriaeth gymmaint, h.y. gymmaint ag angen pechadur. Beth bynag sydd arnat ti bechadur eisiau, mae yma bob peth ar dy gyfer.

2. Mae yn drefn addas i ddyn, am fod ei holl fendithion yn cael eu cynnyg a'i cyfranu heb un ymofyniad am deilyngdod yn y derbyniwr. Er fod y Duw mawr yn galw ar ddynion i edifarhau a dychwelyd, eto nid yw edifeirwch neb yn haeddu dim

oddiar law Duw. Gan hyny, pan y mae y drefn fawr hon yn cyfranu ei thrysorau gwerthfawr i ddynion, mae yn gwneud hyny heb olygu un teilyngdod ynddynt hwy. A phe buasai yn ymofyn am deilyngdod, ac yn ei ofyn mewn trefn i ni fod yn dderbynwyr, *ffarwel* byth fuasai am danom ni. Ond wele gyfoeth mawr y groes yn cael ei gyfranu heb arian ac heb werth, i bwy bynag a'i derbynio, Esay lv. 1.

3. Mae yn drefn addas i ddyn, am fod parhad dedwyddwch y rhai a gedwir ynddi yn ymddibynu ar râs y drefn ei hun. Dengys yr Ysgrythyrau Sanctaidd nad yw diwydrwydd na ffyddlondeb neb o'r saint yn sicrhau eu dedwyddwch. Gwir fod parhad dedwyddwch ein rhieni cyntaf yn ymddybynu ar barhad eu hufudd-dod. Ond nid felly yn y drefn rasol. Er fod hon a'i gorchymynion, yn gofyn ufudd-dod gan y rhai a gedwir ynddi, eto nid eu hufudd-dod hwy sydd yn sicrhau eu dedwyddwch, ond mae parhad eu dedwyddwch yn ymddibynu ar natur yr undeb sydd rhyngddynt a Christ, a pharhad ei eiriolaeth drostynt yn y nef, &c. Gwel Ioan xvii. 14—19. Rhuf. viii, 36—39.

1. Gwelwn oddiwrth y sylwadau uchod, y mawr rwymau sydd arnom i ryfeddu grâs a daioni Duw.

2. Gwelwn fawr galedwch calon dyn yn gwrthod trefn mor ogoneddus.

3. Gwelwn hefyd y bydd holl wrthodwyr y drefn hon yn ddiesgus yn y farn.

Yn awr terfynaf y tro hwn, gan obeithio y bydd i ddarllenwyr y Cyfaill basio heibio pob anmherffeithrwydd yn yr ysgrif uchod, am mai dyma y tro cyntaf yr ymddangosais fel ysgrifenydd cyhoeddus.

ALLTYD PEN Y MYNYDD.

*A dynwyd allan o'r Cyfaill o'r Hen Wlad, America, Rhifyn 7. Gorphenaf* 1838.

---

## Ymddyddan

### YN NGHYLCH DYSGYBLAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dal. 268)

Ymofynydd. Dydd da fy Nghyfaill. Gobeithiwyf y gallwch aros gyda mi dros enyd amser i'm hyfforddi yn nghylch yr hyn oedd genym dan sylw pan yr ymadawsom y dydd o'r blaen.

Sylwedydd. Dydd da. Er mwyn cyflawni fy addewid i chwi, a'm bwriad a'm dymuniad fy hun, ceisiaf sylwi yn 1. Mewn perthynas i dderbyniad aelodau i mewn i'r eglwys. Nodaf un rheol, a chan ei bod mor gynhwysfawr nid rhaid ychwanegu: chwi a'i cewch yn Esa. 26. 2.—'Agorwch y pyrth, fel y del y genedl gyfiawn i mewn, yr hon a geidw wirionedd'. Y Ddinas gadarn, yr hon y mae Duw yn gosod iachawdwriaeth yn gaerau ac yn rhagfur iddi, yw yr eglwys. Wrth y genedl gyfiawn, yr ydym i ddeall nid rhai cyfiawn ynddynt neu o honynt eu hunain, eithr rhai wedi eu hargyhoeddi o gyfiawnder gan Yspryd Crist—eu dwyn i weled na feddant y cyfiawnder perffaith a ofyn y gyfraith; eithr bod eu holl gyfiawnderau megis bratiau budron. Rhai ydynt wedi eu goleuo am Grist a'i gyfiawnder nes y maent yn canfod addasrwydd ynddo iddynt, ac yn yr olwg ar ei ardderchawgrwydd, yn hollol ymwrthod â'r eiddynt eu hunain, gan weiddi gyd a Paul, 'Ac y'm cair ynddo ef.' Ioan. 16. 7.—11. Philip. iii. 4.—9.

Maent hefyd wedi derbyn anian neu egwyddor gyfiawn yn dumewnol o blanniad yr Yspryd Glan mewn ailenedigaeth. Pobl ydynt â'i gyfraith ef yn eu calon, ac felly y maent o ymarweddiad cyfiawn—yn ymestyn ac yn ymegnio i wneuthur cyfiawnder yn mhob peth, a thu ag at bawb. 'Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn.' Esa, li. 7. 1 Ioan 3. 7.

Rhai ydynt hefyd a gadwant wirionedd. —Cadw gair amynedd Crist. Cuddio ei ymadroddion yn eu calonau. Dat. iii. 14. Ps. cxix. 11. Er nad yw pawb o honynt yn derbyn y gair yn weinidogaethol, y maent oll yn ei dderbyn yn egwyddorol yn eu calonau. Mae yn impiedig air ynddynt, fel y maent yn ei gofio, yn myfyrio ac ymhyfrydu ynddo, yn bywiolaethu arno, ac yn ymlynu mewn proffes gyhoeddus o hono yn wyneb athrawiaethau gau a chyfeiliornus. Iago i. 21. Philip. ii. 15, 16.

Dyma'r ffurf a'r agwedd y mae yr Arglwydd yn dwyn iddynt yr holl rai a bres-wyliant yn wirioneddol a pharâus yn ei eglwys. Nid oes gan neb hawl nac awdurdod i agor ei phyrth o flaen neb, i ollwng i mewn iddi, nac i ystyried yn aelodau o honi, ond rhai yn cyfateb i'r nodweddiadau

hyn, yn nghyd a'u plant, neu o leiaf, (gan ystyried nad yw yr eglwys yn gallu chwilio i galon na phrofi yr arenau, ac felly nas gall ymddiried gyd ag eithaf sicrwydd i gywirdeb ei barn,) rhai yn ol pob arwyddion, y galler yn ol barn cariad, obeithio a golygu, eu bod yn gyfryw.

Er mwyn addysg helaethach yn hyn, darllen ac ystyria y pedair Rheol gyntaf o Reolau Dysgyblaethol y Methodistiaid Calvinaidd, yn nghyd â'r ysgrythyrau y cyfeirier yno atynt er eu cadarnhad. Bellach nid ymhelaethaf ar hyn, ond yn unig darllen ychydig o adnodau i'r un perwyl. Ps. 15. 'Arglwydd, pwy a drig yn dy babell? pwy a breswylia yn mynydd dy sancteiddrwydd? Yr hwn a rodia yn berffaith, ac a wnel gyfiawnder, ac a ddywed wir yn ei galon,' &c. Ps. xxiv. 3. 4. 'Pwy a esgyn i fynydd yr Arglwydd? a phwy a saif yn ei le sanctaidd ef? Y glân ei ddwylaw, a'r pur ei galon, yr hwn ni ddyrchafodd ei feddwl at wagedd, ac ni thyngodd i dwyllo.' Chwi a welwch yr un pethau yn yr ymadroddion hyn, er tebygwyf mai yr Arglwydd Iesu yn benaf a blaenaf a olygir ynddynt— Efe yw Pen a Blaenor yr holl rai a drigant yn wirioneddol yn mhabell, ac a esgynant i fynydd sancteiddrwydd yr Arglwydd, ac fel y cyfryw a esgynodd i ymddangos ger bron Duw dros ei bobl. Heblaw hyn, nis cyfateb neb yn hollol a pherffaith i'r nodweddiadau hyn ond efe. Ond etto y mae y rhai sydd ynddo ef yn cael eu dwyn i ddilyn ei esampl, ac i rodio megis ag y rhodiodd efe, ac yn y diwedd cyfarfyddant oll yn wr perffaith at fesur oedran ei gyflawnder ef.

2. Mewn perthynas i reolau llywodraethiad eglwys Crist yn dumewnol, neu lywodraeth yr eglwys ar ei holl aelodau, ni sylwaf ond yn fyr. Bod hyn wedi ei ymddiried gan Grist yn y gweinyddiad o hono i Weinidogion y Gair y rhai oll ydynt yn Henuriaid yn nghyd ag ereill o aelodau yr eglwys a alwer ac a neillduer trwy ei awdurdod, ac yn ol ei reolau a'i gyfarwyddyd ef, i'w cynhorthwyo. A bod hyn i gael ei ddwyn yn mlaen nid mewn modd tra-arglwyddiaethol, eithr yn hollol yn ol ei gyfarwyddyd ef. Mae hyn yn cynnwys ynddo, Bwrw golwg dros yr holl eglwys yn gyffredinol, a phob aelod o honi yn neillduol. Edrych ar fod gorchymynion Crist yn cael eu dyledus barchu, trwy gydymffurfiad â hwynt. Edrych ar fod yr holl aelodau yn ddiwyd a chyson yn nghyflawniad eu dyledswyddau tu ag at eu gilydd fel cydaelodau, tu ag at yr eglwys yn ei hamrywiol amgylchiadau ac achosion, a thu ag at bawb yn gyffredinol. Edrych na byddo un gwreiddyn chwerwedd mewn egwyddor, athrawiaeth nac ymarweddiad, yn tyfu i fynu, rhag trwy hyny llygru yr eglwys. Mae'n cynnwys hefyd, argyhoeddi, rhybuddio, ceryddu, hyfforddi ac annog; fel y byddo'r angenrheidrwydd, a hyn oll mewn cariad gyda phob diwydrwydd, addfwynder, amynedd a hirymaros.

3. Yn nghylch y rheolau perthynol i fwrw'r aflywodraethus a'r halogedig allan o'r eglwys. Gan mai yn nghylch hyn yn benaf yr ymofynwch; sylwaf yn 1. Ar awdurdodiad yr Arglwydd i'w eglwys i weinyddu hyn. 2. Pa fath yw y rhai y dylid ymddwyn felly tu ag atynt. 3. Nodaf rai pethau perthynol i drefn gweinyddiad yr ordinhad. 4. Sylwaf ar y dybenion o honi; ac yn 5. Galwaf eich sylw at gadernid ac anniddymadrwydd y cywir weinyddiad o'r ordinhad.

1. Am awdurdodiad Crist i'w eglwys i weinyddu hyn. Sylwasom ar hyn yn barod mewn rhan, y tro diweddaf y cyfarfuom. Mae'n gynnwysedig yn rhoddiad yr Arglwydd o agoriadau teyrnas nefoedd i'w Weinidogion, fel y gwelwn trwy gydmharu ei ymadroddion ef yn Math. 16. 19. a 18. 15—18. a'u gilydd, yn nghyd â rhediad y rhai olaf o honynt. 'Ac os pecha dy frawd i'th erbyn, dos, ac argyhoedda ef rhyngot ti ag ef ei hun. Os efe a wrendy arnat, ti a ennillaist dy frawd. Ac os efe ni wrendy, cymer gyd a thi etto un neu ddau, fel yn ngenau dau neu dri o dystion y byddo pob gair yn safadwy. Ac os efe ni wrendy arnynt hwy, dywed i'r eglwys; ac os efe ni wrendy ar yr eglwys chwaith, bydded ef iti megis yr ethnig a'r publican. Yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynag a rwymoch ar y ddaear, fyddant wedi eu rhwymo yn y nef, a pha bethau bynag a ryddhaoch ar y ddaear, a fyddant wedi eu rhyddhau yn y nef.' Mae'r geiriau yn cynnwys ynddynt awdurdodiad yr Ar-

glwydd i'w eglwys, nid mewn modd goddefol neu ganiadâol i weinyddu hyn, eithr mewn modd gorchymynol, mewn dull ac ymadroddion pendant ac eglur. Gan hyny ymddengys yn hollol amlwg bod hyn yn ddyledswydd arbenig a neillduol ar eglwys Crist, ac y byddai yr esgeulusiad o'i chyflawniad ynddi, yn eithaf pechadurus.

Gallaswn, pe buasai anghenrheidrwydd, arddangos trwy liaws o ysgrythyrau a llawer o siamplau o'r Testament Newydd, yn enwedig trwy gyfarwyddyd a gorchymyn yr Apostol Paul i eglwys Corinth yn achos y dyn godinebus, bod hyn yn ddyledswydd foesol a pharäus ar yr eglwys. Ond y mae y cwbl a ellid ei nodi, yn sylfaenedig ar, neu yn wreiddiol yn awdurdodiad yr Arglwydd i'w eglwys, yn ymddibynu arno, yn deillio ac yn tarddu o hono. Ar y sylfaen yma yn ddiau y gweithredai Paul, oblegyd er ei fod yn gyfryw un a Phaul yr Apostol, ni buasai ganddo ef nac unrhyw Apostol arall awdurdod i weithredu felly, oni buasai iddynt ei dderbyn oddi wrth Grist.

Ymofynydd. Yr wyf yn hollol o'r un golygiadau â chwi yn hyn oll, fy anwyl Gyfaill. Ond haera rhai, mai gweithred briodol i awdurdod apostolaidd yn unig, ydoedd bwrw y dyn godinebus allan o eglwys Corinth, a chan nad oes swyddogion o'r un graddau o awdurdod yn yr eglwys yn bresennol, nad oes gan yr eglwys hawl nac awdurdod i weithredu felly. Beth a ddywedwch mewn atebiad i hyn?

Syl. Chwi a gawsoch y blaen arnaf. Yr oeddwn yn bwriadu nodi y dychymmyg hwn i'r dyben o'i wrthbrofi. Nid rhaid i ni ond craffu ychydig ar eiriau yr Apostol ei hun, na welwn yn uniawn wagder a geudeb yr haeriad. Canys canfyddwn yr Apostol yn argyhoeddi ac yn ceryddu yr eglwys o herwydd ei ffurf a'i hagwedd anghydweddus, anmhriodol, ac annghyfaddas i'r amgylchiad, ac yn beiaw arni am ei hanmharodrwydd a'i hannibendod i fwrw y godinebus allan o honi—'Ac yr ydych wedi ymchwyddo, ac ni alarasoch yn hytrach, fel y tynid o'ch mysg chwi y neb a wnaeth y weithred hon.' Ac yn ganlynol, yn cyfarwyddo ac yn gorchymyn yr eglwys i wneuthur hyny.—'Am hyny certhwch allan yr hen lefain fel y byddoch does newydd!' A'r rheswm dros hyn ydoedd—'Canys Crist ein pasc ni a aberthwyd drosom ni!' Trachefn—'Bwriwch chwithau ymaith y dyn drygionus hwnw o'ch plith chwi!' Felly ni a welwn yn eglur bod hyn yn ddyledswydd ar yr eglwys mewn modd neillduol, yn flaenorol i waith yr Apostol yn ysgrifenu felly atti.

Ystyriwn hefyd, am ba bethau bynag a weithredai yr Apostolion trwy eu hawdurdod apostolaidd yn, neu tuag at yr eglwysi, pa un bynag ai presennol neu absennol a fyddent, mewn ffordd o gyfarwyddyd, annogaeth, neu o orchymyn i'r eglwysi yn ffyrdd eu dyledswyddau, nad oeddynt yn effeithio er lleihau na gwanychu y rhwymau gwreiddiol neu naturiol oedd arnynt, nac yn cyfyngu eu rhyddid priodol i gyflawni eu dyledswyddau, eithr yn hollol i'r gwrthwyneb. Felly yr oedd yn yr amgylchiad dan sylw. Ond gallwn sylwi cymaint a hyn—gweithred briodol i'r Apostol yn unig ydoedd traddodi y dyn godinebus i satan, ond cydweithred briodol iddo ef a'r holl eglwys oedd ei fwrw ymaith o blith yr eglwys. Gan hyny mae'n amlwg i bawb a ewyllysio ddeall, bod gwaith eglwys Corinth yn hyn, yn siampl i'w dilyn gan holl eglwysi Crist, yn y cyffelyb amgylchiadau hyd ddiwedd amser.

Ymofynydd. A ydych yn golygu mai dau beth, ac nad dau enw yn arwyddo yr un peth, ydyw traddodi un i satan, a'i fwrw allan o'r eglwys.

Syl. Yr wyf yn golygu mai dau beth hollol wahaniaethol ydynt, ond deliwch sylw, nid dau beth hollol wahanol a ddywedwyf, oblegid yn ddiau y mae achos i olygu bod y naill yn gyssylltiedig â'r llall yn aml yn ein dyddiau, canys gwelir arwyddion o hyny yn fynych. Gan hyny dylai pwy bynag a'i rhoddo ei hun yngafael y cerydd eglwysig hwn, grynu rhag i'r Arglwydd ei geryddu â'r llall hefyd. Nid oes genyf amser i sylwi yn mhellach ar hyn yn bresennol, efallai y cawn ryw bryd hamdden i wneuthur hyny. Felly âf yn mlaen i ystyried yn

2. Pa fath yw y rhai y dylai yr eglwys eu bwrw ymaith o'i chymundeb.

Sylwasom eisoes mewn rhan ar nodweddiadau y rhai y dylid eu derbyn i mewn i eglwys Dduw, ac a drigant ynddi. Gallai sylwi ar y nodweddiadau hyny ein cyn-

northwyo i olygu pa fath yw y rhai y dylid eu tori ymaith, oblegid y mae y naill yn wrthwyneb i'r llall. Nid oes i ni olygu, meddyliwyf, am y rhai y rhoddo yr eglwys le a derbyniad iddynt i mewn i'w chymundeb, er ar ol hyny, gael o honi achlysuron neu achosion i ammheu eu cywirdeb, y dylai eu bwrw allan, oni bydd arwyddion amlwg o hyny yn ymddangos trwy broffes neu ymarweddiad cyhoeddus. Ond dylai yr eglwys fwrw ymaith o'i plith, y rhai a fyddo yn cyndyn ddal ar unrhyw athrawiaethau neu opiniynau gwrthwyneb i byncian sylfaenol y grefydd gristionogol neu rai antinomaidd, annghytunol ag athrawiaeth iachus. Mi a wn fod rhai yn ein dyddiau yn barod i wadu hyn yn nghysgod yr hawl sydd gan bob person neillduol i farnu drosto ei hun. Ond nis gwiw iddynt, canys y mae i'w ganfod yn rhy eglur i hyny, yn y rheolau a osododd Crist i'w eglwys. Mae'n wir nad oes gan y naill ddyn, fel y cyfryw, hawl i alw arall i gyfrif am ei gred na'i egwyddorion; ond y mae mor wir a hyny fod gan eglwys Crist, fel y mae felly, hawl ac awdurdod o roddiad ei Phen iddi, i alw ei holl aelodau i gyfrif am eu barn a'u cred, ac y mae pob aelod neillduol o honi mor gyfrifol neu attebol iddi am hyn ag ydyw am ei fuchedd a'i ymarweddiad. Sylwn hefyd, mai yr un rheol uniawn, sef Gair anffaeledig Duw, sydd ganddi i farnu am y naill fel am y llall. Er mwyn dangos a phrofi hyn, darllenaf dair neu bedair o adnodau. Medd Paul wrth ysgrifenu at y Rhufeiniaid—'Ac yr wyf yn atolwg i chwi frodyr, graffu ar y rhai sydd yn peri annghydfod a rhwystrau yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgasoch chwi, a chiliwch oddi wrthynt.' Ac medd efe wrth ysgrifenu at eglwysi Galatia—'Mi a fynwn, ïe, pe torid ymaith y rhai sydd yn aflonyddu arnoch.' Pwy oedd yn aflonyddu ar y Galatiaid? Pwy ond yr athrawon deddfol, pa rai a lygrasent yr eglwysi? O ba le y mynasai yr Apostol eu tori ymaith? O'r awdurdod, y llywodraeth a'r lle a feddiannasent yn lladradaidd yn mynwesau aelodau yr eglwysi, ïe, o gymundeb yr eglwys yn hollol. Gofynaf, a oddef y geiriau ryw esponiad arall? Drachefn medd yr un Apostol yn ysgrifenu at Timotheus,—'Od oes neb yn dysgu yn amgenach, ac heb gytuno ag iachus eiriau ein Harglwydd Iesu Grist, ac â'r athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb—cilia oddi wrth y cyfryw,' Rhuf. xvi. 17. Gal. v. 12. 1 Tim. vi. 3—5.

Yn mhellach, nodaf un adnod o'r Hen Destament sydd yn dangos hyn,—'A bydd pan brophwydo un mwyach, y dywed ei dad a'i fam a'i cenedlasant ef wrtho, Ni chei fyw, canys dywedaist gelwydd yn enw'r Arglwydd, a'i dad a'i fam a'i cenhedlasant ef a'i gwanant ef pan fyddo yn prophwydo.' Zech. xiii. 3.

Amlwg yw, mai prophwydoliaeth am bethau a fyddent yn nyddiau yr efengyl yw y Bennod o'r hon y dyfynais y geiriau hyn Nid yw lladd na llabyddio yn briodol i eglwys Crist, nac yn gynnwysedig yn ei chosp na'i cheryddon dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, gan hyny y mae yn eglur, mai at burdeb a symledd y ddysgyblaeth eglwysig y cyfeiria y Prophwyd, gan fenthycio ei ymadroddion oddiwrth yr hyn oedd gynnwysedig yn nysgyblaeth eglwys Dduw, dan yr hen oruchwyliaeth,' Deut. xiii. 1—11. a xviii. 20.

Gallaswn brofi hyn yn mhellach oddi wrth y cwynion neu yr achwyniadau a rydd yr Arglwydd Iesu yn erbyn, a'r canmoliadau sydd ganddo o blaid rhai o Angylion eglwysi Asia yn y llythyrau a anfonodd attynt trwy ei wasanaethwr Ioan. Ond gan ei fod eisoes mor eglur, af yn mlaen.

Dylai yr eglwys fwrw allan o honi bawb ar a fyddo yn gwneuthur neu yn byw mewn unrhyw bechod neu bechodau amlwg a warafunir yn eglur yn Nghyfraith Duw, megis anmharchu enw'r Arglwydd—halogi ei Sabbathau—anufudd-dod i lywodraethau o osodiad yr Arglwydd ar ddynion yn eu hamrywiol berthynasau a sefyllfaoedd, lladdiadau, godineb a phuteindra, a lladradau, camdystiolaethau, enllibau, absenau, hustyngau, athrodau, a'r cyffelyb, am y rhai y tystiolaetha yr ysgrythyrau sanctaidd na chaiff y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau etifeddu, ac nad oes iddynt ran yn nheyrnas Crist a Duw. 1 Cor. vi. 9, 10. Gal. v. 19—21. Ephes. v. 5.

Yn mhellach, dylai yr eglwys fwrw allan o'i chymundeb, y rhai yn wirfoddol a esgeulusant ei chydgynnulliad, yn nghyd a'r

holl rai a achlysurant gynhenau, ymrysonau, ymbleidiau, annghydfyddiaethau, a thramgwyddiadau yn mhlith ei haelodau. Heb. x. 23—31. 2 Thes. iii. 6—12. 1 Cor. xi. 16.

(I'w barhau)

---

## Y Pregethwr a'r Gwrandawr.

### RHIF. II.

*Pregethwr.* Wel, Mr. G. pa beth yw eich meddwl am y pyngciau dadleuol, fel eu gelwir, erbyn hyn?

*Gwrandawr.* Clywais un gweinidog, yn ddiweddar, yn dywedyd ei fod ef o'r farn nad yw y gwahaniaeth sydd rhwng Fulleriaid a Chalfinistiaid* nemawr o ddim heblaw annghytundeb yn nghylch geiriau, a phe deallem ein gilydd, ein bod yn nes at ein gilydd nag yr ydys yn meddwl.

*Preg.* Y mae y gwr, pwy bynag ydyw, yn camgymeryd yn fawr ysywaith. Pan ydys yn pregethu, ac yn ysgrifenu, y gallasai Duw faddeu pechodau heb Iawn, ac y buasai yn fwy anrhydeddus iddo wneyd felly, oni bai ei fod yn peryglu dyogelwch y llywodraeth foesol: h. y. pe na bai pechod ond rhyw beth yn erbyn Duw fel Bod unigol, y buasai yn fwy anrhydeddus iddo faddeu heb, na thrwy Iawn: pan ydys, meddaf, yn dal y fath athrawiaeth a hon, ni allwn fod o'r un farn am bechod, nac am Dduw ei hun, mwy nag am Iawn y Cyfryngwr. Yn ol y golygiad a enwais, nid ydyw pechod yn ddrwg mor anfeidrol fawr ag yr oeddym ni yn tybied ei fod. Nid yw Iawn Crist ond rhyw *valuable consideration*, i wneyd rhyw argraff foesol ar feddyliau creaduriaid rhesymol, fel y byddai maddeu yn beth diberygl i'r llywodraeth, ac nid oes ynddo ddim o'r fath beth a gwir gosp am bechod. Ië, yn ol y gyfundrefn hon, nid ydyw Duw ei hun yn gymaint o elyn i bechod ag yr oeddym ni yn meddwl ei fod.

*Gwran.* Pechod yn ddrwg anfeidrol! Pa fodd y gall hyny fod? Nid yw dyn ond bod meidrol a therfynol, o ganlyniad, pa fodd y gall dim sydd yn perthyn iddo fod yn anfeidrol neu yn annherfynol?

*Preg.* Addefaf mai bod meidrol yw dyn, ar yr un pryd yr wyf yn gwadu fod pob peth a berthyn iddo yn feidrol a therfynol: beth am ei barhad? a ydyw hwnw atolwg yn derfynol? Os yw dyn, fel y mae yn rhaid i chwi addef, ei fod, yn wrthrych o annherfynol drueni, oni all ar yr un egwyddor, fod yn wrthrych o anfeidrol euogrwydd? Pa ham na all pechod bod meidrol fod yn anfeidrol yn gystal a'i barhad, a'i ddedwyddwch neu ei drueni? Y mae pechod yn ddrwg anfeidrol am ei fod yn erbyn Duw anfeidrol; y mae ein rhwymedigaethau i ufuddhau i Dduw yn anfeidrol, ac y mae pechod yn drosedd o'r rhwymedigaethau hyny, o ganlyniad rhaid fod ei ddrwg yn anfeidrol.

*Gwran.* Pa fodd y gall bod meidrol fod tan rwymedigaethau anfeidrol? Y mae eich athrawiaeth yn ymddangos i mi, fel yn gosod y rhwymedigaeth sydd ar y dyn yn fwy peth na'r dyn ei hun, pwys y baich yn fwy na'r ysgwydd sydd o tano. Pa fodd y cydsaif hyn â doethineb a daioni Duw?

*Preg.* Er fod y rhwymedigaeth ynddi ei hun yn anfeidrol, etto nid yw yr hyn y rhwymir dyn i'w gyflawni, yn anfeidrol, nac yn afresymol mewn un modd: oblegid pan y daeth dyn gyntaf o tan law y Creawdwr, yr oedd yn iau mor esmwyth, ac yn faich mor ysgafn, fel yr oedd yn hawa iddo ei chyflawni na'i hesgeuluso; ond pan y mae dyn wedi esgeuluso ei ddyledswydd, a throseddu (neu fyned ar draws) y rhwymedigaeth oedd arno, y mae anfeidroldeb y

---

* Wrth y Calfinistiaid yr ydys yn golygu y sawl sydd yn dal yr hyn a alwai yr hen bobl 'y pum pwynt,' sef, 1. Etholedigaeth bersonol. 2. Pechod gwreiddiol. 3. *Prynedigaeth neillduol.* 4. Galwedigaeth effeithiol neu anwrthwynebol. 5. Parhad y saint mewn gras.

Wrth y Fulleriaid yr ydys yn golygu y rhai sydd yn proffesu dilyn y Parch. Andrew Fuller, a'r Doctor Williams o Rotheram, yn eu golygiadau ar Iawn Crist, &c.

Nid ydys yn golygu fod y rhai a alwn yn Galfinistiaid, o'r un farn a'r Diwygiwr enwog John Calfin, am bob peth: ac nid ydys chwaith yn penderfynu fod y sawl a alwn yn Ffulleriaid, o'r un farn a'r enwogion Fuller a Williams am bob peth. Os nad ydym yn camgymeryd, y mae llawer o bethau yn cael eu pregethu a'u hysgrifenu, gan y rhai a broffesant eu hunain yn ganlynwyr i Fuller neu Williams, ag y buasai y gwyr duwiol hyny, pe buasent yn fyw, yn dychrynu wrth eu clywaid yn cael eu traethu yn eu pulpudau. Dealled y darllenydd, yr arferir yr enwau Calfinistiaid a Fulleriaid er mwyn gwahaniaethiad, a hyderir fod pawb yn deall pwy ydys yn olygu wrth y naill a'r llall.

rhwymedigaeth hono yn gosod anfeidroldeb ar euogrwydd ei drosedd.

*Gwran.* Prin yr wyf yn deall beth ydych yn feddwl wrth son am rwymedigaeth anfeidrol i ufuddhau i Dduw.

*Preg.* Y mae ein rhwymedigaeth i ufuddhau, yn dibynu ar y berthynas sydd rhyngom a'r awdurdod, neu y gwrthrych sydd yn ein gofyn, a pha fwyaf teilwng a fyddo y gofynwr, mwyaf yn y byd yw ein rhwymedigaeth i ufuddhau. Fel hyn, os yw y Tad yn meddu *un* gradd o'hawddgarwch, mawredd, neu awdurdod, yr ydym ninau ei blant o tan *un* gradd o rwymau i'w garu, ymostwng, ac ufuddhau iddo. Os yw yn meddu *mil* o raddau o'r pethau hyny, yr ydym ninau o tan fil o raddau o rwymedigaeth i'w garu, &c. Ond os ydyw yn *anfeidrol* mewn hawddgarwch, mawredd ac awdurdod, yna y mae ein rhwymedigaethau ninau i'w garu, ymostwng, ac ufuddhau iddo yn *anfeidrol.* A dyma y fath dad yw ein Tad nefol, anfeidrol yw ei hawddgarwch, ei fawredd, a'i awdurdod: gan hyny, anfeidrol yw ein rhwymedigaethau ninau i'w garu, ei anrhydeddu, ac ufuddhau iddo. Ac felly wrth droseddu y rhwymedigaethau hyn, yr ydym yn tynu arnom ein hunain euogrwydd anfeidrol.

*Gwran.* Wel, os ydyw pob pechod yn anfeidrol ei ddrwg, y mae yn rhaid fod pob pechod mor waethed a'u gilydd, a ffolineb yw son am rai pechodau mwy, a rhai llai nag eraill, canys ni all dim fod yn fwy na'r hyn sydd anfeidrol.

*Preg.* Nid yw y penderfyniad yna yn deg, canys gall fod dau beth yn anfeidrol, neu yn annherfynol, ac etto y naill o honynt yn fwy na'r llall. Y mae arwyneb (*surface*) annherfynol yn fwy na llinell annherfynol; ac y mae cyfangorph (*solid*) annherfynol yn fwy na'r ddau. Neu y mae peth annherfynol mewn hyd a lled, yn fwy na'r hyn sydd annherfynol mewn hyd yn unig, ond y mae peth annherfynol mewn hyd, lled, a dyfnder, yn fwy na'r ddau. Felly, er fod pob pechod yn anfeidrol ddrwg, ac felly y naill mor ddrwg a'r llall mewn un ystyr, sef fel y maent yn erbyn Duw; etto mewn ystyriaethau eraill y maent yn wahanol iawn: ïe, y mae cymmaint o wahaniaeth rhwng y naill bechod a'r llall ag y sydd rhwng 'brycheuyn' a 'thrawst,' neu rhwng 'gwybedyn' a 'chamel.' Yr oedd dirmygu cyfraith Moses yn bechod, ond y mae mathru Mab Duw, a barnu yn aflan waed y cyfammod trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, a difenwi Ysbryd y gras, yn bechod llawer mwy, ac felly yn haeddu cospedigaeth fwy. Yr oedd pechodau Sodom, a phechodau Tyrus a Sidon yn fawr, ond cyfrifir pechodau Chorazin, Bethsaida, a Chapernaum yn fwy, oblegid eu cyflawni yn ngwyneb mwy o oleuni, ac felly fe'u bygythir a mwy o gospedigaeth.

*Gwran.* Ond, attolwg, pa beth ydych yn ynill wrth ddal fod euogrwydd pechod yn anfeidrol?

*Preg.* Ynill? Pe bawn heb ynill dim, y mae'r gwirionedd yn werth ei gofleidio o flaen cyfeiliornad. Ond, gyda'ch cenad, yr wyf yn meddwl fy mod wrth ddal hyn yn ynill y pyngciau mwyaf eu pwys yn y ffydd gyffredinol. Pe gwadwn anfeidrol ddrwg pechod, a bod yn gyson a mi fy hun, byddai raid i mi droi yn *universalist*, sef i ddal y gwaredir y cythreuliaid a'r damnedigion ryw bryd o uffern; oblegid os yw euogrwydd pechod yn mhob ystyr yn feidrol neu derfynol, y mae yn rhaid y daw yr amser i ben ryw bryd, ag y bydd pob pechadur wedi dyoddef cymaint ag a all cyfiawnder ei ofyn ganddo: ond os yw pechadur i ddyoddef byth y gosp am bechod, a hyny yn gyfiawn, yna y mae yn rhaid fod rhyw anfeidrol ddrwg yn y pechod hwnw. Trachefn, pe gwadwn anfeidrol ddrwg pechod, a bod yn gyson a mi fy hun, byddai raid i mi droi yn *Sociniad*, sef i wadu Duwdod fy Arglwydd Iesu, yr hwn yw yr Iawn tros bechod: canys os addefaf fod Crist yn Dduw, rhaid i mi gredu fod yr Iawn yn anfeidrol, oblegid 'Efe yw'r Iawn;' ac o ganlyniad, rhaid i mi gredu fod pechod, tros yr hwn y rhowd yr Iawn, yn anfeidrol ddrwg, neu roddi ynfydrwydd yn erbyn trefn Duw. A fyddai yn deilwng o Dduw, yr hwn y mae ei holl ffyrdd yn gymwys, i drefnu meddyginiaeth anfeidrol i glwyf meidrol, neu blastr annherfynol pan na bo y cornwyd ond terfynol? Yr wyf o'r un golygiad a'r awdwr parchedig a ddywaid,

'*An infinite atonement to expiate finite guilt*,
Resembles ocean, into tempest wrought,
To waft a feather, or, to drown a fly.'

Yn Gymraeg yn debyg i hyn,

'Y mae Iawn anfeidrol i ddyhuddo euogrwydd meidrol,
Mal gweithio môr, yn rhyw ryferthwy blin
I chwifio'r plu, neu foddi'r clyryn gwan.'

*Gwran.* Rhaid fod pechod yn beth o bwys mawr hefyd.

*Preg.* Y mae mwy o bwys mewn pechod nag a feddyliasoch chwi na minau erioed. Iё, pe na bai dim arall yn gosod pwysfawrogrwydd ar ddyn, y mae ei bechodau yn ddigon i roddi pwys arno. Pe na bai un rheswm arall yn profi bywyd dyfodol, rhoddai pechod un, a hwnw yn anmhosibl byth ei wrthbrofi. Y mae cynghaws yn sefyll rhwng y Barnwr cyfiawn a ninau, gan hyny y mae amser i wrandaw a phenderfynu y mater yn sicr o ddyfod, a hyny o angenrheidrwydd. Pe bai cydwybod ond yn neffro, gallai'r troseddwr pan ar fin ceulan y bywyd presenol, yn myfyrio ar ei dynged, ddywedyd, yr wyf wedi pechu, etto mi allaf guddio fy hun yn nhywyllwch y bedd. Na allaf, canys bydd i weinidogion Duw, a phob bodau da a drwg, fy ngofyn ar ddwylaw angeu, ac yn gwahardd i mi

gael fy anghofio. Nis gall y llwch fy nghuddio byth, nis gall y towyrch fy nghysgodi yn dragywydd. Y mae y frawdle uchaf yn dysgwyl am fy ymddangosiad, ac oddieithr fy nwyn i sefyll yno, y mae anrhydedd yr holl lywodraeth yn cael sarhad, y mae priodoliaethau Duw yn cael eu gwrthwynebu. Y mae yn wir nad wyf fi yn bersonol ond gwael a diddym, etto yr wyf yn blaid mewn cynghaws ag sydd yn cymeryd i mewn ddoethineb, purdeb, a gallu y Duw tragywyddol.' *Saturday Evening.*

*Gwran.* Pa fodd erioed y daeth y fath felldith i'r byd?

*Preg.* 'Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn yn gymaint a phechu o bawb.' *Paul.*

*Gwran.* Yr wyf yn gwybod mai trwy un dyn, mewn rhyw ystyr neu'u gilydd, y mae wedi dyfod. Ond y cwestiwn yw, Pa fodd y gallai dyn syrthio i bechod, ac yntau yn ei holl ysgogiadau meddyliol, yn gystal a chorfforol, bob moment, o dan lywodraethiad Duw perffaith mewn daioni a sanctaidd? Onid yw yn naturiol meddwl fod yn rhaid, cyn i ddyn bechu, i'w Lywodraethwr naill ai colli ei lywodraeth arno, neu fod yn gyfranog a'r dyn yn y weithred? Ac os yr olaf o a haerir, paham y beiir ar y dyn? a phaham ei cospir?

*Preg.* Yr ydych yn cofio yr hyn a ddywedais pan oeddym yn ymddiddan y tro o'r blaen, sef, Nad ein hamgyffrediad o gysondeb yr Ysgrythyrau, yw ein sail i gredu eu gwirionedd, ond y dylem eu credu am eu bod yn y Bibl, pe na allem byth eu hamgyffred. Yn awr y mae bod dyn wedi pechu,—bod Duw yn llywodraethu ar ddyn, gorff a meddwl, bob moment, ac etto nad yw Duw yn awdwr pechod, nac mewn un modd yn gyfranog o'r bai; y mae y pethau hyn meddaf, yn wirioneddau na fedrir peidio eu credu, heb daflu Bibl a rheswm o'r naill du. Ond mewn attebiad i'ch 'pa fodd' chwi, nid oes genyf ond eich coffau o eiriau y duwiol Archesgob Leighton yn un o'i ddarlithoedd i astudwyr Duwinyddiaeth, yn Edinborough. 'Ymddengys i mi fod y sawl sydd yn dal fod effaith yr arfaeth Ddwyfol yn *bendant annghymodadwy* â rhyddid dynol, yn gwneyd yn ynfyd iawn. Ond yr anhawsder mawr yn yr holl ddadl hon, yw yr hyn a berthyna i *wreiddyn pechod* (*the origin of evil*). Y mae rhai yn gwahaniaethu rhwng sylwedd y weithred, fel ei gelwch, neu yr hyn sydd naturiol yn y weithred, oddiwrth ei moesoldeb. Y mae hyny o ryw bwys; ond pa un a ydyw yn symud yr holl anhawsdra, ni chymeraf arnaf ddywedyd. Coeliwch fi wyr ifaingc, dyfnder ydyw, a dyfnder nad yw byth i'w blymio ag un blymeu o ddealltwriaeth dynol. Gan hyny os cymerwch fy nghyngor i, ciliwch oddiwrth ymofyniad chwilfrydig i'r dirgelwch hwn, ac ymroddwch yn uniongyrchol i'r astudiaeth o Dduwioldeb, ac anrhydedd priodol i fawredd ofnadwy Duw. Meddyliwch a llefarwch am fawredd a dirgeledigaethau Duw, gydag ofn a dychryn: ac nac ymddadleuwch ond ychydig yn eu cylch: ac os na fynwch ddinystrio eich hunain, gochelwch ddadleu ag Ef. Os troseddwch, rhoddwch y bai arnoch eich hunain; ac os gwnewch ryw ddaioni, rhowch y clod i Dduw. Yr wyf yn eich cyngori yn ddifrifol i hyn; ac yn hyn yr wyf fi fy hun yn ymlonyddu; a phan y'm teflir, ac y'm gwesgir gan amheuon ac anhawsderau, yma yr ymgyrchaf, fel i angorfa ddiogel.'

*Gwran.* A ddarllenasoch erioed mo waith y Doctor Williams o Rotheram, yn condemnio gwaith yr Archesgob yn dywedyd, 'fod gwreiddyn drwg moesol yn ddyfnder nad yw byth i'w blymio ag un blymeu o ddeall dynol?'

*Preg.* Do. Ond gyda phob parch dyledus i goffadwriaeth y Doctor fel gwr duwiol a dysgedig, rhaid i mi ddywedyd, mai pa bellaf y ceisiwyf ei ddilyn ef (Dr. W.) yn ei ymdrechiadau i blymio y dyfnder hwn, cadarnhau fwy fwy y mae fy meddwl yn athrawiaeth yr Archesgob.

*Gwran.* Cymerwch chwi bwyll. Yr wyf fi yn meddwl, pe baem ni yn deall *metaphysics* y Doctor, y caem weled ei fod ef yn ymresymu yn rhagorol er dangos pa fodd y mae y drwg i gyd o'r creadur: sef, fod diffygiolrwydd o angenrheidrwydd yn hanfodol i bob creadur,—nad yw yn derbyn y diffygiolrwydd hwnw gan y Creawdwr, oblegid nad oes y fath beth a diffyg yn y Creawdwr ei hun,—mai o'r diffygiolrwydd hwnw y mae drwg yn tarddu. A chan fod diffygiolrwydd yn hanfodol i greadur, fel nas gall fod hebddo, heb beidio a bod yn greadur, mai ffoledd yw dywedyd ei fod wedi ei beri, na'i arfaethu gan Dduw; o ganlyniad nad yw y drwg sydd yn tarddu o hono i'w dadogi mewn un modd ar Dduw, nac ar ei arfaeth.

*Preg.* Y mae hynyna yn burion am a wn i. Ond yr wyf yn methu a gweled fod y Doctor yn llwyddiannus yn ei waith yn gwrthwynebu yr hen ddywediad 'Fod Duw wedi arfaethu goddef i bechod gymeryd lle.' Canys y mae yn eglur debygwn i, pa beth bynag y mae Duw yn ei wneyd mewn amser, iddo arfaethu ei wneyd cyn amser. Ond y mae Duw, mewn amser yn goddef i bechod gymeryd lle. Gan hyny y mae Duw cyn amser wedi arfaethu goddef i bechod gymeryd lle.

*Gwran.* Yr wyf fi o'r un farn a'r Doctor, mai achos yr holl ddyryswch efo'r mater yma, yw diffyg bod yn gydnabyddus a'r athrawiaeth, *sail nacaol sicrwydd*, yr hyn mewn gair yw *gwreiddyn drwg moesol*. Y mae yn wir fod *caniatau* a *goddef* yn eiriau gweithredol, (*positive terms*), ond y mae y drychfeddwl yn hollol nacaol; nid yw goddef neu ganiatau, yn arwyddo dim yn

amgen mewn Duwinyddiaeth, na pheidio ag attal. Felly nid gweithredu yr oedd Duw wrth oddef i bechod gymeryd lle, ond yn hytrach peidio a gweithredu. Yrwan, gan nad yw Duw wedi arfaethu cyn amser, ddim ond a wnai mewn amser, ac gnad gwneuthur, ond yn hytrach peidio a gwneuthur oedd goddef i bechod gymeryd lle; na dywedyd i Dduw arfaethu goddef, byddai yn well dywedyd iddo beidio ag arfaethu atal i bechod fod. Gan hyny os gwelwch yn dda, cynygiaf gyfreswm (*syllogism*) arall yn lle yr eiddoch chwi, fel hyn, Nid arfaethodd Duw ddim cyn amser, ond a wnai mewn amser. Ond ni wnaeth Duw mewn amser atal i bechod gymeryd lle. Gan hyny, nid arfaethodd Duw cyn amser, atal i bechod gymeryd lle.

*Preg.* Nid oes genyf un gwrthwynebiad i'ch cyfreswm chwi, canys ni welaf ei fod yn gwrthwynebu y llall, ond yn hytrach yn ei gadarnhau, oblegid os arfaethwyd goddef i bechod fod, yna rhaid na arfaethwyd ei atal.

*Gwran.* Ond y mae yn esmwythach genyf fi ddywedyd i Dduw *beidio ag arfaethu*—na dywedyd iddo *afaethu peidio* atal i bechod fod, canys wrth ddywedyd fel hyn, yr ydym yn rhoi rhyw berthynas rhwng arfaeth Duw a dyfodiad pechod; ond wrth ddywedyd fel arall, yr ydym yn clirio yr arfaeth oddiwrth fod ag un llaw yn y peth.

*Preg.* Mor bell ag yr wyf yn deall eich ymresymiad, byddai yn hollol briodol i fwriadau dyn, oblegid y mae aneirif bethau, nad oes gan ddyn un math o lywodraeth arnynt na gwybodaeth am danynt; ac ni byddai son am iddo arfaethu, neu fwriadu dim yn mherthynas iddynt, ond ynfydrwydd. Ac hefyd gallasai aneirif bethau fod nad ydynt, ac na fyddant byth, ac nad oes gan ddyn un math o ddrychfeddwl am danynt, chwaethach bwriad neu arfaeth yn mherthynas iddynt. Ond nid felly y Meddwl Hollwybodol, y mae Ef o angenrheidrwydd natur, yn gwybod yn berffaith erioed, nid yn unig pob peth a wnai, ond hefyd pob peth a allasai ei wneyd, canys y mae ei wybodaeth yn anfeidrol fel ei allu: ac ni welaf nad yw mor briodol dywedyd iddo arfaethu peidio a gwneyd yr hyn nis gwnai, a dywedyd iddo arfaethu gwneyd yr hyn a wnai. Y mae y posibilrwydd o bechod yn wirionedd tragywyddol, ac y mae yn rhaid ei fod yn benderfyniad tragywyddol yn yr Hollwybodol, pa un a wnai ai ei oddef neu ei atal: a'r penderfyniad hwn yw y cwbl ydym yn feddwl wrth 'arfaethu goddef.'

Ond pe bai y Doctor yn ynill ei bwynt, sef nad yw yn addas dywedyd i Dduw arfaethu goddef i bechod fod, etto ni allaf weled fod ei blymen un fodfedd yn nes i gyrhaedd gwaelod y dyfnder. Yn ol ei olygiadau ef ei hunan, mor gynted ag y dygir creadur rhesymol i fod, y mae diffygiolrwydd ei natur yn peri na all beidio pechu y foment y peidio Duw ei atal. Onid yw yr athrawiaeth hon yn cynwys fod *cael bod* yn fwy o felldith ynddo ei hun nag o fendith, yn fwy o ddrwg nag o dda? Yn ol athrawiaeth y Doctor, gallai dyn wedi syrthio i bechod ymresymu fel hyn, 'Dyma fi yn fod creadigol, ni allaswn oblegid diffygiolrwydd fy natur lai na phechu, ac felly syrthio i fythol wae, os nad oedd bosibl i mi gael bod heb fod amgylchiadau naturiol yn sicrhau i mi y fath dynged. buasai'n llawer gwell i mi beidio a bod: pa fodd y mae fy nygiad i fod yn gyson a daioni?' &c

*Gwran.* Efallai mai gwell i ni droi yn ol rhag boddi.

*Preg.* Diolch yn fawr i chwi am roi yr *hint.* Ni a ymdrechwn ynte am angorfa yr hen Archesgob 'Pob bai arnom ni, a phob clod i Dduw.'

Ond cyn ymadael, crynoaf hyny o olygiadau sydd genyf i'r pethau canlynol. 1. Yr wyf yn sicr fod pechod wedi dyfod i'r byd. 2. Ni allasai ddyfod heb Ddwyfol ganiatad neu oddefiad, ac ni fuasai bosibl i'r Duw digyfnewid ei oddef na'i ganiatau mewn amser, heb fwriadu neu arfaethu hyny er tragywyddoldeb. 3. Etto yr wyf yn penderfynu nad yw Duw yn awdwr pechod. 'Na ddyweded neb pan demptier ef, gan Dduw y'm temptir.' 4. Fod dyn, pan yn pechu, yn weithredydd hollol rydd. Pe buasai holl resymolion y greadigaeth yn ceisio darbwyllo Adda, na allasai wneyd ei ddewis ai bwyta o ffrwyth y pren bwnw ai peidio, ni buasai yn eu credu; er fod y sicrwydd mwyaf yn meddwl ei Greawdwr erioed mai bwyta a wnai. Y mae yn wirionedd, ac yr oedd y sicrwydd mwyaf am dano erioed, yn meddwl fy Nghreawdwr, y dewn i i'ch cyfarfod chwi heddyw, etto pe buasai holl Stoiciaid a Metaphysicians y byd yn ceisio fy mherswadio na allaswn wneyd fy newis ai dyfod yma a'i peidio, ni buaswn yn eu coelio. A gallasai Adda beidio bwyta o ffrwyth y pren, mor hawdd ag y gallaswn inau beidio dyfod yma heddyw. 5. Ond os gofynwch pa fodd,—pa gysondeb? &c. nid oes genyf ond dywedyd gyda'r Apostol, 'O ddyfnder—mor anchwiliadwy—mor anolrheinadwy!' Pa fwyaf a feddyliwyf am resymiadau y Doctor Williams ac eraill ar y mater hwn, cadarnaf yn y byd yr wyf yn meddwl, ei fod yn rhy ddwfn i'w blymio ag un blymen o ddeall dynol.

## GOFYNION.

Syr,—Gan fod eich Trysorfa yn gyfrwng gwybodaeth i'r Dywysogaeth, a bod rhyddid i'ch cyd wladwyr ysgrifenu iddi; minnau, fel un o'i darllenwyr gwastadol, a ddymunaf a'r i'r hyn a ganlyn gael ymddangos ynddi.

Gobeithiaf y bydd i chwi, neu un o'ch Gohebwyr deallus, ddangos pa fodd y mae dirnad a chysoni yr hyn a ddywed Matthew a Marc mewn perthynas i'r dyn a'r lleng

cythreuliaid. Dywed Matthew (pen. viii. 28,) 'Ac wedi ei ddyfod ef, i'r lan arall, i wlad y Gergesiaid, dau ddieflig a gyfarfuant âg ef," &c. Ond dywed Marc (pen. v. 2.) 'Ac ar ei ddyfodiad ef allan o'r llong, yn y man cyfarfu âg ef o blith y beddau ddyn âg ysbryd aflan ynddo, &c.'

*Ll-n-dd-n.* IEUAN WYDDYN.

---

Mr. Cyhoeddwr,—Da fyddai genyf gael eglurhad ar yr adnod ganlynol (Matthew xii. 40.) 'Canys fel y bu Ionas dridiau a thair nos yn mol y morfil, felly y bydd Mab y dyn dridiau a thair nos yn nghalon y ddaear.' Bydded i chwi neu un o'ch Gohebwyr deallus, ddangos mewn modd goleu ac eglur, a hawdd ei ddeall i blant yr ysgolion Sabbothol yn gyffredinol: pa fodd y bu corph yr Arglwydd Iesu yn y ddaear dridiau a thair nos, &c.

IEUAN WYDDYN.

## ATTEBION.

***Atteb i Ofyniad R. J. Buckley, yn Rhif. 93. tu dalen 274. am 'amser terfynedig dyn.'***

Y Gofyniad yw, 'Gan y dywedir yn Iob vii. 1. Fod amser terfynedig i ddyn ar y ddaear, a ydyw pob un yn cyrhaedd hyd at y terfyn hwnw, ai nad yw?'

Atteb. Ydyw yn ddiau, mae pob un yn cyrhaedd hyd at y terfyn hwnw, ac nid â drosto chwaith. Iob xiv. 5.

CYHOEDDWR.

---

***Atteb i Ofyniad Hen Fethodist, yn Rhif. 93. tu dalen 274. am Gofrestraeth bedyddiadau.***

Mae sefydliad y Gyfraith newydd am Gofrestraeth Genedigaethau, wedi peri nad yw yn angenrheidiol mewn un modd wrth dystiolaeth am fedydd plant mewn achosion gwladol mwyach. Canys tystiolaeth am enedigaeth yn unig ac nid am fedydd sydd yn ofynol o hyn allan ar achosion gwladol.

Peth eglwysig yn unig yw cadw Cyfrestraeth bedyddiadau bellach. Am hyny, er mwyn hysbysrwydd ac iawn drefn, mae yn addas ac yn angenrheidiol iawn bod mor ofalus ag o'r blaen am gadw Cofrestraeth lân, a chywir am Fedyddiadau plant, a hyny fel rheol eglwysig yn unig. Gobeithir y gwneir hyn gyda gofal a manylrwydd drwy holl Gymru. CYHOEDDWR.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dalen 274)

***Nodweddiad Cenhadol yr Eglwys yn y tymhor hwn, sef o'r flwyddyn O. C. 325, hyd 1073.***

Yn yr Aipht y dechreuodd yr arferiad o *fywyd meudwyol* (Hermit life), a *bywyd mynachaidd* (Cloister life). Ac fel hyn y dechreuasant. St. Anthony, pan oedd yn ieuanc, a glywodd y geiriau hyny o eiddo ein Harglwydd Iesu Grist, 'Gwerth yr hyn oll sydd genyt, a dyro i'r tlodion, a thyred, canlyn fi.' Gan dybied fod yn ddyledswydd ar ddyn duwiol i gyflawni y gorchymyn hwn yn llythyrenol, efe a wnaeth hyny. Rhoddodd ei holl eiddo i'w rhanu rhwng y tlodion, ac efe a ymneillduodd i fyw ar ei ben ei hun, lle y treuliodd efe weddill ei fywyd mewn myfyrdod a gweddi, gan gospi ei gorph a'i ddwyn yn gaeth, rhag iddo fod yn anghymeradwy; ac er hyny, efe a fu byw felly i fyned yn gant a phum mlwydd oed. Hyn a fu yn y flwyddyn O. C. 356. A dyma ddechreuad bywyd mynachaidd.

Ei ddull fel hyn o ymneillduo o blith dynion i fyw yn dduwiol a ennillodd iddo yr enwad o Sant. Ac ar ei ol ef, ymneillduodd amryw o grefyddwyr yr oes hono, yn y cyffelyb fodd; a galwyd hwynt yn Monachod, (*Monks*) neu Hermits. Yn y ganrif ganlynol, yn amser Basil, Esgob Cesarea, cytunodd y Mynachod i fyw ynghyd, dan yr un tô cyffredin, o dan reolau pendant, ac a ddefnyddiasant eu hamser mewn amrywiol arferiadau crefyddol, a gorchwylion tymhorol: y cyfryw ydoedd dechreuad y Monachlogydd. Cynnyddodd y rhai hyn yn fawr mewn rhifedi mewn ychydig amser, yn enwedig yn yr Aipht a Syria; a'r bri mawr a chyffredinol a roddid i drigolion y Mynachlogydd, y rhai erbyn hyn a gynnwysent gymdeithasau o feibion, a chymdeithasau o ferched, a barodd eu cyfrif yn brif Athrofäau dysgeidiaeth, uwchlaw un math o Ysgoldy arall; ac oherwydd hyny hefyd y dewiswyd y rhan fwyaf o'r Athrawon a'r Esgobion allan o'r Monachdai hyn. Ond nid oedd y Cymdeithasau hyn yn y Monachlogydd, wedi gwneud diofryd i ymattal oddiwrth briodi y pryd hyny; ac ni ddaeth yr ymrwymiad afresymol hwn i fod yn gyffredinol hyd y chweched ganrif.

Yn y Canrifoedd blaenorol, yn enwedigol yn Mrydain, Ffrainc, a Germany, yr oedd nifer mawr o'r cymdeithasau meudwyaidd hyn. Fe fu y Monachdai hyn yn offerynol dros lawer o flynyddoedd i annog dysgeidiaeth, i ysgrifenu Copïau o'r Ysgrythyrau, ac i'w taenu ar led, yn gystal ag i daenu gwybodaeth o'r grefydd Gristionogol mewn ardaloedd tywyll ac annysgedig

Amryw o'r gwledydd Gorllewinol a gawsant eu haddysgu mewn Amaethyddiaeth tir allan o'r Mynachdai hyn, ynghyd ag addysgiadau mewn Celfyddydau a Gweithfäoedd o amryw fath. Cyhoeddwyd amryw lyfrau mewn gwahanol ieithoedd, ar wahanol ganghenau o Athrawiaeth yr Efengyl, ac ymarferiadau crefyddol, ac ar amrywiol gelfyddydau a gwybodaethau buddiol, gan y Cymdeithasau crefyddol hyn. Yn y golygiad hwn, bu y Mynachdai yn Lerin, Luxen, a Corvey, yn Ffrainc; Hy, yn y Werddon; a Bangor Is y Coed yn Nghymru; a St. Gall, Hirschau, a Fulda, yn Germany a Switzerland, yn offerynol i daenu gwy-

bodaeth Gristionogol, o ran y broffes o honi, beth bynag, dros ororau tywyll ac anwybodus preswyliedig gan ein-cynoeswyr.

Hanes byr am un o'r Mynachdai hyn ni fydd yn anfuddiol, nac yn annifyr i'n darllenwyr, yn y lle hwn. Erroul, Abbad, neu Ben-Mynach mewn Monachdy yn Ffrainc, yn y chweched ganrif, oedd yn nodedig oherwydd ei dduwioldeb; ond oherwydd ei fod yn canfod yr anrhydedd ag oedd yn ei gael oherwydd ei dduwiol frydedd, yn dechreu effeithio arno i'w wneud yn hunanol a chwyddedig, efe a ymneillduodd, gyda thri ereill o'i gyfeillion, i goedwig bellenig, lle nad oedd neb yn preswylio ond lladron a bwystfilod gwylltion. Yma yr ymsefydlasant yn gyfagos i darddiad afon, gan wneuthur iddynt fythod o frigau coed wedi eu dwbio â chlai. Cyn hir daeth un o'r Yspeilwyr attynt, ac a ddywedodd yn eglur wrthynt, yn bwyllog, fod eu bywyd mewn perygl, na fyddai iddynt gael eu goddef i breswylio o fewn treftadaeth yr Yspeilwyr. Erroul a attebodd ac a ddywedodd wrtho, nad oedd arnynt hwy ddim ofn dyn, yr hwn nid allai ladd ond y corph; ac am eiddo nid oedd ganddynt hwy ddim i'w golli; ac nad oedd bossibl fod neb yn elynion iddynt hwy, oherwydd nad oeddynt hwy yn gwneud dim cam â neb. Efe a ddywedodd wrth yr yspeiliwr, y gallai efe gael bod mor anymddibynol a hwythau pe byddai iddo roi heibio yr alwedigaeth anonest oedd ganddo mewn llaw, a dyfod yn was i'r gwir Dduw; ac oni wnai efe hyny, efe a ddymunodd arno ystyried fod barn Duw yn aros pob un o weithredwyr anwiredd. Cafodd cyfarchiad syml a phwysfawr yr Abbad effaith ddwys ar feddwl y dyn.

Boreu dranoeth efe a ddaeth attynt drachefn, ac a ddyg i'r Abbad rodd o dair torth bychain allan o'i ystôr fechan, gyda theisen o fel gwyllt; ac efe a berswadiwyd i aros gyda hwynt, ac i drin tir yn yr anialwch, ac i ennill ei fara drwy lafur ei ddwylaw. Yn fuan darfu i ereill o'r yspeilwyr ymuno â hwynt. Fel hyn yn raddol y cododd Monachlog Ouche, yn Normandy, yr hon sydd hyd heddyw ar enw y gwr duwiol Erroul, yr hwn a'i sylfaenodd.* Wedi hyny mewn amser darfu i bymtheg o Fonachlogydd ereill darddu o'r Fonachlog hon, megis canghenau o honi; a thrwy eu hofferynoliaeth hwynt cafodd yr holl gymydogaeth ei hwsmonaethu, a'i ffurfio yn gwmmwd o Eglwys gristionogol. Hyn a fu yn y chweched ganrif. Da fuasai i'r Eglwysi pe buasai y cymdeithasau a'r sefydliadau hyn yn parhau megis yr oeddynt yn y dechreu. Ond buan y llygrwyd hwynt, ac y daethant gan mwyaf i fod yn lletty coelgrefydd a drygioni.

Anfonwyd allan o Fonachlogydd Brydain a'r Werddon amryw o genhadon heddwch i bregethu yr Efengyl, ac i daenu gwybodaeth o'r grefydd gristionogol ar Gyfandir Ewrop.

O Frydain yr aeth yr Efengyl i'r Werddon, ac oddiyno y trosglwyddwyd hi i Ddeheudir Germany. Prif offeryn yn nychweliad y Gwyddelod oedd Patricius, (yr hwn a elwir yn gyffredin yn St. Patrick), yr hwn a anwyd yn Scotland, ynghylch y flwyddyn 372.

*Hanes Patricus (St. Patrick.)*

Ei dad ef oedd Weinidog yr Efengyl yn Scotland, ac yr oedd ei fab Patricius yn cael ei ddwyn i fynu yn grefyddol o'i febyd; ac yr oedd ei feddwl i raddau dan argyhoeddiadau ac argraffiadau sobr gair yr Arglwydd pan cyn ei fod yn unarbymtheg oed. Pan oedd Patricius yn 16 mlwydd oed, cymmerwyd ef, yngbyd ag amryw ereill, gan fôrladron i'r Werddon, ac fe'i gwerthwyd ef yn gaethwas i Amaethwr tir, yr hwn a'i gosododd ef i edrych ar ol yr anifeiliaid ar y mynyddoedd ac yn y goedwig. Yn y sefyllfa hon efe a ddyoddefodd lawer o galedi, drwy newyn a noethni, yr hyn a'i gyrodd ef i weddio yn daer ar Dduw; ac felly daeth cymdeithas â'r hwn sydd yn anweledig yn fatter o angenrheidrwydd i Patricius, fel yr arferai efe anfon saethweddiau atto ef gan waith yn y dydd; ac efe a gyfodai cyn dydd i weddio ar Dduw, a hyny ar amser eira, rhew, a gwlaw y gauaf oer. Wedi iddo fod yn y cyflwr caethiwus hwn am chwe blynedd, efe a ymadawodd, ac a aeth at lan y mor pellenig, ac a gafodd lestr yn hwylio i Scotland, ei wlad enedigol. Ac wedi iddo lanio, yr oedd ganddo daith ddyrys o 27 o ddyddiau, cyn cyrhaeddyd ei gartref.

Efe a gyrhaeddodd ei gatref, fodd bynag, ond ymhen y tair blynedd wedi hyny, fe'i cymmerwyd ef drachefn gan forladron; ond ni bu gyda y rhai hyny ond dau fis. Ac wedi iddo gael ei ryddhau y tro hwn, teimlai ei hun yn rhwym yn ei yspryd wrth wlad ei gaethiwed, i fyned allan i bregethu yr Efengyl yno.

Ac yn y flwyddyn 431, efe a aeth drosodd i'r Werddon, ac yr oedd holl drigolion y wlad hono y pryd hyny yn baganiaid. Efe a deithiodd drwy yr holl wlad yma a thraw i bregethu yr Efengyl i'r bobl, ac yr oedd cyn nulleidfeydd mawrion yn ymgrynhoi ynghyd ar wyneb y maesydd i wrando arno Yr oedd ganddo ddyn i'w ganlyn i guro ar dabwrdd (*drum*) ymhob man lle yr elynt, i alw y bobl ynghyd i'w wrando, yn ol arferiad y dyddiau hyny. Fel yr oedd efe yn ffyddlon a deffrous i bregethu Crist croeshoeliedig iddynt, câi y gair argraff ddwys ar feddyliau llawer o'r dynion anwâr hyn. Efe a osododd i fynu ysgolion mewn amryw fanau; ac a fu yn foddion i hysbysu gair yr Arglwydd i lawer iawn o genedl y Gwyddelod. A chyn ei farwolaeth, yr hyn a fu pan oedd efe yn 121 mlwydd oed, efe a gafodd yr hyfrydwch i weled agos holl genedl y Gwyddelod yn proffesu cristionogaeth.

Nid yn hir wedi hyny, sef yn y flwyddyn 516, y sylfaenwyd Monachlog Bangor Is y Coed, yn Ngogledd Cymru; ac o'r Sefydliad hwn y dechreuwyd y Sefydliadau St. Gall a Columban, o'r lleoedd yr aed allan, ac y cyhoeddwyd Efengyl Crist yn nhiroedd anial Deheubarth Germany.

Mae nodweddiad Martin, hefyd, Esgob Tours, yn deilwng o sulw. Mab oedd ef i swyddog milwraidd o Rufain. Ganwyd ef ynghylch y flwyddyn 316, ac efe a ymunodd a'r fyddin pan yn 15 oed.

Er nad oedd efe etto wedi ei fedyddio, yr oedd yn nodedig o garuaidd ymhlith ei gyd-filwyr. Un tro, pan yn marchogaeth gyda ei fyddin i Amiens, wrth fyned heibio yn y gauaf efe a ganfu ddyn tlawd, yn gorwedd, yn hanner noeth, a bron a sythu gan oerfel. Yn y fan, efe a gipiodd ei gleddyf, ac a dorrodd ei glôg yn ddwy ran, ac a roddes un ran i'r dyn tlawd, ac a gymmerodd y rhan arall iddo ei hun. Cyn gynted ag y dybenodd efe ei ymgyrch yno, efe a ymwelodd a Hilary dduwiol, Esgob Poictiers, ac a ddymunodd gael ei fedyddio. Ac fe ddeisyfodd yr Esgob da hwn arno i ymroddi i waith y Weinidogaeth. Ond ewyllysiai Martin yn gyntaf ofyn cydsynied ei rieni, y rhai oeddynt y pryd hyny yn baganiaid; ac ar ei ffordd adref, efe a gyfarfu a mintai o yspeilwyr, un o honynt a dynodd ei gleddyf i hollti ei ben ef. Safodd Martin yn wrol yn ei wyneb; gofynodd yr yspeiliwr, pwy oedd efe; ac efe a attebodd, 'Cristion ydwyf fi, ac nid oes arnaf ofn marw; ond yr hyn sydd yn fy ngofidio i ydyw, eich bod chwi mor bell oddiwrth Grist.' Effeithiodd yr atteb hwn gymmaint ar yr yspeiliwr, fel y gyllyngodd efe ef i fyned ymaith heb niwed. Ac nid hir y bu wedi ei ddychweliad adref heb gael yr hyfrydwch o weled ei fam wedi ei hennill i ffydd Crist.

Efe a ymroddodd i bregethu Crist i bechaduriaid ar hyd y wlad. Yna cododd erledigaeth boethlyd i'w erbyn; ac o'r diwedd fe'i fflangellwyd ef allan o'i wlad. Ac ar ol hyn efe a ddychwelodd at Hilary; ac efe a aeth, a adeiladodd Fonachlog yn Ffrainc; yr hon sydd yn parhau hyd y dydd hwn, ar ben craig serth yn agos i lan yr afon Loire, lle yr ymgasglodd o gylch 80 o wyr ieuainc yn fuan atto, y rhai drwy dlodi a hunanymwadiad, a barottowyd i fyned allan i ddyoddef caledi gwaith y weinidogaeth. Cododd nifer mawr o Esgobion a phregethwyr i fynu o'r Athrofa hon, ac a ymroisant i lafurio yn y maes eang, gan wrteithio ac adeiladu Eglwys Crist. Dewiswyd Martin ei hun yn Esgob Tours; ac yn y sefyllfa hono yr oedd yn llafurus iawn yn teithio i ymweled â holl ardaloedd Deheudir Ffrainc, gan bregethu i'r paganiaid y ffydd sy yn Nghrist Iesu.

Un tro, efe a aeth i bentref llawn o baganiaid, y rhai oll a redasant allan o'u tai i'w weled ef. Ar yr olwg ar y gynnulleidfa fawr hon, llanwyd ei galon â'r fath dosturi tuag attynt, wrth weled eu cyflwr truenus fel yr aeth ar ei liniau, ac a weddiodd ar Dduw yn daer drostynt. Wedi hyny efe a safodd i fynu ac a lefarodd wrthynt, gan ddymuno yn daer a serchiadol arnynt ystyried yn ddifrifol eu cyflwr tragywyddol. Effeithiodd hyn yn fawr arnynt oll. Bu farw Martin ynghanol ei fawr ddefnyddioldeb, yn y flwyddyn 397. Efe a drodd drosodd, yn ei Ewyllys diweddaf, ei holl oruchwyliaeth i'w ganlynwyr, i'r dyben o fyned a'r gwaith a'r llafur ymlaen. Ymysg ei ddysgyblion ef, yr oedd dau o honynt yn enwog iawn, sef Germanus a Lupus; y rhai, yn y dyddiau terfysglyd hyny, a hauasant mewn dagrau yr had gwerthfawr yn y maes a arddwyd yn gwysau dyfnion yn Mrydain a Ffrainc. Byddai yn dda genym roddi chwaneg o hysbysrwydd yn eu cylch pe byddai ein terfynau yn caniattau.

(I'w barhau)

---

## BLODAU PERAROGLAIDD.

'TRUGAREDD FADDEUOL,'—Ddarfod i'r Duw anfeidrol a sanctaidd bassio heibio i'r angelion syrthiedig y rhai oedd gogoniant ei greadigaeth, a bwrw godre mantell ei drugaredd faddeuol dros greaduriaid gwrthyn a thruenus y llawr, y rhai oeddynt yn gorwedd ac yn ymdrabaeddu yn eu gwaed, ac yn eu halogrwydd; a dyrchafu llwch a lludw uwchlaw i bob tywysogaethau ac awdurdodau; a dewis llestri o barch o blith gwrthrychau diystyrwch: *dyma* weithred ogoneddus o faddeuant, wedi ei chwblhau gan drugaredd a gras, am yr hyn nis gellir rhoddi unrhyw reswm, ond yn unig daioni ac ewyllys da yr *Hwn* sy'n llywodraethu pob peth yn ol cynghor ei ewyllys ei hun.

'PARCHEDIG OFN,'—Lle nad oes ofn yn bod, nid oes yno lywodraeth. Yn awr, trwy ba foddion y mae Crist yn creu ac yn dwyn arswyd gostyngedig ac ofn parchus i galonau ei ddilynwyr? Nid trwy ddirboen yr arteith-glwyd, nid trwy gaethiwed y carchar, neu trwy weithrediad y cleddyf; ond trwy foddion tyner, addfwyn, ac ynillgar, sef *maddeuant a thrugaredd*. Yn y ffordd hon mae yn rhwymo y galon, ac yn ei chymhell i wir ufudd-dod; ac yn gwneuthur ei ddisgyblion yn ddyfal at ei ewyllys, ac yn wyliadurus rhag troseddu i'w erbyn. Canys, 'y mae gyda thi faddeuant fel y'th ofner.'

'CYFEILLGARWCH,'—Mae cymmwynasgarwch ac ewyllys da perthynasau a chyfeillion yn dra cyfnewidiol, ac yn hynod o'r ansicr; a'r cyfeillgarwch a ddangosant ar gyfrif unrhyw wiwdeb a theilyngdod, yn fynych a droir yn ol o herwydd eu mympwy a'u tuedd gwammal. Ond y'nghyfeillgarwch Crist nid oes yr un o'r gwendidau

hyn, fe bery byth yn anghyfnewidiol, ac yn ffyddlon hyd yr eithaf, 'Canys nid oes na thywysogaethau, nac awdurdodau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod;' ie, na holl gynddaredd uffern, a ddichon fyth dynu cymmaint ag un o gyfeillion Crist o'i fynwes, na chymmeryd un o'i feddiant. 'Y rhai a gâr efe, efe a'u câr hwynt hyd y diwedd.'

LLARIEIDD-DRA AC AMYNEDD,'--Mae llarieidd-dra ac amynedd, yn gweddu yn odidog i'r cristion. Yr oedd Moses a Christ yn enwog ragorol yn y ddau rinwedd hyn. Yr oeddynt o feddwl rhy fawreddog i wneuthur na thrais na gormes, ond nid oeddynt yn rhy fawreddog i ddioddef; eithr dioddefasant yn llariaidd ac amyneddgar.

'LLAWENYDD A CHYSTUDD.'—Fel pelydrau hyfryd yr haul yn nhymor oeraidd y gauaf, ydyw llawenydd gwirioneddol yn amser cystudd.

'DEDWYDD-FYD.'—Mae dedwydd-fyd mor gyfnewidiol a'r gwynt, ac mae'n gyffelyb i'r gwynt mewn golygiad arall, canys nis gwyddom 'O ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned.'

'YMNEILLDUEDD,'—Ymneillduedd ydyw athrofa doethineb, yno hi a ddysg ac a ddatguddia in' ddirgeledigaethau, y rhai mae'r byd yn hollol ddieithr iddynt.—(Hos ii. 14.) 'Ac mi a'i dygaf i'r anialwch, ac a ddywedaf wrth fodd ei chalon.'

*Caerlleon.* Cyf. IOAN MECHAIN.

---

GWYL DDIRWESTAWL DOSPARTH CAERDYDD.

Dydd mawrth Awst yr 21ain, cynhaliwyd Gwyl ddirwestol y dosparth uchod yn Nghaerdydd. Y nos lun blaenorol pregethodd y Parch. Henry Rees, o Lynlleifiad, i dorf luosog iawn, yn nghapel Sion, oddiwrth Salm. xc. 12. Bore dydd mawrth am 9½, aelodau Cymdeithas y dref a gerddasant yn rheolaidd, ychydig allan, i gyfarfod Cymdeithasau Llandaf, Gwaunfo, Dinaspowis, Croesfaen, Llantrisant, Pont-y-typridd, Tonyrefail, Dinas-y-cymmer, a Glynogwr, aelodau pa rai a ddaethant i mewn yn gannoedd mewn rhifedi, a cherddasant i mewn gan chwifio eu Baneran Sidanaidd, a chanu anthemau dirwestawl, hyd nes y cyrhaeddasant y farchnadfa. O herwydd bod y tywydd yn rhy anghysurus i fyned i'r maes cynhaliwyd cyfarfodydd y boro yn Ngapel Sion, ac yn y Farchnadfa. Yn y cyntaf dewiswyd R. Smith, Ysw. o Aberafen, yn Gadeirydd; ac areithiodd Mr. R. Parry, Bangor, a'r Parch. H. Rees: y cwbl yn Gymraeg. Cynhaliwyd ar yr un amser, Gyfarfod Saesnig yn Dy'r farchnad: ac wedi galw ar C. Vachell, Ysw. i'r Gadair, areithiodd y Parch. D. Davies, Abertawe, a Mr. Powell, Birmingham.

Am hanner awr wedi un, y Dirwestwyr oll a ffurfiasant eu hunain yn orymdaith fawr; ac wedi eu blaenori gan y Bonedd-igion a'r Gweinidogion, cerddasant trwy brif heolydd y Dref i Gae, lle yr oedd dwy areithfa wedi eu codi i fynu i annerch y Cymry a'r Saeson ar wahan. Gyda'r cyntaf dewiswyd R. Smith, Ysw. yn Gadeirydd; ac areithiodd y Parch. W. Evans, Tonyrevail, a H. Rees; a chyda'r olaf galwyd ar C. Vachell, Ysw. i'r gadair; ac areithiodd y Parch. S. Smith, D. Davies, a Mr. Powell. Yn yr hwyr, am hanner awr wedi chweoh, cynhaliwyd cyfarfod Cymreig yn Ngapel Sion, pryd y dewiswyd y Parch. E. Morgans, yn Gadeirydd: ac areithiodd Mr. R. Parry, Bangor, a'r Parch. D. Davies, Abertawe, yn Ngapel y Wesleyaid, yn Saesoneg. Ar yr un amser dewiswyd R. Charlton, Ysw. o Gaerodor, yn Gadeirydd; ac areithiodd Mr. Powell, o Birmingham.

Ni welwyd y fath dyrfa yn y dref hon erioed; ni ddychmygodd y gwrth-ddirwestwyr y gallem ddangos y fath luaws o ddynion sobr yn yr un man. Bu y diwrnod hwn yn un llwyddiannus iawn i'r achos dirwestol, trwy argyhoeddi cannoedd, a pheri i gannoedd o'r rhai hyny na arwyddant eu henwau ar Lyfrau y Gymdeithas addaw peidio dweud yn ein herbyn byth mwyach.

Ymdrechwyd ein haflonyddu amryw weithiau, trwy anfon dynion allan i lusgo *Trucks* a chwrw arnynt i ymyl y Cae ar amser y cyfarfod prydnawnol. Eithr ni lwyddodd un o'r offerynau, ond yn unig i greu atgasrwydd yn meddyliau llawer at y ddiod feddwol. Tarawyd blaenor y *Police* gan un o'r dynion afreolus, ar ei arlais, am yr hyn cymerwyd ef i fyny, a phrofwyd ef yn euog, ac anfonwyd ef am ddeufis i'r carchar. Ein gobaith yw y bydd yr ymddygiad yma o eiddo'r Swyddogion yn esiampl nid yn unig i'r carcharor, ond hefyd i'r Masnachwyr a'i hanfonodd ef allan ymhlith y lleill o'r *mob* i aflonyddu byddin sobrwydd. Ychwanegwyd at y Gymdeithas wedi bore dydd yr wyl 322. Gan ddymuno llwydd i bob sefydliad da, y terfyna yr eiddoch,

*Caerdydd.* THOMAS THOMAS.

---

## GRAMMADEG CYMRAEG.

### PRIFEIRIAU AFREOLAIDD.

Prifeiriau afreolaidd ydynt y cyfryw na chymerant y terfyniadau neu y gobenyddion rheolaidd pan y'u treiglier drwy yr amrywiol foddau ac amserau, fel y gwelir isod.

*Yn gyntaf,* { Myned. / Dyfod, dywod. / Gwneuthur, gwneud.

LLEFERYDD GWEITHREDOL.

**Modd Mynegol.**

AMSER GORPHENOL.

Unigol.

1 Yr wyf yn myned, dyfod, neu yn gwneuthu,

2 Yr wyt yn myned, dyfod, neu yn gwneuthur
3 Y mae yn myned, dyfod, neu yn gwneuthur

Lliosog.

1 Yr ydym yn myned, dyfod, neu yn gwneuthur
2 Yr ydych yn myned, dyfod, neu yn gwneuthur
3 Y maent yn myned, dyfod, neu yn gwneuthur

AMSER ANORPHENOL.

Unigol.

| | |
|---|---|
| 1 *Person* | Aethwn, euthwn<br>Daethwn, deuthwn<br>Gwnaethwn, gwneuthwn |
| 2 *Person* | Aethit, euthit<br>Daethit, deuthit<br>Gwnaethit, gwneuthit |
| 3 *Person* | Aethai, euthai<br>Daethai, deuthai<br>Gwnaethai, gwneuthai |

Lliosog.

| | |
|---|---|
| 1 *Person* | Aethem, euthem<br>Daethem, deuthem<br>Gwnaethem, gwneuthem |
| 2 *Person* | Aethech, euthech<br>Daethech, deuthech<br>Gwnaethech, gwneuthech |
| 3 *Person* | Aethent, euthent<br>Daethent, deuthent<br>Gwnaethent, gwneuthent |

AMSER GORPHENOL.

Unigol

| | |
|---|---|
| 1 *Person* | Aethym, aethum, euthum<br>Daethym, daethum, deuthum<br>Gwnaethym, gwnaethum, gwneuthum |
| 2 *Person* | Aethost, euthost<br>Daethost, deuthost<br>Gwnaethost, gwneuthost |
| 3 *Person* | Aeth, ethyw<br>Daeth, deddyw<br>Gwnaeth, gwneddyw, gorug |

Lliosog.

1. Aethom, Daethom, Gwnaethom.
2. Aethoch; Daethoch; Gwnaethoch.
3. Aethant, *neu* aethont; Daethant *neu* daethont; Gwnaethant, *neu* gwnaethont

AMSER TRAGORPHENOL

Unigol

1. Aethwn, Daethwn, Gwnaethwn.
2. Aethit, Daethit, Gwnaethit.
3. Aethai, Daethai, Gwnaethai.

Lliosog.

1. Aethem, Daethem, Gwnaethem.
2. Aethech, Daethech, Gwnaethech.
3. Aethent, Daethent, Gwnaethent.

AMSER DYFODOL.

Unigol.

| | | |
|---|---|---|
| 1. Af; | Deuaf, dawaf, *neu* dof; | Gwnaf. |
| 2. Ai, *neu* ei; | Deui, dewi, *neu* dei; | Gwnai. |
| 3. A; | Daw; | Gwna. |

Lliosog.

| | | |
|---|---|---|
| 1. Awn; | Deuwn, dawn, *neu* down; | Gwnawn. |
| 2. Ewch; | Deuwch, dewch, *neu* dowch; | Gwnewch |
| 3. Ant; | Deuant, dawant, *neu* dont; | Gwnant. |

---

## SILLEBIAETH CYMRAEG.

Nid ydym yn nodi un gair yn ein sylwadau dan y pen hwn, ond geiriau ydym yn godi o Ohebiaethau ydys yn anfon attom i'r Drysorfa. Ond pa beth a wnawn pan fyddo yr un rhai yn syrthio drachefn i'r un trosedd nis gwyddom, onid awn dros yr un sylwadau eilwaith. Byddai hyny yn ddiflas i'r rhai athrylithgar a chraffus, ac fe allai yn ddieffaith dda i'r rhai cyndyn ac anufudd.

*Trieni*—Nid felly y dylai fod, ond *Trueni*, canys o'r gair *truan* y tardd efe; felly hefyd *truenus*, oblegid nid yw *trieni*, *trian*, *trienus*, yn eiriau o iaith yn y byd. Na sillebwch y sill cyntaf yn *tri*, ond *tru*.

*Tewyllwch*—Na sillebwch y gair hwn felly, canys nid yw *tew* yn perthyn iddo mwy na *teneu*, ond *Tywyllwch*, o'r gwreiddyn *tywyll*, ac nid o *tewyll*, oblegid nid yw *tewyll* yn air yn y byd.

*Mae yno gymmaint o fabanod---Mae yno gymmaint o bobl*---Nac ysgrifenwch felly am *nifeiri* o unrhyw bethau, ond am faintioli y peth. Os am *fabanod*, *plant*, *pobl*, *coedydd*, *llysiau*, *ser*, neu ryw *nifeiri* o bethau y byddwch yn ysgrifenu neu yn llafaru, na ddywedwch *cymmaint*, ond *cynnifer*. Ond os am *faintioli* rhyw beth y byddwch yn ysgrifenu, neu yn llefaru, dywedwch, *cymmaint*. Fel hyn:---

Mae yno *gynnifer* o fabanod---Mae yno *gynnifer* o bobl---Mae yno *gynnifer* o goedydd---Mae yn yr ardd *gynnifer* o lysiau---Mae yn yr awyr *gynnifer* o ser, &c. &c.

Ac fel hyn am y gair *cymmaint*. Mae yno *gymmaint* o bridd-- Mae yno *gymmaint* o dir---Mae yno *gymmaint* o ddwfr---Mae yn y nefoedd *gymmaint* o orfoledd, a *chymmaint* o heddwch, &c. &c. Mae byrdra mawr o sulw ar hyn gan ysgrifenwyr Cymraeg.

---

## HANESIAETH CENHADOL.

---

### BEDYDD UN O'R CHINEAID.

Mr. Medhurst, y Cenhadwr, ynghylch dwy flynedd yn ol, a ddyg gydag ef o China i'r deyrnas hon, wr ieuanc o'r enw *Choo Tih Lang*, yr hwn oedd yn ei wasanaeth ef fel Ysgrifenydd Chinäeg, pan oedd efe yn ysgrifenu Cyfieithiad o'r Ysgrythyrau Sanctaidd yn yr Iaith hono.

Er pan ddaeth y Chinead ieuanc hwn i'r wlad hon, yr oedd yn trigfanu gyda Mr. Medhurst yn Hackney, ger llaw Llundain. Tra yno, dangoswyd tiriondeb mawr tuag atto, gan amryw Gristionogion. Rhoddwyd iddo bob hyfforddiant ac addysg grefyddol. Dysgwyd ef i ddarllen a deall yr Iaith Saesoneg, gyda diwydrwydd mawr, nes y daeth efe yn ddigon medrus i allu deall pregethu yn yr Iaith hono. Cyrchai yn gyson i'r Capel i wrando ar Dr. Burder. Cyn hir canfuwyd fod cyfnewidiad yn cael

ei weithredu yn ei ysbryd a'i ymddygiad. Cymmerwyd llawer o drafferth gydag ef i eglurhau meddwl Duw yn yr Ysgrythyrau iddo.

Ac ers rhyw amser yn ol dangosodd *Choo Tik Lang* fod arno chwant cael ei fedyddio yn y Grefydd Gristionogol. Efe a lwyr benderfynodd roi heibio eilunaddoliaeth, a thystiolaethodd ei fod yn credu gwirionedd Cristionogrwydd, a gair Duw; ei fod yn ymddiried yn y Gwaredwr, a'i fod yn dymuno byw a marw yn ngwasanaeth Crist. Sylwai Mr. Medhurst yn fanwl, yn nghyd ag amryw o'i gyfeillion crefyddol ar ei holl ymddygiadau, i edrych a oedd argoelion digon amlwg o wir ddychweliad arno, a'i fod yn wrthrych cymhwys i gael ei dderbyn yn aelod eglwysig drwy yr ordinhad o fedydd. Gafwyd o'r diwedd hollol foddlonrwydd yn hyn. Mae ei erfyniad taer am gael ei fedyddio, a'i resymau o blaid hyny, i'w weled yn amlwg iawn mewn llythyr a anfonodd efe at Dr. Burder, dyddiedig Gorphenaf 6, 1838, cyfysgrif o'r hwn a welir isod:—

"Fy Anwyl Syr,—Yr wyf yn ddiolchgar i Dduw am i mi gael fy nwyn i'r wlad hon; a'm bod wedi gallu aros ynddi cyhyd; yr wyf yn ddiolchgar iawn fy mod wedi cael fy nysgu gan gyfeillion caredig, i ddarllen y Bibl Saesoneg; ac yn awr yr wyf yn gwybod fy mod yn bechadur mawr; ond mae Crist wedi marw i mi gael maddeuant o fy mhechodau, yr wyf yn credu ynddo ef. Yr wyf yn credu mai efe yw Mab Duw; onite pa fodd y gallai gyflawni y fath wyrthiau, a gorphen ei waith mawr? Yr wyf yn deall fod yr Ysgrythyrau wedi eu llefaru drwy yr Yspryd Glan. Yr wyf yn gweled nad oes yn y nefoedd ond un haul, yn y deyrnas ond un brenin, felly nid oes yn y greadigaeth ond un gwir Dduw, ac un Gwaredwr, Iesu Grist, felly yr wyf yn gweled nad oes un ffordd arall i fwynhau dedwyddwch tragywyddol, nac i ochelyd gwae tragywyddol, ond trwy gredu ynddo Ef; canys fe ddywedodd Crist na chollir pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol.

Wedi i mi gael fy nysgu yn y gwirionedd mawr hwn, yr wyf yn teimlo fy hun yn ofidus oblegid fy mhechodau; am i mi dorri cyfraith Dduw, mewn meddyliau, geiriau, a gweithredoedd. Dyn claf wyf fi, ac yr wyf yn dymuno dyfod at y Meddyg mawr, i'm iachau. Yr oeddwn unwaith yn eistedd mewn tywyllwch, ond yn awr mae y gwir oleuni wedi llewyrchu i fy meddwl; ac mae megis pe byddai tywyllwch miloedd o oesoedd wedi myned heibio. Yr wyf yn credu yn Iesu Grist, Mab Duw; yr wyf yn cyfaddef fy mhechodau o flaen Duw. Anwyl Syr, a wnewch chwi fy medyddio I, fel y gallwyf ymuno â phobl Dduw yn y wlad hon? Fy ngwir ddymuniad yw, rhoddi fy hun yn gwbl i Dduw, yn aberth byw.

Cyn ysgrifenu o honof y llythyr hwn attoch, mi eisteddais i ddarllen y drydedd bennod o Ioan, ac a weddiais ar Dduw am roddi o hono ef i mi ei Yspryd Sanctaidd, i'm cadarnhau, a nerthu fy ffydd, modd y gallwyf roddi fy hun yn gyhoeddus i fyw i'w ogoniant ef. Gobeithio na omeddwch fy medyddio cyn i mi ddychwelyd i'm gwlad fy hun, China, lle yr wyf yn hyderu y bydd i Dduw fy nerthu i wneud rhyw ddaioni i'm cenedl fy hun, fel y delont hwythau i fod yn ddoeth er iachawdwriaeth. Os gofynwch, beth a wnaf os erlidiant fi? Rhaid i mi gofio beth a ddywedodd ein Harglwydd Iesu Grist pan yma yn y byd, 'Os daw neb ar fy ol i, ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded ei groes beunydd, a dilyned fi. Ac os câr neb dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd yn fwy na myfi, nid yw ddisgybl i mi.' Ac nid wyf fi yn ammeu dim, i ba le bynag yr elo yr Efengyl, fe fydd yno erledigaeth; ond os yw Duw yn goddef i ddynion erlid ei weision ef, mae hyny i'w profi hwynt. Pan elwyf yn fy ol i China, os na oddef y llywodraeth i mi ddysgu y grefydd gristionogol i'm cydgenedl, rhaid iddynt fy nghymmeryd i fynu, a'm cospi; ac yna fe'm cymmerir i wydd y llywodraethwyr. Mi ddilynaf siampl yr Apostol Paul, ac a weddiaf ar i Dduw fy nghynnorthwyo, fel y gallwyf lefaru yn hyf, fel y darfu iddo ef o flaen Ffestus. Fe allai, mai drwy y moddion hyn yr egyr Duw ddrws i'r Efengyl fyned i China. Ond os nad felly fydd, nid oes arnaf fi ddim ofn; canys, er y gallant ladd fy nghorph, nis gallant ladd fy enaid; ond yn hytrach mi a ofnaf yr hwn sydd yn abl i ddinystrio corph ac enaid yn uffern; canys Duw yw fy Nhad nefol; Iesu Grist yw fy Nghyfryngwr: os ymddiriedaf ynddo ef, efe a ofala am danaf, a'i Yspryd Sanctaidd am harwain, a'm sancteiddia, ac a'm dyddana.

Anwyl Syr, gobeithio nad anghofiwch weddio drosof (os caf yr hyfrydwch o ymuno â'r eglwys), pan eisteddoch i lawr wrth fwrdd yr Arglwydd. Mi feddyliaf fi yn aml, fod fy nghyfeillion crefyddol yn y wlad hon yn gweddio drosof, pan fyddwyf fi yn mhell oddiwrthych.

Gan ddymuno ar fod pob bendith yn dilyn eich pregethau. Amen ac Amen.

Ydwyf, Anwyl Syr, eich gostyngedig a'ch diffuant Gyfaill, CHOO TIH LANG."

---

Ar ddydd gwener Gorphenaf 20, fe fedyddiwyd y Cristion Chineaidd anwyl hwn, yn Nghapel Hackney, yngwydd cynnulleidfa fawr o dystion: fel hyn y bu—

Y Parch. I. Clayton a ddarllenodd yr Ysgrythyrau addas i'r perwyl, ac a aeth i weddi.

Y Parch. W. H. Medhurst, y Cenhadwr Chinëaidd, a roddodd hanes byr o'r achlysuron a barodd iddo ef ddyfod a Choo

Tih Lang i Frydain, o'r dull a gymmerwyd i'w addysgu yn y grefydd Gristionogol, &c.

Yna, Mr. Medhurst a ofynodd iddo y pedwar Gofynion canlynol, ac a dderbyniodd attebion iddynt, fel y canlyn.—

I. Paham yr ydych yn credu mai y Grefydd gristionogol yw y wir grefydd?

'Yr wyf yn credu,' medd Choo Tih Lang, 'mai Cristionogaeth yw y wir grefydd, am fod y Bibl yn air Duw, a bod yr hyn oll a ddywedodd y prophwydi am Iesu Grist wedi eu cyflawni pan ddaeth efe i'r byd. Cyn gynted ag y pechodd Adda, addawyd yr Iesu; ac ynghyflawnder yr amser yr Iesu a ddaeth. Heblaw hyny, mae yr Efengyl yn hysbysu i mi y cyfryw Iachawdwr ag sydd arnaf fi ei eisiau; ac hefyd yr wyf yn canfod fod ei holl orchymynion yn sanctaidd. Dyma y rhesymau sydd yn peri i mi gredu mai Cristionogaeth yw y wir grefydd.'

II. Pa resymau sy genych i brofi eich bod chwi yn gristion?

Yr wyf yn gostyngedig obeithio fy mod yn gristion, oherwydd yr wyf fi yn caru Crist, yr hwn a fu farw drosof. Yr wyf yn hoffi gweddio ar Grist. Yr wyf yn credu mai efe yn unig a ddichon fy achub oddiwrth bechod, ac oddiwrth y digofaint sydd ar ddyfod. Mae yn hoff genyf gydymddyddan â phobl Dduw, ac mae yn hoff genyf son am Grist wrth bawb; a phan âf yn ol i China, mi a ymdrechaf am ddwyn fy nghydwladwyr i adnabod Iesu Grist.

III. A ddarfu i chwi lwyr ymwrthod ag ymarferiadau eilunaddolgar y paganiaid?

'Gan fy mod yn caru Crist, nis gallaf yn hwy fod dim a wnelwyf ag ymarferiadau paganaidd. Mae yn wir y bu amser ag yr oeddwn yn eu hoffi, ond yn awr maent yn gas genyf. Eilunod ydynt waith dwylaw dynion, ac maent yn diflanu; ond Iesu Grist yw yr unig wir Dduw, ac efe yn unig wyf fi yn ddymuno ei wasanaethu.'

IV. A ydych chwi yn penderfynu, drwy nerth dwyfol ras, i barhau yn y broffes o Gristionogrwydd hyd ddiwedd eich oes?

'Yr wyf yn gweddio am i Dduw, drwy ei Yspryd sanctaidd, i fy ngalluogi i barhau yn ffydd ac ymarferiad yr Efengyl hyd angau. Fy ngwir ddymuniad yw rhoddi fy nghalon yn llwyr i Grist, ac i barhau yn ffyddlawn iddo hyd ddiwedd fy nyddiau.

Nid wyf yn penderfynu hyn yn fy nerth fy hun, canys egwan iawn wyf fi, ond yn nerth dwyfol ras, fel y gallwyf wybod chwaneg am Grist o ddydd i ddydd, a'i garu ef, a bod yn fwy ufudd iddo tra y byddwyf.'

Wedi derbyn yr attebion boddhaol hyn, bedyddiodd Mr. Medhurst ef, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glan. Ac aeth y Parch. Henry Townley i weddi.

Yna galwodd Dr. Burder ar yr Eglwys yn St. Thomas's Square, i arwyddo, drwy godiad llaw, eu cymmeradwyaeth o Choo Tih Lang fel aelod o'u Cymundeb Cristionogol, yn ol ei ddymuniad taer ef, fel y gallo efe gyd-gyfranogi â hwy o Swpper yr Arglwydd cyn ei ymadawiad a'r wlad hon. Yr hyn a wnaethant o unfryd.

Yna Dr. Burder a gyfarchodd Choo Tih Lang, gan ddywedyd, 'Yn awr chwi welwch, anwyl Frawd, y fath dderbyniad croesawgar a gwresog a gawsoch gan yr holl Eglwys. Yn awr gan hyny hysbyswch i ni beth yw eich ewyllys, a pha beth yw eich dymuniad gan yr Eglwys hon, a'ch bwriad rhagllaw.'

A dywedodd Choo Tih Lang, 'Fy ngwir ddymuniad yw, cymmeryd y gwirionedd, yr hwn a brofais, a'i wneud yn adnabyddus i'm cyd-wladwyr yn China. Yr wyf yn dymuno treulio holl nerth fy enaid a'm corph i geisio achub eneidiau. Yr wyf yn ewyllysio cymmeryd y goleuni, yr hwn a anfonodd Duw i'r byd, a'i osod i fynu megis ar ben rhyw fynydd mawr yn China, fel y gallo y 360 o filiynau ei weled a'i hoffi.

Hyn gan hyny yw fy ngwir ddymuniad, ac i drosglwyddo gwybodaeth o'r Efengyl, cyn belled byth ag y gallwyf, a pharhau yn y gwaith da hwn hyd ddydd fy marwolaeth.'

Ac yna, efe a droes at yr Eglwys a'r gynnulleidfa, ac a'u cyfarchodd modd y canlyn:—

'Fy anwyl gariadus gyfeillion a'm brodyr yn Nghrist, cynnulledig yn y Capel hwn, —yr wyf fi yn awr am eich gadael chwi, ac yr wyf yn teimlo dau anhawsdra: y cyntaf yw, am fy mod i ymadael â chwi; a'r llall yw, am fy mod i fyned i'r fath wahanol amgylchiadau pan elwyf i China. Ond yr wyf yn teimlo fy hun yn ddiolchgar iawn i Dduw yr hwn a'm dyg i i'r wlad hon lle y clywais yr Efengyl; ac yr wyf yn teimlo yn ddiolchgar iawn i'm cyfeillion caredig hyny y rhai a ddysgasant i mi eiriau y bywyd tragywyddol; canys oni buasai i chwi ddysgu i mi y pethau daionus hyn, a'm gwneuthur yn adnabyddus o'r grefydd gristionogol, buasai fy enaid, yn angau, yn disgyn i drigfanau gwae, ac *am hyny* yr wyf fi yn teimlo fy hun mor ddiolchgar i chwi am y gofal caredig a ddangosasoch tuag attaf.

'Yr achos fod mor anhawdd genyf ymadael a chwi ydyw, oherwydd fod arnaf eisiau gwybod mwy am athrawiaeth yr Efengyl. Ond o herwydd fy mod wedi gadael China ers agos i dair blynedd, y mae arnaf awydd mawr am ddychwelyd. Ac yn awr, drwy fendith Duw, yn gymmaint a fy mod yn gwybod rhyw faint am yr Efengyl, yr wyf yn teimlo awydd am hysbysu yr hyn a wn i fy ngwraig, ac i bawb o'm hymgylch, ac nid i gadw y cwbl i mi fy hun.

Yn awr, gan fy mod ar ddychwelyd i China, rhaid i chwi beidio fy ngollwng yn anghof, ond fy nghofio yn eich gweddiau, ar i Dduw fy nerthu yn y gorchwyl mawr

a phwysig wyf yn ei gymmeryd arnaf. A phan ddychwelwyf i China nid anghofiaf finnau chwithau; ac er y bydd fy nghorph yn China, fe fydd fy nghalon gyda chwi; ac mi a erfyniaf ar Dduw wrth orsedd gras am iddo gynnyddu eich dedwyddwch, a'ch sancteiddrwydd.

'Yn awr yr wyf ar ddychwelyd i'm gwlad enedigol, nis gwn a fydd i mi byth ddyfod i'r wlad hon etto; ond os bydd i Dduw arbed fy mywyd, llwyddo fy ymdrech yn fy nheulu, a rhoddi i mi ras i fod yn ffyddlon yn fy mhroffes, mi a ewyllysiwn yn fawr ddyfod yma drachefn. Ond os na ddeuaf yma byth etto, mi a daer weddiaf, am gael eich cyfarfod mewn lle llawer gwell.

Yr wyf yn hyderu y rhydd Duw ras a nerth i mi i hysbysu yr hyn a wn i am yr Efengyl, ac na bydd eich llafur chwi a minnau ddim yn ofer. Gobeithio y bydd i chwi oll ymuno o un galon ac un enaid mewn gweddi ar Dduw, am iddo ef yn ei fawr drugaredd, gyfnewid calonau y rhai sydd yn llywodraethu yn China, fel y byddo iddynt roi llawn ryddid i'r Efengyl i ddyfod i mewn yno. Ac yr wyf yn meddwl, os bydd i chwi oll gyduno mewn gweddi mynych a thaer ar Dduw am hyn, y bydd iddo wrando eich gweddiau.

Yr wyf yn gobeithio y bydd i chwi anfon llawer o Genhadau i China, y rhai a fyddant megis esgyll i gario yr Efengyl drwy holl China. Dyma yw y cwbl sydd genyf i'w ddywedyd.'

Yna y Parch. John Arundell a gyfarchodd yr Eglwys a'r gynnulleidfa, gan ddymuno talu diolchgarwch i Dduw, am yr olygfa hyfryd a gawsom yma heddyw, a'r pethau gwerthfawr ac effeithiol a glywsom; ac a ddiweddodd y cyfarfod drwy weddi ddifrifol a thaer. Mae lle i gredu yn gadarn na fydd i neb ag oedd yn bresennol byth anghofio bedydd Choo Tih Lang!

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### CYMDEITHASFA BANGOR.

*Penderfyniadau o Gymdeithasfa Bangor, yr hon a gynnaliwyd Medi* 11, 12, 13, 1838.

Y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf yn Ngogledd Cymru, a gynnelir yn Rhuthin, Hydref 17, 18, 19.

Cyfeisteddiad y Gymdeithas Genhadol Gartrefol i fod y dydd cyntaf am 3 ar gloch.

Cyfarfod blynyddol Llanrwst i fod Rhagfyr 27 a 28.

Cyfarfod Athrawon yr Ysgolion Sabbathol i fod am 2 ar gloch y dydd cyntaf, fel o'r blaen.

Dymunir ar bob gwlad gofio y Genhadaeth Dramor eleni, fel blynyddoedd eraill; oblegid y mae y maes yn helaethu, a'r Cenhadau yn amlhau.

Bwriedir i bob Sir ofalu am ddydd diolchgarwch am y Cynhauaf tirion ydym yn ei gael, ar yr amser mwyaf priodol yn ol ansawdd ac amgylchiadau hyny ymhob Gwlad. John Foulkes.

O. Y. Ceir hanes manylach o'r pethau yr ymdrinwyd a hwy yn y Gymdeithasfa ymhellach mor fuan ag y gellir eu crynhoi.

Ysgrifenydd

### CYMDEITHASFA LLUNDAIN.

Cynnaliwyd Cymdeithasfa flynyddol Llundain ar ddydd gwener y Grogllith, a'r Sul a'r Llun y Pasc diweddaf; sef Ebrill 13, 15 a 16, 1838. Y moddion cyhoeddus oeddynt fel y canlyn:—Bu cyfarfod gweddi am 10 ar gloch ddydd gwener, fel arferol.

Am 2 Dechreuwyd yn gyhoeddus drwy ddarllen a gweddio gan y Parch. D. Hughes, Nant caredig, a phregethodd y Parch J. Jones, Llanllyfni am sylfaen gwir ffydd, a diogelwch y rhai a gredant. Esa. xxviii. 16. Am 6. Gweddiodd y Parch. James Hughes, Llundain, a phregethodd y Parch D. Hughes, am y pechod o esgeuluso ein cydgynnulliad ein hunain, sef y saint, ar Heb. x. 25. Ar ei ol ef, y Parch. J. Jones, am wasanaethu yr Arglwydd, ar Jos. xxiv. 15.

Sul y Pasc, am 10, Pregethodd y Parch. W. Williams, Llundain, am weinidogaeth yr Efengyl, sef ei bod yn galw pechaduriaid at Grist, ar Esa. xxvii. 13. Ar ei ol ef y Parch. J. Jones. Dywedodd fod gwaed Crist yn gyfaddas ac effeithiol i buro cydwybodau euog, a bod yn bossibl i ddynion gael hyny, ar Heb. ix. 14.

Am 2. Pregethodd y Parch. James Hughes. Dywedodd mai achos yr enaid ddylai fod yn flaenaf genym. Hefyd, fod achos yr enaid yn ddrwg; ond fod yn yr Efengyl fodd i achub yr enaid, ar Esa. lv. 3. Ar ei ol ef y Parch. D. Hughes, am gladdedigaeth ac adgyfodiad Crist, ar 1 Cor. xv. 4.

Am 6, Pregethodd y Parch. D. Hughes am esgyniad a dyrchafiad Crist, ar Act. i. 9, 10, 11, ar ei ol ef y Parch. J. Jones am brofedigaethau y duwiolion, a'r gorchymyn oddiwrth yr Arglwydd, 'yna y dywedodd Duw,' &c. ar Gen. xxii. 1, 2.

Dydd llun y boreu am 10, Pregethodd y Parch. D. Hughes, ar 2 Cor vii. 1. Ac ar ei ol ef y Parch. Richard Lumley, ar Gen. xxxix. 2.

Am 2, Pregethodd y Parch. D. Davies, Boro' (Independiad) ar Heb. xiii. 20. 21. Ac ar ei ol ef y Parch. J. Jones, ar 1 Pedr v. 5.

Am 6, Pregethodd y Parch. D. Hughes am dywalltiad o'r Yspryd Glân, ar Act ii. 17. Ac ar ei ol ef y Parch. J. Jones. Sylwodd pa beth sydd yn cyfansoddi cyndynrwydd dynion, sef anufudd-dod, neu elyniaeth yn erbyn Duw, ar Ier. vi. 28, y rhan flaenaf.

Yr achos na buaswn yn anfon chwaneg o dywysenau pregethau 10 a 2 ddydd llun ydoedd ddarfod i Ragluniaeth gyfyngu fy amser rhag bod yn bresennol. Cawsom gyfarfod rhagorol o'i ddechreu i'w ddiwedd. Yr oedd y pregethau yn fywiog, a'r gwrandawyr yn lliosog; a hyderwyf y bydd effeithiau daionus yn dilyn yr hyn a draddodwyd. E. W.

*Llundain.*

## AMERICA.

### CYMDEITHASFA MORIAH.

Cynnaliwyd Cymdeithasfa y Trefnyddion Calfinaidd, ar y 5ed, 6ed, 7fed, a'r 8fed o Ebrill diweddaf, yn Moriah, Swydd Jackson, Ohio. Y moddion cyhoeddus oeddynt fel y canlyn:—

Y prydnhawn cyntaf, 5 o'r gloch, dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. Robert Williams, Moriah, a phregethodd Mr. John Edwards, Pittsburgh, oddiar Matt. i. 21 Ar y 6ed, am 3 o'r gloch, dechreuodd Mr. Rosser, Cincinnati, a phregethodd y Parchedigion Wm. Parry, Saron, ac Edw. Jones, Cicinnati, oddiar Matt. xix. 27, a Luc ix. 61, 62. Ar y 7fed, am 10, dechreuodd Mr. J. Edwards, a phregethodd y Parchedigion Edward Blunt, a Robert Williams, oddiar Diar. iii. 14, a'r Ephes. i. 22, 23; ac am ddau dechreuodd y Parch. Wm. Parry, a phregethodd Mr. David Rosser, a Mr. David Lewis, *Oak Hill,* oddiar Heb. xii. 22—24, a Rhuf. i. 16. Ar yr 8fed, sef y Sabbath, am 10, dechreuodd y Parch. Robt. Williams, a phregethodd y Parchedigion Wm. Parry ac Edw. Jones, oddiar Gal. v. 7, a Diar. xxii. 2. Am 2, dechreuodd Mr. David Lewis, a phregethodd Mr. John Edwards, a'r Parch. Edward Blunt, oddiar Ioan vii. 46, ac Esay xxvii. 13; ac am 6, pregethodd Mr. David Rosser, a'r Parch. E. Jones, oddiar Matt. iii. 10, ac Esay x. 3. Bu genym amrai gyfarfodydd neillduol yn y cyfamser, yn mha rai y cytunwyd ar amryw benderfyniadau; eithr yn flaenorol i hyny, aethom i gyfammod a'n gilydd, gan ymunaw yn un corph mewn cyssylltiad â'r corph o Fethodistiaid Calfiniaidd yn Nghymru, gan ymrwymaw i amddiffyn yr athrawiaeth sanctaidd a gynnwysir yn eu 'Cyffes Ffydd,' heb ychwanegu dim ato, na thynu dim oddiwrtho; ac hefyd i amddiffyn y rheolau sanctaidd a welir yn y llyfr uchod, trwy ymarweddu yn eu hol ein hunain, ac ymdrechu yn egniol i gael pawb eraill yr un modd, yn enwedig y rhai sydd yn dwyn perthynas weledig â'r achos crefyddol; yn nghyd âg amcanu at ddilyn yr un drefn yn ngosodiad swyddogion—penderfyniad pethau dyrys, a llywodraethiad yr achos yn ei holl amgylchiadau, mor belled ag y byddo amgylchiadau pethau yn caniatâu. Ysgrifenwyd geiriau y cyfammod, swm yr hwn a nodwyd uchod, mewn llyfr, ac arwyddwyd ef gan amrai bregethwyr a blaenoriaid, y rhai oeddent bresennol, trwy ysgrifenu eu henwau wrtho. Yna penderfynwyd y pethau canlynol:

1. Na byddo awdurdod gan neb i weithredu yn ein capeli, ond trwy gydsyniad y corph.

2. Bod i bob eglwys ofalu cadw Cofrestrydd, (*Register.*)

3. Cael llyfr i'r dyben o ysgrifenu gweithredoedd er diogeliad ein capeli ynddo.

Bwriwyd golwg hefyd ar amryw bethau perthynol i amgylchiadau y gwaith yn ein plith. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf fod yn nghapel Saron, ger Newark, Swydd Licking, Ohio, y 7fed ar 8fed o Fedi nesaf. A phenderfynwyd fod i bob eglwys anfon eu cynnrychiolwyr a'u llefarwyr i'r Cymmanfaoedd ar eu traul eu hunain.

Sylwyd hefyd ar ddyledswyddau teuluaidd a dysgybliaeth eglwysig. Y dydd olaf o'r Gymdeithasfa, yr 8fed, (sef y Sabbath,) am 8 o'r gloch, NEILLDUWYD dau o'r brodyr i waith y weinidogaeth yn gyflawn, sef y Parchedigion William Parry, o Saron, a Robt. Williams, o Foriah. Rhoddodd yr Arglwydd arwyddion amlwg o'i foddlonrwydd ar ein cyfarfod o'i ddechreu i'w ddiwedd; a chawsom achos i ddywedyd mai da oedd bod yno. IORWERTH AP MORYS.

## DUBLIN.

*Ychydig o sulw ar agwedd bresennol yr achos Cymreig yn Dublin, dan olygiad y Parch. Robert Williams, y Cenhadwr.*

Y gynnulleidfa Gymreig sydd yn gynnwysedig o Gymry y rhai sydd yn preswylio dinas Dublin, ynghyd a'r llongwyr o Gymru y rhai a dramwyant i'r Porthladd drwy y flwyddyn. Mae pregethu Cymraeg wedi bod yn gysson yn Dublin ers dros chwe blynedd; ond yr oedd y lle yn hynod o anghyfleus.

Cymmerwyd darn o dir yn Talbot Street, yn agos i'r *Customhouse* newydd, mewn lle glân a phrydferth i adeiladu Capel arno i'r Cymry. Yn awr y mae yr adeilad yn cael ei adeiladu yn Addoldy hardd a phrydferth, yr hwn a gynnwys ynghylch o dri i bedwar cant o wrandawyr. Ac fe adeiledir tŷ ynglyn wrtho, yn lle addas i deulu i breswylio ynddo, ac i edrych ar ol y Capel, &c. Bydd y draul oll ynghylch £800. Ac yr ydys wedi casglu cyfran go helaeth atto yn Dublin, ac amryw fanau o Gymru, a threfydd Lloegr.

Yn Ysgoldy Lr. Gardiner Street, yr ydys yn cynnal y moddion Cymraeg hyd nes y bydd y Capel newydd yn Talbot Street yn barod i fyned iddo, yr hwn y bwriedir ei agor y Sabbath, Tachwedd 11, 1838.

### RHYFEDDODAU Y CHWYDD-WYDR,

(*Microscope.*)

Pob peth yn y greadigaeth yn dangos Doethineb eu Creawdwr.

'In a Flower—
Such Microscopic proofs of skill and power,
As hid from ages past, God now displays,
To combat Atheists with in modern days.'
COWPER.

Nid yw ein gwybodaeth ni am weithredoedd y Iehofah, ond bychan mewn cydmhariaeth i'r cwbl; ond y mae yn ddigon i ddangos ei fod wedi arfer cymmaint o ddoethineb wrth ffurfio y Gwrthrychau lleiaf yn gystal a'r rhai mwyaf; ac ei fod yn darparu gogyfer ag angenion y pryfun a ymlusga, gyda'r un gofal a thynerwch ag y gwna gofyfer a'r morfil neu yr elephant.

Y mae y Chwyddwydr yn dwyn i'n golwg fyd newydd o lysiau, yn gystal ag un anifeiliaidd; ac y mae'n dangos fod y gwrthrychau lleiaf mewn natur (pa rai yr oedd ein cyn-deidiau yn hollawl anwybodus o honynt) wedi eu ffurfio mor geinwych a rheolaidd a'r rhai mwyaf.

Gronynau o dywod i'r llygaid noeth a ymddangosant a'r un ffurf; ond y Chwyddwydr a ddengys amrywiaeth llûn ynddynt yn gystal a maintioli. Mae rhai yn berffaith grwn, eraill yn bedryal, eraill yn big-fain, ac eraill yn afreolaidd yn eu llun. Ond peth sy'n fwy rhyfeddawl byth, fe ddengys y Chwyddwydr fod y geu-dyllau yn y gronynau bychain yma yn cynwys drychfilod o amryw fath!

Mewn caws ag sy'n dechreu gwaethygu, y mae lluoedd o fan-bryfaid a elwir euddon, (*mites*), pa rai, i'r llygad noeth, a ymddangosant mal rhyw lwchion symmudawl heb na llun na rheol; ond drwy gymhorth y Chwydd-wydr, canfyddir eu bod wedi eu cynysgaethu â llygaid, safnau, traed, a chyrff tryloyw, wedi eu gorchuddio â blew hirion ar lun pigau (*prickles*)

Y sylwedd llwydaidd, ag sy'n ymlynu wrth fodau llaith, a ddengys lwyn o blanhigion bychain; weithiau fe ymddengys mal allt o goed, ar ba rai y cangenau, dail, blodau a ffrwythau a ellir eu gwahaniaethu; y mae i'r rhai o'r blodau gyff hirion yn wyn a thryloyw; cyn iddynt ymagor, nid yw y bywyllyn, (*bud*), ond pelen werdd fechan, yr hon sy'n dyfod yn wyn pan y blodeua.

Ac hefyd, os chwiliwn arwyneb ein croen, â'r un offeryn, gwelir ei fod yn debyg i gen (*scales*) pysgodyn? ac mor fychain yw y cen yma, mal y cyfrifir y gwnai gronyn o dywod orchuddio 250 o honynt, a bod pob un o'r cen yn gorchuddio 500 o fândyllau, (*pores*), drwy ba rai y mae'r chwysdarthiad angenrheidiol er cynal iechyd yn myned ymlaen yn ddiorphwys. Felly yn ol y cyfrifiad yma, mae gronyn o dywod yn ddigon o faint i orchuddio 125,000 o dyllau y corph dynol!.

Y mae'r ddaear fal pe bai wedi ei hilio â llawr-len gan laswellt a mwswgl; ond, o ba faint o ronynau a llinynon y mae'r rhai hyn yn gyfansoddedig? Os ydyw dyferyn o ddwfr yn grogedig ar flaen nodwydd yn cynwys miliynau o fywolion; faint rhaid fod yn yr afonydd a'r moroedd ag sy'n gorchuddio cymaint o'n daearen! Os oddiwrth ganwyll oleuedig yr eheda fwy o ronynau o oleuni mewn munud, nag sydd o ronynau o dywod yn yr holl ddaear, faint rhaid fod y rhifedi a lifeiria mewn diwrnod neu flwyddyn oddiwrth yr haul!

Pêr-lyssiau a lenwant ystafell am wythnosau â'u harogl; ac etto heb ddim lleihad teimladwy yn eu pwysau, mor ddistadl rhaid fod y gronynau ag sy'n cynyrchu y fath arogl! Ar bryduawn yn yr haf, y mae'r awyr yn heigio o fywolion. Pob dyferyn o ddwfr a gynwysa fyd bychan! Ar bob deilen y mae lluoedd o drychfilod! Pob planhigyn, blodeuyn, a llysieuyn a rydd ymborth i filiynau! Gwelir heidiau o wibaid a thrychfilod eraill yn gynulledig oddifewn i ychydig latheni. Pa ryfedi aruthrawl rhaid fod dros yr holl ddaear, a thrwy yr awyr! A pha sawl milfil o greaduriaid llai fyth a ymlusgant ar y ddaear, neu ar sydd yn ac odditan y ddaear!

Oni buasai i'r Chwyddwydr brofi hynyna, pwy allasai amgyffred fod creaduriaid filfil o weithiau yn llai na gronyn o dywod, ac etto wedi eu cynysgaethu â safnau, cylla, llestri gwaed, ac hefyd galluoedd i ymsymyd! Y mae cregin bysg mor fychain, mal nad ymddangosant drwy'r Chwyddwydr nemawr fwy na gronyn o wenith.

Mor fychan yw'r euddonyn (*mite*)! Ac etto pan ei gwelir drwy'r Chwyddwydr, canfyddir ei fod yn greadur blewog, yn berffaith yn ei holl aelodau, yn fywiog yn ei holl ysgogiadau, ac o ffurf luniaidd, yn llawn o fywyd a synwyroldeb, ac wedi ei gynysgaethu â phob peiriant angenrheidiol. Yr anifail yma, sydd agos yn rhy fychan idd ei weled, a wneir i fynu o ronynau, ac sy' lawer iawn llai na'r cwbl; mor ddistadl, er angraifft, rhaid fod gronynau'r hylifiau a gylchreda trwy wthienau y fath filionos (*Animalculæ*)!

Y mae'n teilyngu sylw, fod y Chwyddwydr, yn darganfod cynnifer o wallau ac amherffeithrwydd yngwrthrychau celfyddyd; pryd na ddangosa ddim ond cymondeb a pherffeithrwydd yngwaith Duw. Mor fain yw edef y pryf-copyn! miloedd o ba rai, prin y byddent o drwch sidan gwnio cyffredin; ac etto cyfrifir fod pob un o'r rhai hyn, yn cynwys dim llai na chant o geingciau. Yn y gwrthrychau mwyaf distadl o'r greedigaeth, yn gystal a'r rhai mwyaf anferthawl, fe'n gelwir i ryfeddu gallu a doethineb annhraethol ein Creawdwr.

(I'w barhau.)

## HELYNTION YR AMSEROEDD.

*Tânau dinystriol yn Llundain.*—Mae chwaneg o nifer o dânau dinystriol wedi bod eleni yn Llundain nag un flwyddyn er

talm. Yn y flwyddyn 1836, fe fu tân dinystriol yn torri allan mewn amrywiol fanau yn y brif ddinas; ac fe wnaed cyfrif o honynt eu bod o nifer 654. Yn y flwyddyn 1837, eu nifer fu yn 716. Yn mis Ionawr y flwyddyn hon, 1838, fe fu 84. Yn Chwef. 65. Yn Mawrth 65. Yn Ebrill 52. Yn Mai 57. Yn Mehefin 60. Yn Gorphenaf 48. Yn Awst 37. Yn hyny o fisoedd, sef 8 mis, oll yn 468 o nifer. Yn Chwefror a Mawrth fe gollodd dau eu bywyd yn y fflamiau tân. Mae y nifer uchod o dânau dinystriol yn galw yn uchel ar weision a morwynion a phawb, i fod yn ofalus iawn i anhuddo tanau cyn myned i'w gorphwysfaoedd. Gwir yw yr hen ddïareb, 'Mae tân yn was da, ond yn feistr drwg.'

*Gwenwyniad ofnadwy!*—Gwraig yn gwenwyno ei hun a phump o'i phlant i farwolaeth yn yr un dydd! Y peth annaturiol hwn a ddygwyddodd mewn pentref bychan a elwir Fairhurst, o fewn naw milltir i Preston, yn Lancashire. Yr oedd un Edward Sanderson a'i wraig, a phump o'u plant, yn byw ynghyd yn Fairhurst; y gwr oedd lafurwr wrth ei orchwyl. Dydd Iau, Medi 6, yn y boreu, aeth y gwr i'w orchwyl hyd yr hwyr; gan adael ei wraig a'r plant yn iach. Am hanner awr wedi hanner dydd, yr oedd cymmydog o'r enw John Brewer yn myned heibio i'r drws, pan y galwodd gwraig y tŷ ef i mewn, ac a ddywedodd wrtho, 'ei bod hi a'r plant wedi bod yn bwytta *pwding*, a'i bod hi yn ofni fod gwenwyn ynddo.' Erfyniodd arno anfon am Feddyg. Gwelai Mr. Brewer fod y wraig a'r plant yn ymddangos yn sâl, a'r plant ieuengaf yn cyfogi yn drwm.

Galwyd am Feddyg yn y fan, ac efe a welodd fod y fam a'r plant mewn cyflwr peryglus. Anfonwyd am Feddygon ereill yn ddioed. Ond er holl ddyfais y Meddygon a'u ffyddlondeb, buont oll feirw dan eu dwylaw. Enwau y plant oeddynt, Ellin, 12 oed; Daniel, 9 oed; Margaret, 6 oed; Robert, 4 oed; a William dwy flwydd oed! Oll yn blant iach cyn hyn.

Cyn marw y fam, hi a gyfaddefodd mai hi a roddes y gwenwyn (*arsenic*) yn y *pwding*. A phan ofynwyd iddi, paham y gwnaethai y weithred wrthyn a melldigedig hon; hi a attebodd, 'ei bod hi mewn dyled, a bod ei holl cymmydogion wedi troi eu cefnau arni.' Bu farw y greadures felltigedig hon mewn poenau irdangol.

*Gwr yn gwenwyno ei ferch.*—Mae dyn, o'r enw Robert Standring, o Stockport, Sir Gaerlleon, yn awr yn ngharchardy Castell Caer, i'w brofi yn y frawdle nesaf, oddiar amheuaeth cryf, a thystiolaeth go amlwg ei fod ef wedi gweinyddu gwenwyn (*arsenic*) i'w ferch, a elwid Elizabeth Standring, drwy yr hyn y bu hi farw.

*Lleiddiaid plant ordderch.*—Yn Mrawdlys cyffredin a gynnaliwyd yn Nghaerlleon tua dechreu mis Awst diweddaf, cafwyd tystiolaethau amlwg fod dwy ddynes, o'r Enwau Ann Byrom, a Dina Jones, yn euog o ladd eu bastardiaid; ac euog-farnwyd hwynt i ddyoddef y gospedigaeth haeddiannol o'u dihenyddio. Ond cyn dyfod o'r amser ponnodedig i'w dihenyddio hwy i ben, darfu i drigolion Caerlleon anfon Archiad gostyngedig a thaer at ei Mawrhydi y Frenhines Victoria, i erfyn arni arbed eu bywyd hwynt: a hi a ganiattaodd eu dymuniad.

Yn lle eu dihenyddio hwynt, y mae y gorchymyn brenhinol wedi dyfod i lawr mai eu cospedigaeth fydd raid fod fel y canlyn:—

'Fod i bob un o'r ddwy gael eu cauad i fynu mewn carchar am bum mlynedd, a'u bod i gael eu cau i fynu mewn cell bob un ar ei phen ei hun am dri mis ymhob blwyddyn o'r pum mlynedd, mewn man nad oes i neb fod gyda hwynt, sef fel hyn: Carchar am dri mis, wedi hyny un mis mewn cell unigol wrthi ei hun—yna carchar am dri mis, wedi hyny mis mewn cell unigol; ac felly o hyd am bum mlynedd! Ac yn mhen y pum mlynedd carchariad hyn, eu bod i gael eu halltudio dros y môr am eu hoes, i wasanaeth caled.

*Hunan-leiddiad.*—Yn ngharchar cyffredin dinas Caerlleon, nos lun, Medi 17, darfu i wraig o ladrones grogi ei hun i farwolaeth! Lladratta dillad oedd ei throsedd. Mewn nwyd o wallgofrwydd hi a rwymodd ei *shawl* wrth un o fariau heiyrn y ffenestr, ac a ymgrogodd yno er fod ei thraed yn cyffwrdd a'r llawr, yr oedd yn hollol farw erbyn y boreu!

*Hunan-foddiad dychrynllyd.*—Ffermwr, o'r enw John Parry, yn mhlwyf Holt, Swydd Dinbych, a gafwyd gan gychwr wedi boddi mewn cainc o afon oedd yn rhedeg i'r afon Dyfrdwy, gerllaw Holt.

Yr oedd efe wedi rhwymo rhaff am ei gorph ynghyd a charreg fawr o 92℔, o bwysau wrthi, yr hon oedd raid iddo ei chario ynghylch deugain llath oddiwrth y fan lle yr oedd y cyfryw gerrig at yr afon lle y boddodd efe ei hun ynddi.

Mae yn beth aruthrol i feddwl am dano fod cynnifer o ddynion mewn gwlad gristionogol yn lladd eu gilydd, ac yn lladd eu hunain: mae hyn yn arwyddion galarus iawn o lwyr lygriad ac anfad wallgofrwydd y natur ddynol.

*Haiarn yn Nghymru.*—Yr haiarn a ddygwyd i waered camlas a ffyrdd Swydd Fynwy, yn y flwyddyn 1837, ydoedd 143, 208 o dunelli; a'r hyn a drosglwyddwyd ar hyd camlas Swydd Forganwg, yn yr un yspaid oedd 123,234 o dunelli; y Swydd flaenaf yn fwy o 19,974.

*Tobacco yn Ffrainc.*—Dywedir fod traul tobacco yn cynnyddu yn ddirfawr yn Ffrainc er yn ddiweddar; yr oedd traul y fl. 1836 yn fwy o 4,578,600 o bwysau na'r flwyddyn flaenorol. Mae cyllid llywodraeth y wlad hono oddiwrth y llysieuyn hwn agos i ddwy filiwn a hanner o bunau yn y flwyddyn.

*Pabyddion yn Mrydain.*—Mae yn Mrydain yn bresennol 500 o addoldai Pabyddion, a 10 o Athrofeydd perthynol i'r grefydd hono.—*Cyfaill*

*Cloren* (Potatoe) *yn tagu dyn.* Dydd mawrth, Medi 18, cynnaliwyd rheithfarn ar gorph dyn o'r enw John Roorke, yr hwn a fu farw yn yr amgylchiad canlynol:—Yn ol tystiolaeth ei ferch, gwr gweddw oedd y dyn, deugain mlwydd oed. Yr oedd yn byw gyda'i fab a'i ferch yn Pownall Square, yn Liverpool. Ar y dydd o'r blaen gwnaeth ei ddau blentyn giniaw o gig mollt a chloron, a hiliasant y bwrdd yn barod i'w tad i gael ei giniaw gyda hwynt, fel arferol. Daeth y gwr i fewn yn feddw, ac a eisteddodd wrth y bwrdd i fwyta, ac efe a roddodd gloron (*potatoe*) gyfan yn ei enau ar unwaith. Gofynodd ei ferch iddo, paham y gwnai efe felly, pan yn ddisymwth, yr ymddangosai ei fod ef yn tagu! Aeth ei wyneb a'i glustiau yn dduon iawn; ac anfonwyd am feddyg yn y fan. Daeth y meddyg, ac a geisiodd yru y gloron i lawr i'w wddf, ond tra y bu yn ceisio hyn, fe fu y dyn farw dan ei law ef! Y Rheithfarn oedd, 'Angau dygwyddiadol.'—*Liverpool Albion.*

YSPAEN.

Mae y rhyfel cartrefol yn parhau yn y wlad annedwydd hon. Weithiau, fe debygid fod milwyr y Frenhines yn ennill y brwydrau, ac yn debyg o gael yr holl wlad i'w meddiant yn lled fuan. Bryd arall, ymddengys fod lluoedd arfog Don Carlos yn gorchfygu y cwbl o'u blaen. Weithiau bydd gorfod ar wyr Don Carlos gilio yn ol; bryd arall fe dybid fod gwyr y Frenhines yn colli tir. Yn ddiweddar cafwyd newyddion fod gwyr y Frenhines yn debyg o roi pen ar y rhyfel drwy eu goruchafiaethau lliosog. Ond yn ddiweddarach daeth y newyddion i'n clustiau eu bod yn gorfod cilio yn ol oherwydd cryfder ac amlder y gelynion dewrion. Felly, yn ddiau gellir galw Spaen yn wlad annedwydd iawn.

*Canada.*—Mae Arglwydd Durham yn myned ymlaen i wastadâu pethau yn hynod o lwyddiannus ac esmwyth yn Canada. Mae efe yn perderfynu cyflawni yr holl orchymyn a roddwyd iddo i'w wneuthur gan ei Mawrhydi y Frenhines a'i Swyddogion. Yn ol pob arwyddion, fe fydd i heddwch ac iawn drefn gael eu sefydlu ymhlith y trigolion.

*Ffyrdd Haiarn.* Mae y ffordd haiarn o Gaerlleon i Liverpool yn myned ymlaen gyda brys. Mae saith gant o bobl yn gweithio arni; ac mae yr holl ffordd wedi ei gosod, a hyny ymhell dan y swm a farnwyd yn ofynol ar y cyntaf. Ac mae pob sail i gredu y gorphenir hi ymhell cyn yr amser appwyntiedig, sef dwy flynedd.

Mae hefyd ddau gant o bobl yn gweithio ar y ffordd haiarn o Gaerlleon i Crewe hall, i ymuno a'r un o Liverpool trwy Birmingham i Lundain.

*Dyfais i losgi mwg.*—Mae gwr bonheddig o'r enw Ivison, yn Edinburgh, Scotland, wedi cael allan ddyfais newydd o'i waith ei hun i losgi mwg a ddel allan o simnai. Bydd hyn yn hynod o fanteisiol i Agerddlongau, ac Agerdd-Gerbydau; ac fe fydd hefyd yn lleihau traul tanwydd. Mae y gwr wedi cael Braint-lythyr (*Patent*) gan y llywodraeth ar y ddyfais fuddiol hon. Mae prawf digonol fod y peth yn atteb y dyben yn hollol yn ol y dysgwyliad; ac mae eisoes mewn gweithrediad mewn Gweith-Melinau Sidan yn Edinburgh.

*Caeth-wasanaeth.*—Mae terfyn dedwydd wedi ei roi ar Gaeth-wasanaeth, o'r diwedd, yn Nhrefedigaethau Brydain fawr. Ac mae yn hyfryd genym hysbysu fod y Prentisiaid duon a ryddhawyd yn Ynysoedd yr India Orllewinol yn gweithio am gyflog yn hynod o ewyllysgar a llafurus.

*Saughall a Two Mills.*— Cynnaliwyd Cyfarfod blynyddol yn y lleodd hyn ar y Sabbath, Medi 23, lle y pregethodd y gwyr canlynol; yn y Two Mills am 10, Mr. W. Edwards, Gwrcesam, a Mr. J. Parry, Caerlleon. Ar yr un amser yn Saughall, Mr. Farnsworth, o Liverpool. Am 2 yn Saughall, Mr. J. Jones, Gwrcesam a J. Parry. Am 6 yn yr hwyr, yn Saughall, W. Edwards. Ac yn y Two Mills Mr. Farnsworth.

---

## MARW-RESTR.

Dydd llun, Medi 3, 1838 yn yr 20fed flwyddyn o'i hoedran, bu farw o'r darfodedigaeth Miss Sarah Jones, Caegrugog, plwyf Hope, swydd Flint. Dygwyd hi i fynu yn grefyddol; a bu yn aelod hardd gyda y Trefnyddion Calfinaidd ar hyd ei hoes. Dioddefodd hir nychdod yn ymostyngol a siriol iawn; ac ymadawodd o'r byd hwn o ofid mewn heddwch meddwl a ffydd yn Nghrist.

Dydd gwener, y 7 o'r mis, ymgynnullodd amryw o gyfeillion a pherthynasau y drengedig i weinyddu y caredigrwydd olaf iddi; a chyn cychwyn y rhan farwol allan, gwnaed araeth a gweddi fer gan y Parch. John Griffiths, Llanarmon (Annibynwr), yna hebryngwyd ei chorph tu a thŷ ei hir gartref; a gosodwyd ef i orwedd yn meddrod ei thadau, yn mynwent Llanarmon yn Iâl, 'Mewn gwir ddiogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol.'

*Treuddyn.* ROBERT LLWYD.

---

## BARDDONIAETH.

*Llinellau a fyfyriwyd wrth ddarllen Coffadwriaeth* MR. J. WILLIAMS, *yn nechreu y Rhifyn hwn;—*

Pa beth yw'r alarnad sy'n cyffro Caerlleon?
Pa alaeth sy'n llenwi ei Chymry o'r bron?
Mae swn eu cwynfaniad fel swn yr awelon
Yn ysgwyd [illegible] y goedwig [illegible]

Tybygwyf y clywyf ryw lais fel yn ateb,
"Pa fodd yw na wyddost ti destyn ein braw,
Ein *Williams* anwylaf sy'n mro cydraddoldeb
Diangodd o'n canol i'r beddrod gerllaw.

"Ah! dowch, O! fy mrodyr, hyd erchwyn ei fedd-
Gallwn wneyd hyny—os nad allwn fwy, [rod
Awn, gwlychwn y tyweirch â dagrau ein trallod,
Ireiddiwn y glaswellt yn anwyl â hwy.

"Ow! dori y gwr ydoedd fel cedrwydden
Yn llydain ei frigau, yn iraidd ei ddail,
O rhwng ei dew gangau dyferai yn addien,
Gwin nefol brofiadau yn ffyrdd Adda'r ail.

"Dros ddeugain o flwyddau bu'n flaenor y fyddin
Yn danllyd a zelog yn yspryd y gwaith—
Mewn llafur a gofal bu 'i enaid yn ddibrin—
Mewn hedd a gorfoledd dibenodd ei daith.

"Mae cofio'i gyngherion yn rhwygaw y galon,
Wrth wel'd y cynghorydd yn ddistaw mewn hedd,
Nid dernyn o'r mynor llygradwy—ond dwyfron
Y sawl a'i hadwaenai fydd colofn ei fedd."

Ai gwir yw i'r Patriarch gorenwog hwn syrthio?
Ai gwir ei fod eisoes yn ister y pridd?
'Rwyf finau yn cofio yr olwg ges arno,
Yn sefyll fel Patriarch, â'i wen ar ei rudd.

Yn araf, fy mrodyr, rhowch heibio'r alargan,
Paham mae eich *galar* yn *alar* i gyd,
Rhowch fyrdwn o *obaith* yn niwedd eich cwynfan,
Plethwch eich *galar* a *gobaith* yn nghyd.

Os cwympodd tywysog—mae'r Brenin yn sefyll,
Os syrthiodd y seren, mae'r haul etto'r un,
Rhy uchel yw'r haulwen i'r gwyntoedd croch erchyll
Sy'n swnio yn nyffryn marwoldeb ei hun—

Paham y griddfenwch fel rhai fa'i heb obaith?
Waith colli eich blaenor yn nghaddug y glyn,
Diengyd a wnaeth ef o gyrhaedd pob artaith,
Cyn hir cewch ei gwmni ym mhalas y bryn.

Ymdeithydd, pan ddeli fewn muriau Caerlleon
Tro mewn am fynydyn i fonwent *St. John*,
Golch feddrod ein *Williams* â'th ddagrau try-
Ireiddia y tyweirch sy'n dô ar ei fron. [loywon,

Yn iach it', O! sant gorhoffus ac anwyl,
Cwsg dy hûn dawel am enyd mewn hedd,
Daw Iôr ar y cwmwl cyn hir i dy ddisgwyl,
*Gorph, enaid*, ac *yspryd* i fwyn-wlad y wledd.

TEGIDON.

---

EMYN AR ABERTH CRIST.

Na foed i'm henaid euog trist,
Ond haeddiant Crist yn gyfran—
Ei aberth Ef, llawn ddigon yw
I feddwl Duw ei hunan.

Os daw cydwybod lawn o dân,
Cyfiawnder glân a'r Gyfraith,
I'm gofyn mwy,—fy atteb llawn
Yw'r Iawn a dalwyd unwaith.

Melldithied Ebal uwch pob bai,
Taraned Sinai danllyd—
Y'nghysgod Crist a'i Iawn caf wledd
Heb ofni cledd na drygfyd.

Pwy draetha'n llawn ddyfnderoedd gwerth
Yr Aberth a'i fendithion?—
I ddyn caed heddwch Nef yn ol,
A Duw'n drag'wyddol foddlon.

Rhyfeddir byth y geni'n dlawd,
Y byw dan wawd a chroesau,
Dioddef cosp heb unrhyw fai,
Ac ufuddhau heb rwymau.

Yr uchel gân fydd 'iddo Ef,'
Trwy nef y nef yn seinio—
Yr ing, yr Iawn, a'r gwaedlyd chwŷs
A felys gofir yno.

*Llundain.* ERYRON.

---

EMYN DDIRWESTAWL.

'Nawr mae eisiau zel Phinëas,
A doethineb Solomon;
Llafur Paul, gwroldeb Pedr,
I ddiwygio'r byd o'r bron:
Hefyd Dirwest Timotheus,
Cariad Ioan, yn sail i'r gwaith:
A'r tywalltiad o'r uchelder,
I wynebu'r anial maith.

Y dylanwadau'r dyddiau yma,
Yn ddiammau sydd o Dduw,
Pan mae miloedd yn sobreiddio,
Ac ardystio (o bob rhyw);
Na archwaethant ddiod feddwol,
Sy'n ddinystriol trwy ein gwlad,
Beth a dalwn ni i'r Arglwydd,
Am ei hylwydd ddoniau rhâd!

---

Er it' ddyfod o Sodoma,
'N y gwastadoedd nac arhosa;
Ond cais ddianc am dy einioes,
I'r mân trefnwyd lloches ddiddos.

*Pen y Parc.* J. W. JONES.

---

GWOBR YR ANWIR.

Gwir da yn benna' dderbynir—genyf
Gwn hefyd y rhoddir
Ar ben ei daith boenau dîr,
Gan yr Uniawn i'r anwir.

I'r anwir rhoddir haeddol—dan melldith
A malldod tragywyddol,
Er ei ffiaidd eiriau ffol,
Yn y ffwrnes uffernol.

Uffernol anhoff eiriau—rhai drygliw
A dreiglant o'th enau,
Brysia, gâd dy bleser gau
Cyn yr ing yn awr angau.

Awr angau yn ddiau a ddaw—a dechreu,
Y dychryn sy'n brysiaw,
Ni ddaw bri yn nydd y braw,
Poen a'i dilyn pan delaw.

Pan delo dydd didoledd—'e wnelir
Yn ol dy anwiredd;
Ehedi'n fyw o dy fedd
A derbyni dir boenedd.

Dirboenau rhywiau a rhydd—y Cyfiawn,
Yn cofio'n dragywydd,
Yn un a Barn yno bydd
Yn dy boeni di beunydd.

*Dan y Coed, Penllin, Sir Forganwg.* W. WILLIAMS.

# Y DRYSORFA.

RHIF. XCV.] TACHWEDD, 1838. [LLYFR VIII.

## COFIANT MR. THOMAS GREEN O ABERAERON.

Gan mai 'tir anghof' ydyw y bedd, a bod y meirw yn fuan yn cael eu hanghofio allan o feddwl, a'u gweithredoedd yn cael eu hebargofi yn y ddinas lle y gwnaethant felly, dylem fod yn ofalus i gadw coffadwriaeth i'r oesoedd a ddeuant o'r rhai hyny 'a gawsant air da trwy ffydd,' y rhai a fuont hynod ymhlith yr apostolion, ac fel Iehoiadah a wnaethant ddaioni yn Israel tu ag at Dduw a'i dy; fel pan fyddont hwy megis canwyll o dan lestr yngwely di-swn y bedd, y byddo y grasau a'r doniau a ddisgleiriasant ynddynt yn llewyrchu ger bron cenhedlaethau dyfodawl, nid fel y gogonedder hwynt, nac fel y gwenhieithier i'w perthynasau, ond 'fel y gogonedder eu Tad yr hwn sydd yn y nefoedd;' ac y byddo i'w hesiamplau effeithio yn ddaionus ar eu holynwyr, trwy fod yn annogaeth i'r rhai a ddarllenant eu hanes i fyned rhagddynt ar hyd ol traed y praidd, a bod 'yn ddilynwyr i'r rhai trwy ffydd ac amynedd sydd yn etifeddu yr addewidion.' Dywedodd Crist am y wraig a enneiniodd ei gorph, 'pa le bynag y pregethir yr efengyl yn yr holl fyd, nrynegir yr hyn a wnaeth hi hefyd er *coffa am dani hi.*'

Testyn y Cofiant hwn ydoedd fab i Mr. W. Green, o Aberaeron, Swydd Ceredigion. Ganwyd ef ar y 22ain dydd o Chwefror, 1815. Cafodd ei ddwyn i fynu yn eglwys Dduw o'i febyd gyda'r Trefnyddion Calfinaidd, i'r rhai y perthynai ei rieni: ac mor fuan ag y daeth y bachgen i fedru ymwrthod a'r drwg ac ethol y da, cafwyd ynddo beth daioni tu ag at Arglwydd Dduw Israel: a gallesid dweud am dano yn ieuanc iawn, 'ac efe ydoedd dlws i Dduw.' Cyn ei fod yn gyflawn dwy flwydd oed, ganwyd iddo frawd, a phan welodd ef y diwrnod cyntaf ar ol ei eni, dywedodd wrtho yn nhafodiaith mabandod, 'Abel, Abel, plant drwg sydd yn chwarae ddydd Sul?' yr hyn sydd yn dangos fod nodweddiad plentyn yn dechreu cael ei ffurfio yn gynt nag y mae ond ychydig yn ystyried, a bod parch i'r Sabbath yn arwydd gobeithiol iawn mewn plant, ac yr ydys wedi sylwi yn fynych fod dinystr llawer o bobl ieuainc wedi dechreu mewn halogiad o ddydd yr Arglwydd.

Am ei ufudd-dod i'w rieni yr oedd yn tebygoli i'r hwn a aeth gyda Joseph a Mair i Nazareth, *ac a fu ostyngedig iddynt.* Pan oedd o ddeutu chwe blwydd oed, bu tywalltiad mawr o'r Yspryd Glan ar yr eglwys i ba un y perthynai, a bu effeithiau grymus iawn ar feddyliau Thomas ieuanc; byddai yn torri allan ac yn gorfoleddu fel y plant gynt yn y deml, y rhai a waeddant Hosannah i fab Dafydd; a phan ofynid iddo beth oedd yn ei gynhyrfu, attebai mai *ofn myned i'r tân*: a byddai sobrwydd a difrifwch mawr i'w ganfod ynddo y dyddiau canlynol ar ol derbyn y cyfryw ddylanwadau. Pan oedd oddeutu saith mlwydd oed, gofynodd un diwrnod gennad gan ei dad i gyflawni dyledswydd grefyddol yn y teulu, ac wedi cael caniattâd, darllenodd bennod, aeth ar ei liniau, ac a adroddodd Salm, ac yr oedd golwg ddifrifol iawn arno ef, er fod rhai o'r teulu mewn sirioldeb ag oedd yn terfynu ar ysgafnder: a diammau y gallesid dweud uwch ei ben y pryd hwnw, '*Wele y mae yn gweddio.*'

Pan yn yr ysgol ddyddiol ni byddai yn hoffi cyfeillachu a phlant annuwiol a fyddent yn arfer geiriau cas. Yr oedd yn dra awyddus yn blentyn am fyned i'r Ysgol Sabbathawl, ac i wrando'r efengyl, a dechreuodd yn ieuanc iawn i ysgrifenu y pregethau a glywai, o ba rai y mae llawer yn aros hyd heddyw ymysg ei bapurau. Cafodd ei ddwyn i fynu i'r un alwedigaeth a'i dad, sef masnachydd: ac ni bu ddiog

mewn diwydrwydd ynghylch gorchwylion bydol, er ei fod yn wresog yn yr Yspryd yn gwasanaethu yr Arglwydd. Ni byddai un amser yn rhodiana mewn segurdod, nac yn hoffi myned oddi cartref i unrhyw gyfarfodydd ond cyfarfodydd crefyddol, a phan ga'i fyned i gyfarfod misol neu gymanfa, byddai fel un yn cael ysglyfaeth lawer: yr oedd yn ufudd, yn fywiog, ac yn siriol gyda ei alwedigaeth fydol, ond gyda'i lyfrau yr oedd ei brif hyfrydwch: byddai yn dra gofalus am brynu pob cyfleusdra at ddarllen ynghanol trafferthau y dydd, gan wylio na chollid dim o friwfwyd gweddill amser, ac ni ddiffoddai ei ganwyll ar hyd y nos, 'yr *ydoedd yn gwaeddi ar ol gwybodaeth, ac yn cyfodi ei lef am ddeall; yn ei cheisio hi fel arian, ac yn chwilio am dani fel am drysorau cuddiedig.*

Pan oedd oddeutu tair blwydd ar ddeg oed, anfonwyd ef i'r ysgol i Gaerodor, at y Parch. G. Pococke, Prospect place. Yn y lle hwnw enillodd ei ymddygiad hardd iddo gymeradwyaeth mawr yngolwg ei athraw, fel yr ymddengys oddiwrth y llythyr canlynol a anfonwyd at ei dad ar ei ymadawiad o'r ysgol:—

Anwyl Syr,—Rhynged bodd i chwi dderbyn fy nghydnabyddiaeth ddiolchgar o'ch cefnogaeth i'm sefydliad; a chyflwyno unol annerchiadau Mrs. Pococke a minnau a'm holl deulu, i chwi a'ch tra hawddgar a chariadus fab; os bydd iddo ymddwyn gartref ac mewn bywyd dyfodawl fel y gwnaeth yn Prospect place, bydd yn fendith i'w rieni, ac i bawb a fydd mewn cyssylltiad ag ef; dedwydd a fyddwn pe gallech anfon i mi hanner cant o blant o'r un argraph a'ch mab Thomas.

Eich ufudd was,

George Pococke.

Yn fuan ar ol ei ddychweliad adref, gwelwyd arwyddion fod ei feddwl yn tueddu i fyned i bregethu yr efengyl; ond gan fod yn ei fryd i fyned i'r sefyllfa briodasol, yr oedd yn dewis mordwyo heibio i'r penrhyn hwnw ymlaenaf. Yn Ionawr 19, 1836, priododd Miss Elizabeth Thomas o'r un eglwys ag ef ei hun: a gallesid dywedyd iddynt iauo yn gymharus, ac mai anrhydeddus oedd eu priodas yngolwg pawb; a'r rhai a elent heibio, oeddynt barod i ddywedyd, 'bendith yr Arglwydd arnoch,' a gwag obaith yn addaw y caent farw yn eu nyth, wedi bod cyn amled eu dyddiau a'r tywod; *ond nid y borau y mae canmol diwrnod teg.*

Yn fuan ar ol hyn, ar ddymuniad cyffredinol yr eglwys i ba un y perthynai, dechreuodd ar y gwaith o bregethu; a dechreuodd yn ddioed i bregethu Crist. Y mae yn sylw a wnaed ar lawer o bregethwyr, iddynt ar ol bod yn feibion y daran, am lawer o flynyddoedd, droi yn fwy efengylaidd yn eu pregethau tu a diwedd eu hoes; ond efe (fel pe buasai yn gwybod nad oedd iddo ond ychydig amser,) a ddechreuodd ar fynydd Sion; Crist oedd yr Alpha a'r Omega yn ei holl bregethau: yr ydoedd fel Ioan fedyddiwr yn ganwyll yn llosgi ac yn goleuo, a buan iawn y llosgodd allan yn llwyr: yr oedd ei weinidogaeth yn gymeradwy gan y saint, a chan y gwrandawyr yn gyffredinol; yr oedd yr olwg arno yn dra gobeithiol fel pregethwr, a'r eglwysi o'i amgylch a edrychent arno fel '*y bore-oleuni pan gyfodo haul foregwaith heb gymylau, fel eginyn yn tyfu o'r ddaear gan lewyrchiad ar ol gwlaw.*' Ond yn ddisymwth wele'r nefoedd yn duo gan gymylau, a gwynt y cedyrn yn dechreu chwythu fel tymhestl yn erbyn y mur.

Yn mis Mehefin, 1837, cychwynodd i Lundain, ac wedi aros yno o ddeutu pythefnos, dychwelodd yn ol: a phan gyrhaeddodd adref, achwynai ei fod yn hytrach yn anhwylus o ran ei iechyd; ond nid oedd efe, na'i berthynasau, na'r meddygon, yn meddwl fod dim perygl ar y cyntaf, mwy na Gwr y Sunamees, pan ddywedodd y plentyn wrtho, '*fy mhen, fy mhen.*' Ond o ddeutu pen wythnos, gwelwyd arwyddion mwy peryglus yn dyfod ymlaen: ac o hyny allan, brwydr galed a ganlynodd mewn twymyn boeth, ac ni bu bwrw arfau yn y rhyfel hwnw nes rhoddi i fynu yr yspryd, ar y 20 dydd o Orphenaf, 1837. Y dydd Llun canlynol, ymgasglodd tyrfa fawr ynghyd o bell ac o agos, i roddi y pridd i'r pridd, a'r lludw i'r lludw, mewn gwir ddiogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol. Pregethwyd ar yr achlysur gan y Parch. E. Jones, Aberystwyth, oddi wrth 1 Sam. iii. 18. a'r Parch. John Hughes, Pont Robert, oddiwrth Phil. iii. 21. Wedi hyny dygwyd ei gorph i fynwent Henfynw, ac yno y claddwyd ef. Efe a ymadawodd, ond nid heb hiraeth am dano; yr oedd nid yn unig duwiolion, ond annuwiolion hefyd yn wylo, fel Ioas brenin Israel yn wylo ar wyneb Elizeus pan oedd yn marw, ac yn gwaeddi, 'O fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel a'i farchogion.' Gadawodd

ar ei ol wraig weddw ac un mab, fel na ddiffoddwyd ei farworyn, heb adael iddo nac enw nac eppil ar wyneb y ddaear, 2 Sam. xiv. 7. Dyweder am y plentyn yn y dyddiau a ddaw, rhagorach yw na'i dad. Boed i'r weddw ymddiried yn yr Arglwydd, Ier. xlix. 11. a pharhau mewn ymbiliau a gweddiau ddydd a nos, 1 Tim. v. 5. Y mae Duw wedi cyhoeddi ei hun yn dad i'r amddifaid ac yn farnwr y gweddwon, mewn ystyr wahanol i neb arall, Sal. lxviii. 5. Y mae wedi cymeryd hyn arno fel ei orchwyl neillduol; y mae Duw bob amser yn hoffi cymeryd plaid y gwan, ac amddiffyn rhai fyddo yn cael eu rhedeg i lawr.

Wrth y tad a'r fam y rhai ydynt mewn dwfn alar, dywedaf na lyncer chwi gan ormod tristwch, canys y mae eich bachgen yn iach, 2 Bren. iv. 26. Ac wrth bawb o'i gydnabod, dywedaf yngeiriau yr apostol, Phil. iv. 8, 9. Pa bethau bynag sydd ganmoladwy, od oes un rhinwedd, od oes dim clod, meddyliwch am y pethau hyn, y rhai a welsoch ynddo ef, y pethau hyn *gwnewch*. Yr ydoedd yn enwog am ei ddiniweidrwydd colomenaidd trwy ei holl fywyd. Ymhob amgylchiad efe a ai frwodd yn ddiniwed, Num. xx. 19. heb wneuthur drwg i'w gymydog yn ei enaid, yn ei gorph, yn ei enw, nac yn ei feddiannau. Yr ydwyf yn credu fod ganddo *gydwybod dda fel masnachwr*, gan ewyllysio byw yn onest ymhob peth; ac na chymerai o edau hyd garai esgid o ddim nad oedd weddus iddo fel cristion ei gymeryd. Ei ostyngeiddrwydd a'i hunan-ymwadiad ydoedd yn hyspys i bawb a'i hadwaenai: yr oedd ty ei dad fel lletty fforddolion i weision Crist, ac fel y dywedir fod Elizeus wedi tywallt dwfr ar ddwylaw Elias, neu gynnorthwyo Elias i olchi ei ddwylaw, felly nid oedd un gwasanaeth yn rhy isel gan Thomas Green i'w gyflawni i'r rhai sydd yn efengylu pethau daionus. Ni byddai achos dweud wrtho ef un amser '*dyro le i hwn*,' canys byddai yn ofalus i eistedd yn y lle isaf ym mhob man, a byddid yn aml yn gorfod dywedyd wrtho, '*y cyfaill, eistedd yn uwch i fynu*.' Yn yr Ysgol Sabbathawl, yn y cyfarfod gweddi, wrth ymweled a'r cleifion, a chyda phob math o achosion daionus, nid trwy gymhell y byddai yn gweithredu. eithr yn ewyllysgar, ac o barodrwydd meddwl; ni byddai eisiau ei syfrdanu un amser at ei ddyledswydd fel y barnwr anghyfiawn, ond fel Ahimaaz efe a ddywedai, beth bynag a fyddo, attolwg gad i mi redeg. Yr oedd sirioldeb cristionogol yn wastad yn serenu ar ei wedd: gan na adawodd yr Arglwydd ef i redeg i ormod rhysedd yn ei ieuenctid, nid oedd yr adfyfyrdod ar bechodau rhyfygus yn ochenaid iddo, nac yn gwneuthur i'w esgyrn heneiddio gan ei ruad ar hyd y dydd. Yr ydoedd yn un hynod am fod yn llawen wrth wneuthur cyfiawnder, medrai lawenhau heb fyned i ysgafnder, ac yr oedd ei dymher siriol yn tueddu i ennill eraill i hoffi crefydd, pan y mae yspryd pruddaidd, grwgnachlyd, ac anniddig crefyddwyr yn pellhau eraill oddiwrth grefydd, gan eu temptio i feddwl nad oes dim llesiant mewn rhodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd. Yr oedd ganddo y fath reolaeth ar ei yspryd ei hun, fel mai prin un amser y gwelwyd ef yn ddigllon, pan y mae llawer yn eu teuluoedd fel defni parhaus 'bob pryd yn dorf anesmwyth, ac weithiau 'n storom fawr.' Byddai efe yn ddistaw ac yn dawel heb roddi sen am sen i neb; a'i eiriau a wrandewid mewn distawrwydd rhagor bloedd yr hwn sydd yn llywodraethu ym mysg ffyliaid. Fel Dafydd yr ydoedd yn wastad am heddwch, pan fyddai eraill am ryfel. Nid oedd yn hawdd ei dramgwyddo, gan nad oedd yn gosod ei feddwl ar bob gair, a byddai yn dra gwiliadwrus rhag rhoddi achos tramgwydd i'w frawd mewn dim. Ac os gwelai ddau Hebrewr yn ymryson a'u gilydd efe a wnai ei orau i fod yn gauwr yr adwy: pan yn blentyn, wrth weled plant eraill yn ymladd, byddai yn aml yn cyflawni swydd athrywynwr, a mynych y clywyd ef yn dywedyd wrth yr hwn a fyddai ar y cam, 'paid, paid, gochel y bydd i ti ei ladd ef;' a chan ei fod mor hoff o dangnefedd, efe a guddiwyd yn fuan rhag ffrewyll tafod yn y bedd, canys yno yr annuwiolion a beidiant a'u cyffro. Ni byddai un amser yn ymgau mewn rhagfarn yn erbyn gwirionedd, ond yn wastad byddai yn agored i gymeryd ei argyhoeddi gan reswm teg. Ymunodd a chymdeithas dirwest gyda hyfrydwch mawr, er fod ei gymmedrolder uwchlaw drwgdyb o'i febyd: efe a lwyrymwrthododd a diod gadarn er cefnogi y sefydliad daionus hwnw.

Ond ei brif ragoriaeth ydoedd cariad: rhagorol oedd ei gariad y tu

hwnt i gariad gwragedd. Yn y saint sydd ar y ddaear a'r rhai rhagorol yr oedd ei holl hyfrydwch; ni byddai yn diystyru gwr tlawd doeth, ac fel Onesiphorus nid oedd gywilydd ganddo ei gadwyn: nid caru ar air yn unig yr ydoedd. Canys nid yw geiriau teg nac yn llanw'r bol nac yn cynhesu'r cefn, ond gallasai ddweud fel Iob, 'Ac os bwytteais fy mwyd yn unig ac oni fwyttaodd yr amddifad o hono, os gwelais neb yn marw o eisiau dillad a'r anghenog heb wisg: oni chynhesodd efe gan gnu fy nefaid I."

Nid oedd ei gariad yn cael ei gyfyngu i'w sect ei hun; ond yr oedd yn hoffi pawb oedd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb, er na byddent yn addoli yn yr un mynydd ag ef; fel y Samariad a wnaeth drugaredd a'r Iuddew oedd wedi syrthio ym mysg lladron, er ei fod yn perthyn i sect arall, ac nad oedd yr Iuddewon yn ymgyfeillachu a'r Samariaid. Ac nid yn unig yr ydoedd yn caru y brodyr, ond yr oedd hefyd yn chwanegu at *garedigrwydd brawdol, gariad* cyffredinol o ewyllys da i bob dyn: yr oedd yn llawn cydymdeimlad a'r trallodus er yn blentyn. Un tro pan oedd llong mewn storom yn ymwneud am borthladd Aberaeron, yr oedd lliaws o edrychwyr ar y lan, ac yn eu mysg yr oedd Thos. ieuanc yn dymuno ac yn gweddio yn ei feddwl am i'r morwyr druain allu cyrhaedd i dir yn ddiangol, ac erbyn iddynt gael eu dwyn i'r porthladd a ddymunent, efe a neidiodd gan guro ei ddwylaw, mewn gorfoledd, a dywedyd '*dyna thi wedi dod i ben Calfaria.*'

Ni byddai ond ffolineb i mi ddywedyd nad oedd ynddo bechod, 'Canys nid oes dyn cyfiawn ar y ddaear a wna ddaioni ac ni phecha.' Yr oedd ynddo gorph y farwolaeth, ac yr oedd mewn llawer o bethau yn llithro, er hyny nid wyf yn petruso ei gyhoeddi fel Zecharias ac Elizabeth, yn ddyn diargyhoedd mewn crefydd; nis gallesid ei argyhoeddi o unrhyw bechod cyhoeddus a gwaradwyddus trwy ei holl fywyd: ac nid oedd fel y mae rhai dynion crefyddol yn byw yn agos at derfynau rhyw bechod dros eu holl fywyd, ond yr oedd efe yn bwrw drygioni ymaith ymhell oddiwrtho, ac ni adawai i anwiredd drigo yn ei luestai; er hyny yr ydoedd yn cyfaddef ei hun yn bechadur mawr, yn ymwrthod a phob cyfiawnder o'i eiddo ei hun, gan ymorphwys yn unig ar aberth Crist; ac nid oedd yn ymffrostio mewn dim ond yngroes ein Harglwydd Iesu Grist. Ac yn awr ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn hwn, canys ei ddiwedd fu tangnefedd. Paham y symudwyd ef mor fuan, byddaf weithiau yn meddwl fel hyn ac weithiau yn meddwl fel arall, ond yn y diwedd rhaid i mi gyfaddef, nis gwn.

Bu farw yn fuddugoliaethus ar uchel fanau y maes; nid megis trwy dân y bu yn gadwedig, ond trefnwyd iddo yn helaeth fynediad i mewn i'r dragywyddol deyrnas; nerthwyd ef i ogoneddu'r Arglwydd yn y dyffrynoedd, ie yn nyffryn cysgod angau. Pan yn ei glefyd olaf dydd mercher y diwrnod cyn ei farwolaeth, dywedodd wrth ei wraig gyda gwen siriol ar ei wyneb, 'Y mae crefydd yn talu ei ffordd yn dda heddyw.' Gofynodd hithau iddo, A oedd yr archoffeiriad gydag ef yn yr afon? O ydyw, ebe yntau, ac yna gan osod un law yn y llall, a cheisio eu codi i fynu, a'i lygaid yn edrych tua a'r nef, llefodd allan amryw weithiau, 'Gogoniant, Gogoniant! Y mae y Brenhin mawr yn talu yn dda.' Gofynodd Cyfaill iddo, A ydyw Crist yn werthfawr heddyw? O! ebe yntau, 'Heddyw y mae yn werthfawr.' Gofynwyd iddo, pa le yr oedd y wialen a'r ffon? Attebodd, 'y maent yn cyssuro.' Bore dydd iau, sef y dydd y bu farw, dywedai gyda llais derchafedig, 'Pethau tragywyddoldeb cyn amser, a phethau tragywyddoldeb wedi amser, ydynt oll yn eiddo'r credadyn, myfi a'u piau.' Wedi hyny gwaeddodd allan, 'Bendigedig fyddo'r Arglwydd fy nghraig, yr hwn sydd yn dysgu fy nwylaw i ymladd, a'm bysedd i ryfela.' Dywedodd gwraig a safai yn ymyl ei wely, wrth weled ei ymdrech mawr a'i chwys, y mae yna chwys caled Thomas bach. Oes, meddai yntau, 'ond 'does yma ddim gwaed; y mae y *passage* yn arw ond y mae yn *safe* er hyny.' Wedi hyny dywedodd, 'Y mae yr etholedigaeth yn eithaf sicr heddyw, ac yr wyf yn gwybod y caf fyned i'r ddinas sydd ag adeilad ei mur hi o faen jaspis.' Dywedodd chwaer grefyddol wrtho, y mae yn galed iawn: Ydyw, ebe yntau, ond yr wyf ym mron cael y trechaf, y mae y frwydr olaf yn mron cael ei hennill. O pa bryd y caf fyned at y saint sydd wedi eu cwbl berffeithio: cefais lawer o hyfrydwch yma ar y llawr, can cymaint yn y byd hwn, ond yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol. Bryd arall dywedodd, 'Iesu a'i ffynnon sydd yma, ie ffynnon bywyd hefyd.' Amryw

weithiau clywyd ef yn dweud, 'O angau creulawn! ond 'does gennyt yr un colyn tu ag attaf fi!'—O ddeutu dau ar gloch brydnhawn canodd y pennill canlynol, gan gadw y don yn gwbl: 'O na allwn garu'r Iesu, yn fwy ffyddlon a'i was'naethu.'—Ei anwyl wraig yr hon oedd wedi ffarwelio ag ef cyn hyny, ac yn methu aros yn yr ystafell, wedi ei glywed yn canu a aeth i mewn drachefn, yntau a ymaflodd yn ei llaw a chan ei hysgwyd, dywedodd wrthi, y mae y graig yn eithaf cadarn. Ymhen ychydig fynudau wedi hyny canodd yn floesg,

Mi af ymlaen, er pelled yw,
I'r wlad 'rwyf am fyn'd iddi i fyw.

Wedi hyny, aeth ei dafod yn rhy floesg i dorri geiriau, ond etto yr oedd yn ymddangos yn orfoleddus, ac yn debyg i Hezecia yn trydar fel garran neu wennol, ond nis gellid ei ddeall: ac o ddeutu chwech o'r gloch brydnawn aeth yr ystorm yn dawel a'i thonnau a ostegwyd, ac yntau a gyrhaeddodd i dir yn ddiangol. Y mae gweled y cyfiawn yn gobeithio pan fyddo yn marw, yn rhoddi sicrwydd i ni o wirionedd y grefydd gristionogol, ac o'r bywyd a'r anfarwoldeb a ddygwyd i oleuni trwy'r efengyl.

JENKIN DAVIES.

## ARDDERCHAWGRWYDD Y BIBL.

Llyfr y llyfrau yw'r Bibl; y llyfr gyda dynodiad anghydmarawl: sef y llyfr ardderchocaf, y llyfr dwyfol, y llyfr perffeithgwbl, y llyfr digyffelyb; y llyfr sydd yn cynhwys pethau mwy dymunol nag aur, ïe nag aur coeth lawer: melysach hefyd na'r mel, ac na diferiad diliau mel; nid yw holl orenon llyfrau y byd yn werth eu cystadlu ag ef.

1. Yn ei Hynafiaeth. Ymffrostiai y Groegiaid yn eu Homer a'u Hesiod, ag a'u parchent o herwydd hynafiaeth eu hysgrifeniadau, gan osod *Iau* ar ucheledd eu duwinyddiaeth; ond nid yw cyfenddau y rhai hyn, mwy nag ysgrifeniadau hanesyddol Herodotus, wrth eu cydmaru ag ysgrifeniadau ysbrydoledig Moses, ond rhyw ffugchwedlau diweddar a ffurfiwyd gan ddychymmyg anianol, ac a ysgrifenwyd ganoedd o flynyddau ar eu hol; ond y Bibl yw y llyfr cyntaf, a'r llyfr hynaf yn y byd; hwn sydd yn cynnwys yr hynafiaethau mwyaf eu pwys, sef genedigaeth amser, creadigaeth y byd, dechreuad y bodau angylaidd, yr hil ddynol, a'r holl tylwythau anwâr; a'r cwbl wedi eu hargraffnodi ag anfeidrol awdurdod, fel na feiddia un hanesydd diweddarach gynnyg ei wrthbrofi.

2. Yn ei burdeb. Geiriau yr Arglwydd ydynt eiriau purion, fel arian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd, wedi ei buro seith-waith. Sal. 12. 6. 'Purwyd dy ymadrodd yn ddirfawr, am hyny y mae dy was yn eu hoffi.' Sal. 119. 140. 'Holl air Duw sydd bur.' Diar. 30. 5. Nid yw cynnwysiad y llyfrau a enwyd, ynghyd ac amrai ereill o eiddo y Philosophyddion paganaidd, ond rhyw gronfa wenwynig ac aflan o'r matterion mwyaf anllad; ond y Bibl sydd ffynnon loew ddigymmysg wedi tarddu o orsedd Duw a'r Oen. Dyma sefyllfa wreiddiol pob drych feddwl newydd nad yw yn tyfu yngardd natur: Nid yw holl ysgrifeniadau y dynion godidocaf yn y byd ond rhyw ffrydiau bychain yn tarddu o'r ffynnon yma; a'u harchwaeth yn eu cylch-rediad sydd yn ymddibynu ar ansawdd y pibellau a'u trosglwyddant. Er cyfieithu yr Ysgrythyrau i wahanol dafod-ieithoedd, ac er cymmaint o heresiau dinystriol a hauwyd yn y byd gan au-athrawon o oes i oes, gofalodd Duw er hyny am Fibl cyfan, i'w drosglwyddo yn bur a dilwgr i ddwylaw meib Gwalia, a hiliogaeth yr hên Brydeiniaid; yr hyn sydd yn fendith anmrhisiadwy iddynt. Y Bibl yw gwreiddiol achos dyrchafiad Prydain uwch teyrnasoedd y byd: ar hwn y sylfaenwyd ei chyfreithiau tyner a thrugarawg; dyma y rheolau wrth ba rai yr ysgrifenodd yr enwogion *Impy* a *Blackstone* eu darlithoedd cyfreithiol.

Yn nheyrnasiad Harri V. ymdaenodd cwmwl du rhwng Prydain a'r haul yma, gwnawd cyfraith greulawn ac annoeth i rwystro darlleniad y Bibl, swm yr hyn oedd fel y canlyn, 'Pwy bynnag a ddarlleno yr Ysgrythyrau yn iaith ei fam a fforffetiant dir, anifeiliaid, bywyd, a moddion, oddiwrth eu hetifeddion am byth, ac felly cael eu condemnio fel hereticiaid i Dduw, gelynion i'r goron, a'r bradwyr erchyllaf i'r wlad!' Ond, bendigedig fyddo Duw am beri i'r cwmwl hwn gael ei symud o ffurfafen Prydain, a pheri i haul disglaer yr Ysgrythyrau lewyrchu eilwaith ar ein gwlad! Yn ddiammau mai yr achos fod y Brytaniaid yn fwy goleu, yn fwy dysgedig, ac yn fwy campus nag un genedl arall, ydyw ei bod yn fedrus ynghyfreithiau y Llyfr

ardderchog hwn. Ei holl reolau ydynt bur ac anffaeledig, a phwy bynag a rodio ynddynt, pe byddent ynfydion ni chyfeiliornant.

3. Yn ei amrywiaeth. 'Yr ydwyf yn gweled diwedd ar bob perffeithrwydd; ond dy orchymyn di sydd dra eang.' Sal. 119. 96. Ni fu llyfr erioed, ac ni fydd llyfr byth, yn gyffelyb i hwn yn ei amrywiaeth. Fel mae holl weithredoedd y Creawdwr yn tra-ragori ar eiddo ei greadur, felly mae y llyfr hwn, teilwng i Dduw ei hun ydyw; ei drysor tragywyddol wedi ei ddadselio, yn cynnwys ei holl gyngor *wedi* ei ysgrifenu â'i law ei hun *mewn* anfeidrol ddoethineb. Mae'n ddarlun o'r Nefoedd,—yn cynnwys ei ewyllys i ddynion—ac yn selio tragywyddol ddedfryd preswylwyr annwn. Mae yn mynegu pob athrawiaeth sydd yn perthyn i Dduw, ac yn egluro holl ddyledswydd dyn.

Mae y llyfr hwn yn gasgliad cyflawn o'r dirgeledigaethau dyfnaf, ac yn hanesydd digyffelyb. Mae ynddo laeth i fabanod, a bwyd cryf i rhai perffaith; meddyginiaeth rhag pob afiechyd, a balm rhag pob clwyf. Mae yn ffon i ddal i fynu y gwan, a chleddyf i amddiffyn y galluog. Gall y cystuddiedig gael cysur ynddo, yr amddifad gynhorthwy, a'r lluddiedig orphwysdra i'w enaid. Mae'n cynnwys addysg, cyngor, a chyfarwyddyd i bawb yn mhob sefyllfa. Doed y bydol-ddyn yn mlaen i ymofyn hyfforddiad ynddo, efe a'i caiff yn llyfr y Pregethwr; y dyn duwiol, yn llyfr y Salmau; y dyn cystuddiol, yn llyfr Iob; pregethwr yr efengyl yn Timothy a Thitus; y Gwrthgiliwr, yn yr Hebreaid, y dyn penrydd, yn Pedr, Iago a Iudas, a'r rhai sydd yn ymosod ar anturiaethau mawrion yn llyfr Nehemiah. O Fibl gwerthfawr ac anghydmarol! Afon i bleser a hyfrydwch agored i bawb ydyw; gall yr oen bach gerdded ei rydiau grisialaidd, a'r elephant mawr nofio ei lynoedd. Er ei fod yn cynnwys dirgeledigaethau mor anfeidrol eu pwys nas gall engyl gogoniant eu deall na'u hamgyffred; etto mae gwirioneddau sylfaenol y grefydd Gristionogol wedi eu nodi allan, a'u hargraffu â llythyrenau mor amlwg fel y gall yr hwn sydd yn rhedeg eu darllen.

4. Yn ei gyflawnder. Llyfr cyflawn a pherffeith gwbl ydyw'r Bibl, nis gellir rhoddi dim atto, na thynu dim oddiwrtho: nid â yr un iota o hono ar ddifancoll, ac ni fydd byth ond yr hyn yw yn bresenol. 'Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith, yn troi yr enaid,' Sal. 19. 7. Yr oedd yr hen alchemists yn arfer dweyd am Faen yr Athronydd (the Philosopher's stone) ei fod yn troi pres yn aur; ac arferent ddywedyd am y *Cornucopia* ei fod yn cynnwys ynddo y cwbl sydd angenrheidiol at ymborth; am y llysieuyn *Panaces* ei fod yn gwella pob afiechyd; ac am arfogaeth Fwlcan ei bod yn amddiffyniad cyflawn a difeth rhag saethau'r gelyn. Y pethau a gan briodolent i'r rhai hyn yn naturiol a berthynant i Ysgryfeniadau Santaidd y Bibl yn ysbrydol. Gyda ei fod yn troi'r enaid, mae'n cynnwys pren y bywyd yn dwyn deuddeg rhyw ffrwyth, (sef cyflawnder o ddanteithion ysbrydol i enaid,) a phob mis yn rhoddi ei ffrwyth; a dail y pren i iachau y Cenhedloedd. Dyma hefyd gyflawn arfogaeth y saint; â hwn y gwrthsafodd ein Iachawdwr bendigedig y picellau tanllyd yn yr anialwch, pan yn cael ei demptio gan ddiafol; ac â hwn mae y cristion gwan etto i ymdrechu yn erbyn gwaed a chnawd, yn erbyn tywysogaethau ac awdurdodau, yn erbyn bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd.

Dyma darian y ffydd, helm iachawdwriaeth, a chleddyf yr ysbryd. Mae hwn yn cynnwys *perffaith gyflawnder* o bob amrywiaeth sydd ynddo, fel mae cyflawnder o oleuni yn yr haul, neu gyflawnder o ddwfr yn y môr; felly mae cyflawnder, a hwnw yn gyflawnder o bob amrywiaeth, yn cydgwrdd yn hwn. Mae yn gyflawn o oleuni, yn gyflawn o fywyd, yn gyflawn o gariad, yn gyflawn o gyfiawnder, ac yn gyflawn o ddaioni. Crynhodeb o bob cyflawnder ydyw. Dyma Gywyddau Homer o fewn plisgyn cneuen. Mae'n cynnwys pob peth angenrheidiol i'w wybod ac i'w wneuthur; holl gyngor Duw a holl ddyledswydd dyn. O Lyfr ardderchog a digyffelyb! O fôr diwaelod ac anfeuredig! Mae y rheswm dynol a'r deall mwyaf cyflym-dreiddiol yn suddo ac yn boddi yn ei ddyfnderoedd. Bydd cyflawnder rhyfeddodau cynnwysiad hwn yn parhau yn newydd i ddifyru holl deulu'r nef, pan byddo'r môr naturiol a'i donnau'n berwi'n dân—y ddaear a'i chyflawnder hi, ynghyd a'r holl uwch-fodau wybrenawl, wedi eu dymchwelyd i'w cyflwr cyntefig yn eigion diddymdra.

*Tregaron.* D. EDWARDS.

## SYLWEDD PREGETH

*A draddodwyd gan y Parch. Robert Williams yn yr Ysgoldy Lr. Gardener St. Dublin, nos Sabbath, y 12ed o Awst*, 1838.

Rhuf. x. 1. 'O Frodyr, gwir ewyllys fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel, sydd er iachawdwriaeth.'

Mae'r apostol, yn y bennod o'r blaen, yn dyfod ag Etholedigaeth gras ym mlaen fel achos neu reswm paham y cyfiawnheir pechadur ger bron Duw. Trwy ffydd y cyfiawnheir; ac i'r etholedigion y rhoddir ffydd.

Mae'r apostol yn myned rhagddo gan atteb i'r gwrthddadleuon ag oedd yn cael eu dwyn y'mlaen y pryd hyny yn erbyn trefn Duw; megis onid yw Duw yn anghyfiawn, gan iddo ethol y naill a pheidio ethol y llall, caru y naill a pheidio caru y llall? I'r hyn yr atebir gan yr apostol, yn gyntaf, gan wadu fod anghyfiawnder gyd a Duw, adn. 14, ac yna, mae yn dangos mai yr achos o wahanol ymddygiad o eiddo Duw tu ag at bechaduriaid yw ei benarglwyddiaeth a'i ewyllys ei hun, adn. 15—18.

Gwrthddadleuir ymhellach, gan ddywedyd, 'Paham y mae efe eto yn beio, canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef?' Onid yw fod Duw yn beio y rhai y mae efe yn eu caledu yn beth na ddylai fod? Onid ydynt felly o angenrheidrwydd, gan na allant wrthwynebu ei ewyllys ef? Mae'r apostol yn ateb yr wrthddadl hon drwy geryddu y gwrthddadleuwr, gan ei alw i'w ystyried ei hun. Yn hytrach, o ddyn, pwy wyt ti? &c. Yna y mae yn cyfeirio at benarglwyddiaeth Duw, yr hyn a ddangosir drwy yr eiddo y crochenydd ar y priddgist, adn. 21. Hefyd, mae'r apostol, wrth wneud cymhwysiad o'r gydmariaeth flaenorol, yn dangos ymhellach uniondeb ymddygiadau Duw tu ag at ddynion, drwy gyfeirio at y cynhyrfiol achos o honynt, yngbyd a'r dyben eithaf, adn. 22, 23.

Wedi hyny mae'r apostol yn dynodi gwrthrychau yr etholedigaeth, sef, y galwedigion o Iuddewon a chenhedloedd, adn. 24, ac wedi profi hyn drwy ysgrythyrau, adn. 25—29, y mae efe yn dangos pa fodd y daeth cenhedloedd duon i fod yn gyfiawn ger bron Duw, a pha ham yr oedd Iuddewon, er mor grefyddol, yn fyr o'r fraint, adn. 30—32.

Gallasai fod rhyw rai yn barod i ddweud, gan fod yr Iuddewon yn dangos y fath zel, nas gallant fod yn wrthodedig; a bod yn rhaid fod Paul yn llefaru fel hyn am danynt oddiar gâsineb tu ag atynt. I'r hyn y mae'r apostol yn ateb yn y modd mwyaf tirion, yn ngair y testyn, gan ddangos mai yn union i'r gwrthwyneb yr oedd efe yn dymuno iddynt ac yn gweddio ar eu rhan, 'O Frodyr, gwir ewyllys fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel, sydd er iachawdwriaeth.'

Yn adnod y testyn ni a welwn beth oedd dymuniad yr apostol yn mherthynas i'r Iuddewon, eu 'Hiachawdwriaeth'—gwaredigaeth oddiwrth y barnau tymhorol ag oedd i ddyfod arnynt, ac yn enwedig oddiwrth y llid a fydd, a'r digofaint sydd ar ddyfod. Yr oedd yr apostol wrth ddymuno hyn, yn dymuno iddynt gael eu hargyhoeddi, eu cyfnewid, a'u gwneud yn gredinwyr yn yr Arglwydd Iesu. Gwelwn hefyd, er fod yr apostol yn pregethu yn erbyn daliadau yr Iuddewon, eto, er hyny, yr oedd efe yn gweddio drostynt.

Mae'n anhawdd i'r rhai sydd weinidogion y gair ddarllen y testyn hwn, ond gyd a gostyngeiddrwydd, wrth feddwl am eu diffyg yn ei wyneb, a chyd ag erfyniau am iddynt gael eu llenwi a chariad at y Gwaredwr, ac at eneidiau dynion, fel y gallont hwythau ddywedyd gyd a golwg ar eu gwrandawyr, gyd a'r apostol mewn man arall, 'Fy mhlant bychain, y rhai yr wyf yn eu hesgor drachefn, hyd oni ffurfier Crist ynoch.'—Oddiwrth y testyn, sylwn yn 1af, Fod iachawdwriaeth yr enaid o'r pwys mwyaf.—Yn 2il. Fod llaweroedd, er mwynhau helaethrwydd o freintiau crefyddol, yn debyg o syrthio yn fyr yn y diwedd o'r iachawdwriaeth hon.—Ac yn 3ydd. Fod iachawdwriaeth ei wrandawyr yn wrthrych dymuniad difrifol a gweddiau taer pob gwir weinidog yr Efengyl, y'nghyd a'r nod mawr y mae yn cyrchu ato ystod ei oes.

I. Mai iachawdwriaeth yr enaid yw y peth mwyaf ei bwys ag sydd yn perthyn i ni. Mae cyferbynu y naill beth a'r llall yn amlygu i ni y gwahaniaeth sy rhyngddynt: a thrwy hyny mwyheir ein pleser neu ein gofid. Yr amser yr ymddengys iechyd fwyaf gwerthfawr yw, pan fyddo dyn yn gorwedd ar wely cystudd yn griddfan gan ei boenau; nid yw bywyd un amser yn ymddangos mor werthfawr a phan y byddo'r dyn ar fin marw; ac nid yw cyfeillion yn ymddangos mor anwyl a hôff a phan y maent ar gael eu hysgaru oddiwrthym. Ac felly y mae y nefoedd ei hun, yn 'orphwysfa

sydd eto yn ol i bobl Dduw,' yn ymddangos yn fwy dymunol pan y trown ein golwg i uffern obry, y lle poenus hwnw, nad oes gorphwysdra ynddo na dydd na nos. Pa ddychymyg a all ddirnad a pha dafod all draethu yr hyn a ddioddefir yn ngherwyn win digofaint Duw! Yno, y mae pob undeb oedd rhwng y dyn a'r doeth ar da wedi ei ddattod, fel y mae efe yn gwbl yn nghwmni y diafol a'i angylion y'nghyd a'r damnedigion—yno y mae euogrwydd yn enyn ac yn cyneu trueni; ac yno y mae y wreichionen wanaf o obaith wedi ei diffodd am byth. Defnyddir, yn yr ysgrythyr, y cydmariaethau mwyaf dychrynllyd er dangos dyfnder y trueni yn uffern. Fe'i cydmerir i 'bryf na bydd marw,' a 'thân anniffoddadwy.' Fe ddywedir i ni y bydd 'mwg poenedigaeth,' y rhai annedwydd fydd yno, 'yn esgyn i fynu yn oes oesoedd.' Ie, fe ddywedir i ni mewn ymadrodd byr cynnwysfawr, y bydd 'digofaint Duw yn *aros*' yno.

Ystyriwn, ar y llaw arall, beth yw bod yn gadwedig. Cael cwbl waredigaeth oddiwrth y trueni y buwyd yn son am dano, a pherffaith fwynhad o fendithion y bydd yn rhaid cael tragywyddoldeb i amlygu eu gwerth. Bydd dedwyddwch y nef y fath, ag y bydd y credadyn, wedi myned yno, yn gwaeddi 'digon yw.' Yno, bydd ei feddwl wedi ei berffaith oleuo am Dduw, ei galon wedi ei phuro oddiwrth bob drwg, a'i enaid wedi ei lenwi a chariad at y Gwaredwr. Cael 'gweled Iesu fel y mae,' yn nghwmni angylion, seraphiaid, a saint, yn canu yn ddiddarfod 'gân Moses gwasanaethwr Duw a chân yr Oen.' Wedi i frenhines Seba weled trysorau y Brenin Solomon, hi a ddywedodd na fynegwyd iddi cyn hyny yr hanner; ond nid yw yr hyn a allwn ni ei ddysgrifio, yn mherthynas i ddedwyddwch y Cristion yn y byd a ddaw, ond megis diferyn bach o ddyfnder golud y gogoniant a ddatguddir ddydd a ddaw.

Fy anwyl wrandawyr, y mae un peth yn perthyn i'n sefyllfa yn y byd a ddaw ag sydd o'r pwys mwyaf, hyny yw, bydd y gwynfyd a'r gwae yn dragywyddol. Ond, os ydym am gael golwg ar werth yr enaid, ond i ni droi ein golwg i gyfammod y prynedigaeth, ceir gweled mai nid peth o ychydig bwys yw ei waredu rhag y digofaint sydd ar ddyfod. Meddyliwn am Fachnïydd y cyfammod yn cyflawni yr ammodau—edrychwn i Bethlehem, Gethsemane, a Chalfaria. Priodol iawn, wrth adael y mater yma, yw gofyn, 'Pa lesbad i ddyn os enill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?'

II. Fod llaweroedd, er mwynhau helaethrwydd o freintiau, yn debyg o fod yn fyr yn y diwedd o'r iachawdwriaeth fawr a ddatguddir yn yr Efengyl.

Addefir yn rhwydd fod Iuddewon anghrediniol, a chenhedloedd eilunaddolgar, yn debyg i fod yn ol, ond fe allai mai nid anfuddiol fyddai i ni ystyried pa fodd y mae pethau gyd a ni yn bersonol, rhag ofn ein bod ni yn rhy barod i ddywedyd heddwch, heddwch, pan fe allai, nad oes heddwch. Nid wyf yn bresenol am dreulio amser i son am y rhai nad ydynt byth yn cymeryd enw Duw yn eu geneuau oddigerth i'w gablu—y rhai sydd yn halogi y Sabbath ac yn esgeuluso y cyssegr, y meddwon, godinebwyr, &c. Er mor llydan y tybia rhai yw drws y nefoedd, eto, braidd y gallant gredu fod rhai fel hyn yn myned yno. Os na chauir drws y nef rhag rhai fel hyn, heb eu cyfnewid, nid nefoedd fydd, ni bydd yn werth i'w dymuno. Ond gadewch i ni chwilio yn ddyfnach i'r archollion a wnaeth pechod ar enaid dyn.

Gall y dyn fod yn un hardd yn ei fywyd, a'i ymddygiadau gweddaidd yn teilyngu parch iddo—yn un geirwir, ei dafod yn *index* cywir o'i galon. Yn ddidwyll yn ei ymarweddiad, fel y gellir ymddiried ynddo ac ymddibynu arno yn mherthynas i negeseuau y byd hwn. Eto, er mor ddychlynaidd y gall y dyn fod, er y cwbl, gall ei fod yn hollol amddifad o sail dda i'w obaith am fywyd tragywyddol. Gall y rhinweddau hyn fod yn effaith dygiad i fynu mewn addysgiadau moesol, neu ryw beth arall, ac heb fod yn effaith crediniaeth yngair y gwirionedd, nac yn ffrwythau ffydd yn ein Harglwydd Iesu Grist.

Yn nesaf, gall y dyn fod yn un *cymwynasgar* a *thrugarog*—gall fod yn wr tirion, yn dad tosturiol, yn gymydog didramgwydd, yn gyfaill hynaws, Ie, yn porthi yr anghenus, yn gwisgo'r noeth, ac yn hael ei gyfraniadau at achos yr Arglwydd; ac er y cwbl, gall fod ei galon yn oeraidd, fel yr iâ, tu ag at yr Arglwydd Iesu; heb erioed deimlo cariad Crist yn ei gymell i fyw iddo yn y byd sydd yr awr hon, nac ychwaith, yn creu hiraeth ynddo am

gael ei ddattod i gael bod yn wastad gyda'r Arglwydd.

Yn mhellach, gall fod y dyn yn gwneuthur *proffes neillduol o grefydd*—yn meddu gwybodaeth drwyadl o gristionogrwydd—yn cydsynio ag athrawiaeth y gwirionedd—yn gwybod pa fodd i ymresymu o'i phlaid, ac i wrthbrofi y cyfeiliornadau sydd yn ei llychwino. Gall ei fod yn ymarfer a dyledswyddau allanol crefydd, megis darllen yr Ysgrythyrau, gweddio mewn ymddangosiad, addoli yn deuluaidd, myned yn gyson i dy yr Arglwydd, ac ymarfer ag ordinhadau yr Efengyl; ac er y cwbl, ei galon heb fod yn uniawn gyda Duw—heb ei flino erioed gan euogrwydd a halogrwydd pechod, ac heb adnabyddiaeth ysprydol bersonol a phrofiadol o'r Gwaredwr.

III. Fod iachawdwriaeth ei wrandawyr yn wrthrych dymuniad difrifol a gweddiau taer pob gwir weinidog yr Efengyl, ynghyd a'r nod mawr y mae yn cyrchu ato ystod ei oes.

Mae gweinidogion yr Efengyl yn cael eu gosod yn eu swydd, ac yn derbyn eu cenadwri, nid gan ddyn, eithr gan Ben mawr yr Eglwys. Maent yn ymgyflwyno i'w wasanaeth; ac fel y cyfryw y maent yn rhwym i wylio dros eneidiau, fel rhai y bydd yn rhaid iddynt roddi cyfrif. Gorchymynir iddynt wylio arnynt eu hunain, ac ar yr athrawiaeth, ac i fod yn 'esiamplau i'r ffyddloniaid, mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, mewn yspryd, mewn ffydd, ac mewn purdeb.' Mae bywyd yr Apostol Paul yn esiampl nodedig o hyn. Bu amser pan oedd yr Apostol Paul heb gredu yr ymadrodd am y groes, pan oedd yn erlid Crist a'i ganlynwyr; ethr wedi ei gyfnewid drwy ras, wedi i'r cablwr gael ei wneud yn weddiwr, a'r erlidiwr yn bregethwr—wedi rhoddi y 'trysor hwn' yn ei lestr pridd, a rhoddi iddo 'y gras hwn i efengylu ymysg y cenhedloedd, anchwiliadwy olud Crist.' Yna efe a dramwyodd drwy'r gwledydd, gan bregethu i'r Iuddewn, a'r Groegiaid, yn Rhufain, Athen, Corinth, &c. heb wneuthur cyfrif o ddim, a'i einioes ei hun heb fod yn werthfawr yn ei olwg, os gallai orphen ei yrfa mewn llawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniasai gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu Efengyl gras Duw. Clywn, beth hefyd a ddywed efe, 'Buom addfwyn yn eich mysg chwi, megis mammaeth yn maethu ei phlant, felly gan eich hoffi, ni a welsom yn dda gyfranu a chwi, nid yn unig Efengyl Duw, ond ein heneidiau ein hunain hefyd, am eich bod yn anwyl genym. Canys beth yw ein gobaith, neu ein llawenydd, neu goron ein gorfoledd? onid chwychwi, ger bron ein Harglwydd Iesu Grist yn ei ddyfodiad ef?'

Gair yn fyr cyn dybenu oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, 1af, Gan mai iachawdwriaeth yr enaid yw'r peth mwyaf ei bwys, y mae'n ofidus meddwl fod neb heb wybod hyny, ac y mae yn doriad calon meddwl fod y rhai sydd yn gwybod yn anystyriol o hyny.

2il. Gan fod perygl bod yn ol o'r iachawdwriaeth hon, ofnwn, gan hyny, canys pa fodd y diangwn ni, yn anad neb, os bydd i ni ei hesgeuluso? Bydd yn esmwythach i babyddion coelgrefyddol, ac i baganiaid eilunaddolgar yn y 'lle poenus hwnw,' nag i ni, os yno y'n gwelir.

3ydd. Anfoned Duw weithwyr i'r maes i 'ddeisyf' drosto, i 'erfyn dros Grist,' ac i 'berswadio dynion.' Rhai fyddo yn weddiwyr mawr, ac yn bregethwyr effro—fel gweddiwyr yn cael nerth i orchfygu gyd a Duw, ac fel pregethwyr, yn ei law ef, yn gorchfygu gyda dynion. Amen.

GWRANDAWR.

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dalen 309.)

Cyn pen hir ar ol amser Lupus a Garmon, cenedl y Franks, y rhai a gymmerasent feddiant o Dalaeth Lower Rhine, a dechreuasant helaethu eu tiriogaeth fwy fwy tua'r Gorllewin, ac ymsefydlu yn y wlad, yr hon sydd hyd heddyw ar eu henw, sef Ffrainc. Eu brenin, Clovis, yr hwn oedd wr ieuanc o ryfelwr hyf a gwrol, yn fuan a ennillodd Soissons, prif ddinas Gaul Rhufeinaidd.

Yn fuan wedi cymmeryd y ddinas hon, darfu i Clovis briodi merch ieuanc o Gristionoges, yr hon a ddefnyddiodd ei holl ymdrech brwdfrydawg i'w berswadio ef i gofleidio Cristionogrwydd. Ymddangosai fod ei hymdrechion am hir amser yn hur ddieffaith; ond mewn awr o gyfyngder, fe'u cofiwyd. Yr Alemmaniaid, y rhai a anfonasant eu lluoedd barbaraidd i wersyllu yn nhiriogaeth yr Upper Rhine, yn ddisymwth a aethant i mewn i diriogaeth brenin Cologne, a Clovis a gychwynodd gyda ei arfogion ar frys mawr i'w amddiffyn

ef. A bu rhyfel waedlyd rhyngddynt ger llaw Zulpich, yn y flwyddyn 496. Archollwyd brenin Cologne, a'i fyddin a droed yn ei hol mewn terfysg, a Clovis a ddechreuodd roi y rhyfel i fynu fel wedi colli y maes; yn y fan efe a feddyliodd am y geiriau olaf a ddywedasai y Frenhines dduwiol wrtho, canys hi a ddymunasai arno 'alw ar Dduw y Cristionogion, canys drwyddo ef y gorchfygai efe ei holl elynion;' efe a ddisgynodd oddiar ei farch, ac a gwympodd ar ei liniau yngwydd ei holl fyddin, ac a weddiodd gyda dagrau ar Iesu Grist, gan ddywedyd, 'Mi a elwais ar enw fy nuwiau, ond nid oes ganddynt hwy allu: yn awr yr wyf yn troi attat ti, ac yn ddiffuant ddymuno credu ynot. Gwared fi o law fy ngelynion, ac mi a fyddaf yn ewyllysgar i gymmeryd fy medyddio yn dy enw.' Dywedir, mai o'r munud hwnw y troes y rhyfel o'i blaid; ennillodd Clovis lawn fuddugoliaeth; yr Alemanniaid a ddarostyngwyd, ac agorwyd drws i'r grefydd gristionogol i fyned i'w plith hwynt, ac i blith y Franks. Darfu i Clovis, ynghyd a thair mil o'i fyddinoedd, gymmeryd eu bedyddio yn gyhoeddus yn Rheims. Nid oedd ei ddychweliad ef ychwaith o natur ysprydol; dychweliad at yr Eglwys oedd ei ddychweliad ef, ond nid at Grist; ac mae y gwarth o uchelfrydedd, balchder, a dichell yn glynu wrth ei nodweddiad. Fodd bynag, fe lwyddodd yr efengyl ac fe blannwyd llawer o eglwysi o dan ei nawdd ef. Ac ni a wyddom ddywedyd o'n Harglwydd y bydd i rwyd yr Efengyl ddal llawer o rai drwg a da.

Yn nyddiau Clovis y daeth hyfryd sain yr Efengyl gyntaf i blith yr Alemanniaid yn Upper Rhine. Fridolin, gwr ieuanc o Wyddel, yr hwn a ddygasid i fynu mewn un o'r Monachlogydd yn y Werddon, a wnaeth benderfyniad y byddai iddo gyssegru ei holl fywyd at waith y weinidogaeth fel Cenhadwr. Yn gyntaf, efe a deithiodd drwy'r Werddon, o bentref i bentref, gan bregethu yr Efengyl. Yn fuan wedi hyny, efe a aeth drosodd i Ffrainc, ac a arosodd dros ryw hyd mewn Monachlog, a godasid gan Hilary yn Poictiers. Oddiyno efe a aeth i diriogaeth yr Alemanniaid ger llaw yr afon Rhine, ac a bregethodd yr Efengyl i drigolion anwar y Black Forest, gan gael llythyr o amddiffyniad o dan law y Brenin Clovis. Ac ar hyd y ffordd wrth fyned yno, ymhob man, efe a hauodd yr had da ar y llaw ddehau, ac ar y llaw aswy. Gwnaeth Clovis rodd o ynys fechan ar fin y Rhine i Fridolin, ac efe a adeiladodd arni Fonachlog, lle y mae y dref fechan a elwir Sackingen yn aros hyd y dydd hwn. Daeth rhai o'r Mynachod o ardal Burgundy, ac a breswyliasant gydag ef, gan ei gynnorthwyo yn y gwaith o bregethu yr Efengyl i'r holl wledydd o amgylch. Wedi hyny, Fridolin a aeth allan drachefn i wlad y Glarniaid, ac a gyhoeddodd y newyddion da iddynt hwythau; ac yna efe a ddychwelodd i w artref, y Fonachlog yn Sackingen, ac yno y bu farw yn y flwyddyn oed Crist 538.

Nyni a drown etto at y genedl Alemanniaid, ymysg y rhai y cynneuodd Fridolin oleuni addysg Gristionogol, ac y rhai yn mhen y deng mlynedd a deugain drachefn, a dderbyniasant ychwaneg o oleuni o'r wlad bell Erin, (y Werddon). Hyn a fu drwy offerynoliaeth pregethwr o Wyddel a elwid Columban, yr hwn a ymbarottodd i waith gweinidogaeth Eglwys Crist, yn Monachlogydd Hy a Bangor Is y Coed. Efe a gymmellwyd yn gryf yn ei feddyliau i fyned allan i'r eang faes y byd i gyhoeddi Efengyl yr iachawdwriaeth. Yn y flwyddyn 599, efe a gychwynodd allan ar ei bererindod, ac yn ei ganlyn, yr oedd deuddeg o ddysgyblion ieuainc o'r Crefydd-dy, y rhai a deithiasant gydag ef drwy Ffrainc i anialwch Alsace, lle y preswyliasant yn y dyffryn carregog Vosges, yn agos i adfail hen gastell, a hwy a adeiladasant yno Fonachlog. Hwy fuont fyw am hir amser ar ddim ond gwraidd llysiau a rhisgl coed, hyd oni ddarfu iddynt, drwy lafur eu dwylaw drin ychydig o dir yn yr anialwch i ddwyn ffrwyth tuag at eu cynnal. Yn y cyfamser, aeth son mawr am dduwiolder Columban drwy yr holl froydd o amgylch. Daeth dynion o bob sefyllfa atto i gael eu haddysgu ganddo, hwythwy a'u plant. A nifer mawr o bobl ieuainc o'r paganiaid a ymgasglasant yn raddol at Columban a'i frodyr i'r Fonachlog, i'r dyben o ddyfod, fel hwythau, i ymgyssegru drwy ymneillduaeth a chalon i fod yn eiddo Crist. Buan y daeth y lle i fod yn rhy fychan, fel y bu yn angenrheidiol adeiladu dau le ereill yn y gymmydog-

aeth, i dderbyn y rhai ag oedd yn barhaus yn dyfod i gynnyg eu hunain at eu gwasanaeth. Cadwyd dysgyblaeth gaeth a gerwin ar breswylwyr y Fonachlog, yn ol y farn gyffredinol am grefydd Crist yn y dyddiau hyny.

Wedi i Columban aros ugain mlynedd yn ei hoffus Fonachlog, bu raid iddo ffoi oddiyno oherwydd malais y Frenhines ddrygionus Brunechilda; ac wedi hir ymdeithio ar hyd ac ar draws y gwledydd, efe a gyrhaeddodd at Afon Rhine lle y bu efe o'r blaen. Efe a aeth i fynu yr afon cyn belled a Limmat, ac a gyrhaeddodd Zurich, yr hwn y pryd hyny nid oedd ond rhyw gastell bychan. Oherwydd na chafodd efe baganiaid yn y lle hwn, efe a'i gyfeillion a deithiasant i fynu cyn belled a Tuggen, lle y cafodd fod y bobl yn baganiaid tywyll iawn. Arosodd Columban a'i ddysgybl zelog Gallus yn y lle hwn, ac ymdrechasant i ddysgu y bobl, i ddyfod a hwynt i adnabod y gwir Dduw, a'r hwn a anfonodd efe Iesu Grist. Ond y Paganiaid a'u hattebasant, gan ddywedyd, 'Ein hen dduwiau a fuont dda wrthym ni, ac wrth ein tadau o'n blaen, gan roddi i ni wlaw, a thywyniad haul; nis gwrthodwn hwynt: maent yn ein llywodraethu yn dda.'

Yna hwy a ddygasant offrwm i'w heilunod yn ngwydd y Cenhadau; y rhai, yn eu brwdfrydedd yn erbyn y cyfryw ddirmyg ar air Duw, a daflasant eu heilunod hwynt i'r llyn, ac a losgasant eu teml. Yr eilunaddolwyr, gan gael eu cynddeiriogi gan y zel anaddas hynod hwn, a droisant yn ffyrnig yn erbyn y Cenhadau, ac a'u bwriasant allan o'u gwlad.

Wedi hyn disgynodd Columban a'i gyfeillion o'r gwledydd mynyddig i lawr i'r gwastadedd eang yn agos i lyn uchaf Constance, ac a aeth i'r hen gastell Arbon, lle y bu i offeiriad duwiol o'r enw Willimar eu croesawi a'u llettya yn garedig iawn. Oddiyno hwy a deithiasant yn uwch i fynu i Bregenz, ac a benderfynasant breswylio yno. Yn yr amser hwn yr oedd yr holl fangre yn anghyfanedd er pan fu Attila a'i filwyr yn tramwyo yr ardaloedd hyny, ac nid oedd i'w ganfod ond rhyw arwyddion bychain o'r wir grefydd yma ac acw yn mhlith y trigolion gwasgaredig. O fewn i furiau hen eglwys ddirywiedig gristionogol, yr hon yr oedd y paganiaid wedi ei throi i fod yn deml eilunod y pregethwyd y bregeth gristionogol gyntaf gan Columban i'r Alemanniaid paganaidd yn yr ardal hon. Adeiladwyd pentref bychan cristionogol yn y lle hwn. Ac yma, o bryd i bryd, y casglwyd gryn nifer o'r Almanniaid dychweledig i gyd-gyfanneddu. Darfu i'r Cenhadau blannu gerddi, a choed ffrwythlawn, a threfnu moddion i ddala pysgod yn y llyn Constance, i'w gwerthu i'r gwledydd amgylchiadol, gyda llwydd mawr, a'r hyn oedd well, buont yn offerynol o bysgotta dynion ymhlith yr Alemanniaid hyn.

Ond ymhen y tair blynedd bu gorfod ar Columban ffoi drachefn; canys y frenhines Brunechilda a anfonodd wyr yr ail waith i'w ddala a'i gymmeryd i fynu. Gan gymmeryd rhyw nifer o'i ddisgyblion gydag ef, efe a aeth dros y mynyddoedd uchel yr Alps, i Itali, gan adael Gallus yn glaf yn nghell Willimar, yn Arbon. Un o gyfeillion Columban, a elwid Sigebert, a arosodd hefyd yn ol, ar fynydd St. Gothard, gerllaw tarddiad yr afon Rhine, i dystiolaethu i'r Rhetiaid gwylltion yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist. Efe a sylfaenodd y Fonachlog enwog Disentis, yngwlad y Grisoniaid, o'r lle wedi hyny y treiddiodd goleuni yr Efengyl i ddyffrynoedd dyfnion yr Alpiaid Rhetiaidd.

Columban a sylfaenodd yr Ysgoldy Mynachaidd a elwir Bobio ynghymydogaeth Trebia, i ddwyn i fynu genhadon yr Efengyl i'w hanfon at y Longobardiaid paganaidd, ac a fu fyw i gael yr hoffder o weled eu Brenin Agilulf, ynghyd â llawer iawn o'r Lombardiaid yn cael eu chwanegu at yr eglwys gristionogol. Yn y flwyddyn 616, bu farw Columban, ar ol treulio 42 o flynyddoedd o'i oes i lafurio yn galed a hunanymwadol i daenu gwybodaeth o'r Efengyl ymhlith y paganiaid yn Ffrainc, ac Alemanni, ac Itali, ac wedi dwyn i fynu liaws mawr o ddysgyblion i'r gwaith gogoneddus hwnw.

Yn y cyfamser darfu i Gallus adeiladu iddo ei hun Gell yn y fan lle y mae Monachlog St. Gall yn awr yn sefyll, ac a fu yn llafurus i gyhoeddi yr Efengyl i'r Alemanniaid yn yr amgylchoedd. Ei Athrofa ef, yr hon a gynnwysai ddychweledigion o Alemanni yn unig, yn fuan a gynnyddodd

gymmaint, fel y bu yn angenrheidiol iddo adeiladu o amgylch ei drigfod rifedi mawr o Gelloedd i'w frodyr, a'i brif orchwyl oedd eu dwyn hwynt i fynu yngwybodaeth o air Duw. Cyn hir daeth Monachlog St. Gall i fod yn un o brif Athrofäau Cristionogaeth yr oes; ac oddiyno y taenwyd had gwybodaeth gristionogol drwy ran fawr o diriogaethau Alemanni. Darfu i Esgobaeth Constance gyd-weithredu yn y gorchwyl; ac mewn ychydig amser efe a ymdaenodd i wared cyn belled a'r taleithiau ar dueddau Neckar. Aeth Gallus, pan oedd yn 95 mlwydd oed, i'w orphwysfa, yn mhreswylfod ei hen gyfaill Willimar, yn Arbon, ac fe'i claddwyd ef yn ei Gell. Yr unig ddodrefnyn o eiddo a adawodd efe ar ei ol oedd Bolgan ledr (*Portmanteau*), allwedd yr hon a gadwai efe gyda mawr ofal, fel na wyddai neb o'i gyfeillion anwylaf ddim beth oedd ynddi. Wedi iddo farw, fe gaed yn y Folgan grys o rawn, yr hwn a wisgai efe o dan ei ddillad ereill, ynghyd â chadwyn haiarn drom, ar yr hon yr oedd gwaed yn daenelledig. Felly, y mae yn amlwg fod y pregethwr llafurus hwn, ddim yn cyfrif dioddef 'pwys a gwres y dydd,' yn ddigon llymdost, eithr heblaw hyn oll arferai 'gospi ei gorph a'i ddwyn yn gaeth,' drwy wisgo y crys garw hwn yn nesaf i'w groen, a gwisgo hefyd, ar amserau, y gadwyn haiarn drom hon, nes y byddai ei gerwindeb yn torri ei gnawd hyd at y gwaed. Cymmaint a hyn am lafur cenhadol y blynyddoedd hyny.

(I'w barhau.)

---

## Ymddyddan

### YNGHYLCH DYSGYBLAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dal. 303.)

3. Sylwaf ychydig yn nghylch rhai pethau perthynol i'r drefn o ddwyn hyn yn mlaen neu y gweinyddiad o hono.

Tu ag at ein cynhorthwyo i iawn olygu am hyn, nid oes dim a all fod yn fwy adeiladol i ni na myned yn ol at y cyfarwyddyd a gawn mewn perthynas i hyn gan yr Arglwydd Iesu ei hun yn Math. xviii. 15—20. 'Ac os pecha dy frawd i'th erbyn,' &c. Wrth bechod brawd yn erbyn brawd, nid oes i ni olygu rhyw droseddau bychain o eiddo'r naill yn erbyn y llall, y rhai nas galler eu holrain, eu profi, na'u harddangos yn bechodau yn erbyn Duw. Nid oes dim yn deilwng o'r enw pechod, yn ol gwir ystyr y gair, ond y sydd yn drosedd o un o orchymynion yr Arglwydd. Efallai y gallwn ddeall oddiwrth ddull yr Arglwydd yn llefaru fel hyn, ei fod yn golygu pechodau lled ddirgel mewn cyferbyniad i rai mwy cyhoeddus. Mae'n amlwg bod graddau o ddirgelwch yn perthyn i'r hyn a olyga efe yma, oblegid pe buasai yn beth eithaf cyhoeddus, pa raid, neu pa reswm a fuasai gorchymyn cymeryd un neu ddau yn ychwaneg, fel yn ngeneu dau neu dri o dystion y byddo pob gair yn safadwy? a thrachefn, dywedyd i'r eglwys? Nid oes achos cyhoeddi pechod neb yn helaethach nag y byddo hyny yn adeiladol er dwyn y cyflawnydd o hono i gywilyddio ac edifarhau o'i herwydd, ac i'w adael, neu yn niffyg o hyny, ei ddwyn i afael cerydd yr eglwys o'i blegid.

Mae'n briodol golygu pechod aelod eglwysig, yn bechod yn erbyn brawd, am ei fod mewn gwirionedd yn bechod yn erbyn yn eglwys yn gyffredinol a phob aelod neillduol o honi. Anmhosibl yw i aelod eglwysig bechu yn rhyfygus a chyhoeddus yn erbyn Duw, heb trwy hyny bechu yn erbyn yn eglwys: ac y mae mor anmhosibl i un bechu yn erbyn yr eglwys heb wrth hyny bechu yn erbyn Duw. Felly ni a welwn bod drygioni deublyg, ie triphlyg yn mhechodau aelodau eglwysig. Gan hyny bydded i ystyriaeth o hyn ein dysgu, na flinom ac na thristaom yr eglwys, ie, hyd yn oed mewn pethau a allant ar amryw gyfrifon ymddangos fel yn ddiniwed, canys ni wyddom y drygedd o'r anfadrwydd sydd yn hyny.

Yn y cyfarwyddyd hwn o eiddo Crist, gwelwn na ddylai yr eglwys weithredu yn fyrbwyll yn hyn, o leiaf yn y nifer liosocaf o amgylchiadau, heb ddefnyddio pob moddion er adgyweiriad ac adferiad yr hwn y byddo a wnelo y ddysgyblaeth yn y modd hwn ag ef, gan roddi amser i edrych a fydd y moddion a arferir yn ateb dyben er ei ddwyn i edifeirwch. Y weithred olaf o eiddo eglwys tu ag aelod er ei ddwyn i edifarhau am ei feiau, wedi i bob peth arall brofi yn aneffeithiol, ydyw, ei dori allan

Ond dylem sylwi—fel y mae cymaint o wahaniaeth yn amgylchiadau, natur a maintioli beiau y gwahanol bersonau y gweinydder y rhan hon o'r ddysgyblaeth tu ag atynt, bod yn anhawdd, ie, yn anmhosibl ymsefydlu ar unrhyw reol bendant a sicr, a gyrhaedd at bob amgylchiad a bai. Dylid bob amser ystyried amgylchiadau a natur y trosedd, a gweinyddu y ddysgyblaeth yn gyfatebol i hyny.

Wrth ystyried cyfarwyddyd yr Apostol i eglwys Corinth yn achos y dyn godinebus, yr ydym yn cael achos i olygu y dylai yr eglwys mewn amgylchiadau cyffelyb i'r amgylchiad hwnw, pryd y byddo pechodau ysgeler yn dwyn gwarth ar enw Duw, a chymeriad ei eglwys, wedi tori allan a chael eu cyflawni, y dylai yr eglwys, meddaf, ddwyn y cerydd hwn o dori allan o honi i weithrediad yn ddiatreg, heb ragrybuddio na chaniatau amser i ddysgwyl ymddangosiad edifeirwch o'u plegid. Ond mewn amgylchiadau fel hyn, os bydd edifeirwch yn y troseddwr yn amlwg, yr wyf yn meddwl nad oes gwarantiad Ysgrythyrol i'w gael yn awdurdodi yr eglwys i osod y cerydd mewn llawn weithrediad. Etto dylai yr edifeirwch fod mor drwyadl, ac mor wirioneddol, a rhaid iddo fod mor gyhoeddus, â'r trosedd. Canys felly y cawn am yr holl rai y mae genym hanes am eu cwymp i bechodau, ynghyd a'u hadferiad yn ol, yn yr Ysgrythyrau.

Mae'r ordinhad o dori allan o'r eglwys, i gael ei gweinyddu, nid gan neb rhyw swyddog neu swyddogion eglwysig o ba raddau bynag y byddont, yn neillduol neu ar wahan oddiwrth yr eglwys, ond gan yr holl eglwys yn swyddogion ac aelodau yn gydgynnulledig. Mae yn wir mai i'r Henuriaid y perthyn blaenori, ac arwain yr eglwys yn mhob peth, a gosod cyfreithiau yr Arglwydd mewn gweithrediad ynddi. Ac y mae mor wir a hyny y perthyn i'r holl aelodau yn gyffredinol, ac mai eu hawlfraint a'u dyledswydd yw, eu dilyn, eu cynhorthwyo, a chydweithredu a hwynt. 'Dywed i'r eglwys,' medd yr Arglwydd Iesu; a thrachefn, 'Os efe ni wrendy ar yr eglwys,'—'Pan ymgynnulloch yn nghyd,' medd Paul. Fel hyn y mae yn 'gerydd oddiwrth laweroedd.' Pob peth mewn ymddygiadau croes i hyn, a fyddai annghristaidd a bwystfilaidd.

Mae yr ordinhad i gael ei gweinyddu yn enw yr Arglwydd Iesu, a chyda gweddi at Dduw am ei gyfarwyddyd a'i arweiniad yn y cyfryw amgylchiad, ynghyd a'i fendith ar ei ordinhad yn y gweinyddiad o honi, ac yn y canlyniad i hyny. Mae gweinyddu'r ordinhad yn enw'r Arglwydd, yn arwyddo gwneuthur hyny mewn ufudd-dod i'w orchymynion ef, perthynol i hyn, ac felly trwy ei awdurdod ef. Dylai yr ordinhad gael ei chyhoedd arddangos, fel o sefydliad a gosodiad Crist bob amser yr ei gweinydder.

Cyn y torir aelod allan o'r eglwys, rhaid i'r trosedd am ba un y ceryddir ef, fod yn amlwg, hyny yw, rhaid cael prawf digonol o hono, a'i fod yn gyfryw yn ei natur a'i amgylchiadau yn ngwyneb yr ysgrythyrau ag y dylid tori allan o'r eglwys o'i herwydd. Gwelwyd weithiau mewn ymdriniaeth a hyn, rai a geryddid am feiau yn ymddwyn mor afreolus, anystywallt ac anfoesol, fel y byddent yn eu darostwng eu hunain trwy hyny i afael cerydd eglwysig yn fwy na thrwy eu troseddau blaenorol, ac felly yn eu gosod eu hunain mewn sefyllfa anmhosibl i'w harbed. Yn y cyffelyb amgylchiadau, mae'n anghenrheidiol i'r eglwys wrth lawer o bwyll, gwyliadwriaeth, a doethineb. Ond os bydd llygad yr eglwys yn syml, a'i dyben yn gywir, bydd yr holl gorph yn llawn o oleuni. Ni ad yr Arglwydd ei dŷ heb ysbryd barn ynddo.

Dylai yr eglwys weinyddu yr ordinhad gydag ymostyngiad, galar a thristwch. Mae hyn mor briodol i'r gweinyddiad teilwng o'r ordinhad fel y llefara yr Apostol Paul am y cyfan o hono wrth y dynodiad o 'ddwyn tristwch.' Byddai unrhyw agwedd annghydweddus â hyn yn eithaf anaddas yn mhawb yn eu hymyraeth â'r fath orchwyl sobr a phwysig. Gwae yr eglwysi neu yr aelodau mewn eglwysi, a allant weithredu yn hyn mewn ymddifadrwydd o'r cyfryw brofiad. Bum lawer gwaith yn ystod fy oes yn bresennol mewn eglwysi, pryd y gweinyddid hyn o'u mewn, ond nid wyf yn cofio oddi eithr am un tro, na byddai hyn i'w ganfod yn eglur. Un o'r pethau cyntaf wyf yn gofio am eglwys Dduw yn yr ardal y'm magwyd ynddi, oedd ei gweled yn wylo, wrth weinyddu cerydd ar un o'i haelodau oherwydd ei bechod yn yfed diod feddwol:

ormodedd. Llawer a wylodd eglwys Crist, am flynyddoedd wedi hyny o herwydd y pechod hwnw mewn llawer ardal, ond yn bresennol y mae Dirwest hybarch gyda'i napcyn gwyn, fel gweinyddydd caredig a chymwynasgar, yn sychu ei dagrau, gan hebgor iddi hyny. Gobeithio na orphwys hyd oni ddiwreiddier yr achos o hyn yn hollol o'r eglwysi ac o'r byd.

Wrth sylwi ar y cyfarwyddiadau ysgrythyrol a nodais mewn perthynas i hyn, yr wyf yn cael lle i olygu, pan y digwyddo achos ceryddu mewn eglwys, yn enwedig diarddel o honi, y dylai yr eglwys yn gyffredinol, ac nid yr Henuriaid yn unig, fod yn hyspys o hyny ryw gymaint o amser yn flaenorol i weinyddiad y cerydd, o blegid heb hyny pa fodd y dichon iddi ymbarotoi i'r agwedd sydd mor anhebgorol angenrheidiol tu ag at gyflawni y fath ddyledswydd bwysig, mewn modd teilwng ac addas.

4. Sylwaf ychydig ar y dybenion o'r ordinhad, pa rai ydynt fawrion ac ardderchog iawn, ac yn yr oll o honynt yn deilwng ac addas i fawredd y sefydlydd o honi. Y rhai hyn ydynt—1. Marwâd, dinystr, a difodiad pechod.

2. Llesâd, adferiad, ac iachawdwriaeth y neb y gweinydder yr ordinhad felly tu ag atto, yr hyn, pan y'i gwneler yn gywir, a fendithir yn fynych gan yr Arglwydd i fod yn foddion effeithiol er dwyn hyny oddi amgylch.

3. Glanâd a phuredigaeth yr eglwys. Mae pob eglwys fel y cyfryw, mewn ystyr yn cael ei hanurddo a'i haflanâu trwy feiau ei haelodau, ac y mae yn euog o honynt hyd onis glanhâo ei hun oddi wrthynt trwy ymostwng ger bron Duw o'u herwydd, a dwyn tystiolaeth yn eu herbyn. Felly y bu i Israel o herwydd camwedd Achan. Ni roddai yr Arglwydd ei wyneb gyd a'i bobl nes ei dynu ymaith. Gan hyny y mae yn hollol anghenrheidiol carthu allan yr hen lefain, fel y byddo yr eglwys yn does newydd, fel y gallo gadw gwyl a bara croyw purdeb a gwirionedd. Jos. 7. 1 Cor. v. 6 8.

4. Gogoniant mynegol enw Duw a'i Fab yn y byd.

Mae annuwiolion yn wastad yn barod i gymeryd achlysur oddiwrth bechodau aelodau eglwysig, i gablu a gwaradwyddo enw'r Arglwydd, a gwarthruddo cymeriad moesol ei eglwys yn y byd. Gan hyny y mae yn hollol angenrheidiol a thra gwasanaethol er gwrthbrofi a darostwng y cabledd a'r gwarthrudd hyn, i'r eglwys fod yn ofalus a dichlyn i fwrw allan o honi, ac ymwrthod â'r aelodau hyny a'u hachlysuront, fel yn gwneuthur felly, y dangoso i'r byd, ei bod yn casâu ac yn ffieiddio pechod yn mhawb a phob man, ac fel trwy hyny y gogonedder enw Duw ei Hiachawdwr a'i Llywodraethydd.

Buasai yn dda genyf allu sylwi yn helaethach ar y dybenion goruchel hyn. Ond gwelaf fod yr amser wedi dyfod i ni ymadael y tro hwn etto. Mae y pethau yr ymdrinwn â hwynt mor bwysfawr a chyflawn o ddefnyddiau fel nad wyf yn gallu myned drostynt gyd â'r byrdra y bwriedais. Felly rhaid i mi adael y peth ardderchog a nodais yn bumed, sef cadernid yr ordinhad ynghyd ag anniddymadrwydd y cywir weinyddiad o honi, hyd nes y cyfarfyddom etto.

Ymofynydd. Yr wyf yn rhwymedig i chwi fy nghyfaill am eich sylwadau hyn, ac yn gobeithio na byddwn yn hir heb gael cyfarfod etto. Ond wrth ymadael, gadewch i ni gydganu y Penill hwn o'r Ps. 51. 18.

Bydd dda wrth Seion fryn,
O Arglwydd, hyn a fyni;
Ac wrth Gaersalem dy dreftad,
A gwna adeilad arni.

---

## Y PREGETHWR A'R GWRANDAWR.

### RHIF. III.

*Pechod Adda a'i gosp.*

*Gwrandawr.* Bum yn rhyfeddu ganwaith fod cymaint o son yn cael ei wneyd am bechod Adda, ac yntau mor lleied o beth, dim ond bwyta o ffrwyth un pren. Ni allaf yn fy myw weled fod y drwg ond bychan mewn cydmariaeth i'r hyn a allasai Adda ei wneyd; gallasai droi yn gablwr neu yn llofrudd; a phan feddyliom am yr holl bechodau sydd wedi eu cyflawni gan ddynion o hyny hyd yn awr, nid yw pechod Adda yn ymddangos i mi ond fel un o'r rhai lleiaf. Paham gan hyny y cedwir cymaint o swn am dano, ac y rhoddir cymaint o bwys arno mwy na phechodau ereill?

*Pregethwr.* Iaf, Y mae bychandra gweithred ynddi ei hun, ar ryw achlysuron, yn mwyhau y bai o'i chyflawni, neu ei he-

geuluso; canys pa leiaf fo'r peth a ofynir, hawsaf yn y byd yw ei roddi; a pha leiaf fo'r peth a waherddir, hawsaf yn y byd yw bod hebddo, a pha hawsaf fo i ddyn gyflawni ei ddyledswydd, mwyaf yn y byd yw y bai o'i hesgeuluso. 'Fy nhad (meddai gweision Naaman wrtho) pe dywedasai y prophwyd beth mawr wrthyt ti, onis gwnelsit? pa faint mwy, gan iddo ddywedyd, ymholch a bydd lân?' 2 Bren. v. 13. Felly dywedaf finau, pe gwaharddasai'r Arglwydd ryw beth mawr i Adda, oni ddylasai y dyn ufuddhau? pa faint mwy, gan na waharddodd iddo ond peth bychan? Neu pe buasai Duw yn gwahardd holl brenau yr Ardd i Adda, buasai yn bechod iddo anufuddhau, pa faint mwy, gan na waharddwyd iddo ond un pren yn unig? Y mae yr un egwyddor yn cael ei dangos yn y ddameg a lefarodd Nathan wrth y brenin Dafydd, 'Dau wr oedd yn yr un ddinas, y naill yn gyfoethog a'r llall yn dlawd. Gan y cyfoethog yr oedd llawer iawn o ddefaid a gwartheg: a chan y tlawd nid oedd dim ond un oenig fechan. Ac ymdeithydd a ddaeth at y gwr cyfoethog; ond efe a arbedodd gymeryd o'i ddefaid ei hun, ac o'i wartheg ei hun i arlwyo i'r ymdaethydd a ddaethai ato; ond efe a gymerth oenig y gwr tlawd, ac a'i parotodd i'r gwr a ddaethai ato,' 2 Sam. xii. 1—4. Buasai yn bechod i'r dyn gymeryd o anifeiliaid ei gymydog i arlwyo i'w gyfaill, pe buasai gan ei gymydog lawer o anifeiliaid, a chanddo ef ei hun ond un oenig; ond yr oedd ei bechod yn annrhaethol fwy, oblegid fod ganddo ef ei hun anifeiliaid lawer, ac nad oedd gan ei gymydog ond un. Felly buasai yn bechod mawr i Adda anufuddhau pe na buasai ganddo ond un pren, a'r holl brenau eraill gan Dduw, ond y mae fod holl brenau Eden gan Adda, ac nad oedd mewn ystyr ond un pren gan Dduw, yn gwneyd yn llawer mwy pechadurus yn y dyn fwyta o bren Duw. 2il, Nid wrth faint y weithred yn unig, nac yn benaf yr ydym i fesur neu i bwyso drwg unrhyw bechod, ond y mae yn rhaid ystyried yr egwyddor oddiar ba un yr ydys yn cyflawni y peth.

*Gwran.* Wel, pa egwyddor a allasai fod yn Adda yn ei gymell i fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig, heblaw chwant gwybod pa flas a pha ddaioni oedd yn y ffrwyth hwnw, yn gystal a ffrwythau eraill?

*Preg.* Wrth sylwi ar hanes y tro, yr wyf yn gweled fod ynddo yr egwyddorion gwaethaf ac sydd mewn bod. Yr oedd yno galon ddrwg anghrediniaeth yn ymadael oddiwrth y Duw byw, anghredu Duw a choelio sarph;—yr oedd yno falchder, anfoddlonrwydd a rhyfyg mawr, pan yr anfoddlonai dyn i'r sefyllfa hapus yr oedd ei Greawdwr wedi ei osod ynddi, a blysio gorsedd Duw ei hun.—Yr oedd yno lofruddiaeth na fu ei bath erioed, y mae llawer wedi lladd eu miloedd a'u myrddiwn o'u cyd-greaduriaid, ond lladdodd Adda ei holl hiliogaeth gorph ac eneidiau ag un ergyd. 3ydd Y mae gwahaniaeth mawr hefyd rhwng pechodau a gyflawnir mewn anwybodaeth, a rhai a wneler trwy wybod. Yr oedd Saul yn pechu yn ddirfawr wrth erlid yr eglwys, er mai mewn anwybod yr oedd yn gwneuthur. Yr oedd aberthau yn ofynol o tan yr hen oruchwyliaeth, am bechodau o anwybod, ond yr oedd Adda yn gwybod na allai fwyta o ffrwyth y pren hwnw, heb bechu yn y modd mwyaf uniongyrchol yn erbyn Duw, a thynu dinystr amserol a tragywyddol arno ei hun, ac ar ei holl hiliogaeth.

*Gwran.* A ydych yn meddwl fod bwyta o ffrwyth y pren hwnw, yn bechod ynddo ei hun, mwy na bwyta o ryw bren arall?

*Preg.* Ni wn i fod dim drwg oll yn y peth, oni buasai i'r Arglwydd ei warafun, ond wedi i Dduw orchymyn i ddyn beidio a bwyta o'r ffrwyth hwnw, ac ordeinio cadw y gorchymyn hwnw i fod yn amod bywyd; y mae tori y gorchymyn yn ymddangos i mi yn bechod o'r fath erchyllaf.

*Gwran.* Y mae yn ymddangos i mi yn rhyfedd, i Dduw roddi y fath orchymyn i ddyn, yn lle rhoddi y deg gorchymyn iddo ar unwaith.

*Preg* Yr oedd y gorchymyn a roddwyd yn ddigon, canys nid oedd bosibl i ddyn dori deddf Duw mewn dim, tra y parhai i gadw y gorchymyn hwnw; ond wrth ei dori, torodd y gyfraith o ran y swm o honi, ac aeth yn agored i dori, yn llythyrenol, bob gorchymyn sydd ynddi. 'Pan oedd y tad (meddai un gwr) yn myned allan o'r tŷ, gorchymynai i'r plentyn aros i fewn, ac onide y byddai yn agored i bob perygl. Nid oedd yn gweled eisiau rhybuddio'r plentyn i beidio a myned tan draed y ceffylau, neu o tan olwynion y cerbydau, &c. oblegid yr oedd yn ystyried tra y cedwid y

gorchymyn o aros i mewn, nad oedd perygl am y pethau hyn. Ond wedi i'r plentyn fyned unwaith tros y trothwy, y mae'n bryd gweiddi gochel yr olwynion, gochel yr anifeiliaid, gochel y dyfroedd, &c. Felly cyn i ddyn dori cyfamod ei Greawdwr, trwy fwyta o frwyth y pren, nid oedd eisiau dyweyd 'Na fydded i ti dduwiau eraill,' 'Na chymer enw Duw yn ofer,' 'Na ladd,' ac 'na ladrata,' &c. oblegid ni allasai wneyd y pethau hyny, cyn yn gyntaf fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig, ond wedi tori y gorchymyn pendant hwn, y mae wedi myned yn agored i bob drwg, fel y mae arno eisiau 'gorchymyn ar orchymyn, a llin ar lin,' i fod yn gyfarwyddiadau, ac yn ocheliadau iddo yn mhob man, oblegid y mae mewn perygl bob cam y mae yn roddi.

*Gwran.* Pwngc newydd i mi yw hwn yna hefyd. Pam na allsai Adda wneyd rhyw bechod arall, yn gystal a bwyta o'r ffrwyth gwaharddedig?

*Preg.* Y mae yn anmhosibl gwadu y pwngc hwn, heb wadu cyfamod gweithredoedd, neu wadu fod marwolaeth yn ganlyniad angenrheidiol i bechod. Athrawiaeth y cyfamod gweithredoedd yn fyr, ydyw, fod Duw wedi myned i gyfamod ag Adda yn Eden, yr amod o du Adda oedd peidio a bwyta o ffrwyth pren gwybodaeth da a drwg; os cadwai ei amod yr oedd i gael byw, ond os torai yr amod yr oedd i farw o farwolaeth ysbrydol, tymhorol, a thragywyddol. Yn awr sylwch, pe buasai dyn yn pechu mewn rhyw lwybr arall ac heb fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig, buasai yngafael marwolaeth ysbrydol yn y fan, sef yw hyny buasai yn ngafael camwedd a phechod; ac os yw marwolaeth dymorol a thragywyddol yn ganlyniadau angenrheidiol pechod, buasai yntau yn agored i'r rheiny, heb fod yn euog o fwyta o ffrwyth pren gwybodaeth, er fod Duw wedi dywedyd mai yn y dydd y bwytai o hwnw y byddai farw. Felly y mae dywedyd y gallasai Adda bechu mewn rhyw lwybr arall, ac heb fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig, yn gwneyd y cyfamod yn ofer, a'r addewid a'r bygythiad yn ddirym.

*Gwran.* Yr ydych yn dyweyd yn rhy ffest. Prin yr wyf yn eich deall.

*Preg.* Newidiwn ychydig ar y dull ynte. Fel hyn,

Y mae yn anmhosibl i neb *bechu* heb fyned i afael *marwolaeth*, 'canys cyflog pechod yw marwolaeth.' Ond,

Yr oedd yn anmhosibl i Adda fyned i afael *marwolaeth*, cyn bwyta o ffrwyth y pren, oblegid i Dduw ddyweyd mai pan fwytai o'r ffrwyth hwnw y byddai farw. Gan hyny,

Yr oedd yn anmhosibl i Adda *bechu* cyn bwyta o ffrwyth y pren.

*Gwran.* I ba beth yr ydych yn siarad fel yna? Onid oedd y dyn wedi pechu yn ei galon trwy chwenych peth anghyfreithlon, &c. cyn i'w enau brofi dim o hono?

*Preg.* Gwir. Ond pa beth atolwg oedd y chwenychiad hwnw, os nad bwyta o'r ffrwyth yn nghyfrif Chwiliwr y calonau? Os ydyw 'pob un sydd yn edrych ar wraig i'w chwenychu hi, wedi gwneuthur eisoes odineb a hi yn ei galon,' oni ellir dywedyd oddiar yr un egwyddor, fod Adda pan ddechreuodd chwenychu y ffrwyth gwaharddedig, wedi bwyta eisoes o hono yn ei galon?

*Gwran.* Wel, yn ol yr athrawiaeth yna, nid rhinwedd yn Adda oedd peidio a lladd ei wraig, neu wneyd rhyw ddryganiaeth arall, cyn tori y cyfamod; canys yr oedd ei Greawdwr yn eiatal, neu yn ei orfodogi i beidio, a'r hyn y mae dyn yn cael ei orfodogi iddo, nis gall fod yn fai nac yn rhinwedd ynddo.

*Preg.* Cyfeiliornad yw y dyb fod anallu i wneyd, neu i beidio a gwneyd, bob amser yn cynwys gorfodaeth i hyny. Ni all yr Arglwydd wadu ei hun, na bod yn gelwyddog, nac edrych ar ddrwg, etto nid all neb osod gorfodaeth arno i ddim. Ni all yr etholedig angylion bechu, etto y maent yn fodau hollol rydd, fel nad yw eu hewyllys o tan un math o drais. Ni all dynion annuwiol a chythreuliaid ddim caru Duw, etto nid oes neb yn ei gorfodogi i gasâu Duw. Ac er na allai Adda bechu tra cadwai amod y cyfamod a wnaeth Duw ag ef, etto yr oedd yn weithredydd hollol rydd. Yr oedd gras ataliol Duw yn ei gadw rhag pob pechod arall, fel y mae yn cadw angylion rhag pechu, etto heb roddi trais ar ei ewyllys, mewn un modd.

*Gwran.* Ni wiw i ni ddechreu heno efo *gallu dyn*; y mae yn ddigon bychan i ni gael haner diwrnod i ymddiddan am y pwngc hwnw ar ei ben ei hun, pan caffom hamdden. Dywedasoch gyneu, fod dyn wrth bechu yn myned i afael marwolaeth ysbrydol, ac mai yr un peth yw hyny a bod yngafael camwedd a phechod: atolwg ai felly yr ydych yn golygu, ai ynte rhyw air damwain ydoedd?

*Preg.* Felly yr wyf yn golygu; ac felly, debygaf fi, yr oedd yr Apostol yn golygu, pan yn dywedyd fod yr Ephesiaid gynt, yn feirw mewn camweddau a phechodau. Bod yn farw ysbrydol yw bod dan lywodraeth anian nad oes dim yn tarddu o honi ond camweddau a phechodau; ac yr wyf yn meddwl mai y farwolaeth hon yw y rhan drymaf o'r gosp am dori cyfamod Eden.

*Gwran.* Gellid meddwl yn ol yr athrawiaeth yna, nad oes, yn yr ystyr fwyaf priodol o lefaru, un pechod yn bod, ond pechod Adda yn unig: oblegid y mae y duedd annuwiol sydd mewn dynion, ynghyd a'r holl feddyliau, geiriau, a gweithredoedd sydd yn tarddu oddiar y duedd hono, i'w hystyried yn gosp ar y dyn, yn hytrach nag yn bechodau yn y dyn.

*Preg.* Pob un o'r ddau. Y mae i ddyn gael ei roddi i fyny i dueddiadau llygredig, yn gospedigaeth am dori cyfamod Eden, ac ar yr un pryd y mae'n bechadurus yn y dyn fod y fath duedd ynddo, o ganlyniad y

mae pob peth sydd yn tarddu oddiar y duedd hono yn bechadurus.

*Gwran.* Pa fodd y gall hyny fod? Y mae dywedyd fod yr un peth yn bechod ac yn gosp, debygwn i, yn wrthddywediad, (*contradiction*). Y mae dyn o'i wirfodd yn pechu, ond o'i anfodd yn cael ei gospi,—yn weithredydd wrth bechu, ond yn ddyoddefydd wrth ei gospi,—y mae pechod yn ddrwg, ac ni all Duw fod yn awdwr o hono, ond y mae cosp yn dda, ac y mae Duw yn rhoddwr o honi; pa fodd gan hyny y gall yr un peth fod yn bechod ac yn gospedigaeth?

*Preg.* Byddai dywedyd fod yr un peth yn bechod ac yn gospedigaeth yn yr un ystyr, yn wrthddywediad yn ddiau. Ond nid yn yr un ystyr y mae cyflwr presennol dyn yn gospedigaeth, ac y mae yn bechod. 1af, Fel y mae gras yn cael ei attal oddiwrth ddyn, ac yntau yn cael ei adael i syrthio i bechod, y mae y peth yn gospedigaeth. Ond yn 2il, fel y mae gelyniaeth yn erbyn Duw yn llywodraethu yn nghalon dyn, a throseddiadau o gyfraith Duw yn tarddu o'r elyniaeth hono, y mae y peth yn bechod.

*Gwran.* Dowch chwi at y pwynt. Os ydyw y peth yn bechod yn y dyn, rhaid ei fod yn ddrwg; ac os ydyw y peth yn gosp oddiwrth Dduw, rhaid ei fod yn dda: pa fodd y gall yr un peth fod yn dda ac yn ddrwg ar yr un pryd?

*Preg.* Y mae eich cwestiwn yn peri i mi dybied nad ydych yn ystyried y gwahaniaeth sydd rhwng *y peth ei hun*, a *goddef i'r peth fod.* Dichon i'r *peth ei hun* fod yn ddrwg, ac etto *goddef i'r peth gymeryd lle*, fod yn dda. Yr oedd croeshoelio Arglwydd y bywyd, o ran y *weithred ynddi ei hun*, y drwg mwyaf: ond etto yr oedd *i Dduw oddef i hyny fod*, y daioni mwyaf. Felly y mae sefyllfa lygredig dyn yn sefyllfa o bechod, hyny yw, y mae yn bechod iddo fod yn y fath sefyllfa; ond etto, y mae goddef iddo fyned i'r sefyllfa hono yn dda, a hyny yw rhan fawr o'i gosp am bechod cyntaf Adda.

*Gwran.* Yn ol yr athrawiaeth yna y mae cyflwr dyn yn druenus iawn yn wir. Nid oes un pechod yn ormod gan greadur rhesymol ei gyflawni os gadewir ef iddo ei hun, ac yn ol eich golygiad chwi ar bethau, pan y mae dyn yn pechu, y mae yn cael ei gospi trwy gael ei adael i gyflawni pechod mwy, ac fe allai y ca ei gospi am hwnw trwy gael ei adael i gyflawni pechod mwy drachefn; a gallai hyny barhau yn annherfynol, ac felly byddai euogrwydd y creadur yn cynyddu yn ofnadwy i dragywyddoldeb.

*Preg.* Peth ofnadwy yw pechod, ofnadwy ynddo ei hun, ac ofnadwy yn ei ganlyniadau! Yn wir, y mae yn destyn bron rhy arswydus i ymddiddan yn ei gylch, oni bai fod yr efengyl yn agor drws o ymwared oddiwrtho: ond pa hyllaf y bo pechod yn ein golwg, gogoneddusaf yn y byd yr ymddengys trefn gras.

*Gwran.* Ond yr wyf yn methu a gweled etto, pa fodd y mae yn gyson â daioni, ac â sancteiddrwydd Duw, gospi y dyn fel hyn, sef trwy ei adael megis â'i ffrwyn ar ei wâr i bechu chwaneg. Ai tybied yr ydych na fuasai yn well rhoi rhyw *stop* ar bechu, a rhoi rhyw garchariad ar y dyn yn gosp am a wnaeth, na'i adael i chwanegu pechod at bechod, a hyny yn ddiddiwedd?

*Preg.* Byddai yn well i ni roddi '*stop*' ar yr ymddiddan, na myned yn mlaen i'r tir anial yna, rhag ein cael yn euog o ymryson âg ef. Wrth gwestiyno fel yna yr ydym yn rhy agos i'r hen drobwll, ac y cynghorai yr Archesgob Leighton bawb i'w ochelyd, sef '*gwreiddyn drwg moesol.*' Yr wyf yn meddwl fod mor anhawdd amgyffred pa fodd y mae pechod yn cael ei oddef i barhau yn y byd trwy yr oesoedd ag ydyw dirnad pa fodd y goddefwyd iddo ddyfod i'r byd yn y dechreuad.

*Gwran.* Efallai mai gwell i ni adael heibio y '*Pa fodd*' am y mater hwn ynte, a 'chwilio yr Ysgrythyrau a ydyw y pethau hyn felly.' A ydyw fod dyn yn cael ei gospi am bechod, trwy gael ei roddi i fynu i bechodau eraill, yn athrawiaeth ysgrythyrol?

*Preg.* Yn Rhuf. i. 21—24. y darllenwn ni fel hyn, 'Oblegid a hwy yn adnabod Duw, nis gogoneddasant ef megis Duw, ac ni buant ddiolchgar iddo;—o ba herwydd, Duw a'u rhoddes hwynt i fynu, yn nhrachwantau eu calonau i aflendid,' &c. Trachefn adn. 25 a 26 'Y rhai a newidiasant wirionedd Duw yn gelwydd, ac a addolasant, ac a wasanaethasant y creadur yn fwy na'r Creawdwr, yr hwn sydd fendigedig yn dragywyddol. Amen. Oblegid hyn y rhoddes Duw hwynt i fynu i wyniau gwarthus.' Trachefn 2 Thes. ii. 10, 11. 'Am na dderbyniasant gariad y gwirionedd, y denfyn Duw iddynt amryfusedd cadarn, fel y credont gelwydd.' Yn awr, chwi a welwch yn eglur wrth yr Ysgrythyrau hyn, fod dynion yn cael eu goddef i gyflawni y pechodau mwyaf erchyll yn gospedigaeth am bechodau eraill.

*Gwran.* Rhaid addef fod yr Ysgrythyrau yna yn profi y gall y fath beth fod ag i ddynion gael eu goddef i gyflawni pechodau, a hyny yn gosp am bechodau eraill; ond pa fodd y profwch fod goddef pechodau eraill yn gosp am bechod cyntaf Adda?

*Preg.* Os darllenwch chwi Gen. ii. 17. cewch weled mai y bygythiad am fwyta o ffrwyth pren gwybodaeth da a drwg, oedd 'Gan farw ti a fyddi farw.' Ac os darllenwch chwi gwedi'n Eph. ii. 1. cewch weled mai cyflwr dyn ar ol i Adda fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig, yw, bod yn farw mewn camweddau a phechodau, sef ywhyny, bod o tan lywodraeth anian bechadurus, heb ddim ond camweddau a phechodau yn tarddu o honi. Felly gan mai cyflog, neu gospedigaeth, y pechod hwnw yw marwolaeth, a bod i ddyn gael ei lywodr-

aethu gan anian bechadurus, yn gynwysedig yn y farwolaeth hono, y mae yn rhaid fod ei roddi i fynu i'r anian hono yn gosp arno am fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig.

*Gwran.* Da chwi, ymdrechwch i ddyweyd yn eglurach.

*Preg.* Ni allasai marwolaeth o un math ddyfod i ran dyn, ond yn gosp am fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig. Ond y mae bod mewn camweddau a phechodau yn fath o farwolaeth. Gan hyny, y mae i ddyn gael ei adael i fyned i gamweddau a phechodau, yn gosp am fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig. Felly y mae y goddefiad o bob pechod arall a gyflawnwyd, neu a gyflawnir byth, gan Adda a'i hiliogaeth, yn gospedigaeth am ei bechod cyntaf ef.

*Gwran.* Yr ydych yn rhoddi rhyw fath o reswm am y goddefiad i Adda a'i hiliogaeth bechu pob pechod ar ol y cyntaf, sef yn gospedigaeth am y pechod hwnw. Ond atolwg, yn gospedigaeth am ba beth y goddefwyd i Adda bechu y pechod hwnw?

*Preg.* Ni allai y goddefiad hwnw fod yn gospedigaeth am ddim, canys nid oedd un pechod yn y dyn i'w gospi cyn hyny.

*Gwran.* Paham ynte yr ydych yn dywedyd fod goddef i ddyn bechu ar ol hyny yn gospedigaeth? Oni byddai mor gyson i Dduw oddef pob pechod arall, heb fod yn gospedigaeth am ddim, ag oedd iddo oddef y pechod cyntaf felly?

*Preg.* Pe na buasai gyfamod yn bod rhwng Duw ag Adda, buasai mor gyfiawn i Dduw oddef i ddyn syrthio i bechod a thrueni, ar unrhyw bryd, ag oedd iddo adael i angylion wneyd hyny; oblegid nid oedd gan na dyn nac angel hawl i ofyn moment o gynnaliaeth mewn dedwyddwch, mewn sancteiddrwydd, nac mewn bod, oddiar law eu Creawdwr, canys yr oedd pob cynnaliaeth iddynt, yn dibynu yn hollol ar ei ewyllys da ef. Yr wyf yn tybied yn ostyngedig, 1af, Nad ydyw dyn yn cael ei oddef i redeg i unrhyw bechod na thrueni o dan y cyfamod gweithredoedd, na buasai yn gyfiawn i'w Greawdwr ei adael i fyned iddo, pe na buasai y fath gyfamod mewn bod; ac felly nad oedd gan Adda ddim i'w golli trwy fyned i gyfamod â Duw, ond fod ganddo bob peth i'w enill; oblegid yn 2il, Fod y fath ddaioni yn nghyfansoddiad y cyfamod hwnw, fel y buasai i Adda gyflawni ei amod, yn sicrhau iddo ef a'i hiliogaeth ryddid o bob marwolaeth, a mwynhad o bob dedwyddwch: ond yn 3ydd, Fod yr holl drueni tymorol a thragywyddol, sydd wedi dyfod ar ddynion, yn gospedigaeth am doriad y cyfamod gweithredoedd.

*Gwran.* Y mae arnaf eisiau siarad llawer etto efo chwi am y peth a elwch 'Cyfamod gweithredoedd;' ond gan ei bod mor hwyr, rhaid i ni adael hyny tan y tro nesaf y cyfarfyddom a'n gilydd. Nos da'wch.

*Preg.* Nos da'wch.

## COFNODAU CYMDEITHASFA Y BALA,

*A gynnaliwyd Mehefin* 12, 13, 14, 1838.

DYDD MERCHER, AM 8 O'R GLOCH, CYFARFOD Y LLEFARWYR.

YMDDYDDANWYD â'r brodyr ag oeddent i gael eu neillduo i waith cyflawn y weinidogaeth, a gwnawd rhai sylwadau cyffredinol ar allu dyn yn ei gyssylltiad â'r weinidogaeth gyhoeddus. Golygwyd nad oedd pregethu gallu naturiol dyn a'i ddyledswydd yn ganlynol, heb sôn am ei anallu i'r hyn sydd dda, a gwaith Duw yn ei ras, yn bregethu yr efengyl. Mae pregethu dyledswydd dyn yn ddyledswydd ar holl Weinidogion y Gair; ond dylid seilio annogaethau i ddyledswydd ar dir yr efengyl. Pregethu gallu dyn a dyledswydd dyn, gyda golwg ar y dyn ei hunan, fydd y pregethu mwyaf diffrwyth yn yr holl wlad, canys, o'i ran ei hun, llygaid heb weled, a dwylaw heb deimlo, &c. sy gan y dyn. Pwy sydd yn pregethu ac yn derchafu y natur ddynol yn fwy na'r Sociniaid, a phwy fwy difywyd na'r Sociniaid? Ni ofynodd Duw ddim i'r cythreuliaid, ond paham y mae yn gofyn gan ddyn? Yr ateb yw, y mae wedi darparu ar gyfer dyn—rhaid i'r holl annogaethau, ynte, fod yn gafnau, a'u gwreiddyn yn yr iechydwriaeth fawr, onidê ni red dim dwfr trwyddynt.

Y CYFARFOD I NEILLDUO, AM HANNER AWR WEDI DEG.

Dechreuodd y Parch. Abraham Jones trwy ddarllen rhan o'r gair a gweddio. Yna y Parch. J. Elias a gyfarchodd y gynnulleidfa yn gyffredinol mewn perthynas i natur y gwaith mewn llaw. Sylwai fod y gorchwyl hwn yn un o'r pethau mwyaf ag sydd yn perthyn i deyrnas yr Arglwydd Iesu ar y ddaear—y gorchwyl mwyaf difrifol oedd hwn pan oedd yr Arglwydd Iesu Grist ar y ddaear—nid oedd un mor bwysig a hwn ychwaith yn ngolwg yr apostolion—nid aent byth ato heb ymyryd a gweddi, ie, taer weddio, a dwys ymprydio. Gwaith mawr yw ordeinio Gweinidogion. Nid oes neb a all gymmwyso Gweinidogion ond Duw yr Yspryd Glân—nid oes neb a all eu hawdurdodi ond yr Arglwydd Iesu Grist. Swydd Crist yw hyn, ac fe erys yn ei swydd hyd nes cael yr holl deulu adref ato ei hun. Gwaith yr eglwys ar y ddaear ydyw ymdrechu i chwilio allan pwy a gymmwysodd efe, a dylai y rhai a fo yn chwilio fod yn dra ysprydol, a theimlad bywiog ganddynt tros achos Crist yn y byd. Nid rhoddi cymmwysderau a wneir wrth ordeinio i gyflawn waith y Weinidogaeth, ond neillduo yn enw yr Arglwydd i'r gwaith hwnw y tybir fod Yspryd Duw yn neillduo. Dylai fod sobrwydd mawr yn ein meddiannu wrth ymaflyd yn y gwaith, ac wrth godi y llaw i ddangos cymmeradwyaeth o'r brodyr, dylai fod y llaw yn myned i fynu pob gradd bychan mewn arswyd, canys nid fel codiad

llaw cyffredin yw hyn. Gofynodd y Parch. J. Jones, Tremadog, a oedd rhyw rai wedi eu dewis i'w neillduo? ac a fuasai eu dewisiad yn rheolaidd? ac atebwyd yn gadarnhaol gan Mr. J. Jones, Beddgelert. Yna darllenodd y Parch. Jenkin Davies y rhanau o'r Ysgrythyr fel arferol, ac a aeth i weddi. Y Parch. J. Hughes, Bont, a lefarodd am Natur Eglwys. Sylwodd fod Eglwys gan Dduw, a'i bod hi yn gynnwysedig mewn cynnulleidfa o ddynion. Nid yw y gair "Eglwys" o wreiddyn Cymraeg, ond y mae yn arwyddo "galw allan," a chyfieithir ef weithiau *cynnulleidfa*. Wrth Eglwys y meddylir, rhai wedi eu galw allan o'r byd i ymddidoli oddiwrth eraill, ac i ymgynnull eu hunain. Amlwg yw mai un yw Eglwys Dduw—un teulu ydyw yn y nefoedd ac ar y ddaear—felly y mae gwir aelodaeth bywiol yn Eglwys Dduw yn beth mawr. Er mai un deyrnas ac un teulu ydyw, etto y mae ynddi aelodau lawer fel y corph. Un yw y corph, ond y mae ynddo aelodau lawer; ac yn y byd cymmysglyd yma y mae iddi ganghenau lawer. Ni allwn gynnwys Eglwys Dduw heb edrych i amrywiol enwadau am dani.

Mae yr Eglwys i'w hystyried yn filwriaethus yn y byd, ac yn ogoneddus yn y nef —mae rhan o honi wedi gorphwys oddiwrth eu llafur, a rhan arall o honi heb orphwys, ac yn y rhyfel. Mae rhan wedi eu geni, a rhan heb eu geni. Mae hi yn weledig ac yn ddirgeledig. Yr Eglwys weledig a gynnwys bawb ag sydd wedi eu henill i wneuthur proffes o Grist: a'r Eglwys ddirgeledig a gynnwys yr holl dduwiolion ar y ddaear. Rhaid fod y Weinidogaeth, ac athrawiaeth yr efengyl, ynddi, canys canwyllbren i gynnwys y goleu yn y byd yw yr Eglwys. Y mae athrawiaeth iachus, a dysgyblaeth yn ol Gair yr Arglwydd, a'r ordinhadau, y rhai ydynt seiliau y cyfammod newydd, yn hanfodol i Eglwys. Mae gan yr Eglwys filwriaethus yn y byd yma swyddogion, canys ni bydd iawn drefn arni heb fod rhyw rai i ofalu am ei threfn; ac mae 'r swyddogion hyn o wahanol raddau. Mae ganddi Weinidogion o alwad y Pen mawr, a gwaith yr Eglwys yw edrych am y rhai hyny, a'u galw at y gwaith. Mae yn weddus i'r Eglwys, wedi cael y cymmwysderau angenrheidiol ynddynt, ac wedi cael prawf arnynt, eu galw at yr holl waith. Llefwn am *garictor* un yn y Bibl "ffyddlon yn ei holl dŷ."

Mae gan yr Eglwys ddyledswyddau i'w cyflawni tu ag at ei Gweinidogion. Mae eu gofal yn fwy, a'u llafur yn fwy; felly dylai fod mwy yn cael ei wneud tu ag atynt gogyfer a hyny, fel na byddo iddynt lethu o herwydd diofalwch yr Eglwys.

Gofynwyd barn y brodyr ar ganghenau yr athrawiaeth gan y Parch. David Howells. Abertawe.

Gofynwyd cymmeradwyaeth y Corph yn gynnulledig o'r brodyr hyn gan y Parch. John Hughes, Gwrecsam.

Rhoddwyd y Cynghor iddynt gan y Parch John Elias.

Mae y swydd, i'r hon eich neillduwyd chwi heddyw yn un arswydus. Mae y lle yr ydych yn sefyll ynddo yn lle ofnadwy. Y gwaith y galwyd chwi ato, ac y cytunasoch chwithau âg ef, y gwaith mwyaf a roddwyd i ddynion ar y ddaear erioed ydyw. Mae yr enwau a roddir ar Weinidogion Duw yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn profi hyn,

1. "Dyn Duw," "Gwr Duw," yw yr enwau sydd arnynt. Byddai ymddygiad teilwng i'r enw yn anrhydedd mawr—a phe byddai raid i bawb ddywedyd am bob un o honoch, "Wele ŵr Duw," fe dderchafai hyny ogoniant Crist yn y wlad. Os nad *dynion Duw* ydym yr ydym yn *intruders*—lladron y lle ydym—cymmerwyr gorchwyl arnom nad yw yn perthyn i ni ydym. Ni fyddaf yn ddyn cyffredin byth wedi fy ordeinio yn Weinidog. Dyn Duw, neu ddyn diafol fyddaf. Gwnaiff Duw neu ddiafol ryw beth â mi. Os âf fi i le "dyn Duw" heb fod felly buan y defnyddia y diafol fi fel offeryn yn ei wasanaeth.

2. "Cenhadau dros Grist" y gelwir hwynt. Cenhadau yn *lle* Crist yw Gweinidogion y Gair. Yr oedd yn perthyn i'w swydd i bregethu hyd y farn: ond yr oedd yn rhaid iddo ef fyned, ac yn awr y mae efe yn pregethu trwy ei genhadau. Maent hwy yn sefyll *trosto*, ac yn ei *le*. Lle ofnadwy, ynte, yw y lle hwn. Yr ydym ni yn sefyll yn lle Crist, ac yn gweinyddu trosto; dylem chwilio yn fanwl a ddywedasom ni erioed yr un gair na ddywedai Crist mo hono!

"Gogoniant Crist" ddylai Gweinidogion y Gair fod. Pe bai pob Pregethwr yn ateb i'r enw hwn, "gogoniant Crist," byddai gwedd arall ar y wlad yn fuan. Mae Gweinidogion y'mhob man i fod yn "ogoniant Crist"—i fod yn ddynion i osod Crist allan—i fynegi ei rinweddau ef mor eglur fel pe bai Crist ei Hun ynddynt. Maent i ddwyn rhyw drysor mawr i'r bobl. Llestri pridd yn wir ydynt—llestri gwael (ond maent hwy yn well wedi myned yn Ddirwestwyr, y mae llai o gylchau oddeutu iddynt) ond maent yn dwyn trysor gwerthfawr mewn llestri pridd. Maent yn wir yn dlodion, ond yn cyfoethogi llawer! A oes cyfoeth gyda ni? Nid ceisio eich arian yr ydym ond ceisio eich cyfoethogi. Pe caem ni achub y bobl aed eich arian i ddystryw. Cario y trysor i lawer y bo ni. Yr ydych chwi, fy mrodyr, heddyw wedi proffesu proffes dda. Mae Duw a'r angelion sanctaidd yn dystion. Hyderaf na huda Satan chwi, ac na ddena eich calon, i'ch dwyn hŷd welltyn pen oddiwrth y broffes a broffesasoch heddyw. Ar ben-ffordd y gwirionedd ewch i ben eich taith. Fe feddwodd Noah a Lot pan yn hen. Mae eich nodweddiad hyd yn hyn yn dda, ond nid ydych allan o'r perygl eto. Teithiwch y'mlaen â'ch pwys ar eich anwylyd, a gweler chwi felly yn dyfod o'r anialwch.

Yr ydym oll yn sobr yn y pulpud, ond nid yw pawb felly yn y tŷ. Os gallaf fi gellwair wedi dyfod i lawr, mae yn rhaid mai cellwair oeddwn yn y pulpud. Ymddygwch ym mhob man fel yn y man hwnw. Ger bron Duw yr ordeiniwyd chwi heddyw—ger bron Duw y cymmersoch y gwaith arnoch —a cher bron Duw y byddwch yn rhoddi cyfrif. Cofiwch hyn, a bod yn lân oddiwrth waed eneidiau, fyddo eich gofal dros eich bywyd.

Terfynwyd trwy weddi gan y Parch. John Davies, Nantglyn.

CYFARFOD 8 O'R GLOCH BOREU DDYDD IAU.

Y mater dan sylw oedd "Gwaith yr Ysbryd Glân yn cymmwyso yr iechydwriaeth." Mae golygiadau cywir ar ail enedigaeth o bwys mawr. Prif waith ein hen dadau oedd sefyll yn erbyn egwyddor hunan-gyfiawn y wlad, ac o ran pwnc cawsom y wlad o'r tir hwn, ond yn awr, mae yn debygol fod gogwydd cyffredinol y wlad i fychanu yr angenrheidrwydd o waith yr Ysbryd Glan at iechydwriaeth. Mae agwedd y wlad fel pe bai gwrando am hyn yn achub—fel pe bai deall a phroffesu hyn yn cadw yr enaid. Nid oes dadl nad yw yr Ysbryd Glân wedi cael ei dristau genym, a hyny trwy ddibrisio ei waith ef. Nid ydym yn mawrhau ei waith, nac mewn gwasgfa ddyladwy am iddo ddyfod i weithio er achubiaeth pechaduriaid. Ond beth a feddylir wrth *ail-enedigaeth*? Haera rhai mai *metaphor* yw y gair *ail enedigaeth;* ond nid yw fod y gair yn *metaphor* yn dangos y gwaith ddim llai. Nid cymhariaeth â gormodiaith ynddi yw y gymhariaeth. Mae y gymhariaeth islaw y peth a osodir allan trwyddi. Mae cymhariaethau yn angenrheidiol i ni er deall pethau ysprydol, "Os dywedais i chwi bethau *daearol* a chwithau nid ydych yn credu; pa fodd, os dywedaf i chwi bethau *nefol* y credwch? (Ioan 3. 12.) hyny ydyw, heb wisg o gyffelybiaeth am dani. Fe'i gelwir weithiau yn "eni o'r Yspryd," Ioan 3. 6. Efe yw y gweithredydd. Dro arall, "geni o Dduw." 1 Ioan 4. 7. Mae rhywbeth o'r Yspryd yn cael ei roddi yn yr ail-enedigaeth. Nid oes rhaniad ar Berson yr Ysprvd Glân, ond y mae rhywbeth yn cael ei roddi ganddo, yr hyn a elwir yn "ail-eni." "Pob un a aned o Dduw nid yw yn gwneuthur pechod, oblegid y mae ei hâd ef yn aros ynddo ef." 1 Ioan 3. 9. Mae hâd anllygredigaeth yn cael ei roddi yn yr enaid. Mae egwyddor yn cael ei phlanu ynddo a elwir "yr yspryd." "Mae cnawd yn chwennychu yn erbyn yr yspryd, a'r yspryd yn erbyn y cnawd." Gal. 5. 17. Dyma ddwy egwyddor yn yr un dyn; a'r ddwy hyn yn gwrthwynebu eu gilydd. Dyma ddau ddyn yn yr un dyn, sef "ein hen ddyn ni a dyn newydd." Rhuf. 2. 6. Seph. 4. 24. Gwaith bywyd yw diosg y naill a gwisgo y llall. Mae yma ddwy ddeddf, "Deddf yr aelodau a deddf y meddwl," (Rhuf. 7. 23.) y rhai sydd yn dangos dwy egwyddor—dwy anian yn gweithredu yn yr enaid. Er nad oes person newydd yn dyfod i'r enaid yn yr ail-enedigaeth, eto, mae rhywbeth nad oedd hanfod iddo o'r blaen yn cael hanfodiad. Mae yma greadur newydd nad oedd yn bod yno trwy rinwedd y greadigaeth gyntaf. Mae yr egwyddor a roddir yn ysprydol—yn caru pethau yr Yspryd, "yn syniaw yn ol yr Yspryd," yn caru rhyngu bodd Duw, ac mae yr egwyddor hon yn llywodraethu yn yr enaid. Mae yn cael ei alw yn "fywyd." Marw yw dyn, ond yn y tro mawr yma mae bywyd yn cael ei roddi nad oedd ynddo o'r blaen, "Y dwfr a roddwyf iddo a fydd ynddo yn ffynon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol." Ioan 4. 14. Da fyddai gochelyd pob cywreindeb dynol, a chymmeryd y peth fel y mae Yspryd Duw yn llefaru am dano.

Nid newid anian, ond rhoddi anian at anian, ac yn erbyn anian, a wneir yn yr ail enedigaeth. Mae llawer o bethau na wyddom ni pa fodd y maent yn yr ail-eni; ond ni wyddom ni ddim pa fodd y ffurfir dynoliaeth yn y bru. Ni wyddom ni ddim pa fodd yr ydym yn gweled, &c. ond yr ydym yn gwybod fod genym ddynoliaeth, a'n bod yn gweled; felly mae hefyd yn y mater hwn.

Mae dyn yn farw yn yr hyn y mae yn farw. Mae rhyw weithrediadau at Dduw na all y dyn mo honynt heb ei fywhau. Ni all ddymuno am dano heb ei fywhau—ni all ei garu heb ei fywhau—ac ni all ymhyfrydu ynddo heb ei fywhau.

Mae Yspryd Duw wedi gosod y peth mawr hwn allan o dan wahanol gyffelybiaethau, a dylem gymmeryd y cwbl o honynt gyd â'u gilydd er deall yr hyn a ewyllysiai yr Yspryd Glân i ni wybod am y peth. Nid ydyw nad ydym ni yn gallu amgyffred pa fodd y mae Yspryd Duw yn gweithredu yn un rheswm yn erbyn ei waith; er na wyddom pa fodd, eto gwyddom yr hyn a wna, sef "rhoddi y dduwiol anian," &c. Ni waeth i ni geisio amgyffred y Duwdod ei hunan na cheisio amgyffred rhai pethau yn holl waith Duw. Sonia rhai am ddenu dyn, ond mae dyn yn milwrio yn erbyn Duw; felly mae angen am allu Dwyfol i orchfygu y gelyniaeth sydd ynddo. Mae nerth anfeidrol, a dyfod yn ewyllysgar, yn gweithredu ar yr un mynyd.

Bydded mwy o bregethu ar hyn, a bydded ychwaneg o chwilio am hyn yn y Cyfarfodydd neillduol gartref. Da fyddai po bai y cwestiwn hwn yn bwysig ar galon pob un "A ail-anwyd fi?" Os na wnaed, un o'r bobl gymmysg ydwyt, nid wyt yn eiddo Crist, "Od oes neb heb Yspryd Crist ganddo nid yw hwnw yn eiddo ef."

Cawd cymhorth neillduol i ymdrin â'r mater uchod, ac arwyddion amlwg nad oedd Yspryd Duw ym mhell oddi wrthym.

Yn y Cyfarfod cyffredinol, am 2 o'r gloch, dydd Mercher, mewn atebiad i lythyr o Le'rpwll, yn cyfeirio at amgylchiad

llongau yn morio oddi yno i Dulyn (*Dublin*) ac yn ol, i ddadlwytho yn wastadol ar y Sabboth, penderfynwyd, "Nad oes i neb aelodau fyned ar fwrdd *Packets* ag y gwyddant eu bod yn arfer tori y Sabboth."

D. CHARLES, *Ysgrifenydd.*

*Bala.*

---

## ANWYBODAETH A CHYFEILIORNAD.

*Allan o waith* LACON.

Y MAE bron mor anhawdd i ddyn ddad-ddysgu ei gyfeiliornad a'i wybodaeth. Y mae anwybodaeth yn fwy gobeithiol na chyfeiliornad, o herwydd y mae cyfeiliornad yn fwy gweithgar bob amser nag anwybodaeth. Anwybodaeth sydd ddalen wen, ar yr hon y gallwn ysgrifenu; eithr y mae cyfeiliornad yn un wedi ei bras ysgrifenu, oddiwrth yr hon y dylem yn gyntaf ymddilen ymaith. Anwybodaeth sydd foddlawn i sefyll yn barhaus â'i gefn at y gwirionedd; ond y mae cyfeiliornad yn fwy rhyfygus, ac a â ym mlaen yn y cyfeiriad gwrthwynebol. Nid oes gan anwybodaeth un goleuni, ond y mae cyfeiliornad yn canlyn un ffugiol: y canlyniad yw, am gyfeiliornad, pan olrheinia ef ei lwybr, fod yn rhaid iddo fyned ym mhellach yn ol cyn y gall gyrhaeddyd y gwirionedd, nac anwybodaeth.

*Cyf.* GAIAN.

*Tref Gaian, Mon.*

---

### NODIAD HEN WEINIDOG AR GANU MAWL.

NID ydwyf yn gweled yn beth gweddus i lenwi Eglwys Dduw âg amrywiaeth o ganiadau newydd; a'r rhei'ny, fe allai, lawer o honynt yn rhy debyg i *Country Dances*, oddigerth ambell dôn newydd, fwynaidd, syml, addas i'r gwaith o addoli.

Mi a fyddaf yn tristau wrth weled yr hen bobl yn digaloni, ac yn aros yn ol yn y rhan hyny o addoliad, sef canu mawl; am hyny gweddus y gwelaf i'r bobl ieuaingc, gyd âg ambell dôn newydd, i geisio aros yr hen bobl i ddysgu cyd-ganu y dôn hyny gyda hwy, a pheidio dyfod â gormod o rai newydd ar unwaith, neu eu newid yn rhy aml, Felly hefyd yr hen bobl i beidio digaloni y bobl ieuaingc yn hyn, ond bod yn foddlon iddynt gael ambell un newydd, ac ymdrechu o honynt i ddysgu cyd-ganu gyda hwy, i gyd-gario y gwaith ym mlaen yn y rhan hyn o hono yn gystal a rhanau eraill.——*Y diweddar* WILLIAM HUGH, *Pregethwr gyd â'r Trefnyddion Calfinaidd yn Sir Feirionydd*, 1809.

---

## GWEDDI DDIRGEL.

*Allan o'r "Revivalist."*

MAE hyn yn anhepgorol angenrheidiol er cynnydd mewn gras. Y Cristion proffesedig hwnw, yr hwn nad yw yn yr ymarferiad cysson o gymmundeb dirgel â Duw—yr hwn yn wir er ei fod yn wir blentyn i Dduw—a gollodd un o'r tystiolaethau hoffusaf o'i fabwysiad, ac sydd yn ddilys yn gollwng o'i afael un o'i freintiau melysaf, ac a adawa heb ei chyflawni un ddyledswydd arbenig.

Y proffeswr crefyddol hwnw, yr hwn na ŵyr etto beth yw cynnal cymundeb melus â Duw trwy Iesu Grist, yn neillduaeth ddirgel ei ystafell, ni wybu etto am helaethrwydd ei fraint; ac y mai lle i ofni na phrofodd ddylanwadau yr Yspryd Sancteiddiol yn troi ei galon. Pan oedd yr Iachawdwr mawr yma ar y ddaear, gofynodd un iddo, "Arglwydd, ai ychydig yw y rhai cadwedig?" ac efe a atebodd, "Ymdrechwch i fyned i mewn trwy y porth cyfyng; canys llawer, meddaf i chwi a geisiant fyned trwodd ac nis gallant." Ac yn ngair Duw hefyd y darllenir y gofyniad canlynol: "Os o'r braidd y bydd y cyfiawn yn gadwedig, pa le yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur?" Ac yna y gofynais i mi fy hunan, "Pa le yr ymddengys y *proffeswr rhagrithiol*? Efe, yr hwn a orwedd yn dawel ac yn llonydd ym mreichiau gobaith twylledig a gau: ym mha le, O! ym mha le, yr ymddengys y cyfryw un? Ai ni bu iddo erioed gael ei ail-eni? Na ddo; canys ni ail-anwyd neb ond y rhai a roisant eu hunain yn hollol i fynu i Dduw, i'w creu o newydd a'u harwain gan ei Yspryd, ac i'w llywodraethu yn ol cyfarwyddyd anfeidrol ddoethineb am amser a thragywyddoldeb, trwy hyny yn bwriadu, trwy gymhorth Duw, i gyflwyno eu hunain yn hollol i'w wasanaeth a'i ewyllys ef. A'r cyfryw broffeswyr a'r rhai hyn a weddiant yn eu hystafelloedd bob dydd. Hwy a ddewisasant Dduw, yn wirfoddol ac yn benderfynol, yn rhan i'w heneidiau; ac mewn cymmundeb âg ef yn unig y gall y rhai hyn gasglu ffrwythau bywiol ei gariad ef oddiar bren y bywyd, a bendithion ammhrisiadwy ei gyfiawnder. Yma yn unig y gallant hwy ddadlwytho eu mynwesau o'r holl ofalon, a'u bwrw ar yr Hwn sydd yn gofalu am danynt, a'r Hwn sydd yn alluog ac yn ewyllysgar i'w diddanu yn nghanol holl derfysg y ddaear. Yma y maent yn ennill nerth ac eondra adnewyddol i'r ymgyrch. Yma y newidir hwy o ogoniant i ogoniant. Yma y cânt syllu ar wynebpryd hawddgar eu Harch-offeiriad mawr, a gwerthfawrogi ei swydd. Mewn gair, yma yr ennillir y fuddugoliaeth, neu y collir y dydd—lle y rhaid i'r gweddiwr lefain, buddugoliaeth neu angeu!

Yn awr, ddarllenydd, os nad ydwyt yn gweddio yn dy ystafell dychryna am dy obaith! Os nad wyt ti yn hoffi y man tawel hwn i ymneillduo mewn gweddi hola dy hunan. "Na thwyller di, ni watworir Duw:" mae dy galon yn hollol adnabyddus iddo ef, yr hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd; ac os nad yw Yspryd Crist ynot nid ydwyt yn eiddo iddo ef. "Deffro, O gysgadur! cyfod, galw ar dy Dduw, fe allai y gwrendy arnat, fel na choller di."

D. E. J.

## BRECH Y BUCHOD.

***Cow pox vacination.***

Mr. Golygydd,—Y mae yn ddrwg genyf ganfod fod y frech wen wedi ffynu mor ddwys yn Nghymru, yn enwedig yn siroedd Dinbych a Fflint; ac ar amserau yn hynod o ddinystriol. Holais feddygon ynghylch yr achos o hyny, a oedd dylanwad amddiffynol brech y buchod mewn rhan neu yn hollol yn ddieffaith? Yr atteb cyffredinol a dderbyniais oedd, fod dylanwad attaliol brech y buchod mor gryf ag y bu erioed; ond fod oddeutu 37 mlynedd o amser yn ol wedi egluro y gwna yr effaith wisgo ymaith, a bod adnewyddu impiad brech y buchod yn mhen 5 neu 7 mlynedd yn hollol angenrheidiol.

Mae achosion eraill o hyn hefyd, sef gan hyder: yr oedd pobl yn penderfynu *ar y dechreu* fod impiad brech y buchod mewn gwirionedd yn *berffaith* ddiogelwch rhag y frech wen. Tra y bu dynion yn benderfynol o hyny yr oedd y tramgwydd anwybodus yn erbyn brech y buchod wedi cael ei symud mewn rhan, ac yr oedd y bobl yn dechreu anturio cyflawni y gwaith eu hunain. Yna cyflawnwyd impiad brech y buchod gan amryw ddwylaw anghyfarwydd, sef gwyr heb fod yn feddygon, ac eraill o feddygon anfedrus a diofal. Yn y cyfryw amgylchiadau, os byddai y frech impiedig yn codi, a chwysigen o ryw fath yn ymffurfio, tybid fod hyny yn ddigon, pan nad oeddis yn meddwl ond ychydig, neu ddim, am fod crawn brech y buchod a impid yn un gwirioneddol; y dull o'i gymmeryd ef o'r chwysigen, a nifer y plant a impiwyd allan o'r un defnydd yn hollol ddifeddwl am danynt. O herwydd yr achosion hyn, mae yn ddiau fod llawer o *grawn twyllodrus* wedi cael ei ddefnyddio, yr hyn, allan o bob dadl, a fyddai yn annigonol i ateb y diben, fel *perffaith* ddiogelwch rhag y frech wen.

Heblaw hyny, yr wyf fi yn meddwl, ac y mae y meddygon yn gyffredinol o'r farn, "fod effaith amddiffynol brech y buchod yn diflanu yn rhywle rhwng y bummed a'r bymthegfed flwyddyn, canys y mae yn digwydd, gan mwyaf, ac yn wir heb nemawr o eithriaid, mai dynion mewn oed, a phlant rhwng deg a deuddeg oed ac uchod, yw y rhai ag sydd yn cael y frech wen ar ol cael eu himpio â brech y buchod.

Mae y daflen ganlynol, yr hon a gymmerwyd allan o Adroddiad Dr. Gregory, am amgylchiadau Claf-dŷ y Frech Wen yn Llundain, yn cadarnhau rhai o'r pethau a nodwyd uchod.

*Rhestr o'r cyflyrau a dderbyniwyd i Glaf-dy y Frech Wen yn y fl.* 1836; *gyda chyfeiriad at oedran y cleifion.*

| CYFLYRAU. | o 1 i 5 oed | | o 6 i 10 | | o 11 i 15 | | o 16 i 20 | | o 20 i 25 | | o 26 i 30 | | o 30 i 40 | | o 40 i 50 | | Uwchlaw 50 | | Y nifer a dderbyniwyd. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | derbyniwyd | bu farw | |
| Diamddiffyn .......... | 29 | 15 | 11 | 3 | 19 | 3 | 59 | 19 | 50 | 24 | 14 | 6 | 9 | 3 | 2 | 1 | .. | .. | 193 |
| Wedi cael brech y buchod | .. | .. | 2 | .. | 11 | 1 | 40 | 4 | 49 | 3 | 20 | 1 | 5 | .. | .. | .. | 1 | 1 | 128 |
| Wedi impiad y frech wen | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | 1 | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | 1 |
| Heb gael y frech wen .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | .. | 7 |
| Cyfanswm ........ | 29 | 15 | 13 | 3 | 30 | 4 | 99 | 23 | 99 | 27 | 35 | 7 | 14 | 3 | 2 | 1 | 1 | 1 | 329 |

Gwelir yn y daflen uchod, fod 40 o'r plant y rhai ni chawsant Frech y Buchod dan 11 oed, wedi cael eu cymmeryd i mewn i'r clafdy dan y frech wen. Dau *yn unig* a dderbyniwyd yn yr oedran hwnw wedi cael Brech y Buchod.

Ond wedi'r cwbl, mae achosion eraill yn peri fod y Frech wen yn aros yn ein gwlad, ac yn cynnyddu, ac yn fynych yn troi yn farwol.

1. Yn benaf, oherwydd diofalwch ac esgeulusdra y bobl, i alw am Feddyg a fyddo yn y gymmydogaeth (ac mae amryw o honynt yn impio am ddim) hyd nes y byddo y frech wen yn yr ardal neu y pentref; yna mae y rhieni yn dwyn eu plant yn lluoedd, hyny yw, y cyfryw ag sy yn ddiragfarn at Frech y Buchod, at y Meddyg, yr hwn, yn gyffredin sydd yn analluog ar y cyfryw amser i gael hanner digon o'r crawn i gyflawni yr angen. A'r cyfryw na chant yr impiad ar yr ymofyniad cyntaf, gan fod y dychryn yn fuan yn myned heibio, yna hwy a esgeulusant ymofyn â'r meddyg drachefn.

Hefyd, wedi rhoi brech y buchod weithiau nid yw yn ymgymmeryd, eithr yn pallu codi; er hyny ychydig iawn o'r plant hyny a ddygir at y meddyg drachefn i gael ail gynnyg.

Drachefn, anfynych iawn y dygir y plant a fyddont wedi cael brech y buchod, ac wedi codi yn dda, at y meddyg, fel y caffo efe beth o'r crawn i'w ddodi ar blant eraill.

Mae eraill hefyd y rhai ni adawant i'r meddyg gael dim o'r crawn oddiar eu plant

pan fyddo yn aeddfed i hyny, hyd yn nod ar y ddwy fraich, gan ddywedyd, er mor ddisail, y bydd i hyny attal yr effaith rhinweddol ar eu plant hwy.

Ac mae eraill drachefn, fel y mae yn ddrwg genyf ddywedyd, yn ei attal oddiar dymher ddrwg, a hunanoldeb anegluradwy, yr hyn, fel y gellid meddwl, nas gallai fod mewn neb ar a fyddo yn proffesu enw Cristion.

Ar yr 8fed, ac o hyny hyd y 10fed dydd, bydd ansawdd corph y plentyn wedi derbyn cyflawn effaith crawn impiad brech y buchod, a chwysigen llawn o hylif gloyw fydd y canlyniad, pryd y gwneir dau neu dri o bigdyllau yma ac acw ar y llynoryn. Cymmerir ychydig o'r crawn hwn, gan ei gymmwyso at ysgryffiniad ysgafn ar y fraich, a'r frech fydd bron bob amser yn sicr o effeithio, tra y metha sylwedd wedi sychu yn aml.

Ond fe ddylid impio y frech ar ddwy fraich y plentyn; neu, ynte, ar ddau fan ar yr un fraich. Yna gellir impio dau, neu dri, neu bedwar o blant oddiar un chwysigen, heb wneuthur un gradd o niweid i'r plentyn y codwyd y sylwedd oddi arno.

Pe byddai i'r cyfryw rieni, y rhai a nacant adael codi dim o'r sylwedd oddiar eu plentyn i'w impio ar blant eraill, ystyried y niweid a all ddigwydd, ïe, yn fynych a ddigwyddodd o'r herwydd. A fu i neb o'r plant, y rhai na impiwyd â brech y buchod o herwydd y nacad hwn, gael y frech wen a marw! Mae yn rhy wir mai do. Oni fu i ereill golli eu golygon, neu gael afiechyd, yr hwn a lynodd wrthynt am flynyddoedd, ac yn y diwedd a'u dygodd i'r bedd yn anamserol? rhaid ateb mai felly y bu. Pa helbul a gofid a gafodd y rhieni hyny o'r achos? A hyn oll a barwyd drwy i ryw un attal i ychydig o'r sylwedd gael ei gymmeryd o'r chwysigen i impio ar fraich plentyn arall; sef y cyfryw sylwedd, yr hwn nid yw ond sychu i fynu, a myned yn grammen, ac yna plicir hi ymaith gan y plentyn, neu fe'i gadewir i syrthio o honi ei hun mewn ychydig ddyddiau, ac a sethrir dan draed yn y llwch. Ac yn fynych iawn, pan yn wlybaidd ac aeddfed, fe'i crefir ymaith, trwy ddiofalwch, wrth wisgo am y plentyn, ac felly fe'i collir, a bydd yn hollol ddiles.

Am hyny gofynaf, onid ydyw yn llawn bryd i'r bobl ystyried yr achos hwn gyda golygiadau adnewyddol, gan fod yn ddiolchgar am gyfodiad brech y buchod ar un plentyn mewn trefn i allu trosglwyddo y sylwedd at blentyn cymmydog.

GWLADGARYDD.

---

## ATTEBION.

### *Atteb i Ofyniad Ieuan Wyddyn, Rhifyn 94, tu dalen 306.*

Y GOFYNIAD yw, pa fodd i ddirnad a chysoni yr hyn a ddywed Matthew mewn perthynas i'r dyn â'r lleng cythreuliaid yn Pen. 8. 28. "Ac wedi ei ddyfod ef i'r lan arall, i wlad y Girgesiaid, dau ddieflig a gyfarfuant âg ef," &c. a'r hyn a ddywed Marc yn Pen. 5. 2. "Ac ar ei ddyfodiad ef allan o'r llong, yn y fan cyfarfu âg ef o blith y beddau ddyn âg yspryd aflan ynddo," &c.

Nid yw Luc chwaith, yn Pen. 8. 27. yn sôn ond am un. Y modd i'w ddirnad sydd fel hyn, Os gofynir, Pa un ai un a'i dau ddieflig oedd yno? attebir, Dau, fel y dywed Matthew. Paham, gan hyny, y dywed Marc a Luc am un yn unig? Attebir, Onid oes un mewn dau: os oedd yno ddau, fel y dywed Matthew, mae yn rhaid fod yno un fel y dywed Marc a Luc. Eglur yw nad yw Marc na Luc yn dyweyd nad oedd yno ddau, neu nad oedd yno ond un; felly nid oes yma ddim anghysondeb.

Ond os gofynir etto, Os oedd yno ddau, paham y sonia Marc a Luc am un yn unig, ac nid fel Matthew am ddau? I hyn yr attebaf, Mi dybygwn mai yr achlysur o hyn oedd, fod un o'r ddau yn fwy nodedig o lawer na'r llall, sef yn fwy cyhoeddus, ac yn fwy ffyrnig, a gorwyllt; ac felly y cyfnewidiad a wnaed arno yn llawer mwy amlwg a chyhoeddus na'r llall.

Ym mhellach, nid yw y gair *un* ddim yn yr hanes yn Marc nac yn Luc. Dywed Marc "Cyfarfu âg ef o blith y beddau *ddyn* âg yspryd aflan ynddo;" a Luc "Cyfarfu âg ef *ryw wr* o'r ddinas, yr hwn oedd ganddo gythreuliaid er's talm o amser."

CYHOEDDWR.

---

### *Ateb i Ofyniad Ieuan Wyddyn, yn yr un tu dalen, am arosiad corph yr Arglwydd Iesu yn y ddaear dridiau a thair nos."*

"CANYS fel y bu Jonas dridiau a thair nos ym mol y morfil, felly y bydd Mab y dyn yn nghalon y ddaear." Mat. 12. 40.

Mae yn hysbys fod corph ein Harglwydd Iesu Grist wedi cael ei ddodi yn y bedd brydnawn Gwener, ac iddo fod yno nos Wener, a dydd Sadwrn, a nos Sadwrn, a boreu Sabboth, ac efe a gyfododd foreu y dydd hwnw, sef boreu y trydydd dydd ar ol ei gladdedigaeth. 1 Cor. 15. 1. Felly, fe fu yno un dydd a dwy nos gyfan, a rhan o'r ddau ddiwrnod eraill, yr hyn a ellir ei alw, yn ol priodoldeb iaith, yn "dri diwrnod;" ac ar y trydydd dydd o'r tri diwrnod hyny efe a gyfododd.

Bwriwch fod gwr wedi myned i Lanwyddyn yn y boreu, ac aros yno hyd yr hwyr, oni ddywedid ei fod wedi bod yno un diwrnod? ac ni feddyliai neb fod y cyfryw yn cyfeiliorni wrth ddywedyd hyny, er na fu efe yno, yn ol manylrwydd cyfrifiad oriau, fe allai, ddim yn chwaneg na deg neu ddeuddeg awr; ac yn ol gwir ystyr y gair *diwrnod* y mae yn cynnwys pedair awr ar hugain.

Yn gyffelyb, bwrier fod dyn wedi myned i Lanwyddyn brydnawn Gwener, ac aros yno hyd foreu dydd Sul, oni ddywedid ei fod

wedi bod yno dri diwrnod? sef dydd Gwener, Sadwrn, a'r Sul; felly *fe fu Crist yn y* bedd y tri diwrnod hyny.

Mae yn debyg nad oes dim anhawsder deall fod Crist wedi bod yn y bedd "dri diwrnod;" canys yr ydym yn arferol o ddywedyd yn fynych ym mhob gwlad, os bydd un wedi bod yn rhyw le ond ychydig oriau ddydd Gwener, ei fod wedi bod yn y fan neu 'r fan ddydd Gwener, er na fu efe yno ar hyd y dydd hwnw, nac, fe allai, ar hyd y bedwerydd ran o hono. Ond yr anhawsder sydd i ddirnad "i Grist fod yn y bedd dridiau a thair nos."

Ystyriwn yr ymadrodd hwn i fanylrwydd. Mae un dydd ac un nos yn gynnwysedig mewn *un diwrnod*, sef pedair awr ar hugain. Felly yn y modd yma y mae "tri diwrnod" yn arwyddocau tri dydd-nos. Dywed Mr. Whitby, yn ei sylw ar Eph. 4. 7—10. "Mae yn rheol gyffredinol ym mysg yr Iuddewon *fod rhan o ddiwrnod yn cael ei roi am yr holl ddiwrnod;* fel mai pa beth bynag a wneler ar ryw ran o'r diwrnod, y gellir dywedyd iddo gael ei wneud ar y diwrnod hwnw. Gwel 1 Bren. 20. 29. "A hwy a wersyllasant y naill ar gyfer y llall saith niwrnod. Ac ar y seithfed dydd y rhyfel a aeth ynghyd." Mae yn amlwg na wersyllasant y naill ar gyfer y llall ond chwe diwrnod, a rhan o'r seithfed dydd, canys "ar y seithfed dydd y rhyfel a aeth ynghyd, a meibion Israel a laddasant o'r Syriaid gan mil o wyr traed mewn un diwrnod." Felly y mae rhan o'r seithfed dydd yn y gwersylliad yn cael ei alw "y seithfed dydd" o'r saith niwrnod, canys ni allasent wersyllu ar gyfer eu gilydd *ar hyd y dydd hwnw*, o herwydd i'r rhyfel ddyfod ynghyd ar y rhan olaf o'r seithfed dydd: felly dyma ran o'r dydd yn myned am y cyfan. Hefyd (Esth. 4. 16.) Esther a ddywedodd wrth yr Iuddewon, "Na fwytewch ac nac yfwch dros dridiau, nos na dydd: a minnau a'm llancesau a ymprydiaf felly." Pen 5. 1, &c. "Ac ar y trydydd dydd Esther a ymwisgodd mewn brenhinol wisgoedd." Eb hi wrth y brenin, "O rhynga bodd i'r brenin deled y brenin a Haman heddyw i'r wledd a wnaethum iddo." Dyma Esther yn ymprydio ar y "trydydd dydd," ac er hyny yn gwledda gyd â'r brenin a Haman ar yr un trydydd dydd, sef ymprydio yn y boreu a gwledda yn y prydnawn. Felly Crist a orweddodd yn farw yn y bedd ar foreu Sabboth y Pasc, ac ar yr un diwrnod dacw efe yn fyw yn ymddangos i Mair Magdalen. Dyma ran o'r diwrnod yn myned am y cyfan.

Yn gyffelyb, yn Luc 2. 21. "A phan gyflawnwyd wyth niwrnod i enwaedu ar y dyn bach galwyd ei enw ef Iesu." Er hyny, y mae yn amlwg iddo gael ei eni ar y dydd cyntaf o'r wyth niwrnod, ac iddo gael enwaedu arno ar y dydd olaf o'r wyth niwrnod. Dyma etto ran o'r diwrnod yn myned dan yr enw diwrnod. A chan i'n Gwaredwr fod yn y bedd barth o ddydd Gwener a'r nos, yr holl ddydd Sadwrn a'r nos, a pharth o ddydd Sabboth, gellir dywedyd, yn ol cyfrifiad yr Iuddewon, iddo fod yno "dridiau a thair nos."

Gellir sylwi ym mhellach, er cadarnhau fod gwahanol genhedloedd yn eu hamrywiol ieithoedd yn gwahaniaethu yn fawr yn eu gwaith yn enwi yspaid o amser. Ni noddwn yma ond enghraifft am danom ni y Cymry a'n cymmydogion y Saeson. Pe byddai Cymro a Sais yn myned ynghyd i Gaernarfon, ac yn aros yno yspaid o amser; ac ar eu dychweliad oddi yno, mi a ofynwn i'r Sais, pa hyd y buoch chwi yn Nghaernarfon? Yntau a'm hattebai *Se'nnight*, hyny yw *saith nos*. Ond os gofynwn yr un peth i'r Cymro, yr hwn a fu yno yr un faint o amser a'r llall, yr atteb fyddai *Wythnos*. Felly dyma yr un faint o amser yn cael ei alw gan un genedl yn *Saith nos*, a chan y llall yn *Wyth nos*, a hyny yn ol arferiad gwlad a chenedl.

Etto, pe byddai i'r ddau aros yno cyhyd arall ag o'r blaen, a minnau ofyn, Pa hyd y buont yno? attebai y Sais *Fortnight*, neu *Fourteen nights*, hyny yw *Pedair nos ar ddeg;* a'r Cymro a'm hattebai *Pythefnos*, hyny yw *Pymtheng nos*. Yn gyffelyb i hyn y dywed yr Iuddewon am yr amser y bu Jonas ym mol y morfil, a Christ yn nghalon y ddaear "dridiau a thair nos."

CYHOEDDWR.

---

## EGLURHAD AR EIRIAU ANNGHYNEFIN YN LLYFR CYNTAF SAMUEL.

*A nodwyd gan John Powell.*

1 SAM. 1. 1. Ephratewr—Un o drigolion Ephrata.
1. 3. Addoli—Ymostwng yn barchus ger bron Duw.
1. 6. Cythruddo—Blino, poeni.
1. 18. Athrist—Trist, trallodedig.
2. 14. Efyddyn—Crochenyn pres.
2. 14. Cigwain—Cigfach, Fforch faebog i godi cig o'r crochan
3. 17. Celu—Cuddio, cadw yn nghudd.
4. 5. Dadsain—Adleisio, seinio drachefn.
4. 21. Ichabod—Gair Hebraeg yn arwyddo Pa le y mae 'r gogoniant?
5. 6. Clwyf y marchogion—Y clwyf a elwir y *Piles*.
6. 4. Ffolennau—Lluniau o glwyf y marchogion, ynghyd â'r man yr oedd arno.
6. 5. Difwyno—Llygru, anafu.
6. 5. Ysgatfydd—Fe allai, hwyrach.
6. 7. Dwy fuwch flith—Dwy fuwch laethog.
7. 9. Llaeth-oen—Oen sugno.
7. 12. Ebenezer—Careg cynnorthwy
9. 12. Uchelfa—Man uchel, mynydd.

1 Sam. 9. 23. Y Côg—Coginwr, ceginwr, triniwr bwyd.
10. 5. Bryn Duw—Mynydd Duw.
10. 5. Nabl—Offeryn cerdd.
10. 5. Pibell—Chwibanogl, pibell ganu.
10. 7. Argoelion—Arwyddion.
10. 16. Yngan—Son, crybwyll,
10. 19. Helbul—Trallod, cyfyngdra
11. 9. Ympryd—Ymattal oddiwrth ymborth i'r dyben o ymostwng ger bron Duw.
12. 2. Mebyd—Ieuengctyd, oedran maban.
12. 3. Eneiniog—Un wedi ei eneinio âg olew sanctaidd i swydd brenin, &c.
13. 6. Dyrysni—Anialwch, prysglwyn, prysgle.
13. 6, Pydewau—Pyllau, pyllau dwfr.
13. 10. Cyfarch—Anerch, ymgrymu i un gan ddymuno daioni a llwyddiant iddo.
14. 1. Hwnt—Y tu hwnt, y tu draw.
14. 4. Boses a Seneh—Enwau y creigiau o ddeutu y bwlch lle y ceisiodd Jonathan fyned drosodd at amddiffynfa y Philistiaid.
14. 13. Yswain—Cludydd arfau.
14. 19. Anghwanegodd—Chwanegodd, cynnyddodd, mwyhaodd
14. 28. Tynghedu—Ymrwymo drwy lw.
14. 29. Archwaethu—Profi, bwyta ychydig o hono.
14. 30. Gwarafun—Peri peidio, peri ymattal oddiwrth beth.
14 30, Anrhaith—Yspail, ysglyfaeth, yr hyn a gymmerir oddiar un.
14. 41. Oleufynag—Hyspysiad, goleuni mynegol.
14. 52. Glew—Nerthol, gwrol, cryf,

(I'w barhau.)

---

## "GRAMMADEG GROEG YN GYMRAEG."

Mr. Golygydd —Yn y Rhifyn am Medi, tu dal. 276, y mae dymuniad gwresog wedi cael ei egluro am gael "*Grammadeg Groeg yn Gymraeg,*" Byddai yn eithaf priodol ystyried peth fel hyn yn lled fanwl, cyn ymwthio ym mlaen yn rhy hyderus at orchwylion ac anturiaethau mor ddieithr a thywyll; y mae yn wir fod llawer o fanteision yn debyg o gael eu cenedlu trwy gyflawniad y gorchwyl hwn, ac y mae mor wir a hyny fod llawer o anfanteision ar ffordd ei gyflawniad, er ei ddwyn yn fuddiol a gwasanaethgar; byddai ystyried y ddwy ochr yn ofalus a gochelgar yn beth dymunol, cyn gwneuthur ei gyfansoddi a'i argraphu *yn fwy* felly.

Oddiwrth a ddeallais i, trwy ymchwilion a phrawfion, y mae'n beth anhawdd dysgu yr iaith Roeg, gyd âg un gradd o gywirdeb a manylrwydd, heb fod yn gydnabyddus â'r Saesoneg yn gyntaf; os felly, onid gwell fyddai i'r dospeirth hyny o Gymröwyr, sydd â dymuniad ynddynt am ymgydnabyddu â hon, lafurio er meddiannu gwybodaeth lled gryno o'r Saesoneg yn gyntaf, Grammadegau perthynol i ba un sydd dra lluosog ac eglur yn ein plith? yna byddent ar dir gwell i astudio y llall; canys y mae Grammadegau lawer o honi yn y Saesoneg. Ac yn wir pe gosodid Grammadeg Groeg o ran ei deithi a'i berthynasau ger bron y Cymry yn eu hiaith, y mae arnaf ofn y byddai y geiriau ansathredig a chlogyrnog a orfyddid arfer fel cyfystyron o'r cyfryw arwyddeiriau yn y Roeg, yn ddigon i yru llawer yn nghylch astudiaw mwy ar y Gymraeg yn gyntaf, o herwydd y teimlent yn lled wahanol uwch ei ben y pryd hyny i'r peth a wnant tu cefn iddo yn awr.

A phe byddai i'r fath waith gael ei ddwyn drwy y wasg ryw dro, teimlid gryn anhawsder i fyned ym mlaen yn yr ymgyrch efrydawl heb gynnorthwy *Lexicon* Cymreig a Groeg, neu Groeg a Chymreig, yr hyn beth fyddai yn fwy o anialwch fyth.

Ond gadawer i'r anfanteision hyn fodoli, y mae ar yr ochr gyferbyniol gryn lawer o olygfeydd yn gaufyddedig, a nerthent y meddwl yn y gwaith, ac a'i cynnorthwyent yn ei ddybryd lafur. Ystyrier amgylchiadau ein gwlad yn eu hystad gyffredinol y dyddiau hyn, Dirwestiaeth mor uchel ei ben—annghymmedroldeb â'i wedd mor lwyd—cydnabyddiaeth â'r gwybodaethau a'r celfyddydau yn rhodio ein broydd gyda mwy o rwysg a gogoniant.

Am hyny, y mae yn rhaid mai da yw ymroddi i bob llafur sydd yn debyg o ddwyn y fath ddaioni ar ei ol, ynghyd â sefydliad hyrwyddiadau mor gampusfawr, i lywodraeth benderfynol ar ymsyniadau mwy gwerthfawr o eiddo y meddwl.

Dealler, er fy mod wedi cyferbynu y ddwy ochr yn y sylwadau uchod gystal a'u gilydd; etto nid wyf yn condemnio un o ymarferiad oblegid ei hanfanteision, nac yn cymhell y llall i ymarferiad oblegid ei manteision; eithr fy nyben, yn y nodau a wnaethym, ydoedd *ystyried y ddwy*, ac edrych i mewn i amgylchiadau yr anturiaeth, yr hyn beth sydd lwyr angenrheidiol, a chyfiawnder gyda pha beth sydd dra chanmoladwy.

Gyda golwg pellach ar gyflawniad dymuniad Mr. Phillips, sef cael "*Grammadeg Groeg yn Gymraeg,*" y mae genyf un newydd da i'w hyspysu, a hwnw ydyw y canlynol, "Y mae yn fy meddiant i, er's ychydig wythnosau yn ol gopi o "*Rammadeg Groeg yn Gymraeg!*" wedi ei gasglu o weithiau clodfawr amryw o'r awduron a ystyrir yn oraf yn y Saesneg, gan ŵr medrus yn y tair iaith a nodais; etto, y mae, neu

fe fydd, dan orfodaeth i fyned tan arolygiad un tra chywrain yn yr ieithoedd hyn, cyn y bydd ar ben pinacl yr anrhydedd hwnw a'i hargymhella i sylw Cymrowyr yn ddiwahaniaeth. Y mae wedi ei ddwyn i ben yn gyflawn, heb ddim gwir angenrheidiol ar ol o barth y cynnwysiadau cyffredinol, oddieithr llyfnhau ambell frawddeg, ynghyd â gwneyd i fynu ambell wall achlysurol mewn sillebiaeth, a mân feiau cyffelyb. Os clyw neb ar ei galon fyned yn nghyd â gorchwyl o'r fath hwn dymunaf hyspysu y cyfryw fod y Grammadeg sydd yn fy meddiant i yn hollawl at eu gwasanaeth, ynghyd â phethau eraill angenrheidiol at y gwaith, a dderbyniais o law yr un awdwr.

*Abergele.* IORWERTH GLAN ALED.

---

DIRWESTWYR MEIFOD.

MR. GOLYGYDD.---Yr wyf yn prysuro i hyspysu i chwi, yn y modd byraf yn bresennol, wedi i'r llys eistedd ddoe (Hyd. 19) o ddeg o'r gloch y boreu hyd o fewn ychydig i wyth o'r gloch y nos, i chwilio i achos y terfysg a wnaed yn Ngwyl Ddirwestol Meifod, ar y 30ain o fis Mawrth diweddaf, i'r ymddygiad gael ei gyhoeddi yn derfysg (*riot*) ac i'r tri gwr boneddig gael eu dirwyo i bum punt bob un am eu trosedd: ac hefyd i Mr. Perrott gael ei ddirwyo 1 £2 at hyny am ymosodiad (*assault*) ar Mr. David Edwards, un o'r erlynwyr (*prosecutors*) ac i Mr. Humphreys gael ei ddirwyo hefyd i ddwy bunt am ymosodiad ar Mr. Robert Pryce, yr erlynydd arall. Ymddengys hanes cywir pellach yn Newyddiaduron Amwythig yr wythnos nesaf.—— Ydwyf, mewn brys, yr eiddoch,

RICHARD NEWELL

*Trefaldwyn, Hydref 20, 1838.*

---

## HANESIAETH CENHADOL.

### CENHADAETH HUAHINE, YN Y MOROEDD DEHEUOL.

Y'MHLITH y gohebiaethau diweddaraf o'r Moroedd Deheuol derbyniwyd yr un canlynol oddiwrth ein brawd y Parch. Charles Barff, Huahine, wedi ei ddyddio Hydref 6, 1837. Y mae yr hyn a gynnwysir ynddynt yn ddigon i'n gorlenwi â diolchgarwch sanctaidd tu hwnt i fesur. Mr. Barff, wrth anerch y Cyfarfod, a ddywed fel hyn:

ANRHYDEDDUS FRODYR A THADAU.--- Gyda diolchgarwch didwyll i Dduw yr wyf yn coffâu llwyddiant yr efengyl yma drwy ystod blwyddyn ryfeddol arall.

*Y Moddion Cyhoeddus.* Y mae effeithiau daionus llwyr-ymwrthodiad â gwirodydd poethion tu hwnt i amgyffred yn gystal mewn golygiad tymhorol ag ysprydol. Yn lle afluneiddiwch mewn gwisgoedd, ac anfoesoldeb mewn buchedd, mae y bobl oll yn ymddangos mewn dillad gweddus, ac yn ymddwyn gyda phob gweddeidd-dra a moesoldeb. Ond yr effeithiau mwyaf daionus a welir yn niwygiad moesol y trigolion; mae y cynnulleidfaoedd yn dra lluosog ar y Sabbothau, ac y mae ychwaneg o lawer yn dyfod i'r bregeth nos Fercher nag a arferai ddyfod.

*Bedyddiadau.* Y mae llawer iawn wedi dyfod ym mlaen y flwyddyn a aeth heibio, ac a gynnygiasant eu hunain i gael eu bedyddio, y rhai a ddangosasant raddau helaeth anarferol o ddiragrithrwydd yn ceisio yr un peth angenrheidiol. Y maent agos oll o'r dosparth hyny o ddynion, y rhai a fuont byw mewn hollol esgeulusiad o foddion iechydwriaeth, ac mewn ymlyniad wrth bob pechod ffiaidd ac aflan; ond ydynt yn awr, yr ydym yn credu, wedi eu gwir eni drachefn, yn dwyn ffrwyth i sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol,

*Aelodau Eglwysig.* Y mae cryn chwanegiad wedi bod at yr Eglwys yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, yn benaf o blith yr ieuengctid, y rhai a fuont yn ymarfer yn gyson a dyfod i'r Ysgolion Sabbothol a dyddiol o'u mabandod, ac yn nghalonau pa rai y mae had da y gair wedi gwreiddio yn ddwfn i bob ymddangosiad. Mynych y gwelwyd dagrau o lawenydd yn llifo dros ruddiau rhieni wrth weled eu plant yn cael eu derbyn i gymmundeb eglwysig. Y mae y diaconiaid a minnau yn parhau i gyfarfod â rhai yn ceisio cael eu bedyddio ar bob prydnawn ddydd Llun, i'w hyfforddi hwy, a chwilio yn ddyfal i'w profiadau o'r cyfnewidiad calon hyny ag sydd mor angenrheidiol i bob gwir Gristion. Yr ydym yn parhau hefyd i ymweled â'r aelodau eglwysig yn eu tai, ac yr ydym yn cael hyn yn adeiladol i ni ein hunain, a chredwn yn fuddiol i'r bobl. Mewn cyfarfod gweddio misol, a gynnelir gan y diaconiaid yn unig, yr wyf yn gosod ger eu bron yn barhaus eu dyledswyddau yn yr ymarweddiad sanctaidd a'r amynedd hyny y mae eu swydd oruchel yn ei ofyn. Ni bu angenrheidrwydd am ddysgyblaeth eglwysig ond mewn ychydig iawn o achosion yn y flwyddyn ddiweddaf; a dilynwyd hwy yn fuan âg effeithiau daionus, trwy eu bod yn codi graddau helaeth o alar duwiol, yr hyn, gobeithiwn, sydd yn wirioneddol. Ein cyfarfod eglwysig cyson ar brydnawn ddydd Gwener sydd yn ymddangos yn adeg werthfawr o lesoldeb ysprydol a diddanwch, ac, i ddefnyddio eu geiriau eu hunain, galwant ef "*E amu raa maa na te varua*;" hyny yw, gwledd i'r enaid. Symudwyd llawer ymaith trwy farwolaeth; y rhai oeddynt oll wedi myned mewn gwth o oedran, oddigerth un, Rubena, yr hwn nad oedd, tybiwyf, dros 30 mlwydd oed. Yr oedd hadau darfodedigaeth yn ei natur; yr hyn, yn nghyd â chyffyrddiad bychan o'r *influenza*, a'i symudodd ef yn fuan oddiwrth ei deulu, ac o'r eglwys. Efe a fu yn ddiacon ffyddlon am rai blynyddoedd; a bendithiwyd ef â gras lawer pan yn ieuangc iawn, a pharhaodd i fod yn addurn i'w broffes mewn

sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb hyd ddydd ei farwolaeth. Nid wyf yn cofio am neb ag yr oedd ei farwolaeth wedi achosi cymmaint o hiraeth cyffredinol, a hyny yn benaf o herwydd ei ffyddlondeb yn gwneuthur daioni, er bod pawb yn ymddangos yn deimladwy o fod eu colled hwy yn ennill iddo ef. Ei ddiwedd ydoedd dangnefedd.

*Ysgolion*.--Mae y rhai hyn yn cael eu llenwi yn well nag yn y blynyddoedd a aethant heibio, gan blant a rhai mewn oed hefyd: ac y mae yr awydd am wybodaeth, yn enwedig o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, wedi cynnyddu yn fawr ym mhlith pob dosparth o ddynion; a'u cynnydd mewn darllen yn dra boddlongar. Yr ydym wedi sefydlu, yn ystod y flwyddyn a aeth heibio, Sefydliad arall yn Maeva, i'r hwn le y mae y diaconiaid a minnau yn myned bawb yn ei gylch. Y mae'r Ysgol yno yn cael ei llenwi yn dda, a'r gynnulleidfa yn dra awyddus i wrando yr efengyl. Mrs. Barff, a'n merch Louisa, sydd yn parhau i gyfarfod â'r merched brodorawl, ag sydd yn aelodau Eglwysig, bob prydnawn ddydd Llun i ddarllen gair Duw a gweddio.

*Y Wasg*.--Cyfieithiais lawer o draethodau, a llyfrau ysgolion, y rhai ydynt barod i'r Wasg; ond bum yn analluog i'w hargraphu y flwyddyn hon, o herwydd ein llafur i gyflenwi, mor bell ag yr oedd modd, angen dirfawr y Genhadaeth Samoanaidd. Daeth nifer fawr o gyhoeddiadau allan o'r wasg yn yr iaith hono; ac etto dywed y Cenadon nad yw y cyflenwad hwn ond fel diferyn yn y môr. Y mae genyf, yn chwanegol at ddarnau o'r ysgrythyrau, Hanes y Bibl yn yr iaith hono, yn cael ei barotoi yn awr.

BORABORA.

Wedi sylwi ar lwyddiant yr ynys yn ei hamgylchiadau bydol, y mae Mr. Barff yn myned ym mlaen i sylwi ar daith a roddodd i ynysoedd cymmydogaethol Borabora a Maiaoiti. Yn ein Hadroddiad Blynyddol diweddaf yr oeddym dan yr angenrheidrwydd gofidus o hysbysu fod yr ymrysonau ag oedd rhwng y brodorion yn yr ynys uchod wedi bod yn rhwystr chwerw i lwyddiant yr efengyl yno: ond dywedasom hefyd fod genym obaith y byddai i Ragluniaeth Ddwyfol weithredu rhyw gyfnewidiad iachusol yn yr yspaid amser rhwng derbyniad y gohebiaeth nesaf oddiwrth Mr. Barff, a'r hyn a gynnwysai y newydd galarus a gofflawyd y pryd hyny. Y gobaith hwn, trwy drugaredd ddwyfol, a gywirwyd. Y mae Mr. Barff yn ysgrifenu fel y canlyn yn mis Hydref diweddaf:—

"Tra yr oedd Mr. Platt yn absennol yn y parthau gorllewinol, mi a aethym i'r sefydliadau oddi amgylch, cyn belled a Borabora, ac yr oedd yn ddywenydd genyf gael allan fod pethau yn llawer gwell yno na chynt. Yr oedd y cynnulleidfaoedd yn lluosog, a'r ysgolion yn llawnion; ac yn ystod fy ymweliad derbyniwyd pedwar ar ddeg o aelodau newyddion at y cymundeb, &c. Ymwelodd Mr. Platt â hwy er y pryd hyny. Yr wyf yn gobeithio y bydd y Cyfarwyddwyr yn alluog i anfon Cenhadwr iddynt cyn bo hir.

MAIAOITI.

Ymwelais â Maiaoiti yn mis Gorphenaf diweddaf, a chefais fod llwyddiant cyffredinol dros y sefydliad, o dan arolygiaeth Tamore. Efe a ddywedai fod y trigolion yn astud iawn gyda phob moddion o ras, a'r plant mewn dyfod i'r ysgolion; bedyddiwyd 16 o fabanod yn yr ymweliad hwn, a derbyniwyd 13 o aelodau newyddion i gymdeithas eglwysig, pobl ieuaingc yn benaf.

Cyn belled a hyn mi a ymegniais i roddi hanes cywir o gynnydd achos Duw yn y sefydliadau hyn. Ac wrth derfynu, yr wyf yn erfyn am weddiau y Cyfarwyddwyr, a phob gwir gyfaill i'r Cenhadon, am dywalltiad helaeth o'r Yspryd Glân i adnewyddu yn ein mysg wir achosion crefydd fywiol a duwioldeb, ac i'n nerthu ni i ymgyrhaedd at gamp uchel ein galwedigaeth yn Nghrist Iesu.——Ydwyf, yr eiddoch, &c

CHARLES BARFF."

---

ORDEINIAD CENHADON.

Ar brydnawn dydd Iau, Medi 6, 1838. Ferdinand Sommer, D. Ph. ac M. D. a J. H. E. Roeer, D. Ph. ac M. D. o Athrofa Berlin, wedi eu cymmeradwyo gan y Cyfarwyddwyr, ac a appwyntiwyd yn Genhadon i Bengal, a ordeiniwyd yn Nghapel Silver Street, Llundain. Dechreuwyd y moddion, trwy ddarllen rhanau priodol o'r Ysgrythyrau a gweddio, gan y Parch. N. M. Harry. Yna desgrifiodd y Parch. E. Crisp, mewn dull tra effeithiol, gyflwr moesol cant ac ugain o filoedd o'r hil ddynol yn yr India. Y Parch. John Arundel a groesawai yn wresog y ddau frawd Almaenaidd i ynys Prydain, ac i frawdoliaeth yr eglwysi Prydeinaidd; ac efe a dderbyniodd ganddynt yr attebion mwyaf boddhaol i'r holl gwestiynau o barthed eu crefydd bersonol, ac o'u golygiadau ar brif athrawiaeth yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Yna Dr. Henderson a weddiodd, ac a gyflawnodd yr arddodiad dwylaw. Y Dr. Bennett a eglurodd y gwaith Cenhadol a Gweinidogaethol, yr hyn a ddisgwylid oedd y brodyr hyn ar gymmeryd arnynt, oddiwrth Act. 13. 46. A'r Parch. E. Mannering a ddiweddodd y cyfarfod pwysig hwn.

---

YMADAWIAD CENHADON.

Ar ddydd Sadwrn, Awst 18, 1838, hwyliodd y Parchedig Henry Nott, ynghyd â Mrs. Nott, allan o Gravesend, Llundain, i Sydney, Deheudir Cymru Newydd, yn y llong Ewretta, Cadben Gilmore. O Sydney y mae Mr. a Mrs. Nott yn bwriadu myn-

ed i Tahiti, i'r man lle buont yn llafurio o'r blaen.

Ar yr 28ain o Awst, aeth y Parch. John Lumb, Cenhadwr appwyntiedig i Combaconum, ynghyd â Mrs. Lumb, ar fwrdd y llong Mary Anne, Cadben Tarbutt, er hwylio i Madras, yn yr India.

Ar ddydd Sadwrn, Medi 15, 1838, aeth y Cenhadon canlynol ar fwrdd y *Duke of Buccleugh*, Cadben Close, yn Portsmouth, y Parch. George Gogerly, a Mrs. Gogerly, a dau blentyn, yn dychwelyd, wedi gwellhau yn fawr yn eu hiechyd, i'r man y llafurient ynddo o'r blaen, sef Calcutta: y Parchedigion Dr. Sommer a Dr. Rooer, dau Genhadwr Almaenaidd, a'u gwragedd, wedi eu penodi i Raglawiaeth Bengal; a'r Parch. J. Kennedy, A. C. i Benares.

---

### Y LLONG GENHADOL CAMDEN.

Y *South African Advertiser* a ddywed fod y llong Camden, ym mha un yr hwyliodd y Parch. John Williams, a brodyr eraill, i'w gwahanol Sefydliadau yn Ynysoedd Môr y De, ar yr 11eg o Ebrill diweddaf, wedi cyrhaedd Simon's Bay, Penrhyn Gobaith Da, ar y 1af o Orphenaf, oll yn iach. Ni dderbyniwyd dim oddiwrth y brodyr wedi iddynt gyrhaeddyd Cape Town.

---

### CYMDEITHAS GENHADOL LLUNDAIN.

Cynnaliwyd Cyfarfod Blynyddol y Gymdeithas hon yn Nghaerlleon, ar ddydd Sabboth, Hydref 21, a'r ddau ddiwrnod canlynol. Hon oedd y Bedwaredd Gylchwyl ar hugain a gynnaliwyd yn y ddinas hon.

Y moddion cyhoeddus a gynnaliwyd fel y canlyn:—Am 7 o'r gloch y boreu, Cyfarfod i Weddïo, yn Nghapel y Bedyddwyr, yn Pepper-street. Am 9 o'r gloch, pregethodd y Parch. John Hughes, Lle'rpwll, yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig. Am chwarter wedi 10 o'r gloch, pregethodd y Parch J. Leifchild, D. D. yn Nghapel Octagon Am chwarter wedi 11 o'r gloch, pregethodd y Parch. E. Crisp (Cenhadwr yn India) yn Nghapel yr Annibynwyr Seisnig, yn Queen-street. Am hanner awr wedi 2, pregethodd y Parch. E. Crisp, yn Nghapel Octagon; a'r Parch. J. Hughes, yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd Seisnig. Am hanner awr wedi 6, pregethodd y Parch. J. Leifchild, D. D. yn Nghapel yr Annibynwyr Seisnig; a'r Parch. E. Crisp, yn Nghapel y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig.

Am 6 o'r gloch prydnawn dydd Llun, cynnaliwyd Cyfarfod Blynyddol y Gymdeithas hon yn Nghapel yr Annibynwyr Seisnig, yn Queen-street, y Parch. Samuel Luke, Gweinidog y lle, yn y Gadair. Yr oedd hwn yn gyfarfod tra lluosog, ac anerchwyd y gwyddfodolion gan y Parch. E. Crisp, y Parch. J. Leifchild, D. D. ac amryw Weinidogion eraill.

Boreu ddydd Mawrth, am 9 o'r gloch, cynnaliwyd Boreubryd Cyffredinol (*Public Breakfast*) yn yr Ysgoldŷ wrth Gapel Queen-street, lle yr oedd tyrfa fawr wedi ymgynnull, a pharodd yr areithiau a'r hanesion hyfrydwch a boddiant nid bychan i'r gwrandawyr. Yn yr hwyr, am hanner awr wedi chwech, gweinyddwyd Ordinhad Swper yr Arglwydd, yn yr un Capel, i'r holl aelodau o'r Eglwys Gristionogol, yn ddiwahaniaeth, ar a fynai ddyfod ym mlaen.

Yn niwedd y Cyfarfodydd gwnaed Casgliadau helaeth er cynnorthwyo cyllidau y Gymdeithas; a dywenydd genym allu hysbysu fod swm y casgliadau uwchlaw 200 o bunnau.

---

### Y GENHADAETH GYMREIG.

Soniasom, yn un o'n Rhifynau blaenorol, y gwnaem ryw ychydig o Sylwadau ar y gydmariaeth a'r anghydmariaeth sy rhwng pellder y ffordd, y draul, llafur, anhawsdra, &c. o anfon Cenhadau yr efengyl i Lydaw yn Ffraingc a'r Iwerddon.

1. Cydmariaeth pellder ffordd. Mae y Werddon yn nes atom ni y Cymry o lawer na Llydaw. Y ffordd rwyddaf i fyned i Lydaw, yn Ffraingc, ydyw drwy Portsmouth; ac yna mewn llong ar hyd y mor oddi yno i Brest, yr hon sydd dref boblogaidd yn nghwr Llydaw. Bwriwn, wedi hyny, fod yr un faint o ffordd o Brest i fyned ym mlaen i ganol gwlad y Llydawiaid ag sydd i fyned o Dublin i ganol gwlad y Gwyddelod. Yna bydd y gydmariaeth o'r ffordd yn sefyll yn unig rhwng y pellder sydd i fyned o Gymru i Dublin ag o Gymru i Brest.

Er fod Brest yn Llydaw, etto Ffrancaeg a siaredir yno; ac felly yn gyffelyb, er fod Dublin yn y Werddon, etto Saesoneg a siaredir yno. Am hyny, pa un bynag ai i Lydaw ai i'r Werddon yr anfonir Cenhadau mae yn rhaid myned ym mhellach o lawer i'r wlad na'r un o'r ddwy dref hyny.

Y pellder o Gaergybi i Dublin sydd 60 o filltiroedd, a dyna yr holl bellder, sef ar hyd y môr. Y pellder o'r Deheudir i Portsmouth sydd oddeutu 150 o filltiroedd ar hyd y tir, ac oddi yno i Brest ar hyd y mor yn rhywle dros 250 o filltiroedd. yr hyn i gyd a wna 400; sef yw hyny ychwaneg o bellder na'r llall o 340 o filltiroedd. Nid yw y cyfrif hwn wedi ei wneud i fanylrwydd, ond yn lled fras. Gellir myned i barth o Lydaw yn nes na myned trwy Portsmouth, ond nid mynych y tramwyir i'r manau hyny. Brest yw y porthladd mwyaf yn holl Ffraingc, ac yno y gellir myned bron yr amser a fynir.

2. Dysgu yr ieithoedd. Diau y dysgai Cymro iaith Llydaw yn llawer cynt nag y dysgai y Wyddelaeg, oblegid fod y Llydaw-

aeg yn llawer tebycach i'w iaith gynhenid ei hun. Ond er hyny, bydd raid i bwy bynag a êl i Lydaw, yn gyntaf ddysgu yr iaith Ffrancaeg; yn gystal ag y bydd i'r sawl a elo i'r Werddon fod yn hyddysg yn yr iaith Saesoneg. Pe ceid Cenhadwr yn medru Ffrancaeg a Saesoneg, cynt o lawer y byddai y dyn hwnw yn alluog i fedru ddechreu ar ei orchwyl yn Llydaw nag yn y Werddon. Ond anfynych y ceir Cymro yn medru Ffrancaeg; eithr y mae miloedd o Gymru yn medru Saesoneg.

3. Amddiffyniad. Mae gwell amddiffyniad o lawer iawn i Genhadwr yn y Werddon nag yn Llydaw. Mae Llywodraeth Brydain yn fwy rhydd na'r eiddo Ffrainc, fel y gwyddom oll. Yn y Werddon ceir amddiffyniad ein cyfreithiau a'n llywodraeth ni ein hunain, yr un fath ag yn Nghymru.

4. Rhwyddineb i ddechreu ar y gwaith. Byddai raid adeiladu Capel cyn dechreu ar y gwaith o gadw ysgol Sabbothol na phregethu yn Llydaw; ond gellid cymmeryd tŷ, neu dalu ychydig am fenthyg tŷ, yn y Werddon, a dechreu ar y gorchwyl gyd âg ychydig iawn o draul.

5. Y trigolion. Mae miloedd o drigolion y Werddon yn Brotestaniaid. Mae y trigolion yno yn gymmysg o Babyddion a Phrotestaniaid: ond yn Llydaw, er fod y genedl yn Gymry y maent yn Babyddion oll.

6. Anfoniad Ymwelwyr. Gellid myned i ymweled â'r Cenhadau yn y Werddon mewn ychydig o amser. ac ar ychydig iawn o draul mewn cydmarioeth i fyned i Lydaw; a gellid cael clywed oddi wrthynt hefyd drwy lythyrau mewn deuddydd neu dri yn y man pellaf.

Fe allai y bydd ystyriaethau o'r pethau hyn yn fuddiol yn yr amser presennol, pan, fe dybygid, o'r diwedd, fod rhyw debygolrwydd ein bod yn dechreu deffroi o gysgu ar yr achos pwysig hwn. Hwyrach yr enfyn rhyw un sylwadau ym mhellach, a rhai manylach, ar yr achlysuron uchod. Da fyddai genym gael unrhyw Sylwadau Eglurhaol oddiwrth ein ffyddlawn gyfaill, y Parch. Mr. Phillips, neu ryw un arall medrus ac awchus ar yr anturiaeth amcanedig.

CYHOEDDWR.

---

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### CYMDEITHASFA DOLGELLAU.

CYNNALIWYD Cymdeithasfa gan y Trefnyddion Calfinaidd yn Nolgellau, Sir Feirionydd, ar y 25, 26, a'r 27ain o Fedi diweddaf, y man a'r pryd y pregethodd y Parchedigion canlynol:---Nos Fawrth, Parch. John Jones, Talsarn, oddiar Heb. 9. 14. Nos Fercher, Parch. Daniel Jones, Llanllechyd, oddiar Salm 138. 6. a'r Parch. Benjamin Evans, St. Ffagan, oddiar Ioan 16. 21. Boreu ddydd Iau, am 6 o'r gloch, Parch. William Williams, Ramsey, oddiar Iago 1. 17, a'r Parch. John Evans, Cilcwm, oddiar Ioan 5. 39. Am 10 o'r gloch, Parch. Richard Davies, Gaio, oddiar Ezec, 21. 26. a'r Parch. John Jones, Talsarn, oddiar Mat, 7. 13, 14. Am 2 o'r gloch, Parch. David Jones, Caernarfon oddiar Esa. 22. 6, a'r Parch. David Morgans, Trallwm, oddiar 1 Cor. 10. 13. Am 6 o'r gloch, Parch. Ellis Phillips, Wrexham, oddiar 1 Thes. 4. 14. a'r Parch. William Jones, Rhuddlan, oddiar Heb. 11. 6. Boreu ddydd Gwener, am 6 o'r gloch, Parch. Owen Jones, Wyddgrug, oddiar Rhuf. 3. 20. a'r Parch. William Griffith, Pwllheli, oddiar 1 Cor. 7. 31.

UN OEDD YNO.

---

## HELYNTION YR AMSEROEDD.

### AMERICA.

*Allan o'r "Cyfaill o'r Hen Wlad."*

YR ydym yn deall, oddiwrth y Cyhoeddiad uchod, fod ein brodyr Cymreig, aiddgar dros eu hiaith a'u cenedl, wedi sefydlu Cymdeithas Gymroaidd ym Mhort Carbon, ar nos Sadwrn, yr 31ain o Fawrth diweddaf, ac yr ydym yn credu y bydd hon etto yn rhwymyn i gadw y Cymry yn agos at eu gilydd yn y fro estronawl hono.

*Damwain angeuawl.*---Mr. Samuel Harford, o Gaerodor, Prydain Fawr, tra yn croesi Heol Broadway, Caerefrog Newydd, a darawyd i lawr gan geffyl oedd yn rhedeg yn wyllt. Torwyd amrai o'i asenau, a briwyd ei ben. Bu farw yn fuan.

*Dirwestiaeth.*---Y mae y Cydfasnachwyr Diogelawl (*Insurance Companies*) yn Cincinnati, wedi penderfynu yn unfrydol, gymmeryd y 10fed ran yn llai er diogelu yr holl agerddfadau a lywodraethir yn unol â rheolau Dirwestiaeth, nid Cymmedroldeb cofiwch. Mae hyn yn dystiolaeth gadarn o blaid yr achos Dirwestol.

*Yr hin.*---Mae yn dda genym weled oddiwrth y newyddion diweddaraf o'r gwahanol Daleithiau, fod y sychder bygythiedig wedi ei esmwythau drwy gawodydd hyfrydol o wlaw. Dysgwylir fod y cyfnewidiad hyn mewn pryd i achub y cnydau ŷd oeddynt ar wywo.

*Ystorm yn Baltimore.*---Dilynir sychder maith yn gyffredin gan ystormydd trymion o fellt a tharanau dinystriol, &c. Yr oedd yno long o ymfudwyr Ellmynaidd.---Tua 50 oedd yn ymbarotoi i fyned tu a'r gorllewin, a droisant i ystordy anorphenedig am gysgod. Ond o herwydd fod y gwlaw yn disgyn yn fath genllif ffoisant i dai eraill, oddieithr naw o honynt. Prin yr oeddynt wedi diango cyn i'r ystordy gael ei chwythu i lawr, a chladdu naw yn yr adfeilion. Dymchwelwyd dwy lestr ger Caer McHen-

ry; a boddwyd dau o ddynion. Chwythwyd un dyn o'r enw Shaw, ei geffyl a'i gerbydau dros glawdd. Didowyd llawer iawn o dai.

*Ceiliogod rhedyn.*---Yn nechreu y mis diweddaf passiodd cwmwl o geiliogod rhedyn dros ddinas Lancaster, Pa. Yr oeddynt yn cyfeirio o'r gogledd-ddwyrain i'r dehauorllewin. Clywsom am danynt drachefn yn Frederick, Md.

---

## AMRYWIAETHAU.

*Cyngor Meddygol rhag y Cryd Cymmalau* (Rheumatism).---Berwch grochanaid o bytatws, a throchwch yn dda y parth gonddus o'ch corph yn y dwfr y berwyd hwynt ynddo, pan fyddo cyn boethed ag y galloch ei oddef, gan ei rwymo i fynu â gwlanen, ac yna ewch i'ch gwely yn ddioed. Gwnewch hyn am amryw nosweithiau olynol.

*Hwyliad yr Agerdd-long "Liverpool" i Gaerefrog Newydd.*-- Hwyliodd y llestr teg uchod o Le'rpwll ar ddydd Sadwrn, yr 20fed o Hydref, ar fordaith i Gaerefrog Newydd yn America. Yr oedd y glanau oddeutu y fan lle y cychwynai yn llawn o edrychwyr, wedi ymgasglu yno o bob parth. Yr oedd oddeutu 50 o deithwyr ar ei bwrdd, heblaw plant a gweision. Oddeutu un mynyd ar bymtheg wedi un gwelwyd hi yn myned heibio y *Rock* yn ei hynt gorllewinol. Yr oedd ei chyflymdra erbyn hyn wedi cynnyddu i oddeutu deuddeng milltir mewn awr; a chyn pen ychydig fynydau aeth o'r golwg tu draw i'r *Sand Hills.* Dysgwylir y bydd iddi gyrhaeddyd Caerefrog Newydd oddeutu y pummed o'r mis nesaf. Gwelwyd hi drachefn, ar y boreu Sul canlynol, wrth *Tuskar*, wedi bod yn hwylio ym mlaen yn gyflym o'r amser y cychwynodd. Dywedir ei bod yn 1050 o dunnelli, a thros nerth 400 o feirch.

*Rhybydd i Famau.*---Ym mhlith y celainymchwiliadau a gynnaliwyd o flaen Faithful Thomas, Ysw. Corph-ynad, dros Sir Gaerlleon, yr oedd tri o honynt wedi eu hachosi trwy esgeulusdra rhïeni. Y cyntaf oedd ym mhentref Norley, lle yr oedd dau faban, un dwy flwydd oed, a'r llall yn 16 mis, y rhai, wedi eu gadael i ofal geneth fechan bedair blwydd oed, a foddwyd mewn ffos fechan yn yr ardd, trwy syrthio iddi oddiar ystyllen. Y llall a ddigwyddodd yn Thorton in-the-Moor, lle cysgodd maban bychan naw mis oed i farwolaeth, o herwydd rhoddi iddo ormod o *laudanum.* Yr ydym yn gobeithio y bydd i hyn etto fod yn rhybydd i rieni i ofalu i bwy y gadawont eu plant; ac na weinyddont iddynt un math o gyffyriau ond o dan hyfforddiad meddyg yn unig. Y mae yr arferiad beryglus o roddi rhyw gyffyriau i fabanod gysgu, wedi bod, nid yn unig yn niweidiol ond yn angeuol hefyd: o herwydd nid oes well reol cwsg na natur ei hun. Cynnaliodd y boneddig uchod gelain ymchwiliad yn Frodsham ar gorph Ann Rogers, merch fechan bedair blwydd oed i Mr. Rogers, Gwniedydd, yr hon a gyfarfyddodd â'i hangeu trwy i'w dillad gymmeryd tân wrth sefyll yn rhy agos ato. Hefyd, yn ddiweddar, yn Newall, ar gorph geneth fechan yr un oedran a'r un uchod, o'r enw Sarah Dodd, yr hon etto a losgwyd i farwolaeth trwy i'w dillad nos gymmeryd tân. Ac ar ddydd Llun, Hydref 22, yn Nghlafdy y ddinas hon, ar gorph geneth fechan arall o'r enw Maria Jones, Crane-street, wyth mlwydd oed. Ymddengys fod dillad yr eneth hon etto wedi cymmeryd tân trwy i farworyn syrthio arnynt, o dan effeithiau pa un y bu yn dihoeni mewn poenau am rai dyddiau hyd oni roddodd angeu derfyn arnynt oll.

*Damwain alaethus yn Nghapel y Trefnyddion Wesleyaidd, Leeds Street, Le'rpwll.*--Ychydig amser yn ol, fel yr oedd amryw ddynion yn tynu y Capel uchod i lawr, yn ol cyfarwyddyd yr ymddiriedolwyr (*trustees*) i'r dyben o adeiladu un newydd yn Great Hanover Street, syrthiodd darn o'r adeilad i lawr, a chladdodd chwech o ddynion yn yr adfail. Anafwyd hwy oll yn dost iawn. Bu farw dau o honynt yn fuan ar ol y ddamwain, a threngodd un arall cyn pen ychydig o ddyddiau, gan adael gwraig a theulu lluosog i alaru ar ei ol.

*Addoediad pellach y Senedd.*--Ar y diwrnod yn y mis hwn, hyd pa un yr addoedwyd y Senedd gyntaf, ymgyfarfu Tŷ yr Arglwyddi, am ddau o'r gloch, er addoediad pellach, hyd ddydd Mawrth, y pedwerydd dydd o Ragfyr nesaf.

*Drwg-weithredwyr.*---Cyrhaeddodd 18 o ddynion a 4 o ferched gastell y ddinas hon o garchar Knutsford, i'r diben o'u hanfon i'w gwahanol leoedd o alltudiaeth.

*Annghymmedroldeb.*---Yn un o Gyhoeddiadau y Gymdeithas Ddirwestol a gyhoeddwyd yn ddiweddar y ceir y cyfrif canlynol:---Swm yr arian a wariwyd am wirodydd poethion, mewn un flwyddyn, yn y tair teyrnas gyfunol, o leiaf yw £20,150,692, am win £7,347,325, am frag a chwrw £14,551,228, yn gwneuthur yr un swm anferth o £42,053,245!! O Frydain! Frydain! pa hyd y rhed dy gyfoeth yn y ffrydiau angeuol hyn! pa hyd, meddwn, y gadewir i'r Cymdeithasau Crefyddol gyfrif eu miloedd ac annghymmedroldeb ei filiynau o aur ac arian y wlad! Annghymmedrolwyr, crynwch, o herwydd mae dydd cyfrif yn nesau, a pha fodd y talwch i'r Arglwydd ei eiddo ei hun gyda llog? Ddirwestwyr, ymhyfhewch, mae eich gwaith yn fawr, eich amcan yn ddaionus, eich cadernid o'r Arglwydd, a'ch gwobr yn eich aros.

*Caerlleon.* TEOIDON.

*Y Cyllidau Cenhadol.*—Yr hyn a ganlyn yw swm y cyfraniadau a dderbyniwyd gan y pedair brif Gymdeithas Genhadol yn y flwyddyn 1837: Cymdeithas Genhadol yr Eglwys £83,447; Cymdeithas Genhadol y Trefnyddion Wesleyaidd £81,930; Cymdeithas Genhadol Llundain £70,255; a Chymdeithas Genhadol y Bedyddwyr £17,960.

*Dyfais newydd bwysig,*—Y mae gwr o'r enw Mr, Thomas Blanchard, Aelod o'r Sefydliadau Americanaidd, wedi cael allan ffordd i rwystro ymdoriad berwadyron agerdd-longau, yr hyn a ddigwydd weithiau trwy ddiofalwch, meddwdod, neu ryfyg, Y mae y ddyfais hon yn trefnu i'r drws y rhoddir y tanwydd i mewn gael ei gau mor dyn fel na ellir ei agoryd, pan elo y dwfr yn y berwadyr islaw rhyw swm penodol, hyd oni roddir y dwfr i mewn ynddo.

*Y Gledr-ffordd newydd yn Nghymru,*—Yn y dyddiau hyn, pan y mae y cledrffyrdd yn tryfritho dyffrynoedd Lloegr mae Cymru fynyddig yn cynhyrfu ychydig yn eu cylch, Y mae yn hysbys i'n darllenwyr fod cryn siarad yn awr am gael cledr-ffordd rhwng Llundain a'r Iwerddon; ac yn awr ni a osodwn ger bron farn yr enwog George Stephenson ar y mater hwn. Mae y gwr boneddig uchod wedi bod ar daith yn ddiweddar yn Ngogledd Cymru, i edrych y wlad, ac wrth ysgrifenu at John Uniacke, Ysw, Cadeirydd Cyfarwyddwyr Caerlleon a Crewe, efe a ddywed:—"ANWYL SYR, Fel yr oeddwn yn teithio yn ddiweddar trwy Gymru i edrych ansawdd y wlad, mi a gymmerais y cyfleusdra o chwilio i forfa Penmaen mawr, gan wybod y pryderwch sydd yn nhrigolion Caerlleon i gael ffordd i'r fan hon. Chwiliais y morfa hwn, a'r wlad oddi yno i Gaerlleon, yn gystal ag o Benmaen mawr i Fangor. Cefais allan fod yn haws troi morfa Penmaen mawr yn borthladd cyfleus nag a ddychymmygais erioed, ac y gellir gwneud cledr ffordd oddi yno i Gaerlleon bron ar dir gwastad, ac heb achos i dori trwy lawer o anhawsderau; ac hefyd, oddiwrth yr hyn a welais o'r wlad rhwng Penmaen mawr a Bangor, nid wyf yn barnu fod un anhawsdra i wneud cledr ffordd o Gaerlleon i Gaergybi, pe byddai i'r llywodraeth, ryw amser gymmeryd y gorchwyl mewn llaw i gwblhau hyny. Pe na ddygid y gledrffordd hon ddim pellach na Chonwy, gadawai hyny ran fawr o'r ffordd ogleddol o Gonwy i Gaergybi yn fuddiol er hyrwyddo y fasnach rhwng Lloegr a'r Iwerddon, ac yna gorphwysai ar y llywodraeth i benderfynu pa un a fyddai iddynt ai parhau i gynnal Caergybi fel y brif fynedfa o Loegr i'r Iwerddon, neu, ynte, ai gwneuthur Penmaen mawr yn brif borthfa y *packet*. Yr wyf fi o'r farn nad oes modd cael un ffordd y gellir ei gwneud â chyn lleied o draul ag ydyw y ffordd hon, nac ychwaith mor gyfleus i gwttogi y pellder rhwng Lloegr a'r Iwerddon."

*Diangfa Arth allan o'r Mil-erddi* (Zoological Gardens) *yn Lle'rpwll,*—Cymmerwyd yr hanes rhyfedd canlynol allan o enau gwr o'r enw William Mayman, yr hwn a anafwyd yn dost mewn cythrwfl â'r arth a ddiangodd yn ddiweddar allan o'r Milerddi uchod. "Oddeutu chwech o'r gloch prydnawn ddydd Sul, y 7fed o Hydref, fel yr oeddwn yn sefyll wrth ddrws fy nhŷ, lle yr oedd dyn yn sefyll yn agos á basged a chnau ganddo ar werth, Gwelai y dyn hwn arth yn dringo dros lidiart yr ardd i'r ffordd. Taflodd ei fasged yn y fan i'r bwystfil, yr hwn a ddechreuodd ddifa y cnau. Yn y cyfamser, daeth plentyn bychan, rhwng dwy flwydd a thair oed, i fynu tu ag ato i brynu cnau. Rhedais i gymmeryd gafael ynddo, fel y dygwn ef i'm tŷ yn ddiogel. Cyn i mi fyned yn nebpell neidiodd yr arth ar fy nghefn, a gafaelodd yn fy mraich ddeheu, ac a ddechreuodd ei chnoi yn arswydus. Ymaflais âg ef hyd eithaf fy ngallu, ond taflodd fi i'r llawr. Dolefais allan am gymmorth, ond ni ddeuai neb ataf. Yna gollyngodd fy mraich ddeheu, a chyfodais ar fy nhraed. Nis gallwn er hyny ddiangc. Yna efe a roddes ei grafangau ar fy ysgwydd, ac a geisiodd afaelyd yn fy ngwddf. Wedi methu yn hyn ymaflodd yn fy mraich chwith, a rhoddes ei ddannedd trwodd. Ceisiodd wedi hyny am fy ngwddf: cedwais ef draw ychydig ac ymaflodd wedi hyny yn fy mraich ddeheu, a thaflodd fi i'r llawr, a dechreuodd fy nhynu ar hyd y ffordd fel y gwnelai cath â llygoden. Yr oeddwn yn gwaeddi yn barhaus, ond nis gallwn gael dim cynnorthwy. Ymaflodd wedi hyny yn fy nghefn, ac yn olaf oll yn fy ngwegil, pryd y daeth y ceidwaid yno, ac a'u curasant ymaith, mewn pryd i achub fy mywyd. Cariwyd fi adref gan fy ngwraig, ac er fy mod yn gorwedd heb symud dim er ys wythnos yr wyf yn debyg o wellau trwy ddaioni Duw yn unig."

---

## BU FARW,

Medi 25ain, 1838, yn 31 mlwydd oed, Sarah, gwraig Mr. John Roberts, Lle'rpwll, Golygydd "Y PREGETHWR." Er mawrygu gras Duw ynddi hi, gellir coffhau iddi fod yn blentyn serchog a gostyngedig i'w rhieni, yn ymgeledd gymmwys i'w gwr, yn famaeth dyner a gofalus i'w phlant, yn weinyddes siriol i Genhadau Crist, yn gymmwynas wraig dirion i'r saint tlodion, ac yn esiampl ragorol i'w chymmydogion. Goddefodd hir gystudd mewn tawel ymostyngiad i ewyllys yr Arglwydd, gan fynych dystio bod ymorphwysiad ei henaid yn unig ar haeddiant ei Gwaredwr, "yr hwn oedd abl i gadw yr hyn a roddasai ato erbyn y dydd hwnw;" a bod arni chwant i'w dattod, a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw.

# BARDDONIAETH.

## ENGLYNION

*Coffadwriaeth am Mr. Thomas Green, Aberaeron.*

Tomas Green twym was i groes—yr Iesu,
Arosodd yn eirioes;
Anwyl trwy gylch ei einioes
I Dduw'n rhwydd ei ddoniau rhoes.

O'i febyd llwyr fryd ei fron—wedd irnaws,
Oedd addurnaw 'n gyson
Cristianogaeth, llaeth hoff llon
A da eli duwiolion.

Galwodd yn wresog wiwlan,——yn dirion,
Bechaduriaid aflan,
O'u trueni trwy anian
I ddifai lwys noddfa lân.

Yn glaupob rhanau rhinwedd—yn lanwych,
Dilynodd mewn gwiredd;
Carai a mawr hoffai hedd,
A noflai fôr taugnefedd.

Teilwng gan bawb trwy 'n talaeth——y'i parchwyd
Fel perchen gwybodaeth;
A thrwy ei lan athrawiaeth
Llad i ddyn yn llaw Duw ddaeth.

Yn gyfiawn hwn a gofir,——ei foliant
Gan filoedd a daenir,
Wr nod, ei glod a gludir
Trwy gan oes yn trigo'n ir.

Canu y mae uwch cwynion,—uwch gofid,
Uwch gafael trafferthion,
Is awyr iachus Seion,
Fab rhinwedd yn annedd Ion.

Boed taw i wylaw ar ol——y rhai da,
Yn nhre deg ragorol
Y trigant uwch hynt rwygol,
Ar feillionawg ddeiliawg ddol.

Hwynthwy am byth mwy'n llu mad—a yfant
O afon gwin cariad,
Goreu lles a gwir wellhad
Dios, eu hymadawiad.

Ymadawiad yw am deiau——euraidd,
Heirdd araul drigfanau,
Lle mae i'r Ior gor yn gwau
Cân anwyl mewn cain ynau.

Daniel Ddu, *o Geredigion*,

## DUW.

O! Sanctaidd, Sanctaidd, Sanctaidd Dduw,
Seraphiaid gwych a glân,
Sy'n seinio 'n uchel, haeddawl yw,
O'u parch, a'u bri, a'u cân.

Creawdydd nefoedd, lluniwr byd,
A seilydd pob peth byw,
Cynnalydd holl wrthddrychau 'i gyd,
Eu Harglwydd ac eu Duw.

Anfeidrawl ac annhreiddiawl Ior,
Gogoniant nef y nef,
Dy air sy'n seinio "Deuwch gôr,
Mewn iawnder molwch Ef."

Iorwerth Glan Aled.

## HYMN

*A wnaed gan y diweddar Barch. P. Roberts, Llansannan, pan mewn cystudd trwm.*

Dan bob clwyfau a blinderau
Y'm gosodi yn y byd;
Gwedd dy wyneb yn ei wenau
A'm nertha i'w cynnal ar bob pryd,
Hyn fydd gysur, &c.
Dan bob croesau ar y llawr.

## GWELEDIGAETH BELSASSAR.

Y brenin Belsassar, mewn mawrfri ac urddas,
Oedd ar ei orseddfaingc yn llawen ei fron:
Ei feilchion uchelwyr a lanwent y palas
I wledda 'n siriolwych, calonog, a llon:
Wrth flas y melyswin, y brenin yn wresog
A archodd mewn rhyfyg gymmeryd yr eurog
Gwpanau o deml Jehofa galluog
I gynnal y gwin i'r annuwiol wledd hon.

Y brenin, a'i wragedd, a'i holl ordderchadon,
O honynt yfasant yn siriol a ffraw;
'R un modd ei annuwiol ethnicaidd d'wysogion,
Yn hollol ddiwybod o'r peth oedd gerllaw;
Yfent y gwin, a moliannent y delwau,
O aur ac o arian, o feini a phrenau,
A chablu a wnaethant Dduw mawr yr holl dduwiau
Yn eithaf digyffro, yn eithaf di fraw.

A phan oedd y brenin yn ucha 'r gyfeddach,
Yn barod i waeddi mai duw ydoedd ef;
A'i galon yn llawen uwch ben yr ysplenddach,
Yn cablu Jehofa galluog y nef:
Yn sydyn fe welai law dyn yn 'sgrifenu
Ar galchiad y pared, nes iddo frawychu,—
Yr olwg aruthrol a wnaeth iddo grynu
Fel dail ar yr aethnen ar awel fo gref.

Y brenin brawychus, â llygaid hyll-dremiol,
Grochlefai yn uchel nes crynu y fan:
"O! d'wedwch arwyddnaig lythyrenau cyfriniol,
Pa beth yw eich neges, a beth fydd fy rhan?
Nid ydynt yn atteb i'm gofyn tra dyfal!
O! gwelaf nad ydwyf ond gwael-ddyn anwadal,
Y gliniau crynedig rhy wan i fy nghynnal,
Nid ydwyf fi frenin ond gwael bryfyn gwan.

"O! dowch y Caldeaid a'r astronomyddion;
O! dowch chwi gywreinion a doethion y byd:
Dowch, dowch i ddehongli, y brudwyr yn wiwlon,
Y geiriau sy'n llygru 'n llawenydd i gyd!"
Cydgasglai bri Babel—dysgedig a doethion,
Henafgwyr, a brudwyr, ac astronomyddion,
Ond yma nid oeddynt ond dirym a gwaelion—
Nis gallent ddeongli, pob un aeth yn fud.

Rhyw hoglangc o'r gaethglud, ieuengaidd a bywiog,
A glybu ddymuniad y brenin cyn hir,
Fe'i dygwyd i mewn i'r palasdŷ ardderchog,
A gwelai 'r ysgrifen yn eglur a chlir:
"Tyr'd Daniel, tyr'd Daniel, O tyr'd (eb y brenin)
Edrych, a gwel, ar y pared gyferbyn,
Deongla y geiriau sy'n peri 'r fath ddychryn!
Deongla, O Daniel, y cwbl yn wir."

"Wel, gwrando, O frenin—Yr Arglwydd a rifodd
Dy ddyddiau breninol, mae'r diwedd ger bron.
Fe'th bwyswyd yn nghyweir glorianau y nefoedd.
Fe'th gaed yn rhy ysgafn a gwael yr awr hon.
Dy loniant dry'n alar, dy gân yn alarnad,
Y ddawns wych a pheraidd yn Och ac yn rhochiad.
Y Mediaid chwilfriwiant dy holl byrth cywreinfad,
Darius fydd ar dy orseddfaingc yn llon."

*Bala* David Roberts

# Y DRYSORFA.

Rhif. xcvi.] RHAGFYR, 1838. [Llyfr viii.

## COFIANT Mr. THOMAS PARRY,

O'r Rhewl, Llanrhaiadr Dyffryn Clwyd, Sir Ddinbych,

*Yr hwn a fu yn Henuriad defnyddiol gyd a'r Trefnyddion Calfinaidd am lawer o flynyddoedd, wedi ei ysgrifenu gan mwyaf allan o'i enau ef ei hun.*

Wele yma yn cael ei gynnyg i sylw y Cymry hanes gyrfa un o feibion Duw trwy anialwch y byd tua bro ei dragywyddol etifeddiaeth. Un enwog yn ei ddydd, ac yn ei gylch, oedd Thomas Parry, ond nid enwog yn ngolwg y byd hwn, canys nid oedd efe yn wr o gyfoeth mawr, nac yn uchel yn nghymdeithas y bobl a elwir yn foneddigion. Ond er hyny, un enwog oedd efe, sef enwog mewn gras, mewn agosrwydd at Dduw, mewn cydffurfiad bucheddol â Gair yr Arglwydd, mewn zel a llafur diflino dros achos crefydd, ac mewn dwysder profiad o fendithion yr iachawdwriaeth. Y mae y Cofiant hwn yn cael ei gyhoeddi i'r byd ar daer ddymuniad y rhai mwyaf adnabyddus o'i wrthddrych ef, gan obeithio y bydd iddo lesbau llaweroedd. Y mae rhan helaeth o hono wedi ei ysgrifenu o'i enau ef, mor agos ag y gellid yn ei eiriau ef ei hun.

"Myfi a anwyd yn y flwyddyn 1745, mewn lle a elwir y Groesffordd, yn mhlwyf Llanrhaiadr Dyffryn Clwyd. Yr oeddwn yn moreu fy nyddiau a'm tuedd yn gryf at bob llygredigaeth. Dilynwn fy nghyfoedion i bob math o gampau a chwareyddiaethau, a hyny ar y Sabbathau. Nid oedd un Ysgol Sabbathol, nac un moddion arall o ras, yn yr ardal lle yr oeddwn yn byw ond yn unig yn y Llan. Ar amserau byddai rhyw aflonyddwch yn fy meddyliau, a gofid yn fy nghydwybod, nes y byddai yn ddiflas genyf fyned gyd â'm cymdeithion i'r chwareyddiaethau ar y Sabbath; etto llwyddo y byddent i fy nghael gyda hwynt: ac wrth ymarfer â phechod caledodd fy nghalon, a chynnyddodd fy rhyfyg, nes o'r diwedd yr aethym i ddilyn yr arfer felldigedig o ymladd ceiliogod. Wedi dilyn yr arfer hon am gryn dymhor, cefais, o drugaredd, fy niddyfnu oddi wrthi yn y modd canlynol:—Yr oedd genyf ddau geiliog ieuangc yn cael eu porthi gyda bwriad i'w hymladd. Yn y cyfamser dygwyddodd iddi wlawio am dri diwrnod olynol, a gwneuthur yr ystorm fwyaf dychrynllyd o fellt a tharanau ag a welais erioed. Yr oeddynt mor ofnadwy fel y meddyliais fod diwedd y byd wedi dyfod; ac yn y cyfryw amgylchiad aethum i, a dyn arall o'r gymmydogaeth, i ddarllen a gweddio fel y gallem. Ond yr oedd y dymhestl yn trymhau o hyd, a'r olaf oedd yn fwy nodedig nag un—tywyllodd ganol dydd fel nas gallem weled darllen—yr oedd y gwartheg yn beichio—a ninnau yn mron llewygu gan ofn. Ar ol i'r ystorm fyned heibio aethum at fy adar, a thorais ben un o honynt yn ddiattreg; a buaswn wedi dienyddio y llall oni buasai i'r dyn grefu arnaf beidio. Pan oedd yn fy meio dywedais, 'Yr wyf, wrth gadw y rhai hyn yn fyw, yn penderfynu pechu rhagllaw, ar ol ein gwared fel hyn.' Bu y tro hwn yn foddion i'm tynu oddiwrth yr arfer hon byth mwy. Pan oeddwn tu ag ugain oed dechreuodd fy meddyliau fod yn drallodedig a thrafferthus am grefydd a duwioldeb; a dechreuais fod yn ddiwyd iawn yn cyrchu i wasanaeth yr Eglwys Sefydledig. Prynais Lyfr Gweddi Gyffredin, a dysgais y rhan fwyaf o'r ffurfiau ar dafod leferydd, a chyrchwn yn ddiwyd i'r Llan, gan feddwl y gallwn fod yn grefyddol ond dilyn traddodiadau fy hynafiaid. Ond er y cwbl byddai fy meddyliau yn drallodedig am fy nghyflwr ysprydol, yn enwedig am ailenedigaeth. Yr oeddwn wedi darllen 'Oddieithr geni dyn drachefn na ddichon efe weled teyrnas Dduw: etto yr oedd fy meddwl yn dywyll, fel yr eiddo Nicodemus, am y cyfnewidiad grasol hwn; a mynych ddysgwyliwn glywed yr Offeiriad yn y Llan yn sôn rhywbeth yn ei gylch, ond cefais fy siomi. Awn weithiau i gapel yr Annibynwyr i Ddinbych,

i wrando ar hen Weinidog duwiol oedd yn pregethu yno. Yr oedd genyf frawd oedd yn arferol o fyned i wrando y Methodistiaid Calfinaidd oedd y pryd hyny yn pregethu yma a thraw ar hyd y wlad; ond yr oedd gelyniaeth yn fy nghalon i tu ag atynt, am fy mod wedi darllen yn yr Epistolau am y gau athrawon a gyfodent yn y dyddiau diweddaf, ac wedi penderfynu yn fy meddwl mai hwy oeddynt. Tu a'r pryd hwn dymunodd fy mrawd arnaf ddyfod gyd âg ef i'r Bont Uchel i wrando un o honynt (gwr dieithr o'r Deheudir) yn pregethu; a dywedodd, os deuwn y cawn glywed pethau rhyfedd, a gweled y pregethwr yn wylo nes byddai y dwfr yn rhedeg ar hyd ei ruddiau. Atebais yn gyndyn nad awn i byth yn *Garadog*, nac i'w gwrando ychwaith. Ond trwy ei daerni, a'r hyn a ddywedai efe am y pregethwr, tueddwyd fy meddwl i fyned gyd âg ef: felly yno yr aethom, ac wedi gweled yr ychydig bobl druain dlodion oedd wedi ymgynnull yno i wrando, rhwng cywilydd a chasineb atynt, ymneillduais i ben pellaf y tŷ lle yr oeddym wedi ymgynnull; ac wedi dechreu yr odfa, cymerodd y gwr ei destyn yn Ioan 3. 3. 'Oddieithr geni dyn drachefn ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.' Cefais fy rhwymo i'w wrando, a chan mor oleu ac effeithiol y triniodd y pethau oeddynt yn aflonyddu fy meddwl o'r blaen—penderfynais lynu i wrando y bobl hyn nes daeth fy nghyflwr drwg fel pechadur i wasgu yn ddwysach ar fy meddwl.

Yn lled fuan wedi hyn aethym i'r ystad briodasol, ac yr oedd fy ngwraig yn foddlon i mi fyned i wrando. Aethym i, a dau o'm cyfeillion, i le a elwir Bryn bugad, gerllaw Tan-y-fron, plwyf Llansannan, i Gyfarfod Misol a gynnelid yn nhy pregethwr a elwid Edward Parry, yr hwn oedd yn byw yn yr ardal hono; ac yno y bum yn y *Society* gyntaf erioed. Ymddyddanodd y brodyr yno â ni am weithrediadau y gair ar ein meddyliau. Ar ol hyny ymunais â'r Eglwys yn y Bont Uchel, yr hon nad oedd ond ychydig nifer yn y dyddiau boreuol hyny. Bum am dymhor maith tan ofnau ac ammheuon am fy nghyflwr, ac euogrwydd yn gwasgu yn drwm ar fy nghydwybod, nes meddwl mai uffern fyddai fy llety, ac heb fwynhau ond ychydig o gysuron yr iechydwriaeth. Gwelodd Duw yn dda 'fy nghofio yn fy isel-radd, o herwydd fod ei drugaredd yn parhau yn dragywydd.' Aethym i Ddinbych ar noson waith i wrando y dywededig Edward Parry yn pregethu; ac wrth fyned yr oeddwn tan radd o flinder corph gan lafur y dydd, a mwy o flinder meddwl, gan dybied fod Duw wedi fy rhoi i fynu, a'r holl greadigaeth yn ddig wrthyf. Ond yn yr odfa llewyrchodd y gair hwnw i fy meddwl mewn modd rhyfeddol, fel nas anghofiaf byth, 'Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd:' dattododd fy rhwymau, chwalodd fy ofnau, a llanwodd fy enaid â gorfoledd yr iachawdwriaeth, fel nas gwyddwn yn iawn pa le yr oeddwn yn sefyll; ac er iddi dywyllu ar fy meddwl lawer gwaith ar ol hyn, bu y gair anwyl hwn yn gysur mawr i'm meddwl filoedd o weithiau.

Eithr yn mhen enyd ar ol hyn galwyd arnaf, gan yr eglwys yn y Bont Uchel i'r swydd bwysig o flaenori yn eu plith; ac er fy mod yn gweled fy hun yn hollol anaddas i'r gwaith, cefais y fraint o ufuddhau i alwad fy mrodyr, ac ni adawodd yr Arglwydd fi yn ddigymhorth yn y gwaith. Bum yn myned o'r Buarth mawr (lle yr oeddwn yn byw) i'r Bont Uchel, tua phedair milltir o ffordd, i'r gymdeithas neillduol am dri o'r gloch brydnawn bob dydd Iau, heb golli ond ychydig droion yn yspaid ugain mlynedd o amser, ac nid oeddwn yn cyfrif y cyfryw lafur yn ddim i'w gystadlu â'r budd oeddwn yn dderbyn. Nid oedd y pryd hyn ddim pregethu gan un enwad Ymneillduol yn mhlwyf Llanrhaiadr—chwareyddiaethau ar y Sabbathau, a phob math o bechodau, mewn ymarferiad cyhoedd a gwarthus—teyrnas y diafol yn ei llawn rym. Gwasgodd hyn yn ddwys ar fy meddyliau i, ac ychydig gyfeillion ereill, nes ymdrechasom am gael pregethu yn yr ardal; ac i'r dyben hyn cymerasom dŷ bychan gerllaw i'm tŷ i, tan ardreth; ac yno y buwyd yn pregethu am gryn amser: a bendithiodd Duw ei air i droi amryw 'o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw.' Symudwyd y pregethu oddi yno i dŷ annedd a elwid Llewesog bach, ac oddi yno i dŷ arall yn yr un gymmydogaeth a elwid Bryn Grygor, ac wedi hyny i dy Anne Parry, Bryn Mulan (yr hon y mae hanes lled ryfedd mewn perthynas i ddilygredd ei chorph yn y bedd, yn y DRYSORFA, Llyfr I, tu dal. 74.) ac yno y buom am gryn amser yn cynnal y moddion neillduol a chyhoeddus, yn y rhai y tywalltodd yr Arglwydd ei Yspryd, mewn modd grymus lawer gwaith, gan lenwi llawer enaid â gor-

foledd yr iachawdwriaeth, gan ddwyn tystiolaeth i air ei ras, a chan ychwanegu at nifer yr eglwys lawer o'r rhai a fyddent gadwedig. Deffrowyd yr ardal i wrando trwy ein bod yn cadw cyfarfodydd gweddïo ar hyd y tai lle bynag y caem ddrysau yn agored, nes aeth 'plant y ddiepiledd' i ddywedyd, 'cyfyng yw y lle hwn i mi, dod le i mi fel y preswyliwyf.' Agorwyd drws i ni gael lle i adeiladu capel, yr hwn a elwir Capel y Prïon, yr hwn a adeiladwyd oddeutu y flwyddyn 1792, a'r hwn yw yr hynaf o bedwar capel sydd gan y Methodistiaid yn awr yn mhlwyf Llanrhaiadr."

Bellach, wedi rhoddi hanes yr hen frawd parchus hwn hyd yma fel y'i cafwyd o'i enau ef ei hun, adroddir ychydig o hanes diwedd ei yrfa, a'r pethau oeddynt yn fwyaf rhagorol ynddo.

Yr oedd yn un nodedig fel henuriad eglwysig, cadarn iawn yn athrawiaeth yr efengyl, a chyda medrusrwydd a goleu anghyffredin y byddai yn ei hegluro i'w frodyr yn yr eglwys, a hyny oddiar brofiad o'i heffeithiau ar ei enaid ef ei hun. Yr oedd ganddo wyneb llew i'w wneyd yn wrol gyd â'r gwaith —wyneb eryr i graffu ar amgylchiadau ysprydol ei frodyr—wyneb ŷch i dynu ei gwys yn wastad—ac wyneb dyn i gydymdeimlo â, ac ymgeleddu ei frodyr gwanaf. Er ei fod yn llym iawn yn erbyn pechod, byddai, megis mammaeth yn maethu ei phlant, yn dyner ac ymgeleddgar iawn o'r arwyddion lleiaf o ras; ac nid ymfoddlonai heb gael graddau o hyn yn mhawb a droai ei wyneb i eglwys Dduw. Yr oedd yn meddu yspryd barn; yr oedd yn rhagorol i drin achosion dyrys â llaw dde, i ddattod cylymau, a gostegu ymresymiadau, pan ddigwyddai y cyfryw bethau gymeryd lle: ïe, yr oedd yn fab tangnefedd yn mhob man lle y byddai. Teithiodd lawer yn ei Sir ei hun i Gyfarfodydd Misol, ac i gadw cyfarfodydd neillduol. Bu trwy amryw o Siroedd y Gogledd gyda phregethwyr; a theithiodd lawer i'r Deheudir. Elai i Langeitho amryw weithiau yn y flwyddyn, ac hefyd i Gaerfyrddin, i ymofyn cyhoeddiadau, &c. Cyfranai yn helaeth yn ol ei sefyllfa at achos yr Arglwydd; a bu ei dŷ yn lletty cysurus i bregethwyr am flynyddoedd lawer, ac er fod llawer o'r cyfryw heddyw yn gorphwys oddiwrth eu llafur, etto y mae llawer hefyd yn dystion byw o'r ymgeledd a'r sirioldeb a gawsant ganddo ef a'i deulu. Fel cyfaill yr oedd yn siriol ac addfwyn; yn ffyddlon i gadw cyfrinach; yn gynghorwr da, ac yn rhybuddiwr doeth: yn serchog fel tad; yn ffyddlon fel priod; yn ofalus, fel penteulu, am ei blant a'i wasanaethwyr, yn eu llywodraethu â'i esamplau, ei gynghorion, a'i weddïau, gan ymdrechu i arwain holl wrthddrychau ei ofal yn y ffordd y dylent rodio.

Yr oedd yn rhagori yn fawr ar y cyffredin o ddynion yn ei brofiadau a'i olygiadau ysprydol. Olrheiniai yspryd deddfol, ac anghrediniaeth, i'w llochesau dirgelaf; a chynghorai bawb i wylio rhagddynt. Dangosai y perygl o gymmysgu cyfiawnhad a sancteiddhad, gwneud Crist o'r grasau, ac o bwyso ar hwyl neu brofiad i fyned at Dduw ofyn maddeuant.

Mewn *Society* yn mis Hydref, 1835, dywedai, "Mae cryn lawer o guro wedi bod ar fy meddwl yn ddiweddar rhag fy mod heb gael y taenelliad; ond, diolch i Dduw, anfonwyd yr adnod hono i fy meddwl gyda gradd o oleuni, 'Oblegid os yw gwaed teirw a geifr, a lludw anner wedi ei daenellu ar y rhai a halogwyd, yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd, pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn, trwy yr Yspryd tragywyddol, a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw?' Mae fy meddwl o hyny hyd yn awr yn profi tangnefedd a chysur cryf! Diolch iddo! O gyfeillion! ymofynwch am y taenelliad hwn beth bynag a fyddo yn ol!"

Ionawr 7, 1836, mewn ymddiddan yn ei dy â chyfaill, dywedai ei fod yn ofni llawer nad oedd ganddo ffydd, &c. fod y geiriau hyny wedi taro i'w feddwl, ac wedi gweini cysur iddo, sef, "Gwnaf dywyllwch yn oleuni o'u blaen, a'r pethau ceimion yn uniawn; dyma y pethau a wnaf iddynt, ac nis gwrthodaf hwynt."

Mawrth 11eg dywedai, "Yr oeddwn ddoe yn lled drymaidd, yn meddwl os annuwiol oeddwn y byddwn yn ddyfnaf mewn trueni; ond heddyw y mae yr adnod hòno yn fy lloni, 'Wele, yr wyf fi yn sefyll wrth y drws ac yn curo.'"

Ebrill 5ed, dywedai wrth gyfaill, ei fod y dyddiau o'r blaen yn gweled ei grefydd yn debyg i un Balaam; ei fod yn gweled ac yn teimlo llawer iawn o hunan, "ond, (meddai) yr wyf yn gwybod fod Satan yn amcanu blino llawer arnaf; y mae yn awr wedi fy nghael megis rhyngddo a'r pentan, ond

y mae addewidion yr Arglwydd yn werthfawr iawn: yr wyf yn dysgwyl eich bod yn cofio am danaf yn eich gweddïau."

Mai 22ain, nos Sabbath, yr oedd cyfarfod gweddi yn ei dŷ. Yr oedd yr olwg arno trwy ac wedi y cyfarfod, fel y dywedai Elihu, "fel gwin nid agorid arno:" ond yr oedd dan anfantais fawr i ymddyddan o herwydd y pall oedd ar ei beiriannau ymadrodd: bu am gryn yspaid yn ymboeni i geisio siarad, ond ni ellid deall ond ychydig o'r hyn a ddywedai. Clywwyd ef yn dywedyd "fod ofn angeu a'r bedd wedi ei symud yn llwyr;" ac adroddai y pennill sydd yn dechreu,

Wel, bellach mi â y'mlaen
Trwy ddwfr a thrwy dân, &c.

Yr oedd yr olwg arno fel tywysen hollol aeddfed, yn llawn cysur a gorfoledd, ac mor siriol a llawen ag y gwelwyd ef un amser.

Nos Sabbath, Mai 29ain, nid oedd yn ymddangos mor hyfryd ei feddwl a'r Sabbath o'r blaen. Ceisiai ymddyddan, ond yr oedd yn anhawdd iawn ei ddeall; cymmaint ag a ddeallwyd ydoedd hyn, "Yr wyf yn gweled fy hun fel rhyw hogyn yn methu yn lân a chyrhaedd fy mys i'r pot a'r mêl," gan feddwl y cysuron a'r diddanwch a fyddai arferol o fwynhau.

Mehefin 11eg canai y pennill canlynol, gyda sirioldeb anghyffredin,

"'Rwy' heddyw'n rhoi fy hunan iddo
A chwbl feddaf is y rhod,—
Help i godi 'r groes yn llawen,
A mynegi byth ei glod;
Heb bryderu na gofalu
Pa fodd y fory byddaf byw;
Yr Iesu laddwyd cyn fy ngeni,
I'm gwaredu, digon yw."

Mehefin 18fed, gofynwyd iddo gan gyfaill, a oedd ei feddwl yn lled siriol y dyddiau hyn? i'r hyn yr atebodd, "Yr wyf yn cael peth cysur yn y geiriau hyny, 'Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw. Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni.' &c. Coffhai yr adnod hòno hefyd, 'Canys felly y carodd Duw y byd," &c. a dywedai, "O ryfedd ddaioni! ond gwnaed a fyno â hwy, plant Adda ydynt wedi y cwbl, yr hen lygredd yn eu blino, ond fe fydd golwg ryfedd ar yr Eglwys pan orphener y gwaith.

Tachwedd 29ain, yr oedd ei feddwl yn bur siriol, ac wedi cael blas neillduol ar y penill,

"Nef a daear byth ni phrisia,
Y perl a ges mae'n well na'r India," &c.

Nos dranoeth dywedai ei bod yn dda ar ei feddwl; meddai, "Y mae yr ysgrythyrau yn dyfod i mi mewn basgedau aur!" a choffhai yr adnod ganlynol, "Y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a adnewyddant eu nerth," &c.

Ionawr 9fed, 1837, pan oedd gryn argoelion gwaelu arno, a phan ymddangosai ei ddaearol dŷ yn nesu at ei ymddattodiad, gofynwyd iddo, a oedd ei feddwl yn lled gysurus? Bu gryn amser cyn gallu ateb, a'r unig eiriau dealladwy a ddywedai oeddynt, "Duw y tangnefedd!" pa rai a adroddwyd ganddo mewn modd nas anghofir yn fuan gan y brawd a anerchai. Felly myned yn waelach waelach a wnaeth hyd yr unfed dydd ar bymtheg, pryd yr hunodd yn yr Iesu, yn 92 mlwydd oed.

Ar y 19eg pregethodd y Parch. John Davies i amryw gannoedd a ymgasglasent i hebrwng ei ran farwol i fynwent Llanrhaiadr, lle y gorphwys nes gelwir y meirw o'u beddau, gan "lef yr archangel ac udgorn Duw."

## RHAGORIAETHAU Y BIBL.

### YR EPISTOL AT Y PHILIPPIAID.

PHILIPPI oedd ddinas o Macedonia, a threfedigaeth Rufeinaidd. Y lle cyntaf yn Ewrop ydoedd, yn yr hwn yr ymddengys i'r efengyl gael ei phregethu gan yr apostol. I'r ddinas hon mae yn ymddangos i'r apostol Paul gael ei gyfarwyddo gan weledigaeth oddiwrth Dduw, oddeutu A. D. 50. ac y mae'n gofiadwy am droedigaeth Lydia a cheidwad y carchar, Act. xvi. Ysgrifenodd yr apostol yr Epistol hwn tra yn garcharor yn Rhufain, oddeutu A. D. 62. i addysgu a chalonogi y credinwyr yn eu proffes o'r efengyl, i'w gwarchadw rhag athrawon Iuddewaidd, ac i gydnabod y derbyniad o gydroddiad oddi wrthynt, yr hwn ydoedd gymhorth iddo ef yn ei garchariad. Mae yr Epistol hwn wedi ei ysgrifenu yn y modd mwyaf dillynaidd, ac wedi ei leuwi â'r ymadroddion uchelaf, ac â'r annogaethau mwyaf serchiadol at holl aelodau eglwys Philippi. Mae yn rhanedig i bedair o bennodau, yn cynnwys wyth o ddosparthiadau.

Dosparthiad I. Y cyflwyniad, pen. i. 1, 2.

Dos. II. Sydd yn tystiolaethu diolchgarwch yr apostol i Dduw am eu dïanwadalwch yn y ffydd, ac yn y sicr-

wydd o'u parhad, mae yn gweddio am eu cynnydd ysprydol, pen. i. 3—11.

Dos. III. Sydd yn adrodd effeithiau carchariad yr apostol yn Rhufain, a llwyddiant yr efengyl, hyd yn nod yn y palas ymerodrawl; fel er ei fod yn awyddus am y mwynhad gwynfydedig o fod gyda Christ, yr ydoedd yn ewyllysgar i aros yn y corph er gwasanaeth i'r eglwys, pen. i. 12—26.

Dos. IV. Sydd yn cynnwys amrywiol annogaethau i'r Philippiaid, yn cael eu traethu yn y geiriau mwyaf cynhyrfiol, er meithrin tymmer ac ymarweddiad addas i'r efengyl, ac yn cael eu dirgymhell trwy esampl ein dwyfol Brynwr, pen. i. 27. ii. 1—16.

Dos. V. Gofal yr apostol am y Philipiaid trwy anfon Timotheus ac Epaphroditus atynt, pen. ii. 17—30.

Dos. VI. Sydd yn cynnwys gocheliadau difrifol rhag yr athrawon dadleugar Iuddewaidd, y rhai a gymerent arnynt bregethu yr efengyl; gan osod ger eu bronau ei esampl ei hun yn ymwrthod â phob rhagoriaethau a chyrhaeddiadau tybiedig o gyfiawnder, ac adrodd ei ymlyniad cadarnaf wrth efengyl Crist, a'r cyfiawnder yr hwn sydd o Dduw trwy ffydd, pen. iii.

Dos. VII. Sydd yn cynnwys amrywiol annogaethau cyffredinol i lawenydd, cymmedroldeb, a gweddi, gan ganmol pob rhinwedd a allai addurno y nodweddiad cristionogol. Mae yr apostol yn cydnabod eu cyfraniad cymmwynasol, ac yn sicrhau iddynt adgyflanwad goludog oddiwrth ei Dduw cyfammodol, yn ol golud ei ogoniant, pen. iv. 1—20.

Dos. VIII. Yw diweddglo yr Epistol, pen. iv. 21—23.

Y peth mwyaf nodedig yn yr Epistol hwn yw ymresymiad yr apostol oddi wrth gariad ac ymddarostyngiad Crist, yr hwn, er yn ogyfuwch â Duw y Tad, a gymmerodd natur dyn, fel y gallai ufuddhau i'r ddeddf dros bechaduriaid, a marw er eu prynedigaeth, pen. ii. 5—11.

*Cyfeiriadau yn y Philippiaid.*

| | |
|---|---|
| Pen. ii. 7. Ps. xxii. 6. Dan. ix. 26. | Pen. iii. 2. Esa. lvi 10. |
| 10. Esa. xlv. 23. | 8. Ier. ix. 23, 24. |
| | iv. 6. Ps. lv. 22. |

## HANESIAETH EGLWYSIG.

(Parhad tu dal. 332.)

### II. AM ADFEILIAD YSPRYDOL YR EGLWYS, O'R FL. 300 HYD Y FL. 600.

Cyn i ni ddilyn yn mhellach ymlediad boreuol Cristionowgrwydd, trwy olrhain yr hyn a allwn ei gael o'i hanesiaeth cenhadol, rhaid i ni adnewyddu ein hymchwiliad at sefyllfa yr hen eglwysi yn yr yspaid hwn, er nad allwn addaw llawer o bethau boddhaol fel ffrwyth i'r ymchwiliad hwn.

Tra yr oedd yr eglwys Gristionogol, yn yr amser hwn, yn ehangu ei chylch yn allanol, ac yn symud ei therfynau i bob parth, yr oedd yn dyoddef cryn-feydd echrydus yn dufewnol, yr hyn a fygythiodd hollol adfeiliad, ac a achosodd lawer o ymraniadau. Edrychid ar ffurf Eglwys Crist, fel y rhoddir yn Ngair Duw, ac a eglurir yn yr eglwys apostolaidd, gan Gristionogion eu hunain yn rhy ddiaddurn, a hwy a ddyfeisiasant bob math o addurniadau ychwanegol. Yr oedd pob canrif olynol yn dwyn gyda hi ryw addurniadau newyddion, hyd oni orchuddiwyd hi ganddynt i'r fath raddau, fel nad oedd ond llinell fechan, yma ac acw, i'w chanfod o'r darlun cyntefig, hyd oni ddaeth y diwygwyr a golchi ymaith yr arliwiau mwyaf tanbeidiawl oedd arni, a'i hadferu, mewn rhan, i'w ffurf cyntaf.

Gallwn ganfod adfeiliad ysprydol yr eglwys yn yr amser hwn (sef rhwng y blynyddoedd 300 a 600) mewn tri o bethau; sef, yn 1. Llygriad yr athrawiaeth; yn 2. Drwg-fucheddau yr offeiriaid; ac yn 3. Halogedigaeth moesau yn gyffredinol.

Yr achlysur cyntaf o scism, neu gyfeiliornad, yn yr Eglwys, a roddwyd gan Arius, Henadur o Alexandria. Gwadai y dyn hwn yn gyhoeddus Ddwyfoldeb Crist, a dysgai nad oedd ond creadur yn unig, er ei fod wedi ei wneuthur o flaen pob peth, ac wedi ei ddyrchafu uwchlaw yr holl dduwiolion sanctaidd o herwydd ei dduwioldeb rhyfeddol. Yn y flwyddyn 325 cynnaliwyd Cymanfa fawr yn Nice, yn Bithynia, er dyfod i benderfyniad ar y pwngc hwn. Yno y cafwyd allan fod 318 o esgobion, a llawer o athrawon eglwysig ereill, yn ymwrthod âg athrawiaeth Arius i gyd yn un llais: ac yno y cyfansoddwyd y Cyffes Ffydd hwnw a elwir Credo Nicene. Pa fodd bynag daliodd Arius allan am hir amser; ac o'r diwedd, wedi iddo ei law-arwyddo â rhyw dwyll-adroddiad amlwg o'i eiddo ei hun, efe a fu farw yn sydyn ar y dydd yr oedd yn amcanu mwynhau rhyw fath o oruchafiaeth, a'i farwolaeth hefyd a ragflaenwyd gan arteithiau corphorol echryslon a dieithr. Ond pa fodd bynag ni therfynodd y ddadl Ariaidd yn ei farwolaeth ef. Cyhoeddodd yr Ymerawdwr

Constantius ei hun yn bleidiwr gwresog i'r heresi hon, a chafodd gymeradwyaeth anwrthwynebol yn Nghymanfaoedd Arles a Milan, y rhai a gynnaliwyd yn y blynyddoedd 354 a 355. Y mae hyn etto yn brawf mai ofer ydyw dysgwyl am iachawdwriaeth o gymanfaoedd cyffredinol, ac nad yw gwirionedd bob amser yn cael ei egluro gan fwyafiaeth barn.

Achosodd y ddadleuaeth hon i lawer o fywydau gael eu colli drwy erlidigaeth, ac arweiniodd i ryfeloedd gwaedlyd. Ennillodd y ffydd Ariaidd wedi hyny gymmeradwyaeth mawr y'mhlith y Gothiaid, y Sueviaid, y Burgundiaid, y Longobardiaid, a'r Vandaliaid, a pharhaodd am lawer o flynyddoedd cyn iddi ymadael yn llwyr.

Cododd dadleuaeth arall yn erbyn Nestorius, Esgob Caer Cystenyn, yr hwn a dramgwyddwyd wrth yr arferiad anaddas o alw y Forwyn Fair yn *Fam Duw*. Hyn a barodd iddo yntau ddysgu yn gyfeiliornus fod dwy natur Crist wedi eu cyssylltu yn hytrach nag yn unedig. Cymmanfa gyffredinol Ephesus, yn y flwyddyn 431, a'i condemniodd yntau yn heretic. Diarddelwyd ef o'i swydd, a bu farw mewn tlodi. Ei ddilynwyr a ddiangasant i Persia o herwydd yr erlid oedd arnynt ar ol ei farwolaeth ef, lle y cawsant bob rhyddid crefyddol, ac y ffurfiasant eglwys eu hunain. Ymdeithiodd llawer o honynt yn Persia a Tartari, a chyn belled a thueddau China, gan ychwanegu rhifedi eu proselytiaid wrth fyned y'mlaen, a hyny trwy eu zêl a'u brwdfrydedd i droi y cenedloedd. Clywwyd wedi hyny am Esgobion Nestoraidd yn Buchara, Turkestan, ac hyd yn nod yn Thibet. Ond collasant eilwaith y rhan fwyaf o'r hyn a ennillasant trwy ymledaeniad eang Mahometaniaeth. Etto y mae y Nestoriaid yn parhau hyd heddyw yn y gwledydd dwyreiniol yn o luosog, a gelwir hwynt y Cristionogion Caldeaidd, neu Gristionogion St. Thomas.

Ond gwaeth na hyn etto ydoedd ymddygiad y nifer luosocaf o'r rhai oeddynt yn bresennol yn Nghymanfa gyffredinol Ephesus, ddeunaw mlynedd wedi hyny, yr hon a gynnullwyd i brofi athrawiaeth Eutyches, yr hwn a haerai nad oedd gan Iesu Grist ddwy natur wahanol, ond ddarfod i'w natur ddwyfol a'i natur ddynol ddyfod yn un natur yn amser ei ymgnawdoliad. Yr athrawiaeth hon a gyhoeddwyd gan y Gymanfa hon yn athrawiaeth gywir, a gorfodogwyd yr esgobion goreu, trwy orthrech ac arfau, i arwyddnodi eu cydsyniad wrthi. Oddiwrth hyn y cafodd y cynnulliad hwn ei alw yn Gymanfa Yspeilwyr. Y'mhen dwy flynedd wedi hyny condemniwyd penderfyniad Cymanfa Ephesus gan Gymanfa gyffredinol Chalcedon, a chyhoeddwyd Eutyches yn heretic. Ei ganlynwyr lluosog yn awr a ymneillduasant oddiwrth yr eglwys; ac yn y chweched ganrif cawsant arweinydd zelog o'r enw Jacob Baradœus, oddiwrth ba un y deilliodd yr enw Jacobiaid arnynt. Ymdaenasant o Armenia i'r Aipht, ac y maent etto yn lluosog iawn yn y gwledydd hyny.

Wedi hyny cyfododd Morgan, neu Pelagius, y Mynach, yn Nghymru, gan ddysgu nad oedd dim pechod gwreiddiol yn y natur ddynol; nad oes dim llygredigaeth yn deilliaw oddiwrth Adda; mai barn derfynol am ein pechodau gweithredol ein hunain oedd marwolaeth naturiol; a bod gan bob un nerth digonol ynddo ei hun i'w alluogi i ewyllysio a gwneuthur daioni. Ei athrawiaeth yntau a gondemniwyd mewn amryw Gymanfaoedd cyffredinol, ond y mae o hyny hyd yn awr wedi ennill llawer o ddilynwyr yn enwedig yn yr eglwysi dwyreiniol ac yn Ffraingc. Mae yr holl athrawiaethau cyfeiliornus ereill, y rhai a neidiasant i fod yn nghanol mynwes yr Eglwys, ac a gawsant rai mwy a rhai llai cymeradwyaeth, yn rhy luosog i ni sylwi arnynt o fewn terfynau yr Hanesiaeth hwn. Yn wir, nid oes dim newydd o dan yr haul, a llawer o'r athrawiaethau a ddygir ym mlaen yn y dyddiau hyn, ac a ddyrchefir gan rai fel goleuni newydd a doethineb, ydynt wedi bod yn yr un wir ffurf, efallai, yn y cynamseroedd, ac wedi darfod yn llwyr wedi hyny. Ond gwirionedd galarus yw, fod hyd yn nod gwir Gristionogion, yn y dyddiau hyny, wedi cael eu rhwystro yn fynych i ganfod eu ffordd i holl gyfundrefn y gwirionedd ysgrythyrol, heb gamogwyddo, o herwydd y parhaus ddadleuaeth y gorfodogid hwy i'w gario ym mlaen yn erbyn pob math o gyfeiliornadau: ac yn mhoethder y dadleuon ymlithrodd rhyw ychydig o'r gau opiniynau y rhyfelai yr eglwys yn eu herbyn i mewn i rai o byngciau cywiraf ei chredo, ac o ychydig i ychydig yn rhan sefydlog o hono.

Fel hyn, tra yr oedd cymmaint o gauathrawiaethau yn cael eu cymeradwyo a'u meithrin yn mynwes yr Eglwys, yr oedd yn amlwg fod yn rhaid fod adfeiliad wedi cymeryd lle y'mysg yr athraw-

orr eu hunain yn gyntaf; ac ni a welwn hefyd, oddiwrth yr hyn a nodwyd eisoes, fod llawer un tra annheilwng i'w gael ym mysg y cyfryw athrawon. "Tra yr oedd y dynion yn cysgu y daeth y gelyn ddyn ac yr hauodd efrau ym mhlith y gwenith."

(I'w barhau.)

---

## Y PREGETHWR A'R GWRANDAWR.

### RHIF IV.

### *Y Cyfammod Gweithredoedd.*

*Gwrandawr*. Wrth glywed yr hen bregethwyr yn sôn cymmaint am y *Cyfammod Gweithredoedd* yr oeddwn yn meddwl ei fod yn un o brif athrawiaethau y Bibl; ond erbyn i mi chwilio ni fedraf gael cymmaint ag un crybwylliad o'r gair Cyfammod Gweithredoedd yn yr holl ysgrythyrau.

*Pregethwr*. Y mae yn wir nad yw y gair Cyfammod Gweithredoedd yn y Bibl mwy na'r gair Cyfammod Gras, a llawer o eiriau ereill a arferir mewn pregethau, ac ysgrifeniadau Duwinyddol. Nid ydwyf yn meddwl y dylem wrthod pob gair *an*-ysgrythyrol, sef yw hyny heb fod yn cael ei arfer yn y Bibl; ond os bydd gair yn *wrth*-ysgrythyrol, sef yn tueddu i roddi golygiad gwrthwyneb i'r ysgrythyrau ar bethau, neu i daflu anmharch ar eiriau y Bibl, diau y dylem wrthod y fath air.

Nid wyf, wrth ddywedyd fel hyn, am ddangos dim cydymdeimlad â'r dynion sydd yn ceisio addurno eu holl ymddiddanion a'u hysgrifeniadau crefyddol â geiriau disathr a newyddion: yn wir, byddaf yn methu deall beth a all fod dyben *y pethau bychain* yn hyn, os nad ceisio dangos eu bod *yn ddoeth iawn*. Ond beth bynag am hyny, y maent trwy hyn wedi peri dyryswch mawr i feddwl llawer un.

Yr wyf yn cofio, er's oddeutu deuddeng mlynedd yn ol, fy mod yn ymddiddan â hen wrandawr pregethau: dywedai wrthyf ei fod wedi clywed un gair mewn pregeth yn ddiweddar a barodd gryn ddyryswch i'w feddwl. 'Pa air oedd hwnw?' meddwn inau. 'Clwyf moesol. Pa beth (meddai y dyn, gan edrych yn myw fy llygaid) pa beth sydd i ni i'w feddwl wrth y Clwyf moesol?' 'Tebyg (meddwn inau) mai pechod oedd y pregethwr yn ei feddwl, a'i fod yn ei alw yn glwyf moesol i'w wahaniaethu oddiwrth glwyf naturiol.' 'Felly 'n siwr (meddai yntau) ond yr oeddwn i yn tybied bob amser mai clwy' *an*-foesol iawn oedd pechod, ond y mae dysg o fedydd i fedd.'

Os na allwn bob amser gadw at eiriau y Bibl, dylem, o leiaf, beidio arfer geiriau ag y gwyddom nad yw y cyffredinolrwydd o'r gwrandawyr yn eu deall, oddieithr i ni eu hesbonio iddynt, nes y gwypont pa beth ydym yn ei feddwl wrth y fath eiriau. Y mae amser y bobl yn ddigon prin at ddefnyddio ein pregethau, heb i ni osod rhaid arnynt i chwilio llawer am arwyddocad ein geiriau. Heblaw hyny, y mae arfer gair newydd mewn pregeth yn gosod temptasiwn i'r gwrandawyr i feddwl am hwnw ar hyd y bregeth, ac esgeuluso pob peth arall.

Ond etto, y mae rhyw eiriau nad ydynt yn y Bibl, megis Cyfammod Gweithredoedd, Cyfammod gras, Pechod gwreiddiol, y Ddeddf foesol, y Drindod, &c. nid yn unig y mae'n ddiberygl eu harferyd, ond y maent, ar ryw ystyriaeth, yn angenrheidiol. Y mae yr arferiad o honynt gan dduwinyddion dros lawer o oesoedd, a chynefindra ein gwrandawyr â hwy, yn gosod math o angenrheidrwydd arnom i'w defnyddio er gwneyd ein hunain yn ddealladwy i'n gwrandawyr.

*Gwran*. Wel, gan i ni ddechreu son am y *Cyfammod Gweithredoedd*, byddai yn dda genyf glywed pa beth yw eich barn am y cyfammod hwnw (os yw yn addas ei alw felly). Ac yn gyntaf oll, pa beth ydych yn feddwl wrth y gair Cyfammod: canys heb i ni ddeall geiriau ein gilydd, gallem ddadleu tan y foru, a'r cwbl yn y diwedd yn ddim mwy na'n bod yn cam-gymeryd meddwl ein gilydd wrth arfer rhyw un gair.

*Preg*. Wrth ddarllen Gesenius, Frey, Witsius, ac ereill, ar darddiad a gwahanol ddefnyddiau y gair Hebraeg *Berith*, yr hwn a gyfieithir *Diatheke* gan y LXX. a chan ysgrifenwyr y Testament Newydd; ac a gyfieithir Cyfammod gan yr eiddom ninnau: yr wyf yn meddwl mai ei arwyddocad cyffredin yn yr ysgrythyrau yw yr hyn a ganfyddir yn amlwg yn nghyfansoddiad y gair Cymreig Cyfammod.

*Gwran*. Rhowch glywed, ynte, pa beth yw hyny?

*Preg*. Y mae y gair Cyfammod yn cael ei gyfansoddi o *cyd* ac *ammod*, ac y mae ei ystyr yn eglur, sef fod *pleidiau yn ammodi â'u gilydd* am unrhyw beth. Cyn y gellir galw peth yn Gyfammod rhaid fod dwy blaid, a phob un yn gwneyd ammod i'r llall: a'r cyntaf a syrthio yn fyr o gyflawni ei ammod a

elwir yn dorwr y cyfammod, canys nid yw y blaid arall, mwyach, yn rhwym i gyflawni ei ammodau, oblegid y mae yr hyn oedd yn ei rwymo i hyny wedi ei dori.

*Gwran.* Y mae y Bibl, debygwn i, yn son am lawer o bethau mewn Cyfammod heblaw ammodau rhwng pleidiau, megis lladd anifeiliaid, rhoi gwobrwyon, gwledda, &c.

*Preg.* Y mae yn wir fod llawer dull o gyfammodi wedi bod, ac yn bod, gan ddynion. Byddid gynt wrth wneuthur cyfammod, weithiau yn lladd anifail a'i dori yn ddarnau, neu ei hollti, a byddai y cyfammodwyr yn myned rhwng y darnau. Cyfeirir at hyn yn Jer. xxxiv. 18, 19. "A mi a roddaf y dynion a droseddodd fy nghyfammod....wedi iddynt fyned rhwng rhanau y llo, a holltasent yn ddau," &c. Nid oedd lladd anifeiliaid yn angenrheidiol i gyfammod rhwng pleidiau, ond byddai hyny yn cael ei wneyd er mwyn peri argraff o bwysfawrogrwydd y cyfammod, ac o'r echryslonrwydd o'i dori, ar feddyliau y cyfammodwyr. "Y mae lle cadarn i feddwl (medd y Parch. Mr. Charles) mai oddiwrth y dull, neu y ffurf, o lw a arferid wrth wneuthur cyfammod y mae tarddiad yr ymadrodd hwnw a arferir amryw weithiau yn yr Hen Destament, "*Fel hyn y gwnelo Duw i mi, ac fel hyn y chwanego.*" Fel pe dywedasai y cyfammodwr, gan edrych ar yr aberth drylliedig ger ei fron, 'Megis y drylliwyd yr aberth hwn i fod yn grair, ac yn arwydd cyfammod, felly y gwnelo Duw i mi a llawer yn chwaneg, os byddaf euog o dori y cyfammod hwn." *Geir. Ysg.*

Byddent hefyd yn yr hen amserau, wrth wneuthur cyfammod weithiau, yn rhoddi anrhegion i'w gilydd, megis y rhoddes Abraham ddefaid a gwartheg i Abimelec: ac weithiau yn gwneyd gwledd i'w gilydd, megis y gwnaeth Isaac i Abimelec: ac weithiau yn adeiladu math o golofn, megis y gwnaeth Jacob â Laban. Gwel Gen. xxi. 27. a xxvi. 30. a xxxi. 45—52. Buasai y cytundeb rhwng Abraham ac Abimelec yn gyfammod, pe na buasai y naill yn rhoddi na defaid na gwartheg i'r llall. Buasai y cytundeb rhwng Isaac ac Abimelec yn gyfammod, pe na buasai un wledd yn cael ei pharotoi. A buasai y cytundeb rhwng Jacob a Laban yn gyfammod, pe na buasai un golofn yn cael ei hadeiladu rhyngddynt. Dyben yr holl seremoniau hyn, mae'n debyg, oedd, i fod yn arwyddion i'r pleidiau er coffadwriaeth barhaus am wneuthuriad y cyfammod, ond nid oeddynt yn un rhan anhebgorol o'r cyfammod ei hun.

Dull arall o wneuthur cyfammod rhwng dynion yw, trwy gael trydydd person i gyfryngu er gwneud y cytundeb rhwng y pleidiau, weithiau trwy ofyn cwestiynau i'r cyfammodwyr yn ngwydd eu gilydd, ac yn ngwydd tystion, megis y mae y cyfammod priodasol yn arferol o gael ei wneuthur yn ein gwlad ni: ac felly yn fynych y mae rhyw drydydd person yn cyfryngu i wneyd cyfammod o heddwch rhwng pleidiau a fo mewn ymryson a'u gilydd.

Y mae dynion hefyd weithiau yn gwneyd cyfammod trwy fod un blaid yn ffurfio ac yn cynnyg y telerau, a'r blaid arall yn cymmeradwyo ac yn cydsynio. Dyma fel y gwnaeth Jonathan a Dafydd gyfammod a'u gilydd, Jonathan oedd yn cynnyg y telerau, a Dafydd yn cydsynio, 1 Sam. xx. 13—18. Arwyddir y cydsyniad cyfammodol weithiau trwy lawnodi mewn ysgrifen, weithiau trwy i'r blaid roddi ei gair, ac nid anfynych y mae dynion yn cymeryd dystawrwydd eu gilydd fel arwydd o gydsyniad. Nid yw o un gwahaniaeth pa fodd y gwneir y cydsyniad, os oes cydsyniad yn bod, a'r blaid sydd yn cynnyg y telerau yn deall hyny, dyna'r cwbl sydd yn angenrheidiol i wneyd y peth yn gyfammod.

Ië, cofiwch chwi, fel na bo raid i mi fyned dros yr un pethau drachefn. Gall yr holl seremoniau a enwais fod, ac etto heb un cyfammod; a gall cyfammod fod heb un o honynt hwythau. Ond pa le bynag y mae *pleidiau yn ammodi a'u gilydd* am unrhyw beth y mae yno gyfammod; a pha le bynag nid yw hyny nid oes gyfammod, oblegid hyny yw cyfammod. Gwn fod pethau ereill yn cael eu galw yn gyfammodau yn y Bibl, weithiau yn draws-enwadol, ac weithiau yn gydmariaethol; ond yr wyf yn meddwl mai ystyr briodol a chyffredinol y gair Cyfammod, yn yr ysgrythyrau yn gystal ag mewn ymddiddanion cyffredin yw *pleidiau yn ammodi a'u gilydd.*

*Gwran.* Ho. Yr wyf yn gweled eich amcan. Pan eloch chwi, y Calfinistiaid, i geisio profi Cyfammod Gweithredoedd, yr ydych yn gwadu fod aberth yn angenrheidiol i gyfammod; ond pan eloch i son am gyfammod prynedigaeth y mae eisiau aberth bid siwr. Beth a dal rhyw ymresymu fel yna?

*Preg.* Ymbwyllwch: y mae yn hysbys i bob dyn cydnabyddus a negesau y bywyd hwn y gall cyfammod fod heb aberth, ac y gall aberth fod heb gyfammod. Ond pan y mae aberthu yn dyfod i mewn fel ammod cyfammod y mae yn sicr fod aberth yn rhan hanfodol o'r cyfammod *hwnw*. Ond etto, nid yw hyny un prawf na all cyfammod *arall* fod heb aberth, na son am aberth o'i fewn.

*Gwran.* Wel, gadewch i ni ddyfod at y pwynt, ynte. Yr wyf fi yn methu yn glir a gweled fod yr hyn a basiodd rhwng Duw ac Adda, o berthynas i bren gwybodaeth da a drwg, yn gyfammod. Canys mewn cyfammod, yn ol eich esponiad chwi eich hun, y mae pleidiau, nid yn unig yn cyfeillachu â'u gilydd, fel yr oedd Duw ac Adda; neu yn rhoi gorchymynion i'w gilydd, fel yr oedd Duw i Adda; ond hefyd yn myned tan rwymau i'w gilydd, a hyny ar ammodau o bob tu; yr hyn, debygwn i, ni chymerodd le rhwng Adda a'i Greawdwr yn Eden. Y cwbl a elwir yn Gyfammod Gweithredoedd oedd gwaith Duw yn dyweyd wrth Adda, "Ond o bren gwybodaeth da a drwg na fwyta o hono; canys yn y dydd y bwytai o hono gan farw y byddi farw." Y mae yn amlwg fod yn y geiriau hyn orchymyn, a bygythiad am ei dori. Ond ni welaf un addewid yn cael ei gwneyd i Adda am ei gadw. Pa beth gan hyny yw yr Ammod o du Duw yn y Cyfammod hwn?

*Preg.* Y mae pob addewid ammodol yn cynwys bygythiad ynddi ei hun, a phob bygythiad ammodol yn cynwys addewid ynddo ei hun. Pe baech chwi yn dywedyd wrth eich mab henaf, "Dafydd, os gorpheni di y gorchwyl yna heddyw ti a gai goron," ystyriech chwi ac yntau fod y bygythiad o fod yn ol o'r goron yn cael ei gyssylltu â bod yn fyr o gyflawni y peth, er nad enwasech hyny mewn geiriau. Neu pe buasech yn dywedyd wrtho, "Os na wnai y gorchwyl yna fel y dylit, gwybydd y byddi yn ol o'r goron." Ystyriech eich dau fod addewid o goron yn cael ei chyssylltu â chyflawni y peth, er na enwasech hyny mewn geiriau.

Pe buasai Duw yn dyweyd wrth Adda, "Os peidi a bwyta o ffrwyth y pren sydd yn nghanol yr ardd gan fyw y byddi fyw;" diau y buasai Adda yn ystyried fod y bygythiad o farwolaeth yn cael ei gyssylltu â bwyta o'r ffrwyth, er na buasai hyny wedi ei ddyweyd mewn geiriau. Felly y mae gwaith Duw yn dywedyd wrtho, "Ond o bren gwybodaeth da a drwg na fwyta o hono; canys yn y dydd y bwytai di o hono gan farw y byddi farw," yn cynwys fod addewid o fywyd yn cael ei chyssylltu âg ufuddhau i'r gorchymyn, er nad oedd hyny yn cael ei enwi mewn ffurf.

*Gwran.* Yr ydych wrth hyny, mi feddyliwn, yn golygu pe buasai dyn yn ufuddhau, y buasai cyfansoddiad y Cyfammod Gweithredoedd yn gwneyd y Creawdwr yn ddyledwr i'w greadur.

*Preg.* Ni all y Creawdwr fod yn ddyledus i'w greadur am ddim, oblegid y mae bod, a holl gysuron, y creadur yn dibynu ar y Creawdwr. Etto, pan wnelo y Creawdwr ammod neu addewid i'w greadur, y mae sefyll at hyny megis yn ddyledus arno iddo ei hun, hyny yw, y mae o tan fath o rwymau i'w gyfiawnder a'i eirwiredd i gyflawni yr hyn a ddaeth allan o'i enau. Pan mae dynion yn ammodi i wneuthur rhywbeth i'w gilydd, yn gyffredin y mae rhywbeth oddi allan i'r ammodwr, megis yr awdurdod wladol, yn ei rwymo i gyflawni: a hyny sydd yn fynych yn gwneyd ammod y naill yn gadarn yn nghyfrif y llall. Ond y mae addewid Duw yn anfeidrol gadarnach, oblegid mai ynddo ei hun y mae yr hyn sydd yn ei gymell i'w chyflawni, nag y gallasai fod pe rhyw beth oddi allan iddo a fuasai yn ei gymell. Canys y mae pob peth yn Nuw yn anfeidrol, tra nad yw 'r cwbl tu allan iddo ond meidrol; gan hyny, pe buasai y pethau cryfaf mewn bod tu allan i Dduw yn ei gymell i gyflawni ei addewid ni buasai y cymelliad hwnw ond meidrol; ond gan mai rywbeth yn Nuw ei hun sy'n ei gymell i gyflawni ei air, y mae yn rhaid fod y cymelliad hwnw yn anfeidrol. Felly y mae yn haws i'r nef a'r ddaear fyned heibio nag i un ammod nac addewid o eiddo Duw ballu.

*Gwran.* Wele, gadewch i hyny fod. Ond y mae un peth etto yn eisiau er gwneyd y peth yn gyfammod, sef *cydsyniad y dyn*. Pe baech chwi wrth geisio cyflogi gwas yn cynnyg ammodau, ni ellid dywedyd fod cyfammod wedi ei wneyd rhyngoch, oddieithr ei fod yntau wedi gwneyd rhyw arwydd o gydsyniad. Felly, afresymol y gwelaf fi ddywedyd fod cyfammod rhwng Duw ac Adda, pan na wyddom ddarfod i Adda roddi dim cydsyniad i'r peth.

*Preg.* Nid yw eich cydmariaeth yn cyfateb i'r amgylchiad dan sylw. Oblegid nid oes genyf fi un hawl i ofyn gwasanaeth gan y dyn wyf yn geisio ei gyflogi, ond yn unig trwy iddo wneud ymrwym-

iad ffurfiol i'm gwasanaethu; o ganlyniad, y mae yn rhaid i mi gael ei gydsyniad ef mewn gair, neu mewn ysgrifen, cyn y byddo cyfammod safadwy rhyngom.

Ond yr oedd gan Dduw hawl wreiddiol i holl wasanaeth Adda, gan hyny nid wyf yn gweled fod unrhyw ffurf allanol o'i gydsyniad yn angenrheidiol i wneyd y peth yn gyfammod. Bwriwch y byddai i chwi addaw gwobr i'ch mab am gyflawni rhyw wasanaeth, nid na ddylasai wneyd y peth wrth eich gorchymyn, pe na buasai un wobr yn cael ei haddaw; ond yr ydych yn addaw ei wobrwyo er mwyn ei gadarnhau yn yr egwyddor o ufudd-dod i'w dad: ystyriech y peth yn fath o gyfammod, er na ddywedodd y bachgen nag ïe na nage: canys yr ydych yn golygu na allasai fod ganddo ddim yn rhesymol i'w ddywedyd yn erbyn, oblegid fod ei berthynas naturiol â chwi fel ei dad yn ei rwymo i ufuddhau i chwi; a bod eich daioni chwithau yn cyssylltu gwobr â'i ufudd-dod, yn gosod arno rwymau chwanegol i ufuddhau.

Felly yr oedd Adda, oddiar ei berthynas â Duw fel ei Greawdwr, yn rhwym i ufuddhau iddo, ond yr oedd gwaith y Creawdwr yn cyssylltu gwobr âg ufudd-dod ei greadur yn gwneud ei rwymedigaeth i ufuddhau yn fwy, fel nad oedd achos iddo ddywedyd nac ïe na nage er gwneyd y cyfammod yn eithaf cadarn.

Pe gallasai y fath beth fod ag i'r Creawdwr ofyn rhyw wasanaeth ychwanegol gan y dyn, sef rhywbeth nad oedd ganddo hawl naturiol i'w ofyn oddi wrtho, buasai yn rhesymol i'r dyn gael amser i ystyried y peth, a buasai yn rhaid i ni weled fod cydsyniad ffurfiol â'r telerau wedi ei wneyd ganddo, cyn y gallasem benderfynu fod y peth yn gyfammod. Ond gan nad oedd y Creawdwr yn gofyn dim i'r dyn ond yr hyn yr oedd ganddo hawl gyfreithlon i'w ofyn, heb son am addewid na gwobr, ac felly fod y fantais i gyd o du y dyn, ni wn i pa arwydd allanol o gydsyniad a allem ddisgwyl gan Adda heblaw ymostwng, rhyfeddu, a diolch. Nid oedd eisiau i'r dyn addaw ufuddhau, canys yr oedd yn rhwym i ufuddhau: ac ni buasai ei waith yn addaw yn rhoi hawl i Dduw ofyn dim ganddo, nad oedd ganddo hawl i'w ofyn heb iddo addaw. Ond y mae gwaith Duw yn addaw yn rhoi math o hawl i'r dyn pe cadwasai y cyfammod, i ofyn gan Dduw beth na buasai ganddo hawl i'w ofyn heb y fath addewid.

Nid oedd gwneyd y Cyfammod Gweithredoedd yn rhoi un math o hawl newydd i Dduw ar y dyn; ond buasai cadw y cyfammod yn rhoi math o hawl newydd i'r dyn ar y Creawdwr. Felly nid oedd y Creawdwr, wrth wneuthur y Cyfammod Gweithredoedd, yn gofyn un fantais iddo ei hun, ond yr oedd yn cynnyg mantais annhraethol ei gwerth i'r creadur: gan hyny, meddyliwn ei fod yn drais ar synwyr cyffredin i ammeu fod Adda yn derbyn y telerau â'i holl galon, er na feddwn un cydsyniad ffurfiol o'i eiddo yn ysgrifenedig.

*Gwran.* Cyfaddefech gyneu fod o leiaf cael cydsyniad y ddwy blaid yn anhepgorol i gyfansoddiad cyfammod; ond ymddengys i mi y mynech haeru yn awr fod y peth a fu yn Eden, rhwng y Creawdwr ac Adda, yn gyfammod, er nad oedd un cydsyniad o du y dyn.

*Preg.* Na, *begio'ch pardwn*, yr wyf o hyd yn dal fod cydsyniad y ddwyblaid yn anhepgorol angenrheidiol i gyfansoddiad cyfammod; ond nid yw bob amser yn angenrheidiol fod y cydsyniad hwnw yn ffurfiol, hyny yw, yn cael ei wneyd ar air, neu mewn ysgrifen, ond fod synwyr cyffredin yn ein dysgu, mewn rhai amgylchiadau, i benderfynu fod cydsyniad yn bod, er na byddo wedi ei arwyddo mewn gair; ac mewn amgylchiadau ereill, fod dynion yn cymmeryd dystawrwydd yn arwydd o gydsyniad. Ac felly, er nad oes genym hanes yn y Bibl am un cydsyniad ffurfiol gan Adda â thelerau y cyfammod yn Eden, etto, gan ei fod yn berffaith ar ddelw Duw, o ran ei ewyllys, yn gystal ag o ran cynneddfau ereill ei enaid, rhaid ei fod, o ran ei feddwl, yn hollol gydsynio â phob gair a ddywedai ei Greawdwr wrtho; a'r un peth yn gymwys i Dduw oedd fod meddwl Adda yn cydsynio â'r peth a phe buasai hyny yn cael ei arwyddo mewn geiriau.

*Gwran.* Ond yr wyf yn methu a deall o hyd pam y rhaid i chwi gael galw y peth yn cyfammod. Beth waeth i chwi ei alw yn Drefn, Gosodiad, Goruchwyliaeth, neu ryw beth yn lle Cyfammod? Pe gwnaech felly, byddai rhan fawr o'r ddadl ar ben.

*Preg.* Galwaf ef yn gyfammod yn 1. Am fod y Bibl gystal â'i alw felly, "A'r rhai hyn fel dynion (*Heb.* fel Adda) a dorasant y cyfammod." Hos. 6. 7. Y mae dyweyd fod rhyw rai wedi tori eu cyfammod â Duw fel Adda cystal a dywedyd fod Adda wedi tori ei gyfammod â Duw; ac felly, y mae yn rhaid fod cyfammod yn bod rhwng Duw âg Adda. 2. Yr wyf yn

galw y peth yn gyfammod am na fedraf gael un gair arall, ag sydd, yn ol fy meddwl i, yn dangos natur y peth mor eglur a'r gair Cyfammod. Ac felly, os dylid rhoddi i bob peth yr enw mwyaf priodol iddo, dylai y peth dan sylw gael ei alw yn Gyfammod.

*Gwran.* Pa raid sydd i ni fod mor fanwl yn ein golygiadau ar y peth? Ni waeth i ni pa un ai cyfammod ai rhywbeth arall ydoedd, oblegid pa ddaioni bynag oedd yn sefydliad gwreiddiol y peth, nid oes dim daioni na chysur i ni i'w ddisgwyl byth oddi wrtho.

*Preg.* Dyna siarad rhyfedd iawn yn wir. Ai nid ydyw yn werth, ac yn ddyledswydd, i ni ymdrechu am ddeall pa beth bynag a ddatguddiodd Duw yn ei Air? Ond heblaw hyny, y mae yr apostol Paul yn defnyddio y llwybr y daeth pechod a marwolaeth i'r byd, a'r modd y mae pechod Adda yn effeithio ar ei holl hiliogaeth, fel cyn-reswm *(ground-work)* i'w holl ymresymiadau er egluro ffordd cyfiawnhad pechadur trwy Grist. Mewn cyferbyniad i Adda y mae yn galw Crist yn Adda diweddaf; fel megis y daeth pechod trwy y cyntaf, felly y daeth cyfiawnder trwy y diweddaf: megis y daeth barn i gondemniad trwy y cyntaf, felly y daeth y dawn i gyfiawnhad trwy y diweddaf: ac megis y daeth marwolaeth trwy 'r cyntaf, felly y daeth bywyd trwy y diweddaf, &c. Yn awr, os ydyw yn angenrheidiol i ni wybod athrawiaeth y Testament Newydd am y ffordd i'n cadw trwy Grist, y mae yn angenrheidiol i ni wybod y ffordd y'n collwyd yn Adda, oblegid y mae yr ysgrifenwyr sanctaidd yn defnyddio yr olaf i egluro y cyntaf.

*Gwran.* Y mae llawer yn dywedyd fod y ddeddf foesol, sef y Deg Gorchymyn, yn ammod o du Adda, yn y Cyfammod Gweithredoedd: ond wrth ddarllen am yr hyn a basiodd yn Eden ni welaf yr un crybwylliad am dani, nac am yr un o'i gorchymynion. Beth meddwch chwi?

*Preg.* Yr oedd y ddeddf foesol, swm yr hon yw cariad at Dduw a'n cymmydog, yn ddeddf natur dyn yn ei greadigaeth. Ac er nad oedd cadw y Deg Gorchymyn, yn cael ei osod i lawr mewn geiriau, fel *ffurf* o ammod yn y Cyfammod Gweithredoedd; etto, pe buasai Adda yn cadw y ddeddf hòno (yr hyn nis gallasai heb ufuddhau i'r gorchymyn pendant am bren gwybodaeth) buasai wrth hyny yn cadw y Cyfammod. Ond wrth droseddu y ddeddf foesol (yr hyn nis gallasai heb anufuddhau i'r gorchymyn pendant am bren gwybodaeth; fel y dywedais yn ein hymddiddan diweddaf) torodd y cyfammod. Felly yr wyf yn tybied mai y ddeddf foesol oedd *egwyddor* ammod y cyfammod hwnw. Y mae y golygiad hwn yn cytuno â gwaith yr apostol yn galw y ddeddf foesol, "Y gorchymyn, yr hwn ydoedd i fywyd," neu yn ol y cyfieithiad Saesonig, "Y gorchymyn, yr hwn a ordeiniwyd i fywyd." Nid ydwyf yn deall yr ordeiniwyd y ddeddf foesol yn orchymyn i fywyd, ond fel yr oedd yn *egwyddor* ammod y Cyfammod Gweithredoedd: gorchymyn i farwolaeth ydyw i ddynion byth ar ol toriad yr ammod hwnw.

*Gwran.* Wrth son am farwolaeth yn gosp am doriad y Cyfammod, a ydych yn golygu fod dyn, o ran ei gyfansoddiad cyn y cwymp, yn *an*farwol?

*Preg.* Os wrth anfarwoldeb yr ydych yn golygu fod dyn yn anfarwol ynddo ei hun, neu yn annibynol ar neb arall am ei fywyd: yr wyf yn ateb yn nacaol. Ni all fod neb felly ond Duw yn unig, "Yr hwn yn unig sydd ganddo anfarwoldeb." 1 Tim. 6. 16. Ond os, wrth anfarwoldeb, yr ydych yn golygu fod cyfansoddiad y dyn, cyn pechu, yn rhydd oddiwrth bob peth a fuasai yn ei rwymo i farw, yr wyf yn ateb yn gadarnhaol.

Heb fyned i chwilio a chwalu rhesymau *Infidels*, a haner-*Infidels*, megis Socinus ac ereill, sydd yn ceisio profi fod achosion marwolaeth yn natur Adda cyn ei gwymp, digon, mi feddyliwn, i'n pwrpas ni, yw fod y Bibl yn dywedyd, mai "felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn yn gymmaint a phechu o bawb:" ac "mai cyflog pechod yw marwolaeth." Gallaswn enwi llawer ychwaneg o ysgrythyrau sydd yn dangos yn amlwg nad dim yn nghyfansoddiad creadigol dyn, ond mai ei bechod a'i gwnaeth yn rhwym i bob math o farwolaeth.

*Gwran.* Os oedd marwolaeth naturiol a thragywyddol yn gynwysedig yn y bygythiad, "*Yn y dydd y bwytai o hono*, gan farw y byddi farw," pa fodd y bu i Adda fyw gannoedd o flyneddau ar ol troseddu? Paham na chafodd ei drosglwyddo gan angeu naturiol i afael marwolaeth dragywyddol yn y dydd y bwytaodd?

*Preg.* Nid wyf yn meddwl mai pan y mae yr enaid yn ymadael â'r corph y mae dyn yn dechreu marw: ond y mae marw naturiol yn cynnwys yr holl

boenau a'r gofidiau sydd yn cyfarfod â dyn yn y byd yma, ac yn terfynu pan y mae yn myned oddi yma. Cafodd Adda, ar y dydd y *bwytaodd o'r pren* ei droi o ardd Eden i ymboeni mewn llafur a chwys am ei gynnaliaeth dros weddill ei oes. Diamcu hefyd i angeu naturiol ymaflyd yn ei gyfansoddiad y funud y bwytaodd o'r ffrwyth gwaharddedig, er iddo fod gannoedd o flynyddoedd yn gorphen ei waith.

Nid ydwyf, ychwaith, yn meddwl mai pan y mae dyn yn cael ei daflu i uffern, y mae marwolaeth dragywyddol yn dechreu ymaflyd ynddo, ond y mae cnofeydd cydwybod yn y byd yma yn ddechreuad o'r "pryf na bydd marw:" ac y mae yn amlwg fod Adda yn cael ei ddirdynu gan gnofeydd ei gydwybod euog, pan aeth i ymguddio wrth glywed "llais yr Arglwydd Dduw yn rhodio gyd âg awel," neu "yn hwyr y dydd."

Felly, ymaflodd marwolaeth naturiol a thragywyddol, yn gystal a marwolaeth ysprydol, yn y dyn, ar y dydd y bwytaodd o ffrwyth y pren.

## BYR-DDYWEDIADAU.

Sylfaen crefydd yw Duw yn ei Fab; a gwreiddyn pob ysgogiad crefyddol a sanctaidd, yw adnabyddiaeth gywir o Dduw yn yr enaid.

Duw ei hun yw cyflawnder daioni yr holl greadigaeth, ac iddo ef yr ymdywallt holl ogoniant y greadigaeth yn y diwedd, fel dyfroedd *o'r* môr *i'r* môr, a hyny mewn moddau nas gall ond ei anfeidrol ddoethineb ef amgyffred.

Duw yw pobpeth y creadur newydd, Efe yw ei dad—ei gynnaliaeth, ei hyfrydwch—ei ddiben a'i dragywyddol etifeddiaeth.

Caru Duw yw y ddyledswydd benaf—Ufuddhau iddo yw y fraint uchaf—Ymddiried ynddo yw y diogelwch cryfaf—A'i fwynhau mewn Cyfryngwr yw y cyfoeth mwyaf a all dyn ddymuno, a Duw roddi.

Tlodi tlodi dyn oedd colli Duw; a chyfoeth ei gyfoeth, ynghyd â dedwyddwch ei ddedwyddwch, fydd ei gael a'i fwynhau; a'r man y ceir ef yw yn Nghrist.

Ioan Gele.

## YMDDIRIED YN DUW.

Meddyliwch fod mab yn rhodio gyd â'i dad, yn noethineb pa un y mae yn rhoddi ei ymddiried penaf. Efe a ddilyna ei dad i ba le bynag yr arweinia ef, er fod hyny trwy ddrain a mieri, yn llawen ac yn foddlawn. Meddyliwch am fab arall ag sydd yn pallu ymddiried yn nghariad a doethineb ei dad, a phan fyddo y llwybr yn arw ac yn anwastad, y mae yn dechreu grwgnach a chwyno, ac yn dymuno cael dewis ei lwybr ei hun; ac er fod yn rhaid iddo ddilyn y mae yn gwneyd hyny mewn anfoddlonrwydd mawr.

Yn awr, yr achos nad yw Cristionogion yn gyffredin yn mwynhau mwy o bresennoldeb Duw ydyw, nad ydynt hwy yn foddlon i rodio yn ei lwybrau ef, pan y byddont yn croesi eu tueddiadau hwy. Ond ni fyddwn byth yn ddedwydd, hyd oni ymfoddlonwn, gyda phob llawenydd, i'w holl benderfyniadau ef, a'i ddilyn i ba le bynag yr elo heb rwgnach a chwyno.—*Dr. Payson.*

## Y FRONGOCH, NEU ROBIN GOCH.

"Mor fynych," medd un hen awdwr, "ag y byddwyf yn clywed y Brongoch yn canu mor beraidd yn mis Medi, pan fyddo y gauaf oeraidd ar ddechreu, ag yn mis Mawrth, pan fyddo yr hâf toreithiog ar ddyfod i mewn, byddaf yn meddwl paham na roddem ninnau yr un croesawiad llawen i benwyni rhewogaidd gauaf ein hoes ag i wawnwyn rhosynaidd mebyd ac ieuengctid? Anfonir fi at y morgrugyn i ddysgu diwydrwydd; at y golomen i ddysgu diniweidrwydd; at y sarph i ddysgu callineb; a phaham nad at yr edn hwn i ddysgu amynedd a boddlonrwydd."—*Alix.*

## CADW Y SABBATH.

Dywed yr Esgob Andrews mai "cadw y Sabbath yn segur yw Sabbath ychain a mulod: ei gadw mewn chwareyddiaeth a chwmniaeth, i rodiana ac i edrych o gwmpas, dyna Sabbath y llo aur: ond ei gadw mewn cyfeddach, meddwdod, a gloddest, dyna Sabbath Satan, dyna ŵyl y diafol."

## DEWISYN O BREGETH ESGOB HOPKINS.

"Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain drwy ofn a dychryn; canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o i ewyllys da ef."—*Phil.* 2. 12, 13.

Gweithia yr hyn sydd dda gyd â'r fath ddifrifwch, cyssondeb, a pharhad, a phe byddai dy iachawdwriaeth yn hollol ymddibynu ar hyny; etto bydded dy ymddiried yn, a'th ymddibyniad ar, haeddiant Crist am gyfiawnder ac iachawdwriaeth, mor hollol a thrwyadl a phe na buasit wedi gwneuthur gweithred o ufudd-dod yn dy holl fywyd.

Hon yw yr iawn egwyddor o ufudd-dod efengylaidd—gweithio fel pe baem i haeddu y nefoedd trwy hyny; ac etto, ar yr un pryd, ymorphwys ar haeddedigaethau y Cyfryngwr fel pechaduriaid heb ddim genym. Y mae yn beth anhawdd rhoddi i'r ddwy ran hyn yr hyn sy ddyledus iddynt. Pan y gweithiom yr ydym yn dueddol i esgeuluso Crist; a phan y byddom yn defnyddio y Cyfryngwr yr ydym yn dra thueddol i anghofio ufudd-dod. Ond y mae y Cristion hwnw wedi ei iawn ddysgu yn

nghelfyddyd ufudd-dod, yr hwn sydd yn medru cyd-dymheru y rhai hyn: yr hwn sydd âg un llaw yn gweithio gwaith Duw, ac ar yr un pryd, â'r llaw arall yn diysgog ymaflyd yn haeddedigaethau y Cyfryngwr.

*Gwern-neidr.* EDWARD ADAMS.

---

ANFFYDDIAETH A CHRISTIONOGAETH.

*Gan Dr. Bennett.*

MAE y Deistiad yn edrych i'r nefoedd a'r ddaear, ac yn dywedyd, "Gwelwch fy Mibl;" ond y mae y Cristion yn cyfeirio at yr un pethau, ac yn dywedyd, "Gwelwch fy Mibl *i* hefyd." Yr ydych yn fy anog i droi heibio fy Mibl fel y gallwyf astudio natur. Yr wyf fi yn eich cymhell chwi i ddarllen y Bibl fel y galloch astudio natur yn well. Nid oes genych chwi ond ambell gyfrol oddiwrth yr Awdwr mawr; yr wyf fi yn rhoddi un i chwi nad yw yn gwadu y gyntaf, ond yn perffeithio y gwaith. Hi a ddengys i chwi lawer mwy nag y gall y gyntaf ei wneuthur. A hwn y darllenwch â goleuni eglurach. Nid yw llyfr natur wedi ei oleuo cyn belled a llyfr y datguddiad. Y fath hyfrydwch sydd yn y greadigaeth ei hunan trwy ddatguddiad! Mae yr awyr las yn ymddangos mewn lliw hawddgarach i'r hwn a ddysgodd pwy sydd yn "lledu y nefoedd fel dilledyn," &c. Buaswn erioed heb weled y fath ardderchogrwydd ag wyf yn ei weled yn awr yn yr haul pe buaswn heb ddarllen am yr Hwn sydd yn "Haul Cyfiawnder, â meddyginiaeth yn ei esgyll." Y cymylau a ffurfiant ddulliau newyddion o fawredd a rhwysg, a lliw newydd o brydferthwch; y gwyntoedd a ymruant ac a wnant i'r mellt luchedu â godidogrwydd: ond ni welais eu prydferthwch gymmaint ag er pan ddarllenais am yr hwn sydd yn gwneuthur y cymylau fel arg: aff len (*chart*) ac yn "rhodio ar adenydd y gwynt;" yr hwn sydd yn gwneuthur y dymhestl yn genad iddo, a'r tân fflamllyd ei weinidog."

Yr wyf yn hoffi sefyll wrth donau ewynawg y môr, o herwydd eu bod yn adgoffa i mi am "yr hwn sydd yn dal y dyfroedd ar gledr ei law," ac yn dywedyd wrth fy enaid Onid ofni di fi? oni chryni wrth fy ymddangosiad? Yr wyf yn edrych ar lili y maes fel y mae yn tyfu, a'm meddwl yn hedeg at Mat. 6. 28, 30.

Pwy ond hoffwr natur a fedrai alleirio llyfr gras fel y mae Watts wedi gwneuthur? Pwy erioed a astudiodd lyfr y greadigaeth mor ddwfn ac mor helaeth a Newton? yr hwn, er iddo dreiddio i feusydd eang o wybobaeth am seryddiaeth, a gyhoeddodd am ddidduwiaeth ei fod mor anphilosophyddaidd ag yw o'r annuwiol. Pwy a agorodd y ffordd i'r datguddiadau diweddar mewn fferylliaeth (*chemistry*)? onid Boyle? yr hwn a wnaeth y Bibl yn brif astudrwydd ei hyfrydwch. Pwy sydd wedi amlygu rhyfeddodau y greadigaeth â chymmaint o fanylrwydd a Ray, Derham, a Niewventyt? Y dynion hyddysg hyn ni adawsant y Bibl fel y gallent astudio natur: ond yn hytrach a adawsant astudiaeth natur, ac a ddewisasant y Bibl, yr hwn a fedrai eu dysgu mewn pethau na fedrai natur eu cwblhau.

Mae anffyddwyr yn ein cymhell i adael y Bibl, a'u canlyn hwy: yr ydym ni yn gofyn pwy ydych chwi? Crist a adwaenom, a Paul a adwaenom, ond pwy ydych chwi.

*Cyf.* OWAIN BROWN.

---

GWLAD CANAAN.

YR ANIALWCH.—Wrth fyned trwy y diffaethwch erchyll hwn teithiasom ar *fulod* ac *asynod*. Mynych iawn y cyfeirir at y creaduriaid hyn yn Ngair Duw fel arwyddion o'i allu creadigol a'i ddaioni. Caffaeliad y mulod a briodolir i Ana, mab Zibeon, yr hwn a roddodd ei ferch yn wraig i Esau. Gen. 36. 24. Er mor ddyrchafedig mewn mawredd ydoedd Dafydd, ni a welwn eu bod wedi eu derbyn i'w wasanaeth ef, yr hwn a farchogodd arnynt, ac a orchymynodd i'w fab ddilyn ei esiampl. 1 Bren. 1. 33. Yr oedd y rhai hyn yn rhan o'r rhoddion hyny a roddwyd i Solomon gan y rhai a ddeuent i'w wyddfod i glywed y "doethineb a roddodd Duw yn ei galon." 1 Bren. 10. 25. Yr oedd agos i 300 o honynt yn dilyn plant Israel allan o'r caethiwed Babilonaidd. Ac yn amser y sychder mawr a ddilynodd weddi Elias, er cospi Brenin Israel, ymddengys mai ei ofal penaf ef oedd cadw yr anifeiliaid hyn. 1 Bren. 18. 5. Ac nid oedd llai na 2000 o honynt yn amser goruchafiaeth Reuben.

Weithiau yr oeddym yn marchogaeth ar gamelod. Gelwir yr anifail hwn *gamel* yn yr iaith Hebraeg, hyny a arwydda *ad-dalwr*, o herwydd ei fod yn un hynod am ddial cam. Yr oeddynt yn lluosog iawn gynt, fel y maent yn awr, yn y gwledydd hyn, ac yn rhan fawr o'r cyfoeth patriarchaidd. Job 1. 3. Yn yr orymdaith fawryddig hono a ffurfiwyd gan Frenines Seba wrth fyned i Jerusalem, gan gymmaint ydoedd ei hawydd i weled y "Brenin Solomon yn ei holl ogoniant," nodir y camelod allan yn bennodol yn cludo y gwahanol anrhegion gwerthfawr a gyflwynwyd iddo. Ond pa bynag, yr oedd mulod ac asynod yn lluosocach yn yr hen amseroedd nag yn awr. Debora, yn ei chân, a ddynoda benaethiaid Israel wrth y geiriau "rhai yn marchogaeth ar asenod." Barn. 5. 10. Yr oedd gan Jair, o Gilead, ddeg ar-hugain o feibion, yn marchogaeth ar ddeg-ar hugain o asenod, ac yn llywodraethu deg dinas ar hugain. Barn. 10. 4. Abdon, barnwr arall yn Israel, oedd ganddo lluaws o feibion yn marchogaeth ar ebolion asynod. Barn. 12 14. Ar asynod hefyd y dychwelodd Moses, a'i wraig a'i feibion, i dir yr Aipht, â gwialen Duw yn

ei law, Exod. 4. 20. ond uwchlaw y cwbl, ar ebol llwdn asyn y marchogai ein Hiachawdwr yn orfoleddus i Jerusalem.

Etto, mewn perthynas i'r camel, cyfeirir ato yn ngherydd llym y Phariseaid gan yr Arglwydd Iesu Grist. Mat. 19. 24. Mae gan lawer o'r Arabiaid yn awr, fel y dyddiau gynt, wisgoedd wedi eu gwneud o'u blew. Zec. 13. 4. Mat. 3. 4. Mewn perthynas i'r dromedari, y mae hwn yn greadur cyflymach o lawer (Jer. 2. 23.) ac a arferir yn neillduol ar negeseuau arbenig (Est. 8. 10.) ac fe allai mai at fuandra rhyfeddol y creadur hwn y mae Job yn cyfeirio, pan y mae yn llefaru am gyflymdra ei amser yn myned heibio ar y ddaear. Job 9. 25.—*Allan o Deithiau W. Rae Wilson yn y Dwyrain.*

*Caerlleon.* TEGIDON.

## COFIANT

### MRS. MORGAN, GWRAIG Y PARCH. E. MORGAN, CAERDYDD.

Yr ydwyf yn ystyried gwrthddrych y Cofiant hwn yn un o "rai rhagorol y ddaear," am y rhai y dywedir y byddant "byth mewn coffadwriaeth." Dylifa cysur yn aml i'r helbulus ei feddwl wrth glywed ychydig o helynt Cristion yn byw a marw.

Yr oedd Mrs. Morgan yn ferch hynaf i'r diweddar Daniel Morgan, Ysw. o'r Glynhir, Swydd Forganwg, a ganwyd hi ar y 15fed dydd o Hydref, 1812. Ar y 18fed o Hydref, 1836, priododd y Parch. Evan Morgan; ac wedi byr amser yn nghymdeithas ei phriod, ymaflodd darfodedigaeth yn ei natur, ac ehedodd ei rhan anfarwol i'r bytholfyd mawr ar y 19eg o Fai, 1838—a gosodwyd ei chorph i orwedd yn meddrod ei thadau, yn mynwent Llandilo Tal y Bont, ar y dydd Mawrth canlynol.

Ni bu Mrs. Morgan allan o Eglwys Dduw erioed; magwyd hi yn yr Eglwys yn ol trefn y Trefnyddion Calfinaidd, a pharhaodd yn aelod gwresog o honi hyd derfyniad ei hoes. Gellir dyweyd am dani, ei bod yn ofni yr Arglwydd o'i mebyd. Pan yn 16 oed. teimlodd gymhelliadau grymus ac anwrthwynebol i wneud cof am farwolaeth yr Arglwydd Iesu, yr hyn a ganiatawyd iddi yn rhwydd oddiar yr arwyddion boddlonawl i'r Eglwys o'i ffydd yn Nghrist, ac ymorphwysiad ei henaid ar anfeidroldeb ei aberth. Ac ymae yn ddywenydd genyf allu hysbysu iddi broffesu proffes dda yn ngwydd llawer o dystion.

Mewn perthynas i'w gwybodaeth am bethau dwyfol, sef athrawiaeth fawr yr Efengyl, braidd na ddywedwn, ei bod yn mhlith ei rhywogaeth, yn uwch o'i hysgwydd i fynu na'r rhan fwyaf o honynt, ac yn wir tu hwnt i lawer yn Nghymru a gymmerasant arnynt ddysgu ereill; ymdriniai gyda'r fath ddeheurwydd a chysondeb âg athrawiaethau yr Efengyl, fel yr oedd yn rhaid i bawb oedd yn gweled ond ychydig, ganfod meddwl cryf a llafurus ynddi. Ysgrifenodd lawer o'i drych-feddyliau ar amryw ganghenau o athrawiaeth gras, y rhai ydynt fel cynnifer o anadliadau enaid mewn cymdeithas â'r nefoedd. Parchai Weinidogion yr efengyl fel angylion, ymgeleddai hwynt dros Dduw, a gwnai gyfrif mawr o honynt er mwyn eu gwaith.

Addurnwyd hi yn rhyfeddol â doniau angeu'r groes, y rhai a'i gwnaeth i debygoli yn fawr i'r gwr a ogwyddodd ei ben, ac a roddodd i fynu yr yspryd yno "yn addfwyn a gostyngedig o galon" Byddai hon fel Miriam yn blaenori yn mhlith gwragedd Israel, ac yn achub y blaen i foli Duw. Ei zêl dros Dduw a'i gwnai fel Debora i fyned yn mlaen gyda byddinoedd yr Arglwydd yn erbyn Sisera; a'i symlrwydd ysprydol gyda phob peth a'i gwnai fel Mair, "yn fendigedig yn mhlith gwragedd."

Dioddefodd gystudd fel Cristion, a bu farw yn fuddugoliaethus. Dywedodd wrth ei phriod tua chanol mis Mawrth diweddaf, na chai hi fyw yn hir, gan hysbysu iddo yr arwyddion yr ydoedd yn deimlo ynddi ei hun o adfeiliad yn ei phabell. Ar yr un pryd dywedodd, "Mae diafol, cyhuddwr y brodyr, yn curo yn drwm arnaf, etto yr ydwyf wedi profi cymmaint o gariad fy Anwylyd, nes peri i'm henaid orwedd am byth ar ddigonolrwydd ei aberth; er hyny, (ebe hi) nid oes heddwch i mi nos na dydd, o herwydd fy anghydffurfiad â'r hwn y derbyniais fy ngwbl ganddo." Dro arall dywedodd, "Y mae diafol yn ceisio fy mherswadio i feddwl nad oes i mi ran yn fy Nuw, ond gwn un peth, a hyny sydd yn fy nghynnorthwyo, na chaiff fy ngorchfygu."

Wedi dychwelyd i'r tŷ o'r Capel un Sabbath, ar ol gwrando y Parch. Wm. Evans, Ton yr Efail, trodd at ei phriod, â'i dagrau yn treiglo i lawr ei gruddiau, gan ddywedyd, "O na chawn fyw mewn mwynhâd o'r profiad yr ydwyf ynddo yn awr—diau i'r Arglwydd anfon cenadwri ataf heddyw, teimlais beth tebyg iawn i brofiad yr apostol, pan yn dywedyd, Y mae arnaf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ." Nid hir gwedi hyny y bu cyn mwynhau ei dymuniad. Ymadawodd o Gaerdydd, yn ol cyngor y Meddygon, i fyned i'r Glynhir, i'w hawyr enedigol; aeth i dŷ ei chwaer Mrs. Thomas, Treforis, y dwthwn hwnw, lle y cyfnewidiodd er gwaeth, ac ni allai fyned yn mhellach; terfynodd ei hoes yno.

Bu farw, fel y bu byw, dan bwyso ar annherfynol haeddiannau yr Oen a laddwyd. Cafodd dystiolaeth cyn ei symud, ddarfod iddi ryngu bodd Duw. Cyn ymadael â'r corph, diflanodd pob llen oedd rhyngddi a gwedd wyneb ei Phryniawdwr, nes y gwaeddodd, "Gwelais ef o'r blaen trwy ddrych mewn dammeg, ond yn awr, wyneb yn wyneb!" A chyda hyny yr ehedodd ei

rhan anfarwol i'w ddwyfol fynwes, i seinio ei glod i oesoedd tragywyddoldeb, ac ymddifyru yn yr olygfa arno.

Yr eiddoch yn ddiffuant,

*Penllyn.* E. MATTHEWS.

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Bywyd y Parch. Ebenezer Richards, Tregaron.* Gan ei Feibion.

Er na welsom etto linell o'r Llyfr hwn, er hyny, gan ein bod mor hysbys o'i Wrthrych Parchedig a hoffus, a chan ein bod mor adnabyddus â'r Cyhoeddwyr, ei feibion ef, yr ydym yn dra hyderus y bydd yn llyfr gwerthfawr iawn, difyr a buddiol i'w ddarllen.

Er fod ei bris yn lled uchel i'r werin gyffredin ei gyrhaeddyd, etto credu yr ydym y bydd ei faintioli yn gyfatebol, a'i gynnwysiad yn rhagorol. Canys, cynnwysa y llyfr, heblaw hanes cyflawn o fywyd y gwrthrych, sylwadau ar y pethau hynotaf a ddygwyddasant ymhlith y Trefnyddion Calfinaidd yn ystod y 30 mlynedd diweddaf—llawer o lythyrau gwerthfawr Mr. Richards at ei blant—llawer iawn o'i lythyrau cynnwysfawr ef, fel Ysgrifenydd y Gymdeithasfa, at Weinidogion a chyfeillion ereill, a llawer iawn o Amrywiaethau o'i eiddo. Gwel yr Hysbysiad am dano ar amlen ein Rhifyn diweddaf. Pe buasai y fath wrthrych Cofiant a Mr. Richards, ymhlith y Saeson, gwneuthid y Llyfr o faintioli a gwerth o 9 swllt i 12 a phrynasid a darllenasid ef yn awyddus iawn.

CYH. Y DRYSORFA.

*Eglwys Rhufain yn Gyfeiliornus: neu Babyddiaeth yn groes i Air Duw, &c.* Gan y Parch. Robert Williams, Dublin.

Mae y llyfr cynnwysfawr hwn newydd ddyfod o'r Wasg, fel y gwelir yn yr Hysbysiad ar Amlen y Rhifyn hwn o'r Drysorfa. Wedi ei ddarllen yn fanwl drosto, gallwn obeithio yn ddibetrus y bydd iddo fod o fendith i laweroedd, i oleuo deall y rhai anwybodus, ac i gadarnhau meddyliau y rhai amheus a sigledig. Mae y llyfr wedi ei argraffu ar bapur da, a chyda llythyrenau heirdd ac eglur iawn, yn cynnwys 96 o du dalenau 12plyg; ac mae wedi ei ysgrifenu mewn yspryd efengylaidd, heb ynddo ddim penboethder yspryd dadleuaeth. Mae yr awdwr, drwy gyfanneddu yn hir ymysg y Pabyddion, a darllen llawer iawn o awdwyr ar yr achlysur, wedi cael ei yspryd i agwedd addas iawn i ysgrifenu yn erbyn cyfeiliornadau Pabaidd gyda thosturi at y rhai anwybodus a'r twylledig, a brwdfrydedd mawr am eu goleuo, a'u hachub o afael y cyfeiliornadau ag sydd yn eu dal yn gaeth yn y fagddu o anwybodaeth a dychymygion disail ac andwyol.

Mae y llyfr hwn yn un heb ei gyffelyb ar y matter cynnwysedig ynddo, yn yr Iaith Gymraeg: ac mae wedi dyfod allan yn union erbyn yr amser y mae ei fawr eisiau ar y Cymry. Ni fu yn oes neb sy'n fyw gymmaint o eisiau y fath lyfr. Dywed yr Ysgrifenydd yn ei Ragymadrodd, "Mae lle i gasglu, fod anwybodaeth, i gryn raddau ymhlith y cyffredinolrwydd o Brotestaniaid yn mherthynas i'r Grefydd Babaidd; canys y dŷb gyffredin yw, nad yw Pabyddiaeth ein dyddiau ni mor gyfeiliornus a pheryglus ag ydoedd yn yr amseroedd a aethant heibio. Oddiar yr ystyriaethau hyn, wrth osod ger bron y darllenydd yr hyn ag yw Eglwys Rhufain yn awr, gofalwyd am ddefnyddio yr Erthyglau a addefir yn perthynu yn hanfodol iddi, y rhai y penderfynwyd arnynt yn Nghymmanfa Trent, a Chredo y Pab Pius IV. a'r Catecismau. Y rhai hyn oll a arddelir gan Eglwys Rhufain, yn rheol ffydd ac ymarferiad, hyd y dydd hwn."

Daeth y llyfr hwn allan pan y mae ymdrech mawr a llafur ehang am helaethu terfynau y Grefydd Babaidd yn y Werddon, Lloegr, a Chymru. Ysgolion Pabaidd yn lliosogi, a Chapeli Pabaidd yn cael eu hadeiladu.

Hefyd, fe'i cyhoeddwyd ef ar doriad gwawr trefniadau am sefydlu ymhlith y Trefnyddion Calfinaidd "Gymdeithas Genadol Gartrefol a Thramor," gyda golwg arbenig ar y Llydawiaid yn Ffrainc, a'r Gwyddelod yn y Werddon. Pabyddion yw yr holl Lydawiaid; a Phabyddion yw y rhan fwyaf o lawer o'r Gwyddelod. Ac os tywelltir arnom yspryd Cenhadol gyda ffurfiad y Gymdeithas hon, diau na fydd yr ychydig nifer o'r llyfrau hyn a argraffwyd er dangos twyll y Grefydd Babaidd, ac echryslonrwydd cyflwr y rhai a'i proffesant, ond megis tamaid i'n cenedl, ac fe fydd galw am ail argraffiad cyn pen blwyddyn.

Mae yr hyn a ysgrifenwyd yn y Drysorfa o dro i dro ar Hanesiaeth Eglwys, yn dangos gwrthuni digyffelyb, creulondeb anghydmarol, ynghyd âg yspryd erledigaethus a gwaedlyd y Pabyddion bron i raddau angredadwy, oni bai fod pob sicrwydd Hanesyddawl yn profi y peth. Ac y mae y llyfr hwn yn dangos yn fwy pendant a diamheuol fyth, mai yr un yw y Grefydd Babaidd ymhob oes, ac mai yr un fyddai ei gweithrediadau pe bai ganddi y cyffelyb awdurdod yn ei llaw. Mae llafur mawr gan Eglwysi Crist a'i gweinidogion am oleuo y Paganiaid, ond ychydig sydd etto yn llafurio i bregethu yr Efengyl yn ei phurdeb yn yr Iaith Wyddelig, ac onid braidd i ddim o lafur am oleuo y Llydawiaid.

Mae yr athrawiaeth a annogir yn y Llyfr hwn fel afon risialaidd: athrawiaeth bur y Bibl yw; ac mae hi yn cael ei gosod allan yma yn oleu a chadarn, a hyny yn wyneb y cyfeiliornadau mwyaf echryslon.

DARLLENYDD.

## HANESIAETH CENHADOL.

YR INDIA ORLLEWINOL.

Ar ddydd Mercher, Awst 1, yn y flwyddyn hon, llwyr ollyngwyd yn rhydd yr holl gaethion a'r prentisiaid yn holl Ynysoedd a Threfedigaethau Gorllewinol perthynol i Brydain Fawr. Mae amryw o'n darllenwyr yn hysbys ddarfod i Lywodraeth Brydain wneuthur cyfraith o ryddhad y Caethion ar yr ammod iddynt gael eu rhwymo yn brentisiaid am chwe blynedd; canys yn y chwe blynedd hyny bernid y ceid amser a chyfleusdra ddigon i addysgu y Caethion mewn gwybodaeth gyffredinol, ac yn egwyddorion y grefydd Gristionogol, i'w parotoi i fwynhau rhyddid, ac i'w iawn ddefnyddio.

Ond cyn pen y pedair blynedd o'r chwech canfuwyd fod eu meistriaid yn ymddwyn yn dra chreulon at eu prentisiaid, fel nad oedd eu cyflwr ddim gwell wedi eu prentisio; ond mewn amryw fanau yn hytrach yn waeth nag o'r blaen. Cynhyrfwyd yspryd miloedd o Gristionogion yn Mrydain i dosturio wrth y miloedd trueiniaid duon hyn. Anfonwyd Eirchion aml rif i'r Senedd Ymerodrol ar eu rhan. Areithiodd Arglwydd Brougham yn y Senedd, ac allan o honi, gyda rhyw oleu ac effeithiau rhyfedd iawn. A rhoed cynnygiad egniol yn y Senedd am gael cyfraith newydd i ryddhau y Prentisiaid cyn y flwyddyn 1840, pryd yr oedd eu hamser i ddyfod i ben, yn ol y gyfraith o'r blaen.

Ond fe dystiodd Goruchwylwyr y Llywodraeth nad allent hwy gydsynio âg un gyfraith a wneid i dori ammod â'r Meistriaid: ond y gwnaent gyfraith etto i wasgu y Meistriaid, dan rwymau a dirwyon, i gyflawni i fanylrwydd yr ammodau a roed arnynt yn y gyfraith ddiweddaf. Ac felly fe wnaed cyfraith i'r perwyl hyn. Ac erbyn i'r Planhigyddion weled y gyfraith lem hon hwy a benderfynasant, o honynt eu hunain, o un fryd, i ollwng eu prentisiaid oll yn rhyddion ar unwaith ar Awst 1, 1838, ac felly y bu.

Derbyniwyd llythyrau oddiwrth amryw o'r Cenhadon yn yr India Orllewinol yn rhoddi hanes am orchwylion y dydd nodedig hwn; ie, dydd Jubili y Caethion.

DEMARARA.

Mae y Parch. S. Murkland yn ysgrifenu yr hanes am ddydd y rhyddhad fel hyn:—

*Capel Ebenezer, Demarara.*

Saethwyd magnelau mawrion yr amddiffynfa fel arwydd o foreu dydd y rhyddhad. A chyn gynted ag y cododd yr haul dechreuodd y gwaredigion ymgasglu oddeutu y Capel, i ddychwelyd eu diolchgarwch i'r Arglwydd am eu gwaredigaeth fawr. Yr oedd y Gwasanaeth yn y boreu yn hynod o fywiog a chysurus. Canwyd amryw Emynam addas i'r achos. Darllenwyd y Ps. 103. ac esponiwyd hi. Ac anturiodd rhai o'r Negroaid i weddio, ac i lefaru ar yr achlysur wrth eu cyd-frodyr, mewn modd mor bwysfawr ac effeithiol fel nad gwiw genyf geisio rhoi un darluniad o hono. Dechreuasom y Cyfarfod nesaf am hanner dydd, drwy ganu Emyn y Jubili. Yr oedd y Capel yn llawn dŷn, a llawer o bobl yn gorfod sefyll allan. Yn yr odfa hon gosodasom amryw o bobl ieuaingc i sefyll i fynu ar le cyhoeddus i ddarllen Ps. 107, yn ngwydd yr holl gynnulleidfa. Felly fe dreuliwyd y dydd hyfryd hwn heb un gradd o derfysg o fath yn y byd; yr oedd pawb â gwên ar eu hwynebau, a phob genau yn awr a phryd arall yn tori allan i gyhoeddi y rhyddhad, gan ddywedyd, "*We free! We free!*" h. y. Nyni yn rhyddion! nyni yn rhyddion!"

Derbyniais hanes o'r amrywiol Blanhigfeydd fod athrawon yr Ysgolion yn cynnal Cyfarfodydd crefyddol yn eu hysgoldai yn yr hwyr; ac nad allodd y rhai drygionus anturio i gynnal Cyfarfodydd i yfed a dawnsio, yn ol arferiad y bobl dduon ar amserau o hyfrydwch a llawenydd.

Ymwelodd Llywydd y wlad â'r rhan hon o'r dalaeth ddydd Sadwrn diweddaf, ac efe a areithiodd wrth y bobl mewn amrywiol fanau, ac efe a edrychodd i mewn i'n hysgol ninnau, wrth fyned heibio, ac a addawodd ddyfod i holi yr ysgolheigion. Cafodd ei areithiau wrth y bobl effeithiau daionus arnynt. Mae y Llywodraethwr yn ymddangos yn awyddus i annog dysgeidiaeth. Y weithred gyntaf a gyflawnodd efe yn y Drefedigaeth hon, ar ei ddyfodiad yma, oedd llaw-arwyddo Gweithred Rhyddhad y Negroaid.

BERBICE.

Mae y Parch. D. Kenyon yn perthynu i Gapel Albion yn ysgrifenu fel hyn am y dull y treuliwyd y diwrnod yn y Drefedigaeth hon:—Ar y dydd cyntaf o Awst, dechreuodd y bobl ymgynnull i'r Capel erbyn saith o'r gloch y boreu. Buan y llanwyd tŷ Dduw, ac yr amgylchynwyd ef hefyd, â lluaws y bobl. Dechreuwyd y gwasanaeth Dwyfol gyda chanu mawl i Dduw, am drefn ddoeth ei ragluniaeth yn dwyn oddiamgylch y Rhyddhad rhyfeddol hwn. Ganol dydd mi bregethais i'r bobl oddiar Ioan 8. 36. "Os y Mab gan hyny a'ch rhyddha chwi rhyddion fyddwch yn wir." Ac yn yr hwyr agorasom Gapel Newydd ac Ysgoldŷ yn y Blanhigfa Newydd Hampshire, y rhai a adeiladasai y Negroaid â'u dwylaw eu hunain, ac ar eu traul eu hunain. Yr holl ddiwrnod a dreuliwyd mewn ymarferiadau crefyddol, ac yr oedd heddwch ac iawn drefn yn ffynu ar hyd y dydd.

Ar y dydd canlynol gwnaeth y Negroaid wleddoedd i'w Meistriaid yn mhob dosparth o'r Drefedigaeth; ac anfonodd amryw o'r Meistriaid iddynt ŷch neu ddafad, gwin, &c. i'w cynnorthwyo.

JAMAICA.

Yn yr ynys eang hon hefyd cadwyd y dydd cyntaf o Awst yn grefyddol, heddych.

ol, a threfnus iawn. Ac yn wir, cyffelyb oedd ymddygiad y Negroaid ymhob lle ar y dydd nodedig hwnw. Ond ar ol y diwrnod, fe fu yma beth oerfelgarwch rhwng y Meistriaid, a'r bobl, oherwydd y cyflog anghyffredin o fychan a gynnygiai y Meistriaid i'r bobl. Gwrthodasant ymaflyd yn y gwaith am ryw hyd; ond yr ydym yn deall fod cytundeb wedi ei wneud rhyngddynt, a bod pethau yn myned ymlaen yn gysurus.

---

## SEFYDLIAD CYMDEITHAS GENADOL GARTREFOL A THRAMOR Y TREFNYDDION CALFINAIDD YN NGHYMRU.

---

### AT Y SAWL A GARANT IACHAWDWRIAETH Y PAGANIAID A'R ANWYBODUS.

FONEDDIGION,—Yr wyf yn deall, er fy mawr lawenydd, i Gymanfa ddiweddaf Ruthin benderfynu cymmeryd dan ystyriaeth yn Llanrwst, Rhagfyr 26, 1838, yr achos Cenadol Tramor yn gystal a Chartrefol, gan lwyr fwriadu ffurfio Cymdeithas Genadol Gartrefol a Thramor o'n heiddo ein hunain, yr hyn beth wyf yn hiraethu am ei weled er ys ugain mlynedd. Mae yn ddigon amlwg y blynyddoedd diweddaf hyn, fod cyffredinolrwydd ein Corph, beth bynag, yn y Gogledd a Sir Aberteifi, yn awyddus am hyn. A pha rhyfedd ein bod ni fel hyn, wrth ystyried fod cymmaint yn cael ei gyfranu gan y Corph at yr achos Cenadol, a mor ychydig, ie, neb o'n pregethwyr yn cael eu hanfon yn Genadon.

Pa hyd y mae pethau i fod fel hyn? A oes digon yn barod o weithwyr ar y maes Cenadol pellenig? neu, a oes neb ond pregethwyr Enwadau ereill yn deilwng ac addas i'w hanfon i gyhoeddi Newyddion y Groes i Baganiaid?

Mae enwogrwydd a lliosogrwydd ein Corph, ac iachawdwriaeth y Paganiaid, yn fy nghymell fel nas gallaf dewi; gan fy mod yn sicr nad oes neb yn fwy addas a chymmwys na meibion a merched Cymru: oherwydd eu dygiad i fynu mewn ymarferiadau celyd, a bywiogrwydd gyffredin a rhad, a'u hathrylithgarwch i dderbyn a rhoddi gwybodaeth: yn enwedig pregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd, oblegid y maent yn perthyn i gorph o bobl sydd yn hoffi athrawiaeth bur a dysgyblaeth fanwl, y rhai a wnaethant yn ysbaid y triugain mlynedd diweddaf fwy o wasanaeth i Grefydd Crist trwy blanu Eglwysi, adeiladu Capelydd, codi a chynnal Ysgolion Sabbathol, i addysgu rhai ieuaingc a hen; ynghyd â'u hymosodiad unol ac egniol yn erbyn llygredigaethau yr oes, a sefydliadau dieflig uffern; y rhai oeddent yn aml a chedyrn yn y wlad er's oesau tywyll eu hynafiaid Paganaidd, fel ag y maent yn bresennol wedi eu darostwng, a'r wlad wedi ei chydmarol lanhau, ac ymddygiadau y werin wedi diwygio i raddau helaeth.

Ac er i ni fel hyn, yn ol ein hamser a'n rhifedi, weithio yn galetach, a llafurio yn helaethach, a dwyn ymlaen y pethau hyn â llai na hanner traul unrhyw blaid grefyddol yn y byd; er hyny, nid ni, ond gras Duw ynom ni: am hyny nac ymfalchiwn, ond ymostyngwn i'r llwch, gan gydnabod ein braint, a bod yn ddiolchgar, canys yno y byddwn fwyaf diogel a llwyddiannus yn ein amcanion dyfodol.

Y Genadaeth Dramor yn gystal a'r rhan Gartrefol, oedd mewn golwg wrth sefydlu ein Athrofa, Athrawon pa un ydynt alluadwy a chymmwys i ddysgu ein pregethwyr fel na bydd achos mwy, fel y bu, i fyned i Athrofaoedd enwadau ereill. Wrth ystyried y pethau hyn a'u perthynasau, ac hefyd orchymyn pendant ein Cyfryngwr bendigedig, pan ddywedodd, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl i bob creadur," mae 'n llawn bryd i ni sefydlu Cymdeithas ein hunain; a gofidus yw meddwl ein bod cyhyd heb un. Pe buasem yn deffroi yn gynt, gallasai cannoedd o Baganiaid fod wedi eu hennill oddiwrth eilunod i gofleidio a phroffesu Crefydd Crist, trwy offerynoliaeth pregethwyr Cymru. Ond ein llawenydd yw, bod ein brodyr yn deffroi yn bresennol i ymaflyd yn y gwaith pwysfawr hwn.

Mi ddymunaf, gyda'r parch mwyaf a'r gostyngeiddrwydd dwysaf wrth eu traed, i ofyn eu hystyriaeth at y peth canlynol. Gan fod achosion y Genhadaeth Gartrefol, ynghyd a chwanegiad Tramor, i fod dan sylw y Gymmanfa yn Llanrwst, gwyr fy mrodyr yn ddigon da, mor hwyrfrydig ydym i benderfynu ein *Ie*, a'n *Nagê*; a hyny sydd o herwydd amldra gorchwylion, a byrdra amser. Pe byddai agos holl amser y Gymanfa yn cael ei gymmeryd at y pethau pwysig hyn, byddai ddigon bach i gael golwg deg ar bethau, ac i wneud penderfyniadau boddhaol arnynt. Yna, ai nid gwell fyddai, wedi penderfynu yno fel y bwriadwyd yn Rhuthin, ystyried, *Pa beth a wneir* i gael cyfarfod arall yn mis Chwefror, i benderfynu, *Pa fodd* i ddwyn hyny ymlaen: enwaf y Bala fel lle cyfleus i'r cyfarfod.

Yna dewised Cyfarfod Misol pob Sir, a'r brodyr yn Liverpool yr un modd, chwech o leiaf, chwaneg fyddai oreu, sef, tri o weinidogion, a thri o ddiaconiaid, pa rai fyddont sicr o ddyfod i'r Cyfarfod erbyn 10 o'r gloch y dydd cyntaf: a chadwer hwnw yn Gyfarfod i weddio am neillduol gyfarwyddiadau yr Ysbryd Glan, gyda golwg ar y maes neu'r meusydd Cenadol, a chyda golwg ar weithwyr addas i fyned allan i lafurio y maesydd hyn. Mae y ddau beth hyn o fawr bwys a chanlyniad, a phwy ond Yspryd Duw a ddichon ein cyfarwyddo, ac felly, addas yw cadw cyfarfod i ofyn ei gyfarwyddiadau Ef, Yn y cyfarfod 2 o'r gloch, bydded i bawb o'r brodyr fynegi eu golygiadau ar y maesydd Genadol. Mae llawer o son wedi bod genym am y Cymry yn Ffraingc, ac am y Gwyddelod yn y Werddon, a'r India tu draw i'r Ganges. Nid gwaith bach yw pen-

derfynu pa un a anfonir dau o frodyr i bob un o'r tri lle hyn, neu ni wneir; ynghyd a'r amser, y ffordd, a'r draul i anfon a chynnal y rhai a anfonir.

Am 6 o'r gloch, gall y brodyr bregethu yn y Bala, ac yn yr amrywiol Gapelydd o amgylch.

Boreu dranoeth, a'r prydnawn hefyd os bydd achos, i ymofyn *pwy*, a *pha nifer*, *pa fodd*, a *pha amser* yr anfonir, ynghyd a phob peth perthynol ac angenrheidiol i ddwyn ymlaen y penderfyniadau pwysig hyn. Dyma waith ag sydd yn gofyn amser, doethineb, ac astudrwydd meddyliau, a neillduol gyfarwyddiadau Arglwydd mawr y cynhauaf.

Bydd dechreu y pethau hyn yn dda, ac mewn trefn, yn fendith neillduol oddiwrth Dduw; yn gysur a heddwch i'r Eglwysi, ac yn llwyddiant i'w hymdrechiadau Cenadol rhagllaw.

Yn bresennol cyn tewi, dymunaf ar y rhai a garant enwogrwydd a llwyddiant y Methodistiaid Calfinaidd, ac iachawdwriaeth y Paganiaid a'r anwybodus, i gefnogi y cynnygiad hwn, neu un tebyg iddo, trwy anfon i'r Drysorfa, ac i Gymanfa Llanrwst, onitê mae'n debyg y gwelir blwyddyn ar ol hon wedi myned heibio, cyn y penderfynir yn foddhaol yr anturiaeth ogoneddus hon: ac os nad yw hyn yn foddhaol ac yn angenrheidiol, na fydded gwaeth genych er ei gynnyg.—Ydwyf

FFYDDLON GYFAILL Y PAGANIAID.

## HYSBYSIADAU CREFYDDOL.

### CYFARFOD CHWARTEROL YR YSGOLION SABBATHOL YN RHYL.

Dydd Llun a dydd Mawrth, y 29 a'r 30 o Hydref diweddaf, cynaliwyd yn Rhyl gyfarfod chwarterol yr ysgolion Sabbathol perthynol i Ddosparth Abergele, yr hwn a dreuliwyd yn y dull canlynol:—

Nos Lun, dechreuwyd y moddion trwy weddi gan John Jones; yna y Parch. W. Jones o Ruddlan, a bregethodd ar Psalm 34. 8. Boreu dydd Mawrth am 9 ar gloch, cyfarfu cenhadon y gwahanol ysgolion i roddi i mewn eu cyfrifon, a chafwyd arwyddion amlwg fod yr ysgolion yn cynyddu mewn rhif a llafur, yn enwedig yn y mannau hyny lle y mae dirwest yn ynnill tir, ac yn gwreiddio (dyma ffaith etto o ddaioni hon, cywilyddied eu gwrthwynebwyr).

Annogwyd y cenhadau i wneud ymdrech gyda eu cyfeillion cartrefol i gael cyfarfodydd athrawon yn gyson, ac i annog yr athrawon i fod yn bresennol, yn gyson a ffyddlon; a dangoswyd fod anffyddlondeb yn magu digalondid, a digalondid waeledd. Hefyd penderfynwyd rhoddi annogaeth Cymanfa Dolgellau mewn grym, sef ymdrechu i gael gan holl ddeiliaid yr Eglwys roddi eu henwau i lawr mewn llyfr perthynol i'r ysgol, i fod yn ddeiliaid o honi hithau, ac i'r diben o gael pob peth yn weddaidd ac mewn trefn, i gael enwau pawb o'r Ysgolheigion hefyd, i lyfr yr ysgol er mwyn cadw y cyfrifon yn gywir. Penderfynwyd i'r Cyfarfod Egwyddori nesaf i fod yn y Bettws dydd Sabbath y 25 o Dachwedd; a'r Cyfarfod Chwarterol nesaf yn Abergele, Rhagfyr 31 a Ionawr 1.

Rhoddwyd annogaeth daer hefyd i'r gwahanol ysgolion i fod yn ymdrechgar i gael gan eu deiliaid ddysgu Llyfr Cyffes Ffydd, ac yr ydwyf yn deall fod hyn wedi disgyn yn ddwys ar feddyliau rhai, a'u bod yn ymaflyd ynddo yn ymegniol.

Am ddau ar gloch prydnawn, cadwyd cyfarfodydd i areithio ar natur, diben, a gwaith yr Ysgol Sabbathol, pan y safodd i fynu y Parchedigion canlynol:—John Jones Rhyl, John Roberts Brynllwyni, John Foulkes Abergele, a William Jones o Ruddlan; ac yn wir cyfarfod da rhagorol oedd hwn hefyd. Yr oedd symlrwydd y gynnulleidfa, a'i dagrau hefyd, ynghyd a'r cymhorth a'r llewyrch yr oedd yr areithwyr yn ei gael, a hefyd yr olwg oedd ar yr Ysgol yn Rhyl y Sabbath canlynol, yn profi fod yr Arglwydd yn foddlon i'r gwaith, a chan fod yr Arglwydd yn foddlon iddo, byddwn ninnau foddlon i fod gyd ag ef, ac o'i blaid, yn ffyddlon ac effro, hyd oni ddelo ein cyfnewidiad.

*Nifer yr Ysgol yn y Rhyl:*

| | | |
|---|---|---|
| Yn 1831 | ....oedd.... | 35 |
| 1832 | ............ | 67 |
| 1833 | ............ | 90 |
| 1834 | ............ | 118 |
| 1835 | ............ | 124 |
| 1836 | ............ | 132 |
| 1837 | ............ | 141 |
| 1838 | ............ | 160 |

Gwelwch mai llwyddo y mae hi, ac o honi y mae llawer iawn wedi dyfod i'r Eglwys, nid oedd yn perthyn i'r Eglwys gyda y Calfinistiaid yn Rhyl yn y flwyddyn 1831 ond 7, a'r rhai hyny yn myned, rhai i Ddyserth, a rhai i Ruddlan; ond yn awr, y mae rhifedi yr Eglwys oddeutu 80. Diolch i'r Arglwydd am yr olwg hyfryd sydd yma. Yr hen gampau ar y Sabbath gwedi eu claddu a braenu, ac achos Iesu anwyl yn dyfod i fynu yn barhaus. Llwyddiant i'r Ysgol Sabbathol i ennill pob calon i'w charu a'i pharchu, medd yr hwn a achubwyd ganddi fel PENTEWYN O'R TAN.

*Rhyl.*

O. Y. Dau ffyddlon iawn gyda yr Ysgol Sabbathol yn Rhyl, oeddynt Edward Jones a Dafydd Jones, pa rai sydd wedi myned i breswylio y rhan hyny o wlad y meirw, sef mynwent Rhuddlan—Aeth E. Jones gwedi profi pwys a gwres y dydd, a Dafydd Jones yn ei gariad cyntaf, a mawr a fu y golled, ac a ydyw yr hiraeth, ar eu hol.

BIBL GYMDEITHAS GYNNORTHWYOL RHUDDLAN A RHYL.

Ar nos Fawrth, y 23ain o Dachwedd diweddaf, cynnaliwyd Cylchwyl gyntaf y Gymdeithas Fiblaidd Frytanaidd a Thramor yn Ysgoldŷ Rhuddlan, lle yr oedd esgynlawr gyfleus wedi ei chodi i'r areithwyr, a thorf luosog wedi ymgynnull ynghyd i wrando. Yn y Cyfarfod hwn yr oedd y Parchedigion canlynol yn wyddfodol:—Parch. T. W. Edwards, Rhuddlan, ac un o Weinidogion yr Eglwys Gadeiriol yn Llanelwy; Parch. R. Richards, Caerwys; Parch. H. Griffith, Llandrygarn, Môn; Parch. W. R. Wyatt, Dyserth, a'r Parch. Mr. Roberts, ei Gurad; Parch. John Elias, Môn; Parch. W. Rowlands, Newmarket; a'r Parchedigion Thomas Jones, Rhuddlan, Richard Hughes a John Jones, Rhyl, William Morris a William Jones Rhuddlan, a David Parry, Faenol Fawr, pawb yn un, heb sylw ar na phlaid nac enw, yn cydweithio ac yn pleidio i anfon

"Bibl i bawb o bobl y byd."

Gwedi i amser dechreu y Cyfarfod ddyfod dewisodd y gynnulleidfa, yn unllais, y Parch. T. W. Edwards (yn absennoldeb William Conway Shipley, Ysw. yr hwn a attaliwyd i fod yn bresennol yn annisgwyliadwy iddo ei hun, ac a ysgrifenodd at y gwr parchedig hwn i ddymuno arno i gymmeryd y gadair yn ei le) i fod yn Gadeirydd ac yn Llywydd y Cyfarfod: yr hwn, wedi ei ethol, a ddechreuodd y Cyfarfod gan ddarllen y 67ain Psalm: ac wedi hyny agorodd y Cyfarfod mewn modd difrifol, synwyrol, ac aiddgar o blaid lledaeniad yr Ysgrythurau yn mhlith holl genedloedd y ddaear.

Wedi galw ar Ysgrifenydd y Gymdeithas iddarllen cyfrif y flwyddyn ddiweddaf galwodd y Parchedigion canlynol i anerch y gynnulleidfa, Parch. W. Rowlands, Newmarket (T. W.) Parch. R. Richards, Caerwys (E. S.) Parch. John Elias, Môn (T. C.) Parch. Thomas Jones, Rhuddlan (A.) a'r Parch. H. Griffith, Llandrygarn, Mon (E. S.) y rhai a wnaethant hyny mewn modd teilwng iawn i'w galwad.

Yna y Parchedig Gadeirydd a ddiweddodd, trwy annog pawb i ymddwyn yn gydwybodol tu ag at yr achos da hwn mewn cyfraniadau a gweddiau, ac wedi canu pennill gollyngwyd y gynnulleidfa ymaith wedi ei mawr foddhau mewn hiraeth am gael cyfarfod cyffelyb iddo etto.

Fe fu y Gymdeithas hon mewn bod o'r blaen yn yr ardaloedd hyn, sef yn unol a Threffynon; ond rhyw fodd neu gilydd yr oedd wedi marw er ys amryw flynyddoedd bellach, ac wedi ei chladdu hefyd. Ond yn y flwyddyn ddiweddaf anfonodd y Parch. Thomas Phillips, Hay, o'i flaen gyfarchiad cynnes at berthynasau y corph ei fod yn dymuno arnynt dreiglo ymaith y maen oddi ar ei beddrod, trwy alw Cyfeisteddiad, ac y deuai yntau atom ar yr amser appwyntiedig. Ac er dirfawr lawenydd cafwyd y Gymdeithas, fel Lazarus, allan o'i bedd (nid i fyned yno mwyach, gobeithiwn, nes darfod a gweithio) ac yn wir hi a weithiodd yn rhagorol y flwyddyn gyntaf, ac eleni y mae y tân yn fwy fyth, a'r swn yn uwch nag erioed am iddi fyned yn mlaen yn ei gwaith, ac y mae y gwyr parchusaf ac helaethaf eu dylanwad yn ein hardaloedd o'i thu, ac yn gweithio yn ddewr hefyd. Hir oes a llwyddiant iddi medd

THOMAS WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*
*Rhuddlan. Tach.* 0. 1838.

O. Y. Clywsom fod trigolion plwyfydd Dyserth, Gwaenysgor, Cwm, Galltmelid, a Newmarket, yn dechreu sibrwd ei bod hi weithian yn bryd iddynt hwythau hefyd ddeffroi o gysgu, a dyfod i'r maes i gydweithio â phobl Rhuddlan: a hyderwn y bydd i'r Arglwydd alw arnynt fel ar Samuel, nes y bydd raid iddynt ddeffro yn iawn, a gweithio yn egniol.

Sefydlwyd y Gymdeithas hon dan yr enw "*Rhuddlan and Rhyl Auxiliary Bible Society,*"

---

CYMDEITHASFA BANGOR A RHUTHIN,

*Hydref* 1838.

Yn y gyntaf cafwyd achlysur i sylwi ar Ddirwestiaeth, trwy fod rhai aelodau Eglwysig yn danbaid iawn eu heiddigedd dros egwyddor y Gymdeithas Ddirwestaidd, a rhai ereill mor *sylweddol* eu haidd, ond yn dewis bod yn hynaws a phwyllog. Rhai bron a phenderfynu na ddylid crybwyll am Ddirwest mewn Pregeth, nac mewn Cyfarfod Eglwysig, byth. Ereill y gellid meddwl eu bod yn golygu nad yw Pregeth, na *Society*, na Gweddi, fel y dylent fod, heb lawer iawn o son am Ddirwest ynddynt. Rhai yn barod i waeddi na ddylai bragwr, tafarnwr, na neb o'u teuluoedd, gael drws agored i'r eglwysi, na'u goddef ynddynt heb law-nodi Dirwestiaeth. Ereill, mor ffyddlon o blaid Dirwest a hwythau, yn dewis bod yn arafach, gan adael i Ddirwest ymladd ei fordd, fel y gwelo yr Arglwydd yn dda ei llwyddo, yn penderfynu ei phleidio mewn tiriondeb a hynawsedd. Sylwyd yn bwyllog ar hyn, er lles yr achos, a thawelwch i feddyliau y naill ochr a'r llall.

Yn yr ail Gymdeithasfa cafwyd achlysur i sylwi eilwaith ar hyn, trwy fod rhai, naill ai wedi cam ddeall y sylwadau yn Mangor, neu yn chwennychu cael rhyw achlysur i wrthwynebu yr achos, yn haeru, yn eu cartrefi, fod Cymdeithasfa Bangor yn hytrach yn troi yn erbyn Dirwest, nag yn cefnogi y peth. Ac felly gwelwyd yn angenrheidiol cadarnhau y penderfyniadau canlynol, ac felly y gwnaethpwyd.

1. Fod y Gymdeithasfa Chwarterol hon yn annog rhai oll o aelodau ein cyfundeb grefyddol sydd a wnelont â'r fasnach feddwol (megis bragu, cadw tafarndai, gwiroddai, &c.) ymryddhau oddi wrthi mor fuan ag y gallont.

2. Ein bod yn annog y rhai hyny, tra y byddont yn y fasnach feddwol ac heb allel ymryddhau, i ofalu am iawn drefn yn eu tai, yn enwedig ar ddydd yr Arglwydd, ac na ellir arbed cerydd eglwysig ar y rhai afreolaidd ac anufudd.

3. Nad ydym etto yn golygu yr Ardystiad Dirwestol yn ymrwymiad eglwysig, nac yn rheol dysgyblaeth eglwysig; ond yr ydym i ddilyn y rheolau pendant sy genym eisoes, hyd oni ychwaneger atynt yn rheolaidd: a gadael i Ddirwest ymladd ei ffordd yn mlaen yn ddiorfod ar yr egwyddor wirfoddol.

4. Ein bod yn annog yr Eglwysi, a'u holl swyddogion, i bob ffyddlondeb gyd â'r achos Dirwestol, gan ofalu am hynawsedd a thiriondeb yn eu holl ymdriniaethau.

5. Fod y rhai oll a dorant yr ymrwymiad Dirwestol yn deilwng o gerydd yn ol amgylchiadau y bai, ac o ddiarddeliad, oddi eithr mewn amgylchiad rhyfedd, o herwydd ei fod yn dori ammod ddifrifol a phwysig. Ac nid ydym yn golygu tynu enw ymaith o lyfr y Gymdeithas nemawr gwell, oblegid ffordd rydd at yr yfed ydyw yr amcan a all fod yn y golwg wrth hyny.

6. Fod y rhai a ddywedant yn erbyn yr achos hwn, mewn conglau, nac ar gyhoedd tyrfa, wedi hyn, i'w ceryddu â diarddeliad: o herwydd eu bod, trwy hyny, yn cablu egwyddor ddaionus, a gwaith angenrheidiol: ac yn gwrthryfela yn erbyn eu brodyr crefyddol, ac yn erbyn eu penderfyniadau syml, pwyllog, a difrifol.

J. FOULKES, *Ysgrifenydd*,
*Abergele*, *Tach.* 1, 1838.

---

**AGORIAD ADDOLDY LLANGENDEYRN, SIR GAERFYRDDIN.**

Yn y blynyddau gynt, neillduai plwyfolion Llangendeyrn, ddernyn o dir i ymladd ceiliogod, a chware campau yr oes, ar y Sabbath: ar y dernyn hwnw y safodd y Parch. Howel Harris, o Dref-Feca, i bregethu y bregeth gyntaf erioed gan Ymneillduwr yn y plwyf; a mawr y cynnwrf a fu, trwy i Ynad yr heddwch dori yr heddwch, gan ddyfod ar ei farch, â'i gleddyf yn ei law, i attal y bregeth; eithr bu aflwyddiannus, aed yn mlaen â'r bregeth, a chanlynodd bendith hi i galonau llawer.

Wedi hyny, adeiladwyd Addoldy ar yr hen gylch ceiliogod, a gyssegrwyd tan y traed a deithiasant o amgylch Cymru i wneuthur daioni: magwyd yno lawer, ac addaswyd ynddo liaws, sydd yn awr yn cael cyfran yn mhlith y rhai a sancteiddiwyd yn y neithor fawr gyd â'r Oen.—Ond fel yr oedd rhif y cadwedigion yn ychwanegu fry, yr oedd y gwrandawyr, a phroffeswyr crefydd yn lluosogi yn Llangendeyrn: felly, tynasom yr hen addoldy i lawr, ac adeiladasom un mwy, helaethach, ac harddach ar yr un man: na welir, ond anfynych, gan harddet Addoldy yn nghanol gwlad. Enwasom y tŷ SALEM, ac ynddo, mae y fechan yn myned yn fil, a'r wael yn genedl gref.

Agorwyd Salem, Sabbath a Llun, Gorph. 1, 2, 1838, yn y dull, a chan y rhai canlynol: Am 2, dechreuwyd trwy ddarllain, mawl, a gweddi, gan y brawd Rees Davies, Cwrt, pregethwyd gan John Davies, Caio, ar Mat. xxiv. 14. a David Jones, Llanilar, ar Diar. iii. 7. Am 6, dechreuai Thomas Jones, Llanddarog, mewn gweddi, a phregethodd Rees Davies, Cwrt, ar Heb. 2. 2. a William Pritchard, Pwllheli, Dat. 3. 19. Dydd Llun, dechreuwyd am 10, gan Job Thomas, a phregethodd W. Pritchard, Pwllheli oddiwrth Ioan 3. 3 a'r Parchedig T. Richards, Abergwaen, Luc 1. 26, 27. Am 2, gweddiodd Benjamin Jones, Cwmbach, yna llefarodd John Davies, Nerquis, ar Ecs. xx. 24 a'r Parch. Daniel Evans, Capel Drindod, Esay 53. 11. Am 6, gweddiodd J. Davies, Nerquis, a llefarodd Job Thomas, Brycheiniog, Ioan 3 14, 15. a Richard Roberts, Dolgelley, ar Gen. 3. 14, 15. Casglwyd yn y gwahanol odfäon, yn agos i £14.

Gwnaed yma ddaioni—parheir hyd hyn i wneuthur daioni, a chan obeithio y dilynir mewn daioni, dan fendithion, ac ewyllys da Preswylydd y berth;—Wyf yr eiddoch,

JOHN REES.

---

**ATHROFA Y BALA.**

*Cyfarchiad Ysgrifenydd Cyfeisteddiad yr Athrofa at y Brodyr yn Siroedd Cymru, i'w galw i gyflawni eu hammodau tu ag at gynnal yr Athrofa.*

ANWYL FRODYR.—Bydded hysbys i chwi fod amser talu i Athrawon Athrofa y Trefnyddion Calfinaidd yn niwedd y flwyddyn hon (1838). Am hyny, dymunir arnoch, fel Siroedd, ddanfon eich casgliadau yn ddioed i'r Trysorydd, *Mr. John Jones, National Provincial bank of England, Bala*, fel y gallom gyflawni ein hammodau â'n hanwyl frodyr.——Ydwyf, yr eiddoch, &c.

JOHN JONES, *Ysgrifenydd*.
*Middle Hall, Bala.*
*Tach.* 1838.

---

**RHYFEDDODAU Y CHWYDD-WYDR.**

(Parhad tu dal. 316.)

WRTH gydmaru gwaith natur, neu yn fwy priodol o lefaru, gwaith Duw, gyda gwaith dyn, gwelwn mor ddirfawr y mae y blaenaf yn rhagori ar yr olaf.

Min ellyn (*razor*) lem, pan y'i gwelir

drwy chwydd-wydr, a ymddengys o drwch cefn cyllel go dew, yn arw, yn anwastad, ac yn llawn o agenau a chwyssau, ac yn mhell o ymddangos yn debyg i ddim a fyddo â min arno; a gellid meddwl mai prin y gwnae offeryn ag sydd yn ymddangos mor bwl a hyn ateb y dyben o hollti coed.

Blaen nodwydd eithaf main, trwy yr un offeryn, a ymddengys oddeutu chwarter modfedd o led; nid yw yn grwn nag yn wastad, (*flat*) ond yn anwastad ac yn anghyfartal. Y mae yn ymddangos yn hynod o gaboledig a llyfn i'r llygad noeth; ond trwy y chwydd-wydr gwelir ei bod yn llawn agenau a chreithiau: yn fyr, y mae yn debyg i ddarn haiarn mewn efail gof. Ond y mae colyn gwenynen, trwy yr un offeryn, yn dangos disgleirdeb annghydmarol, ac wedi ei gaboli a'i lyfnhau i'r manylrwydd eithaf, heb yr un anaf, nac agen, na'r anghyfartalrwydd lleiaf, ac yn terfynu mewn blaen rhy fychan i'w weled: ac etto, nid yw hwn ddim amgen na gwain i offerynau llawer mwy cywrain a gynnwysir oddi mewn. Dywedir fod ynddo ddwy bicell farfawg, neu wrthfachawg, pa rai, pan fydd y creadur yn brathu, a saethir allan drwy hollt bychan, yr hwn a egyr yn agos i flaen y colyn.

Dernyn bychan o liain main, a elwir *lawn*, a ymddengys, drwy y chwydd-wydr, yn debyg i ddarn o wiail plethedig, a phob edef yn frasach na'r rhai hyny a ddefnyddir i wneud rhaffau.

Incil (*lace*) main Brussels a ymddengys fel pe byddai wedi ei wneuthur o linynau rhawn, garw ac anwastad, wedi eu cordeddu a'u clytiaw ynghyd yn y modd mwyaf annghelfydd: ond edef y pryfyn sidan a ymddengys yn hynod o lyfn a disglaer, yn mhob man yn gyfartal, a chymmaint yn feinach nag un edef a ddichon y nyddwr goreu yn y byd ei gwneuthur; yn gymmaint ac y mae y llinyn (*twine*) meinaf yn feinach na'r rhaff angor fwyaf.

Yr ysmotyn lleiaf a ellir ei wneud â phin ac inge, trwy yr un offeryn, a ymddengys yn ysmotyn mawr ac afreolaidd, yn ysgythrawg oddeutu ei ymyl, ac yn bell o fod yn grwn.

Cynelwadau o fân ysgrifen o waith y meistriaid goreu ydynt yn ymddangos yn eithaf barbaraidd.

Y darluniau harddaf, gorchestwaith yr enwogion goreu a fu erioed yn y gelfyddyd, ydynt wael bethau. Ymddangosant yn hynod o wych a hardd i'r llygad noeth, ond trwy y chwydd-wydr ymddengys y lliwiau fel pe byddent wedi eu dwbiaw gyda rhaw. Ond yr ysmotiau bychain sydd ar gyrph ac edyn eilieriaid (*butterflies*) chwilod, gwybed, a thrychfilod ereill, trwy yr un offeryn, a ymddangosant yn eithaf crwn, a'r llinellau bychain ereill ydynt wedi eu tynu yn hardd a rheolaidd i'r manylrwydd eithaf.

Fel hyn y sudda cynnyrchion celfyddyd pan y byddwn yn alluog i chwilio ac i weled beth ydynt! Ond i ba le bynag y troir y chwydd-wydr i weithredoedd natur, nid oes dim i'w weled ond ceinwychedd a pherffeithrwydd yn eu cyfansoddiad, rheoleidd-rwydd a chyssondeb yn eu gosodiad, doethineb a gallu yn eu llywodraethiad, a gofal a thrugaredd annhraethawl eu Creawdydd yn eu cynnaliad.

Creffwch ar yr heigiau dirif o drychfilod ag sydd yn nofio, yn ymlusgo, neu yn ehedeg, o'n deutu. Pa gyfartalrwydd, manylrwydd, ac unffurfiad (*uniformity*) sydd yn eu holl beiriannau! Pa luosowgrwydd o liwiau, megis gwyrdd, glas, porphor, melyn, coch, aur, arian, perlau, gemau, adamantau, eddi a brwydwaith ar eu penau, cyrph, a'u hedyn, a phob rhan arall.

Chwiliwch y milonos (*animalculæ*) llawer o ba rai ni allai llygaid dynol, heb chwydd-wydr, eu canfod. Yn y rhai hyn y canfyddwn yr un peiriannau corph, lluosowgrwydd rhanau, amrywiaeth lluniau, a moddau neillduawl o fyw, ag sydd mewn anifeiliaid mwy. Mor ryfedd raid fod rhanau tufewnawl y creaduriaid bychain hyn! Y galon, y cylla, y coluddion, a'r ymenydd! Mor dyner ac eiddil yw yr esgyrn, y giau, a'r gewynau! Mor faethus, a thu hwnt i amgyffred, yw y rhedweliau, y gwythienau, a'r nwyfau! Pa luosowgrwydd o lestri a chylchrediadau a gynnwysir oddifewn i'r cylch bychan yma! Ac etto y mae gan bob un ddigon o le i gyflawni ei amrywiawl orchwylion heb i'r naill aflonyddu y llall!!

Y mae yr un cydgordiad, rheoleiddrwydd, a harddwch, i'w weled mewn llysiau. Mae pob cyff, bywyllyn, blodeuyn, neu hedyn, yn dangos llun, cyfartalrwydd, a chydffurfiad, tu hwnt i gyrhaedd celfyddyd. Nid oes na chwŷn na mwsogl nad yw pob deilen iddynt yn dangos lluosowgrwydd o lestri a mân chwys dyllau (*pores*) wedi eu cyfleu yn gywrain i ddwyn nodd a maeth er eu magwraeth, ac nad ydynt wedi eu haddurno â cheinion (*beauties*) dirif!

I ba ddyben, gellid gofyn, y bu i Dduw roddi y fath geinwychedd a harddwch i greaduriaid mor ddistadl ag ydyw y rhai hyn? I hyn y gallwn ateb, fod eu ceinwychedd a'u harddwch yn profi nad ydynt mor ddistadl ag yr ydym ni yn barod i'w barnu. Maent wedi eu gwneuthur un ai iddynt eu hunain neu i ni; os iddynt eu hunain, yna y maent yn deilwng o sylw eu gwneuthurwr; os i ni, ein dyle swydd ydyw sylwi arnynt a'u rhyfeddu. Nid yw yn rhy isel i ddyn chwilio pethau a farnodd Duw yn deilwng o'u creu. Yr un llaw a fu yn ffurfio y cawrfil a'r llew a wnaeth yr ednogyn, euddonyn, a'r lleien. Ond cofiwn mai nid trwy orchestwaith a llafur y gwnaeth Duw y pethau hyn, ond trwy rym a nerth rhyfeddawl ei air "BYDDED" y daeth pob peth i fodolaeth. "Efe a ddywedodd Bydded, ac felly y bu; efe a orchymynodd, a hyny a safodd!" am hyny,

na fydded i neb ddiystyru y pethau hyn, rhag iddo, wrth hyny, ddiystyru yr hwn a'u gwnaeth.

Y mae pob peth a welir yn datgan ei ogoniant, y còr yn gystal a'r cawr, y glaswelltyn yn gystal a'r dderwen, a'r ednogyn eiddilaf yn gystal a'r morfil anferthawl, yr hwn sydd yn ymddangos fel ynys ynghanol y mor!!

*Ger Llanidloes.* EVANUS.

## CYNNYDD DIRWESTIAETH.

LLOEGR.—Y mae Lloegr bron i gyd mewn cynnwrf gyd â'r achos Dirwestawl: a'r ymegniad daionus i ysgwyd ymaith lyffetheiriau anghymmedrolded, yr hwn a fu yn achos o gymmaint o ddrygioni i'n cenedl, ac yn rhwystr i'w holl weithrediadau daionus, sydd yn llwyddo yn barhaus. Y mae ymdrech cryf a llwyddiannus yn cael ei wneyd gan y trigolion i ddiwygio eu hunain, ac i roddi i lawr yr hen arferiad o yfed diodydd meddwawl yn mhob cymdeithas trwy lwyr-ymwrthod.

Yn Lle'rpwll yn unig cynnelir 21 o gyfarfodydd bob wythnos; a rhai o'r areithwyr goreu oeddynt gynt yn feddwon, ond yn awr wedi newid er gwell yn mhob ystyr o'r gair, ac yn penderfynu lledaenu yr achos. Mae rhifedi y Dirwestwyr yn y dref fawr hon uwchlaw 45,000. Darfu i Gymdeithasiad y Pabyddion yno, wrth ystyried cyflwr eu cydwladwyr yn yr Iwerddon, anfon Mr. M'Kenna, Goruchwyliwr ffyddlon, drosodd i Dublin, a disgwylir y bydd iddo ymweled â Belfast cyn pen hir, lle y mae Cyfeistedd-iad o Babyddion wedi ei ffurfio gan E. Connor, o Le'rpwll, ac yn barod i weithio. Y mae dau lyfr misol hefyd yn cael eu hargraffu yn y dref hon i bleidio yr egwyddor Ddirwestawl, un (Saesoneg) o dan olygiad Mr. Robert M'Curdy, yr hwn sydd yn bresennol yn y wlad hon, a'r llall, cwbl adnabyddus i'n darllenwyr, yw y "Dirwestydd."

SCOTLAND.—Y mae yr achos Dirwestawl yn y wlad hon yn para i fyned rhagddo yn llwyddiannus, a llawer wedi eu hennill trwyddo o lwybrau pechod, aflendid, a thlodi, fel yn yr Iwerddon, i gyflwr o sobrwydd, iechyd, a dedwyddwch: a llawer o hyd yn ychwanegu at yr eglwysi. Y mae dau genadwr ffyddlon ar led y wlad, a gwelir effeithiau daionus yr achos yn Edinburgh, Glasgow, Paisley, Greenock, a threfydd poblogaidd ereill, lle yr oedd anghymmedroldeb uchaf ei ben.

IWERDDON.—Mae yr achos Dirwestawl yma yn myned ym mlaen yn rhagorol, trwy ffyddlondeb ein brodyr Saesonig. Mae Dublin oll yn cynhyrfu i lwyr-ymwrthod â diodydd meddwol, oddigerth fel y mae yr ardystiad yn caniatau. Dywedir fod un gwr yn Cork yn llwyddo i gael oddeutu 500 o enwau bob wythnos; ac etto gallai y gwr hwn fyned ym mlaen fel hyn am lawer o flynyddau cyn y byddai miliynau Iwerddon yn ddiogel yn rhwymyn Dirwestiaeth.

*Belfast.*—Cynnaliwyd ychwaneg o gyfarfodydd, a gwnaed ymdrechiadau mwy egniol, yn y lle hwn, yn y mis diweddaf, nac a fu yma er y dechreuad cyntaf. Ar y 25ain o Fedi diweddaf y cyrhaeddodd Mr. Ralph Holker, milwr meddw diwygiedig, gyda Mr. Robert M'Curdy, o Le'rpwll, y dref hon. Y mae Mr. Holker yn awr yn Gristion trwyadl, ac yn ddadleuwr gwresog a medrus dros yr achos da Dirwestawl. Cynnaliodd, bron bob dydd yn yr Iwerddon, gyfarfodydd lluosog iawn, a dilys yw nad hawdd yr anghofia trigolion Belfast, Lisburn, Broomhedge, Carrickfergus, &c. ei sylwadau gwladgarawl a rhagorol. Cyn i Mr. Holker ymadael daeth cenad arall, ffyddlon ac aiddgar am ledaenu yr achos, drosodd yma, sef Mr. John Clure, meddwyn diwygiedig o fynyddoedd Cumberland. Nid oes yr un prydnawn bron yn myned heibio er ei ddyfodiad nad yw yn cynnal Cyfarfodydd i yma neu yn y pentrefydd amgylchynol, i dyrfaoedd lluosog, a llawer yn cael eu hennill i goflеidio yr achos yn barhaus.

### Y DDIOD OREU.

Mewn ymddiddan yn ddiweddar â chyfaill yn Nghymru, brwd-frydus iawn o blaid Cymdeithas Dirwest, dygwyddodd i mi sylwi am y ddiod oedd ar y bwrdd, sef dwfr, nad oedd dim cymmysgedd *dynol* ynddi mewn un modd. "Gwir iawn," ebe yntau, "y mae hi o Dduw i gyd." Pe buasai Milton enwog yn ymyl, ni allasai ddywedyd yn fwy hyawdl.

*Caerlleon.* ALLTUD.

## HELYNTION YR AMSEROEDD.

*Y Llong haiarn.*—Mae y llong haiarn Ironsides, Cadben Mitchell, yr hon a adeiladwyd gan Meistriaid Jackson, Gordon, a Chyf, ac a ollyngwyd gyntaf i'r môr ar y 18fed o Hydref diweddaf, yn awr yn cael ei llwytho ar ochr orllewinol New Brunswick Dock, Llundain, ac achosa gryn bryderwch a sylw gan forwyr ac ereill. Y mae o wneuthuriad hardd iawn, a dywedir fod ei llyw (o herwydd y fantais a rydd y defnydd o ba un yr adeiladwyd hi i gyd oddigerth ei byrddau a'i *bulwark*) mor deneu a llyw cwch bach. Y mae y lleni haiarn wedi eu gosod i orwedd ar eu gilydd fel yr ymddengys yn debyg i lestr o goed cryfion: ac y mae ei rhan isaf wedi ei arliwio fel pe byddai lleni copr yn ei orchuddio. Hi a garia ei llwyth ar ychydig iawn o ddwfr: ac nid arbedwyd na thraul na thrafferth tu ag at ei gwneuthur yn hardd ac yn hylaw. Gan mai hi ydyw y llong haiarn gyntaf a adeiladwyd yn y porthladd hwn, trefnir hi i fod yn benderfyniad ar y ddadl fawr hon, ag sy

mor bwysig, sef pa un ai coed ai haiarn yw y defnydd goreu i adeiladu llongau âg ef. Barna rhai y glyn y cwmon a'r cregynbysg mân yn fwy ar haiarn nag ar goed, pan y byddo mewn hinsoddau poethion; ac y bydd yr haiarn yn fwy darostyngedig i gael ei ysu nag ydyw coed. Y mae y llestr hon o gryn faintioli: ei thunnelliad yn 264 26-100 o'r mesur newydd. Bwriedir iddi gychwyn hwylio i'r Brazils, America Ddeheuol, ar ddydd Mercher, yr 21ain o Dachwedd. Rhydd hon, y mae yn debyg, benderfyniad hollol ar y ddadl fawr hono, pa un ai y mwn-gloddiau ai y coedwigoedd a rydd y moddion goreu i gadw ein marsiandiaeth morawl i fynu.

*Damwain alarus.—Ugain o fywydau wedi eu colli.*—Ychydig amser yn ol, fel yr oedd tri chwch yn cludo y dynion ag oedd yn gweithio yn y mor-glawdd (*break-water*) Chatham, at eu gwaith i'r gloddfa yn Oreston, ar draws y Sound, cyfodai y môr yn donau uchel, a chwythai awel gref o'r deddwyrain. Pan oeddynt oddeutu dwy ran o dair o'r ffordd ar draws y Sound gwaeddai dyn oedd yn y cwch cyntaf fod yr ail wedi suddo. Gyda hyn gwelent ddynion ar y lan yn troi eu dwylaw, ac fel pe buasent yn ceisio tynu eu sylw at ryw wrthddrych neillduol. Gwnacthant am y lan yn union, a llefai y dorf arnynt fod yr ail gwch wedi soddi, a bod rhai o'r dynion yn crogi wrth y *cobler*.

Aeth un cwch yn union yn ol tu a'r fan, ond nid oedd dim i'w ganfod ond hetiau a basgedau y dyoddefwyr druain yn nofio ar y wyneb. Yr oedd y cwch ei hun wedi troi ar ei wyneb, ac yn y dull hwnw y nofiodd i'r creigiau islaw Mount Batten, Oddiwrth yr hyn a ellir ei gasglu oddiar dystiolaethau y rhai ag oedd yn gweled yr anffawd, ymddengys i wynt cryf lenwi yr hwyl, a thon rymus daro y cwch yn ei ochr, fel y dymchwelodd yn y fan.

Bu agos i'r cwch blaenaf gyfranogi o'r un dynged, am nad oedd yn nebpell o flaen y llall; ond fel y bu goreu y ffawd cyrhaeddodd y lan wedi bod yn ymboeni yn y tonau am gryn amser, a'r dwylaw oll mewn dychryn mawr o herwydd yr anffawd alarus a ddrgwyddodd i'w cyfeillion. Diangodd y cwch arall heb nemawr o berygl o herwydd na adawodd Chatham yn union ar ol y lleill.

Cyn gynted ag y clybuwyd y newydd yn Barbican, anturiodd pump o ddynion dewr a chalonog i wyneb y tonau, i edrych a allent achub y trueiniaid, ond bu yr anturiaeth yn gwbl ofer..

*Marwolaeth drwy feddwdod.*—Ar foreu dydd Mawrth, Tachwedd 13, fel yr oedd rhai dynion ag oedd yn ngwasanaeth Mr. Gamon, Dee Mills, yn y ddinas hon, yn myned at eu gwaith, oddeutu saith o'r gloch o'r boreu, gwelent ddyn o'r enw Peter Hodgkinson, tafarnwr yn Park-street, yn gorwedd bron yn farw ar y Little Roodee. Cariwyd ef i'r clafdŷ, lle yr arferwyd pob moddion ag oedd yn debyg o'i adferu gan y meddyg, Mr. Peacock, ond yn gwbl ofer, o herwydd bu farw ym mhen ychydig gyd âg awr ar ol hyny. Ymddengys ei fod wedi yfed hyd feddwdod trwm y nos Lun cyn hyny, a bernir iddo golli ei ffordd adref, a chrwydro i'r fan hon, ac ymorwedd ar y ddaear fel y rhewodd ef i farwolaeth. Wele un etto, at y myrddiynau o'r blaen, wedi selio â'i fywyd effeithiau ofnadwy meddwdod ac anghymmedroldeb,

*Llofruddiaeth.*—Ar ddydd Sadwrn yn ddiweddar, fel yr oedd dau ddyn, o'r enwau William Stacy a James Ormond, yn ymladd mewn lle a elwir Milborne Port, Sir Devon, rhedodd Osmond at ei wrthwynebydd, ac a dorodd ddeuddeg archoll dwfn ar ei gorph fel y bu farw yn y fan. Mae y llofrudd wedi ei draddodi i garchar i aros ei brawf yn y brawdlys nesaf.

*Damwain alaethus.*—Ychydig amser yn ol cymmerodd tân-ruthr arswydus le yn melinau pylor Mr. Hale, yn Oare, gerllaw Faversham, Kent, a lladdwyd pedwar o ddynion yn y fan, a llawer o'r tai cymmydogaethol a ddrylliwyd yn dost.

*Locustiaid.*—Yn yr hen amseroedd yr oedd dynion yn gyffredinol yn credu bod yn ysgrifenedig ar adenydd y creaduriaid difaol hyn, yn y Galdaeg, *Coze Guion*, h. y. gwialen Duw.

*Llong-ddrylliad.*—Ychydig amser yn ol, cafwyd dau ddarn o long rhwng Clynog a Phorthdinlleyn â'r geiriau "Wave Aberdeen" ar un darn, a "125" ar y llall. Gwelwyd rhai darnau o'r drylliad yn nofio yn morfa Caernarfon; ond ni welsom air o hanes am y dwylaw a'r llwyth.

## BU FARW,

Ar y 6ed dydd o Dachwedd, yn Maes-ycoed, yn agos i Caerwys, Jane, gwraig Mr. Thomas Evans, yn 53ain mlwydd oed, Iddi hi yr oedd marwolaeth yn elw; ond i'w pherthynasau a'i chyfeillion galarus, ac i'w chymmydogion, bydd y golled yn fawr.

# BARDDONIAETH.

## CAN AR Y PEDWERYDD GORCHYMYN.

*Ton,—"Ar hyd y nos,"*

Duw orch'mynodd iti 'Cofia
Ar hyd y dydd,
'Gadw'r Sul mewn modd sancteiddia,'
Ar hyd y dydd,
Rhoes chwe' diwrnod i ti weithio,
Ar y rhei'ny bydd yn effro:
Gwylia gysgu 'th amser heibio.
Ar hyd y dydd.

Edrych ar y rhyfeddodau.
Ar hyd y dydd, [iau,
'Rhai wnaeth Duw mewn chwech o ddydd-
Ar hyd y dydd,
Ar y seithfed dydd gorphwysodd,
Mewn modd doethaidd fe'i bendithiodd:
Dyma'r diwrnod a sancteiddiodd,
Ar hyd y dydd.

Edrych ar ei holl weithredoedd,
Ar hyd y dydd,
A'r greadigaeth fawr a drefnodd,
Ar hyd y dydd,
Gochel wneuthur unrhyw orchwyl,
Cadw'th deulu oll, bydd ar-wyl,
A'th anifail i'r un perwyl,
Ar hyd y dydd.

Paid a siarad dy wag-eiriau,
Ar hyd y dydd,
Gwylia ar dy holl feddyliau,
Ar hyd y dydd,
Paid a darllain na myfyrio,
Am y byd a'i bethau gwyrdro
Darllain eiriau Duw a gwrando,
Ar hyd y dydd.

Duw a drefnodd o'i ddaioni,
Ar hyd y dydd,
I roi seibiant o galedi,
Ar hyd y dydd,
I'r blinedig i ddadluddo,
A'r Caethwas gael ei anadl ato,
A'r anifail i orphwyso,
Ar hyd y dydd.

Cofia am yr Israeliaid,
Ar hyd y dydd,
A waredwyd o law'r Aiphtiaid,
Ar hyd y dydd,
Duw a'u porthodd gyda manna,
Nes eu dwyn i wlad gorphwysdra:
Ef ei hunan oedd eu noddfa,
Ar hyd y dydd.

Trefn y Sabbath a newidiwyd,
Ar hyd y dydd,
Prophwydoliaeth a gyflawnwyd,
Ar hyd y dydd,
*Ezeciel gynt a fu'n prophwydo:
Am yr wythfed dydd bydd cofio,
Yr holl Eglwys gaiff orphwyso,
Ar hyd y dydd.

Cofia am y diwrnod hwnw,
Ar hyd y dydd,
Cyfododd Crist oddiwrth y meirw;
Ar hyd y dydd,
O'r bedd eigion daeth i fynu,
Uffern fawr gadd ei gorchfygu,
Cofia am ei ryfedd allu,
Ar hyd y dydd.

Cofia'r diwrnod cynta' o'r wythnos,
Ar hyd y dydd,
Y bu 'r Iesu yn ymddangos,
Ar hyd y dydd,
Dyma'r diwrnod cofia cofia,
Gwelwyd ef ar doriad bara,
A'r Disgyblion yn cydwledda,
Ar hyd y dydd.

Y mae'r Sabbath yn arwyddo,
Ar hyd y dydd,
Rhyw orphwysfa a fydd etto;
Ar hyd y dydd,
Ar y seithfed fil fe'i rhifir,
Yr holl ddaear a adferir;
Yn un Eglwys oll fe'i gwelir,
Ar hyd y dydd.

Blaidd a'r Oen fydd mewn un trigfod,
Ar hyd y dydd,
A'r Llewpartiaid gyda'r Mynod,
Ar hyd y dydd,
Llo a'r cenaw Llew 'r un duedd,
Gyd â'u gilydd yn cyd orwedd,
A holl natur mewn tangnefedd,
Ar hyd y dydd.

Yr hen Lew a fydd yn pori,
Ar hyd y dydd,
Fel yr eidion wedi ddofi,
Ar hyd y dydd,
Buwch ag Arth fydd yn cyd drigo,
A'u harosiad heb un rhuso:
Bachgen bychan wnai bugeilio,
Ar hyd y dydd.

Twll yr Asp fydd yn chwareule,
Ar hyd y dydd,
I blant bychain hwyr a bore,
Ar hyd y dydd,
Bwystfil drwg ni fydd i larpio,
Na sarph dorchog i wenwyno,
A'r hen satan gaiff ei rwymo,
Ar hyd y dydd.

Saif gogoniant yn yr Eglwys,
Ar hyd y dydd,
A'r holl ddaear fel Paradwys,
Ar hyd y dydd,
Pob rhyw ormes a geryddir,
Pob rhyw felldith a symudir,
A'r holl Eglwys ogoneddir,
Ar hyd y dydd.

Sabbath arall yw'r un Nefol,
Ar hyd y dydd,
Hwnw bery yn dragywyddol,
Ar hyd y dydd,
Lle mae Crist a'i deulu hyfryd,
Yn nhrigfanau gwlad y gwynfyd,
Lle ni threiddia unrhyw adfyd,
Ar hyd y dydd.

Dyma Sabbath y Sabbathau,
Ar hyd y dydd,
Dyma sylwedd y cysgodau,
Ar hyd y dydd,
Ni's gall tafod byth fynegu,
Ni's gall calon dyn ddych'mygu,
'R hyn ddarparodd Duw i'w deulu,
Ar hyd y dydd.

*Minfordd, Mon.* OWEN JONES.

* Ezec. 43. 26, 27.

# TALFYRIAD O ADRODDIAD

## *CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN,*

YN Y

## BEDWAREDD GYLCHWYL A DEUGAIN.

## 1838.

WRTH adolygu y flwyddyn ddygwyddlawn, ar ddiwedd yr hon mae y Cyfarwyddwyr yn awr yn cyfarfod âg aelodau ac ewyllyswyr da y Gymdeithas, tra maent yn cydnabod gyda sanctaidd ddïolchgarwch yr aml arwyddion o ddaioni Duw a ganiatâwyd iddynt, rhaid iddynt hefyd grybwyll marwolaeth tri o'u nifer eu hunain, sef y Parch. William Broadfoot, y Parch. William Clayton, a'r Parch. William Smart.

Yn y gorsafoedd ar lêd, galwyd ar y Cyfarwyddwyr i alaru am farwolaeth y Parch. John Wray, tad y Genadaeth yn India'r Gorllewin; a'r Parch. James Howe, Cenadwr ymroddgar Capel Hanover yn yr un drefedigaeth (Berbice.) Heblaw y rhai hyn, derbyniodd y Cyfarwyddwyr y newyddion athrist o farwolaeth Mr. William Parish, ysgol-feistr yn Berbice; Mrs. Rattray, anwyl brïod y Parch. Charles Rattray o Demerara; a Mr. Hugh Brown, ysgol-feistr yn Jamaica. Rhaid iddynt hefyd grybwyll marwolaeth y Parch S. Wolfe, eu Cenadwr ymroddgar yn Singapore.

Danfonodd y Cyfarwyddwyr allan yn yspaid y flwyddyn ddiweddaf, i wahanol ranau o'r byd, o Genadon a'u teuluoedd, heblaw eu plant, gynnifer â 61 o bersonau—mwy o nifer o lawer nac a allodd y Gymdeithas ddanfon allan erioed o'r blaen mewn un flwyddyn.

### MOROEDD Y DE.

Mae yr adfywiad grasol ar grefydd ysbrydol yn mhlith eglwysi Tahiti, o drugaredd yn parâu o hyd: mae llawer, yn enwedig yn mhlith yr ieuenctid, trwy roddi o honynt brawf boddlonawl o gyfnewidiad calon, wedi eu derbyn i gymdeithas eglwysig; ac y mae cynnydd yr Ysgolion yn dra boddâol. Gorphenwyd argraffu y Bibl Tahitaidd yn Chwefror diweddaf, dan arolygiad Mr. Nott; yr hwn wedi llafur amyneddgar a pharâus o 20 mlynedd, a anrhydeddwyd fel hyn trwy gael gweled cyflawniad o ddymuniadau ei galon. Mae ein brawd hybarch yn nghylch dwyn y trysor anmhrisadwy hwn i Tahiti, ac yn disgwyl hwylio yn yr haf hwn, i ganlyn ei gyd-lafurwr enwogfawr, Mr. Williams, yr hwn sydd yn awr ar ei ffordd yno, gyda mintai o frodyr ymroddedig, yn y llong Genadol yn rhwym i ynysoedd y Tawelfor pell.

Y brodyr a bennodwyd i Ynysoedd y Mordwywyr, a ddechreuasant eu Cenadaeth yn Mehefin, 1836, dan yr amlygiad boddâol eu bod yn llafurio yn mhlith pobl wedi eu darpar gan yr Arglwydd i dderbyn eu cenadwri hwynt. Ymddengys fod bendith Duw ar eu mynediad hwy yn mlaen; a phan y danfonwyd yr hanesion diweddaf oddi yno, yr oedd nifer o Athrawon Brodorawl ar waith, ysgolion yn cael eu casglu, capelydd yn cael eu codi, cynnulleidfâoedd lliosog yn gwrando yn gyson, amryw wedi eu bedyddio, eglwys Gristionogol wedi ei ffurfio, a thros 23,000 o frodor-

ion dan addysg Cristionogol. Mae argraffydd Cenadol, a brawd addas iawn i gynnorthwyo yn y gwaith pwysig o gyfieithu, wedi hwylio gyda Mr. Williams; a theimlodd y Cyfarwyddwyr yn ddyledswydd arnynt i ddanfon eto gyda Mr. Nott, bedwar o lafurwyr i'r Genadaeth bwysig hon.

## YR YNYSOEDD GEORGAIDD.

| Ardaloedd. | | Gorsafoedd. | Cenadon. |
|---|---|---|---|
| Tahiti | *Matavai* | Tref Waugh | Charles Wilson |
| | *Paré* | Dinas Hankey | Henry Nott* |
| | *Paré* | Porthladd Wilks | George Pritchard. |
| | *Atehuru* | Pwynt Burder | David Darling. |
| | *Papara* | Tref Hawies | John Davies. |
| | *Taiarapu* | Tref Bogue; Paiuma | J. M. Orsmond. |
| | | | Charles G. Stevens.† |
| | | | Thomas Joseph.† |
| | | | Joseph Johnston.† |
| | *Teiarei* | Tref Roby | William Henry. |
| Eimeo | *Papetoai* | Tref Blest | Alexander Simpson. |
| | *Porthladd Bogue* | Tref Griffin | Thomas Blossom, *Crefftwr.* |
| Maiaoiti | | Airima, Utu | *Athrawon Brodorawl.* |

*A 18 o Athrawon Brodorawl.*

Tahiti.—*Tref Waugh.*—Yr oedd y cynnulleidfaoedd yn amrywio o 250 i 300, o ba rai yr oedd 93 mewn cymundeb. Yr oedd o 80 i 90 o blant yn dyfod i'r Ysgolion Dyddiol a Sabbathol, ac o 60 i 80 o rai mewn oed. Yr ysgolion yn y gorsafoedd cangenol a gynnwysent 238 o oedolion a phlant.

*Hankey.*—Yr oedd aelodau yr eglwys yn 276, wedi derbyn 44 i gymundeb yn yspaid y flwyddyn. Yr ysgolion dyddiol a gynnwysent 96 o fechgyn, a 110 o ferched; ac yr oedd pawb a berthynent i'r orsaf yn dyfod i ysgolion y rhai mewn oed. Yr oedd y gynnulleidfa yn 800 o bersonau.

*Porthladd Wilks.*—Rhif cyfartal y gynnulleidfa oedd 1000; a'r aelodau eglwysig yn 84. Cynnwysai yr ysgolion dyddiol 115 o fechgyn, a 122 o ferched; a deuai holl bobl yr orsaf i ysgolion y rhai mewn oed. Dosparthesid 500 o lyfrau elfenol, 800 o draethodau, ac 21 o Fiblau. Mae y Genadaeth Gangenol yn llwyddo. Yn yr ysgolion dyddiol mae 55 o fechgyn, a 62 o ferched; a 150 o frodorion yn ysgol yr oedolion.

*Pwynt Burder.*—Mae gwaith yr Arglwydd yn parâu i lwyddo yn yr orsaf hon. Yr oedd agos yr holl drigolion yn dyfod i'r addoliad ar y Sabbath; ac yr oedd cyrchiad mawr i'r ysgolion gan oedolion a phlant. Mae y trefniadau newyddion a roddwyd dan awdurdod Pomare, i chwanegi addysg yr ieuenctid, gyda'i hesampl ragorol hi ei hun yn eu canlyn, wedi crëu galw mawr am lyfrau ysgol yn yr holl orsafoedd, y rhai y ceisiodd Mr. Darling eu diwallu.

*Tref Hawies.*—Y lleiâd mawr ar yr eglwys yn 1835, trwy farwolaeth 25 o'i haelodau, a ganlynwyd debygid, trwy ras Duw, gan adfywiad grymus ar grefydd ysbrydol: chwanegwyd at yr eglwys 59 o aelodau, wedi cael prawf boddlonawl o'u duwioldeb cyson hwynt cyn eu derbyn. Bedyddiesid 7 o rai mewn oed, a 32 o fabanod. Yr oedd cyrchiad da i'r ysgol.

*Tref Roby.*—Mae cynnydd yr orsaf hon yn dra chalonogus. Yn niwedd 1836, yr oedd yr aelodau eglwysig yn 151; cynnwysai yr ysgolion dyddiol yn y brif orsaf 150 o ysgolheigion, a'r rhai yn y gorsafoedd cangenol 302.

Eimeo.—*Tre'r Fendith.*—Ni dderbyniwyd yr hanesion rhëolaidd o'r orsaf hon; ond y mae cyrchiad da i'r ysgolion, a derbyniwyd 5 o aelodau chwanegol i'r eglwys.

* Yn awr yn Lloegr.

† Ar eu mordaith allan.

*Athrofa Môr y Dê.*—Holwyd y plant yn Ebrill, 1837, pryd y cafwyd llawer o foddlonrwydd yn eu cynnydd hwynt mewn dysg.

*Tref Griffin.*—Yn Mehefin, 1836, nifer y plant yn yr ysgol oedd tua 50; 20 o fechgyn a 30 o ferched: a chynnwysai y ddwy ysgol yn Maatea a Tiavaro tua'r un nifer. Ni dderbyniwyd dim hanes o Gymdeithas Genadol Eimeo.

MAIAOITI.—Mae yr Athraw Brodorawl, Tamore, ac un arall a elwir Airima, yn llafurio yn awr yn yr ynys hon. Mae y bobl yn byw yn heddychol, ac mae y sefydliad mewn agwedd lwyddiannus. Cwynnwys yr eglwys 90 o aelodau, ac y mae 10 yn ymofyn am dderbyniad. Mae yn yr ysgol ddyddiol 76 o blant, ac mae yr holl oedolion dan addysg.

## YNYSOEDD Y GYMDEITHAS.

| *Lleoedd.* | GORSAFOEDD. | *Cenadon.* |
|---|---|---|
| HUAHINE . . . | *Porthladd Faré* . . | CHARLES BARFF. |
| RAIATEA . . . | *Utumaoro* . . . | JOHN WILLIAMS.* <br> GEORGE PLATT. <br> GEORGE CHARTER.* <br> AHURIRO, *Athraw Brodorawl.* |
| TAHAA . . . . | *Vaitoaré* . . . . | *Athraw Brodorawl.* |
| BORABORA . . . | *Beulah* . . . . . | (Gwâg.) |
| MAUPITI . . . . | . . . . . . . . . | *Dau Athraw Brodorawl.* |

HUAHINE.—Bu ymddygiad yr aelodau eglwysig, y rhai a gynnyddasant i 319, yn unwedd gyson; gan ddangos, bron yn mhob amgylchiad, eu dymuniad chwanegol i roddi eu hunain yn ddïymattal i'r Arglwydd. Yr aelodau a chwanegwyd at yr eglwys oeddynt gan mwyaf o blith y bobl ieuainc a addysgwyd yn yr ysgolion. Yn 1836 amrywiai nifer y gynnulleidfa o 1000 i 1200. Yn yr ysgolion i oedolion, yr oedd 392 o frodorion dan addysg: yr oedd 320 o blant yn yr ysgolion dyddiol. Dosparthesid 350 o lyfrau ysgol, 500 o draethodau, a 260 o ranau o'r Ysgrythyr.

RAIATEA.—O achos y terfysg gwladol yn Borabora, symmudodd Mr. Platt a'i deulu i Raiatea: mae Mr. Platt o hyd yn bwriadu ymweled â Borabora yn achlysurol. Yn Medi, 1836, nifer cyfartal y gynnulleidfa yn Raiatea oedd 400; yr aelodau eglwysig oeddynt 128, ac 8 yn ymofyn am dderbyniad.

TAHAA.—Yn Medi, 1836, yr oedd y gynnulleidfa tua 200, a'r aelodau eglwysig yn 38. Yr oedd yr ysgolion yn parâu, un i blant ac un i oedolion.

BORABORA. Mr. Platt, yr hwn a symmudodd i Raiatea, a ganlynir yn yr orsaf hon gan Mr. Rogerson o'r Marquesau. Yn Medi, 1836, yr oedd y gynnulleidfa yn 300, yr aelodau eglwysig yn 63, ac yr oedd 50 o blant yn yr ysgol ddyddiol.

## YNYSOEDD HERVEY.

| *Lleoedd.* | GORSAFOEDD. | *Cenadon.* |
|---|---|---|
| RAROTONGA . | *Ngatangiia* . . . . . | CHARLES PITMAN. <br> WILLIAM GILL.* |
| | *Titikaveka* (gorsaf gangenol) | KO-IRO, *Athraw Brodorawl.* |
| | *Avarua*. . . . . . . | AARON BUZACOTT. <br> HENRY ROYLE.* |
| | *Arorangi* . . . . . . | PAPEIHA, *Athraw Brodorawl.* |
| AITUTAKA . . . . | . . . . . . . . . | *Tri Athraw Brodorawl Tahitaidd.* |
| MITIARO . . . . | . . . . . . . . . | *Un Athraw Brodorawl.* |
| ATIU . . . . . | . . . . . . . . . | *Dau Athraw Brodorawl.* |
| MAUTI . . . . . | . . . . . . . . . | *Un Athraw Brodorawl.* |
| MANAIA (or MANGAIA) | . . . . . . | *Tri Athraw Brodorawl.* |

* Ar eu mordaith allan.

RAROTONGA.—*Ngatangiia.*—Nifer cyfartal y cynnulleidfâoedd, a chyfrif y plant, oedd 2,800: yr aelodau eglwysig oedd 61, yr hyn oedd chwanegiad o 28 wedi yr hysbysiad diweddaf; ac yr oedd tuag 20 ar gael eu derbyn. Nifer yr ymofynwyr (am bethau crefyddol) oedd 1,171, yr hyn oedd chwanegiad o 659 wedi 1834. Ymgeiswyr am fedydd, 57. Mae dwy ysgol i oedolion, a thair ysgol ddyddiol, yn cynnwys cyfan-rif o 1,550 o rai mewn oed a phlant. Yn Chwefror y flwyddyn ddiweddaf, yr Mr. Pitman ar waith yn cyfieithu llyfr cyntaf Samuel, gwedi gorphen y llyfrau blaenorawl.

TITIKAVEKA.—(*Gorsaf gangenol.*)—Yn Mawrth, 1835, yr oedd y gynnulleidfa yn Titikaveka yn 700; ymgeiswyr am fedydd, 10; ac am gymundeb eglwysig, 4. Yn yr ysgolion dyddiol yr oedd 260 o fechgyn, a 220 o ferched, 100 o wyrrywaid a 100 o fenywaid yn yr ysgol i oedolion: cwbl 680

AVARUA.—O herwydd ymweliad Mr. Buzacott âg Ynysoedd y Mordwywyr, ni dderbyniwyd dim hanesion pennodol o'r orsaf hon.

AITUTAKE.—Yn Mai, 1836, gorphenwyd Capel newydd. Ymddangosai bod yr athrawon, a'r prif benaethiaid a'r gwragedd, yn rhodio yn addas i'w proffes o'r Efengyl.

MANGAIA.—Yn Awst, 1835, yr oedd aelodau yr eglwys yn 31, a'r ymgeiswyr am gymundeb yn 16. Nifer y brodorion bedyddiedig oedd 451.

## Y MARQUESAU.

| GORSAFOEDD. | *Cenadon.* |
|---|---|
| *Santa Christina*, neu *Tahuata* | GEORGE STALLWORTHY,<br>JOHN RODGERSON,<br>ROBERT THOMPSON.* |

Parâodd ein brodyr eu hymdrechiadau yn yr ynys hon yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, heb gael eu calonogi, mae yn wir, gan argoelion o ddychweliad personol neb; ond eto yn parâu yn eu gwaith o ffydd a'u llafur o gariad. Ymddengys i ymweliad y Cenadon ar eu taith i Ynysoedd y Mordwywyr, yn Ebrill 1836, gael effaith ddaionus ar feddyliau y bobl; i'w tueddu hwy, o leiaf am amser, i sylwi yn fwy ystyriol ar bregethiad y Groes.

## YNYSOEDD Y MORDWYWYR.

| GORSAFOEDD. | *Cenadon.* |
|---|---|
| *Savaii* . . . . | CHARLES HARDIE, ALEXANDER MACDONALD. |
| *Upolu a Manono* | THOMAS HEATH, WILLIAM MILLS. |
| *Tutuila* . . . . | ARCHIBALD WRIGHT MURRAY, GEORGE BARNDEN.<br>WILLIAM DAY,* JOHN BETTRIDGE STAIR.* |

Y brodyr a bennodwyd i'r maes pwysfawr hwn, a gyrhaeddasant leoedd eu pennodiad yn nechreu Mehefin, 1836; a chyda hwynt y Mrd. Barff a Buzacott, y rhai a arossasant dros amryw fisoedd, i'w cynnorthwyo hwy i ddechreu y Genadaeth. Cawsant y derbyniad mwyaf gobeithlawn gan y Penaethiaid a'r bobl, nifer mawr o ba rai a broffesasant eu hewyllysgarwch i dderbyn Cristionogaeth, ac i gael eu dysgu yn athrawiaethau yr Efengyl.

SAVAII.—Cafodd Mr. Hardie y bobl yn awyddus am gael eu dysgu, er bod rhai o hyd yn glynu wrth eu hen arferion. Mae yn yr ysgol ddyddiol yn Sapapalii o 70 i 100 o ysgolheigion, llawer o ba rai a allant ddarllen ac ysgrifenu mewn modd rhagorol; ac ydynt wedi cyrhaedd llawer o wybodaeth mewn gwirionedd Cristionogol. Yn Mawrth, 1837, bedyddiodd Mr. Hardie 12 o rai mewn oed, ac 11 o blant; ac yr un diwrnod ffurfiwyd eglwys o 11 o Gristionogion brodorawl, yn nghyd â'r

* Ar eu mordaith allan.

athrawon brodorawl. Cyrhaeddodd Mr. Macdonald, gyda'i wraig a'i blentyn, Savaii o Rarotonga, yn nechreu Ebrill, 1837.

UPOLU A MANONO.—Nifer y rhai a broffesant duedd at Gristionogaeth yn ardal Mr. Mills, sydd tuag 8000 o bersonau. Yn y sefydlfêydd yn nghyffiniau Apia, lle y preswylia Mr. Mills, bedyddiwyd 46 o rai mewn oed, a 6 o blant. Cedwir ysgol foreuol yn Apia, i addysgu y rhan wrrywaidd o'r trigolion; ac unwaith yn yr wythnos mae tua 50 o feibion ieuainc yn cyfarfod Mr. Mills, i'w dysgu yn athrawon. Y mae rhan, efallai y drydedd ran, o Upolu, a'r cyfan o Manono, dan ofal Mr. Heath. Mae efe wedi bedyddio 18 o rai mewn oed, a 2 o blant. Mae 12 o ysgolfeistriaid brodorawl wedi eu sefydlu mewn gwahanol barthau o Upolu. Yn Manono mae 3 cynnulleidfa a 3 ysgol: bedyddiwyd tua 30 o bersonau, a ffurfiwyd eglwys yn cynnwys tuag 20 o aelodau. Mae gan Mr. Heath dan ei ofal 25 o ysgolion, a nifer cyfartal yr ysgolheigion oll yw, tua 1000. Nifer y rhai a broffesant duedd at Gristionogaeth yn y rhan hon o'r genadaeth yw, tua 6000.

TUTUILA.—Cadwyd moddion dair gwaith bob Sabbath, a dwy waith yn yr wythnos, a'r cyrchiad iddynt oedd o 90 i 100 o bersonau; y nifer fwyaf o lawer o ba rai ydynt Gristionogion mewn proffes. Nifer y bobl yn yr ynys hon, y rhai a wnaethant o leiaf ymwrthodiad mewn enw â phaganiaeth, yn mhlaid Cristionogaeth, sydd tua 6000.

## TU HWNT I'R GANGES.

Nid oes dim cyfnewidiad er gwell wedi cymmeryd lle yn ngolygiadau yr awdurdodau Chinâaidd, y rhai a ymddangosant yn llai tueddol nâ chynt i oddef cydgyfeillach rhwng y brodorion â dïeithriaid; ond mae y Cyfarwyddwyr yn llawenâu yn yr arwyddion nodedig o foddlonrwydd Duw, a ganiatâwyd i orsafoedd eraill o'r Genadaeth tu hwnt i'r Ganges.

| Gorsafoedd. | | Cenadon. |
|---|---|---|
| China | *Canton* | (*Gwâg.*) |
| Malacca | *Malacca* | John Evans, Samuel Dyer, Leang-a-fa, *Cynnorthwywr Chinâaidd; Un Cynnorthwywr Portugalaidd.* |
| Singapore | *Singapore* | Alexander Stronach, John Stronach. |
| Pinang | *Tref George* | Thomas Beighton, Evan Davis. |
| Java | *Batavia* | Walter Henry Medhurst, William Young, Ieu., *Cynnorthwywr*; Lucas Monton, *Egwyddorydd.* |

CANTON.—Mae y Cyfarwyddwyr yn cwyno yn fawr iawn, am nas gallasant hyd yn hyn bennodi Cenadwr addas i'r orsaf bwysig hon.

MALACCA.—Bu arwyddion amlwg o fendith Duw ar lafur ein brodyr, Evans a Dyer; a thrwy fendith yr Arglwydd, dilynwyd pregethiad yr Efengyl â'r effeithiau dedwyddaf. Bedyddiodd y brodyr 30 o bersonau, Chinâaid gan mwyaf; ac y mae ymddygiad yr holl rai a fedyddiwyd, y flwyddyn hon a'r blynyddoedd o'r blaen hefyd, yn dra chanmoladwy. Mae agwedd yr ysgolion yn foddâol; cyrchiad da iddynt, a chynnydd y plant mewn dysgeidiaeth yr dra chalonogus. Nifer y plant Chinâaidd a Malayaidd a dderbyniant ddysgeidiaeth, yw 495. Mae Mr. Lay, goruchwyliwr y Gymdeithas Fiblaidd Brydeinig a Thramor, wedi cael o argraffwasg Malacca 9,918 o gleingiau (*volumes*) o'r Ysgrythyrau Chinâaidd; ac hefyd lawer o draethodau a Thestamentau Malayaidd. Dosparthwyd llawer yn Malacca a'r pentrefydd o amgylch, a danfonwyd 5000 o gleingiau i orsafoedd eraill y Tu Hwnt i'r Ganges. Mae darpariad y llythyrenau mettel Chinâaidd wedi ei ddwyn yn mlaen gyda phob prysurdeb a ellid. Mae pedwar nifer cyfrdo o lythyrenau bron wedi eu gorphen, ac mae y gweddill yn myned yn mlaen yn gyflym.

**Athrofa Saesonig-Chinaaidd.**—Parâodd y sefydliad hwn i dderbyn arwyddion o fendith yr Arglwydd yn y flwyddyn ddiweddaf. Heblaw yr efrydwyr yn yr Athrofa, mae gan Mr. Evans hefyd 7 o fechgyn Chinâaidd dan ei ofal union-gyrchol ei hun; i ba rai mae yn rhoddi dysgeidiaeth addas i'w cymhwyso hwy i waith y weinidogaeth Gristionogol.

**Pinang.**—Parâwyd y moddion Malayaidd yn y Capel ac yn yr ysgoldai fel cynt: gwnaed argraff ar lawer, a phroffesant eu crêd yn ngwirionedd athrawiaeth Crist. Parêir i gadw y moddion Saesoneg ar y nos Sabbathau, ac hefyd y Cyfarfodydd Gweddi Cenadol bob mis. Nifer y cymunwyr, y rhai ydynt oll yn Europiaid, yw 18. Mae 5 o ysgolion Malayaidd, yn cynnwys 111 o ysgolheigion. Dwy ysgol Chinâaidd, gyda 45 o ysgolheigion, a gynnaliwyd drwy y flwyddyn. Rhoed y lleill i fynu, o herwydd eu haneffeithioldeb i gyfranu addysg Cristionogol. Rhoddwyd o'r wasg 12,500 o draethodau a llyfrau. Dosparthwyd 18,773 o draethodau, Ysgrythyrau, a llyfrau ysgol, yn y Chinâaeg, Malayaeg, a ieithoedd eraill.

**Singapore.**—Dan y teimladau gofidus a barodd y newydd am farwolaeth Mr. Wolfe i'r Cyfarwyddwyr, yr oedd yn gysur mawr ganddynt, iddynt allu danfon allan i'r orsaf bwysfawr hon, y Parch. Mrd. Alexander a John Stronach; y rhai gobeithio ydynt cyn hyn wedi cyrhaedd lle eu pennodiad.

**Batavia.**—Cadwyd moddion yn gyson yn y Malayaeg. Mae yr ysgolheigion Malayaidd yn cynnyddu yn rhagorol yn eu dysgeidiaeth, a chynnwys y ddwy ysgol Chinâaidd tua 40 o ysgolheigion. Y moddion Saesonig a gynnaliwyd yn benaf gan y brodyr Americanaidd. Argraffwyd o Ysgrythyrau, ac amrywiol draethodau a llyfrau, gymmaint a 13,350, a dosparthwyd yn yspaid y flwyddyn, tua 18,700 o draethodau ac Efengylau yn y Chinâaeg, Malayaeg, Ffrangaeg, Saesoneg, ac Ellmynaeg.

## INDIA'R DWYRAIN.

Mae cynnydd meddwl, pleidiol i welliant moesol a dëallawl cenedloedd yr India, i rydd-daeniad dirwystr yr Efengyl, ac i sefydliad teyrnas Crist o'r diwedd yn y wlad hòno, wedi bod yn raddol, ond yn dra boddâol, yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. Gan eu sirioli drwy y pêthau hyn ac arwyddion eraill o foddlonrwydd Duw, mae ein brodyr yn cael eu calonogi yn eu gwaith, er yr aml rwystrau cryfion sydd o hyd yn lluddias eu mynediad hwy yn mlaen.

## INDIA OGLEDDOL.

| Gorsafoedd. | Cenadon. |
|---|---|
| *Calcutta* . . . | George Gogerly,* Charles Piffard, A. F. Lacroix, John Campbell, Thomas Boaz, James Bradbury, William Morton, Thomas L. Lessel. Khadanath, *Egwyddorydd*, Oodoichund, Krishnoo, *Cynnorthwywyr Brodorawl.* |
| *Chinsurah* . . | George Mundy. |
| *Berhampore* . . | Micaiah Hill, James Paterson, Thomas Cussons, *Cenadwr Cynnorthwyol*, Comul, *Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Benares* . . . | William Buyers, J. A. Schürmann, R. C. Mather, W. P. Lyon. Narapot Singh, Seetal, *Cynnorthwywyr Brodorawl.* |
| *Surat* . . . . | William Fyvie, Alexander Fyvie, James Hutchinson, *Argraffydd.* |

**Caluctta.**—Parâodd Mr. Lacroix i bregethu bron beunydd yn y iaith frodorawl, gan gael ei gynnorthwyo gan Mrd. Campbell a Piffard. Mae ysbryd o ymofyniad chwanegol wedi cael ei ennyn; ac y mae arwyddion amlwg o leiâd ar eilun-addoliaeth. Mae y gynnulleidfa Saesonig u gynnydd mewn nifer a dïysgogrwydd, a chwanegwyd 15 o aelodau at y

* Yn awr yn Lloegr.

eglwys. Yn y sefydliad Cristionogol mae 16 o bobl ieuainc, cynnydd pa rai sydd yn dra anrhydeddus, yn enwedig mewn gwybodaeth ysgrythyrol. Mae tua 50 o fechgyn Hindooaidd eraill hefyd yn dyfod i gael eu dysgu. Yn y dosparth Duwinyddawl mae 5 o fechgyn ieuainc gobeithiol iawn. Yr holl nifer o ysgolion perthynol i Genadaeth Calcutta, ac a gynnelir ganddi, yw 15; ac yn y rhai hyn mae 800 o ysgolheigion.

CHINSURAH.—Mae Mr. Mundy, gan gael ei gynnorthwyo gan yr athraw brodorawl Stowell, a thrwy fendith Duw, wedi canlyn ar ei lafur ymroddgar o bregethu i'r brodorion; ac y mae llawer o draethodau wedi eu dosparthu. Nid oes dim profion diammheuol o ddychweliad at Dduw eto yn ymddangos, ond credir bod llawer wedi eu hargyhoeddi o wirionedd yr Efengyl. Cynnwys yr ysgolion tua 340 o fechgyn, ac ar y cyfan, ni buont erioed mewn agwedd mwy gobeithiol nac yn y flwyddyn ddiweddaf. Mae yr ysgol ferched Bortugalaidd, a'r ysgol fabanod, yn parâu trwy fendith yr Arglwydd, i fod yn ddefnyddiol a gobeithiol.

BERHAMPORE.—Mae cyrchiad da i'r moddion Saesoneg. Heblaw ei lafur rhëolaidd, mae Mr. Hill wedi llafurio llawer yn deithiol. Dosparthwyd miloedd lawer o draethodau yn y Bengalaeg a'r Hindostanaeg; ac hefyd rhai Testamentau ac Efengylau unig. Yn Moorshedabad, mae Mr. Cussons yn pregethu i'r Mahomedaniaid a'r Hindooaid: mae ei gynnulleidfâoedd yn dda, ac y mae rhagfarn a gwrthwynebiad wedi lleiâu yn fawr. Chwanegwyd tri o fechgyn at Noddfa yr Amddifad. Tuag at gynnorthwyo y sefydliad cymmwynasol a defnyddiol hwn, mae Mr. Hill wedi gwneyd planfa helaeth o goed morwydd, y rhai ydynt mewn agwedd gynnyddawl.

BENARES.—Bu farw un aelod fenywaidd o'r eglwys Hindostanaidd, a gobeithir ei bod hi yn un o flaen-ffrwythau yr India, wedi ei chasglu at yr Arglwydd. Y nifer mewn cymdeithas eglwysig yw 18. Mae rhai bechgyn amddifad, a dau ddychweledig o Hindooaeth, wedi eu bedyddio. Mae yr Ysgol Westeiol, yn yr hon mae 12 o fechgyn, yn nodedig o obeithiol. Mae cyfieithiad y Testament Newydd i'r Urduaeg, gan Mrd. Buyers a Schürmann, wedi ei orphen; ac yn awr yn y wasg. Mae Mr. Mather yn parâu ei lafur o bregethu yn yr iaith frodorawl: mae gan Mrs. Mather 8 o ferched dan addysg, a'u cynnydd yn foddâol; a chynnwys yr ysgol a berthyn i Gapel Bridkhal, 20 o fechgyn.

SURAT.—Mae amgylchiadau Surat yn y flwyddyn ddiweddaf, wedi effeithio mòr ddrwg ar ddysgeidiaeth, fel y lleiâwyd yr ysgolion i 3 o rifedi; ond mae cyrchiad da i'r moddion eraill, yn Saesoneg a brodorawl. Yr ydys wedi argraffu 5000 o eiluniau o Efengyl Matthew, a 10,000 o draethodau i'r Genadaeth.

## INDIA ORYNYSAWL.

| GORSAFOEDD. | *Cenadon.* |
|---|---|
| *Madras* | JOHN SMITH, W. H. DREW, ROBERT CALDWELL; J. A. REGEL, H. BOWER, *Cenadon Cynnorthwyol. Chwech Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Vizagapatam* | J. W. GORDON, EDWARD PORTER, *Dau Gynnorthwywr.* |
| *Cuddapah* | WILLIAM HOWELL, *Tri Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Chittoor and Walajahpettah* | JOHN BILBERBECK, *Saith Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Belgaum* | JOSEPH TAYLOR, WILLIAM BEYNON, JAMES SEWELL,* *Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Bellary* | JOHN REID, M.A., WILLIAM THOMPSON, SAMUEL FLAVEL; B H. PAINE, *Argraffydd a Chynnorthwywr;* JOHN SHRIEVES, *Cenadwr Cynnorthwyol*; 4 *Cynnorthwywr Brodorawl.* |

* Ar eu mordaith allan.

| Gorsafoedd. | Cenadon. |
|---|---|
| *Bangalore* . . . . . . . . | John Hands,* Colin Campbell, B.A., William Campbell,† Benjamin Rice, Gilbert Turnbull, *Dau Gynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Salem* . . . . . . . . . | George Walton, Isaac David, *Chwech Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Combaconum* . . . . . . . | EdmundCrisp,† John Emanuel Nimmo, *Chwech Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| *Coimbatoor* . . . . . . . | W. Bawn Addis, 12 *Cynnorthwywr Brodorawl.* |

Madras.—Profodd yr eglwys Saesonig adfywiad hyfryd ar grefydd, a derbyniwyd 28 o aelodau i gymdeithas eglwysig. Nifer y cymunwyr trigiannol yw 75. Symmudodd Mr. Smith i Vepery, a gwnaeth Pursewaukum yn ganol-bwynt ei lafur yn mhlith y brodorion. Mae i'r eglwys frodorawl 35 o aelodau; mae 7 o ddynion wedi ymroddi i'r gwaith Cenadol yn y Rhaglawiaeth, ac mae 4 o wyr ieuainc dan addysg, gyda golwg ar ymroddi at y gwaith Cenadol eto. Mae y gwaith yn yr orsaf gangenol yn myned rhagddo yn gysurus. Mae i'r eglwys yn Tripassore 15 o aelodau: plant yn yr ysgolion oll, ydynt 365. Dosparthwyd mwy nac 20,000 o draethodau yn ystod y flwyddyn.

Vizagapatam.—Yn yr orsaf hon, mae cyrchiad da i'r moddion oll ar y cyfan, y moddion Saesonig a brodorawl hefyd. Mae mwy na 40 o'r Tamiliaid a 3 o'r Teloogooaid wedi gwrthod *caste*, wedi ymwrthod â'u defodau paganaidd, a chwedi rhoi prawf boddlonawl o gywirdeb eu proffes Gristionogol; ac o ganlyniad wedi eu bedyddio. Bedyddiwyd Brahmin a'i wraig gan Mr. Porter, yn mis Gorphenaf y llynedd.

Cuddapah.—Parâwyd i gadw y moddion brodorawl a Saesonig. Bedyddiwyd 12 o rai mewn oed yn ystod y flwyddyn, a nifer y cymunwyr yw 32. Mae 3 ysgol, yn cynnwys 120 o blant. Mae Mr. Howell ar waith yn diwygio yr Hen Destament Teloogooaidd, a rhan o'r Newydd, dros y Gymdeithas Fiblaidd.

Chittoor—.Cynnwys yr eglwys frodorawl 10 o aelodau: mae 3 yn ymofyn am dderbyniad, a 4 am fedydd. Mae y gorsafoedd cangenawl yn rhoddi calondid mawr. Mae 9 o ysgolion dyddiol, a 3 ysgol Sul, yn cynnwys oll 468 o blant, cynnydd y rhai, yn gyffredin, sy ragorol. Dosparthwyd 154 a ranau o'r Ysgrythyr, 6,267 o draethodau, a 155 o lyfrau ysgol.

Belgaum.—Mae y cyrchiad i'r moddion brodorawl yn dda, a'r nifer mewn cymdeithas eglwysig yw 15. Aelodau yr eglwys Saesonig ydynt 26 o nifer. Mae 8 o ysgolion dyddiol, yn y rhai mae 279 o blant yn derbyn addysg. Dosparthwyd 221 o ranau o'r Ysgrythyr, ac 8,162 o lyfrau a thraethodau, yn yr ieithoedd brodorawl.

Bellary.—Chwanegodd y moddion brodorawl i 6 ar y Sabbath, a 17 yn yr wythnos, yn Bellary a'r pentrefydd cyfagos. Y nifer mewn cymdeithas eglwysig yw 58. Nifer yr Ysgolion yw 14, yn cynnwys 440 o blant. Mae amryw draethodau a llyfrau wedi eu cyfieithu a'u diwygio, ac argraffwyd yn yspaid y flwyddyn, yn y wasg Genadawl, yn agos i 2,000,000 o du dalenau. Mae Cymdeithas Traethodau Bellary wedi rhoi allan 40,805 o draethodau, yn y frodoriaith a'r Saesoneg.

Bangalore.—Nifer y cymunwyr brodorawl yw 20, a nifer cyfartal y gynnulleidfa yw 100. Mae y gynnulleidfa Saesonig yn 100, ac aelodau yr eglwys ydynt 13. Yn yr Ysgol Westeiawl Ganaraidd, mae 8 o fechgyn a 3 o ferched. Mae yr Ysgolion dyddiol Tamil, Canaraidd, a Saesonig, yn cynnwys yn nghyd, 166 o blant. Dosparthwyd 360 o ranau o'r Ysgrythyr, a 6,890 o draethodau.

Salem.—Nifer cyfartal y gynnulleidfa frodorawl yw 150, a nifer y

* Ar eu mordaith allan.

† Yn awr yn Lloegr.

cymunwyr yw 32. Mae 12 o ysgolion ar waith, yn cynnwys 557 o blant. Dosparthwyd 1,000 o ranau o'r Ysgrythyr, a 6,500 o draethodau.

COMBACONUM.—Parâodd y Cristionogion brodorawl i ddyfod yn gyson i foddion gras; y nifer cyfartal yw 200: mae nifer y cymunwyr brodorawl wedi chwanegi i 25. Nifer y plant brodarawl dan addysg yw, 416. Mae ysgol Saesoneg o 30 o ysgolheigion, wedi ei sefydlu yn ddiweddar yn y rhanfa Genadawl. Mae amryw filoedd o draethodau, a llawer o Efengylau, wedi eu rhoddi allan o'r Drysorfa Llyfrau.

COIMBATOOR.—Yr oedd y gynnulleidfa yn nechreu y flwyddyn yn lliosocach nac unrhyw amser o'r blaen, er iddi leiâu wedi hyny. Cynnwys yr eglwys 13 o aelodau. Cynnwys yr Ysgolion rhwng 600 a 700 o ysgolheigion, ond annwadal y deuant iddynt. Mae ysgolion y merched ar lwydd cynnyddawl. Mae yr athrawon brodorawl yn llafurio gyda diwydrwydd canmoladwy, a hysbysir yr Efengyl i luoedd trwyddynt hwy.

## TRAVANCORE DDEHEUOL.

| GORSAFOEDD. | *Cenadon.* |
|---|---|
| *Nagercoil.* . . | CHARLES MAULT, WILLIAM MILLER, JAMES RUSSELL,* 53 *o Ddarllenwyr Teithiol.* |
| *Neyoor* . . . | CHARLES MEAD, CHARLES MILLER, JOHN ABBS,* ARCHIBALD RAMSAY,* *Cenadwr Meddygol,* J. ASHTON, *Cynnorthwywr,* 150 *o Ddarllenwyr Teithiol ac Ysgolfeistriaid.* |
| *Quilon* . . . | J. C. THOMPSON, J. T. PATTISON,* 14 *o Ddarllenwyr Teithiol.* |
| *Trevandrum* . | JOHN COX.* |

NAGERCOIL.—Nifer y cynnulleidfâoedd yw 55, yn cynnwys 5,423 o bersonau, 1,000 wedi eu chwanegi yn y flwyddyn ddiweddaf. Aelodau eglwysig, 127; ymofynwyr am aelodaeth 26. Parâodd y darllenwyr teithiol i ymddwyn gyda llawer o weddeidd-dra. Nifer yr ysgolion yw 61, yn cynnwys tua 2,800 o blant, mwy o nifer nac unrhyw amser o'r blaen. Mae hefyd 15 o ysgolion merched, yn cynnwys 361 o enethod. Ysgol yr Amddifadion a gynnwys 35 o fechgyn: dosparthau yn y Bibl 401 o rai mewn oed. Rhoddwyd allan o'r wasg Genadawl 117,000 o draethodau, a 9,000 o amrywyol lyfrau addysgiadol.

NEYOOR.—Helaethodd gweithrediadau y Genadeth yn raddol yn yspaid y flwyddyn. Cyn mis Mehefin, 1837, yr oedd 300 o deuluoedd, yn cynnwys mwy na 1,000 o bersonau, wedi ymuno â'r Genadaeth, a chwedi gosod eu hunain dan addysg Cristionogol; ac fel hyn wedi chwanegi y nifer i 6,000. Nifer y llafurwyr brodorawl sydd ar waith yw, tua 150. Mae yr athrofa yn llwyddo, a'r ysgolion merched yn cynnyddu yn gyflym.

QUILON.—Ar y Sabbath cyntaf yn Medi, 4 o Hindooaid ag oedd wedi eu bedyddio o'r blaen, a unwyd yn eglwys; ac yr oedd 9 yn ymofyn am dderbyniad. Dosparthwyd yn y flwyddyn tuag 8,000 o lyfrau Cristionogol; nifer yr ysgolion yw 12, ac yr oedd y cyrchiad iddynt yn amrywio o 200 i 270.

## SIBERIA.

| GORSAFOEDD. | *Cenadon.* |
|---|---|
| *Selinginsk* . . | ROBERT YUILLE. |
| *Khodon* . . . | EDWARD STALLYBRASS. JOHN ABERCROMBIE, *Argraffydd.* |
| *Ona* . . . . | WILLIAM SWAN. |

Symmudodd Mr. Swan i'w hen orsaf gynt ar yr afon Ona, lle mae yn cadw moddion beunyddiol yn y Mongoliaeg. Parêir y moddion Mongoliaidd yn y Khodon hefyd. Mae 17 o blant dan addysg. Mae teimlad o blaid yr Efengyl yn ymdaenu yn ddistaw debygid, yn mhlith y Buriatiaid;

* Ar eu mordaith allan.

a rhai gellir meddwl, wedi derbyn y gwirionedd yn y cariad o hono. Mae yr Ysgrythyrau Buriat-Mongoliaidd wedi eu hargraffu hyd ddiwedd ail lyfr Samuel, ac mae argraffiad newydd o bûm lyfr Moses yn y wasg.

## Y CANOLDIR.

| Gorsaf. | | Cenadwr. |
|---|---|---|
| Corfu . . . | *Corfu* . . . . | Isaac Lowndes. |

Yn Ynysoedd Ionia mae dysgeidiaeth yn cynnyddu yn rymus, ac mae achos crefydd debygid yn gwreiddio, yn enwedig yn Corfu. Sonir am sefydlu athrofa gan y Senedd, yr hon efallai a fydd yn chwanegiad gwerthfawr at y moddion eraill o wneuthur daioni. Mae y Geiriadur Groeg a Saesoneg yn barod i'w gylch-daenu. Yn yr Ysgolion Cenadawl a Lancasteraidd yn nghyd, mae 5,810 o ysgolheigion, yr hyn sy chwanegiad o 681 er y flwyddyn o'r blaen. Darllenir yr Ysgrythyrau yn yr holl ysgolion, ac mae 600 o blant dan addysg Sabbathawl.

## AFRICA DDEHEUOL.

Parâodd heddwch y Drefedigaeth yn ddidòr, ac mae llawer o'r gorsafoedd yn ymadferu yn raddol oddi wrth effeithiau drwg y rhyfel. Tueddodd hir dymmor o sychder i ddigalòni y Cenadon, ond er hyny cawsant eu sirioli âg arwyddion eglur o fendith Duw ar eu llafur; a thrwy yr holl faes hoffuslawn hwn, yn enwedig yn ngwlad Griqua, mae ffrwythau cnydfawr yn addfedu i gynhauaf yr Arglwydd.

## GORSAFOEDD O FEWN Y DREFEDIGAETH.

| Gorsafoedd. | Cenadon. |
|---|---|
| *Tref y Penrhyn* . . | J. Philip, D.D., *Arolygwr*.<br>John Locke.<br>G. Schreiner. |
| *Paarl* . . . . . . . | William Elliott. |
| *Tulbagh* . . . . . | Arie Vos. |
| *Boschesfeld* . . . . | Cornelius Kramer. |
| *Sefydliad Caledon* . . | Henry Helm.<br>D. J. Helm, *Ysgolfeistr*. |
| *Pacaltsdorp* . . . . | William Anderson.<br>John Melvill.<br>T. S. Hood, *Ysgolfeistr*. |
| *Hankey* . . . . . | Edward Williams.<br>William Kelly, *Ysgolfeistr*. |
| *Bethelsdorp* . . . . | James Kitchingman.<br>T. Merrington, *Ysgolfeistr*. |
| *Porthladd Elizabeth* . | Adam Robson. |
| *Uitenhage* . . . . . | J. G. Messer. |
| *Tref Graham* . . . | John Monro. |
| *Graaff Reinet* . . . | A. Van Lingen. |
| *Theopolis* . . . . . | G. Barker, Christopher Sass, T. Edwards, *Ysgolfeistr*. |
| *Afon Kat* . . . . . | J. Read, *Hen.*, J. Read, *Ieu.*, James Clark, *Egwyddorydd*. |

Tref y Penrhyn.—Mae achos crefydd a dysgeidiaeth yn ymehangu yn gyflyn yn y rhan hon o'r Drefedigaeth. Ystyrir yr hwylusderau a roddir drwy *Athrofa Africa Ddeheuol*, fel achos o galondid mawr gyda golwg ar gynnydd y gwaith Cenadol yn Africa. Dilynir yn ddyfal gyda'r ysgol Sabbathawl yn Nhref y Penrhyn, ac mae helaethiad y drefn Brydeinig o addysgu yn cael ei fwriadu. Chwanegwyd 8 o aelodau at yr eglwys, ac mae y gynnulleidfa yn parâu yn dda.

Yn y *Paarl* mae y gras sydd yn dwyn iachawdwriaeth yn cael ei amlygu. Chwanegwyd 6 at yr eglwys, yr hyn a'i gwna yn 88 o nifer. Ysgolion 5 ysgolheigion 344, yn dysgu yn rhagorol. Yn *Tulbagh*, mae arwyddion o foddlonrwydd Duw yn ymddangos. Cynnulleidfa y Sabbath yw 120, ac

mae 6 o aelodau eglwysig. Ysgolion 3, ysgolheigion 152, yn mhlith pa rai mae cynnydd dibaid i'w ganfod. Yn *Sefydliad Caledon*, bu pregethiad yr Efengyl dan fendith. Cynnyddodd yr eglwys Genadol i 60 o aelodau, y rhai mae eu hymddygiad arferedig yn brawf o ddiragrithrwydd eu proffes. Ysgolion 4, gyda 229 o ysgolheigion. Mae y Dosparthau Biblaidd yn galonbair, ac achos cymmedroldeb yn ffynu. Yn *Pacaltsdorp*, bu adfywiad hyfryd ar grefydd, ac mae ffrwythau yr Efengyl yn dechreu ymhelaethu. Mae awydd cryf am addysg yn treiddio drwy y bobl. Mae yr ysgol fabanod, yr hon a gynnwys 160 o blant, yn argoeli yn hyfryd; ac mae yr ysgolion eraill yn fwy-fwy calonogus: Mae 69 o aelodau mewn cymdeithas eglwysig. Dechreuodd Mr. Williams ar ei lafur yn *Hankey:* mae yr orsaf debygid yn adfywio. Mae 16 o ymgeiswyr am fedydd, ac mae Cymdeithas Cymmedroldeb wedi ei ffurfio. Yn *Bethelsdorp* mae mesur o galondid, a thebygid fod calonau rhai wedi eu troi at yr Arglwydd. Cynnwys yr eglwys 116 o aelodau. Yn yr ysgol ddyddiol mae 56 o ysgolheigion; yn yr ysgol fabanod, 70; yn yr ysgol Sul i oedolion, 90. Mae rhai o'r plant wedi gwneuthur cynnydd amlwg. Mae gorsaf *Porthladd Elisabeth* wedi cael ei breintio â thywalltiad helaeth o fendith yr Arglwydd: bu chwanegiad o 7 at yr eglwys, yr hyn a wnaeth y nifer yn 64 o aelodau. Yn yr ysgol ddyddiol, 125; ysgol Sul, 175. Yn *Uitenhage*, bu rhoddiadau helaeth o drugaredd Duw: y nifer mewn cymdeithas eglwysig yw 153; wedi eu chwanegi â dim llai nac 31 o aelodau. Mae achos cymmedroldeb yn ennill tir, ac mae y gynnulleidfa yn llïosogi yn gyflym. Cynnyddodd yr ysgol Sul o 80 i 142. Yn *Nhref Graham*, mae y cynnulleidfâoedd yn fawrion, a chynnwys yr eglwys 106 o aelodau, 10 wedi eu chwanegi. Mae argoel gobeithiol ar yr ysgol ddyddiol. Pennodwyd Cenadwr i *Sefydliad Afon y Pysg*, lle mae ysgolfeistr brodorawl o'r *Afon Kat*, wedi dechreu eisoes ar ei lafur. Yn yr Eglwys Genadol yn *Graaff Reinet* mae 8 o aelodau, ymddygiad y rhai sydd yn tystiolaethu nâ dderbyniasant hwy ras Duw yn ofer; ac mae ysgol Sul wedi ei dechreu gydag argoelion gobeithiol. Yr eglwys yn *Theopolis* a gynnwys 90 o aelodau, cynnydd Cristionogol pa rai sydd yn achos o fawl dïolchgar. Mae y gynnulleidfa yn amrywio o 300 i 350. Yn yr ysgol ddyddiol mae 57 o blant, y rhai a gynnyddant mewn darllen, lawer o honynt. Mae yr ysgol fabanaidd, yr hon a gynnyddodd i 90, yn gyflawn o galondid. Mae y Genadaeth wrth yr *Afon Kat* yn adfywio yn gyflym. Pan ddychwelodd Mr. J. Read yn Mawrth y llynedd, cafodd fod y bobl yn gyffredin, trwy eu hir dymmor o drallod, wedi eu galluogi trwy ras i lynu yn eu proffes. Mae dysgeidiaeth eto mewn llawn arferiad, yr ysgolion wedi amlâu o 9 i 15, a'r ysgolheigion o 400 i 1120.

## GORSAFOEDD TU HWNT I'R DREFEDIGAETH.

| | Gorsafoedd. | Cenadon. |
|---|---|---|
| *Caffraria* | *Afon y Bual* | John Brownlee.<br>J. Tzatzoe, *Cynnorthwywr.* |
| | *Keiskamma* | F. G. Kayser. |
| *Gwlad Griqua* | *Tref Griqua* | Peter Wright.<br>Isaac Hughes. |
| *Gwlad y Llwynwr* | *Philippolis* | Theophilus Atkinson. |
| *Gwlad Bechuana* | *Lattakoo* | Robert Moffat.<br>Robert Hamilton.<br>Rogers Edwards. |
| *Gwlad Namaqua* | *Komaggas* | J. H. Schmelen. |
| | *Steinkopff* | M. Wimmer. |

Caffraria.—Mae y gynnulleidfa yn ngorsaf Keiskamma yn cynnyddu, ac ymddengys fod y bobl yn raddol yn rhoi mwy o wrandawiad i'r Efengyl: sefydlwyd ysgol Sul o 15 o blant. Yn *Afon y Bual*, tywalltodd Duw ei fendith mor helaeth, fel y mae eglwys Gristionogol wedi ei chasglu o

blith y Caffrariaid. Mae yr ysgol fabanaidd yn parâu, ac mae ysgol i oedolion wedi ei dechreu. Mae yr ysgolion Sul, dwy o honynt, yn cynnwys 25 mewn oed a 30 o blant, yn myned rhagddynt yn dda. Yn *Nhref Griqua*, mae yr Arglwydd yn datguddio rhyfeddol nerth ei ras, yn enwedig gyda golwg ar y llwyth Batlapi: yn y flwyddyn ddiweddaf cynnyddodd yr eglwys i 394 o aelodau, gwedi derbyn y chwanegiad gorfoleddus o 248, 185 o ba rai ydynt o blith llwyth y Batlapi. Mae achos calondid o'r mwyaf yn cydfyned â llafur yr efengylwyr brodorawl. Cynnwys yr ysgolion 970 o blant, ac maent mewn agwedd dra llewyrchus. Yn *Philippolis*, ni phregethwyd gair y bywyd yn ofer, ac y mae nifer mawr yn ymofyn am ffordd iachawdwriaeth. Mae yr ysgol Sul i oedolion wedi chwanegi i 150, ysgol ddyddiol 140, ymgeiswyr am fedydd 28, Cymunwyr 35. Yn *Lattakoo*, bu chwanegiad o 20 at yr eglwys, yn gwneyd y cwbl yn 55 o aelodau. Mae cyfnewidiad achubol amlwg yn cymmeryd lle yn mhlith y bobl yn yr orsaf gangenol; ac yn mherthynas i'r llwyth Baclarous, mae yn ymddangos bod eglurâd a nerth yr Ysbryd yn cydfyned â'r ymadrodd am y Groes. Cynnwys yr ysgol ddyddiol 70 o blant, yr ysgol wnïo 50. Mae 4 traethawd newydd, yn nghyd a llawer o lyfrau sillebu a rhanau o'r Ysgrythyr, wedi eu rhoddi allan o'r wasg Genadawl. Yn *Komaggas*, mae adfywiad hyfryd ar grefydd wedi cymmeryd lle; mae y gynnulleidfa agos yn 120 o nifer, ac yn yr eglwys mae 30 o aelodau. Yn yr ysgol ddyddiol mae 115 o blant, ac yn yr ysgol Sul 95 o blant, 45 o oedolion.

## YNYSOEDD AFRICANAIDD.

| | Gorsafoedd. | Cenadon. |
|---|---|---|
| Madagascar | *Tananarivo* | (Gwâg.) |
| Mauritius | *Porthladd Louis* | David Jones, David Johns, Edward Baker, *Argraffydd Cenadol.* |

Madagascar.—Er attaliad y Genadaeth, yn 1835, nid yw gelyniaeth llywodraethwyr y wlad annedwydd hon tuag at y grefydd Gristionogol wedi lleiâu dim. Mae yr hanesion diweddaf yn mynegi bod yr holl wlad yn yr annhrefn, y terfysg, a'r gresyndod mwyaf. Mae tân erledigaeth wedi ei adnewyddu eto, a bu galwad ar y Cristionogion brodorawl i ddyoddef o newydd ei angerdd ffyrnigaf ef. Syrthiodd yn agos i 100 o honynt i ddwylo yr erlidwyr, a darostyngwyd hwy i gaethwasanaeth; a chyhoeddwyd am 15 o'r rhai hyny nad oeddynt i'w gwaredu trwy bryniad. Un, y wraig anrhydeddawl Rafaravavy, a roed i farwolaeth drwy ei thrywanu, ar y 14eg o Awst, 1837. Pa fodd bynag, mae yr amgylchiadau hyn yn ffraethlawn o addewidion, o ran argoelion dyfodawl Madagascar; ac yn ennyn yr hyder siriol, na bydd i'r gwaith a ddechreuwyd felly, ac a seliwyd felly, beidio a myned rhagddo, hyd oni thrôer calonau yr holl bobl hyn at Dduw. Yn Gorphenaf diweddaf, ymwelodd Mr. Johns âg arfordir Madagascar, arosodd yno am gryn amser, a dychwelodd i'r Mauritius yn Medi. Dychwelodd Cenadwyr y Frenines (a fuant yn Lloegr) i Tananarivo. Mae y brodyr, Jones a Johns, un neu bob un o honynt, yn bwriadu ymweled â therfyn y wlad neu â'r brif-ddinas, yn yr haf hwn. Ymddengys bod efallai ddrws agored i waith Cenadawl yn Amddiffynfa St. Dauphin.

Mauritius.—Mae gradd mawr o lwyddiant ar yr ysgol a sefydlwyd yn Mhorthladd Louis, yn benaf i blant Malagasaidd. Chwanegodd nifer y plant i 75. Cedwir moddion yn y Malagasaeg, y Ffrangaeg, a'r Saesoneg, ar y rhai debygid mae arwyddion o fendith yr Arglwydd.

## INDIA'R GORLLEWIN.

Gorfu i'r Gymdeithas ddyoddef amryw golledion athrist yn y rhan hon o'r byd; ond yn nghanol y trallodau hyn caniatâodd yr Arglwydd lawer o arwyddion o'i foddlonrwydd. Mae y bobl dduon yn cynnyddu yn brysur

mewn duwioldeb a gwybodaeth; ac fel mae yr amser yn nesâu pryd y caiff rhai o honynt fwynâu y fendith o ryddid, yr ydys yn gobeithio y bydd ymddygiad pawb yn gyfryw ag a gadarnâ y gair da am iawn-drefn, sobrwydd, ac amynedd, yr hwn a gawsant ac a gadwasant hwy mòr anrhydeddus hyd yn hyn.

Mae yr eglwys a'r gynnulleidfa yn *Nhref George*, Demerara, wedi gwellâu cymmaint mewn amgylchiadau, fel ag i allu rhyddâu y Gymdeithas oddi with bob traul at ei chynnaliaeth hi o hyn allan; gan hyny nid yw Tref George mwyach yn gynnwysedig yn mhlith gorsafoedd y Gymdeithas yn Nhrefedigaeth Demerara.

| | Gorsafoedd. | *Cenadon.* |
|---|---|---|
| Demerara | *Côst Gorllewin* (*Capel Ebenezer*) | James Scott,* S. S. Murkland. |
| | *Camlas, Rhif* 1. | Charles Rattray. |
| | *Montrose.* | C. D. Watt, Thomas Henderson, *Egwyddorydd ac Ysgolfeistr.* |
| Essequibo | *Ynys Leguan* | R. B. Taylor. |
| Berbice | *Amsterdam Newydd* | H. S. Seaborn,* John Morris, *Egwyddorydd ac Ysgolfeistr.* |
| | *Lonsdale* | G. Forward, C. Ferrell, *Athraw Brodorawl.* |
| | *Côst Gorllewin* (*Capel Hanover*) | John Edwards,* A. Jansen and T. Lewis, *Cynnorthwywyr Brodorawl.* |
| | *Capel Fearn* | W. Henery, *Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| | *Blyendaal* | S. Haywood, C. Hædecker, *Cynnorthwywr Brodorawl* |
| | *Dosparth Uchaf* | H. Rose, *Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| | *Côst Corentyne* | D. Kenyon, M. Innes, *Cynnorthwywr Brodorawl.* |
| Jamaica | *Trelawney, Bryn Cyntaf* | John Vine, W. Okell, *Ysgolfeistr ac Egwyddorydd.* |
| | *St. Ann, Porthladd Sych* | W. Alloway. |
| | *Cilfach Runaway, Claremont* | H. Russell, *Ysgolfeistr ac Egwyddorydd.* |
| | *Clarendon, Porus a Mandeville* | W. Slatyer, W. Hillyer, *Egwyddorydd ac Ysgolfeistr.* |
| | *Y Pedwar Llwybr* | W. G. Barrett. |
| | *Chapelton* | R. Jones. |
| | *Kingston* | J. Wooldridge, J. Gibson, *Egwyddorydd ac Ysgolfeistr.* |
| | *Cilfach Morant* | B. Franklin, J. Howell, *Egwyddorydd ac Ysgolfeistr.* |

*Côst Gorllewin*—(*Capel Ebenezer.*)—Cafodd yr eglwys chwanegiad o 22 o aelodau, ac mae y gynnulleidfa yn rhoddi mwyfwy o galondid. Cynnwys yr ysgolion dyddiol tua 185 o blant, ac maent yn cynnyddu yn raddol: ysgol Sul, 300 o ysgolheigion.

*Camlas, Rhif.* 1.—Yn yr orsaf hon agorwyd capel newydd, a ffurfiwyd eglwys o 39 o aelodau. Mae yr ysgolion a'r cynnulleidfâoedd yn chwanegi; cynnwys yr ysgolion tua 120 o ysgolheigion.

*Côst Dwyrain—Montrose.*—Mae gwaith yr Arglwydd yn llwyddo yn helaethlawn yn yr orsaf hon. Cynnyddodd yr eglwys o 368 i 510 o aelodau, ac mae y gynnulleidfa yn gyffredin tua 1400 o nifer. Yn yr ysgol Sul mae 200 o blant.

* Ar eu mordaith allan.

Essequebo.—*Ynys Leguan.*—Mae y gynnulleidfa a'r ysgolion yn cynnyddu yn foddlonawl. Mae tua 124 o rai mewn oed a phlant dan addysg. Ar amryw o'r meddiannau cymmydogawl pregethir yr Efengyl gyda llawer o achos calondid. Mae 8 o ymgeiswyr am aelodaeth eglwysig.

Berbice.—*Amsterdam Newydd.*—Mae y Parch. H. S. Seaborn wedi hwylio i'r orsaf hon i olynu y galaredig Barch. John Wray. Agorwyd ysgoldy newydd yn Ebrill; ac mae amgylchiadau cyffredinol yr orsaf yn gyfryw ag sydd yn galw am gydnabyddiaeth dduwiol a dïolchgar i'r Arglwydd.

*Lonsdale.*—Mae mwy na 300 o bersonau wedi eu chwanegi at y gynnulleidfa, a 43 o aelodau at yr eglwys. Yr ysgolion Sabbathawl a dyddiol a gynnwysant 240 o ysgolheigion, llawer o ba rai a gynnyddant yn rhagorol mewn darllen.

*Côst Gorllewin — Hanover.* — Gwedi symmudiad y Parch. James Howe trwy farwolaeth, cynnaliodd yr Arglwydd ei waith yn rasol yn yr orsaf bwysfawr hon. Mae y gynnulleidfa a'r ysgolion, yn y brif orsaf a'r gorsafoedd cangenol hefyd, mewn agwedd foddâol; a chynnwys yr eglwys 261 o aelodau, wedi cael chwanegiad o 53 yn yspaid y flwyddyn. Mae y Parch. J. Edwards wedi myned allan i gymmeryd gofal yr orsaf hon.

*Rossfield*—(*Capel Fearn.*)—Cynnyddodd yr eglwys o 10 i 45 o aelodau, ac mae y gynnulleidfa i'w chyfrif yn 500. Yn yr ysgolion Sabbathawl a dyddiol mae tua 300 o ysgolheigion, cynnydd pa rai sydd yn rhoi calondid.

*Blyendal, Ardal Canje*—(*Capel Orange.*)—Chwanegwyd 77 o aelodau at yr eglwys; trwy yr hyn chwanegwyd y nifer i 183. Agorwyd dau ysgoldy, yn benaf ar draul y bobl dduon; a defnyddir y rhai hyn hefyd fel llëoedd addoliad.

*Dosparth Uchaf*—(*Capel Brunswick.*)—Rhydd yr orsaf hon galondid dymunol. Cynnyddodd yr eglwys i 38 o aelodau, a chynnwys yr ysgolion tua 275 o blant. Mae cynnydd duwioldeb i'w weled yn amlwg yn y gynnulleidfa, yr hon a gynnwys yn agos i 800 o bobl.

*Côst Corentyne, Planfa Fyrish* — (*Capel Albion.*)—Mae llafur Mr. Kenyon yn mhlith y bobl dduon, yn parâu i fod dan fendith amlwg. Yn Mawrth, 1837, cynnwysai yr eglwys fabanaidd 21 o aelodau. Agorwyd lle addoliad yn mhorthladd Mourant, yr hwn a adeiladwyd gan y bobl dduon. Yn y rhanau pellaf o Gôst Corentyne mae yr awydd mwyaf yn y bobl am foddion gras.

Jamaica.—*Trelawney, Bryn Cyntaf.*—Ni dderbyniwyd hanesion cyflawn o'r orsaf hon. Mae yr ysgoldy newydd bron a'i orphen, ac yn Gorphenaf, 1837, cynnwysai yr ysgol Sul 149 o ysgolheigion.

*St. Ann, Porthladd Sych, a Williamsfield.* — Yr eglwys fabanaidd, a ffurfiwyd yn nechreu 1837, a gynnwys 14 o aelodau, ac y mae amryw yn chwennych cael eu derbyn eto. Mae y cynnulleidfâoedd yn cynnyddu yn gyflym. Mae tua 100 o blant dan addysg, ac mae yr ysgoldy newydd yn mron ei orphen.

*Claremont,* (neu *Dunrobin.*)—Mae yr ysgoldy a'r lle addoliad wedi ei agoryd. Yn yr ysgolion yn nghyd, mae tua 175 o blant, llawer o ba rai ydynt yn cynnyddu yn gyflym mewn dysgu.

*Clarendon—Porus.*—Yma hefyd agorwyd ysgoldy newydd. Yr ysgol ddyddiol a gynnwys 50 o blant. Mae y gynnulleidfa yn lliosog, ac yr ydys yn bwriadu ffurfio eglwys Gristionogol.

*Manchester—Mandeville.*—Mae y gynnulleidfa yn cynnyddu, a nifer cyfartal y rhai a ddeuant i'r ysgol ddyddiol yw 70. Mae y capel newydd a'r ysgoldy bron ar ben.

*Pedwar Llwybr.*—Yn yr orsaf hon mae y gwaith yn hyfrydlawn o

lwyddiannus. Cynnyddodd yr ysgol ddyddiol o 70 i 100 o ysgolheigion, 35 o ba rai a ddarllenant yn y Testament Newydd. Mae tua 100 yn yr ysgol Sul, ac mae y gynnulleidfa yn rhagorol.

*Mynyddau Mocha*—(*gorsaf gangenol.*)—Mae darpariadau yn cael eu gwneyd i sefydlu ysgol, ac i adeiladu lle addoliad, yn y lle hwn.

*Chapelton.*—Pennodwyd y Parch Robert Jones i'r orsaf hon, lle mae yr argoelion o ddefnyddioldeb yn dra dymunol.

KINGSTON.—Agorwyd ysgoldy newydd yn Rhagfyr diweddaf. Mae y cyrchiad i addoliad Duw yn wir galonogus, ac mae eglwys wedi ei ffurfio. Yn yr ysgol ddyddiol mae 110 o ysgolheigion.

*Shortwood*—*Liguanea*—(*gorsaf gangenol.*)—Mae yr argoel o ddaioni yn fawr iawn yn yr orsaf gangenol hon. Mae y gynnulleidfa yn agos i 350 o nifer; agorwyd ysgoldy newydd, ac mae tua 80 o blant dan addysg. Yn Guava Ridge, yn y gymmydogaeth, cynnelir moddion i gynnulleidfa o agos i 150 o bobl.

*Cilfach Morant.*—Mae cynnydd graddol yn weledig yn yr orsaf hon. Mae 10 o aelodau yn yr eglwys. Yr ysgol ddyddiol a Sabbathawl yn nghyd, a gynnwysant tua 253 o ysgolheigion. Mae ysgoldy yn cael ei adeiladu. Mae y Parch. B. Franklin yn olynu y Parch. M. Hodge yn yr orsaf hon.

*Belvidere.*—Mae yr hanesion yn annghyflawn. Mae 7 yn ymofyn am dderbyniad i'r eglwys, ac mae y gynnulleidfa yn cynnyddu.

*Retreat ac East Prospect.*—Yn y gorsofoedd cangenol hyn, cynnelir cyfarfodydd gweddi, ac eglurir yr Ysgrythyrau i'r bobl. Mae 13 o ymofynwyr am bethau crefydd.

---

Yn ngwahanol barthau y byd, perthynol i weithrediadau y Gymdeithas, mae 455 o orsafoedd a gorsafoedd cangenol, 135 o Genadon, 32 o gynnorthwywyr Europaidd a 473 o gynnorthwywyr brodorawl; 93 o eglwysi, 7,347 o gymunwyr; 568 o ysgolion, yn cynnwys 36,947 o ysgolheigion;—yr hyn a wna chwanegiad hysbysedig yn y flwyddyn, o 27 o orsafoedd a gorsafoedd cangenol, 44 o lafurwyr, 9 o eglwysi, 932 o gymunwyr, 52 o ysgolion, a 2,732 o ysgolheigion. Mae hefyd 17 o sefydliadau argraffu, y rhai a fuont agos oll yn llawn ddyfal drwy y flwyddyn ddiweddaf; ac yn enwedig yn Malacca a Bellary, mae gwaith yr argraff wasg yn helaethu yn brysur. Mae 32 o bobl ieuainc yn bresenol yn cael eu darpar trwy ddysgeidiaeth i'r gwaith Cenadawl, dan olygiad y Gymdeithas. Holl dderbyniadau y Gymdeithas y flwyddyn ddiweddaf oedd, *P*70,255; a'i thraul oedd, *P*76,818. 16*s*. 11*c*.; yr hyn oedd *P*6,563. 16*s*. 11*c*. yn fwy nâ'r derbyniadau.

## DIWEDD-GLO.

Cafodd gweithrediadau y Gymdeithas y flwyddyn ddiweddaf eu hynodi â dygwyddiadau heb eu cyffelyb mewn hanesiaeth; rhai o honynt yn anarferol o drallodus a chaled; a rhai eraill yn anghyffredin a siriolaidd. Bu yr holl ddygwyddiadau hyn yn hynod a phwysfawr yn eu heffaith ar achos y Gymdeithas, ac nid ar achos y Gymdeithas hon yn unig, ond hefyd ar achos pob sefydliad cyffelyb iddi,—gan chwanegi ein prawf, bod yr achos Cenadawl yn achos Duw, ac ei fod yn anwahanadwy oddi wrth achosion uwchaf cyfiawnder a dynoliaeth, uniondeb a gwirionedd, yn mhob rhyw barth o'r byd.

Er y caua y Chinâaid ni o hyd allan o'u gwlad, mae bendith Duw ar lafur ein brodyr yn y trefedigaethau cyfagos, y dychweliad yn mhlith y Chinâaid yn Malacca, y nifer o bobl ieuainc crefyddol a hyfforddir yn yr Athrofa i fod yn genadau dros Grist at eu cydwladwyr;—mae y pethau hyn yn brofion

boddâus fod y moddion i efengyleiddio China yn chwanegi, ac yn gwarantu y disgwyliad yr agorir y ffordd cyn bo hir i wneyd defnydd union-gyrchol ac effeithiol o honynt.

Yn yr India, mae adfywiad crefydd ysbrydol yn rhai o'r gorsafoedd mwyaf pwysfawr, yr ymdriniadau mynychach am deilyngdod yr Efengyl gan y brodorion eu hunain, y nifer o frodorion ieuainc o dduwioldeb a dawn sydd yn awr dan addysg, gyda golwg ar fod yn efengylwyr neu fugeiliaid eglwysi brodorawl; y chwanegiad yn mhlith ein cydwladwyr ein hunain o rai yn caru ac yn anrhydeddu y Dwyfol Waredwr, a'u haeledd rhwyddfryd i gynnal yr achos Cenadol;—mae hyn oll yn datguddio trefniadau Duw, yr hwn sy ryfedd yn ei gynghor, ac ardderchog yn ei waith, ac sydd fel hyn yn parotôi y ffordd i ddychwelyd yr India i ufudd-dod y ffydd.

Y tywyllwch a ymdaenai dros Madagascar ar ein cylchwyl y llynedd, mae yn aros o hyd, a'r ystorm oedd yn casglu y pryd hwnw a dòrodd allan, gyda ffyrnigrwydd ofnadwy, ar benau y fintai ffyddlawn ond dïamddiffyn, o Gristionogion brodorawl yno. Galwyd ni i gydymdeimlo â'r rhai, o herwydd enw Crist, a ddyoddefasant garchariad a rhwymau, gweuryddiaeth (*slavery*) a merthyrdod. Yr ydym yn disgwyl gyda mawr bryder am hanesion chwanegol, am yr ofnwn y bu yno erledigaethau chwanegol; ond ni dderbyniwyd dim hanesion pennodol o Madagascar, wedi yr hanes a ddaeth am ferthyrdod y wraig anrhydeddus hòno, Rafaravavy; yr hon ei hun, yn nghanol erlidwyr creulawn a chynddeiriog, hyd oni thrywanwyd hi â gwayw-ffon y dïenyddwr, a ddangosodd gadernid dïysgog, yn nghyd ag ysbryd addfwyn a maddeugar, a thosturi calon hefyd dros eneidiau ei dinystrwyr, o'r fath a ddangoswyd gan yr hen ferthyron a phroffeswyr y wir eglwys gynt, ac a ddangoswyd gyntaf ganddo Ef yr hwn, pan mewn llafur enaid, a weddïodd dros ei leiddiaid, "O Dad, maddau iddynt, canys ni wyddant beth maent yn ei wneuthur."

Mae y dygwyddiadau yn Madagascar, yn gystal ag mewn parthau eraill o'r byd, yn profi bod y nerth dwyfol ag oedd yn cydfyned â'r Efengyl yn yr hen oesoedd, o hyd yn ei rym; a bod Ysbryd Duw yn gweithredu trwy y moddion a ddefnyddiwn ni yn awr, i daenu yr Efengyl hòno. Gan ymddybynu ar ei ddylanwadau Dwyfol ef, dymunem weddïo yn dduwiolfryd, ar fod yn cydfyned â dychweliad ysbryd merthyrdod i'r eglwys, yn ein dyddiau presenol ni, yr ysbrydolrwydd meddwl hwnw, y cariad sanctaidd a brawdol, y gwresawgrwydd diflino, y gofal prif a dibaid am ogoniant Duw ac iachawdwriaeth eneidiau, a hynododd oes y merthyron yn wastad erioed; ar fod i'r Arglwydd ateb gweddi olaf y ferthyres, troi calonau ei herlidwyr, a phrysuro yr amser, nid ar Madagascar yn unig, ond hefyd yn mhob parth o'r byd, pryd y cyflawnir y gair hwnw a ddywed, "Ni ddrygant ac ni ddyfethant yn holl fynydd fy sancteiddrwydd; canys y ddaear a fydd llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megys y mae y dyfroedd yn tôi y môr."

i'r Cyfarwyddwyr mai y ffordd oreu i lesâu y Gymdeithas, ac arbed ei thrysorau yn fwyaf effeithiol, a fyddai drwy adeiladu ty yn y fàn hon.

Sicrâwyd y tir wrth ardreth resymol, am 90 o flynyddoedd. Aethpwyd i ammodau am gyflawniad yr adeiladaeth am y swm o 3,080 o bunnau; yr hyn swm, pe telid y cyfan oll gan y Gymdeithas, dangosai y gwahaniaeth rhwng llôg y swm uchod a'r hyn a delid o'r blaen yn ardreth ac am ystorle, fod arbediad o 100 punt yn y flwyddyn wedi ei wneyd i'r Gymdeithas: ond yn y driniaeth gynnil a chyfiawn hyny o arian a ymddiriedwyd ac a ymddiriedir iddynt, yr hyn mae y Cyfarwyddwyr bob amser yn ymdrechu ato, maent yn gobeithio talu holl gostiau yr adeilad bresenol, yn nghyd â'i dodrefniad angenrheidiol, trwy gyfraniadau neillduol at hyny; ac felly gadael swm chwanegol o 220 punt at achosion cyffredin y Gymdeithas, y swm a delid hyd yn hyn yn ardreth ac am ystorle; yr hyn a alluoga y Gymdeithas i gynnal dau genadwr chwanegol, mewn gorsafoedd na byddont fwy costus na'r rhai yn Africa Ddeheuol, neu dri yn Ynysoedd Môr y Dê. Tuag at y swm gofynol, mae 2,452*p*. 13*s*. 6*c*. wedi eu cyfranu eisioes; a gobeithia y Cyfarwyddwyr y gellir, trwy ymdrechiadau chwanegol, at ba rai mae trefniadau ar droed eisioes, gael y gweddill i mewn yn ddïoed, trwy haelioni ewyllyswyr da y Gymdeithas.

Gellir ffurfio rhyw syniad o rawd blaenorol, a helaethder presenol gweithrediadau y Gymdeithas, oddiwrth y pigion a ganlyn o'r Adroddiad a draddodwyd yn Nghyfarfod Blynyddol diweddaf y Gymdeithas, yn Mai, 1835.

Yn amser ffurfiad y Gymdeithas, 40 mlynedd yn ol cymhwys yn awr, yr oedd Ynysoedd Moroedd y Dè wedi eu darganfod, wedi ymweled â hwynt, eu chwilio, a'u rhoddi i fynu, fel mànau nad oeddynt yn werth gwneyd chwaneg o sylw o honynt. Yr oedd eu trigolion wedi soddi byth yn iselach mewn gresyndod, trwy gyfeillachu â dieithriaid; a chwedi eu gadael yn ysglyfaeth i'r eilun-addoliaeth llofruddiog oedd yn eu hysgubo hwy yn gyflym iawn oddi ar wyneb y ddaear. Atynt hwy yn gyntaf, fel y crybwyllwyd eisioes, y cyfeiriwyd sylw ein tadau parchedig yn yr achos hwn; a dechreuwyd cenadaeth atynt dàn argoelion daionus. Ond amryw anffodion ol-yn-ol a ganlynasant; collodd rhai o'r cenadon eu bywydau ar y maes; yn 1809, cawsant oll, ond dau, eu gyru ymaith, ac ymddangosai llwyddiant yn beth anobeithiol. Yn 1811, dychwelodd y Cenadau yno; gwènodd yr Arglwydd ar eu hymdrechiadau, a dymchwelwyd eilunaddoliaeth; darfu lladd plant, ac aberthu dynion; cynnyddodd dysgeidiaeth, tyrodd dychweledigion o amgylch y Cenadau; casglwyd eglwysi, ffurfiwyd Cymdeithasau Cenadol, a danfonwyd athrawon brodorawl allan. Yn awr, gan fod y bobl yn cyfodi yn gyflym yn nghlorian cenedloedd, mae ganddynt, drwy fendith Duw ar lafur y Cenadon, iaith ysgrifenedig, argraff-wasg rydd, llywodraeth gynnrychiadol, llysoedd cyfiawnder, cyfreithiau ysgrifendedig, celfyddydau defnyddiol, a chyfoeth cynnyddol. Mae llynges fabanaidd yn cyfodi ar eu harfordiroedd, mae anturiaethau masnachol yn chwanegi diwydrwydd a golud, ac mae mesur o gysuron teuluaidd, anadnabyddus i'w hynafiaid hwynt, yn awr yn ymledu yn eu trigfanau. Heblaw y pethau hyn a bendithion eraill y bywyd presenol, mae lluoedd wedi derbyn gras Duw mewn gwirionedd, llaweroedd wedi myned i wlad y tragywyddol ddedwyddwch, ac eraill yn rhodio yn nghymdeithas a sancteiddrwydd yr Efengyl, fel etifeddion anfarwoldeb. Ganwyd cenedl ar unwaith; mae cenedloedd oddi amgylch yn cael eu bendithio drwy eu trugaredd hwy; ac, yn ol yr hanesion diweddaf, ni bu yr argoelion o ddefnyddioldeb, yn enwedig yn mhlith Ynysoedd y Mordwywyr, erioed mòr galonogus ag ydynt yn bresenol. Er y flwyddyn 1817, bu yr argraff-wasg ar waith; ac, yn mhlith pobl heb iaith ysgrifenedig o'r blaen, mae 105,400 o eiluniau (*copies*) o ranau o'r Ysgrythyrau, a llyfrau Cristionogol, wedi eu taenu yn mhlith y trigolion.

Wyth mlynedd ar hugain yn ol, nid oedd yr un Cenadwr Protestanaidd wedi cynnyg dychwelyd China. Mae sylfaenydd y Genadaeth hon wedi gorphwys oddi wrth ei lafur, ond mae ei olynwyr yn llenwi gorsafoedd o bwys ar y terfynau, ac yn gweithredu gyda grym chwanegol ar ei thrigolion aneirif hi. Mae y wasg yn Batavia yn troi allan fyrddiwn o du dalenau bob blwyddyn, heblaw yr hyn a argreffir mewn gorsafoedd eraill; ac er bod yn Malacca 12 o ddynion ar waith yn argraffu yn wastadol, mae y galw o hyd yn fwy nag a ellir ei ddiwallu. Ond yma cynnydd gwybodaeth, a gwelliant mewn celfyddyd, a gyd-weithredant i brysuro buddugoliaethau y groes. Mae defnyddio grym agerdd i argraffu, wedi rhoi modd i lïosogi llyfrau gyda hwylusder anadnabyddus yn yr holl oesoedd a aethant heibio; ac yr ydys yn gobeithio y defnyddir y moddion hyn yn fuan, yn llawer mwy nac y gwnaed eto, er taeniad yr Efengyl. Mae y Cyfarwyddwyr yn bwriadu dechreu defnyddio y moddion hyn, trwy sefydlu agerddwasg mòr agos i China ag y gallont, i argraffu yr Ysgrythyrau a llyfrau Cristionogol eraill, yn benaf yn y Chinaeg.

Yn 1798, dechreuodd y Gymdeithas ei gweithrediadau yn Bengal; ac yn 1805, danfonodd ei chenadon cyntaf i Madras. Y brodyr hyn, gyda rhag-filwyr eraill o Genadaethau diweddar i'r Dwyrain, gorfu ar-

nynt ymwrthladd âg anhawsderau anadnabyddus yn yr amser presenol. Ond canlynwyd trefniadau mwy anrhydeddus wedi hyny gan y Llywodraeth, a'r awdurdod oedd unwaith yn gwarafun, mae yn awr yn amddiffyn, y Cenadwr; yn rhoddi mynediad iddo i bob gwlad a gydnebydd lywodraeth Prydain, ac sydd yn ddarostyngedig i'w hawdurdod hi; a gâd ef, heb ymyraeth nac attaliad, i ganlyn ei alwedigaeth sanctaidd. Yn India ei hunan mae cyfnewidiad mawr a grymus wedi dechreu yn meddwl a theimlad y brodorion, mewn perthynas i eilun-addoliaeth. Tybid gynt fod ymlyniad y brodorion wrth eu hofer-goelion yn anorchfygadwy; ond mae amser wedi dangos fod y dyb hòno yn ddisail; a gwelwyd yn amlwg, tu hwnt i bob dadl, fod yn bosibl dymchwelyd Hindooaeth, a dwyn i mewn y grefydd Gristionogol; tra mae y moddion i daenu yr Efengyl yn amlâu ar ar bob tu.

Heblaw 18 mlynedd o lafur yn Madagascar, mae y Gymdeithas wedi llafurio er lles Africa Ddeheuol. Gydag un cyfaill, dechreuodd Dr. Vanderkemp, rhag-lafurwr ein gweithrediadau yn Africa, ar ei ymdrechiadau yn Caffraria 32 o flynyddoedd yn ol; yn awr, heblaw Cenadon Cyndeithasau eraill, o Loegr, Germany, a Frainc, mae 34 o'n brodyr ymroddgar, a 10 o Gynnorthwywyr Brodorawl, ar y maes yno. Gwaredwyd llwythau cyfain rhag cael eu llwyr ddiwreiddio, cydnabyddwyd a diogelwyd iddynt eu hiawnderau, mae bywiogrwydd siriol trefydd a phentrefydd cynnyddol i'w weled, lle yr oedd y diffaethwch gynt yn taenu ei anghyfanedd-dra unigawl; mae crwydriaid y goedwig wedi ymuno yn gymdeithasau trefnus, gan sefyll mewn perthynas a chyngrair anrhydeddus â'r genedl Brydeinig; tra yr ydys wedi cyrhaedd amcanion uwch a mwy ardderchog, dygwyd gwybodaeth ar lythyrenau i'w plith, mae y wasg wedi dechreu ar ei llafur goleu-daenawl, mae dysgeidiaeth Gristionogol yn ymhelaethu, ac mae y llwythau brodorawl yn darllen Ysgrythyrau y gwirionedd yn eu hiaith eu hunain; pregethir yr Efengyl, cesglir eglwysi, ac mae y diffaethwch moesol yn myned fel gardd yr Arglwydd. Ac nid y pethau uchod yw yr unig fendithion a gafodd hil Africa, yn yspaid yr amser dàn sylw: mae y gaeth-fasnach, a chaeth-wasanaeth ei hun, wedi eu diddymu: mae deiliaid Coron Prydain, yn y Trefedigaethau yn gystal ag yn y fam-wlad, yn rhyddion; ac mae y mesur o ryddid a fwynânt wedi cael ei ddefnyddio gan luoedd o honynt, nid i ddwyn yn mlaen derfysg a drygau, ond fel moddion i geisio rhyddid mwy gogoneddus Efengyl Crist.

Nid oedd y Gymdeithas hon yn mhlith y llafurwyr boreuaf yn y maes pwysfawr hwn; ond cafodd yr anrhydedd, yn yr 28 mlynedd diweddaf, o gymmeryd rhan ostyngedig yn y dosparth hyn o ddyngarwch Cristionogol, i ysgafnâu chwerwder caethwasanaeth, ac arwain y caethion truain at yr unig feddyginiaeth i'w hannedwyddwch gresyn.

Yn y maes hwn, maes o ddorfod poenus am yn hir, dyoddefodd y Gymdeithas rai o'i phrofedigaethau llymaf, tra y casglodd rai o'i ffwythau melusaf. Mewn un rhyw ran o'r byd ni chaniatâodd Pen mawr yr Eglwys helaethach mesur o lwyddiant; nid oes yn mhlith neb pobl dàn y nefoedd argoelion mwy gobeithiol a dysglaer, ac oddi wrth neb math o ddychweledigion, ni chafodd y Gymdeithas gyd-weithwyr mwy calonog ac effeithiol, na'r trigolion sydd yn awr yn rhyddion yn y Trefedigaethau Prydeinig. Am lawer o flynyddoedd nid oedd gan y Gymdeithas ond dau neu dri o lafurwyr yn yr India Orllewinol; mae ganddi yn awr 20 o Genadon yno, a byddai yn dda ganddi chwanegi y nifer hyd yr helaethrwydd angenrheidiol, os tuedda yr Arglwydd galonau ei weision i fyned i'r maes hwnw.

Gyda gostyngedig barch a gwylder, dymuna y Cyfarwyddwyr ystyried yr holl ddaioni a wnaed fel dangosiad o fys Duw; a thra y chwennychant ganlyn ar y gwaith sydd o'u blaen wedi ymnerthu yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef; wrth gydnabod y drugaredd a hynododd yr hyn a aeth heibio, dymunant lefain allan yn dduwiol,—"Bendigedig wyt ti, Arglwydd Dduw Israel, ein Tad ni, o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb. I ti, Arglwydd, y mae mawredd, a gallu, a gogoniant, a goruchafiaeth, a harddwch. Ac yn awr, ein Duw ni, yr ydym yn dy foliannu, ac yn clodfori dy enw gogoneddus!" Amen.

Dan ddwfn deimlad o'u hollol ymddybyniad ar gymmorth a bendith y Goruchaf Dduw, yn mhob rhan o'r gwaith chwanegol a phwysig sydd ganddynt, dymuna y Cyfarwyddwyr gymmeryd y cyfle presenol i wahodd cyd-weithrediad calonog, cynnorthwy haelionus, a gweddïau taerion a pharâus, ewyllyswyr da y gwaith Cenadawl drwy yr holl wlad: am i ddoethineb dwyfol gyfarwyddo a llywodraethu eu holl weithrediadau; am i zel a chariad sanctaidd ennyn nifer chwanegol, i gynnorthwyo yn y gwaith o eglurâu arogledd gwybodaeth Crist trwy yr holl fyd; ac am i fesur chwanegol o lwyddiant, drwy fendith Duw, gydfyned o hyd â llafur y rhai sydd yn awr ar waith, yn cyfarwyddo cenedloedd y ddaear at Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd.

---

*Argraffedig gan W. Tyler, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

RHIF. XIV. MEDI, 1835.

CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.

## Y BLWCH CENADAWL.



Y Weddw dlawd yn bwrw ei dwy hatling i'r Drysorfa—yn cael ei chanmol gan ein Harglwydd. Matt. xii. 41—44.

PAN oedd Joas yn frenin Judah, yr oedd Teml Dduw yn Jerusalem, yr hon a gawsai ei hir esgeuluso a'i halogi, yn sefyll mewn angen o adgyweiriad trwyadl; ac i ddwyn y draul o hyn, gorchymynodd y brenin i'r offeiriaid ymweled â holl ddinasoedd Judah, a gwneuthur casgliadau yn mhlith y bobl. Ond, trwy ryw foddion a'u gilydd, ni lwyddodd y peth; ni chasglwyd digon o arian, ac nid adgyweiriwyd y deml. Y brenin, yr hwn oedd wedi cyfiawn anfoddloni, a ymosododd ar ddyfais arall. Wrth ei orchymyn ef, *Jehoiada yr offeiriad a gymmerth gist, ac a dyllodd dwll yn ei chaead, ac a'i gosododd hi o'r tu dehau i'r allor, ffordd y deuai un i mewn i dy yr Arglwydd.* Llwyddodd y ddyfais hon. *Yr holl dywysogion a'r holl bobl a lawenychasant, ac a ddygasant, ac a fwriasant i'r gist. Felly y gwnaethant o ddydd i ddydd, a chasglasant arian lawer. A bu, pan welsant fod llawer o arian, ddyfod o ysgrifenydd y brenin, a swyddog yr arch-offeiriad, a thywallt y gist, a'i chymmeryd hi, a'i dwyn drachefn i'w lle eî hun. A'r brenin Jehoiada a'i rhoddodd i'r rhai oedd yn gweithio gwasanaeth ty yr Arglwydd.*—Gwel 2 Bren. xii. ac 2 Cron. xxiv.

Mae yn ymdangos i'r drefn lwyddiannus hon o gasglu offrymau gwirfodd dynion duwiol, y rhai a fynych gyrchent i dy yr Arglwydd, barâu yn mhlith

yr Iuddewon mewn oesoedd wedi hynny, ac i'r drefn gael ei mabwysiadu hefyd gan Gristionogion; ac, hyd y dydd heddyw, ni a welwn mewn llawer o'n heglwysi plwyfol, yn gystal ag ysbyttai, clafdai, a thyau elusengar eraill, flychau, a thyllau yn eu caeadau, i dderbyn rhoddion gwirfoddol: ac yn yr Alban a'r Iwerddon, yr ydys yn cael y rhan fwyaf o'r ddarpariaeth a wneir i'r tlodion, oddiwrth roddion a wneir gan y bobl wrth fyned i mewn i'w gwahanol leoedd o addoliad.

At yr arferiad o ollwng darn o arian i syrthio i'r gist, yr hon oedd ar y llaw ddehau i ddynion pan elent i mewn i'r deml, mae ein Harglwydd yn cyfeirio, efallai, pan mae yn dywedyd (Matt. vi. 3) "Na wyped dy law aswy pa beth a wna dy law ddehau;" hyny yw, na fydded dim balch-ddangosiad, dim gwag-rhodres, wrth offrymu rhoddion o elusen.

Ac eto, pan oedd y weddw dlawd, am yr hon y darllenwn yn Marc. xii. 42, yn bwrw ei *dwy hatling*, yr hyn yw *ffyrling*, i'r drysorfa (y gist uchod efallai, mewn defnydd hyd amser ein Hiachawdwr), nis gallai hi ddianc rhag ei sylw Ef, yr hwn mae ei "lygaid fel fflàm dân," ac yr hwn a sylwodd gyda chymmeradwyaeth ar haeledd ei rhodd hi: oblegid, ebai efe, "Yr wir yr wyf yn dywedyd i chwi, fwrw o'r wraig weddw dlawd hon fwy na'r rhai oll a fwriasant i'r drysorfa; canys *hwynt-hwy*" (sef y cyfoethogion, rhoddion y rhai y sylwasai efe arnynt hefyd) "a fwriasant o'r hyn oedd yn weddill ganddynt; ond *hon*, o'i heisiau, a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddai, sef ei holl fywyd."

Gellir sylwi oddiwrth yr amgylchiad hwn, bod yr Arglwydd Iesu Grist a'i lygad ar bawb ag sydd yn dwyn eu rhoddion i'r drysorfa sanctaidd; ac mae efe yn sylwi i ba radd y maent hwy yn ewyllysgar, *yn ol eu gallu*, i gyfranu er gogoniant i Dduw, ac er daioni i ddynion. Ac mae yr amgylchiad uchod yn rhoddi calondid neillduol i dlodion y praidd, i gyflwyno eu hoffrymau bychain, am y cydnabydda Arglwydd pawb yr elusen ardderchocaf, hyd yn nod yn y rhodd leiaf; oblegid lle bynag y byddo "parodrwydd meddwl, yn ol yr hyn sydd gan un y mae yn gymmeradwy, nid yn ol yr hyn nid oes ganddo."—2 Cor. viii. 12.

Yn mhlith y mawr amrywiaeth o elusenau sydd yn gofyn ac yn cael rhan o ystyriaeth haelionus Cristionogion Prydain, mae yn amhosibl bod un yn fwy na'r hon a gynnygir gan Gymdeithasau Cenadawl. Yn ol cymmaint ag mae dedwyddwch yr enaid anfarwol o fwy canlyniad na lles y corph a fydd marw, a phethau pwysig tragywyddoldeb didranc byth yn fwy na phethau mynyd awr; felly mae y dybenion a amcenir gan y Gymdeithas Genadol yn annhraethol ragori ar bob amcanion eraill, pa mòr ddaionus a chanmoladwy bynag y byddont. Mae gwerth un enaid anfarwol tu hwnt i bob cyfrifiad dynol; pa beth gan hyny yw gwerth *chwech càn mil-fil* o eneidiau dynol, wedi eu gorchuddio a'u dyrysu yn holl dywyllwch paganiaeth, "heb Grist, heb obaith, ac heb Dduw yn y byd;" yn gaethion i goel-grefyddau diraddiedig, eilun-addoliaethau ffiaidd, i greulonderau dychrynllyd, ac i bechodau gwaradwyddus; yn ymddifad o'r holl foddion o ras sydd mòr gyflawn mewn gwledydd Cristionogol; heb Sabbath, heb Fibl, na Gweinidog yr Efengyl i'w phregethu!

Rhaid yr ymddengys yn sicr, i bob Cristion, ei bod yn ddyledswydd o'r gradd a'r angenrheidrwydd mwyaf, i geisio iachawdwriaeth y myrddiynau dirifedi hyny, o ba rai y mae ugain mil-fil, efallai, yn myned i dragywyddoldeb bob blwyddyn; i ddanfon iddynt yr Efengyl ogoneddus hòno, yr hon a'n bendithiodd ni â goleuni, tangnefedd, cariad, a gobaith; ac yr hon yw offeryn trefniedig Duw "i agoryd eu llygaid hwynt, ac i'w troi hwy o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw." Gwneuthur hyn, yn ddiammau, sydd amcan teilwng o'r ymdrechiadau mwyaf gorchestol, ac o'r aberthau mwyaf costus a drudfawr.

I'r perwyl mawr ac ardderchog hyn, mae rhoddion haelfawr wedi cael eu cyflwyno gan y cyfoethogion; gwnaed cyfraniadau helaeth yn flynyddol gan y rhai canol-radd; ffurfiwyd cymdeithasau cynnorthwyol gan ddynion, benywaid, a phobl ieuainc; ac, er mawr anrhydedd y tlodion, cafwyd cyfraniadau o *geiniog yr wythnos* allan o'u cyflogau prinion hwy.

Er cynnorthwy i'r achos hwn, rhoddwyd *Blychau Cenadawl* hefyd o fewn i ddrysau llawer o'n lleoedd addoliad; a chafwyd ynddynt symiau pell iawn o fod yn ddiystyr. Ni fwriedir hwy yn lle, nac i adael heibio, y cyfraniadau mwy neu lai a wnaed eisioes, ond i fod yn *chwanegol* at y rhai hynny; pethau ydynt i gasglu "y briwysion" o elusengarwch Cristionogol, "fel na choller dim." Gellir eu rhoddi i gyfaill, neu gymmydog, a chwennycho fod yn ddefnyddiol; neu i wasanaeth-ddynion i'r gegin: neu i blant, y rhai a foddêir â'r swyddogaeth fechan hon a'u galluoga i wneyd daioni, ac a'u hyffordda i weithredoedd mwy o gymmwynasgarwch; gellir eu gosod mewn ystafelloedd neu dai lle cynnelir cyfarfodydd gweddi, mewn ysgolion, parlorau, gweithdai, &c. &c.; ac fel hyn gellir casglu llawer iawn o symiau bychain, y cyfan o ba rai, yn ystod blwyddyn, a ddichon roddi cymmorth mawr a sylweddol i'r Fam Gymdeithas, heb ddim lleiâd teimladwy ar feddiannau na chysur neb.

Gellir cael y blychau hyn *yn rhâd* yn y Ty Cenadawl, *Austin Friars*, Llundain, gan bwy bynag a gymmeront arnynt gasglu â hwynt, i *unrhyw Gymdeithas Gynnorthwyol* perthynol i *Gymdeithas Genadawl Llundain*, mewn tref neu wlad; ac iddynt dalu yr hyn a dderbyniont i Drysorydd neu Ysgrifenydd y Gymdeithas y perthynont iddi.

---

*Nifer y Gorsafoedd, a'r Cangen-orsafoedd Cenadawl, a berthyn i Gymdeithas Genadawl Llundain, mewn gwahanol barthau o'r byd; Cenadon yn llafurio yn yr unrhyw. &c. &c.*

| | Gorsafoedd a Changen-orsafoedd. | Cenadon. | Athrawon Brodorawl, &c. |
|---|---|---|---|
| MOROEDD Y DE | 38 | 15 | 72 |
| TROS Y GANGES | 5 | 5 | 4 |
| INDIA'R DWYRAIN | 163 | 32 | 114 |
| RUSSIA | 3 | 5 | 2 |
| MÔR CANOLDIR | 2 | 2 | — |
| AFFRICA DDEHEUOL | 26 | 24 | 22 |
| YNYSOEDD AFFRICANAIDD | 5 | 4 | 3 |
| INDIA'R GORLLEWIN | 14 | 15 | 3 |
| | 258 | 102 | 220 |

yn gwneuthur, gyda thros 480 o Ysgolfeistriaid a Chynnorthwywyr, fwy nac 800 o bersonau, yn ymddybynu yn fwy neu lai ar y Gymdeithas, heblaw teuluoedd amryw o'r rhai hyny.

Danfonodd y Gymdeithas allan 17 o Genadau y flwyddyn ddiweddaf, yn benaf i India y Dwyrain ac India y Gorllewin. Nifer yr Eglwysi yw 84, y Cymunwyr 5208; nifer yr Ysgolion yw 478, yr Ysgolheigion 26,960.

Rhaid chwanegi hefyd, fod Cenadon y Gymdeithas, bron yn mhob rhan o'r byd, yn galw yn uchel iawn am ychwaneg o weithwyr; a bod drysau newyddion, a gobeithiol am lwyddiant, yn ymagor yn fynych yn mhlith y paganiaid; ond rhai y rhaid ymwrthod â hwynt yn hollawl, oddigerth trwy haelioni chwanegol y crefyddwyr yn gyffredin, y bydd i drysorau y Gymdeithas gynnyddu llawer iawn.

## DEDDFAU CREULAWN YN MHLITH Y CAFFRARIAID.

*Rhan o Lythyr oddi wrth* J. H. Tredgold, *Ysw.—Ionawr* 13, 1835.

"Yn yr amrywiol orsafoedd Cenadawl y cefais i gyfle i ymweled â hwynt yn Caffraria, yr oedd yn amlwg fod effaith distaw ond gorchfygol gwirionedd yr Efengyl yn gwaredu llawer o'r trigolion, yn y wlad brydferth hòno, oddi wrth arglwyddiaeth ofer-goelion deillion a chreulawn. Yr oedd eu cred mewn rheibiaeth yn ymollwng yn amlwg mewn amryw amgylchiadau; a lle mae arteithiau yn cael eu rhoddi ar ddynion a gyhuddir o'r beïau dychymygol hyny, mae teimlad o gywilydd yn cael ei ddangos, ac ymgais yn cael ei wneyd yn aml, i gadw eu gweithrediadau ar y cyfryw achlysuron oddi wrth wybodaeth y Cenadwr. Rhoes un o'r Cenadwyr i mi yr hanes a ganlyn o olygfa ddychrynllyd o'r fath a soniwyd, yr hon a welodd efe ychydig amser cyn i ni ddyfod i wlad Caffraria. Mewn pentref *(kraal)* ychydig bellder o'i breswylfa ef, yr oedd dau blentyn wedi meirw ar ol salwch byr ond cyffredin; ond tybid iddynt gael eu lladd trwy reibiaeth. Chwiliwyd i'r mater yn y modd arferol, trwy gyflawni rhyw ddefodau pennodol; a phenderfynodd swynwraig Gaffrariaidd mai ewythr i'r plant (dyn o tua 40 oed) a'u lladdodd hwy trwy reibiaeth; ac yn y fàn cafodd ei ddàl, ei rwymo, a'i guro yn ddidrugaredd. Wedi hyny taflwyd ef ar y ddaear, a rhwymwyd ef â chàreïau o amgylch ei figyrnau, ei arddyrnau, a'i wddf; a chwedi estyn ei aelodau, ac â'i wyneb i fynu, sicrâwyd ef wrth y ddaear, gan ei osod yn agored i belydr angerddol haul llosgedig. Gwnaed tân deifiawl wrth ei draed ef, a rhoddid cèrig mawrion wedi eu poethi ynddo wrth amrywiol ranau o'i gorph ef. Yn yr agwedd hon y cafwyd ef pan ddaeth y Cenadwr daionus i'r lle; yr hwn, can gynted ag y clywodd, a neidiodd ar ei farch, ac a garlàmodd i'r fàn, gan obeithio eiriol gyda'r dyrfa gynnulledig, a chael lleiäu peth ar arteithiau y crëadur poenedig; ond ni bu ei erfyniadau ef o ddim llesâd. Chwanegwyd arteithiau y dyoddefydd digymmorth trwy dywallt ar hyd ei gorph ef nythaid o forgrug duon mawrion, cnöadau pa rai a deimlir yn ddychrynllyd o boenus; a phan nesâodd y Cenadwr, trwy gymhelliad teimladau o dosturi, i'w tarfu hwynt ymaith, gorchymynwyd iddo yn haerllug na wnelai, ac nad ymyrai ddim yn chwaneg. Parâwyd yr arteithiau ofnadwy hyn o'r boreu yn gynnar hyd yn agos i ostwng haul yn yr hwyr; pryd y rhyddâwyd y dyn truenus, ac y caniatâwyd iddo ymlusgo ymaith gyda'r gweddill bychan o fywyd oedd ganddo; ond rhyddâwyd ef o'i boenau gan angau ddau ddiwrnod wedi hynny.

"Y troion dychrynllyd hyn o greulondeb ofer-goelus, nid ydynt mewn un modd yn anfynych yn y wlad hòno: yr oedd y crëadur tlawd hwn, fel mae yn hawdd meddwl, yn hollawl ddïeuog o'r bai a roddid yn ei erbyn; ond mae y pethau hyn, yn nghyd â llawer o'u cyffelyb, yn peri i ni gredu gwirionedd tystiolaeth yr Ysgrythyr, fod "tywyll-leoedd y ddaear yn llawn o drigfanau trawsder." Ac onid yw amgylchiadau o'r fath hyn yn galw yn uchel iawn am ymdrechiadau egnïol, amynedd diflino, a gweddïau dibaid eglwysi a dynion Cristionogol, o blaid taeniad goleu bendigedig yr Efengyl yn mhlith y bobl hyn, i'w gwared hynt o'u tywyllwch a'u hudoliaethau paganaidd a chenedlig; y rhai, oddigerth hynny, ydynt ddynion nodedig a hoff."

Mewn rhan arall o'i lythyr, mae y Boneddig uchod yn sylwi fel y canlyn ar

*Gynnydd Dysgeidiaeth.*

"Mae yr ysgolion yn yr holl orsafoedd a grybwyllwyd mewn agwedd galonogus iawn, a llawer o fechgyn a merched yn dyfod iddynt, amryw o ba rai sydd yn cynnyddu yn rhagorol mewn darllen, ysgrifenu, a rhifyddiaeth; ac mae y maeth-leoedd bychain hynny o rinwedd mabanawl, duwioldeb, a dedwyddwch, 'yr ysgolion mabanaidd,' y rhai a sefydlwyd yn yr holl orsafoedd, a llawer iawn yn dyfod iddynt, ac yn debyg o fod o les mawr a helaeth. Trwy offerynoldeb y sefydliadau gwerthfawr hyn, mae yr ysgolheigion bychain, yn lle gwastraffu eu dyddiau boreuol mewn arferion segurllyd a drygionus, yn derbyn i mewn, gyda eu haddysg, hadau egwyddorion moesol a chrefyddol; ac yn gyffredin dangosant radd o ddëall a dedwyddwch, ag sydd o angenrheidrwydd yn llawenydd ac yn syndod, i'r rhai hyny a gânt gyfle i ymweled â'r ysgolion hyn, a gweled y cynnydd sy ar y plant dan y drefn odiaethol hon o addysg."

Cofiwn mai nid oddi wrth neb o'r Cenadon eu hunain y daeth yr hanes uchod, eithr oddi wrth wr boneddig crefyddol nad oedd yn perthyn dim i'r Genadaeth, yn amgen na bod yn ewyllysiwr da i'r gwaith, ac i les ysbrydol y paganiaid. Buasai yn dda genym gyfieithu ei lythyr oll; ond ni oddef terfynau y papyryn hwn i wneud felly. Gosoder *Blwch Cenadol* yn mhob ty, yn enwedig yn mhob ty mawr a chyfoethog, trwy Gymru; a danfoner eu cynnwysiadau oll bob blwyddyn, i'r Ty Cenadol yn Llundain.

---

*Argraffedig gan W. Tyler, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

RHIF. XIX. RHAGFYR, 1836.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.

### INDIA'R DWYRAIN.

KRISTNAPORE. PERYGL ODDIWRTH Y SARPH DORCHOG, (BOA CONSTRICTOR.)



YR hanes canlynol am y dygwyddiad a ddarlunir uchod, a roddwyd gan y Parch. George Gogerly, Cenadwr yn Calcutta.

Am dair blynedd olynol, yn misoedd Mai a Hydref, ymwelwyd â Bengal â chorwyntoedd o'r dehau-ddwyrain, drwy y rhai y bu canlyniadau o'r fath mwyaf galarus. Cyfododd y môr fwy nag 20 troedfedd goruwch ei uchder arferol—ymollyngodd y ceulanau a gyfyngent yr afonydd Roopnarain a Dummodah, a dinystriwyd holl barthau deheuol a dehau-ddwyreiniol Bengal gan y llifogydd ganlynasant. Collwyd mwy nag 20,000 o ywydau, a'r anifeiliaid, cnydiau, tai, a meddiannau, a ysgubwyd ymaith oll gan y llifeiriant. Gan fod y wlad yn wastadedd isel, gorlenwid penau y tai gan y dyoddefwyr, tra yr oedd y dyfroedd, drwy barâu i godi, yn gwatwar pob ymgeisiadau a wnaid i ddïanc, a syrthiodd yr adeiladau a'r bobl, a chyd-ddistrywiwyd hwynt.

Yr oedd y llifeiriant mòr fawr, fel yr oedd holl anifeiliaid y goedwig am amser yn cael eu gyru o'u cynniweirfâau arferol, ac yn gorfod ceisio diogelwch mewn brigau coed, neu fànau uchel o'r ddaear. Y sarph, yr yr hon y danfonais ei chroen, oblegid yr achos uchod efallai, a yrwyd o'r *Soonderbunds*, ac a chwiliodd ei ffordd i'r orsaf Genadol yn Kristnapore, yr hon sydd ar ymyl gogledd-orllewin y coedwigoedd anial hyny. Yr oedd Meistr yr Ysgol Genadawl yn cyfanneddu mewn ty brodorawl bychan, yn ymyl terfyndir y capel; eithr oblegid effeithiau y llifeiriant, yr hwn mewn rhan a gyrhaeddai y màn uchel hwnw mewn cymhariaeth; ni chysgai yn ei dy ei hun, ond a ledai ei restog (*mat*) yn nellt-dy (*verandah*) y capel. Yn fore dranoeth, cyn ei bod yn oleu, aeth i'w dy i geisio peth *rice* i'w foreubryd; a chan y gwyddai yn gymhwys pa le i'w cael, estynodd ei fraich tua'r fàn, a gosodai ei law ar rywbeth mawr, oer, a llyslyd. Wedi ei daro gan ddychryn, ciliodd yn ol yn y fàn, a gwaeddai yn uchel am help; gan dystio fod rhyw *mrito daiok-jontoo*, "bwystfil angeuol," wedi cymmeryd meddiant o'i dy ef. Gwedi cael goleu, canfyddwyd y sarph wedi ymdorchi, ac yn cysgu yn drwm.

Gyda chyrs (*bamboos*) hirion, aflonyddwyd ei chwsg hi yn fuan gan y bobl, a gwnaethant archoll drom ar y tu isaf i'w chorph hi. Ymsythai y bwystfil, a chan arlàmu yn mlaen yn chwimwth, hi a chwalodd ei gwrthwynebwyr: ac er gwneuthur llawer o ymosodiadau arni, hi a gadwodd feddiant o'r ty am gryn amser. O'r diwedd, taflwyd rhaff i mewn, a chwlwm rhedeg arni, a daliodd y sarph gerfydd ei gwddf; pryd y llusgwyd hi allan, a sicrâwyd hi wrth bren. Gan ei bod y diwrnod yr arferwn ymweled â'r pentref, aethum yno, a'r brawd L. gyda mi; a chawsom y sarph wedi ei niweidio yn fawr gan yr ergydion a dderbyniasai. Gan feddwl ei bod bron yn farw, gollyngasom y byddagl, a llusgasom y creadur i ganol y lle, lle y gadawsom hi am ychydig amser, tra yr elem i'r capel, i drefnu moddion y dydd; pryd, er ein syndod, wrth floeddiadau y bobl, dëallasom ei bod yn dïanc ymaith. Gwedi brysio i'r lle, gwelsom ei bod mewn rhan wedi gweithio ei chorph drwy y cwlwm rhedeg, a chwedi ei hattal rhag dïanc yn unig, trwy fod y rhaff wedi myned am yr archoll oedd ar du isaf ei chorph hi, fel y sylwyd o'r blaen. Ymaflodd Mr. L. yn ddïoed yn y rhaff, a thynâodd y cwlwm rhedeg, yr hyn drwy gynddeiriogi y bwystfil gan boen, cyfododd ei chorph i fynu, ac â safn agored anferth, hi a ymsaethodd at ein brawd yn y modd mwyaf dychrynllyd. Pa fodd bynag, trwy fywiogrwydd Mr. L., efe a ochelodd ruthr y bwystfil; ac er iddi ei ganlyn ar hyd y lle, cadwodd ei afael ar y rhaff, hyd oni thaflwyd cwlwm rhedeg arall am ei gwddf hi; ac wedi ei hail gymmeryd, crogwyd hi i fynu ar un o'r colofnau sydd yn cynnal cromen y capel, ac yno lladdwyd hi. Nid oedd mae yn debyg ond sarph ieuanc, a dim mwy na hanner y'maintioli y daethai hi iddo mewn ychydig flynyddau. Yr oedd yn 18 troedfedd o hyd, ac yn 22 modfedd o gylch-fesur. Gallai lyncu myn neu blentyn yn rhwydd iawn.

Mae croen y bwystfil ofnadwy uchod wedi ei roddi i'w gadw yn Amgueddfa Cymdeithas Genadawl Llundain, yn Heol Blomfield, Finsbury.

---

Mae y prawf o addasrwydd ac effeithioldeb y llafurwyr brodorol sydd ar waith yn India, i daenu yr Efengyl ogoneddus, yn dyfod o hyd yn fwy amlwg a chwanegol; o'r hanesion diweddaraf ar y pen hwn, dewisiwn y canlynol:—

## HUNAN-HANES Y DARLLENYDD BRODORAWL JONATHAN EDWARDS, O BELLARY.

Yr oeddwn i, Naigum, a'm holl deulu, yn Babyddion, ac yn addolwyr delwau. Heb wybod dim am y gwir Dduw, a'r ffordd yn yr hon y dylaswn ei wasanaethu ef, maglwyd fi yn nichellion gelyn eneidiau, y diafol; ac, wedi ymroddi i ddrwg-arferion a chwantau y byd drwg a melltigaid hwn, yr oeddwn yn crwydro yn ffyrdd blysiau a phleserau pechadurus. Yn y flwyddyn 1822, aethum i wasanaethu y Parch. Mr. Hands, (yr hwn sydd deilwng o'm parch a'm cariad,) fel gwas iddo. Rhoes ef i mi ran o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, y rhai a ddarllenwn yn feunyddiol; a dëallwn rai o'r pethau a lefarent. ond yr oedd llawer o dywyllwch ar fy meddwl. Yn 1828, daeth y Parch. Samuel Flavel i Bellary, a dechreuais wrando ei bregethu ef, yr hyn wedi peth amser a aeth i mewn i'm calon; oblegid pregethai efe yr efengyl yn oleu iawn. Profai yn eglur nad oedd ond un Duw, a dangosai wir ffordd y bywyd. Dangosai mai Iesu oedd Iachawdwr pechaduriaid, yr hwn oedd i ddyfod i'r byd, ac a ddaeth; ac nas gallai neb gael maddeuant o bechod, a dedwyddwch y nef, ond trwyddo ef. Gan y pregethid y pethau hyn yn rymus ganddo ef, tywyswyd fi gan yr Yspryd Glân, a rhai eraill o'm teulu, i weled twyll y byd hwn, a'i holl fawredd a'i wychder; mai hwn yn wir oedd llywodraeth Satan, a'r brif ffordd i ddinystr ac uffern. Nis medrwn gael yn y grefydd Babaidd un iawn ffordd i iachawdwriaeth; nis gallai ac nis gwnai neb fy nysgu i pa fodd i gael maddeuant; ac nid oeddwn i yn gweled dim gwahaniaeth rhwng y bobl a aent i'r capelydd Pabaidd, â'r paganiaid; oblegid yr oeddynt oll yn addolwyr delwau, ac yn byw mewn ffyrdd pechadurus. Penderfynais ymwrthod â'r cwbl; credais i'r Duw byw; trallodwyd fi yn fawr am i mi, tra nad adwaenwn ef, wneuthur llawer o bethau drwg i'w ddigio ef. Derbyniais yr aberth, Mab Duw, yr hwn a anfonodd Duw yn ei anfeidrol drugaredd i farw drosof fi; a cheisiais ei wasanaethu ef hyd y mae ynof, gan ddisgwyl am ei ddyfodiad ef i farnu y byd; pryd y gobeithiaf gydag ef a thrwyddo ef, gael fy nerbyn i'r nefoedd. Ymddiddanwyd â mi gan y Parch. Mrd. Hands a Reid, yn nghylch dyfod yn athraw, yr hyn oedd dda iawn genyf; yr oeddwn wedi ceisio llefaru wrth eraill am y wir ffordd, pan fyddai genyf amser; ond yn awr mae yn llawen genyf y gallaf roddi fy holl amser i hyny. At Grist yr wyf yn edrych i'm harwain a'm cynnorthwyo, oblegid rhy wàn ydwyf fi. Mae genyf ddymuniad cryf i arwain buchedd dda, ond yr wyf yn analluog; eithr gall ef fy nghadw, a'm dwyn i'r nef. Dymunwn fyw yn y gwaith hwn, yn yr hwn yr wyf yn cael mwy-fwy o hyfrydwch o hyd. Gorchymynodd Duw na roddem ein goleuni dan lestr, ond ei adael i oleuo gerbron dynion; a dymunwn innau ddangos i eraill wir ffordd iachawdwriaeth. Derbyniwyd fi i'r Eglwys yn 1831.

Fel hyn y Tri yn Un Jehofah mawr, Tad,

Mab, ac Yspryd Glân, a gymmerth drugaredd arnaf fi, bechadur tlawd, truenus, ac annheilwng; ac i'w enw boed, trwy holl dragywyddoldeb, y moliant uwchaf. Amen.

---

## SIBERIA.

### MARWOLAETH ALARUS UN O'R DYCHWELEDIGION CYNTAF O'R BURIATIAID.

Bu derbyniad y Gwirionedd yn mhlith y Buriatiaid eilun-addolgar yn araf a distaw. Y Cenadon a ddanfonodd y Gymdeithas gyda chenadwri yr Efengyl i Siberia, ni chawsant eu cyfnerthu yn eu hymdrechiadau drwy weled ymddangosiad buan na helaeth o'r bywyd nefol hwnw, yr hwn yn offerynol y llafuriasant i'w roddi.—Cawsant eu breintio fel arall: er nad oedd nodau o helaethrwydd ar ffrwyth pennodol eu llafur, eto nodweddwyd y cwbl o hono â gwirionedd a pharâd. Y Buriatiaid, y rhai a fwriasant eu heulynod i'r gwaddod a'r ystlumod, ac a dderbyniasant Grist fel eu hunig Waredwr, nid ydynt mae yn wir ond ychydig o nifer; ond bu eu proffes o'r gwirionedd yn ddilychwiniad drwy anghysonder; a rhoddasant brofion dïamheüus o'u cariad at y Gwaredwr, yn wyneb gwarth ac erlid, trwy ymdrechiadau diflino i hysbysu i'w cydwladwyr iachawdwriaeth Iesu.

Cynnwysai yr Hanesydd Cenadol am Hydref, 1834, hanes byr am un o'r Buriatiaid dychweledig, yr hwn yn 17 mlwydd oed, a ymwrthododd â chrefydd halogedig ei genedl, i gofleidio gobeithion pur a sylweddion dysglaer y ffydd Gristionogol. Yn yspaid y flwyddyn ddiweddaf, symmudwyd y dychwelydd anwylaidd hwn oddiar y ddaear; ac amlyga Mr. Swan sicrwydd cryf, bod ei ysbryd yn awr wedi ymuno â chymdeithas y saint yn y nef. Gan y credwn y bydd yn ddymunol gan ein cyfeillion, rhoddwn iddynt hanes byr o'i farwolaeth ef, a'r amgylchiadau cydfynedol â hyny, megys yr adroddwyd hwy gan Mr. Swan; yn nghyd â hanes ei ddychweliad ef at Grist.

Yn Mai, 1834, ysgrifenodd Mr. Stallybrass, yr hwn oedd y pryd hwnw yn Khodon, mewn llythyr at y Cyfarwyddwyr fel y canlyn:—am

#### DDYCHWELIAD BARDU.

Wrth roddi i chwi hanes am yr hyn a ellir ei ystyried, gobeithio, fel dechreuad gwaith gras ar galonau y Buriatiaid hyn, dechreuaf gydag un yn ei 17 oed, o'r enw Bardu. Mae efe o ardal bellenig, a chwedi iddo, tua dwy flynedd yn ol, gael ei gyfarwyddo yn rhagluniaethol i'r lle hwn, amlygodd ei ddymuniad o gael ei dderbyn i'r ysgol. O ran ei foesau a'i brïod-iaith, yr oedd efe fel Galilead yn mysg y bechgyn eraill, a buan yr aeth yn wrthddrych gwawd ganddynt. Yr oedd ei ymgais i ddysgu yn fawr anghyffredin. Tua diwedd y flwyddyn ddiweddaf, dëallais fod ei feddwl dàn gryn bwys drwy y gwirioneddau a glywsai o dro i dro; a chymmerais gyfleusderau i'w alw ef o'r neilldu, i ymddiddan a gweddïo gydag ef. Nid yw ei wybodaeth, o angenrheidrwydd, ond bychan, ond yr wyf yn gobeithio bod ei galon yn ddiragrith. Ymofynodd am gael ei fedyddio; ac wrth ymddiddan âg ef am y mater, ymddengys i mi fod ei olygiadau yn gywir. Nid oedd yn disgwyl glanâu ei hunan drwy fedydd; ond proffesu ei hun drwy hyny yn ddisgybl i Grist.

Amlygwyd i Bardu beth fyddai raid iddo ddisgwyl oddiwrth ei gydwladwyr digred, os deuai efe yn ganlynwr Iesu; ac y mae efe eisioes yn dechreu profi yr effeithiau o'i broffes gyhoeddus o Gristionogaeth. Gwedi iddo ymwrthod âg eilun-addoliaeth, cafodd ei waradwyddo, ei enllibio, a'i droi allan o'u tai hwynt: ond mae efe yn ymddangos yn berffaith ddigyffro dàn y drwg-driniaethau hyn; ac yr wyf yn gobeithio ei fod ef nid yn unig wedi gadael addoli eilunod, ond hefyd wedi dechreu addoli a gwasanaethu Duw mewn ysbryd ac mewn gwirionedd.

Fel hyn yr ysgrifenai Mr. Stallybrass, yn 1834. Ymddengys i Bardu, y dychwelydd Buriataidd, ddàl ei broffes o Gristionogaeth yn gadarn a dïanwadal, hyd amser ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn yr haf diweddaf (1835). Mehefin 30, 1835, sylwa Mr. Swan ar y tro fel hyn:—

#### MARWOLAETH BARDU.

Bydd yn drwm genych glywed fod Bardu wedi gorphen ei yrfa ddaearol. Yr oedd yr amgylchiadau arweiniol i'w farwolaeth ef yn neillduol o alarus; ond yr oedd ei ddyoddefgarwch ef o gystudd, ei ffydd a'i obaith parâus ef yn y Gwaredwr, a hyny hyd y diwedd, yn rhoddi tystiolaeth foddlonawl ei fod yn barod i ymadael, ac i fod gyda Christ.

Efe oedd y cyntaf o'r ysgolheigion a roes wrandawiad difrifol i'r Efengyl. Trwy ei broffes gyhoeddus o fod yn ddisgybl i Grist, a thrwy ei wrthodiad i addoli duwiau ei dadau, gwnaeth ei hun yn atgas iawn gan y *lamas*, (offeiriaid) ac eraill o addolwyr gwresogion *shigemoni*. Tua diwedd y gauaf diweddaf curwyd ef gan *lama* un diwrnod yn dost ar ei ben; ac yn union ar ol hyny dechreuodd

gwyno ei fod yn wael. Cur tost yn y pen, a gradd mawr o dwymyn, a ganlynodd: arferwyd amryw foddion i'w adferu ef, ond yn ddilwyddiant. Parâodd y dwymyn amrai wythnosau, a gwanychodd ei nerth ef yn raddol. Symmudwyd ef i babell ewythr iddo, yn y gymmydogaeth, gan obeithio y byddai y cyfnewidiad yn llesol. Ceisiwyd meddyg brodorawl, o beth medrusrwydd, ato; yr hwn a'i rhoddes ef dàn driniaeth feddygol: ond er y cwbl parâodd ef i waethygu; nes i'w berthynasau, gan ofni y byddai farw, ddechreu siarad am ddefnyddio rhai o'u defodau paganaidd hwy, fel y moddion gorau i achub ei fywyd ef. Nis goddefai efe i'r fath ddefodau gael eu defnyddio; a chan ofni y cyflawnid rhyw ddefodau coel-grefyddol yn groes i'w ewyllys ef, deisyfodd am gael ei ddwyn yn ol atom ni. Cydsyniodd ei berthynasau â hyny yn rhwydd, gan ddywedyd mai yr *eiddom ni* oedd ef yn awr, gorph ac enaid hefyd: ac eu bod hwy yn ei roddi i fynu i fyw a marw, yn ddisgybl i'r Gwaredwr a bregethem ni.

Dygwyd ef yn ol yn ofalus, ac er ei fod yn rhyfeddol o wan, eto tebygid na ddyoddefodd lawer wrth ei symmud. Pa fodd bynag, rhoddai y meddyg brodorawl iddo obaith o hyd am adferiad; a rhoddai ryw feddyginiaethau iddo. Parai hyn i'r bachgen lynu mewn gobaith am fyw; ond eto dywedodd yn eglur nad oedd yn ofni marw, ond y byddai yn well ganddo fyw, os hyny fyddai ewyllys Duw, fel y gallai anrhydeddu ei rieni a gofalu am danynt. Ond ar fore y dydd y bu farw, wrth weled fod ei ddiwedd yn nesâu, dywedais wrtho drachefn, megis y gwnaethwn o'r blaen, fod yn rhaid iddo roddi i fynu bob gobaith am wellâu; ac yna cefais beth ymddiddan boddlonawl iawn âg ef, ar y mater o'i ffydd a'i obaith.

Ychydig cyn ei farwolaeth dywedais wrtho, "Os byddi di farw yn awr, i ba le yr â dy enaid di?" "I'r nef." "Pwy a'i derbyn ef yno?" "Duw." "Yn mhwy yr wyt ti yn ymddiried am iachawdwriaeth?" (gyda phwyslais cryf atebai) "Yn Iesu Grist." "Pe na buasai i Dduw yn ei ragluniaeth dy ddwyn di yma i glywed am y Gwaredwr hwnw, pa beth a ddaethai o honot ti?" "Buaswn fyw mewn pechod, ac aethwn i uffern pan fuaswn farw."

Poen angerddol, a phesychu bron yn ddibaid, a'i gwnâi yn anhawdd iawn iddo lefaru; ond parâodd ei feddwl yn berffaith eglur a thawel, hyd o fewn ychydig fynydau i'w farwolaeth. Yr oedd curiad y gwaed eisioes yn derfysglyd, a'i aelodau eithaf yn dechreu oeri, pan glywais i ei eiriau diweddaf, y rhai a adroddwyd uchod. Tuag un o'r gloch, aeth ei anadlu yn raddol yn wànach, fel un yn myned i hun esmwyth, hyd yn agos i ddau o'r gloch; pryd yn agos y darfu anadlu.

Fel hyn yr hunodd yn yr Iesu, un yr wyf fi yn gobeithio, y gallwn ei ystyried fel yn mhlith blaen-ffrwyth cenedl y Buriatiaid, ac a gasglwyd i deyrnas y Gwaredwr: a'r hwn y gellir dywedyd iddo syrthio yn ferthyr i achos Crist; oblegid nid oes genyf fi fy hun fawr o ammheuaeth, nad yr ergydion a gafodd efe ar ei ben gan y *lama* cynddeiriog, a fu yn achos o'i farwolaeth ef.

Ceisiasom ddefnyddio y tro difrifol er lles i'w gyd-ysgolheigion ac eraill; a thywalltwyd llawer o ddagrau, pan roed ef i orwedd yn y bedd, yn agos i'r fàn lle mae gweddillion ein hanwyl chwaer, Mrs. Stallybrass, yn aros bore yr adgyfodiad.

Tikshi, un arall o'n pobl ieuainc anwyl, enw yr hwn y clywsoch ei grybwyll o'r blaen, a ddarllenodd wrth y bedd, â llais petrusawl, ran o 1 Cor. xv., "*Efe a heuir mewn llygredigaeth, ac a gyfodir mewn anrhydedd; efe a heuir mewn anmharch, ac a gyfodir mewn gogoniant; efe a heuir mewn gwendid, ac a gyfodir mewn nerth.*" &c.; a minnau a lefarais ychydig wrth y bobl cynnulledig, oddi ar y geiriau uchod. Yr oedd yn beth effeithiol, ac ar yr un pryd yn dra chalonogus i'n meddyliau ni, i glywed un Buriat dychweledig, yr hwn sydd yn cadarn ymddiried yn ei Waredwr, fel hyn yn ymuno â ni yn y gwasanaeth angladdawl, tra yr oeddym yn cyflwyno i'r ddaear gorph Buriat ieuanc arall, yr hwn a fuasai farw yn y ffydd.

---

## LLWYDDIANT YR EFENGYL YN BERBICE.

*Darn o Lythyr oddi wrth y Parch. James Howe, Capel Hanover, Cost Gorllewin, Berbice. Tach.* 1835.

Aeth dwy flynedd heibio er pan agorwyd Capel Hanover i addoli Duw. Mae yn hyfryd edrych ar yr amser o basiodd. Yn Tachwedd 1833, yr oedd genym Gapel bychan a gynnwysai o 400 i 500, ac yn bur llawn. Yn Tachwedd 1835, mae genym Gapel cyflawn a gynnwys 850, yn llawn bob Sabbath; a thy digon hardd i'r Gweinidog. Yn Tachwedd 1833, nid oedd genym yr un Ysgol. Yn awr mae genym Ysgol Sul dda wedi ei sefydlu; a gelwir arnaf i fyned i rai planfëydd eraill yn yr ardal, i addysgu yn yr wythnos. Yn Ionawr, 1834, yr oedd genyf tua 30 a fedrent ddarllen y Testament Newydd. Yn y mis hwn dosparthais yn agos i 1000 o Destamentau a llyfr y Salmau, rhwng pobl fy ngofal, y rhai oll a fedrant ddarllen. Yn Rhagfyr 1833, ffurfiasom eglwys o 39 o aelodau, o eglwys Mr. Wray yn Amsterdam Newydd; yn Tachwedd 1835, mae genym yr hyfrydwch o weled 168 o aelodau wedi ymuno mewn cymundeb sanctaidd; ac hyd yma wedi rhodio yn addas i'w huchel alwedigaeth yn Nghrist Iesu ein Harglwydd.

---

*W. Tyler. Argraffydd, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

RHIF. XXI. MEHEFIN, 1837.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.

---

### Y CAFFRARIAD TIRION A HAELFRYD.



Er i gyflwr cymdeithasol y llwythau Caffrariaidd fod yn hir yn anfanteisiol i amlygiad teimladau rhinweddol a thirion, maent er hyny oll, lawer gwaith, yn arddangos profion gwerthfawr o gymmeriad da; a gwybuwyd am bersonau o'u rhywogaeth hwy, mewn amseroedd mwyaf annhebygol, yn gwneyd gweithredoedd a haeddai iddynt barch llawer mwy nag a roddir yn gyffredinol i ddynion anwareiddiol. Dygwyddodd amlygiad nodedig o hyn, yn nechreu y rhyfel diweddaf, rhwng y galluoedd Trefedigol â rhyw ranau o genedl y Caffrariaid. Mr. Henderson, masnachydd o Dref Graham, yr hwn ychydig amser o'r blaen a aethai, gyda dau o'i blant, i amaethfa ei dad-yn-nghyfraith, a ruthrwyd arno â'i dad-yn-nghyfraith, ac a lofruddiwyd gan y Caffrariaid. Dygwyd un o'i blant ef i Dref Graham

gan ei nain—collwyd y llall yn amser y rhuthr pan lladdwyd ei dad. Cafwyd y plentyn (bachgen bach prydferth tua thair blwydd oed) mewn llwyn, gan *Sitamba*, Caffrariad yn ngwasanaeth Mr. Mahony. Yn y sefyllfa beryglus hon buasai raid i'r plentyn drengi yn fuan, oni buasai cynnorthwy parod a thosturiol Sitamba; yr hwn, gan adael ei wraig a'i blant ei hun mewn lle a elwid y Pyllau Clai, yn nghanol yr enbydrwydd priodol i'r amser hwnw, gyda thynerwch nas gellir braidd ei feddwl gan y rhai ni chlywsant am y Caffrariaid ond fel "creuloniaid anniwygiadwy," a gymmerodd y plentyn dïamddiffyn a brawychus yn ei freichiau, cariodd ef amryw filltiroedd drwy y wlad, a dychwelodd ef i'w berthynasau galarus. Hyn a wnaeth y Caffrariad haelfryd dàn y perygl o'i fywyd, a chost ei ryddid mewn gwirionedd; oblegyd wedi achub y plentyn rhag cael ei ddyfetha gan wylltfilod, neu ryw farwolaeth boenus arall, a'i ail osod ef dan nodded ei gartref, traws-gadwyd Sitamba yn Nhref Graham, a charcharwyd ef fel yspïwr.

---

## AFRICA DDEHEUOL.

### PORTHLADD ELIZABETH.

Mae yr hysbysiadau canlynol oddi wrth Genadwr ymroddawl y Gymdeithas yn Mhorthladd Elizabeth, yn cefnogi y sicrwydd gorfoleddus fod ei ymdrechiadau ef, dan gyfarwyddyd grasol y Goruchaf, yn cael eu gwneyd yn effeithiol i droi llawer i gyfiawnder. Mae Efengyl iachawdwriaeth, er yn mhell o fod yn ddilyfethar, debygid yn gweithredu yn rymus yn mhlith yr Hottentotiaid a'r Europiaid yn yr Orsaf hon, a thrwy holl gymmydogaeth Cilfach Algoa; ac, mewn amryw amgylchiadau o ddychweliad diweddar, mae gwaith gras, yn adnewyddiad y galon a gwelliant y moesau, wedi ei arddangos yn eglur; er gogoniant iddo Ef, yr hwn a ddichon ddarostwng pob peth iddo ei hun.

*Ysgrif o Lythyr oddi wrth y Parch. A. Robson, Porthladd Elizabeth, Mawrth* 22, 1836.

"Mae yr ysgol yn parâu i lwyddo, ac yn un o ranau mwyaf boddàol yr orsaf bwysig an anhawdd hon. Cedwir hi gan frodor cyfrifol, yr hwn a ystyriaf fi fel mab ysbrydol, wedi ei adgenedlu gan Iesu Grist, trwy yr Efengyl; ac yr hwn mae ei ymddygiad penderfynol, hynaws, a gwir Gristionogawl, yn diogelu iddo gyfrifiad a pharch disgyblion y Gwaredwr, ac hyd yn nod ein gelynion. Mae yr ysgol yn cynnwys plant Mahometiaid, Hottentotiaid, a phlant duon eraill, yn nghyd a rhai o rïeni Europaidd; a thrwy gael eu cymmysgu â'u gilydd, mae y rhagfarnau a fu yn rhy hir, ac a fydd yn waith amser eto i'w diwreiddio, yn cael eu lleiàu. Mae rhai o'r plant sydd o haniad Europaidd yn talu chwe'cheiniog yr wythnos, yr hyn a roddir at gynnaliaeth ein hathraw teilwng; a thra mae hyn yn gweini i'w gysur ef, mae hefyd yn tueddu y trigolion brodorawl i fod yn fwy gofalus am wisgiad a glanweidd-dra eu plant, nac y byddent pe byddai yr ysgol yn gynnwysedig hollawl o'r rhai olaf.

"Yr ydym wedi sefydlu Cymdeithas Cymmedroldeb yn mhlith y bobl ieuainc, a chenym yn awr rhwng 50 a 60 o aelodau yn perthyn iddi. Gan fod yn sicr genym mai argraffiadau boreuol yn gyffredin ydynt y mwyaf grymus, parâus, ac effeithlawn; yr ydym yn awyddus am roddi iddynt yr egwyddorion a'r golygiadau hyny a gadarnânt eu meddyliau yn erbyn yr ellyll o anghymmedroldeb. Fel y mae Mrs. Robson yn cynnorthwyo yn yr ysgol, mae hi yn dysgu iddynt Holwyddoreg y Cymmedroldeb; ac fel hyn yr ydym yn gobeithio, trwy fendith Duw, yr attelir hwy rhag myned yn ymgyflwynwyr i feddwdod. Yr ydym ni yn defnyddio y moddion, ac yn gweddïo ar yr Arglwydd am ei fendith a'i gymmorth effeithiol ef. Yn yspaid y bythefnos ddiweddaf, chwanegwyd 30 o aelodau at Gymdeithas Cymmedroldeb yr Oedolion.

"Yn ystod y mis diweddaf, derbyniwyd pedwar o bobl ieuainc i undeb â'r eglwys Saesonig; a derbyniwyd saith yn ddiweddar i Eglwys y *Dutch*. Mae ymddygiad cyson, gweddaidd, a chanmoladwy yr aelodau brodorawl, yn rhoddi i mi lawer o hyfrydwch, ac yn enyn ynof ddïolchgarwch bywiog i'n Tad nefol; gras yr hwn a wnaeth gymmaint erddynt hwy. Gobeithio y byddant hwy yn yn llawenydd ac yn goron i mi ger bron yr Arglwydd Iesu yn ei ddyfodiad. Mae y y gweddïau a offrymant hwy, yn ein cyfarfodydd cymdeithasawl er ymarferiadau crefyddol, yn dra adeiladol yn wir; a llawenychai galonau y Cyfarwyddwyr a'n cyfeillion yn Lloegr eu clywed hwy, gyda a thaerineb a symledd, yn gweddïo ar y Goruchaf Dduw.

"Dygwyddodd tro y dydd arall, a roddodd i mi foddlonrwydd a hyfrydwch nid bychan. Yr anfantais o gadw ysgol yn y capel, a'r dymunoldeb o gael ystafell neillduedig i'r oedolion ar y Sabbath, a deimlem er yn hir; a'r amcan o adeiladu ysgoldy ar y tir a berthyn i'r Gymdeithas, a goleddid er yn hir. Yr oedd arnom eisiau y modd. Heb yn wybod i mi, ac o hyny mwy yr hyfrydwch,

ein hysgol-feistr teilwng, Moses Anstable, a ddarparodd lechres er cyfraniadau i'r perwyl hwnw, ac a'i dechreuodd hi â *P*1 ei hunan; cyfranodd ei wraig hawddgar a duwiol 15*s.*; morwyn, aelod o'r eglwys, 15*s.*; ac o fewn ei dy ei hun cododd ar unwaith tua *P*4. Ni a adawn iddo fyned rhagddo yn mhlith yr Hottentotiaid, ac yna ceisio cyfraniadau gan y Saeson i'n cynnorthwyo. Yr wyf yn disgwyl fod dyled y capel yn awr bron ei dalu, ac yr wyf yn hyderu y bydd iddo Ef a'n cynnorthwyodd ni hyd yn hyn, fod gyda ni eto.

"Yr wyf fi yn penderfynu, trwy gymmorth gras, cyflawni yn ddyfal ddyledswyddau fy swydd bwysig a chyfrifadwy; heb adael dim moddion heb eu harfer, i ddwyn pechaduriaid at y Gwaredwr grasol; i gadarnâu y rhai a gredasant, ac i'w hannog hwynt i gydymdrech â mi i ddwyn yn mlaen ei achos ef a derchafu ei ogoniant. Bydd yr yspaid o weithio ar y ddaear efallai drosodd yn fuan, ac O am ras i'm gwneuthur i yn fwy gweddigar, ymddybynol, a diwyd.

"Mae y gynnulleidfa o bobl dduon yn dda ac yn galonogus; ac heblaw yr Ysgol Sul, a phregethu ar ddydd yr Arglwydd, nid oes genyf lai na phedair oedfa yn yr wythnos. Mae llawer o'r Hottentotiaid yma yn llefaru yr iaith Saesoneg yn rhwydd, ac yn dyfod i'r moddion pan y cadwyf hwy yn fy iaith fy hun. Mae yn hyfryd eu gweled hwy yn ymuno âg Europiaid yn addoliad Jehofah, a'u clywed hwy yn clodfori ei enw ef yn yr un salmau a hymnau a genir yn eglwysi Prydain. Ar nos Fawrth mae genyf ddosparth Biblaidd, cynnwysedig o blant brodorawl ac Europiaidd, ac mae rhai o'r plant brodorawl yn ateb yr holiadau a ofynir iddynt, yn gyfarwydd a chywir iawn. Mae y cyfryw amserau yn adnewyddiad i fy meddwl i fy hun, ac mae yr ymddiddan a gaf â'm hysgolheigion ieuainc, yn rhoddi cyfle i mi wybod effaith yr efengyl ar eu meddyliau hwy, ac i'w cynghori hwy yn bersonol, am y pwys o roddi eu hunain i fynu yn foreu i'r Gwaredwr. Mae yn ddiammheuol genyf y bydd i'r dosparth Biblaidd droi allan yn feithrinfa i eglwys Crist yn Mhorthladd Elizabeth, a'i chyflenwi hi âg aelodau, ac y bydd i'r gweddïau a ddanfonwn ni at orsedd gras, am gymmorth ac ewyllys da Duw, gael eu gwrando."

Dan y dyddiad Mai 15, mae Mr. Robson yn parâu fel hyn:—

"Gobeithio fy mod yn teimlo yn awr yn fwy grymus nac erioed, yr angenrheidrwydd o ddylanwad yr Yspryd Glân, i wneyd yr Efengyl yn offerynol i roddi mesur mawr o benderfyniad sanctaidd a duwiol i gymmeriad Cristionogol; ac i effeithio cyfnewidiad hollawl a gwreiddiol yn nghalonau y rhai anedifeiriol. Bûm yn ceisio deffroi sylw yr eglwys at y mater holl-bwysfawr hwn, ac annog yr aelodau, bob yn un ac un, i wneuthur hyn yn rhan o'u gweddïau yn y dirgel, yn y teulu, ac yn eu cyfarfodydd gweddi cynnulleidfâol. Dywedais wrthynt, fy mod yn gwneyd fy hun yr hyn oeddwn yn geisio ganddynt hwy, a bod fy neisyfiadau yn cael eu danfon yn feunyddiol at Dduw, am dywalltiad o'i Ysbryd ef ar y dyrfa bechadurus a dibris o'n hamgylch; ar y rhai hyny a wrandawsant yr efengyl heb deimlo ei gallu hi; ar y rhai a dderbyniasant wir dduwioldeb; ar yr eglwys gyffredinol, ac ar yr holl fyd. Yr wyf yn edrych gyda theimladau cymmysgedig o bryder a llawenydd, ar yr arwyddion gobeithiol sydd yn awr yn fwy-fwy amlwg yn yr eglwysi a'r cynnulleidfâoedd dan fy ngofal i; ac yr wyf yn gobeithio yn grynedig fod Duw yn myned i gyfodi ac i drugarâu wrth Sïon, a bod yr amser i drugarâu wrthi, ïe, yr amser nodedig, wedi dyfod.

"Mae y cyrchiad i'r cyfarfod gweddi Saesoneg wythnosol yn chwanegi er ys tro, hyd onid yw y lle yn hollawl yn rhy gyfyng i ni. Neithiwr yr oedd y wisg-gell mewn gwirionedd yn llawn. Yr oedd y gweddïau a ddanfonwyd i fynu y pryd hwnw gan rai, ag sydd ieuainc mewn dyddiau, mewn duwioldeb a phroffes, yn profi bod eu calonau hwy wedi eu tanio â chariad y Gwaredwr; ac eu bod yn angerddu gan dosturi dros bechaduriaid annychweledig; gan ddangos ar yr un pryd, eu serch at eu cyd-aelodau, ac ataf fi fy hun a'm teulu. Mae yr ysbryd hwn o gariad ac undeb yn arwydd da. Gorchfygwyd fy nynoliaeth i lawer gwaith, a soddais mewn dwfn hunan-ffieiddiad, wrth fyfyrio ar ben-arglwyddol ras yr Hollalluog, yn fy newis i yn llestr trugaredd, ac yn fy ngwneuthur i, yr annheilyngaf o'i weision, yn offeryn i ddwyn hen droseddwyr ac amryw ddynion ieuainc at Grist. Mae yn orfoledd genyf feddwl am danynt, fel yn mhlith y rhai yn fuan a dderbynir i'r nef; neu a gânt fyw i ddwyn yn mlaen a chynnorthwyo, achos y Gwaredwr gogoneddus; pan fydd y llygad sydd yn awr yn wlyb gan ddagrau wedi ei gauad yn marwolaeth, y galon sydd yn awr yn llafurio dàn gynhyrfiadau cryfion wedi malurio yn llwch, a phan fydd y llaw sydd yn ysgrifenu hyn wedi colli ei grym.

"Mae gan fy nghynnulleidfa o bobl dduon gyfarfod gweddi tra lliosog bob bore Sabbath ar godiad haul, yr hwn a drefnir ac a gedwir ganddynt hwy eu hunain; a neithiwr, ein cyfarfod gweddi wythnosol Llun, nid oedd llai na chant yn bresenol. Yr oedd tua 30 o Gaffrariaid wedi dyfod, y rhai a weithiant yn y lle hwn; dynion rhyfeddol o ddiwyd a chynnil. Mae dwy fenyw ieuainc Saesonig, ac un mewn mwy o oedran, yn awr yn cael eu cynnyg fel aelodau eglwysig.

Mae hefyd amryw Hottentotiaid, yn y rhai gobeithiaf mae yr Arglwydd wedi gwneyd cyfnewidiad, y rhai ni dderbyniwyd etto i'r eglwys, yn nghyd âg eraill, dàn argraffiadau pwysig, yn dyfod i gyfarfodydd yr ymofynwyr am fedydd a Swper yr Arglwydd. Mae y cyrchiad i'r moddion Saesonig a *Dutch* yn chwanegi, ac ni bu yr Ysgol Sabbathawl erioed o'r blaen mòr llwyddiannus.

---

**MADAGASCAR.**

O herwydd gwahardd Cristionogaeth yn y wlad hòno, trwy orchymyn y Frenines a'r llywodraeth, mae y Cenadon wedi dyfod oddi yno yn bresenol; ond gobeithir bod yr Arglwydd yn ei ragluniaeth yn agoryd y ffordd, i ymosod eto mewn amser ar deyrnas y tywyllwch yn yr ynys ehang hòno. Yn yr haf diweddaf, danfonodd y Frenines chwech o'i swyddogion fel cenadau ar achosion gwladol i Loegr; cyrhaeddasant yn Llundain tua dechreu Chwefror diweddaf, ac wedi cyfymweliad âg un o brif swyddogion ei Fawrhydi, cyflwynwyd hwy ger bron y brenin ar y 1af o Fawrth. Tra buont yn aros yn Llundain dangoswyd pob urddas a pharch iddynt, cyfatebol i'w sefyllfa a'u danfoniad: dangoswyd iddynt lawer o'n sefydliadau gwladol, ein prif weithfëydd, a'r pethau mwyaf rhyfedd yn y brif-ddinas a'i hamgylchoedd: ac yr oedd rhai o'r Cenadon a ddychwelasant o Madagascar, yn myned gyda hwynt i bob màn, i gyfieithu rhyngddynt â'r Saeson. Yr oeddynt yn synu ac yn cael eu boddâu yn fawr iawn, wrth ardderchawgrwydd y gosodiadau a'r gweithfëydd rhyfeddol yn y wlad hon; a rhagoriaeth pob peth ar ddim yn eu gwlad hwy. Mawrth y 6ed gwahoddwyd hwy, a daethant, i gyfarfod o Gyfarwyddwyr y Gymdeithas Genadawl, yn y Ty Cenadawl. Derbyniwyd hwy yn foneddigaidd a pharchus, ac wedi eu cyfarch yn garuaidd gan un o'r Cyfarwyddwyr yn enw y lleill, rhoddasant ateb byr a phriodol; a Mr. Freeman, un o'r Cenadon dychweledig, yn cyfieithu rhwng y ddwy-blaid. Mawrth y 7fed, cawsant ymweliad â'r Brenin yn Windsor; a Mr. Freeman gyda hwynt, ar ddeisyfiad pennodol y Brenin; pryd y cyflwynodd ef i'w Fawrhydi y Bibl Cyssegr-làn yn iaith Madagascar, ac wedi ei argraffu gan y Cenadon yn y wlad hòno. Derbyniodd ei Fawrhydi y Bibl mewn modd ag nas gallasai lai na dangos i'r dïeithriaid pendefigaidd hyn, y mawr barch oedd gan Benadur Prydain i'r Datguddiad Dwyfol; a'r hyfrydwch mawr oedd ganddo weled ffrwyth llafur y Cenadon, yn nghyfieithiad yr Ysgrythyrau i iaith Madagascar. Cyflwynodd ei Fawrhydi y pendefigion tramor hyn i'r Frenines, yr hon a'u cyfarchodd hwy yn garuaidd a thirion iawn. Cyfarfuant â hi yr ail waith cyn ymadael, pryd yr ymddiddanodd hi am dro yn ostyngedig â hwynt: ac wedi deall o hòni na chaniatâai Brenines Madagascar i neb o'i deiliaid brodorawl broffesu Cristionogaeth, er i lawer o honynt gael eu dysgu gan y Cenadon; dywedai ei Mawrhydi wrth y dïeithriaid fel hyn:—"Dywedwch chwi wrth Frenines Madagascar oddi wrthyf fi, nas gall hi wneuthur dim o gymmaint lles i'w gwlad, â derbyn y grefydd Gristionogol."

Mae y dïeithriaid uchod yn awr ar eu mordaith adref, gyda llythyrau oddi wrth Frenin Lloegr, ar achosion eu neges i'r wlad hon, at Frenines Madagascar. Gwelsant yn Lloegr lawer o ragoriaeth yn mhob ystyr ar eu gwlad baganaidd eu hunain; mae yn ddiammau yr adroddant y cwbl a welsant ac a glywsant yn y wlad hon i'w Brenines a'i chynghoriaid; a gobeithir yn ddifrifol yr effeithia hyny yn ddaionus ar y mawrion yno, i'w dwyn i chwenuychu agosach cyfeillgarwch â Phrydain Fawr—i dderbyn addysg Cristionogol fel sail a gwreiddyn mawredd gwladol—ac i ddiddymu yr arferion anwar ac atgas, sydd yn awr yn gwneyd Madagascar yn olygfa o greulonder a dychryn, a bair i ddynoliaeth arswydo a chrynu. Ni pheidia Cristionogion â gweddio, ar i ddrws mawr a grymus gael ei agor yn fuan i'r ynys hòno; ac am i'w thrigolion lliosog iawn gael eu troi oddi wrth eilunod at y Duw byw. Ni bu gweddïau yr eglwysi erioed yn fwy angenrheidiol nac yn awr, am i lywodraethwyr gwladol yr ynys hòno, trwy effaith hollalluog gras Duw, gael newid eu barnau a'u hamcanion; ac na roddant mwyach unrhyw rwystr i dderbyniad Cristionogaeth a'i holl fendithion cydfynedol, trwy holl hyd a llêd y wlad ddyoddefawl ac annedwydd hòno. Dyweded pob Cristion, Prysured yr Arglwydd hyn yn ei amser. Amen ac amen.

---

*W. Tyler, Argraffydd, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

RHIF. XXII. MEDI, 1837.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.



CYFARFOD BLYNYDDAWL Y GYMDEITHAS, YN NEUADD EXETER.

Yn Nghyfarfodydd Blynyddawl y Gymdeithas, a gynnaliwyd yn Mai diweddaf, cafwyd profion grymus a hyfryd fod yr achos Cenadol, yr hwn sy mòr anwyl gan Iesu, gwir Gyfaill ac unig Iachawdwr hil syrthiedig dyn, o hyd yn ynnill ar serchiadau ei ddisgyblion Ef; ac ei fod yn casglu iddo ei hun sylw a chynnorthwy chwanegol yn mhob gwlad Gristionogol. Mae ffeithiau o fynych ddygwyddiad, mewn amrywiol ranau o'r byd, yn dangos yn eglur rymus, gyda dylanwadau a gweithrediadau rhyfeddol gras Duw, ei fod ef yn cyd-gysylltu ei arweiniad rhagluniaethol o deimladau, tybiau, a dygwyddiadau dynol, i gadarnâu y deyrnas hòno ar yr hon ni bydd diwedd, ac i wneyd yr holl ddaear yn deml i'w fawl ef.

Gan fod Talfyriad o'r Adroddiad Blynyddawl diweddaf eisioes yn nwylaw ein cydwladwyr, ni wnawn yma ond crybwyll dau hanesyn, a adroddwyd yn y Cyfarfod Blynyddawl yn Neuadd Exeter, Mai 11, gan ddau o'r Cenadon a ddychwelasant yn ddiweddar i Loegr. Yn mhlith pethau hynod eraill, eglurâol o agwedd eilun-addoliaeth yn Travancore Ddeheuol, (India'r Dwyrain,) ac yn dangos yr ofn am ei syrthiad a deimlir gan y Brahminiaid eu hunain; adroddai Mr. Mead yr amgylchiad a ganlyn:—

"Dywed y Brahminiaid na wyddid dim am yr eilun Krishnu (cnawdoliad o ddrygioni) tua mil o flynyddoedd yn ol; hwy a'i cawsant ef yn yr anial-leoedd, yn nghoedydd y wlad; a deallasant ei fod wedi cymmeryd i fynu ei drigfa yn ngheuedd pren. Hwy a gymmerasant y pren, a dywedasant, am ei fod yn bren sanctaidd na phydrai; cerfiasant ef, a gosodasant ef i fynu mewn teml fawr, yr hon a safai ar lawn cymmaint o dir a'r Neuadd hon. Amgylchynir ef â llïaws o Frahminiaid, y rhai a dêlir yn helaeth, a chyflawnir seremoniau yn feunyddiol ger ei fron ef, fel eu hoffaf dduw hwynt. Ond daeth amgylchiad nodedig yn ddiweddar i'r golwg, yr hwn, debygwn i, a ddylai ddarostwng y Brahminiaid, ac ar yr un pryd, ein calonogi ninnau. Yr oedd twll yn y pren y dywedid fod Krishnu yn preswylio ynddo, yr hwn a ddylasai y Brahminiaid ei gauad i fynu, ond hwy a'i gadawsant yn agored. Dëallwyd fod y crëaduriaid bychain drygionus hyny a elwir 'llygod,' wedi ymnythu a chymmeryd i fynu eu preswylfa gyda Krishnu, a chwi a ellwch feddwl na byddent hwy yn segur yn nghymmydogaeth llawer iawn o ymenyn, llaeth a mêl, a phethau eraill a offrymid i'r eilun hwn; hwy a wnaethant gan hyny lawer iawn o ddifrodaeth yn y tu fewn i'r duw, fel ag y mae efe bron wedi ei ddistrywio. Ond nid yw y Brahminiaid byth ar goll am ddyfais; a phan welsant dyllau y llygod o amgylch yr arwyneb, dywedasant, 'Rhaid gwneyd rhywbeth; eilun sanctaidd yw hwn.' Mae aur, yn nghyfrif y Brahminiaid, yn feddyginiaeth sicr rhag holl ddrygau y byd hwn, a'r hwn sydd i ddyfod: gan hyny cymmerasant lafnau o aur, a hoeliasant hwy dros y tyllau; fel nas gallai y bobl a ddeuent i offrymu weled fod dim niwed wedi ei wneyd i'w hoff dduw hwynt." — Yma gellir gofyn, a oes un rhyw beth a ddengys yn eglurach syrthiad cyfagos eilun-addoliaeth, nâ'r dyfeisiau ynfyd a ddefnyddir i geisio ei dàl hi i fynu.

Adroddai Mr. Freeman am agwedd alarus Madagascar, er pan gauwyd allan yr Efengyl o hóni, fel y canlyn:—

"Lladd babanod," ebai efe, "a arferwyd drachefn; ac mae y profion creulawn ar y drwg-dybiad o reibiaeth (*witchcraft*) wedi eu sefydlu drachefn; a rhoddir carcharorion gwrrywaidd i farwolaeth mewn gwaed oer. Ychydig amser yn ol, llofruddiwyd deng mil o ddynion ar un prydnawn; er eu bod wedi ymostwng i'r frenines, a chwedi cymmeryd y llw o ffyddlondeb: llusgwyd eu gwragedd a'u plant i gaethwasanaeth cartrefol dïobaith: ond bu llawer o honynt feirw ar y ffordd, fel yr oeddid yn eu dwyn hwy i'r marchnadoedd, i'w gwerthu fel anifeiliaid. Deg a deugain o benaethiaid parchus —tadau a gwyr prïod—a groeshoeliwyd y tu allan i un pentref, ac a adawyd i drengi; ac am y gwrthodai eu gwragedd ymostwng i gaethwasanaeth, trywanwyd hwy yn y fàn." [Mae yn anmhosibl dysgrifio y teimladau a barodd yr adroddiad hyn trwy yr holl gynulleidfa fawr.] "Gobeithiai Mr. Freeman y galwai yr adroddion gwirioneddol uchod, am gydymdeimlad a gweddïau Cristionogion Prydain ar ran Madagascar. Nid oedd efe yn gweled dim arwydd o gyfnewidiad union-gyrchol; ond, pryd y gwyddai efe fod y winwydden fechan a blanesid, yn cael ei dyfrau â dagrau Cristionogol, ac ei bod hi, er ei tharaw, heb ei distrywio; teimlai yn sicr yr adfywiai hi eto, y blodeuai, ac y dygai ffrwyth. Wrth feddwl am y chwant i olud a marsiandïaeth a ennynasid yn y bobl yno, ymweliad cenadaeth oddi yno â'r wlad hon, y rhai sydd yn awr ar eu taith yn ol i Madagascar; gwelai efe addewid yn y pethau hyn, o ddedwyddwch dyfodawl i'r ynys hòno."

---

## MOR Y DE.—Cenadaeth Newydd.

*Pigion o Lythyr at yr Ysgrifenydd Tramor, oddi wrth y Cenadon a bennodwyd i Ynysoedd y Mordwywyr, dyddiedig Avarua, Rarotonga, Mai* 25, 1836.

Anwyl Syr,—Gan fod Capten M'Auliffe, o'r llong "*Wanstead,*" o Lundain, yma; a chan y dywedai y byddai yn debyg o gyrhaedd Llundain yn Rhagfyr; defnyddiwn y cyfle i'ch hysbysu chwi am ein dyfodiad hyd yma. Danfonasom ddau lythyr i chwi o Tahiti, gyda'r "*Tuscan,*" Capten Havers, i'ch hysbysu am bethau hynotaf ein taith hyd yno. Ar y 25 o Ebrill, aethom drosodd i Eimeo; lle y cawsom gyfeillach ddymunol â'n brodyr, y treuliasom Sabbath hyfryd, ac y buom bresenol ar holiad pobl ïeuainc y sefydliad yno. Ar y 4ydd o'r mis hwn, hwyliasom i Huahine, lle y cyrhaeddasom boreu dranoeth, ac yno treuliasom yn agos i bythefnos, yn y cyfeillgarwch mwyaf hyfrydol gyda Mr. Barff, ei deulu, a'i bobl; a chyda'r Capten Green, o'r llong "*Recovery,*" duwioldeb a mwynder yr hwn, a'i gwna yn dda gan bawb ei weled mewn gorsaf genadol. Yma cawsom fwynâu a chynnorthwyo mewn Cyfarfod Cenadawl Blynyddol; ac wrth i ni weled y bobl â gwynebau gwenus yn rhoddi eu *dollars* ar y bwrdd, a chlywed areithiau bywiog rhwng 20 a 30 o benaethiaid ac athrawon, dïolchasom i Dduw a chymmerasom gysur. Anrhegwyd ni â llawer o ddefnyddiau ymborth gan Mr. Barff a phobl ei eglwys ef, yr hyn oedd yn angenrheidiol i ni wedi ymadael oddi yno; ac yma y dybenodd ein hymweliadau hyfryd a manteisiol, âg Ynysoedd y Gymdeithas a'r Ynysoedd Georgaidd, lle y cawsom ein gorlwytho bron gan garedigrwydd cyfeillion, ac y gorlenwyd ni â syndod dïolchgar wrth effeithiau gras Duw, trwy offerynoldeb llafur cenadawl.

Gwedi yr ystyriaeth fwyaf pryderus, penderfynodd Mr Barff ddyfod gyda ni, a chyrhaeddasom yma yn ddiogel bore ddoe. Mae rhai o honom eisioes wedi ymweled â gorsaf Mr. Pitman, ac yno ac yma cawsom ein hyfrydu yn fawr iawn wrth yr hyn a welsom ac a glywsom. Yr oedd yn dda genym gael Mr. Pitman beth yn well nac y disgwyliasem; er y gofidiem ei fod ef o hyd yn rhy wàn i bregethu nemawr. Yn yr holl ynysoedd lle y buom, yr oeddym yn gorfod addef a gofidio, bod y gweithwyr yn rhy anaml; ond *yma* mae yn sicr genym y danfonai y Cyfarwyddwyr ychwaneg yn y fàn, pe gallent hwy dreulio chwech awr ar yr ynys. Mae yma hinsawdd dymherus hyfryd, 7 mil o bobl yn awyddus am ddysgeidiaeth, ac heb braidd ddim rhwystr o fath yn y byd; ac yn y gorsafoedd cangenawl ar yr ynysoedd bychain, mae 6 neu 7 mil yn rhagor, heb ond bugeiliaeth wael, gan athrawon brodorawl. Mae taerineb y bobl am i rai o honom aros gyda hwynt, yn wir yn ein gofidio ni yn drwm: nid hir y buom ar y làn cyn i genad pennodol ddyfod atom gyda brys mawr, gyda llythyr oddi wrth benaeth sydd yn byw y tu arall i'r ynys, yn crefu ar Mr. Buzacott sicrâu un o honom i'w orsaf ef; a phrin y darllenasid y llythyr cyn bod cenad arall wedi dyfod, o'r un lle ac ar yr un neges. Ac eto yr ydym yn gorfod dywedyd y gwirionedd darostyngol, nad oes yn Lloegr ddim digon o Genadon i'w cael! Pa beth a all eglwysi Prydain ddywedyd wrth y pethau hyn? Gwedi llawer o ystyriaeth, penderfynodd y brodyr nas gallai Mr. Buzacott yn ddoeth fyned gyda ni, oddigerth i un o honom aros yno yn ei absenoldeb ef. Gwedi oedi y llong am ddeuddydd neu dri, i drefnu pethau yn y modd gorau, bwriadwn hwylio yn fuan iawn; ac mewn 8 neu 10 niwrnod, gobeithiwn gyrhaedd maes pennodol ein llafur mewn diogelwch; ac felly gorphen mor-daith o 20 mil o filltiroedd, yn ystod yr hon ni bu pobpeth annymunol a brofasom, ond ychydig iawn mewn cymhariaeth i'r diogelwch, y cysuron, a'r manteision, a gawsom eu mwynâu trwy ddaioni Duw.

Mae y Genadaeth hon mewn gwirionedd yn "Genadaeth fawr, hyfryd, a blodeuog," fel y dywedasoch yn eich cyfarwyddyd ysgrifenedig. Bore heddyw buom yn ysgol y plant, lle y gwelsom nid llai na mil o ysgolheigion dan addysg Cristionogol, ac y clywsom hwy yn canu yn eu hiaith eu hunain ryfeddol weithredoedd Duw; ac yn y prydnawn buom mewn cyfarfod yn y capel, a gadwyd ar gais y brodorion, fel y gallem gydgyfnewid â hwy y teimladau a'r meddyliau o frawdgarwch Cristionogol.

Ydym, anwyl Syr,

Yr eiddoch yn ddiffuant,

Thomas Heath,
Charles Hardie,
George Barnden,
William Mills,
A. W. Murray.

### HANES DIWEDDARACH O'R GENADAETH UCHOD.

Gyda theimladau o lawenydd mwy na chyffredin, yr achos o'r hyn ni raid ond ei enwi i daenu yr un teimladau yn helaeth, yr ydym yn awr yn hysbysu dechreuad gweithredol y Genadaeth yn Ynysoedd Samoa; gan y dynion a urddwyd ac a ddanfonwyd allan, i'r gwaith pennodol hwnw. Mae y peth ei hun, gyda'r trefniadau blaenorol, y cwbl o ba rai debygid sydd yn dwyn argraff o gymmorth a chyfarwyddiad Dwyfol; yn cael ei adrodd

fel y canlyn gan bump o'r brodyr, sef, Mrd. Heath, Hardie, Mills, Murray, a Barnden, mewn llythyr dyddiedig Upolu, Mehefin 13, 1836:—

Mae genym yn awr (meddynt) y mawr hyfrydwch o ddanfon i chwi ein llythyr cyntaf o'r Samoau. Attaliwyd Mr. Macdonald gan ychydig waeledd iechyd yn Rarotonga, ond oddigerth hyny yr ydym oll mewn iechyd ac ysbrydoedd da, a chwedi cael derbyniad calonogus gan amryw o'r penaethiaid a'u pobl. "Deuwch, mawrygwch yr Arglwydd gyda ni, a chyd ddyrchafwn ei enw ef." Ar y 30 o Fai, yn nghymdeithas Mr. Buzacott a'i deulu, gadawsom Rarotonga, wedi gweled yn yr ynys hòno, y torfêydd mawrion a ddeuent i'r moddion Sabbathawl a'r ysgolion, a chwedi ymuno â'r eglwysi brodorawl yn sacrament Swper yr Arglwydd. Ar y 5ed o Fehefin aethom heibio i Manua, ac ynysoedd bychain y Swp Gerwyntawl, a daethom i olwg Tutuila yn yr hwyr. Bore dranoeth, gan fod y llong yn agos i'r tir, aeth Mrd. Buzacott, Barff, Murray, a Barnden, i'r làn; a gwelsant Maugna, y prif benaeth, yr hwn a ddeisyfai gael Cenadon; a chytunodd i ddanfon ei fab Bumari gyda ni, i gyfarfod penaeth yr Ynysoedd Gwrthwyntawl. Gydag ef hefyd cytunodd penaeth eilradd, o ardal arall, fyned. Y pryd hwn nid oedd genym ddim gwybodaeth sicr a oedd yr un athraw yno; ond yn yr hwyr, er ein mawr lawenydd, daeth Teava, yr athraw brodorawl o Manono, yr hwn a fuasai am bum wythnos yn teithio yr ynys, i'r bwrdd; ac a roes i ni hanes hyfryd o'i lafur, ac o ddymuniad cyffredinol y bobl am Genadwyr. Pe buasem ni heb ddyfod, yr oedd yn ei fwriad ef ddychwelyd i'r Ynysoedd Gwrthwyntawl, i gyrchu Mr. Wilson i Tutuila. Yn nghyd âg ef a'r ddau benaeth, hwyliasom drachefn prydnawn y dydd canlynol, ac ar doriad y wawr yr 8fed, ni a gawsom ein hunain yn ymyl pen dwyreiniol Upolu. Gan hwylio gyda'r glàn gogledd-dwyrain, a rhyfeddu meithder a phrydferthwch yr ynys fel yr oeddym yn myned yn mlaen, daethom ar gyfer y gilfach hon (Apia) tuag 11 o'r gloch; ac aeth y Mrd. Barff, Buzacott, Heath a Mills i'r làn cyn angori y llong. Yr oedd Pongoi, y penaeth, oddi cartref, ond danfonwyd cenadau yn union ar ei ol ef; ac yn y cyfamser angorwyd y llong, wedi i benaeth eilradd a'r bobl sicrâu i ni na byddai dim perygl. Treuliasom y prydnawn yn eu mysg hwynt; yn fuan teimlasom ein hunain gartref; danfonasom ein hanifeiliaid i'r làn, a chroesawyd ni â chiniaw o foethau brodorawl, wedi eu trin yn y dull brodorawl. Yn yr hwyr dychwelodd Pongoi, a rhoes i ni groesaw calonog. Ar yr un pryd danfonwyd cenadau i gyrchu y Mrd. Platt a Wilson, y rhai oedd yn y Savaii, a'r prif benaethiaid a'r athrawom brodorawl, i gydymgynghorfa gyhoeddus. Gwedi dëall fod Malietoa wedi gadael Savaii, a'i fod yn byw yn yr ynys hon, tuag wyth milltir oddi yma, aeth Mr. Barff a thri o honom i ymweled âg ef dydd Iau. Yr oedd yn llawen iawn am ein dyfodiad, a mynai i un o honom aros gydag ef; ond boddlonodd os gwnai y Cenadwr yn Apia arolygu ei orsaf yntau hefyd. Dydd Gwener cawsom ein llòni drwy ddyfodiad yr holl gyfeillion y danfonasom am danynt, y naill ar ol y llall;—y brodyr Platt a Wilson; yr athrawon brodorawl; y prif benaethiaid, Malietoa a Metetau, o Manono, ac amryw benaethiaid isradd. Gyd'r rhai hyn cadwasom gyfarfod cyhoeddus dydd Sadwrn, yn nhy mawr y sefydliad a ddefnyddir i achosion cyhoeddus; a thra yr oeddym yn ymgynnull, daeth plaid ar ol plaid â basgedau yn llawn o anrhegion. Dechreuasom trwy ddywedyd i ni ddyfod mewn canlyniad i'w cais hwy gan Mrd. Williams, Barff, a Buzacott; a dymunasom wybod yn y lle blaenaf, a oeddynt hwy yn awr yn ewyllysgar i'n derbyn ni? I hyn cawsom ateb parod eu bod; gan awyddo nid yn unig cydsyniad, ond dymuniad cryf hefyd a phleser mawr. Yna gofynasom yn ail, a oeddynt hwy yn chwennych i ni eu dysgu yn yr wybodaeth am Dduw, ac mewn darllen, ysgrifenu, a chelfyddydau buddiol eraill? Yn drydydd, a wnaent hwy amddiffyn a diogelu ein personau, ein gwragedd, a'n meddiannau ni? Yn bedwerydd, a fyddent hwy boddlawn i ni beidio ag ymyraeth yn eu cwerylon a'u rhyfeloedd hwynt, yn mhellach nâ cheisio eu heddychu; ac os byddai rhyfel, (gan y rhaid i ni fod yn anmhleidiol,) a wnai pob un o'r ddwy blaid ein diogelu ni? Atebasant i'r ail ofyniad, eu bod yn awyddus iawn am gael eu dysgu; i'r trydydd, y caem ni ac oll a berthynai i ni fod yn "*sa*," sanctaidd; ac i'r pedwerydd, os cyfodai cwerylon, y gwnaent hwy fel y cynghorem *ni*; a pha beth bynag a ddygwyddai, na chaem ni ddim niwed. Eto, dywedasant, fod amryw benaethiaid cenedlig a dynion drygionus ar yr ynysoedd, dros y rhai nis gallent hwy fod yn atebol. Yna amlygasom ein penderfyniad i aros yn eu plith, yn nghyd a'r gorsafoedd a fwriadem eu cymmeryd; i'r hyn cydsyniasant, fel y mànau gorau, yn eu tyb hwy, a allasem ddewis; er y cwynai rhai o honynt, na chawsent *hwythau* hefyd Genadon i sefydlu yn eu gorsafoedd *hwy*. Tranoeth, y Sabbath, cawsom foddion trwy y dydd, o'r fath hyfrydaf. Pregethodd y brodyr Platt, Wilson, Barff, a Buzacott, a dau neu dri o'r athrawon brodorawl, mewn gwahanol fànau; yn y prydnawn unasom mewn cymundeb; ac yr oedd cannoedd o'r brodorion yn gwrando ac yn edrych.

---

*W. Tyler, Argraffydd, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

RHIF. XXVI. MEDI, 1838.

CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.



COFIANT BYR AM ANDRIES STOFFLES, HOTTENTOT DYCHWELEDIG.

Yr eglwysi Hottentotiaidd a gasglwyd yn Africa Ddeheuol, trwy offerynoldeb Cenadau y Gymdeithas yn y wlad hòno, a gynnwysant lawer o esamplau rhagorol o gymmeriad a theilyngdod Cristionogol. Byddai yn hyfrydwch mawr i gyfeillion cartrefol y Genadaeth, gael cyfeillach personol weithiau âg un neu ragor o'r cyd-aelodau hyn o'r un corph ysbrydol; ond anfynych iawn y cafwyd y cyfryw gyfarfodydd hyd yn hyn, ac nid yw yn debygol y daw amgylchiadau i'w gwneyd yn amlach o hyn allan. Y diweddar Andries Stoffles ydoedd un o'r ychydig iawn o'r Hottentotiaid dychweledig y cawsom ni yr hyfrydwch o'i groesawi yn ein mysg. Cofir ef yn serchiadol gan dorfëydd o gyfeillion Africa yn y wlad hon, fel un a adnewyddwyd ar ddelw Crist. Daeth Stoffles i'r wlad hon i ddadlau achos ei gydwladwyr gorthrymedig a dyoddefus; ac i ofyn ar eu rhan hwynt am gydymdeimlad a chymmorth Cristionogion Prydain. Yr oedd efe yn ddadleuwr nerthol, oblegid yr oedd yn meddu hyawdledd natur a grym gwirionedd, mewn undeb â dylanwadau crefydd; ac ni adawodd un galon heb ei chyffôi, na'r un meddwl heb ei argyhoeddi, trwy ei grybwylliadau a'i ddeisyfiadau. O herwydd clafychu yn ein hinsawdd annghydnaws ni, dychwelodd i Africa, eithr ni bu fyw ond ychydig ddyddiau wedi cyrhaedd Tref y Penrhyn: hyd ei awr ddiweddaf, sicrêir i ni ei fod ef yn mwynâu tangnefedd a llawenydd trwy gredu;

a syrthiodd llewyrch cariad y Gwaredwr yn llawn ar ei enaid, fel yr ymadawodd i fyd y gogoniant. Bydd yn hoff gan lawer o gyfeillion gael yr hanes byr a ganlyn o'i fywyd ef, yr hwn a roddwyd i ni yn garedig gan un o Genadwyr parchus y Gymdeithas, yn awr yn Africa.

### *Ei enedigaeth a'i fywyd boreuol ef.*

Ganwyd Andries Stoffles tua'r flwyddyn 1776, ar lànau yr Afon Bosjesman. Hottentot o'r llwyth Gonah oedd efe, yr hwn, fel llwyth gwahanrhedol, er ei fod unwaith yn llïosog, oedd yn awr bron a diffoddi. Y wlad a gyfaneddent hwy a elwir Zuirveld, yn gorwedd rhwng y Gamtoos âg Afon Fawr y Pysg. Er yn fachgenyn, yr oedd Stoffles yn sylwydd craff, ac wedi ei ddonio â chof rhagorol. Gyda synwyr naturiol cryf, yr oedd yn feddiannol ar feddwl bywiog ac o dymher wresoglawn; ac o ganlyniad caid ef yn ymgymmysgu yn y brwydrau ffyrnig a'r ymrysonau rhwng y Gwladwyr Ellmynaidd a'r Hottentotiaid. Yn un o'r brwydrau hyn, cafodd ef ei glwyfo yn dost, a phrin y dïangodd rhag colli ei fywyd. Ar achlysur arall, aeth pedrol-fen dros ei gorph ef, a bu agos a'i ladd ef. Parodd y damweiniau hyn iddo lawer o boen yn ei fywyd wedi hyny, ac yn ei dyb ef ei hun, chwanegasant lawer, os na buont yn achos dechreuol, o'r anhwylder o ba un y bu efe farw yn y diwedd. Ar ol ei droëdigaeth ef, yr oedd y damweiniau a fuont mòr agos yn angeuol iddo, yn effeithio yn ddwys ar ei feddwl ef; a chlywwyd ef yn sylwi lawer gwaith, pe buasai farw y pryd hwnw, y buasai yn golledig byth.

### *Ei drōedigaeth ef.*

Amgylchiad a weithiodd yn fawr i benderfynu ei fywyd dyfodawl ef oedd, y ddamwain o'i gymmeryd ef yn garcharor gan y Caffriaid, a'i ddwyn ef o'i wlad ei hun i wlad Caffraria. Preswyliodd yno am gryn amser, dysgodd iaith y Caffriaid, a defnyddid ef fel cyfieithydd. Yn y sefyllfa hòno cymmerwyd ef gan un o benaethiaid y Caffriaid i Bethelsdorp, tua'r flwyddyn 1810. Yr oedd Stoffles y pryd hwnw mewn cyflwr anwar, a chwedi ei wisgo yn y dull Caffraidd; ei unig wisg oedd croen buwch cyweiriedig wedi ei daflu yn rhydd dros ei ysgwyddau, a'i gorph wedi ei ddwbio âg iraid a nôd coch. Pan ddaeth efe gyntaf i addoliad cyhoeddus yn Bethelsdorp, yr oedd efe mòr anwybodus o ddyben ac ystyr y cyfryw gyfarfod, fel y tybiai fod y bobl yn ymgynnull i dderbyn dognau o fwyd, neu anrhegion o fotymau a gleiniau. Ond dëallodd ei gamsyniad yn fuan—cyrhaeddodd gras Duw ei galon ef cyn hir, er iddo fod dro cyn i'w feddwl gael ei lawn oleuo am ffordd iachawdwriaeth. Ei ail ddyfodfa ef i dy Dduw, a ddysgrifir yn y modd nodedig a ganlyn ganddo ef ei hun: "Dywedodd y pregethwr am bob peth a wnaethum i o'm mabandod. Ebe fi wrthyf fy hun, 'Mae hyn yn rhyfeddol iawn, yn sicr rhaid bod fy nghefnder wedi myned at y Cenadwr, a mynegi iddo y cwbl am danaf fi.' Dywedai fy nghefnder, 'Na ddo, ni ddywedais i ddim am danat ti wrth y Cenadwr erioed. Y Bibl yw y peth sydd yn dywedyd i ti am dy galon dy hun.'"

Tarawodd argyhoeddiad o bechod ar ei gydwybod ef yn y fàn, ac nid oedd efe mwyach yr un dyn. Mae yn wir iddo ddychwelyd i blith y Caffriaid, a cheisio bod yn ddedwydd yn ei hen ffyrdd, mewn dawnsio, llawenydd, ac ofer-ddigrifwch; ond yr oedd cydwybod yn ei ddilyn ef, ac ni allai gael llonydd.

Gan y trallodid ef dàn ddwfn deimlad o bechod, a chwedi ymgais yn ofer am esmwythâd i'w feddwl mewn cyfeillgarwch paganaidd, dychwelodd Stoffles i Bethelsdorp, a gwrandawodd drachefn ar bregethiad yr Efengyl; eithr ni chafodd ond cryfâu ei argyhoeddiadau, a chwanegodd aflonyddwch ei feddwl ef yn gyfatebol i hyny. Gwedi ei orchfygu gan ymladdau tufewnol, brysiai yn fynych o'r capel i'r berth, dan lefain yn uchel. Yno, meddant, treuliai oriau, ïe ddyddiau cyfain, mewn neillduaeth oddi wrth bob cyfeillach â dynion, yn gweddïo Duw am drugaredd, ac yn ceisio gorphwysdra i'w ysbryd trwm-lwythog a blinderog. Parâodd yn yr agwedd hon am ddwy neu dair blynedd, wedi crymu dan deimlad o euogrwydd, wedi ei amgylchu gan ddychrynfêydd hunan-gondemniol, ac heb allu cymhwyso ato ei hun feddyginiaethau goludog Efengyl y tangnefedd. Ond Efe yr hwn a addawodd na ddrylliai gorsen ysig, ac na ddifoddai lin yn mygu, a lewyrchodd o'r diwedd oleuni mwy eglur ar ei enaid ef—llawn ddatguddiwyd iddo ffordd iachawdwriaeth trwy Waredwr croeshoeliedig—ni pheidiodd ei alar edifeiriol ef, ond yr oedd ei chwerwder wedi myned ymaith—gwelodd trwy ffydd "Oen Duw yr hwn a laddwyd er dechreuad y byd"—aeth y baich o bechod ymaith—llònwyd ei lygaid ef, a llanwyd ei enau ef â llawenydd, oblegid yr oedd gwaed Crist wedi dwyn heddwch i'w enaid ef.

### *Cynnydd yn y fuchedd Gristionogol—Carchariad am bregethu yr Efengyl.*

Gwedi ei droi o dywyllwch i oleuni, Stoffles yn y fàn a dystiolaethodd ras Duw i'r rhai o amgylch iddo, gan ddangos yr awydd mwyaf am iachawdwriaeth ei gyd-ddynion. Yr oedd ei ymddiddanion, ei gynghorion, a'i weddïau, yn effeithio yn ddwfn ar bawb a'i clywai ef. Mynych y byddai cynnulleidfâoedd cyfain o frodorion ac Europiaid yn cael eu toddi i ddagrau, pan lefarai efe wrthynt am gariad a marwolaeth ei Wared-

wr. Hyn fyddai y mater uwchaf yn ei feddwl ef bob amser, a phan fyddai yn llefaru am hyn, yr oedd ffrwd ei ymadrodd ef yn briodol a neillduol iddo ei hun. Cafodd ei wraig a llawer o'i berthynasau eu dychwel hefyd at Dduw.

Yn mhen yspaid o amser ar ol ei dröedigaeth ef, danfonodd swyddog gwladol, go bell o Bethelsdorp, i'r orsaf am ychydig ddynion i gynnorthwyo yn ngweithfeydd y llywodraeth. Cynnygiodd Stoffles o hóno ei hun fyned; ond cyn gynted ag yr aeth efe i'r lle, dechreuodd bregethu i'r Hottentotiaid a'r gweuryddion (*slaves*) gydag effaith mawr. Yr oedd llawer o wylo, a dywedwyd y "gyrai efe yr holl bobl o'u pwyll." Gwaharddwyd iddo bregethu, ond dywedai Stoffles nas gallai ddàl ei dafod, ac o ganlyniad rhoddwyd ef yn ngharchar. Ond yr oedd y carcharorion yn lliosog, a dechreuodd Stoffles bregethu iddynt hwythau gyda chyffelyb effeithiau; felly yr unig beth a ellid wneyd oedd ei ryddâu ef, a'i ddanfon yn ei ol i Bethelsdorp. Bob amser wedi hyny, cyfrifai yn anrhydedd iddo fod yn garcharor am air ei Waredwr.

*Ei ymlyniad wrth yr achos Cenadawl.*

Pan ddaeth y Cenadon i Latakoo i Africa, aeth Stoffles gyda hwynt i'w gorsaf trwy wlad y Llwynwyr, i lawer o ba rai y bu efe y cyntaf i ddwyn newyddion da yr iachawdwriaeth. Cynnorthwyodd ef i ddechreu Cenadaeth Latakoo, ac arosodd yno bedair blynedd. Bu o wasanaeth mawr iawn i'r Cenadon, y rhai a roddent bob ymddiried ynddo ef. Yr oedd gan Stoffles y fath wybodaeth o duedd ac arferion y brodorion, ag y gallai y Cenadon bob amser gael budd o ymgynghori âg ef. Efe a deithiodd gyda'r Cenadon i holl drefydd a phentrefydd y Bechuaniaid a'r Coranniaid—arweiniodd y Parch. J. Campbell yn ei ail daith yn Africa i Kurrechane, a'r Parch. Mr. Miles, trwy Caffraria i wlad Tambookie; teithiodd lawer hefyd gyda'r Parch. Dr. Philip. Yn yr holl deithiau hyn, er bod yn flin yn aml wedi y diwrnod, nid âi Stoffles byth i orphwys heb ganu hymn a gweddïo.

*Ei wladgarwch ef.*

Yr oedd Stoffles yn wladgarwr gwirioneddol; yr oedd ei bryder ef am ddaioni ei gydwladwyr yn chwanegu fel yr oedd yn heneiddio, ac ymaflai gyda difrifwch a dealltwriaeth yn mhob beth a berthynai i gyflwr cyffredinol y wlad. Teimlai yn llym sefyllfa ddiraddiol ei bobl, fel wedi colli eu tiroedd etifeddawl, eu meddiannau, a'u rhyddid; ac yr oedd ei feddwl yn wastad ar waith, yn ystyried am foddion trwy ba rai y gellid eu gwellâu hwynt. Pan ennillodd yr Hottentotiaid eu rhyddid gwladol, yr oedd ei lawenydd ef yn fawr dros ben; a phan gynnygiodd y llywodraeth iddynt y wlad wrth yr Afon Kat, yr oedd ef yn un o'r rhai blaenaf i dderbyn y cynnygiad; ac er i'r peth ar y cyntaf fod yn achos o galedi mawr ac amddifadrwydd, eto, am y tybiai efe ei fod er lles i'w wlad, yr oedd yn mhlith y rhai blaenaf i fyned a chymmeryd meddiant, o'r hyn a alwai efe yn wlad Canaan yr Hottentotiaid. Yn yr un ysbryd, efe a gyflwynodd ei hun yn hollawl wedi hyny at lwydd y sefydliad; ac yr oedd y bobl oll yn y gwahanol fanau yn ei gyfrif ef yn gyfaill, yn arweinydd, ac yn amddiffynydd iddynt. Yr oedd ei wasanaeth ef, gyda golwg ar achosion ysbrydol y bobl wrth Afon Kat, hefyd o bwys a gwerth mawr iawn. Hyd oni ddaeth Cenadwr i'r rhan hyny o Africa, yr oedd Stoffles, gyda chymmorth brodorion duwiol eraill, yn cadw moddion crefyddol ar y Sabbathau, ac ar bob hwyr yn yr wythnos. Gwedi hyny bu yn ddëon (*deacon*) yr eglwys yn Nhref-Philip, a gwyliodd dros eneidiau y praidd gyda gwresogrwydd, ffyddlondeb, a bywiogrwydd mawr. Dygai yn mlaen y cyfarfodydd gweddi gyda chymhwysder nodedig; a dygodd ei gynghorion ar yr achlysuron hyn, yr effeithiau dedwyddaf ar y bobl.

*Ei ymweliad â Lloegr, a'i farwolaeth.*

Yn Chwefror, 1836, hwyliodd Stoffles i Loegr gyda'r Parch. Dr. Philip, Mr. Read ieuaf, a Jan Tzatzoe, y Penaeth Caffraidd; a chyrhaeddasant Lundain ar y 14eg o Fai. Chwennychai ef ymdrechu yn Lloegr ar ran ei genedl; i weled, ebai efe, y bobl a ddanfonasant yr Efengyl i'w wlad ef; ac i draethu ei ddïolchgarwch iddynt am y fendith anmhrisiadwy. Efe a wnaeth y pethau hyn, ond nid i'r helaethrwydd a ddymunai. Ger bron Cyfeisteddiad y Ty Cyffredin yn achos Cynfrodorion Africa, efe a osododd allan gwynion ei gydwladwyr cystuddiedig, ac a wnaeth argraff ddofn yn mhlaid eu hawlion hwy a'r eiddo ei hun. I gyfeillion y gwaith Cenadol mewn gwahanol ranau o'r deyrnas, rhoddodd ei areithiau bywiog a hyawdl ef y boddâd mwyaf, a'r hyfrydwch puraf. Ond yn Hydref 1836, dechreuodd ei iechyd ef waelu yn gyflym, oblegid effaith anghydnaws hinsawdd ein gwlad ni, yn nghyd â'r hen achosion a grybwyllwyd o'r blaen; a chynghorwyd ef i adael Lloegr yn ddïoed. Ar y 7fed o Dachwedd hwyliodd i Africa, gyda'r Parch. J. Read, ieuaf, a'r Parch E. Williams. Yn nechreu ei fordaith, gwellâodd ei iechyd ef debygasid; ond wedi croesi llinell y cyhydedd, gwaelodd drachefn, ac ar ei diriad yn Nhref y Penrhyn, dechreuodd wanychu yn gyflym. Bu yn gorwedd yn Green Point am ychydig amser; ond rhyddâwyd ef o'i ddyoddefaint ar y 18fed o Fawrth, 1837.

Yn oriau ei farw, yr oedd ei feddwl yn dawel a boddlawn. Dywedai na chawsai erioed fwynâu mwy o bresenoldeb Duw ei Iachawdwr nag ar ei fordaith. Pan roes

heibio ddisgwyl gwellâu, cwynai na chawsai ei arbed i fyned a mynegi i'w bobl yr hyn a welsai ac a glywsai yn Lloegr; yr âi ac y dywedai ei hanes yn y nef; ond tybiai y gwyddent hwy ychwaneg yno nag a fedrai efe fynegi iddynt.

Cwynir marwolaeth Stoffles gan dorfêydd o'r brodorion o fewn i'r Drefedigaeth a thu hwnt hefyd: pobl yr Afon Kat prin y gellid eu cysuro, ac ofnai rhai am ei wraig a'i ferch ef, y rhai oeddynt yn rhagorol hoff o hóno, y syrthient yn aberthau i'w galar. Ond offrymwyd llawer o weddïau yn eu hachos hwynt, ar fod i'w galar trwm ddwyn yn helaeth o heddychol ffrwyth cyfiawnder iddynt.

---

## MOROEDD Y DE.—RAROTONGA.

Y canlynol sy ran o'r cyfieithiad o lythyr oddi wrth yr Eglwys Frodorawl yn Rarotonga, dàn ofal bugeilaidd y Parch. C. Pitman, at y Gweinidog a'r Eglwys sydd yn ymgynnull yn Heol y Brenin, Portsea:—

At y Cyfeillion a'r Eglwys yn Lloegr, ac hefyd at Weinidog ein Gweinidog ni, Mr. Pitman.

Boed i chwi gael eich achub gan y gwir Dduw, gan Jehofah y gwirioneddol Dduw, yr hwn a edrychodd arnom ni gyda thosturi, ac a'n bendithiodd ni. Y rhai hyn yw ein geiriau ni, y rhai yr ydym yn eu mynegi i chwi, fel y galloch wybod. Ein gwir gyflwr ni gynt oedd baganaidd: yr hyn a wnaethom ydoedd hollol ddrwg; addolasom eilunod. Tangaroa ydoedd enw ein duw mawr ni: lladdasom ddynion ac offrymasom hwy i'r eilun hwnw, am y tybiem mai efe oedd y gwir Dduw, ac yr oeddym yn foddlon iawn wrth ei addoli ef. Pan ddaeth gair Duw i'n gwlad ni, y pryd hwnw yr iawn hysbyswyd i ni mai Jehofah oedd y gwir Dduw, ac mai Iesu oedd yr aberth trwy yr hwn y maddeuir pechod. Daliasom y gair hwnw, ond nid ystyriasom ef yn fanol. Ar ddyfodiad ein gweinidog, Mr. Pitman, y cawsom ni ein hyfforddi yn fwy cyflawn mai Jehofah oedd y gwir Dduw, ac mai Iesu oedd y gwir Iachawdwr trwy yr hwn ein hachubir ni: y pryd hwnw addysgwyd ni yn ngair Duw, a dysgodd ein gweinidog ni i ddarllen ac ysgrifenu. Mae gwyr, gwragedd, a phlant, yn dëall. Pan ddaeth y gwir amser, yna tarddodd i fynu ordinâdau, yr ordinâd o fedydd a swpper yr Arglwydd. Derbyniwyd llawer i'r eglwys: mae y bobl hefyd yn cael eu bedyddio, ac yn dyfod yn mlaen am fedydd, yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Yr ydym yn awr yn preswylio yn gysurus, yn myfyrio ar ryfeddol dosturi Duw, ac mae yn orfoledd genym feddwl eich bod chwi yn gweddïo drosom ar Dduw, fel y bendithier ni, fel y caffom iachawdwriaeth i'n heneidiau.

Trwy ryfeddol dosturi Duw yr ydym wedi ein gwneyd yn un; yr ydych chwi wedi eich dwyn yn agos atom ni, ac yr ydym ninnau wedi ein dwyn yn agos atoch chwithau. Boed i'n llawenydd barâu, ïe hyd oni ymgyfarfyddom wyneb yn wyneb yn nheyrnas Duw, yn y lle hwnw am yr hwn y dywedodd ein Harglwydd Iesu wrthym, "Yr wyf fi yn myned i barotôi lle i chwi." Gadewch i ni fod yn llawen am y geiriau hyn.

Dyma air arall i chwi, frodyr; yr ydym ni yn gweddïo Duw dros yr holl wledydd paganaidd, ar iddynt hwythau ddyfod yn bobl Dduw, fel y gweddïasoch chwi ar Dduw dros y paganiaid: a gwrandâwodd Duw eich gweddïau, yn gymmaint a bod gair Duw wedi cyrhaedd Rarotonga. Boed iddo hefyd gyrhaedd pob gwlad sydd yn awr fel y buom ni unwaith. Mae peth arall genym i'w hysbysu i chwi; bod dau ddyn wedi eu dewis gan yr eglwys yn ddïaconiaid, a dau eraill wedi eu neillduo, a chwedi myned at y paganiaid, y rhai y tosturiwn wrthynt, am eu bod yn anwybodus o air Duw; sef, fel y tosturiasoch chwi wrthym ni, y rhai yn awr trwy ras Duw ydym wedi ein dwyn yn agos: boed i'r holl fyd hefyd gael ei ddwyn yn ol. Dyma air arall; derbyniasom y ddwy gloch a ddanfonasoch i ni: y pethau dïeithr hyn a barasant i ni syndod mawr pan y cawsom hwynt.

Yn awr, frodyr, gadêwch i ni fod o'r un meddwl a gweithred, fel y byddo yr hyn a wnelom yn cytuno â *gair Duw; carwn* ein gilydd; fel y carodd *Duw ni*, gadewch *i ninnau* garu. Mae genym beth arall i'w hysbysu i chwi; mae ein gweinidog yn ddiwyd iawn yn addysgu y bobl, ac yn dysgu y plant, yn ngair Duw. Mae yn fwyn iawn i ni, ac yn dàl i fynu dàn y drygau a gyfodant yn y wlad; mae yn rhyfeddol o awyddus am i deyrnas Dduw gynnyddu yn ein gwlad ni, fel y caffo y bobl ras; dyna pa ham yr ydym yn dàl yn gadarn air Duw.

Os bydd foddâol genych, ysgrifenwch atom lythyr, fel o gwypom eich meddyliau, ac y llawenychom wybod beth sy genych i'w ddywedyd wrthym. Dyma'r hyn sy genym ni i'w ddywedyd i chwi, frodyr, yn Mrydain, yn nhref Mr. Pitman, ac hefyd wrth ei weinidog ef. Dim mwy i'w chwanegi, frodyr.

Achuber chwi gan Jehofah y gwir Dduw, a chan Iesu Grist ein Gwaredwr. Oddi wrth yr Eglwys yn Rarotonga, yn y dref lle mae yn byw Mr. Pitman, yn Vaikotobu,* yr ysgrifenir y llythyr hwn.

---

* Enw cyffredin y sefydliad yw Ngatangiia.

*W. Tyler, Argraffydd, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

## RHIF. XXIV. MAWRTH, 1838.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.

### PERYGLON YN YR ANIALWCH.



Nid yw cynnydd gwareiddiad yn Ngogledd yr India hyd yn hyn wedi effeithio i yru gwylltfilod o'r wlad, y rhai y mae eu hanrheithiau yn y parthau mwyaf annghyfannedd o hyd yn achos o ofn; ac yn fynych yn achos o ddyoddefaint a marwolaeth i'r brodorion, ac weithiau i'r trigolion Europaidd. Coedwigoedd tewion Rhaglawiaeth Bengal yw y cynniweirfâoedd mwyaf addas i arferion ysglyfaethgar y milod anwar hyn, a lle mae eu rhuthrau i'w hofni fwyaf; ac o'r coedwigoedd hyn, mae y dywalgi, (*tiger*) y mwyaf ofnadwy o honynt oll, yn rhuthro allan, mewn llawn nerth a ffyrnigrwydd dïarbed, i lythu ei dueddiadau gwaedlyd, yn rhy fynych ar anrheithiau o ddynion. Crybwyllwyd ryw amser yn ol, mewn cyhoeddiad cylchawl Indiaidd, ar awdurdod llythyr o Barripore, gorsaf Genadol, fod y dywalgwn wedi gwneyd difrod mawr yn mhlith y Molungeeaid, yn yspaid y tymmor oedd yn diweddu y pryd hwnw; yr oedd mwy na 50 o bersonau wedi cael eu dwyn ymaith, neu wedi eu harcholli yn angeuol. Dywedir yn mhellach, am bentref ar derfyn y goedwig, fod bachgen ag oedd ar waith yn tòri coed, wedi ei gipio gan un o'r milod ffyrnigaidd hyn; ac i'w fam, pan

glywodd hi ysgrechiadau ei phlentyn, ruthro yn mlaen i'r lle, ac ymaflyd ynddo gerfydd ei draed. Yn yr ymdrech a ganlynodd, y dywalgi a fu drechaf, a llwyddodd i ddwyn ymaith yr aberth ieuanc, i'w loches yn y goedwig. Y cerfiad blaenorol sy ddangosiad o'r tro anffodus hwnw.

Er môr ddychrynllyd yw y drygau mae brodorion yr India yn agored iddynt, oddi wrth wylltfilod yr anialwch neu y goedwig; teimla y Cristion y tosturi mwyaf drostynt eto, fel y maent yn ysglyfaethion ynfyd i eilun-addoliaeth gwaedlyd a didynerwch, trwy yr hyn mae eneidiau dynion, yn gystal â'u cyrph, yn cael eu distrywio. A bydd y Cristion, oddi ar bob golwg a all efe gymmeryd ar eu hamgylchiadau a'r hyn sydd o'u blaen, yn dra awyddus i chwanegi ei ymdrechiadau i'w gosod hwy mewn meddiant o Efengyl gras Duw, yr unig foddion o waredigaeth oddi wrth eilun-addoliaeth a phechod.

---

## ERLID A MERTHYRDOD YN MADAGASCAR.

Mae yn awr dair blynedd er pan dòrodd fflâm erledigaeth union-gyrchol ac angerddol allan, yn erbyn Cristionogion yn Madagascar, trwy gyhoeddiad cyfraith yn gwarafun pob addysg Cristionogol yn y wlad. Er môr wir alarus oeddem o herwydd hyn, eto nis gallem fod yn ddïobaith o ran y canlyniad. Cynnaliwyd ein gobaith, nid yn unig trwy adolygiad o hanes yr Eglwys cyn hyn, a thrwy gofio tystiolaeth galonogus ei Sylfaenydd Dwyfol, " na orchfyga pyrth uffern mo hóni;" eithr hefyd trwy ein gwybodaeth o ffeithiau o'r fath mwyaf calonogus a boddlonawl, y rhai mae yn well genym beidio eu cyhoeddi yn bresenol: gallai y cyhoeddiad o honynt gyrhaedd Madagascar, a bod yn niwed i rai Cristionogion sydd yno, pe amgen byddai yn dda genym eu gwneyd yn gyhoeddus.

Gan i bob addoliad cyhoeddus gael ei warafun drwy y gyfraith yn 1835, yr oedd yn rhaid i'r rhai a broffesent ffydd yn y Gwaredwr, un ai cyfarfod âg angau trwy wrthwynebiad union-gyrchol i orchymynion y Frenines, neu ddàl i fynu yn ddirgelaidd yr arferiad o'r ychydig foddion er lles crefyddol ag oedd o hyd yn eu plith, neu a ffurfient drwy eu sêl a'u cariad eu hunain. Fel hyn, heb annog soriant bygwthiedig y Frenines ar y naill law, na chilio yn ddigalon i ymguddiad hollawl ar y llaw arall; yr oedd rhai o honynt yn arfer ymgyfarfod ar y Sabbathau ar ben mynydd, ryw encyd o ffordd oddi wrth y Brif-ddinas, i ddarllen yr Ysgrythyrau, canu, a gweddïo. Yn ddiweddar cafwyd allan y rhai hyn; ac arweiniodd hyny i chwiliad pellach. Cafwyd hyd i gistiaid o lyfrau Cristionogol yn agos i breswylfa gwraig Gristionogol enwog iawn, am yr hon y sonir eto; yr hyn a arweiniodd i'w chymmeriad hi i fynu a'i dodi yn ngharchar: rhoddwyd ei thy a'i meddiannau hi i fynu yn yspail yn y fàn; a hi ei hun, wedi ei phoeni dros amryw ddyddiau yn dost, i geisio peri iddi gyffesu enwau ei chyfeillion Cristionogol, a ddedfrydwyd i angau gwarthus trwy ddwylaw y dïenyddwr cyffredin. Yr oeddid wedi dàl 15 eraill, a chwedi eu dedfrydu i golli eu rhyddid yn hollawl, ac am eu hoes, heb byth gael eu rhyddâu gan eu cyfeillion; a chyda'r ammod pellach, os gwerthir hwy drosodd i feistriaid eraill, bydd hyny ar y cytundeb o beri iddynt weithio o fore hyd nos, hyd derfynau eithaf eu grym. Attafaelwyd eu meddiannau hwy hefyd: ac yn ol defod Madagascar, pan gymmerir eiddo drwg-weithredwr felly, mae y ddegfed ran yn myned rhwng y swyddogion gwladol: ond yn yr amgylchiad hwn, mae yn hoff genym ddywedyd, ni chaid ond ychydig o'r swyddogion a gymmerent eu rhan o eiddo dirwyol y Cristionogion, pan ei cynnygiwyd iddynt,—dim ond rhai o'r fath waethaf o honynt, a gyffyrddent âg eiddo yr ymddangosai bod rhywbeth cyssegredig o amgylch iddo. O'r rhai oedd yn brïod, cafodd eu gwragedd a'u plant, pa un bynag a oeddynt yn proffesu Cristionogaeth neu beidio, eu gwerthu i gaethwasanaeth hefyd; ond gyda'r amgylchiad esmwythâol hyn, y goddefid eu rhyddâu hwynt: mae y nifer oll sydd yn yr amgylchiad hwn, yn agos i gant o bersonau.

Ond pa môr gryf bynag yw hawlion y dyoddefwyr byw hyn, os ydynt yn wir yn fyw hyd yn hyn; mae y pwysder mwyaf, debygid, yn nghylch dyddiau diweddaf cyn-ferthyres anrhydedd-fawr Madagascar, *Rafaravavy*. Gan ei bod hi, trwy weithred anghyfiawn y " rhai a allant yn unig ladd y corph," wedi ei gosod tu hwnt i gyrhaedd ychwaneg o ddïal; yr ydym yn teimlo yn rhydd i roddi crybwylliad mwy neillduol o'i hanes blaenorawl hi.

O'r pryd y gwnaeth hi broffes o'i ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, yr hyn oedd tua saith mlynedd yn ol, rhoddodd y prawf mwyaf boddlonawl o rinwedd yr Efengyl yn ei dylanwad dullnewidiawl; ac yn ei holl ymddygiad, hi a arddangosodd nodwedd y Cristion yn anrhydeddus iawn. Yn addfwyn a rhydd yn ei thymer, eto yn egnïol a phardol yn ei hymdrechiadau i wneyd daioni, ac wedi ei chynnysgaethu â doniau naturiol mawr iawn; yr oedd ynddi hi y dangosiad gorau o'r cymmeriad brodorawl a welodd y Cenadon o gwbl; a thàn effeithiau crefydd, un o'r esamplau mwyaf boddâol a allent ddymuno o lwyddiant eu gweinidogaeth.: pawb a'i gwelsant hi, gwelsant baganes a ddygasid allan o dywyllwch i

oleuni, ac un wedi ei llenwi â ffrwythau yr Ysbryd. Ei hymdrechiadau gweddïol hi ar ran eraill, yn gynnaliedig gan ei hymddygiad cyson hi ei hun yn mhob peth arall, nis gallent fod, ac nid oeddynt, yn aneffeithiol. Os pery rhesymau o gallineb i'n rhwystro ni i ddywedyd ychwaneg yn bresenol, eto y dydd a ddatguddia ddirgelion pob calonau, a ddatguddia ei llafur hi o gariad, a'r fendith â pha un y coronwyd y llafur hyny gan Dduw.

Yn yr haf, 1836, gwnaed prawf llym-dost o'i ffydd a'i hamynedd hi; daliasant y prawf, a chafwyd hwy yn werthfawrusach nâ'r aur, er eu profi trwy dân. Rhoddwyd cwyn yn ei herbyn hi ger bron y llywodraeth gan rai o'i chaethwasanaethyddion, ei bod yn cadw y Sabbath, yn cadw ac yn darllen yr Ysgrythyrau, ac yn ymddiddan â rhai o'i chyfeillion am bethau crefyddol. Y rhai hyn oedd y beïau a roddwyd yn ei herbyn: ni wadodd hwynt, eithr addefodd wirionedd yr achwyniad, ac nis gallai penwyni tad, eilun-addolwr gwresog, na bygythion gwgus y Frenines, ei dychrynu hi i wadu ei phroffes. Mewn disgwyliad beunyddiol o farwolaeth, dywedai y pryd hwnw wrth gyfaill (neu gyfeilles) anwyl, i'r hwn yr arferai, gan gydgymmysgu eu dagrau, adrodd teimladau ei chalon, nad oedd hi yn gofalu dim llawer am ei bywyd; os tywelltid ei gwaed hi ar y ddaear, gobeithiai y byddai yn foddion i gynneu y fath deimlad o blaid Cristionogaeth yn Madagascar, ar nad elai yn niffodd yn fuan. "Oni ragrybyddiodd y Gwaredwr ni," ebe hi, "y casêid ni gan bawb er ei fwyn ef? Bu farw Mab Duw yn ein lle ni, ac yn fuan gwareda hyny ni oddi wrth ein holl ddyoddefiadau. Mi a wn i bwy y credais; ac er tywallt fy ngwaed i, ac i'm corph gael ei adael i'w ddifa gan gwn; (yn ol defod atgas y wlad hòno pan ddïenyddir neb) rhaid i air Duw lwyddo yn y wlad hon." Dywedai hefyd gyda mawr deimlad, "Gweddïwch drosof, os yw ewyllys Duw i mi ddyoddef yn awr, ar iddo ef gymmeryd fy enaid ato ei hun; neu, os arbedir fi, bod i mi fyw mwy nac erioed i'w ogoniant ef." Nid oedd dim a'i gofidiai hi yn fwy, meddai, nâ chyflwr ysbrydol y rhai o'i hamgylch; ac yr oedd y disgwyliad union-gyrchol o ferthyrdod ei hun yn llai poenus iddi hi, nâ gweled ei holl berthynasau yn byw mewn drygioni.

Nid oedd y Frenines y pryd hwnw yn gweled yn dda i roddi cosp marwolaeth arni hi. Dedfrydwyd hi i dalu dirwy arianol, o hanner ei phris pe gwerthasid hi i gaethiwed; a bygythiwyd a rhybyddiwyd hi yn llym, "er arbed ei bywyd, eto y dysgid iddi wers, na byddai iddi hi chwarae â chyfraith y Frenines."

Prin y gellid cael esampl mwy nodedig o faddeugarwch ac addfwynder Cristionogol yn holl hanesion yr Eglwys, nag a ddangosodd hi ar y tro profedigaethus hwn. Tra yr oedd llawer o'i theulu hi mewn digofaint tuag at ei chyhuddwyr, y rhai fel caethion, a dalasant yn ddrwg iddi hi am ei thynerwch blaenorol tuag atynt, yn bygwth eu cospi; sicrâodd hi iddynt ar ei rhyddâd, nad oedd hi yn coleddu dim dïal, ond ei bod yn maddeu iddynt yn rhwydd ac yn hollawl. Gweddïodd am drugaredd Duw iddynt, cynghorodd hwy yn ddifrifol, a cheisiodd eu tywys hwy i edifeirwch, gan eu cyfarwyddo hwy at y Gwaredwr am faddeuant. Ei hysbryd dilyn-wiw hi tuag at ei chyhuddwyr, heblaw rhoddi prawf chwanegol o wirionedd a gradd uchel ei duwioldeb, a adawodd hefyd dystiolaeth foddlonawl na bu ei llafur sanctaidd hi yn ofer.

Gwedi y byrdraith hwn o'i gyrfa hi, ni bydd yn rhyfedd clywed i'r erlid parâus a dòrodd allan yn awr gyda ffyrnigrwydd chwanegol, ei chael hi yn mhlith ei ysglyfaethon boreuaf. Cafodd Rafaravavy yr anrhydedd o fod y merthyr cyntaf yn Madagascar. Yn agos i'w phreswylfa hi y cafwyd y llyfrau gwaharddedig—yr Ysgrythyrau, a llyfrau crefyddol eraill, o argraff-wasg Madagascar. Arni hi y tywalltwyd dïaledd y Frenines, a hi a syrthiodd drwy bicell, neu waew-ffon, y dïenyddwr cyhoeddus: ond ei henaid a ymunodd â thyrfa y gwaredigion mewn gogoniant, y rhai a ddaethant allan o'r cystudd mawr. Dysgrifir ei mynydau diweddaf hi, mewn llythyr oddi wrth Mr. Johns, fel hyn:—

"Pan gafwyd y llyfrau yn agos i'w chartref hi, rhoddwyd i fynu ei holl feddiannau yn yspail, sicrâwyd ei pherson hi, a llwythwyd ei dwylaw a'i thraed â thyrch haiarn trymion. Bygythiwyd hi yn ofer am o 8 i 10 niwrnod, i geisio peri iddi gyhuddo ar ei chyfeillion. Daliodd hi yn gadarn, ac yn berffaith dawel a dïysgog; a rhoddwyd hi i farwolaeth trwy ei gwânu â gwaew-ffon, ar y 14eg o Awst, 1837. Dywedai amryw weithiau mewn llythyr at ei chyfeilles, Mrs. Johns, 'Nac ofnwch o'm hachos i: yr wyf yn ewyllysgar a pharod i farw er mwyn Iesu, os felly yw ewyllys Duw.' Cafodd ei nerthu yn y modd mwyaf rhyfeddol hyd y mynyd olaf o'i bywyd. Ei hoedran yn marw oedd 38 o flynyddoedd. Yr oedd llawer yn sylwi, hyd yn nod o'r hen bobl, na welsant hwy neb erioed mòr 'gyndyn' â Rafaravavy; oblegid, er gwahardd o'r Frenines iddi weddïo, hi a weddïai hyd yn nod mewn heïyrn: a pharâai i bregethu Crist i'r swyddogion ac i'r dyrfa a'i canlynai, am yn agos i dri chwarter milldir, o le y condemniad cyhoeddus, i'r lle o ddïenyddiad cyffredin. Yno parâodd i weddïo, ac i gynghori pawb o'i hamgylch i gredu yn Iesu Grist, hyd oni amddifadwyd hi o allu i lefaru, gan bicell y dïenyddwr, wedi ei thrywanu trwy ei chorph hi."

Y rhai hyn ydynt grybwylliadau y teimlwn yn afreidiol gwneuthur llawer o sylwadau arnynt; ac eto teimlwn yr un mòr anmhosibl attal yr amlygiad o ryfeddod a diolchgarwch duwiol, wrth ystyried y fath brawf dysglaer a nodedig o wirionedd ac effaith yr Efengyl. Dyma eilun-addoles ddychweledig yn cael ei dwyn at brawf y merthyr, ac mewn modd ardderchog yn "gwrthod derbyn ymwared, fel y gallai gael adgyfodiad gwell;" ac yn cael "ei nerthu o wendid," heb gyfrif einioes ei hun yn werth ei meddiannu, os na cha'i hi wneyd proffes o enw y Gwaredwr!

Pa le mae y Cristion ni theimla ennyniad o hyfrydwch a gorfoledd sanctaidd wrth weled, wedi i ddeunaw càn' mlynedd fyned drosodd, bod yr Efengyl a goffeidiodd efe, o hyd yn gymmaint cysur mawr ag oedd hi erioed, hyd yn nod yn y golygfëydd mwyaf tywyll a pheryglus o hanfodiad dynion? Pa le mae ewyllysiwr da i'r gwaith Cenadol, ar ni chyfyd oddi wrth ddarllen yr hanesion o'r ffeithiau hyn, ac yn orfoleddus a fendithia Dduw, am y gall crefydd y groes o hyd ddarpar a chynal ei merthyron, hyd yn nod yn nghanol gelyniaeth a chreulondeb paganaidd? Pa le mae y digred a all attal ei deyrnged o barch, wrth edrych ar y fath ddewrder moesol goruchel, y fath egwyddor nerthol a grymus yn nghanol peryglon ofnadwy, a'r fath ymostyngiad addfwyn dan ddyoddefiadau fwy na mwy, a hyny mewn benyw, y llestr gwanaf?

Mae yr hwn sydd yn eistedd ar orsedd y bydysawd o hyd yn gwylied dros lwyddiant yr Eglwys; ac mae yn sicr genym y bydd i gyfeillion y gwaith Cenadol, gyda thaerineb sanctaidd, ddwyn achos y Gwaredwr yn Madagascar at orsedd-fainc y gras. A fydd dim yn anhawdd i'r Arglwydd? Ai ni all Ef, holl-ddarostyngol Ysbryd yr hwn a gyfnewidiodd Pomare ac Africaner, ac a'u gwnaeth yn gyfeillion a phleidwyr dïysgog i'w achos; gyfnewid ysbryd creulawn a thrahâus *Ranavalono* i ysbryd gostyngedig, crediniol, ac ufudd *Rafaravavy?* Yna, hi sydd yn awr yn ddibris o waed a dyoddefiadau ei deiliaid, a ymgrymai wrth ei Groes ef, enw yr hwn mae hi wedi penderfynu ei ddilëu o'i gwlad; a hi a ga'i faddeuant ganddo Ef, gyda'r hwn mae aml ymwared.

Yn mhob adeg o gyfyngder, ceisiodd yr Eglwys ymwared trwy weddi; gweddi daer a ffyddiog ni bu erioed yn ofer; a gobeithir yn ddifrifol y bydd i'n brodyr yn Nghrist ddadlau dros Madagascar, a gweddïo am y cymmorth sydd angenrheidiol i'n cyfeillion a erlidir, fel nad ofnont hwy ddim o'r pethau hyn, ac na ddychryner hwy mewn un modd gan eu gwrthwynebwyr; ac fel y byddont sicr a dïymmod, gan gymmeryd eu hyspeilio o'r pethau sydd ganddynt yn llawen, ac hefyd gorchymyn eu heneidiau i Dduw, megys i Grëawdwr ffyddlawn, gan wneuthur yn dda.

Y damweiniau o bwys mawr a difrifol a achlysurodd yr hysbysiad presenol, nid ystyrir hwy fel yn effeithio ar aelodau Cymdeithas Genadol Llundain yn unig; ond effeithiant yr un mòr rymus, mae yn sicr genym, ar ddisgyblion Crist yn mhob dosparth o'r Eglwys yn ein hanwyl wlad ein hunain, (yr hon unwaith a fu yn olygfa o gyffelyb greulonder a dyoddefiadau er mwyn ei enw Ef,) yn Eglwysi Europe, America, a holl gymdeithas y Credinwyr drwy yr holl fyd yn gyfan: dïammau y cydymdeimlant oll yn dduwiol â mynychgwynion eu brodyr mewn rhwymau. Nid yw yr holl wir Gristionogion ond aelodau o'r un corph; dangosir yr unedd hyny yn brydferth iawn gan yr Apostol pan y dywed, "Pa un bynag ai dyoddef a wnâ un aelod, mae yr holl aelodau yn cyd-ddyoddef;" ac yr ydym yn teimlo yn sicr y dangosir ef hefyd ar yr achlysur hwn: a thrwy yr holl gorph hwnw, teimlir y cyd-dosturi mwyaf tyner a sancteiddiol; a dyrchefir cyd-weddïau taerion at yr Arglwydd, hyd oni ddelo efe allan o'i fangre, dynoethi ei fraich sanctaidd, a gwneuthur ymwared i'r rhai yn awr a lusgir i angau, ac ydynt barod i'w lladd.

Ymddangosai yn ddymunol i Gyfarwyddwyr y Gymdeithas Genadol, a'u brodyr yn y Weinidogaeth yn Llundain a'i hamgylchoedd agosaf, bod i'r hanes gofidus uchod o Madagascar gael ei ddwyn dàn sylw yr amrywiol gynnulleidfaoedd, ar y pedwerydd Sabbath yn mis Ionawr, a bod i gyfarfod gweddi gael ei gynnal yn neillduol yn mhob Capel ar y 29ain o Ionawr, i weddïo dros y Cristionogion brodorawl yn Madagascar. Gwnaed felly drwy yr holl Gapelydd yn Llundain, ac yn y Capelydd Cymreig hefyd; crybwyllwyd swm yr hanes uchod ar y nos Sabbath, a chynnaliwyd cyfarfodydd gweddi y nos ganlynol. Deisyfodd y Cyfarwyddwyr yn ostyngedig trwy lythyrau cylchredawl, ar i'w brodyr yn y wlad wneyd yr un modd can belled ag y gallent; a lle nas gellid gwneyd felly ar y nosweithiau a enwyd, teimlant yn sicr y gwna eu brodyr Cristionogol hyn yn mhob màn can gynted ag y gallant: ac ef allai y cedwir cyfarfodydd gweddi trwy eglwysi Cymru oll, yn achos Madagascar, pan ddelo y papyryn hwn yn daenedig ar hyd y wlad, os nad ydys wedi gwneyd hyny eisoes. Calondid mawr i weddïo yn achos Madagascar a'r holl fyd, fydd cofio y geiriau hyny o eiddo Duw ei hun,—"Pwy wyt ti y mynydd mawr? ger bron Zorobabel y byddi yn wastadedd; ac efe a ddwg allan y maen penaf, gan waeddi, Rhad, rhad iddo."

---

*W. Tyler, Argraffydd, Llundain.*

Darlun Cenadawl,

RHIF. XXV. MEHEFIN, 1838.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.



ABERTHU DYNION YN TAHITI.

Yn ei hanes o'r rhan greulawn hon o Baganiaeth yn Tahiti gynt, mae y Parch. H. Nott yn ysgrifenu fel y canlyn:—

"Mae yn dda genyf eich dodrefnu â pheth hanes am yr aberthau dynol a offrymid gynt gan Ynysolion Môr y Dê, ac am y duwiau i ba rai yr offrymid yr aberthau hyny. Wrth wneyd hyn, ni ddywedaf ond yn unig am yr Ynysoedd Georgaidd ac Ynysoedd y Gymdeithas, lle y bûm i yn aros am gynnifer o flynyddau.

"Yr oedd duwiau Ynysoedd Môr y Dê yn lliosog, ac yn cyfanneddu yr awyr, y ddaear, a'r môr. Dwyfolai y Tahitiaid yr *albatross*, y crychydd, y golomen, a'r wennol; y ci, y llygoden, y fadfall, a'r pryf cantroed; y morgi beiddiawl, y cledd-bysg arswyd-bair, gyda lliaws o bysgod eraill llai eu maint. Ond y duw Oro oedd prif wrthddrych eu hofn hwy; a hwn y ceisient ei foddâu âg aberthau dynol.

"Am y personau a ddewisid i'r ddefod greulawn hon, ni syrthiai y dewisiad byth ar fenywaid, y rhai a ystyrid fel yn *gyffredin*; ond y gwrrywaid, am yr ystyrid hwy yn *gyssegraidd*, yr oeddynt yn ddewisadwy o herwydd hyny. Nid oedd trosedd yn erbyn y brenin neu un o'r duwiau, o angenrheidrwydd yn peryglu dyn i gael ei aberthu; ac er y peryglai fywyd y troseddwr, nis gellid offrymu y corph fel aberth. Yn wir dewisid y rhai i'w haberthu allan o *ardaloedd* a *theuluoedd* pennodol, a neillduid i'r perwyl hyny. Y cyntaf a elwid *Fenua tapu*—ardaloedd dïofrydawl; yr ail, *Fetii tapu*—teuluoedd dïofrydawl; a phryd bynag y lladdid dyn yn aberth, o un o'r ardaloedd a'r teuluoedd hyny, edrychid o hyny allan ar y cyfryw ardal a theulu yn *ddïofrydawl*, a phob *gwrryw* ynddynt a ystyriai ei hun mewn perygl bob awr, pryd bynag y byddai unrhyw seremoniau cyhoeddus i'w cyflawni. Yr achlysur, ar ba un yr aberthid dyniòn, yn gyffredin oedd, y cyflawniad o ryw ddefod grefyddol gyhoeddus; megys urddraddu eu breninoedd, neu eu duw *Oro*, pan fyddai rhyw enw neu swydd newydd yn cael ei rhoddi iddynt. Pan fwriedid unrhyw gyflawniad o'r fath hyn, cyhoeddid y peth yn wastad hir amser yn mlaen, weithiau amrai flynyddoedd—yna y rhai a wyddent eu bod mewn perygl a symmudent yn fynych i ynys arall, hyd oni byddai y defodau drosodd, gan obeithio dïanc fel hyny; ond yn gyffredin ofer fyddai eu gwaith. Os dïangent un tro, byddent yn sicr o syrthio y tro nesaf; ac er dïanc o un ynys i'r llall, pan fyddai defod o'r un fath i gymeryd lle yn yr olaf, yr oeddynt yn yr un perygl o syrthio yno ag mewn unrhyw fàn arall. Yn wir nid oedd dim noddfa sicr, ond trwy fyned i ryw ynys lle na byddid yn aberthu dynion o gwbl. Nis gellid gwneyd dim iawn, na darpar tannorth, (*substitute*) i gael ymwared, nac hyd yn nod oediad, oddigerth am fyr amser, hyd oni byddai eisiau aberth drachefn.

"Pa fodd bynag, yr oedd dwy ffordd trwy ba rai y gallai dyn dïofrydawl ddïanc *efallai*, ond nid yn *sicr*: un oedd, trwy fod yn nodedig o fywiog a gwyliadwrus mewn rhyfel, i ddistrywio gelynion y brenin, yn enwedig penaethiaid a rhai o radd uchel. Byddai hyn, mewn achosion cyffredin, yn sicr o ennill ewyllys da, parch, a dyrchafiad; ond ni byddai yn ddiogeliad sicr rhag syrthio yn aberth mewn blynyddoedd i ddyfod. Y ffordd arall oedd, cyflawni rhyw weithred o ryfeddol ysgelerder. Dygwyddodd peth fel hyn tua'r amser y cyrhaeddodd y llong *Duff* yn Tahiti. Yr oedd y dyn a grybwyllaf wedi ei fwriadu yn aberth, ond i'r dyben o ragflaenu hyny, efe a laddodd *ei frawd ei hun* fel yn ei le; a llwyddodd ei weithred ofnadwy; oblegid càn gynted ag y clywodd y brenin rhaglaw (Vairaatoa, tad Pomare yr Ail) am y tro, dywedodd, 'Ah, mae efe yn ceisio am ddyrchafiad, a dylai ei gael;' a gorchymynodd ei wneyd ef yn benaeth ar un o'r ardaloedd. Yn y sefyllfa hòno y parâodd hyd oni ddaeth y cyfnewidiad, yr hwn a'i hachubodd ef a llawer eraill o ddistryw: cafodd Duw iawn: y dyn hwn a llawer eraill a gofleidiasant Gristionogaeth, a fedyddiwyd, gwnaed ef yn ddïacon mewn eglwys, a bu fyw a marw yn ffydd a gobaith yr Efengyl. Syrthiodd rhai o'n gweision ni ein hunain yn aberthau i'r ddefod ofnadwy hon; lladdwyd un o weision y brenin ei hun trwy ei wânu â gwayw-ffon, ac offrymwyd ef i'r duw Oro, fel iawn am ryw anmharch a gynnygiesid iddo yn ddiweddar gan bobl y brenin. Y dyn truan hwn, cyn ei fod yn gwbl farw, a'i waed o hyd yn llifo, a ddygwyd ac a roed i orwedd ar y traeth wrth dy y brenin, lle yr oeddwn i yn sefyll y pryd hwnw.

"Pan gofleidiodd rhai o'r Tahitiaid Gristionogaeth gyntaf, a phan oedd y brenin, gyda mintai o'i ymlynwyr ffyddlawn, mewn alltudiaeth ar ynys gyfagos Moorea, gwnaeth y blaid eilun-addolgar yn orchwyl i chwilio allan am y *Bure Atua*, addolwyr Duw, i'w haberthu; a saethwyd un dyn yn ardal *Faa*, ond efe a ddïangodd, gan nad aeth y belen ond trwy gnawd ei forddwyd ef. Yr oedd un o'n gweision ni wedi ei hir nodi allan i'w aberthu, eiriolasom dros ei fywyd ef gyda'r brenin, disgwyliai yntau fod yn ddïangol, arosodd yn yr ardal hyd oni saethwyd ef gan yr eilun-addolwyr, ac aeth yn aberth i'r duw Oro: pe daethai drosodd i Moorea buasai yn berffaith ddiogel, am fod y brenin y pryd hwnw wedi troi yn Gristion. Dyn truan arall, yr hwn mae yn debyg a wyddai ei dynghed, a ffôdd i'r mynyddoedd; cafodd y chwilwyr hyd iddo, archent iddo ddyfod i lawr gyda hwynt, gan addaw na cha'i

efe ddim niwed; eithr nid oedd hyny ddim ond arbed iddynt hwy y drafferth o'i gario ef i waered yn farw. Ebai efe, 'Mi a wn eich amcan chwi; ond er i chwi fy lladd i o ran fy nghorph, eto nis gellwch gyrhaedd fy enaid; mae hwn yn ddiogel; Jehofah yw fy Nuw i, ac efe a'm hachub i. Bu llawer aberth o'r fath hyn o flaen fy llygaid i, ond nis gallaf yn awr eu cofio hwy yn fanol; pa fodd bynag, mi a grybwyllaf am un a achubwyd yn rhagluniaethol. Tetoofa, brenin neu brif benaeth pen deheu-orllewin Tahiti, a gymmerodd fordaith i'r Ynysoedd Gwrthwyntawl, (*Leeward*) ychydig flynyddoedd cyn i ni ddyfod yn y llong *Duff;* ac wrth ddychwelyd yn *Mareva areoi*, (neu lynges o gychod yn perthyn i Areoi) goddiweddwyd ef gan ystorm o wynt, yr hon a yrodd y llynges yn ol drachfn; ac nis gallent gyrhaedd Tahiti, lle yr oeddynt am fyned, na'r Ynysoedd Gwrthwyntawl, o ba le y daethent; eithr gwasgarwyd a chollwyd hwy oll, ond Tetoofa a'i bobl. Fel yr oeddynt yn rhedeg o flaen y gwynt, yr hwn sydd yn gyffredin yn ddwyreiniol neu agos i hyny yn y moroedd hyn; daeth yn fater dàn eu sylw, pa fodd y gallent adgyweirio eu cychod fel ag i gyrhaedd Tahiti, os dygwyddai iddynt daro ar ryw ynys neu graig, a'u dryllio hwynt. Gwedi i amryw ddyddiau fyned drosodd, er eu mawr lawenydd canfyddasant ynys, yr hon yn awr a elwir Ynys Howe; ond, am y gwyddent yn dda y byddai raid iddynt redeg arni o du y gwynt, yr oeddynt o hyd yn ofni drylliad eu cychod; pa fodd bynag, daethant i dir, a chàn belled â hyny yr oeddynt yn ddïogel; ond drylliodd y cwch yn hollawl. Yr anhawsder o adgyweirio y cwch, fel ag i allu dychwel y Tahiti, a wyddai un ran o'r dynion yn dda, er nas gwyddai efallai y rhan arall: collasent eu neddyfau cèrig, ac nid oedd ganddynt yr un *fao*, taradr, i dyllu yr estyll, fel y gallent eu sicrâu hwy yn nghyd. Y *fao* hwn a wnaid yn wastad o asgwrn coes dyn, ac i'r dyben o gael asgwrn caled ac addas i'r perwyl, dewisent yn wastad ddyn pengrych a garw; am y tybient fod esgyrn y cyfryw un yn galetach na'r eiddo eraill. Nodwyd allan ddyn o'r fath hyny, a bwriadwyd ei aberthu ef; nid yn unig i'r dyben o gael asgwrn addas i wneyd taradr, ond hefyd i gymmodloni eu duw, fel y rhoddai iddynt fynedfa ddiogel adref. Ond tra yr oeddynt yn edrych o'u hamgylch, ac yn disgwyl gorchymyn dirgelaidd i syrthio ar yr aberth bwriadol, gwelsant ddarnau o goed yn gorwedd ar y graig; ac wrth eu hedrych yn fanol, gwelsant mai darnau o *pahi papaa* oeddynt, sef o long dramor, a aethai yn ddrylliau. Yn un o'r trawstiau neu esyth, cawsant follten haiarn, neu hoel fawr, yr hon meddynt oedd *aori*; torasant y pren yn ddarnau i'w chael hi allan, a gwelsant yn fuan ei bod yn ddigon caled i ateb y dyben o daradr; ac fel hyny arbedwyd yr angenrheidrwydd o ladd un o'u dynion, i gael ei asgwrn i wneyd taradr. Hysbyswyd hyn yn y fàn i'r penaeth, ac yr oeddynt oll yn llawen am y gobaith o gael cwch i'w trosglwyddo i'r ynys o ba un y daethent, pa bryd bynag y chwythai y *toerau*, neu y gwynt gorllewin, i'w gyru yno. Gwedi blaen-llymu yr hoel fawr, llwyddasant i gyflawni eu gorchwyl; ac o'r diwedd daeth y gwynt yn hwylus, a chyrhaeddasant Tahiti yn fuan. Fel hyn bu ddïangol y dyn truan, a fwriadasid yn aberth: yr hoel a ddefnyddiasant yn lle asgwrn ei goes ef, oedd y darn haiarn cyntaf a welsai y brodorion erioed.

"Delir a lleddir yr aberthau yn gyffredin dan fantell tywyllwch, ond weithiau cyflawnir y weithred ar hanner dydd. Efallai rhyw benaeth, gan ymdaith gyda'r dïofrydedig difeddwl yn yr un fyddin, ac yn agored i'r un peryglon, a rydd arwydd bradwrus a dirgelaidd, i rai o'i osgorddion llïosog i'w ladd ef: yr arwydd yw, *ei maa na Oro*, 'bod yn fwyd i Oro.' Saethir y truan yn y fàn, neu tarewir ef i lawr â chnwpa, neu gwânir ef â phicell, tra yn ymdaith yn erbyn y gelyn cyffredin. Neu efallai y bydd y dyn yn cysgu, yn ei dy ei hun neu dy rhyw gyfaill: rhywun a gymmer arno holi am dano, a ofyn a ydyw hwn a hwn yno; ac os dywedir ei fod, efe a ddywed, 'Parodd y penaeth i mi ddeisyf arnoch ddyfod i'w dy ef, mae ganddo rywbeth i'w ddywedyd wrthych.' Y cenadwr a ddychwel, neu a gymmer arno ddychwelyd; ond càn gynted ag y cynnygio y dyn truan fyned allan, rhedir amryw bicellau trwy ei gorph ef. Neu holir am dano mewn twyll, a thàn rith ymofyn am rywbeth arall; y person a ymofyn am ddyn i'w aberthu, a ofyn yn ddirgelaidd i ryw benaeth y danfoner ef ato i'r dyben hwnw, *Aita a oe e hue pararii e vai nei?* 'A oes genych chwi yr un *calabash* tòredig o amgylch eich lle?' Efallai yr etyb yr hwn y gofynir iddo, *Aita roa o o nei;* 'Nid oes dim o'r cyfryw beth yma;' neu, yn hytrach, Nid oes yma yr un person addas. Efallai yr etyb y penaeth yn gadarnâol ac y dywed, *Tei, tei te hue pape;* hyny yw, 'Y mae yma berson addas, ac mae wedi myned i nol *calabashaid* o ddwfr.' Nodai hyn y person allan yn y fàn, a gallai y chwilwyr wylied eu cyfleusdra i'w ladd ef, càn gynted ag y mynent ac yn y modd a fynent. Yn uniongyrchol, edrychid ar deulu y dyn hwnw, a'r rhan bennodol o'r ardal y perthynai iddi, fel wedi eu dïofrydu i'w haberthu.

"Am y dybenion i ba rai yr aberthid hwy, yr oedd i ddyhuddo llid, ac i gaffael maddeuant o ryw bechod; nid o bechod *fel y cyfryw*, ond o bechod neu drosedd y prif benaeth, yr hyn a dybid iddo ef ei wneyd yn y cyflawniad o ryw weithred, neu yn y gommeddiad neu esgeuliad o ryw ddefod a ddylasai gael ei chyflawni. Dyben arall oedd gwneyd cymmod rhwng y brenin a'i dduw; hefyd i gael help y duw mewn rhy-

fel, fel y gallent hwy gael y fuddugoliaeth ar eu gelynion; eilwaith, i gael iachâd i'r brenin pan mewn clefyd, yr hyn a brïodolid yn wastad i ryw esgeulusdra yn nefodau eu haddoliad hwynt.

"Am y dull o aberthu dynion, sylwer, nad aberthid hwy byth ar allor; ond un ai yn gladdedig yn y ddaear, neu yn grogedig ar bren am dro, i'w claddu wedi hyny. Weithiau, pan fyddai y *Bure Arii* (neu y gweddïau dros y brenin) yn cael eu cyflawni, tynid y llygaid o'r pen, a gosodid hwy ar ddalen, a chyflwynid hwy i'r brenin; yr hwn, trwy weithrediad ei safn, a gymmerai arno eu bwyta, tra byddai yr offeiriaid yn gweddïo, a'r tabyrddau yn curo wrth eu *Maraes*, neu eu lleoedd addoliad hwynt. Ar y pryd hwn gwisgid y *Maro ura*, neu wregys coch, wedi ei addurno â phlu, gan y brenin. Am hyny pan fyno un o'r brodorion sicrâu i chwi mai hwn a hwn yw brenin y wlad, efe a ddywed, *Ua Arii oia, ua hume i te maro ura, uo ai ite mata taata;* hyny yw, 'Gwisgwyd y gwr hwn âg awdurdod breninol, gwisgodd y gwregys coch, a bwytâodd lygaid dynion.'

"Y nifer a aberthwyd efallai nid ydynt lawer iawn, gyda golwg ar Tahiti; oblegid ni bu y ddefod o hir arferiad yn yr ynys hòno. Dywedwyd i mi gan y brenin ei hun, ac nis gwyddai neb yn well nac ef, nad offrymwyd yr aberth dynol cyntaf lawer o flynyddoedd cyn dyfodiad y Capten Wallis yno; i'r Tahitiaid gael yr arferiad o ynys Raiatea, lle y bu mewn arferiad am gryn amser o'r blaen: ond yr arferai y Tahitiaid ddefnyddio y pren *plantain*, gan ei alw *toata*, *dyn*. Pa fodd bynag, yr oedd y defodau mewn arferiad parâus, yn nghyflawniad pa rai yr offrymid aberthau dynol; ac nid âi ond ychydig fisoedd heibio, yn y rhai y gellid dywedyd na cheisiwyd aberthau dynol. Cyn y gellid gorphen un ddefod, cyfrifai y brodorion 10 neu 20 o aberthau, y byddai raid eu cael i'w chyflawn berffeithio hi; ac nid cynt y darfyddai hòno nac y byddai un arall yn dechreu.

"Ac yn awr mi a adroddais i chwi yr hyn a welodd fy llygaid i fy hun, ac a glywodd fy nghlustiau i fy hun: yr wyf yn credu na wêl fy llygaid ac na chlyw fy nghlustiau y pethau hyny mwyach. Yr oedd y Tahitiaid tlodion gynt yn *dywyllwch*, ond yn awr *goleuni* ydynt yn yr Arglwydd. Llwyddodd Satan yn hir i ddallu meddyliau y rhai digred hyny; ond yn awr mae goleuni Efengyl ogoneddus Crist wedi llewyrchu arnynt. Boed iddynt rodio fel plant y goleuni! Tua'r flwyddyn 1816, derbyniwyd yr Efengyl yn Tahiti ac amryw o'r ynysoedd cyfagos: ysgubwyd ymaith eu holl ofergoelion a'u heilun-addoliaeth blaenorawl, ac nid ymddangosodd criglyn o honynt mwyach. Pan geisiwyd gan y bobl adrodd rhai o'u hen weddïau, neu eu hysgrifenu i ni, gan feddwl y gallem gael rhai geiriau defnyddiol o honynt; gydag anhawsder mawr y câem ganddynt wneyd hyny. Atebent, 'A all fod yn addas i ni adrodd y gweddïau hyny eto, a ni yn awr wedi ymwrthod â hwynt?' A phan soniant am eu hen dduwiau, byddant yn sicr o roddi rhyw eiriau drwg iddynt, a dywedant, *Taua varua ino ra o Oro;* neu, *Taua varua ino ra o Raa*, sef, 'Yr ysbryd drwg hwnw *Oro*,' neu, 'yr ysbryd drwg hwnw *Raa*.' Mae hyn yn berffaith gyson yn y Tahitiaid, â'u proffes newydd o'r Efengyl; ond ni a allem hefyd grybwyll rhywbeth am eu safadrwydd hwynt. Mae ugain mlynedd weithian er pan wnaethant hwy broffes gyntaf, a pha sawl un o eglwysi Tahiti a aeth dan ddysgyblaeth eglwysig, drwy anghymmedroldeb yn benaf? Dim mwy nac un o bump. Parâsant yn ddïanwadal, ac agos yr un nifer, oddigerth mewn un orsaf, er y driniaeth *greulawn* a diffaith, yn benaf gan yr Americaniaid, o roddi ger eu bron hwy y fath brofedigaeth anwrthwynebadwy bron, a gwirodydd poethion.

"Ydwyf, anwyl Frawd,

"Yr eiddoch yn serchoglawn,

"H. NOTT."

---

YMADAWIAD CENADON, MEWN LLONG GENADAWL, I YNYSOEDD MÔR Y DE.

Gellir ystyried Tahiti fel canol-bwynt i lawer iawn o ynysoedd eraill yn Môr y Dê, lle mae yr Efengyl wedi dechreu ymdaenu. Barnwyd yn wir angenrheidiol cael llong, yn eiddo y Gymdeithas yn hollawl, at wasanaeth y Cenadon yn yr ynysoedd hyny: nid at farsiandaeth, ond i drosglwyddo Canadon o un ynys i'r llall; ac i ymweled â'r Cenadon a'r eglwysi yn y gwahanol ynysoedd. Yn ddiweddar prynwyd llong o 200 tynell, a'i henw Camden, i'r perwyl hwnw; ac ar yr 11eg o Ebrill diweddaf, hwyliodd y llong hòno o Gravesend, yn llwythog o Genadau a nwyddau angenrheidiol, ar ei mordaith bell i Foroedd y Dê. Ar ben ei hwylbren ol yr oedd baner ardderchog yn chwyfio, ac arni y geiriau CENAD HEDD, yn Gymraeg, wedi ei rhoddi i'r Gymdeithas gan foneddigesau crefyddol Abertawy. Nifer y Cenadau, heblaw eu gwragedd, oedd *naw*, yn nghyd ag ysgolfeistr ac argraffydd; a'r hen filwr cenadawl ffyddlon a dewr, y Parch. John Williams, yn flaenor iddynt oll, ar ei ddychweliad i'r Ynysoedd hyny, lle y buasai efe o'r blaen am lawer o flynyddoedd. Yr oedd un Cymro ieuanc, y Parch Thomas Joseph, yn mhlith y Cenadon. Cadwed a llwydded yr Arglwydd hwynt oll.

---

*W. Tyler, Argraffydd, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

## RHIF. XVII. MEHEFIN, 1836.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.

## GUIANA BRYDEINIG.—CENADAETH AT YR INDIAID.



CAPEL UNDEB, YNYS Y GAER.

MAE *Ynys y Gaer* yn sefyll ar yr afon Essequebo, Guiana Brydeinig. Yr Orsaf hon, yr hon sydd mewn cyssylltiad â Chenadaeth y Gymdeithas yn Nhref George, Demerara, ac a gynnelir gan yr eglwys a'r gynnulleidfa dàn ofal y Parch. Joseph Ketley, a ddechreuwyd yn 1819, gan Mr. Marcus Peter, dyn eiliw crefyddol: cynnwysai ar y cyntaf tuag 20 o bersonau, aelodau o eglwys Mr. Ketley.

Y pryd hwn, nid oedd gan yr Indiaid a breswylient ar lànau yr aml grigyllau a redant i'r afon Essequebo, un math o syniadau am grefydd, mwy na rhyw ychydig o ofer-goelion tywyll traddodiadol; nis gwyddent ddim am attaliadau iachusol bywyd gwareiddiol, ac yr oeddynt yn chwannog iawn i anghymmedroldeb.

Pan bennodwyd Mr. Peter i'r lle hwn, adeiladwyd capel yn y fàn gàn y bobl dàn ei ofal ef, digon helaeth i gynnwys 160 o bobl, yr hwn a alwasant hwy, Capel Undeb. Y tir ar ba un y safai a roddwyd gan ei Ardderchawgrwydd y Llywodraethwr; yr hwn hefyd a roes nifer o Fiblau a Thestamentau at wasanaeth y bobl. Chwefror y 10fed, 1830, agorwyd y capel gan Mr. Ketley, yr hwn a weinyddodd Swper yr Arglwydd i 16 o gymunwyr, ac a fedyddiodd ddau blentyn. Rhoddir dangosiad o'r capel yn y Darlun ar ben uchaf y tu dalen hwn. Talwyd holl gost yr adeiladu gan y gynnulleidfa; y rhai hefyd a ddangosasant eu haelioni drwy gyfranu yn baràus i drysorau y Gymdeithas, a thrwy adeiladu llong fechan, yr hon a alwant "Y Neges-long Genadawl," at wasanaeth y Cenadau pan yn ymweled â'r Ynys.

Yn Mehefin yr 17eg o'r un flwyddyn, bedyddiwyd 9 o rai mewn oed a 2 blentyn, gan Mr. Ketley. Dau o'r oedolion oeddynt Indiaid cynnwynol, y rhai, cyn sefydliad Mr. Peter, ni chlywsent erioed am ffordd iachawdwriaeth. Ar yr un pryd derbyniwyd 6 o bersonau i gymundeb. Annogwyd Mr. Peter i droi ei sylw at fintai o Indiaid a ymwelent â'r Orsaf ar y tymmor hwn. Yn 1831 daeth angen i helaethu y capel o herwydd cynnydd y gynnulleidfa. Chwanegwyd dwy oriel, y defnyddiau at ba rai a anrhegwyd gan N. W. Pollard, Ysw., a'r draul heblaw hyny (tua dwy ran o dair o gost yr adeilad cyntaf) a dalwyd gan y bobl. Derbyniwyd dwy ferch i Mrs. Peter i gymdeithas yr eglwys; y rhai gyda pherson ieuanc arall, ydynt athrawesau defnyddiol iawn yn yr Ysgol Sul.

Yn Ionawr, 1833, gorphenwyd y Capel yn Castricome. Pregethodd Mr. Peter i'r bobl ar yr achlysur, oddi ar y geiriau, "Gelwir fy nhy i yn dy gweddi i'r holl genedloedd:" o ba herwydd, "*Y Ty Gweddi*" yw enw y capel. Gwedi hyny ymwelwyd âg ef gan Indiaid o Grigyllau Arawary a Schonhoven; 115 o Indiaid, preswylwyr y terfynau, a dystiolaethasant eu hewyllysgarwch i dderbyn addysg, ac ymrwymasant i ddyfod yn rhëolaidd a chyson i'r capel. Ymwelodd Mr. Peter â 14 o grigyllau eraill, rhai o honynt yn bell. Ar ymweliad Mr. Ketley â'r capel yn Castricome, cafodd ef bron yn llawn o Indiaid ac eraill; yr oedd dynion o bob lliw yn bresenol: ymddangosai yn wir "yn dy gweddi i'r holl genedloedd." Bedyddiwyd 5 o rai mewn oed, a 4 o blant, y pryd hwn; y rhai oeddynt oll o'r un teulu. Yn niwedd y flwyddyn 1833, cynnwysai yr eglwys yn Ynys y Gaer *(Fort Island)* 51 o gymunwyr; bedyddiasid 8 o rai mewn oed, a 10 o blant; a phrïodasid 4 pâr yn ysbaid y flwyddyn, y rhai oedd Indiaid rai o honynt. Ffurfiwyd eglwys hefyd yn Castricome. Yn awr dechreuwyd gorsaf newydd, yn bur bell, wrth enau Crigyll y Dywalgi *(Tiger Creek.)*

Mae yr hanesion diweddaf am y lleoedd pwysfawr uchod o lafur, yn dwyn newyddion hyfryd iawn o galondid, ac yn llawn mòr hyfryd â'r newyddion a gawsem o'r blaen. Dywed Mr. Peter iddo ymweled â chrigyllau eraill. Mae yr Indiaid yn Arawary yn dangos eu cariad at dy Dduw trwy ddyfal gyrchiad i foddion gras, mewn gwahanol fânau lle y cedwir moddion, a thrwy ddwyn eu cyfeillion gyda hwy. Maent hefyd yn ymdrech i ddysgu darllen. Mae Caribeeaid *Crigyll Schonhoven* yn ddyfal iawn, a chwedi dyfod i wybodaeth o wirioneddau sylfaenol Cristionogaeth, a chwedi cynnyddu yn o lew mewn darllen. Am Indiaid *Crigyll Arawa*, ysgrifena Mr. Peter fel hyn:—"Tebygid eu bod yn myned rhagddynt mewn dysgu sillebu; ond yr hyn a'm hyfryda i fwyaf yw, eu bod yn dangos eu bod yn caru yr Arglwydd Iesu Grist. Mae yn llawen genyf fod un o honynt wedi dechreu gweddïo yn yr Arawâeg." Parâ Mr. P. i ymweled â *Chrigyll y Dywalgi*. Ar ymweliad diweddaf Mr. Ketley â Castricome, yn hydref 1834, cafodd fod y capel wedi ei helaethu: gwnaed gwisgle (*vestry*) hefyd, er cyfleusdra i'r gweinidog, yn ffurfio math o aden i'r adeilad gwladaidd.



CAPEL CENADAWL, CASTRICOME.

Bu llafur yr athraw ffyddlawn hwn, Mr. Peter, yn helaeth iawn yn mhlith y llwythau Indiaidd yn nghrigyllau Essequebo; ac yn ol ei hysbysiad ef am 1834, yr oedd yn ymgais, dàn amgylchiadau calonogus, i addysgu yr Indiaid yn y lleoedd canlynol; sef, Arawary neu Castricome, Schonhoven, Crigyll Caperwary, Crigyll Arawa, Crigyll Tocapeyo, Crigyll Ocho, Crigyll Arawagua, Crigyll Apacury, Crigyll Barbara, Crigyll Pirana, Crigyll y Dywalgi, y Crigyll Mawr, a Chrigyll Cuyurucurma.

Mae y Genadaeth yn mhlith yr Indiaid, ar yr Essequebo, yn brawf hyfryd o zêl ac ymroddiad disgyblion y Gwaredwr yn Demarara; y rhai, heb esgeuluso achosion prentisiaid diaddysg y Drefedigaeth, ydynt yn canlyn yn ddiysgog ar eu hymdrechiadau canmoladwy, i drosglwyddo gwybodaeth o Efengyl yr iachawdwriaeth i'r cynfrodorion a hir esgeuluswyd. Boed i Ben mawr yr Eglwys goroni eu hymdrechiadau â llwyddiant.

Doed yr Indiaid, doed Barbariaid,
Doed y Negroes fwy na rhi,
I gael gwel'd y dwyfol goncwest
Unwaith gaed ar Galfari;
Swn Efengyl, &c.
Dreiddio i gonglau eitha'r byd.

---

## CYFARCH-GAIS AT GARWYR DYSGEIDIAETH,

AR RAN

## Y DUANTWYS (*NEGROES*) YN Y TREFEDIGAETHAU PRYDEINIG.

PAN ddiddymodd y Senedd weuryddiaeth (*slavery*) yn y trefedigaethau Prydeinig, a gosod yn lle hyny y drefn gymesurawl sydd mewn grym yn awr, teimlai ewyllyswyr da goleuedig y duantwys y byddai i fanteision daionus y cyfnewidiad hwnw, a'r cyfnewidiad mwy byth i ba un yr oedd hwnw yn ddarparawl, gael eu chwanegi neu eu lleiâu, yn cyfatebol cymhwys i'r mesur o addysg crefyddol effeithiawl a roddid neu a attelid. Teimlwyd yn mhellach hefyd, er y gwelliant mewn rhan a wnaed y pryd hwnw ar amgylchiadau y dynion duon, bod ganddynt hawliau cryfion o hyd ar ystyriaeth ac ymdrechiadau y rhan Gristionogol o'r wladwriaeth, y rhai nis gellid eu nacâu na'u hoedi heb wneyd anghyfiawnder â'r dynion, a niwed i'r wladwriaeth y perthynant iddi.

Mewn cyfranogiad o'r argraffiadau hyn, yn gyffredin gyda nifer mawr o'u cyd-wladwyr, cymmerodd Cyfarwyddwyr Cymdeithas Genadawl Llundain fesurau union-gyrchol, er adgyfnerthu y gorsafoedd a gymmerasid eisoes gan y Gymdeithas, ac er estyniad ei gweithrediadau i drefedigaethau eraill. Galwyd am wasanaeth personol dynion addas, a gofynwyd am gyfraniadau chwanegol i ateb i'r draul. Atebwyd y cyfarch-gais hwnw gyd â pharodrwydd a haelioni; yr hyn, tra yr oedd yn calonogi y rhai a ddygent yn mlaen amcanion y Gymdeithas, a deimlid hefyd yn galw am y cydnabyddiaeth mwyaf diolchgar iddo Ef, eiddo yr hwn yw yr arian a'r aur, a chan yr hwn y gweithredir ar galonau dynion, yn ol ei fwriadau doeth a thrugarog ef ei hun. Y canlyniad a fu, yn lle bod genym ond *tri* neu *bedwar* o lafurwyr yn mhlith y duantwys, galluogwyd y Cyfarwyddwyr i chwanegi nifer y Cenadon yn yr India Gorllewin i *bedwar-ar-hugain*. Y prif chwanegiad a fu mewn gweinidogion urddedig yr Efengyl. Ond yn ystâd neillduol bresenol y bobl dduon, mae galwad uchel am weithwyr o radd arall, yn fwy lliosog o lawer nag y rhoddwyd hwy ar waith eto; ac mae crybwylliadau y cenadon, ac eraill gorau eu hadnabyddiaeth o'r trefedigaethau, yn cyduno oll i ddangos yr angenrheidrwydd dirfawr, o helaethu dysgeidiaeth Gristionogol hyd y terfynau eithaf sydd yn bosibl.

Cyfrifir nad oedd yn y trefedigaethau Prydeinig ar y 1af o Awst, 1834, ddim llai na 130,000 o blant duon dàn chwe' mlwydd oed; ac felly yn gyfreithlawn rydd oddi wrth bob attaliadau i ddyfod i'r ysgolion. Mae amgylchiadau y plant hyn—gwladyddion dyfodawl y trefedigaethau—nodwedd ac arferion y rhai a ymddybynant môr fawr ar iddynt gael eu dysgu yn egwyddorion a dyledswyddau Cristionogaeth, neu ynte eu gadael i dyfu i fynu mewn annwybodaeth a drygioni;—mae hyn oll, meddwn, yn dangos i ni yr angenrheidrwydd pwysig, o ymdrechiadau union-gyrchol a grymus i'w dysgu hwy i ddarllen yr Ysgrythyrau drostynt eu hunain,—sylfaen orau ac unig sicr trefn gymdeithasol, diwydrwydd, a dedwyddwch. Heblaw y plant rhyddion, mae y rhai dros saith oed, yn nghyd âg agos yr holl nifer o oedolion a ryddâwyd, mewn angen am ddysgeidiaeth, a llawer o honynt a'i derbyniai hi yn awyddus, pe byddai modd i'w rhoddi iddynt.

Mae yn hyfrydwch mawr gan y Cyfarwyddwyr ddywedyd, fod perchenogion a thrinwyr tiroedd, ac eraill, yn y trefedigaethau lle mae y cenadon yn llafurio, mewn nifer chwanegol o amgylchiadau, wedi dangos parodrwydd gwir ganmoladwy i bleidio dygiad addysg crefyddol i blith y bobl: rhoddasant hefyd gynnorthwy gwerthfawr i gyfodi yr adeiladau oedd yn angenrheidiol, trwy weithrediadau chwanegol y Gymdeithas; ac mae pob lle i ddisgwyl, fel y daw lles a manteision dysgeidiaeth yn fwy-fwy amlwg, y rhoddir cynnorthwyon chwanegol eto, gan ddynion a breswyliant yn y lle. Ond heblaw y moddion o addysg crefyddol darparedig eisioes, dywed y Cenadon eu bod mewn angen mawr am nifer chwanegol o weithwyr, yn enwedig athrawon ac athrawesau ysgolion; ac maent wedi cyfeirio at y Gymdeithas am fodd i adeiladu, yn Guiana Brydeinig a Jamaica, RHWNG DEG-AR-HUGAIN A DEUGAIN O YSGOL-DAI, cost amcanedig y rhai a fydd tua NAW NEU DDENG MIL O BUNNAU. Am y trefedigaethau eraill, sef Penrhyn Gobaith Da a'r Mauritius, yn mha rai mae y Cyfarwyddwyr yn dra awyddus am helaethu y buddioldeb o ddysgeidiaeth, bernir y costia adeiladu yr ysgol-dai angenrheidiol rhwng PUMP A CHWE' MIL O BUNNAU, yr hyn a wna yr holl swm gofynol tua PHYMTHEG MIL O BUNNAU.

Er cymmaint yw y swm uchod, ac er maint y mwyâ yr athrawon a'r athrawesau chwanegol a ofynir, nifer y gweithwyr sydd gan y Gymdeithas; eto wrth ystyried agwedd isel bresenol y bobl dduon, yr anmhosiblrwydd iddynt gyfodi goruwch yr annwybodaeth a'r pechod sydd yn cydfyned â gweuryddiaeth (*slavery*) heb ddysgeidiaeth; a'r gradd y chwanega hyn eu gwybodaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd,—ymddangosodd i'r Cyfarwyddwyr o'r pwys mwyaf i chwanegi gweithrediadau y Gymdeithas, yn y rhan bennodol hon i'r helaethrwydd mwyaf a fyddo yn bosibl.

Heblaw yr ystyriaeth o amgylchiadau neillduol y prentisiaid, yr olwg galonogus am gynnorthwy yn y trefedigaethau, ac oddi wrth garwyr dysgeidiaeth gartref; effeithiwyd ar y Cyfarwyddwyr hefyd, yn y trefniadau a wnaethant, trwy sylwi ar y diolchgarwch a ddangosir bob amser gan y bobl dduon am y manteision o addysg crefyddol; a'r modd haelionus iawn yn yr hwn y cyfranasant hwy o'r hyn a ennillent, tuag at ddwyn y costiau yr aed iddynt yn eu hachos ac er eu lles hwy. Ni bu addysg crefyddol i'r duantwys a'u plant erioed yn fwy angenrheidiol nag yr amser presenol. Gwyr y Cyfarwyddwyr yn dda, nad yw yn bosibl iddynt ateb y gost o ddarpar y moddion hyny; ond maent yn coledd sicrwydd cryf, wedi ei gadarnâu drwy brofiad o haelioni blaenorol y bobl dduon, can gynted ag y byddo yn alluedig iddynt, nid yn unig y talant hwy yn siriol, hyd eithaf eu gallu, y draul o unrhyw ymdrechiadau a wneler er eu lles hwy, ond hefyd y cyfranant yn haelionus tuag at ddanfon yr Efengyl i eraill.

Gan fod rhanau eraill o'r byd, yn gystal a'r trefedigaethau a enwyd, yn galw yn uchel am ymdrechiadau y Gymdeithas yn eu plaid, nid yw y Cyfarwyddwyr yn chwennych mewn un modd, os gallant beidio, ddefnyddio dim o'r cyfraniadau at achosion cyffredinol y Gymdeithas, tuag at adeiladu yr ysgol-dai uchod: gobeithiant gael cynnorthwy ar ei ben ei hun i hyny; a gofyn y cynnorthwy hwnw yw dyben y Cyfarch-gais uchod.

---

PROFIAD CREFYDDOL RHAI O'R BOBL DDUON.

Gofynai y Parch. James Scott i fenyw a chwennychai yn fawr iawn gael derbyniad at fwrdd yr Arglwydd, pa beth a dybiai hi oedd ystyr yr ordinâd hòno, a pha les a ddisgwyliai gael o hóni os caniatêid iddi fod yn gyfranog gyda'r aelodau. "Massa," ebai hi, "creadures annwybodus ydwyf fi, ac ni's gallaf ateb gofynion; y cwbl a wn i yw, fy mod yn bechadures,—daeth Crist i farw dros bechaduriaid, ac mi a chwennychwn gofio ei farwolaeth ef hyd oni ddelo." "Pwy a fynegodd i chwi eich bod yn bechadures?" "Massa, fy nghalon fy hun. Mi a wyddwn fy mod yn bechadures pan oeddwn yn gwasanaethu pechod." "Os dywedodd eich calon i chwi eich bod yn bechadures, a ddywedodd hi hefyd i chwi i Grist farw dros bechaduriaid?" "Na ddo, Massa; nis gallai fy nghalon fynegi hyny i mi: Duw a barodd i mi wybod y gwirionedd hwn. Dywedodd nad arbedodd efe ei brïod Fab, ond iddo ei draddodi ef trosom ni oll." Wrth ofyn i un arall pa ham yr ewyllysiai hi fod yn gyfranog fel aelod, a pha lês a ddisgwyliai gael o hyny, hi a atebodd, "Ni's gall fy achub i; ond, gan y dymunwn fod yn wasanaethyddes i Dduw, mi a chwennychwn fy nghael yn mhlith ei wasanaethwyr ef." "Ai ni buoch chwi yn wastad yn wasanaethyddes i Dduw?" "Na ddo, Massa; bûm yn wasanaethyddes i bechod er pan yn blentyn; ond yr wyf yn dymuno na wasanaethwyf bechod mwyach." "Os gwasanaethasoch chwi bechod cyhyd, a ydych chwi yn meddwl y gallwch orchfygu eich arferion a'ch tueddiadau drwg yn awr?" Gyda theimlad pur ofidus hi a atebodd, "Gobeithiaf hyny, trwy gymmorth Duw yn fy nerthu."

---

*Argraffedig gan W. Tyler, Llundain.*

# Darlun Cenadawl,

RHIF. XVI. MAWRTH, 1836.

## CYMDEITHAS GENADAWL LLUNDAIN.



DARLUNIADAU O'R SARPH-DDUW A ADDOLIR YN YR INDIA.

Mae yn debyg bod y Sarph yn un o wrthddrychau boreuaf eilun-addoliaeth, ac yn cael ei dàl bron mewn parch cyffredinol. Cair hi yn hanes duwiau y Caldeaid a'r Aiphtiaid, yn gystal â'r eiddo cynfrodorion tywyll ac anwar America Ddeheuol. Yn mhlith yr henafiaid yr oedd y Sarph, a'i chynffon yn ei genau, yn arwyddlun aml o'r haul; a'r dorch a wnai ei chorph hi, a dybid yn arwyddo cylch-redfa gyffredin y goleuad hwnw, ac ar yr un pryd yn arwyddlun o amser a thragywyddoldeb. Yr oedd y Sarph hefyd yn arwyddlun o feddyginiaeth, ac o dduwiau dychymmygol y gelfyddyd feddygol. Ar y seiliau hyn ac eraill, rhoddir i'r Sarph barch coel-grefyddol gan ran fawr o ddynolryw o hyd, yn enwedig yn mharthau dwyreiniol y byd.

Yn mhlith y 30,000 o dduwiau dychymmygol yr India, mae y *Naga*, neu y Sarph, yn hynod; ac mewn rhyw ystyr gellir dywedyd, ei bod yn sylfaen i ran fawr o eilun-addoliaeth yr Hinduaid. Dengys eu hofer-chwedlau un o'u duwiau dychymmygol, fel yn gorphwys ar y Sarph fil-benawg, pan oedd efe yn myfyrio neu yn penderfynu ar grëu y byd. Mae lluniau duwiau eraill hefyd, yn cael eu dangos yn fynych fel yn lled-orwedd ar blygiau torchog y Sarph hon, yr hon a elwir *Seesha*, neu *Ananta naga*, tragywyddoldeb. Yn ol chwedl arall am y Sarph-dduw, mae y ddaear yn gorphwys ar ei fil o benau ef; ac mewn amrywiol ffurfiau mae y Sarph, fel arwyddlun o dragywyddoldeb, neu anfarwoldeb, yn ymddangos yn y rhan fwyaf o ddarluniadau eu prif eilunod hwy. Dywedir hefyd fod "y syniad o rinweddau meddygol y Sarph yn hen iawn yn yr India: pan gymmerer Hindu yn glaf o'r dwymyn neu ryw glefydau eraill, efe a wna Sarph o bres neu o glai, ac a gyflawna ryw ddefodau er anrhydedd iddi er mwyn cael gwellâd" Pa un a darddodd hyn o ryw allu tybiol o gadw ei bywyd, a ganfuwyd efallai yn y Sarph, ai ynte oddi wrth ryw wybodaeth traddodiadol gwàn am y Sarph bres a wnaeth Moses, cysgod o dderchafiad Mab y dyn i gadw y rhai a gredant ynddo, nis gwyddom; ond mae yn dda genym wybod fod y Gwaredwr, trwy lafur ei weision, yn cael ei arddangos i'r cleifion a'r meirwon ysbrydol yn yr India, fel wedi marw ar y groes, fel y rhoddai Efe fywyd tragywyddol i bwy bynag a gredant ynddo.

Heblaw bod yn chwanegiad addurnol at brif-dduwiau yr Hinduaid, mae y Sarph ei hun yn wrthddrych o addoliad yn aml; adeiledir temlau yn y rhai y gosodir ei delw hi, yn y rhai y pennodir offeiriaid i weinyddu, ac yn y rhai y bydd ei haddolwyr hudol yn cyflwyno eu hoffrymau a'u haddoliad. Pan yn yr India, ymwelodd Mrd. Tyerman a Bennet â theml y Sarph-dduw yn ninas Allahabad; yr olwg a welsant hwy yno, a roddai ddangosiad tra galarus o wallgofrwydd a gresyndod ei addolwyr ef. Ar y 5ed o Awst, 1826, maent yn sylwi—

Aethom yn fore heddyw ar hyd y dwfr i weled teml nodedig, wedi ei chyssegru i addoliad y Sarph, ar làn y Ganges. Mae yn sefyll mewn pentref a elwir *Burkse*, ychydig i'r dwyrain o *Duragunge*. Y deml, yr hon a elwir *Rajabam*, sydd adeilad hardd o feini. Petryal o 17 troedfedd bob ffordd ydyw, wedi ei hamgylchu â rhail-waith (*verandah*) o 31 troedfedd petryal; a'r cwbl wedi eu cyfodi ar sail 3 troedfedd o uchder. Mae y colofnau, y drysau, &c. wedi eu haddurno yn wych iawn â gwaith maen cerfiedig. Mae y tu allan, cyfuwch â gwaelod y pigwrn, wedi ei ddosparthu yn llawer o gyfraniadau, yn mhob un o ba rai mae llun un o'u duwiau hwy, mewn llawn ddelwad hyf, a chwedi eu gwneyd yn dda. Mae y pigwrn yn hardd, ac yn gyfwedd mewn dull â phigyrnau llawer o'r temlau.

O fewn y deml, ac yn union gyferbyn â'r drws, mae yr eilun: Sarph ddirfawr ydyw, mewn uchel-saf llawn-gorph, wedi ei thori yn rhyfeddol o gywrain ar un maen mawr, tua 7 troedfedd o uchder a 3 thair o lèd. Y *Copra de capella*, neu y neidr gycyllawg, yw y Sarph, a chwedi ei gwneyd â 5 o benau iddi, gyda'r cycyllau yn daenedig. Cyfarfyddant oll yn un corph, yr hwn a dorchir ac a blygir yn fedrus iawn, ac a fesurai, yn ei lawn hyd, tua 12 troedfedd. Y Sarph-dduw hwn a enwir yn Frenin y Seirph. Heblaw y prif-eilun, yr oedd yno amryw *Lingas*, ar ddau o ba rai yr oedd seirph yn gerfiedig. Pan aethom ni i'r deml hon, cawsom ddynyn tlawd a hudol yn addoli y Sarph: gwedi hyny daeth cardotyn noeth, digywilydd, a budr, i mewn i'w haddoli. Pan ddaeth i mewn i'r deml, syllodd ar y ddelw atgas a gwrthun, gydag ymddangosiad o hyfrydwch; a chwedi cyflawni amryw ddefodau o addoliad, rhodiodd o gylch y deml, ac aeth ymaith.

Nid yn y rhan hon o'r India yn unig y rhoddir parch coel-grefyddol i'r Sarph: mae yn yn ymddangos bod ei delw yn wrthddrych o addoliad cyffredin yn mhlith yr Hinduaid. Yn rhanau deheuol y wlad, canfyddir hyn yn amlwg a chyffredin yn mhlith y gwrthddrychau o eilun-addoliaeth. Yma hefyd mae temlau i addoli y Sarph. Nagercoil, oddiwrth *Nager*, sarph, a *coil*, neu *covil*, lle o addoliad crefyddol, neu deml, yw enw un o'r prif orsafoedd lle mae ein Cenadon yn Travancore Ddeheuol. Yn hanes eu hymweliad â'r orsaf hon yn Gorphenaf, 1827, sylwa Mrd. Bennet a Tyerman:—

Mae yma deml Hinduaidd o gryn henafiaeth, lle yr addolir y Sarph, a lle y cedwir llawer o nadroedd o'r rhyw gycyllawg, ac y porthir hwy â llaeth unwaith yn yr wythnos, gan yr offeiriaid yn nghynteddfa y deml. Prydnawn yr 20fed, aethom gydag un cyfaill cenadol i weled y lle; ond yr oedd y drysau yn gauad, ac ni chaniatêid i ni fyned i mewn. Yr oedd maen-ddelwau, tua throedfedd o uchder, o'r *copra de capella*, gyda ei chwcwll taenedig, wedi eu gosod ar ben y muriau a amgylchent y cyntedd. Mae y lluniau hyn yn aml yn arddangos lliaws o benau, dàn y rhai y cerfir rhyw ddelw o'r *Lingum*, o Chrishnoo, neu o ryw dduw Hinduaidd. Mae lluniau cyffelyb hefyd wedi eu gosod ar y mur o amgylch y ddyfr-gist gyfagos; a gwelsom amryw ar y ddaear, dàn y ddau bren *Banyan* mawrion, a dyfant yn agos i'r deml. Offrymau yw y rhan fwyaf o'r delwau hyn, a gyflwynwyd gan fenywaid, mewn canlyniad i addunedau a wnaethant hwy i'r duw; o hyny y mae y fath amledd o honynt. Gofynasom i'r offeiriaid a werthent hwy rai o honynt; ond ysgydwasant eu penau, a gwrthodasant.

Mae y lluniau yn y Darlun presenol, yn arddangos y delwau a ddysgrifiwyd uchod: maent o'r gronyn-faen durfing tywyll, ac heb eu tori na'u hanffurfio; ymddengys un o honynt o weithiad diweddar, a'r llall yn fwy henaidd o lawer; ac yn nghadw yn Amgueddfa y Gymdithas, yn y Ty Cenadol, Llundain. Y ddelw yn mha un y mae cwcwll y Sarph yn ffurfio math o gysgodlen y tu ol, a gorchudd dros lun yr eilun, a ddanfonwyd i'r Amgueddfa gan y Parch. J. Hands, o Bellary. Y llall, yr hon a elwir *Nagur Sawmy*, y Sarph-dduw, sydd yn mysg yr eilunod gwrthodedig a ddaeth yma yn ddiweddar o Travancore.

Gwedi ein dysgu gan yr Ysgrythyrau Sanctaidd i adnabod, i garu, ac i wasanaethu y gwir a'r bywiol Dduw; i ymhyfrydu yn ei air, i ymddiried yn ei ragluniaeth, ac i obeithio yn ei drugaredd; ni's gallwn ni feddwl am dywyllwch a thrueni y torfêydd, a "*a newidiant ogoniant yr anllygredig Dduw i gyffelybiaeth llun dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwar-carnol, ac ymluegiaid*," heb dosturio wrthynt, a dymuno yn ddifrifol am gael diwedd buan, ar y ffieidd-dra a'r gresyndod sydd yn nglyn âg addoli eilunod. Pob tro ag y mae gwrthddrychau addoliad paganaidd yn cael eu bwrw ymaith a'u distrywio, dylai grëu ynom y diolchgarwch gwresocaf, a pheri i ni weddïo yn daerach o hyd; gan ystyried pob amgylchiad felly yn ernes o'r amser a addawodd Duw, pryd y "bwrw ef yr eilunod ymaith yn hollol." Mae yr arwyddion hyn o fod Duw yn gweithio trwy y moddion a ddefnyddir, er nad ydynt eto ond ychydig, mewn cymhariaeth i'r nifer sydd yn dàl gafael yn eu heilunod, yn dygwydd yn fynychach o flwyddyn i flwyddyn; yn enwedig yn y rhanau hynny o'r maes lle mae ein Cenadon yn India Ddeheuol. Rhoddwyd hanes am y pethau daionus a gymmerasant le mewn dwy Orsaf yn Travancore eisioes: am y lle cyssylltiedig â Nagercoil, dywedwyd ddarfod, yn y chwech mis olaf o 1831, i 113 o deuluoedd ymwrthod â phaganiaeth, a gosod eu hunain dàn addysg Cristionogol; a bod yr ysgolion yn cynnwys o 16,0000 i 17,000 o ysgolheigion; ac mae hanesion diweddarach yr un môr dda, er eu bod yn llai manol. Mewn lle arall, cyssylltiedig â gorsaf Neyoor, dywedwyd fod mwy na 3,000 wedi ymwrthod â phaganiaeth; ac yn yspaid y flwyddyn 1831, chwanegwyd at eu nifer 160 o deuluoedd, yn cynnwys tua 700 o bersonau. Yn yr orsaf hon, cynnorthwyir y Cenadwr llafurus gan arolygwr ysgolion, 14 o ddarllenwyr teithiol, a 26 o ddarllenwyr cynnorthwyol. Yn yr Adroddiad diweddaf a dderbyniwyd o'r orsaf hon, yn cynnwys o Ionawr hyd Mehefin, 1832, mae Mr. Mead, y Cenadwr yno, yn rhoddi hanes cysurus iawn am y pentrefydd, lle mae y darllenwyr brodorawl yn llafurio. Gwedi crybwyll am bentref Paenguddy, lle y rhoes y trigolion i fynu y Sarph-dduw, yr hwn a ddangosir ar wyneb cyntaf y papyryn hwn; addoliad yr hwn, trwy fendith Duw ar lafur y darllenwyr brodorawl, a roesent hwy heibio yn hollawl er ys cryn anser o'r blaen; mae efe yn rhoddi yr hanes a ganlyn am orsafoedd eraill yn y gymmydogaeth.

Buom yn hir yn cytuno am ddarn gwerthfawr o dir, addas iawn, i adeiladu ysgoldy, neu ryw adeilad Cenadol arall arno, yn Careavilly. Mae teml baganaidd yn sefyll o hyd ar y lle; ond am fod rhai o'r perchenogion (o ba rai y mae llawer iawn), wedi cofleidio Cristionogaeth, ac eraill yn tueddu i hyny, ni a gawsom feddiant cyfreithlawn o'r lle. Adeiledir ysgoldy yn fuan, a chedwir addoliad cyhoeddus ynddo y nosweithiau, er llês y Cristionogion ac eraill sydd yn byw o amgylch yno. Disgwyliwn na ddefnyddir y deml mwyach yn lle o addoliad paganaidd, ac y tynir hi i lawr, neu ei gadael i adfeilio: tybir mai y peth olaf sydd orau i ddiwreiddio eilun-addoliaeth o'r lle. Mae y paganiaid yn dàl y deml mewn parch mawr; a phe gwnaid rhywbeth a ymddangosai fel buddugoliaeth arnynt, efallai y digiai hyny hwynt, ac y parai wrthwynebiad. Hwn yw y cythreuldy penaf yn y parthau hyn, yn nesaf at Mundacadoo.

Mae cynnulleidfa fechan yn cael ei ffurfio yn Velavoor, cangen o gynnulleidfa Etavilly; ac un arall yn Manganvilly, cangen o gynnulleidfa Davyodoo. Yn mhob un o'r lleoedd hyn mae amrai deuluoedd wedi ymwrthod âg eilun-addoliaeth, mewn chwanegiad at y rhai a ymgynnullent yn gyffredin yn Etavilly a Davyodoo; ond teimlir yn fawr

yr angen am leoedd cyflëus i ymgynnull ar y Sabbathau: gobeithio y symmudir yr anghyfleusdra hyn yn fuan i raddau, pryd y disgwyliwn gynnulleidfaoedd mwy lliosog.

Mae y gynnulleidfa newydd tua'r gorllewin, yn ardal Neyattangherry, wedi cynnyddu o 70 i 200; mae ty bychan wedi ei adeiladu mewn màn yn y canol. Dyoddefwyd peth erledigaeth, o herwydd gwrthod dwyn yr offrymau arferol i'r temlau paganaidd; ond am fod hyny yn groes i'r gyfraith gyhoeddedig, ni a obeithiwn y symmudir yr achos hyn o gwyn ar ol hyn.

Bu y cynnulliadau i'r moddion cyhoeddus ar y Sabbathau, yn dda ac yn gyson yn y mànau oll. Mae llawer yn chwennych eu bedyddio, ac yr wyf yn gobeithio cael y fraint o weini yr ordinâd hòno i tua 70 o bersonau yn ystod y mis nesaf. Trefnwyd dau ddiwrnod yn yr wythnos i bawb a allont, ddyfod i'r gwahanol leoedd i gael eu dysgu, i ymddiddan, ac i weddïo. Yr oedd cynnull da i'r moddion hyn, pan oedd tymmor y flwyddyn a galwedigaethau y bobl yn caniatàu. Ar y cyfan, bu ein hymweliadau â'r gwahanol bentrefydd yn hyfryd a buddiol; ac yr wyf yn gobeithio yn fwy gwerthfawr nac arferol gan y bobl dàn ein gofal, y rhai mewn llawer o fànau a ddangosant awydd chwanegol am wybodaeth grefyddol, o herwydd teimlant, debygid, mai hyny yw yr un peth angenrheidiol. Pa fodd bynag, gyda golwg ar y rhan fwyaf, tra nad oes genym gwyn i'w wneyd o eisiau gwrandawiad,—oblegid efallai nad oes neb cynnulleidfàoedd yn gwrando yn well yn nhy Dduw,—yr ydym yn dymuno yn ddifrifol, cael gweled amlygiadau mwy o gyfnewidiad calon nac sydd yn ymddangos yn bresenol: Yspryd y gras yn unig a all effeithio hyn.

Mae llafur helaeth a gwerthfawr y darllenwyr brodorawl, y niferoedd sydd dàn addysg Cristionogol yn yr amrywiol ysgolion, cynnydd ysbryd o ymofyniad yn mhlith y bobl, eu teimlad chwanegol mai crefydd y Bibl yw yr un peth angenrheidiol, ac agwedd ddifrifol a gwrandawgar y cynnulleidfàoedd brodorawl yn y lleoedd o addoliad;—mae y pethau hyn oll, meddwn, yn cytuno i wasgu yn rymus ar bob disgybl i Grist, y ddyledswydd o weddïo yn fwy taer a dibaid am ddylanwadau yr Ysbryd Glân, i wneuthur y gair a draddodir yn arogl bywyd i fywyd i'r rhai a'i gwrandawant; ac fel hyn i brysuro yr amser, pryd y bydd i addoliad y Sarph, a phob gau-addoliad hudol arall, a ddygir yn mlaen gan ddinystrydd mawr ein rhywogaeth, yr hwn dàn lun sarph a ddygodd bechod a'i holl lygriad a'i gospedigaethau i'r byd, gael eu diddymu; a phryd y bydd i arogl-darth, ac offrwn pur, gael eu hoffrymu iddo Ef, yr hwn y bydd ei enw yn fawr yn mysg y cenedloedd, o godiad haul hyd ei fachludiad hefyd. Prysured yr Arglwydd hyn oll yn ei amser. Amen!

---

*Cyfarfod Crefyddol yn Avarua, un o Ynysoedd Mor y De.—Pigion o Areithiau y Brodorion.*

Tuata a'u cynghorai hwynt i fod yn heddychol â'u gilydd, nid mewn enw yn unig, ond mewn gweithred a gwirionedd. Bydded undeb teimlad, barn, ac ymdrech, a bydded cariad Duw yn aros ynom ni.

Abela a ddywedai—Ychydig a feddyliasom ni gynt am weled diwrnod o'r fath a welwn heddyw. Gwelwch pa beth a wnaeth cariad Duw erddom ni, yn nanfoniad ei genad atom i'n dysgu ni. Ni ddaeth efe er ei fwyn ei hun, ond er ein mwyn ni; tosturiodd wrth ein heneidiau ni; ond yn hyn ni a welwn allu a thrugaredd Duw, yr hwn a roes y dymuniad yn ei galon ef, i'w dueddu ef i adael ei wlad a'i gyfeillion, a'i gyfarwyddo ef yma; nid am yr haeddasom ni athraw, nid am i ni geisio un, oblegid nis gwyddem ni ddim am werth iechydwriaeth; ond carodd Duw ni, a thosturiodd wrthym; am hyny dedwydd yw ein llygaid, canys y maent yn gweled, a'n clustiau, canys y maent yn clywed.

Marau a ddywedai—Gadêwch i ni fod fel plant y rhai nid ydynt yn blino galw ar eu rhïeni; gadêwch i ni weddïo yn ddibaid ar ein Tad nefol—bydded genym y ffydd hòno sydd yn gweithio trwy gariad, ac a ddysgo i ni ein cyflwr colledig, a'n hangen am Waredwr. Gadêwch i ni fyned at Iesu yn awr drwy weddi, a chwilio ei air ef yn ddifrifol, fel y gallom ar ol hyn gyfanneddu y trigfanau yr aeth efe i'w parotôi i'w bobl. Bydded ein gweithredoedd fel yr esgynlawr, yr hwn, wedi gorphen y ty, a dynir ymaith, am nad yw o ddim gwasanaeth mwyach; felly gadêwch i ninnau wneyd a allom i fynod i mewn i Grist, yr hwn yw y ty, ac a'n cysgodo ni pan fo yr esgynlawr wedi myned.

Uriarau oedd yn llawen iawn am yr hyn oedd yn ei weled. Gadêwch i ni afaelu yn gadarn yn Nghrist, a chwrteithio crefydd calon; fel y gallom yfed o'r "dwfr" hwnw "sydd yn tarddu i fywyd tragywyddol."



---

*Argraffedig gan W. Tyler, Llundain.*

# AT Y CYMRY.

GYD-GENEDL HOFF,

WRTH gychwyn ar fy nghyhoeddiad deu-fisol trwy ich siroedd a'ch trefi y tro hwn, yr wyf yn teimlo chwant i'ch annerch r fyr eiriau, i ddychwelyd fy niolchgarwch diffuant am y derbyniad aredig a gefais yn eich plith yn fy nheithiau o'r blaen, trwy yr hyn 'm cefnogir i hyderu fod fy ngweinidogaeth yn gymeradwy genych, ac vedi bod i ryw raddau, yn fendithiol er eich adeiladaeth ysbrydol. Afraid yw dyweyd fy mod yn gobeithio y dangoswch yr un caredig-wydd tuag at "y gŵr dieithr" y waith hon hefyd, ac y cyd-weddïwch mi ar fod i'r "Proffwyd mawr" fendithio y pethau y bum yn eu casglu n nghyd er pan eich gwelais ddiweddaf, i'r dyben i'w traethu wrthych, fod yn fuddiol i laweroedd o honoch.

Teimlwyf yn dra rhwymedig *i'm brodyr yn y weinidogaeth*, y rhai a unt mor fwyn a goddef i mi ail-adrodd eu pregethau rhagorol yn eich lywedigaeth, a'r rhai, hyderwyf, a barânt i ddangos yr un caredigrwydd ingllaw. Gobeithiwyf hefyd y daw ychwaneg o honynt yn eilnen i'w ynnorthwyo yn fy ngorchwyl pwysfawr o "fynegi i chwi ffordd iach-wdwriaeth." Pwy a ŵyr na fydd y gwirioneddau a fendithiwyd wrth u traddodi ganddynt hwy, yn cael eu dilyn âg effeithiau daionus i werneddd trwy gael eu hail-adrodd â'm genau i?

Dybenaf hyn o gyfarchiad, gyda dymuno ar bwy bynag o honoch c sydd yn meddu rhai o bregethau neb o'n tadau a'n brodyr, y rhai sydd vedi gorphen eu gyrfa, a myned i orphwys oddiwrth eu llafur, i'm har-hegu â'r cyfryw, fel y caffwyf y fraint o'u hadgoffa i'r rhai a'u clywsant 'r blaen, a'u traethu wrth ereill, y rhai a glywsant lawer o sôn am mryw o weinidogion enwog Dêau a Gogledd Cymru, ond heb gyfleustra rioed i wrando arnynt yn hyfryd seinio udgorn yr efengyl yn ein gwlad.

Ydwyf, anwyl gyd-genedl,

Eich ufudd wasanaethydd yn Efengyl Crist,

Y PREGETHWR

*Liverpool, Awst 1, 1835.*

